Y

# GWYLIEDYDD;

SEF,

## CYLCHGRAWN O WYBODAETH FUDDIOL,

*ER BUDD I'R CYMRO UNIAITH.*

TAN OLYGIAD GWEINIDOGION YR EGLWYS SEFYDLEDIG.

AM Y FLWYDDYN 1829—30.




## LLYFR VII.

"Yn WYLIEDYDD y'th roddais i dŷ Israel." *Ezec.* xxxiii. 7.



BALA:

ARGRAFFEDIG GAN ROBERT SAUNDERSON.

1830.

# Y RHAGYMADRODD.

TYBIASOM, unwaith, fod yr amser bron a dyfod bellach, pan y gallem ymddiried Llyfr o'r GWYLIEDYDD i'r byd Cymreig heb achos iddo wrth Hysbysiad na Rhagymadrodd. Cafodd y Dywysogaeth ddigon o hamdden yn yr wyth mlynedd diweddaf i wybod yn dda am ddyben ac ansawdd ein Cyhoeddiad; ac y mae y nawdd a dderbyniasom yn ddigon o brawf fod y cyffredin yn foddlon i bob un o'r ddau. Er hyny y mae rhai amgylchiadau yn peri na adawom i'r flwyddyn hon, o holl flynyddoedd ein heinioes, fyned heibio yn gwbl ddistaw.

Ni ŵyr pawb hwyrach paham y daeth attalfa ar gylch misol ein GWYLIEDYDD o Wyl Ieuan 1829, hyd Wyl Dewi ddiweddaf. Yr oedd yn dda genym weled fod y golled o hono yn peri ymholiad y'mhlith ein cydwladwyr. Ofnai rhai fod y *coup de soleil*, yn Alban Hefin, neu ryw drange disymmwth arall, gwedi rhoddi terfyn ar ei rodfa. Tybiai eraill bod gwyr y Bala gwedi dysgu gwers oddiwrth fawrion Llundain, a throi yr hen WYLIEDYDD o'i Swydd, er mwyn rhoddi ei le i ryw warcheidwad newydd o natur y *New Police*. Y gwir oedd, i afiechyd orddiwes dau o'i gynnalwyr penaf, ac i negesouon pwysig rwymo dwylaw rhai eraill; a thybiodd yr hen wr a'i gyfeillion, mai gwell oedd iddo gilio i'w annedd am dymbor byr, fel y gallai ymdrwsio ac ymgyfnerthu erbyn cylch arall. Yn mis Mawrth chwalwyd ofnau ei garedigion, a gwelwyd, wrth ei wedd wridog a theg, bod y seibiant wedi bod o les iddo.

Nid ydym byth am anghofio i ba blaid yn y byd crefyddol y mae ein Cyhoeddiad yn benaf yn perthyn. Yr ydym yn caru ein Heglwys—nid am fod y llywodraeth yn ei noddi—nid am ei bod, fel pob sefydliad eglwysig arall, yn rhoddi bywioliaeth i'w gweinidogion:—yr ydym yn ei charu am ein bod yn gweled ei Herthyglau yn ol ysbryd Gair Duw, yn rhy gaeth i oddef penrhyddni, ac yn rhy eang i beri gormes:—yr ydym yn ei charu am ein bod yn gweled ei ffurf yn agosach i ffurf y Brif-eglwys nag un Sefydliad Pro-

testanaidd arall. Pe torid y cwlwm sydd yn ei rhwymo wrth y llywodraeth y foru, ni chyssegrem ni ein gwasanaeth gwael at weinidogaeth un allor ond ei hallor hi. Ond er ein bod yn teimlo fel hyn yn wresog dros ein Heglwys hybarch, anfynych y dygasom ddaliadau neillduol ein plaid i ddalenau y GWYLIEDYDD: yr achos oedd hyn: mewn ysbryd heddychol y sefydlwyd ein Cyhoeddiad, ac yn yr un ysbryd y cafodd ei ddwyn y'mlaen trwy flynyddoedd ei hanfodiad. Y mae yn wir fod ein GWYLIEDYDD yn gwisgo cleddyf, fel y gwelir yn ei ddarlun, ond dengys ei holl ymddygiad mai cleddyf i amddiffyn, ac nid i ymosod, ydyw. Gallwn herio Ymneillduwyr, o bob enwau, i roddi llaw ar un tu dalen o'n heiddo, lle y gwelir un gair cras am danynt hwy na'u plaid: etto, gyda math o drallod y rhaid i ni ddywedyd, mai nid fel hyn yn gwbl y talwyd yn ol i ni. Cyhoeddodd y C. Gwyllt ei ystori yn nghylch ei dduw gwyn yn y Goleuad. Ymddangosodd tybiau chwyddedig Mr. H. Hughes yn ein herbyn yn ei "Ryddid y Pabyddion," a'i Gymro. Bu Mr. S. Bowen ac eraill yn gerig ateb i Mr. H. yn y Dysgedydd. A rhag bod un Cyhoeddiad Cymreig yn gwbl ddistaw, daeth un o dan yr enw Cristion allan â swrn o achwyniadau i'n herbyn yn y Seren. Atebwyd yr olaf hwn gan ein cyfaill doniol y Gwr Lleyg na bydd achos ei ateb mwy. Gallasem ninnau ateb y gweddill o'r gwrthddadleuwyr yn rhwydd pe mynasem. Nid oes un rhan o athrawiaeth na ffurf ein Heglwys nad ydym barod i'w hamddiffyn i'r eithaf—ond cyfarfu *cui bono* â ni ar ein llwybr. Yr oedd y rhan fwyaf o'r gwrthddadleuon hyn islaw ein sylw; am y gweddill, nid oeddynt ond cyfieithiadau trwsgl o Bapur Newydd Seisnig a elwir "*The World;*" Papur a osodwyd i fynu, gan rai a wnant eilun o *Ryddid barn*, o un pwrpas i ddrygliwio a difrïo pob dyn a feiddio dybied yn groes iddynt. Wrth *Ryddid barn* nid ydynt yn meddwl mwy na hyn—bod cyflawn *ryddid* i chwi gydsynio â'u barn *hwynt:* ond os meiddiwch synied yn groes iddynt, byddwch yn agored i anathema drymach nag un a fedd y Pab.

Y mae un peth arall yn gofyn ein sylw; ond ni wyddom yn iawn pa fodd i gyffwrdd âg ef yn ddigon gochelgar. Er mai hyfrydwch ein hoes ydyw amgylchu ein Sïon, myned o'i hamgylch, a rhifo ei thyrau; ac er bod ein calon yn dychlamu o lawenydd wrth weled ffyniant yn ei phalasau; yr ydym yn cael ein tristâu weithiau, hyd ddagrau, wrth ganfod *nad* oes heddwch perffaith o fewn ei rhagfur. Y'nghanol y deffroad cyffredin a welir ar grefydd yn y dyddiau hyn, yr ydym yn dïolch i'n Duw, na adewir i'n Heglwys hybarch gysgu. Y mae y zel a lanwodd ardderchog lu ei merthyri

effe yn gorphwys ar ei hen allorau; ond y mae ias yn rhedeg trwy y teimlad hwn, pan y gwelom fod peth o'r ysbryd ymbleidio a fu gynt yn fagl i eglwys Corinth heb ein gadael ninnau yn llwyr. Tra y mae *un* am ddyrchafu yr athrawiaeth wir *hon* i fynu yn benaf, y mae y *llall* am ddenu sylw pawb at athrawiaeth wir *arall*, yr hon a farna efe yn fwy anhebgorol. Tra y mae *un* yn glynu yn rhy wresog, hwyrach, wrth *hen* ddefod a rheol, y mae y *llall* yn rhy ohwannog i gofleidio rhai *newyddion*. Tra y mae y *naill* am gynnal i fynu *un* Gymdeithas Grefyddol, o herwydd ei bod yn *oedrannus*, y mae y *llall* am gynnal cymdeithas *arall*, o herwydd ei bod y'nghanol bywiogrwydd ei *hieuengctid*. Tra y mae *un* am ddilyn cyfarwyddiadau ei Flaenoriaid mewn pob peth bach, nes anghofio fod ganddo gydwybod ei hun, y mae *arall* am ddilyn ei fympwy ei hunan y'mhob peth, nes anghofio ei fod yn Weinidog *Eglwys Esgobaethol*. Tybiodd y GWYLIEDYDD nad oedd llawer o bwys yn y gwahaniaethau hyn, tra y byddai y galon yn ddifefl y'ngwaith yr Arglwydd; tybiodd na allai efe wneuthur gwasanaeth gwell i'r achos goreu na thrwy ymdrechu cadw undeb yr ysbryd y'nghwlwm tangnefedd; ac, felly, gochelodd ymrwymo wrth un blaid mwy na'i gilydd; llafuriodd i heddychu a gwasanaethu y ddwy. Gan ein bod yn gweled mai *hwn* ydyw yr unig Gylchgrawn a fedd ein Heglwys Gymreig, barnasom mai yn *hwn* yr oedd y lle cymhwysaf i ddadleuon Eglwyswyr ymddangos. Agorasom ein dalenau i Ohebwyr o'r ddwy blaid; a rhoddasom iddynt roesaw, tra y byddai iddynt ddadleu heb ymgildynu, a goddef gwrthddadl heb ddigio; tra y byddai iddynt gadw gwersig yr Areithydd Lladinaidd mewn golwg, *Refellere sine pertinaciâ, et refelli sine iracundiâ*. Yn hyn oll ni roddodd y GWYLIEDYDD ei *farn ei hun* o blaid daliadau un ochr mwy na'r llall. Cam âg ef ydyw priodoli iddo dybiau na arddelwyd ganddo. Y mae yn rhaid fod golygiadau gwahanol mewn pob dadl; ac afresymol ydyw dywedyd bod unrhyw Gylchgrawn, lle y cyhoeddir dadl, o'r un farn a phob peth a ymddangoso yn ei ddalenau. Yn unol â'r ysbryd ammhleidgar hwn rhoddasom le i Ohebiaeth *Philalethes*, a'r *Hen Eglwyswr;* yn unol â hwn rhoddasom le i'r ddadl rhwng *Calonrwydd* a *Hooker*. O ein Hooker! ein Hifor! "Ei enw ddeffrôdd alarnadau." Ofer i ni mwyach ddisgwyl gweled ei ysgrifen gref, adnabyddus, y'mhlith ein llythyrau; y mae y llaw a'n hanrhegai gynt, heddyw yn llwch a lludw! Ofer i ni, pan gaffom wythnos o wyl yn ein Swyddfa—ofer i ni droi at Geri mwy —nid ydyw ein Hifor yno! Ond nid anghofiwn byth yr oriau y buom y'nghyd, yn rhodio cloddiau yr hen gaer oedd uwch ei annedd, neu yn dringo y llwybr troellog a arweiniai i fynu at ei ddeil-

dy ef a'i Nest dirionaf. Mynych, wrth ddringo, y safai ar y llethr, i son am erchylldra hen flynyddoedd o waed a thywyllwch, neu ynte i lunio rhyw drefn er gwella y genedl sydd yn codi: ond nid ydyw yno heddyw. Yr angeu dideimlad, digywilydd, a'i lladratodd o fynwes y Dywysogaeth, ac a'i cuddiodd o dan len o dyweirch oerion. Mynych, mynych, yn ein halaeth y cymhwyswn ato eiriau ein hoff *Eirionydd:*

"O! ni phwysodd daear laswerdd
  Ar dynerach bron erioed,
Ac ni sathrodd angeu creulon
  Burach calon dan ei droed!"

Etto y mae swn cysur yn llorfdant ein Pencerdd hybarch,

"Bro dangnef yw haddef hwn,
"Amddifaid, ymddefwn!"

Maddeued y darllenydd i ni am dywallt hyn o ddagrau ein calon ar fedd un a garem gymmaint.

Gwyddom fod un o'r Gohebwyr hynaf a goreu a feddem wedi digio wrthym, am i'ni, yn yr ysbryd ammhleidgar a enwyd, roddi lle i Ofyniadau ac Atebion Seisnig *Rhywun.* Gŵyr yn dda fod ein Cyhoeddiad yn agored i *Rywun arall* roddi gwrthateb iddynt, os myn; ac yn wir nid heb ryw ddisgwyliad o'r fath y rhoddasom gongl iddynt. Nid ydym yn cofio i neb wrthwynebu y ddadl noddedig rhwng *Calonrwydd* a'r diweddar *Hooker.* Pan gyhoeddasom Ohebiaeth *Rhywun,* nid oeddym yn ei hystyried ond megys *attodiad* i'r ddadl hòno. Yr ydym yn gwir gredu, pe gwrthodem bob peth o'r natur hyn, y collai ein Cyhoeddiad lawer o'i ddefnyddioldeb. Yn yr ysbryd mwyaf serchog a Christionogol dymunem ofyn i'n cyfaill, "Ai da yw y gwaith ymddigio o honot?" "Pa ddrwg a wnaethom?" Ond nid ydym heb obaith cryf y cawn etto cyn hir ei rifo y'mhlith ein cydlafurwyr mwyaf doniol a ffyddlon. Os gommedda i ni y pleser hwn, ni all ein gommedd o un pleser: cawn ni a'n darllenwyr, yn mhrydnawn ein dyddiau, droi dalenau y GWYLIEDYDD am yr wyth mlynedd diweddaf, a derbyn budd a dywenydd wrth ail ddarllen y llythyrau aml a ysgrifenodd i ddynoethi coelgrefydd ein gwerin, ac i ddwyn goleuni newydd ar lawer rhan anamlwg o lyfr Duw. Gŵyr nad oes genym un dyben bydol wrth gynnal y GWYLIEDYDD ar droed: rhoddem ef i fynu heddyw pe gwelem ryw Gyhoeddiad arall, gwell er les ein Heglwys a'n cenedl, wedi ei sefydlu. Hyd nes y gwelom hyny, yr ydym yn penderfynu peidio ymollwng dan y GWYLIEDYDD; gan fod yn haws cynnal a diwygio yr hwn *sydd,* na chyfodi yr hwn *nid yw.*

Y mae un holiad yn ein cyfarfod, trown ein golwg i'r man y mynom o'r Dywysogaeth, "Pa le y mae Garmon?" Gwyn ein byd pe gallem ateb, "Yn y GWYLIEDYDD."* Onid ydyw ein Gohebydd enwog yn adnabod ein llais?

Ddarllenwyr! Dylem ofyn eich maddeuant am eich blino â Rhagymadrodd mor faith. Ni oddefai ein sefyllfa a'n teimladau presennol i ni ddywedyd llai. Yr ydym yn gwynebu ar flwyddyn newydd gyda phenderfyniad newydd i wneuthur ein Cyhoeddiad, hyd y mae ynom, yn deilwng o'ch nawdd a'ch derbyniad. A bydded iddo EF, "heb yr hwn nid oes dim nerthol, na dim sanctaidd," ein cyfarwyddo, a rhoddi ei fendith ar ein llafur.

Y CYHOEDDWYR.

PENTREF Y GWYLIEDYDD,
*Tachwedd* 12, 1830.

# Y CYNNWYSIAD.

A.

# Y GWYLIEDYDD.

## IONAWR, 1829.

### ORIAU YSGRYTHYROL.

Yn yspaid y flwyddyn ddiweddaf cyhoeddwyd mewn amryw Rifynau o'r *Gwyliedydd* sylw-nodau eglurhaol ar yr Epistolau, a rhai mannau eraill o'r Ysgrythyr. Rhybuddiwyd y darllenydd mai amcan yr eglurhadau hynny oedd casglu allan o waith ymdeithwyr ac awduron dwyreiniol y cyfryw hanesion ynghylch ansawdd a defodau y ddwyrein-wlad, ag a esponiai amryw bethau tywyll a chwithig, oblegid eu bod yn anghysson âg arferion ein gwlad ein hunain. Mewn perthynas i sylwadau moesawl neu dduwiniaethol, nid amcanodd y cyfansoddwr eu cynnwys yn ei gasgliadau, *o ran*, oblegid y byddai helaethder y cyfryw sylwadau yn anghyttun â'r terfynau a ganiattai y Cyhoeddwr iddo, ac â'r amrywiaeth a weddai i'r Cyhoeddiad ei hun, *ac o ran*, oblegid y gallai y darllenydd dysgedig eu caffael i radd fanylach a mwy cynnwysfawr mewn llyfrau a ysgrifenasid i'r perwyl arbennig hwnnw. Barnwyd hefyd y byddai chwedlau hanesawl o'r fath hyn yn fwy boddlonawl gan lawer, o herwydd eu bod yn cymmysgu addysg a diddanwch ynghyd; addysg ynghylch ymadroddion tywyll ysgrythyrawl, a'r diddanwch o ddarllen arferion pobloedd dwyreiniol, y rhai a amrywient gymmaint oddiwrth yr eiddom ein hunain. Clywsom gan ambell un fod llawer yn ymhoffi yn yr hanesion eglurhaol hyn, ac oblegid hynny, penderfynodd yr ysgrifenydd presennol, yn ol y cynllun a osododd *Z.* o'i flaen, osod allan o amser i amser sylwadau olynol ar y Prophwydi lleiaf, o Hosea hyd Malachi. Y mae byrder yn y pethau hyn mor ddymunol, fel y dewisir, nid cwbl foddloni y darllenydd, ond yn hytrach codi blys, fel yr elo at lyfrau eraill manylach a dysgediccach.

Hos. ii. 6. "*Mi a gauaf i fynu dy ffordd di â drain.*"—Ymadrodd diarebawl ydyw hwn yn cyfeirio at arfer gyffredin o gau i fynu adwy gyda drain neu fagwyr. Ond grymmusder cyflawn yr ymadrodd ni ddeallir ddim heb ystyried ansawdd y gwrychoedd draeniog neu bigog arferol yn ngwlad Canaan, a gwledydd dwyreiniol eraill. Gwnaed y gwrychoedd hyn mor gedyrn, fel y gallent fod yn amddiffynfeydd, y rhai y byddai yn anhawdd iawn, os nid yn annichonadwy, i'w gelynion ruthro drwyddynt. Dywed *Du Tott* fod y ffigysbren Indiaidd, defnydd ei gwrychoedd, yn gwneuthur attal-gae anorfod er diogelwch eu meusydd. Felly ymdeithydd diweddar, Mr. *Buckingham*, a ddywed, "Fel yr oeddym yn marchogaeth drwy Rihhah, gwelsom mai treflan fechan oedd hi yn cynnwys oddeutu deg a deugain o drigfannau, gwaelion yr olwg, a phob un wedi eu

hamgau â gwrych drain, pryd yr oedd yr unrhyw wrych yn amgylchu yr holl dref. Argae mwy effeithiol yn erbyn rhyfelgyrch y marchogion Arabaidd, yr unig elynion sydd achos iddynt eu hofni, ni's gellid ei wneuthur, oblegid ni nesa y march at yr amddiffynfeydd blaen-llymiog hyn, ac ni ddichon, ïe, i'r marchogydd ei hunan wedi disgyn i lawr, fyned yn hawdd drostynt.

Hos. iii. 2. "*Homer o haidd.*"—Yn y dwyrain arferant brynu âg arian fenywod, pa un bynnag ai yn wragedd parhaus, neu wragedd dros amser, ac ordderch-wragedd. Ond heblaw y swm o arian a gyttunir ei dalu, enwir hefyd ryw faint o ŷd sydd i'w roddi dros ben. Felly dywed *Chardin*, a hyn sydd yn eglurhau yr achos paham y pryna Hosea y wraig hon am bymtheg darn o arian, ac *homer a hanner o haidd.*

Hos. iii. 4. "*Teraphim.*"—Delwau neu luniau eu cyndeidiau oedd y rhai'n, y rhai a gadwent yn eu tai, naill ai i ymofyn â hwynt fel oraclau, neu eu haddoli megis duwiau. Gwnaed hwynt yn gyffredin o aur neu arian. Enwir hwynt yma gyd âg offerynau eraill perthynol i eilun-addoliaeth. Cyflawnwyd y bygythiad yn yr adnod hon yn gwbl gywir a rhyfeddol er dyddiau Titus Vespasian. Y mae yr Israeliaid heb frenhin priodol iddynt eu hunain, heb offrymmu yn ol cyfraith Moses, heb ymgofleidio â'r grefydd Gristionogol, ac heb ymroddi i'r eilun-addoliaeth y byddai eu henafiaid mor dueddol iddo.

Hos. iv. 12. "*Eu ffon a ddengys iddynt.*"—Cyfeiria y prophwyd yma at ffordd o swyn-gyfareddu a wnaed yn y modd canlynol:—Byddai yr ymgynghorydd yn mesur wrth ei rychwant, neu wrth hŷd ei fys, gan ddywedyd wrth fesur, "Mi a âf neu nid âf, mi a wnaf neu ni wnaf;" ac megis y troai y rhychwant olaf allan, felly y penderfynai. Rhydd eraill hanes arall am yr arfer. Dywedant mai cymmeryd dwy ffon a wnaed a'u gosod i fynu, ac yna, wedi adrodd rhyw eiriau swyn-gyfareddawl, megis y syrthiai y ffyn yn ol neu ym mlaen, i'r dehau neu i'r aswy, felly y penderfynent yn yr achos.

Hos. vi. 4. "*Yn ymado—— fel gwlith boreol.*"—Dywed y Dr. Shaw, gan lefaru am Arabia, Cyn drymmed yw y gwlith fel y gwlychid ni at y croen mewn un nos, pan na fyddai gennym orchudd uwch ein pennau; ond cyn gynted ag y codai yr haul, ac y lled-boethid yr awyr, buan iawn y chwelid y niwl, ac y sychid y gwlybaniaeth helaeth ar y tywod.

Hos. viii. 11. "*O herwydd amlhau o Ephraim allorau i bechu.*" Nid digon y cyfrifai yr hen eilunaddolwyr wasanaethu un Duw, neu aberthu ar un allor, eithr amlhaent eu duwiau a'u haberthau hefyd. Cymmerent bob cyfleusdra i chwanegu at y nifer. Byddai y Rhufeinwyr yn hyned am wneuthur allorau newyddion pan ddigwyddai iddynt wynfyd neu anffawd rhyfeddol. Wedi eu dychrynu gan ddaear-grynfa, hwy a amlhasant eu haberthau, eithr yn eu hansicrwydd ynghylch yr awdwr, peidiasant ag enwi un duw yn neillduol. Cyttun yw hyn âg arfer yr Atheniaid yn adeiladu allor *i'r Duw nid adwaenir*. Gofalent yn fawr wedi gweddïo ar bob duw y clywsent eu enw neu sôn am dano, ddeisyfu maddeuant hefyd y duwiau *nad* adwaenent, neu y sawl drwy angof a esgeulusasent ofyn eu cymmorth.

Hos. xi. 2. "*Delwau cerfiedig.*"—Darllenir yn fynych iawn am ddelwau cerfiedig a delwau tawdd, ac arferir y geiriau mor gynnefin i arwyddoccau delwau eilunaidd, fel na byddai fuddiol eu cyfnewid, er nad ydynt yn arwyddoccau i ni yn berffeith-gwbl ystyr y geiriau Heb-

raeg. Nid oedd y ddelw gerfiedig yn rhywbeth wedi ei gerfio mewn metel drwy erfyn y gweithiwr, yr hwn a alwn ni yn gerfiwr; ac nid peth wedi ei doddi a'i lunio mewn cynllun oedd yr hyn a elwir yn ddelw dawdd. Yr un peth dan ddau enw (medd yr Esgob Horsley) oedd y ddelw gerfiedig a'r ddelw dawdd. Y mae yn eglur oddiwrth y prophwyd Esay, fod delwau yr hen eilun-addolwyr wedi eu llunio yn gyntaf o goed gan y saer. Amdôid y ddelw hon â dalenau o aur neu arian, ac ysgatfydd, metel gwaelach, a phan y cwbl orphenid, gelwid ef yn *ddelw gerfiedig*, o herwydd y gwaith pren gan y saer, ac yn *dawdd ddelw*, o herwydd y metel â'r hwn yr amdôid ef oddi allan Ambell waith cymmwysir y ddau air at yr un ddelw. *Torraf——y gerfiedig a'r dawdd ddelw*. *Nahum* 1. 14. A thrachefn *Hab*. 2. 18. Y mae y gair *tawdd* yn arwyddocau toddi, eithr ystyr y gair yn Hebraeg yw amdoi neu orchuddio, pa un bynnag a fyddis yn gwneuthur hynny gyda gorchudd o liain, neu doddi y metel, neu hefyd ei guro yn ddalenau â morthwylion. Yn yr ystyr dau-ddyblyg hwn y gelwir delw Michah yn *ddelw gerfiedig a thoddedig*.

Hos. xi. 4. "*Megis y rhai a godant yr iau ar eu bochgernau*."—Cyfeirir yma at yr arfer o godi i fynu yr iau, a'i symmud ym mlaen ar yddfau anifeiliaid wrth lafurio, fel yr oerer ac y difliner y mannau hynny, y rhai heb y cyfryw ofal a boethent, ac a elent yn afiachus.

Hos. xii. 1. "*Olew a ddygwyd i'r Aipht*."—Lloegir yn awr yn y dwyrain olew er anrhydedd y marw, a thybir mai un o ddefodau crefyddol yr hen Aiphtiaid oedd arferu olew mewn addoliad ynfyd ger bron eu perthynas meirw. Dywedir am ddinasyddion Algiers pan aeiant at lennydd y môr, lle y claddwyd un o'u Saint, y taflant drosodd i'r môr rwym-faich bychan o ganhwyllau cwyr a *chrochanaid o olew* er anrhydedd y Sant.

Hos. xiii. 15. "*Daw gwynt yr Arglwydd o'r anialwch——a'i ffynnonell a sych, a'i ffynnon a â yn hesp*."—Dywed philosophydd Seisnig, "fod newidiad gwynt yn effeithio ar ffynnonydd dyfroedd, ac yn peri iddynt leihau neu ychwanegu yn amgenach nag a ddisgwylid oddiwrth drefn gyffredin natur. Anhyspys yw hyn i lawer, ond cyfeirir atto gan y prophwyd Hosea."

Hos. xiv. 5. "*Byddaf fel gwlith i Israel*."—Prydferthwch yr ymadrodd ni's gellir ei gyflawn wybod heb i'r darllenydd megis symmud ei hun i wlad boethlyd Judea, lle y maent dros fisoedd lawer heb gawodydd gwlaw, a phob planhigyn ym mron a marw o syched. Mor adfywiol y pryd hynny yw gwlith helaeth y dwyrain y soniwyd o'r blaen am dano! y cyfryw adfywiad a fydd Duw i'w bobl Israel.

Hos. xiv. 6. "*Ei arogl fel Libanus*."—Dywed yr ymdeithydd Maundrell, fod *arogl peraidd*, nid yn unig ar y cedrwydd, ond hefyd ar y planhigion gwyrdd-las, y rhai yn helaeth a orchuddiant ochr y mynydd. Yr olwg arno hefyd sydd yn brydferth iawn.

Hos. xiv. 7. "*Bydd ei goffadwriaeth fel gwin Libanus*."—Rhoddir canmoliaeth tra mawr gan ymdeithwyr i win Libanus. Dywed un, "Bu y patriarch (neu bennaeth y monachdy) yn llawen iawn gyda ni, a rhoddes i ni rai costrelau o win, o'r hwn yr yfasom gryn lawer, a'r cyfryw, rhaid i mi addef, na phrofais erioed ei gyffelyb." Dywed un arall, "Canobim sydd fonachdy clodfawr ar fynydd Libanus, ac y mae y lle yn fwy dewisol na phob lle arall, o herwydd hyn, sef, bod y gwin yn rhagori ar yr hyn a geir

ym mhob man arall o'r byd. Gwin coch yw, prydferth yr olwg, ac mor olewaidd, fel y bydd yn glynu wrth y gwydrau: oblegid hyn yr arfera Hosea y gyffelybiaeth ganlynol—'Bydd ei goffadwriaeth fel gwin Libanus.' Y mae ganddynt win arall heblaw hwn, ond nid oes cymmaint llawnder o hono. Gan y rhoddai y patriarch barch mawr i mi, y gwin hwn a yfem yn gyffredin. Yr oedd efe mor dda, fel nad archwaethais erioed ddim cystal." Dywed trydydd ymdeithydd, "Pan ddaethom i fonachdy Canobim ym mynydd Libanus, clywsom fod y rhan fwyaf o'r monachod wedi myned oddi cartref i'r cynhauaf gwin. Gwahoddwyd ni er hynny yn roesawus i lettya, a gosododd henafgwr pennaf y tŷ brydnhawnfwyd helaeth o wyau ac olewydd o'n blaen. Ond y cyfryw oedd blas rhagorol y gwin, fel y byddai anhawdd caffael ei gyffelyb, a da yr haedda y ganmoliaeth a roddir iddo gan y prophwyd Hosea."

Γ.

---

## LLYTHYR HEN WEINIDOG AT GYFAILL IEUANGC NEWYDD EI URDDDO.

*Fy Nghyfaill Anwyl a Pharchedig,*—Dymunaf i chwi lawenydd o'ch swydd oruchel, a ffyddlondeb ynddi, fel y galloch roddi cyfrif o'ch goruchwyliaeth gyda mwy llawenydd nag y cymmerasoch afael ynddi. Gan fy mod yn hŷn yn y weinidogaeth, ac yn eich caru yn ddiffuant, hyderaf y cymmerwch fi yn esgusodol am gynnyg i chwi ychydig gynghorion. Yn flaenaf, ymdrechwch gael profiad parhaus o'r gwirionedd yn eich enaid eich hun. Edrychwch gartref o flaen pob peth. "Gwrthun (ebe hen ŵr parchus) yw ymddygiad y gweinidogion a geisiant ddal wyneb y drych at eu cynnulleidfa, a dal ei gefn attynt eu hunain." Yr hwn a ddisgwylio fod o fudd i eraill, edryched atto ei hun.

Darllenwch yn aml yr urddwasanaeth, fel y canfyddoch ac y dwys ystyrioch bwys y gorchwyl a gymmerasoch mewn llaw. Ar y naill law, nid oes swydd mwy anrhydeddus yn bod ar y ddaear nag eiddo gweinidog diwyd, ffyddlon, a chydwybodol; ar y llaw arall, anodd dirnad cyflwr mwy gresynus ac ofnadwy na chyflwr y gweinidog esgeulus ac anffyddlon; gofynir ar ei law ei waed ei hun, ac eiddo ei blwyfolion, os byddant feirw trwy ei esgeulusdod ef. Yn bennaf oll, darllenwch y Bibl, yn neillduol yr Epistolau at Timotheus ac at Titus, canys y maent yn cynnwys y cynghorion a'r cyfarwyddiadau mwyaf eu pwys i bob gweinidog. Darllenwch hwy gyd âg ympryd a gweddi.

Gweddïwch yn ddibaid. Byddwch gadarn yn yr Ysgrythyrau, a thaer wrth orsedd-faingc y gras. Gweddïwch am gyfarwyddyd yr Yspryd, cariad diffuant at eich cynnulleidfa, ac argraph ddwfn ar eich meddwl o werth eneidiau. Yn eich rhodiad rhoddwch siampl dda ym mhob peth. Hyd y mae modd, byddwch heddychlon â phawb. Yn eich pregethau, ceisiwch fod yn ddefnyddiol yn hytrach na synnu eich gwrandawyr; syml a dirodres: hawdd yw dweud pethau dyfnion a chywrain, ond yn hytrach ceisiwch chwi les ac adeiladaeth eich pobl. Boed yr athrawiaeth yn bur, fel y bo iachus: pregethwch Grist, a hwnnw wedi ei groeshoelio. Gwasgwch hefyd at gydwybodau 'r gwrandawyr amryw ddyledswyddau perthynol i bob sefyllfa. Na ddarllenwch weddïau a gwasanaeth yr Eglwys yn esgeulus, nac ar ormod ffrwst; eithr yn ddifrifol ac yn barchus, fel nad anghofio 'r bobl mai tŷ gweddi yw

eglwys Dduw. Byddwch ddyfal bob cyfle a gaffoch i ymweled â'r cleifion, a byddwch ffyddlon tu ag attynt. Edrychwch er ei mwyn hwy a chwithau, beidio gwenieithio iddynt. Na cheblwch enw o grefydd yn y byd os ydyw yn dal athrawiaeth iachus. Gweddïwch bob dydd o'ch bywyd dros eich cynnulleidfa. Byddwch dangnefeddwr. Ymdrechwch feithrin yspryd cariad ac undeb rhwng y rhai fyddo yn ymrafaelio. Gan ddymuno a gweddio am eich llwyddiant——
Ydwyf, P. B.

---

ANNERCHIAD Y FLWYDDYN 1828.

*Y Gwyliedydd Hybarch,*—Clywais lawer yn fy nydd am eich boneddigeiddrwydd a'ch hynawsedd, ac o herwydd hynny yr anturiaf ofyn un gymmwynas gennych cyn fy marw. Dir yw nad oes fawr neb mor anwar na wnant eirchiad y marw; os felly, yr wyf yn sicr na wnewch chwi esgeuluso fy neisyfiad innau: am hynny, cyhoeddwch y llythyr canlynol a ysgrifenais at fy chwaer, *Miss Un Mil Wyth Gant a Naw ar Hugain.* Cyn y daw hwn i'ch llaw chwi byddaf fi wedi dilyn fy hynafiaid a marw.——Bydd wych, Wyliedydd hybarch.——
Ydwyf, eich cyfeilles hyd angau,
1828.

*Fy Chwaer anwyl a hoff,*—Er nas gwelais ac nas gwelaf chwi, etto, gan ein bod yn blant i'r un rhïeni, yn llaw-forwynion i'r un arglwydd, ac i ddilyn ein gilydd yn yr un gwasanaeth, nid allaf lai na'ch cyfarch â'r ychydig linellau canlynol:—

Dymunaf o'm calon i chwi ragori arnom oll ym mhob rhinwedd a daioni. Er bod Goruchwylwyr, fel y gwyddis, yn marw, ac yn cyfnewid, etto y mae eu harglwydd yn aros, ac felly y mae llyfrau y cyfrifon: yn lled debyg i hyn y mae hi gyda ninnau; canys er ein bod ni yn marw, y naill ar ol y llall, etto y mae ein Harglwydd yn aros yr un, ac felly hefyd y mae llyfrau cyfrifon ei ddeiliaid. Nid wyf fi, yn y llythyr hwn, yn bwriadu son ond am y rhan honno o'r deiliaid y rhai a siaradant yr iaith yr ysgrifenaf ynddi. Am y rhai hyn mi a ddywedaf ychydig. Fe fu yn ystod fy ngoruchwyliaeth beth cyfnewidiad ym mhlith y deiliaid: aeth rhai ymaith, a daeth eraill o ddieithriaid megis i'w lle; ond nid yw yn arferol, yn ein plith ni, roddi neb o'r deiliaid newyddion yn llyfr y cyfrif dros ychydig o'r blynyddoedd cyntaf. Y mae amrywiaeth mawr ym mhlith y bobl hyn; ond, er hynny, fe ellir eu dosbarthu i ddau fath, sef, *gwyr llên*, a *gwyr lleÿg*, neu, fe allai, *Gweinidogion* a *Phobl.* Y mae y rhai cyntaf etto yn amrywio mewn rhai pethau oddiwrth eu gilydd, rhai fel sêr sefydlog a ymdroant o fewn rhyw gylch neillduol, eraill fel sêr gwîb a redant o eithafoedd i eithafoedd, gan ddwyn oerni neu wres i ardaloedd yn ol eu pellder neu eu hagosrwydd i'r haul. Fe allai bod y ddau fath hyn yn angenrheidiol yn y byd crefyddol fel yn y byd wybrennol; os felly, yn ddiau, fel na fwriadwyd y sêr sefydlog i niweidio y sêr gwîb, na'r sêr gwîb i ddolurio y sêr sefydlog, yn yr wybren, ond i fod yn weinyddwyr cysur a daioni y naill i'r llall, ac i adlewyrchu goleuni a gwres eu Haul y naill i'r llall, a'u preswylwyr, er adfywiad y rhannau a chynnydd y cwbl; felly ni fwriadwyd y naill na'r llall, yn y byd crefyddol, i flino, i niweidio, a dolurio, eu gilydd; ond i gysuro, nerthu a chynnorthwyo, y naill y llall, "i adlewyrchu pelyderau gogoniant eu Haul ar drigolion bro a chysgod angau, i berffeithio y saint, ac adeiladu corph Crist, hyd oni ymgyfarfyddont oll mewn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw." Y mae y rhai hyn oll, er eu hamryw am-

rywiaeth, yn Llyfr y cyfrifon, ac y mae yn ofid gennyf orfod dywedyd, wrth ymadael, bod rhai o bob un o honynt yn ddwfn ynddo hefyd. Myfi a roddais iddynt oll, fel y gwnaeth y rhai a fu o'm blaen, lawer o roddion a thrugareddau, er i mi orfod gyrru ceisbwliaid, afiechyd o'r fath hyn neu arall, at rai o honynt, a thaflu eraill i'r carchar cyffredin hyd y *Session* fawr. Chwi a welwch, pan ddarllenoch y Llyfrau, fel y mae cyfrifon y rhai sydd yn aros yn sefyll. Ar ol darllen, fe ddeallwch mai CENHADAU dros ein Harglwydd yw y bobl hyn, ac y dylent hwy, yn ddiau, fod yn dra eiddigus dros ogoniant eu Harglwydd, a dangos pob diwydrwydd er cynnal ei lywodraeth ef, a helaethu ei therfynau, a gorchymynwyd iddynt "bregethu y gair, a bod yn daer mewn amser, ac allan o amser, i argyhoeddi, i geryddu, ac annog gyda phob hir-ymaros ac athrawiaeth;" i fod yn "esampl i'r ffyddloniaid, mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, mewn ysbryd, mewn ffydd, mewn purdeb; i fyfyrio ar y pethau hyn, ac i aros ynddynt, fel y byddai eu cynnydd yn eglur i bawb;" i wylio arnynt eu hunain, ac ar yr athrawiaeth, fel y byddai iddynt gadw eu hunain, a'r rhai a wrandawent arnynt: ac y mae llawer o honynt wedi addaw yn gyhoedd, ger bron Duw a'r bobl, athrawiaethu y bobl a ymddiriedwyd i'w golygiaeth allan o'r Ysgrythyrau, ac na ddysgant ddim (megis angenrheidiol i iachawdwriaeth dragywyddol) ond a fo diogel ganddynt, a ellir ei gasglu a'i brofi o'r ysgrythyr; ac hefyd roddi diwydrwydd ffyddlon bob amser i weinyddu athrawiaeth, sacramentau, a disgybliaeth Crist, megis y gorchymynodd yr Arglwydd; ac y byddant barod, trwy bob ffyddlondeb a diwydrwydd, i ddeol, ac i darfu ymaith bob cyfeiliornus a dieithr athrawiaeth a fo yn gwrthwyneb i air Duw; ac yr ymarferant roddi yn wastad rybuddion a chyngorion cyhoedd a dirgel, yn gystal i'r claf a'r iach o fewn eu cûr, megis y byddai angen yn gofyn, ac achlysur yn cael ei roddi; ac, hefyd, y byddant ddyfal i weddio ac i ddarllen yr Ysgrythyr Lân, ac i ddilyn y cyfryw astudrwydd ag a hyfforddiai wybodaeth yr unrhyw, gan ddodi heibio ofal dros y byd a'r cnawd, ac y byddont ddiwyd i lunio a ffurfio eu bucheddau eu hunain, a'u teuluoedd, wrth athrawiaeth Crist, ac i wneuthur eu hunain, a hwythau, hyd y bo ynddynt, yn flaenoriaid ac esamplau iachol i ddiadell Crist." Y mae y lleill wedi gwneuthur addewidion ac addunedau cyhoedd, cyffelyb o ran yspryd i'r rhai uchod, er nad yr un o ran geiriau. Yn awr, myfi a roddais i'r rhai hyn oll *Dri chant a thrugain a phump* o ddyddiau, ac ym mhob un o'r dyddiau hynny *bedair ar hugain* o oriau, ac yr oedd ym mhob un o honynt amser i gyflawni rhai o'r addewidion uchod yn y dirgel neu yn y cyhoedd. Ond chwi a welwch, fy chwaer, pan ystyrioch y llyfrau, pa fodd y treuliodd llawer o honynt y dyddiau a'r oriau uchod. Ni ddarllenasant gymmaint o air Duw ag a ddarllenasant o'r newyddiaduron; ac nid yw yn ymddangos bod nemawr o ofal yn eu meddwl pa un ai yw yr hyn a bregethant yn ol y gair ai nid yw, digon os yw yn ol eu mympwy a'u meddwl hwy eu hunain; a phan gydmerid hwy â'u haddewidion, fe 'u caed yn dra annhebyg. Y mae y llyfrau yn dywedyd mai pobl euog ynt. Y mae y llyfrau yn golofnau, a cholofn yn briodoledig at ryw un peth, megis colofn i gadw cyfrifon y dirgel, a cholofn i gadw cyfrifon y cyhoedd; un i'r sabboth, ac un i ddyddiau yr wythnos; un i'r dyledswyddau tu ag at Dduw, un arall i'r dyledswyddau tu ag at ddyn, ac un arall i'r dyledswyddau tu ag at

y teulu. Chwi a welwch, pan ddarllenwch, fod yr holl golofnau yn gofyn y bobl hyn; ac yr wyf wedi gorfod, y dydd olaf o'm harosiad yn eu plith, ysgrifenu, ar ddalenau eu cyfrifon, *yn ddyfnach eleni mewn dyled nag erioed*. Ond chwi a welwch hefyd, pan graffoch, bod llawer o'r rhan hon o ddeiliaid ein Harglwydd yn edrych yn gydwybodol a llafurus am gadw yr addewidion a'r addunedau a wnaethant; ac os cydmerwch y llyfrau â'u gilydd am flynyddau yn ol, chwi a welwch bod eu rhifedi yn mawr amlhau, ac, yn wir, a dywedyd fy meddwl yn ngwyneb marw, yr wyf yn barnu bod "lefain yn y clamp does a lefeinia y cwbl." Os dilynwch y rhai hyn, chwi a'u cewch yn fynych yn eu Biblau, yn fynych ar eu gliniau, yn fynych yn hunan-ymholi; y maent yn myfyrio ar y pethau hyn, ac yn aros ynddynt, ac yn cynnyddu. Os edrychwch y llyfrau, a rhedeg dros eu colofnau, chwi a welwch yno yn ysgrifenedig, gan law ein Harglwydd, âg ingc coch, ym mhob colofn, *wedi talu y cwbl; rhydd, rhydd, rhydd, oddiwrth yr holl ddyled:* ond i lefaru yn iaith y duwinydd, "y mae gwaed Iesu Grist, ei Fab ef, yn eu glanhau oddiwrth bob pechod." Gwnewch yn fawr, fy chwaer, o'r rhai hyn, a chofiwch y mae ein Harglwydd am eu hanrhydeddu.

Ond gadewch i mi ddywedyd ychydig wrthych hefyd, cyn dibennu, am y rhan arall o'n deiliaid, sef y *Bobl*. Chwi a ddeallwch, wrth y cof-lyfr, ar ba ammodau y derbyniwyd y rhan fwyaf o honynt i blith y deiliaid yn eu hieuengctid; ond er eu bod yn awr, llawer o honynt, yn hen ac yn penwynnu; etto, nid oes angeol yn y byd, am a welais i, yn ddirgel na chyhoeddd, eu bod wedi nen yn meddwl am yr ammodau a'r addewidion hynny. Edrychant arnynt, y mae yn debyg, fel pethau defawd ac arfer. Rhoddais iddynt *ddeuddeg a deugain* o Sabbothau i ystyried y pethau hyn ac eraill a berthynant i'w heddwch, a chawsant gyfleusderau heb rif i gyrraedd gwybodaeth o honynt. Y mae dyledswyddau ar y rhai hyn, fel y gwelwch yn y llyfr, tu ag at Dduw yn y dirgel ac yn y cyhoedd; ac y mae arnynt ddyled tu ag at eu cymmydog yn ddirgel a chyhoeddus: y mae dyled ar blant tu ag at eu rhïeni, a rhïeni tu ag at blant; gweision tu ag at eu harglwyddi, a'u harglwyddi tu ag attynt hwythau; gwyr tu ag at y gwragedd, a gwragedd tu ag at y gwyr. Os edrychwch y colofnau ar gyfer y rhif amlaf o'r bobl hyn chwi a'u cewch yn llawn o ofynion yn eu herbyn. Dyled sydd ar eu cyfer ym mhob tu dalen, ac ym mhob colofn yn y dalennau; rhybuddiais hwynt lawer gwaith, mewn llawer modd, am y pethau hyn; ond ni lwyddais gyda y rhan fwyaf o honynt: etto, er hyn, mi a welais rai yn fy oes, trwy y moddion a arferwyd, yn deffroi megis o gwsg, ac yn dechreu ystyried ym mha gyflwr yr oeddynt, ac wedi gweled enbydrwydd eu cyflwr, hwy a syrthiasant i lawr ger bron eu Harglwydd, ac ymbiliasant o'i flaen mewn gofid nid bychan o herwydd eu hanystyriaeth a'i ffrwythau, am iddo "faddeu eu holl anwiredd, ac iachau eu holl lesgedd;" ac efe a ysgrifenodd â'i law yn y llyfr, mewn ingc coch, ar gyfer eu henwau, "Nac ofnwch, maddeuwyd eich aml bechodau:" ac yn awr nid yw y llyfrau yn eu gofyn, y maent wedi eu rhyddhau oddiwrth yr holl ddyledion gynt i'w herbyn, a diau y dywedwch, "Gwyn fyd y neb y maddeuwyd ei drosedd, ac y cuddiwyd ei bechod."

Y mae pethau hyd yn nod yn y *Bobl* hyn a'n blina, yr hyn nid oedd yn blino ein hynafiaid. Y mae yn y dyddiau diweddaf hyn ormod rhwysg yn cael ei roddi i yspryd

ymrannu. Pwy, wrth edrych ar agwedd allanol pobl grefyddol, na ddywed, wele "deyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun?" ond gobeithio na ddywed neb y dilyn y rhan arall. Cynghorwch y *Bobl* hyn fel y maent yn caru achos Crist, ac yn dymuno ei lwyddiant yn y byd, ar iddynt ymdrechu a gwthio trwy lawer o rwystrau, i gadw undeb a brawdgarwch Cristionogol: "canys un Duw sydd, ac un Cyfryngwr: un ffydd, un bedydd," ac un nefoedd. Ffrwythau ymraniaeth yw hunanoliaeth, athrodi, cynfigen, cynhenau, ac angharíadoldeb, &c. Nid oes gennyf ond ychydig oriau yn hŵy i fyw; y mae fy nyddiau wedi darfod, ac yr wyf megis â'm hanadl diweddaf yn dymuno arnoch, fy chwaer, rybuddio y dyledwyr, a dywedyd, trwy ryw foddion, wrthynt am y perygl o farw yn y cyflwr hwnnw: dywedwch hefyd wrthynt am yr hwn yn unig a ddichon faddeu pechodau, sef Iesu Grist: annogwch hwynt i fyned atto fel y dilëer eu pechodau: dywedwch wrth y lleill am gofio y rhwymau sydd arnynt i'n Harglwydd, a'i ogoneddu hyd y diwedd, a gwyn eu byd.——

Ydwyf, chwaer anwyl, yr eiddoch,

1828.

---

BENDITHION Y GAUAV A VYNYCH ANGHOVIR.

Pen ystyriwn yn ovalus weithredoedd Duw, cawn yn y tymmor hwn lawer o achosion i lawenâu yn naioni yr Arglwydd, ac i vawrâu gwyrthiau ei ddoethineb. Caled ac annheimladwy yn wir ydyw y galon na ddychlama gan lawenydd a diolch, pan y gwelir anian yn y gwanwyn blodeuawg—yr hav frwythlawn, a'r hydrev toreithiawg, wedi ymwisgaw yn ei hardd-wisgoedd godidocav, yn lle y rhai gwaelav a distadlav. Ond pan y chwytha y gwynt tymhestlawg o'r gogledd—pan y crythir gwyneb y ddaear gan rew gerwinaidd—pan y dihatrir y maes o'i frwythau a'i harddwch, ac yr ymddengys yn olygva anialaidd a gwag erchyll, y mae dynion o'r teimladau tynerav yn dueddawl i ollwng eu diolch yn anghov. Ond, ai gwir yw vod y ddaear mor amddivad yn yr amser hwn o vendithion y nev, nad oes dim yn perthyn iddi a ddichon gynhyrvu teimladau o ddiolch a duwioldeb yn enaid dynion? Nage, yn ddiammau. Bydded i ni sylwi yn ddyval ar holl weithredoedd anian, ac yna ni chymmerwn achlysur i gyhuddaw doethineb Duw.

Golygwn am vynyd y trueni o vod yn agored i erwindeb gauav heb ddillad i orchuddiaw ein cyrf crynedig—heb dân i gysuraw a bywioli ein haelodau oerion; yna llawenâwn a chydnabyddwn y trugareddau a hidlwyd arnom. Pob peth a duedda i'n cysuraw sydd etto yn ein meddiant. Er na ddichon i ni dreiddiaw drwy y llen sy dros ddirgelion creëdigaeth —er bod Perydd mawr pob peth yn guddiedig o'n golwg, ymvoddlonwn, a gwybyddwn na wnaethpwyd dim yn over: yr oll a grewyd a duedda at un nod; sev, gogoniant Duw a dedwyddwch dyn.

---

ARGLWYDDIAETH PARAUS DUW AR Y GREEDIGAETH.

Dangosir ein hanwybodaeth a'n gwendid wrth beidiaw cyvaddev mawredd a doethineb Duw yn y lleiav yn gystal ag yn y mwyav o'i weithredoedd. Amlygir gallu y Creawdydd yn furviad plentyn yn y groth gymmaint ag yn nghrëedigaeth dyn ar y cyntav o bridd y ddaear. Digon yw ein proviad beunyddiawl i'n darbwyllaw vod Bod Anveidrawl yn dal edau ein tynged. Ni's gallwn sicrâu i ni ein hunain y byddwn vyw un mynyd rhagor; gall niver an-

nhraethadwy o achosion anweledig brysuraw diwedd ein bywyd; pa anfodau cuddiedig nad ynt yn hongian uwch ein penau i rwystraw y rhediad bywiawl, ac i wahardd i'r awyr beri i'n gwaed gerdded yn ei gylch.

Iawn y dichon pob dyn ddweyd, "Och! yr ydwyv yn teimlaw vy nghyvlwr yn ddigymmorth: nid oes genyv nerth i davlu ymaith y gwendidau a'm gorthrymant, na grym i wasgaru y peryglon a'm bygythiant; yn ddarostyngedig i lawer poen mewn corph a meddwl, tybiwn y byddwn yn wir yn anghysurus, heb gynnorthwy yr Arglwydd. Y cydrwymiad rhyveddawl rhwng vy nghorph a'm henaid —dychlamiad parâus vy nghalon—cylchrediad diddarvod y lliviant bywiawl—y cwbl yn hollawl anymddibynawl ar vy ewyllys a'm gallu i, a gydbrovant i mi vod Perydd Hollalluawg, wrth orchymynion yr hwn y trevnwyd holl ysgogiadau vy nghalon, ac y curant yn rheolaidd, ac wrth amnaid yr hwn y rhwystrir hwynt, ac y tervyna vy mywyd. Os pará vy anadl yn vy froenau, os ydyw y llivnod coch yn cynhesu vy nghalon—os cura vy ngwythienau gyda grym —os cedwir vy synwyrau yn ddirwystr—oddiwrth Dduw yn unig y derbyniav y cyvryw drugareddau dewisawl. Paham, ynte, y sylwav mor anaml a chyda lleied o ddiolch ar fyrdd Rhagluniaeth?"

Oni ddylai y cyvryw advyvyriadau gael eu hargrafu yn annileadwy ar davlen ein cov? ac oni ddylai hyn vod ein goval boreuawl a hwyrawl, sev myvyriaw, rhyveddu, a chydnabod trugareddau ein Creawdydd? STURM.

---

RHYDDID Y PABYDDION.

*YMDDIDDAN RHWNG HYWEL A MEURIG.*

*HYWEL.* Boreu da i chwi, Meurig; a glywsoch chwi y newydd?

*MEURIG.* Na chlywais i; a oes rhywbeth rhyfedd wedi digwydd?

*H.* Yr ydych, hwyrach, yn deall fod y Pabyddion Gwyddelig wedi ethol O'Connel, Pabydd, fel hwythau, yn Aelod o'r Senedd.

*M.* Do; mi ddarllenais hynny yn y *GWYLIEDYDD* er ys dyddiau.

*H.* Wel, ychydig ddyddiau yn ol dywedodd yr O'Connel hwnnw yn Nulyn y deuai i Lundain yn nechreu Chwefror, â 300 o'i gyfeillion Pabaidd gyd âg ef, i wthio ei ffordd i'r Senedd.

*M.* Oni chlywais i na oddefai cyfraith y tir i Babydd eistedd yn Senedd Brydain—a gafodd y gyfraith ei newid?

*H.* Na ddo, diolch i Dduw; ni newidiwyd hi etto. Ond, fel y dywedais, y mae yr O'Connel hwn, a'i ganlynwyr, yn bygwth peri i'r Brenhin, y Dug o Wellington, a'r Seneddwyr, newid y gyfraith yn erbyn eu gwaethaf: ac y maent yn bostio y gwnant ein Heglwys yn sarn i'w gwadnau budron, yn hytrach na rhoddi eu bwriad i fynu.

*M.* Mor ddigywilydd! ond siwr ni chymmer y Brenhin, a'i Senedd, eu dwndro gan Wyddelod gwylltion, na'u gyrru i wneuthur un peth yn erbyn lles Prydain hen. Byddai yn well i ni i'r Iwerddon suddo yn y môr nag i Babyddion ynfyd Gwyddelig gael gwneuthur cyfreithau i ni y Protestaniaid.

*H.* Byddai, yn wir, Meurig; o ran pe delent unwaith i'r Senedd, byddent yn sicr o wneuthur eu hegni yn erbyn rhyddid crefyddol a gwladol, a'n gosod ninnau yn gaethweision i Dywysog tramor a alwant y Pab. Y maent hwy eu hunain yn ufuddhau i hwnnw ym mhob peth, gan ei alw yn Dduw ar y ddaear.

*M.* Hywel bach, oni ellir gwneud rhywbeth i'n cadw rhag y distryw yna?

*H.* O gellid, mi warantaf. Y mae 'r brenhin, a'r llywodraethwyr

dano, yn erbyn cais y Pabyddion, ac o blaid y Protestaniaid; a phe gwelai trigolion y deyrnas eu perygl, a sefyll yn ddiysgog o ochr eu pennaethiaid, gallant eu gwared eu hunain, a'r Eglwys, a'r wlad, rhag dinystr.

*M.* Y mae yn dda gan fy nghalon glywed hynny: ond pa fodd y gallwn ni wneuthur un lles i'n gwlad yn y matter hwn. Nid ydwyf fi ond tyddynwr uniaith, heb wybod nemawr am drefniadau llywodraeth ychwaneg nag a welaf weithiau yn y *Gwyliedydd* a'r *Seren*. Yr ydych chwi, yn wir, yn medru Saesneg, ac yn darllen Papurau Caer a Bangor, ac, wrth fyw yn y dref, yn cael clywed llawer newydd nad yw yn cyrhaedd y cwm; er hynny, nid yw eich sefyllfa chwi na minnau yn goddef i ni ymyrraeth â phethau o'r natur hyn—gadawsom hwynt i wyr uwch.

*H.* Gwaethaf oll, Meurig; pe buasech chwi a minnau, a'n cyffelyb, yn meddwl ychwaneg am ystyr y pethau, pan ddarllenem neu y clywem am Ryddid Cydolig—cyfartalwch iawnderau—a geiriau dieithr o'r fath, y rhai a ddefnyddiai y Pabyddion yn orchudd, fel y gallont niweidio ein trefn sefydledig mewn gwlad ac Eglwys: pe daethem ni oll ym mlaen yn wrol ddeng mlynedd yn ol i anfon erfyniadau i'r Senedd yn erbyn cais y Pabyddion, ni buasem yn awr yn sefyll ar y dibyn, ac mewn perygl o golli pob peth sydd anwyl gennym.

*M.* Wel, oni allwn ni ddweyd ein meddwl yn awr, a dal gwyneb yn erbyn y Pabyddion Gwyddelig, i rwystro iddynt ein gwthio dros y dibyn wedi iddynt ein gyrru ar ei fin?

*H.* Felly, yn wir; a pho cyntaf y gwnawn ddeffro ac ymwroli, tebyccach oll y byddwn o allu diangc. Dywedodd yr Ardderchog Ddug o Wellington yn ddiweddar—a llawer o wyr mawrion eraill a ddywedasant yr un peth—y dymunent hwy gael eu harwain gan farn a theimladau y werin: ni bydd ganddynt, gan hynny, neb i'w beio ond eu hunain, os arosant yn ddistaw, ac os esgeulusant anfon eu herfyniadau yn ddioed at y brenhin, a'r ddau Senedd-dŷ, yn erbyn ymgais y Pabyddion i gael mwy o awdurdod yn y llywodraeth.

*M.* Wel, fy nghyfaill—ond y mae y Dug o Wellington yn ŵr mawr, ac yn ŵr doeth a dewr; a allwn ni ddim, gan hynny, ymfoddloni, a bod yn sicr y safai efe hyd angau o blaid ei wlad, ac y rhwystrai iddi gael ei niweidio, heb i ni ymyrraeth â'r matter?

*H.* Gwyddoch o'r goreu, er dewred a medrused yw y Dug o Wellington, na fuasai efe byth yn ennill brwydr *Waterloo,* heb fod ganddo ddigon o filwyr i'w gefnogi: ac felly yn awr rhaid iddo gael ei gefnogi gan werin, fel chwi a minnau, fel y gallo wrthsefyll y Pabyddion Gwyddelig, a llawer Suddas yn ein plith ein hunain, y rhai a fradychant achos eu gwlad trwy ddadleu o'u hochr, a rhoddi eu llais o'u plaid yn y Senedd.

*M.* Gwelaf mai chwi, Hywel, sydd yn eich lle: os parhawn yn ddistaw, i ni bydd y gwaethaf. O! na welai pob Cymro y perygl yr ydym ynddo mor eglur a chwi a minnau!

*H.* Wel, fy nghyfaill, beth pe byddai i ni ddechreu swnio y larwm, a chynhyrfu ein cymmydogion; a phwy a ŵyr na bydd i fflam gwladgarwch a Phrotestaniaeth ennyn drwy y wlad: gwyddoch i ddechreuad bychan yn fynych ddwyn pethau mawrion i ben; a gwnaeth llawer un isel les mawr i'w genedl cyn hyn, trwy wrolder a phwyll; a gallwn fod yn sicr y dyry Duw ei fendith ar yr achos da hwn; yn wir nid ydyw lai nag amddiffyn y breintiau gwerthfawr a roddodd Efe i ni yn ei drugaredd; a byddai yn fai ac yn warth i

ni adael i eraill ein hyspeilio o honynt.

*M.* Yr ydwyf yn barod i gymmeryd fy nghyfarwyddo gennych, ewch ym mlaen.

*H.* Da gennyf weled eich parodrwydd, fy nghyfaill. Yn gyntaf, gadewch i ni siarad â dau neu dri o'n cymmydogion, a'u gwahodd i gyttuno â ni yn gymdeithas Brotestanaidd, er mwyn gwrthwynebu Pabyddiaeth, ac ymgeisiau Pabaidd am awdurdod; ac er mwyn amddiffyn Protestaniaeth, a'r drefn Brotestanaidd mewn gwlad ac Eglwys, fel y sefydlwyd hi yn 1688, gan Wiliam III. i'r hwn dan Dduw yr ydym ddyledus am ein rhyddid gwladol a chrefyddol.

*M.* Da iawn; ond trwy ba foddion, dybygech chwi, y gallem ni roddi llaw i ddwyn hyn ym mlaen?

*H.* Trwy bob moddion cyfreithlawn yn ein gallu; yn bennaf, trwy ddangos i'n cymmydogion natur Pabyddiaeth, a'i bod heddyw cyn waethed ag erioed; a thrwy ddangos y drwg y mae yn ei wneuthur i'r byd, ac yn enwedig i'n Heglwys a'n Llywodraeth Brotestanaidd. Gallwn wneuthur hyn trwy ymddiddan â'r rhai ydynt o'n deutu, a thrwy ddanfon llythyrau at ein cyfeillion pellennig. Rhaid i ni hyspysu iddynt hefyd fod Pabyddiaeth wedi dwyn ein gwlad i gyflwr peryglus, trwy y cyfreithiau newyddion a wnaethpwyd o'i phlaid yn y blynyddoedd diweddaf; a bod y Pabyddion yn awr yn ymdrechu, nid am ryddid crefyddol, ond am gael y llaw uchaf ar Brotestaniaid Lloegr a'r Iwerddon, trwy ymwthio i mewn i ddau dŷ y Senedd. Rhaid i ni ddweyd wrthynt fod Pabyddiaeth yn goel-grefyddol ac eilun-addolgar; ac na oddef i'r Bibl gael ei ddarllen, a'i wneuthur yn rheol ffydd y Cristion; ei bod bob amser yn elyniaethol, erlidus, a gwaedlyd; ei bod yn dal na fydd neb ond Pabyddion yn gadwedig—ac mai uffern fydd cartref y Protestaniaid i gyd;—eu bod yn galw pawb nad ynt yn credu yr un peth a hwythau yn *hereticiaid;* ac os gwna ei dilynwyr gyttundeb â'r *hereticiaid* hynny, na ddylai y cyttundeb hwnnw sefyll: ac y dylent, pan y gallent wneuthur hynny yn ddiogel, beri i Brotestaniaid droi yn Babyddion yn erbyn eu gwaethaf, neu ynte eu dinystrio oddiar wyneb y ddaear.

*M.* Yn araf, yn araf, Hywel; yr ydych yn rhy galed wrthynt. A oes possibl i hyn fod yn wir?

*H.* Yn rhy wir ysywaeth! Ni ddywedais yr hanner wrthych. Pe buasech wedi darllen hanes a llyfrau crefyddol y Pabyddion, fel y darllenais i, buasech yn gweled na adroddais ond ychydig o'u castiau. Darllenwch Ferthyrdraeth y diweddar Mr. Jones o Ddinbych, a *Hanes y Ffydd*, a chwi a welwch fod cannoedd o Brotestaniaid duwiol wedi eu llosgi yn *Smithfield*, a mannau eraill o'r deyrnas, o dan deyrnasiad Mari waedlyd; a thua diwedd y llyfr da a enwais gyntaf, gwelwch fod mwy na 60 mil wedi cael eu llofruddio yn greulon gan y Pabyddion yn Ffraingc, o dan lywodraeth Harri IV. Ac yn ein hamser ni ein hunain, clywsoch Wiliam o'r Ddol, yr hwn a fu gyda Syr Watkin yn yr Iwerddon yn amser y gwrthryfel, yn dywedyd, y byddai y Protestaniaid yn cael eu cigyddio mewn gwaed oer gan y Pabyddion dros ran fawr o'r Ynys honno. Un ystori oedd, fod 50 o wyr, gwragedd, a phlant, wedi cael eu cau mewn ysgubor, yr hon a osodwyd wedi hynny ar dân, tra'r oedd y Pabyddion yn eu hamgylchu i rwystro i un o'r trueiniaid ddiangc: a gwedi i un wreigan dlawd daflu y plentyn, oedd yn sugno ei bronnau, allan drwy'r gloer, rhag iddo gael ei losgi, gwthiodd un o'r barbariaid ei biccell iddo, a thaflodd ef yn ol i'r fflam-

iau. Ac ym mhellach, yr ydych yn dywedyd eich bod yn darllen y newyddion yn y Llyfrau Misawl Cymreig, onid ydych yn gweled yn y rhai hynny yn aml mor greulon a gormesol y mae Pabyddion yr Iwerddon yn ymddwyn tu ag at y Protestaniaid; a phe byddai yr awdurdod yn eu llaw y fory, ni byddai ein sefyllfa ni ddim gwell.

*M.* Yn wir, yr ydych yn peri i mi arswydo. Byddai yn fai dychrynllyd goddef i bobl o'r fath hyn ddyfod i lywodraethu uwch ein pennau: ond rhaid i chwi gyfaddef, Hywel, nad ydyw yr holl Babyddion mor ddrwg ag ydych yn dywedyd.

*H.* Tra byddo 'r blaidd â'r *mwsel* ar ei geg, y mae 'n ddigon diniwaid; ond cymmerwch y *mwsel* i ffwrdd, a buan y gwelwch ef yn dinystrio 'r defaid.

*M.* Rhaid i chwi faddeu i mi am dorri ar eich 'stori unwaith etto: mae arnaf flys mawr gwybod pa beth ychwaneg a fedrwn ni wneud i rwystro 'r Pabyddion gael eu rhwysg ym mlaen.

*H.* Ni a allem ddarllen y *MERTHYRDRAETH* i'n cymmydogion, a gallai y *Clwb* sy gennym yn y *Llew Gwyn* roddi ychydig tu ag at brynu Traethodau yn erbyn Pabyddiaeth, a gallem fenthycca y rhai hynny i'r sawl a fyddo anwybodus ar y matter. Gallwn drin y pwngc weithiau yn ein Cymdeithas Gymreigyddawl, a gall y rhai sydd yn deall Saesonaeg yn ddigon da ysgrifennu weithiau ynghylch y peth i Bapurau Bangor, Caer, a'r Amwythig; a gall y Cymry uniaith ysgrifennu weithiau i'r *GWYLIEDYDD.* Trwy y moddion hyn gellid gobeithio y byddai ein cyd-wladwyr wedi eu dwyn i ystyried y matter yn sobr mewn ychydig wythnosau, ac yna gallai pob plwyf wneuthur yr un fath a Bangor, Bettws, a mannau eraill, ac anfon erfyniadau Cymraeg a Saesonaeg at y brenhin a'r Senedd-dai; a dylai pawb ymdrechu cael eu cymmydogion i roddi eu llaw wrthynt yn ddioed, fel y gellid eu hanfon i fynu cyn i'r peth gael ei drin yn y Senedd.

*M.* Y mae eich cynnygiad yn dda; ond pwy a gawn ni i ysgrifennu yr erfyniadau yn eu lle? Yr ydym ni yn rhy anwybodus i ddywedyd ein meddwl wrth y brenhin a'r ddau Senedd-dŷ yn y ffurf ofynol.

*H.* Na ofelwch am hynny; y mae gennyf yn fy ymyl erfyniad oddiwrth blwyf yn agos i Lundain, a Pherson ein Plwyf a'i cyfieithodd i'r Gymraeg. Gwna hwnnw y tro i ni yn eithaf. Yr oedd llawer o Siroedd, trefydd, a phlwyfydd, yn anfon erfyniadau blynyddol yn erbyn cais y Pabyddion, hyd nes y cafodd y bobl eu twyllo i ddistawrwydd trwy ddau gelwydd a ddyfeisiodd y Pabyddion a'u plaid, sef, nad oedd un gobaith i'w gweddi gael ei gwrando—ac os cai, nad eisteddai ychwaneg na deuddeg o Babyddion byth yn y Senedd; ond y mae y bobl bellach wedi gweled y twyll, ac amser distawrwydd a aeth heibio.

*M.* Pa nifer o Babyddion, dybygech chwi, a fyddent Aelodau o'r Senedd, pe caniattâid iddynt yr hyn a gam-alwant yn rhyddid?

*H.* Yn sicr, ni byddai yno lai na 100 dros yr Iwerddon, a hwyrach 12 dros Loegr ac Ysgotland.

*M.* Wfft fawr! pe glynai y rhai hyn wrth eu gilydd yn un blaid (a diammeu y gwnaent) ym mha le y byddai ein heiddo, ein crefydd, a'n bywydau, yn fuan? Yn wir, y mae yn llawn bryd i ni godi ein llais yn erbyn y fath elynion, a'u hattal rhag dinystrio ein llywodraeth ogoneddus. Ond un gair etto ynghylch yr erfyniadau:—wedi i ni eu hysgrifennu, a rhoddi ein llaw wrthynt, pwy a gawn i'w cyflwyno?

*H.* O! Aelod Senedd y Sir.

*M.* Wel, beth pe rhoddai efe ei

lais o ochr y Pabyddion; ac felly naccâu eu cyflwyno?

*H.* Nid wyf yn meddwl bod achos ofni hynny. Y mae ymddygiad y Gwyddelod yn ethol O'Connel yn ddigon i agor llygaid pawb, mai gwallgofrwydd fyddai gollwng Pabyddion i'r Senedd. Profwyd yn eglur yno, mai cwbl ddisail oedd y tri haeriad a glywid beunydd yn eu genau:—Yn gyntaf, fod Pabyddiaeth wedi newid, a dyfod yn ddiniwaid a charedig;—yn ail, fod y Pabyddion yn ffyddlon i'r llywodraeth;—yn drydydd, nad yw eu Hoffeiriaid un amser yn arfer eu hawdurdod ar gydwybodau y *bobl er* mwyn dwyn ym mlaen un diben gwladawl. Ond pe byddai i'r Aelod dros y Sir naccâu cyflwyno ein herfyniad, ni a'i danfonwn at Syr Robert Vaughan, neu ryw Aelod Protestanaidd Cymreig arall; ac fel Bwrdeisiaid Caernarfon, dylem ddefnyddio y cyfleusdra cyntaf i gael dyn o ddaliadau Protestanaidd i'n cynnrychioli.

*M.* Dyna eithaf ffordd i fyned ym mlaen; o ran ni ddylai neb gynnrychioli Protestaniaid na safo o ochr brenhin Protestanaidd, Eglwys Brotestanaidd, a Llywodraeth Brotestanaidd—Cymru am byth! "Mewn awen fwyn lawen byw byth y bo hi!" Tra bo gwaed Cymro yn rhedeg trwy fy ngwythennau, tra bo gennyf dafod yn fy mhen, a cheiniog yn fy *mhwrs*, a llaw i roddi wrth erfyniad, ni chaiff Cymru na Lloegr eu mathru gan y Pab o Rufain, y penbwl O'Connel, a'r gethern Wyddelig sydd yn ei ganlyn.

*H.* Da iawn, Meurig; ond cofiwn nad oes dim amser i golli: y gelyn sydd yn y golwg; y mae yr ymdrech eisoes wedi dechreu, ac ambell i belen wedi taro a niweidio hwyliau llong y llywodraeth. Cofiwn awgrym diweddaf *Nelson*:—"Disgwylia Lloegr i bob dyn wneud ei ddyledswydd."

YR ERFYNIAD Y SONIA HYWEL AM DANO.

O flaen yr Erfyniad i Dŷ y Cyffredin, dyweder,

"*At yr Anrhydeddus Gyffredinwyr cynnulledig yn y Senedd.*"

O flaen yr Erfyniad i Dŷ yr Arglwyddi, dyweder,

"*At y Gwir Anrhydeddus Arglwyddi, Eglwysig a Gwladawl, cynnulledig yn y Senedd bresennawl.*"

"Erfyniad Gostyngedig Plwyfolion —— Swydd ——

"A DDENGYS YN BARCHUS,

"Fod eich Eirchiaid yn wir deimladwy o'r breintiau mawrion a fwynhasant fel deiliaid y Llywodraeth hon, dan Lywyddiaeth Tadawl ein Grasusaf Frenhin, a'u bod yn ymbil na chyfnewidier dim yn nhrefniadau Llywodraethawl yr Ymerodraeth, trwy yr hyn y perygler y breintiau hynny. Ystyriant y drefn honno yn Brotestanaidd o hanfod. Gwelai ein Hynafiaid yn anhepcorawl, er mwyn hedd a diogelwch y deyrnas, gau allan grefyddwyr Pabaidd rhag cael un llaw yn eu Llywodraeth; a lluniasant gyfreithiau i'r perwyl: ac ni ymddengys i eich Eirchiaid fod un cyfnewidiad wedi digwydd yn ansawdd y Grefydd honno, nac yn egwyddorion ei hymlynwyr, a wnâ ddifodiad y cyfreithiau hynny yn orchwyl diberygl. Eich Eirchiaid, gan hynny, a erfyniant na chaniattêir i'r Pabyddion unrhyw fynedfa i le o awdurdod i ffurfio cyfraith, nac i'w gweinyddu, yn y Llywodraeth Brotestanaidd hon; nid o herwydd eu cyfeiliornadau athrawiaethawl, ond yn unig o herwydd eu hymostyngiad mewn pethau ysprydawl i'r Pab, ac o herwydd eu bod yn elyniaethawl i bob Llywodraeth ac Eglwys Brotestanaidd. Eich Eirchiaid, gan hynny, a ystyriant y bydd derbyniad y gwyr hyn i leoedd o awdurdod ac ymddiried yn tueddu i ddiseilio ein Llywodraeth Brotestanaidd, ac i'n dwyn etto i'r caethiwed o'r hwn ein rhyddhawyd gan y Diwygiad gogoneddus. Creda eich Eirchiaid ym mhellach, na wnai hyn lonyddu yr Iwerddon, ond, yn hytrach, annog ymgeisiau am ganiattâd pellach, nes y delai Pabyddiaeth etto yn Grefydd Sefydledig, nes y cymmerid yr Etifeddiaethau Eglwysig, drwy orthrech, o feddiant ein Sefydliad Protestanaidd.

"Rhynged bodd, gan hynny, i'ch Tŷ Anrhydeddus wrthsefyll, yn ddiysgog, pob ymgais a wneir er difodi yr attaliadau ydynt yn awr ar y Pabyddion, am ein bod yn eu hystyried hwy *oll* yn anhepcorawl er

ddiffyniad eiû Rhyddid Gwladawl a Chrefyddawl.——A'ch Eirchiaid, fel y dylent, yn wastad a weddïant," &c. &c.

ATTEB SIOR Y TRYDYDD

*I'r Arglwydd* GRENVILLE, *pan ymofynid âg ef ynghylch Ysgrif y Pabyddion*, 1807.

"Fy Arglwydd—Yr wyf yn un o'r rhai a barchant lw. Meddaf gryfder meddwl digonawl i adael fy ngorsedd, ac i dreulio gweddill fy oes mewn bwthyn; neu, i osod fy ngwddf o dan fwyall y dienyddwr, os mynnai fy mhobl: ond nid yw fy meddwl yn ddigon cryf i *dorri* llw—llw a gymmerais yn y modd sobraf ar ddydd fy nghoroniad."

Rhodded Duw i Sior IV. a'i holl ddilynwyr, ddilyn anghraifft ardderchog ei dad hyglod a hybarch.

*Cyf.* PROTESTANT.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### Y BRAIN.

O DAN y rhyw hwn o adar, fe rifir llawer math, megis y Gigfran, y Tyddynfran, y Gâdfran, y Llychlydfran, y Big-gochfran, y Gogfran, y Frithfran, neu 'r Biogen, a Phiogen y Coed, a llawer eraill, o ugain i ddeg ar hugain, medd rhai anianyddion. Rhoddwn yma ychydig hanes am y rhai uchod olynol, gan ddechreu gyd â'r Gigfran, a diweddu gyda Phiogen y Coed, neu fel y gelwir hi weithiau, Caseg y Dryc-hin.

### Y GIGFRAN.

Hon yw 'r fwyaf o'r rhyw, a phwysa yn gyffredin ynghylch tri phwys, a mesura ynghylch dwy droedfedd o hŷd. Ei lliw sy ddu ddisglaer, oddieithr oddi tani, yr hyn sy ddu llwydaidd. Ceir y Gigfran ym mhob rhan o'r byd. Y mae yn gref a chaled, ac ni theimla fawr o herwydd cyfnewidiadau y tywydd: canys, pan y mae adar eraill ym mron trengu gan oerfel, ac yn darfod gan newyn, y mae 'r Gigfran yn fywiog ac iachus, yn diwyd ymofyn am ysglyfaeth, neu yn chwareu yn yr awyr oeraf. Nid yw yn gwneuthur gwahaniaeth iddi pa un ai y'ngwres a phoethder y canolgylch, ai yn oerni ardaloedd y pegwyni, y treulia ei dyddiau. Gwelir hi weithiau cyn wyned a'r *lili*, a hynny fe allai o herwydd grym oerfel y gogledd-dir. Gellir dysgu y Gigfran pan ddofir hi, i wneuthur pob peth a wna adar eraill. Dysgwyd hi cyn hyn i adara fel y gwalch, i ddwyn a chyrchu pethau fel yr Hispaengi, i siarad fel y siaradydd *(parrot)*, a pheth rhyfeddach i ganu fel dyn. "Clywais (meddai awdwr diweddar) y Gigfran yn canu y dôn a elwir *Black Joke*, yn eglur, yn gywir, ac yn felus. Yn wir, pan y dofir y Gigfran, y mae llawer o bethau pur ddifyrus ynddi. Y mae yn ddiwyd, yn chwilgar, a hyf: hi a gura y cŵn, ac a chwareu yn lled chwerw â'r da pluog, ac a ymgais â'i holl egni i ennill a chadw ewyllys da y gôg, yr hwn yw 'r anwylaf yn ei golwg o'r holl deulu. Heblaw hyn y mae yn lwth a lleidr o anian. Nid yw yn cyfyngu ei lladrad at y gegin a'r gig-gell, ond hi a ddwg bethau na wnant les iddi, ac nad all eu mwynhau. Darnau arian, llwyau bychain, neu fodrwyau, ydynt bob amser yn brofedigaeth iddi: hi a ddwg ymaith y rhai hyn i'w chuddfa, os na wylir hi. Yn ei chyflwr gwyllt, y mae yn ysglyfaethu yn gyflym a rheibus—y mae pob peth yn gwneuthur y tro. Os nad oes obaith am furgyn, yr hwn a arogla hi o bell, yna hi a ymbortha ar bethau drewllyd, a'r ffrwythau, a'r drychfilod, a phethau tafledig i'r dommen. Hi a nytha ar goedydd ac yn y creigydd, ac a ddodwa bump neu chwech o wyau,

glas gwanaidd o ran lliw, a brychau llwyd-dduon arnynt yma a thraw. Er bod y Gigfran yn gwneuthur llawer o golled trwy dynnu llygaid wyn a defaid gweiniaid, etto fe ddangosir rhyw barch iddi mewn rhai ardaloedd y'mhlith y werinos, o herwydd, fel y tybia rhai, ei defnyddio gan yr Arglwydd i borthi y prophwyd Elias: ac y mae hyn er yr hen amser, canys yr oedd y Rhufeiniaid yn gwneuthur hynny. Fe ddywedir wrthym gan Pliny, am un a gedwid yn nheml Castar, iddi ehedeg a disgyn yn ngwaithgell rhyw wniedydd, yr hwn a ymhyfrydai lawer yn nghymdeithas ei gyfaill newydd. Fe ddysgodd iddi lawer o ystrywiau, ac, ym mhlith pethau eraill, fe ddysgodd iddi enwi yn groyw enw Tiberius yr Ymerawdwr, a'i deulu. Dechreuodd y gwniedydd ymgyfoethogi trwy gyd-roddion y rhai a ddeuent i weled y Gigfran ryfeddol hon; ond cenfigen rhyw gymmydog iddo a barodd iddo ei lladd, ac felly ddwyn oddiar y gwniedydd obaith ei gyfoeth. Y Rhufeiniaid a gymmerasant blaid y gwniedydd, ac a gospasant yr hwn a laddodd y gigfran, ac a roisant iddi yr anrhydedd o gladdedigaeth ardderchog.* Y mae 'r adar yn gyffredin yn hŵy hoedlog na'r anifeiliaid pedwar carnol, ac o'r adar hirhoedlog, yr hŵyaf yw 'r Gigfran. Gwyddis am rai o honynt a fu fyw tua chan mlynedd. Cig yr adar hyn, er ei fod yn aflan o dan y gyfraith, ac er y cyfrifem ni ef yn y wlad hon yn ffiaidd, a fwytteir yn y Werdd Ynys, a defnyddir eu crwyn fel gwisg gynnes yn agos i'w croen. Gwerthir plu eu hadenydd weithiau mor uchel a deuddeg swllt y cant.

Y TYDDYNFRAN, neu *fel y gelwir yn gyffredin*, BRAIN TYDDYN.

Fe allai eu galw felly am eu bod yn ymgadw o fewn rhyw le yn neillduol am dro; a gwelir hwy yn fynych yn curo ac yn anfon adar rheibus allan o derfynau eu cartrefiad hwy; ac yr wyf yn cofio rhai hen bobl yn Meirion yn dywedyd bod dwy yn perthyn i bob tyddyn. Ai yw hyn yn wir, ymofyned y cywrain; digon i ni yw ymgais i roddi rheswm am yr enw. Y mae hon yn debyg i'r Gigfran mewn llawer o bethau, ond ei bod yn llai o ran corph. Hi ymbortha ar furgynod, ac a dyn lygaid ŵyn a defaid gweiniaid; hi fwytty ŷd a thrychfilod hefyd, ac felly fe'i gwahanieithir oddiwrth y Gadfran, yr hon a ymbortha ar ŷd a thrychfilod yn unig. Dywedai yr hynafiaid gynt fod ei gwaedd yn darogan gwlaw, ac edrychid arni gan yr hen Rufeiniaid Paganllyd fel aderyn anffodiog, yn enwedig pan y gwelid hi ar y llaw aswy. Megir mwy o'r rhai hyn yn Lloegr nac mewn un wlad arall yn Ewropa. Tu a'r flwyddyn 1533, yr oeddynt wedi myned mor lluosog yn y wlad, ac mor niweidiol i'r amaethwyr, fel y barnwyd yn addas wneuthur cyfraith i'w dinystrio. Yr oedd pob cantref i gadw rhwydau Brain am ddeng mlynedd; ac yr oedd yr holl breswylwyr yn rhwym i ymgynnull ar brydiau dros yr amser uchod i ymgynghori am y ffordd oreu i'w difetha. Yr wyf yn meddwl bod rhyw ymholiad etto yn cael ei wneuthur mewn rhai ardaloedd, yn yr hyn a elwir *Llysfawr*, am y rhwydau Brain. Er bod y Brain hyn mor lluosocced yn Mrydain, etto y maent mor ddieithr yn Sweden, fel y dywed Linnæus, na wyddai ond am un a laddesid yn y wlad hono. Hi a ddodwa gynnifer o wyau ac o'r un lliw a'r Gigfran. Cyn gynted ag y gadawant y rhai bach y maent yn cydmaru, neu yn byw bob yn ddwy.

---

* Fe all y cywrain, os wyf yn cofio yn dda, glywed hanes tra rhyfedd am weithrediadau lladronllyd a digrif Cigfran yn Nghaergybi, yn yr oes hon.

Hi bwysa ynghylch ugain *wns*, ac a fesura ynghylch troedfedd a hanner o hŷd, a dwy droedfedd a dwy fodfedd o flaen y naill aden i'r llall. Am y Fran hon fe roddir i ni yr hanes canlynol, gan yr anianydd Mr. Edwards. Y Parch. Mr. Robinson, Person Ousby, yn Cumberland, a ddywed fod adar yn ol anian yn plannu pob math o goed. Hauant eu hâd ar y ddaear, y rhai a eginant ac a dyfant hyd berffeithrwydd. "Ynghylch pum mlynedd ar hugain yn ol (medd efe) yr oeddwn yn dychwelyd yn foreu o Roscastle, canfyddais lawer iawn o Frain ar lechwedd mwswglyd, yn ddiwyd a llafurus: aethym o'm ffordd i edrych pa beth yr oeddynt yn wneuthur, a gwelais eu bod yn plannu gallt o dderw. Y modd y gwnaent hyn, ydoedd; yn gyntaf, gwnaent dwll yn y ddaear â'u pig, yna gollyngent fesen i lawr iddo, a gwthient ar hynny ychydig bridd a mwswgl. Yr oedd yn yr Hydref, pan y mae 'r mes yn aeddfed." Barna, y mae 'n debyg, Mr. Robinson, bod Rhagluniaeth wedi cynnysgaeddu y Brain hyn â'r tuedd hwn, er mwyn codi coed yn unig; ond, yn hytrach, rhoddwyd y tuedd hwn ynddynt er mwyn darparu er eu cynnaliaeth yn amser prinder; canys fe welir yn y Piod a'r Cogfrain doflon dueddrwydd i gadw eu gormodedd erbyn amser prinder ac eisiau. Felly, fe allai fod y tueddrwydd hwn wedi ei roddi iddynt i ddau ddiben; i ddarparu yn amser llawnder erbyn prinder, ac i hau hadau er codi ac amlhau coedydd: canys nid ydym i feddwl y cant byth afael yn yr holl fes a ddiogelant.

*(I'w barhâu.)*

---

## YMDEITHIO YN YR ITAL.

CYFLWR pob dyn a phob teyrnas a ellir ei alw yn y byd hwn yn ddymunol neu annymunol wrth gymmariaeth â'r hyn a ddigwydd i eraill. Un lleshad sydd yn deilliaw oddiwrth ymdeithio mewn gwledydd tramor ydyw, bod pob meddwl rhinweddol ac iawn-farnus yn caffael achos ychwanegol i ymhoffi yn ei wlad ardderchog ei hun, a than y cyfreithiau clodfawr a sefydlwyd ynddynt. Yn y wlad hon, yn enwedig y'Nghymru, lle yr ymdeithia dieithriaid gan mwyaf heb eu peryglu neu eu rhwystro gan unrhyw anhawsderau, oddi gerth ambell ffordd arwaidd, a gelltydd mynyddig, prin y coelia y priodorion syml faint yw yr enbydrwydd o ymdeithio mewn rhai gwledydd ar y Cyfandir, ac yn fwyaf, ysgatfydd, yn yr Ital. Y wlad hon yw eisteddle y Pab dros gannoedd o flynyddoedd, a rhan nid bechan o honi sydd dan ei lywodraeth; ac yma, gan hynny, y disgwyliwn weled cnwd toreithiog, pa un bynnag ai da ai drwg, o'r grefydd honno. Dywedir wrthym gan awdwyr credadwy, mai gresynus iawn yw yr olwg ar foesau y priodorion. Heb grybwyll am ddrwg foesau eraill, nid oes un ardal o Ewrop lle y dibrisir bywyd dyn cyn gymmaint, ac yr edrychir ar lofruddiad megis bai cyn ysgafned. Un achos yn peri hyn yw, y noddfa a gynnygir i lofruddion yn yr eglwysydd a'r monachdai; canys os diangc y llofrudd i'r lleoedd hynny, ni's gellir yn gyfreithlon ei dynnu allan o honynt, a'i gospi. Yn y wlad hon, os dau ddyn a ymrysonant, er yr ymladdant ambell waith yn gïaidd ddigon, anaml y mae colled einioes, ac nid yn anfynych yr ymgyfeillachant drachefn. Ond yn yr Ital, nid dwrn a arferir i ymddial ar y gelyn, eithr cleddyf, a hynny gan mwyaf yn ddichellgar. Yma y mae golwg ar lofrudd yn brawychu calon yr edrychwr, eithr yno nid mwy gwarthus yw llofrudd na chrachleidr yn ein gwlad ein hunain. Rhydd Ymdeithydd Seisnig yr-

esamplau canlynol o foesau yr Italiaid o barth trugaredd a gonestrwydd.

"Bu i mi yn un o brif-ddinasoedd y wlad gyd-fyned â merch foneddig adref liw nos. Dywedai hithau wrthyf, 'Cymmerwch ofal i ddychwelyd adref ar hyd yr un ffordd, gochelwch groesi pen uchaf yr heol, canys lle unigol yw.' Gorchymynais barottoi fy ngherbyd, a chychwyn i'm taith ddwy awr cyn codiad haul y boreu drannoeth. Attebodd y gyrrwr yn ebrwydd, na chychwynai er dim cyn foreued, oblegid y byddai mewn perygl bywyd. Daethum i dref *Lucca*, ac yno gwelwn dyrfa fawr yn un o'r heolydd. Gofynais yr achos.—'Brathwyd dyn â chyllell wrth ddyfod o'r gosper;' a dywedai y llofrudd wrth daro y llall 'disgwyliais dros dair blynedd am y cyfleusdra hwn,' ac yna cerddodd ymaith â'r gyllell waedlyd yn ei law.' Aethum i'r Chwareufa mewn tref arall. Gwelwn y gwyr ieuaingc oll yn rhodio adref y'nghanol yr heolydd, â ffyn yn eu dwylaw. Aml iawn y ceir trysorau yn y ddaear wedi eu cuddio gan yspeilwyr, y rhai a ddaliesid cyn caffael o honynt gyfleusdra i'w gwario. Disynwyr y cyfrifir ymdeithwyr unigol os bydd dim ganddynt i'w yspeilio, ac oblegid hyn yn finteioedd yr ymdeithiant yn fwyaf cyffredin. Ambell waith dygir ymaith ymdeithwyr i ogofau a choedwigau pellennig yn y mynyddoedd, a chedwir hwynt yno hyd oni ddenfyn eu cyfeillion wobrau er eu rhyddhau. Gosodir pris eu prynedigaeth yn ol y cyfoeth a dybir fod yn perthyn iddynt. Yn y cyfamser poenant y trueiniaid fydd yn garcharorion iddynt drwy ddygn ofidiau; weithiau trwy fflangellau, dro arall drwy fygwth eu lladd, ac amryw boenydiau eraill. Y mae meistradoedd tafarndai, neu eu gweision, mewn cyngrair â'r yspeilwyr yn fynych iawn, ac yn cyfrannogi o'u hyspail. Digwyddodd i mi ymweled âg amaethydd yn y wlad, a chydrodio ynghyd yn ei faesydd. Dangosais iddo bedwar o ddynion yn cysgu dan un o'r prennau yn ymyl y ffordd. 'Yspeilwyr ydynt,' ebe fy nghydymaith. 'Ymosodant ar fy nhŷ yn rheolaidd bob blwyddyn. Y tro diweddaf buom yn ymladd am dri chwarter awr, ac yn saethu at ein gilydd. Pan geisiasant losgi un o'm beudai, digwyddodd i mi saethu y Cadpen yn ei dalcen, ac yna ciliasant ymaith. Byddai yn werth fy einioes i a'm holl deulu, ped achwynwn arnynt wrth yr Heddynadon. Y mae dau o'm gweision fy hun yn lladron, ond ni feiddiaf eu gyrru ymaith, hyd oni welont yn dda fyned eu hunain. Ddoe gyrrais ymaith yn waglaw gardottyn, yr hwn a arosasai wrth fy nrws yn gyndyn am lawer o oriau. Aeth fy ngwraig yn ddigllon iawn, gan haeru mai i spïo y daethai dros yr yspeilwyr. Yn y fan anfonais mewn dirfawr ofn ar ei ol, a rhoddais iddo *yn fwynaidd* gostrel o win, a thorth o fara.'" BETA.

---

## COED MAWRION.

MR. GWYLIEDYDD,—Fe allai na fernwch y cyfieithiad canlynol am Goed Mawrion, yn amrywiol rannau o'r byd, yn hollol annheilwng o le ryw bryd neu gilydd yn eich Cylchgrawn.—Ydwyf, yr eiddoch,
M. J. A.

BERNID mai Collen Ffrengig fawr yr Amerig ydoedd y fwyaf yn yr holl fyd; ond y mae llawer wedi ac yn bod yn Ynys Brydain a'r Amerig cymmaint a hithau ym mhob golygiad. Ynghylch deng mlynedd a deugain yn ol, yr oeddid yn meddwl bod Derwen fawr Coedwig Hainault, o dan yr hon y cadwyd ffair *Fairlop*, yn cynnwys mwy o droedfeddi nac un pren arall,

ond ryw fodd neu gilydd ni fesurwyd mo honi; canys yr oedd yn waith anhawdd gwneuthur hynny. Yn yr hwyr, ar fachludiad yr haul, ei chysgod a orchuddiai lawer o gyfeiriau.

Yn nghoedwig Needwood, yn Lloegr, y Dderwen a elwid Derwen Maes Swilear, a gynnwys, fel y tybir, fil o droedfeddi o goed. Dywed y Parchedig Mr. Snow, y mesura y Dderwen hon, mam y goedwig, bum troedfedd oddiwrth y ddaear, un droedfedd ar hugain o gylch, ac y mae yn bum troedfedd a thriugain o uchder.

Fe ddywedir bod Poplysen yn Swydd Essex yn dri ugain troedfedd a deg o uchder, ac yn saith troedfedd a thair modfedd o gwmpas. Y mae Onen yn Swydd Lancaster, yr hon a elwir Onen Wainhouse, yr hon a fesura bedair troedfedd ar ddeg o gwmpas. Chwythodd y gwynt a'r eira un i lawr yn Nghastell Menzies, yn nhir yr Yscot, yr hon a fesurai ddeunaw troedfedd a hanner o gwmpas. Chardin, yr ymdeithydd, a ddywed iddo weled pren yn ngardd brenhin Shiraz, bonyn yr hwn a fesurai wyth lâth o amgylchiad. Talai y bobl lawer o barch i'r pren hwn, o herwydd ei oedran: gweddïent yn ei gysgod, a chrogent yn ei gengydd goronau dail a darnau o ddillad. Y claf, neu ei gyfeillion, a gyrchant atto i gyflawni llawer o ddefodau coel-grefyddol, er adferiad iechyd; ac y mae llawer o goed, i'r rhai y tâl y preswylyddion barch crefyddol, yn nheyrnas Persia.

Dywedir am Dderwen yn nhalaeth Connecticut, ei bod o leiaf yn yn bedwar mlwydd oed. Y mae wyth can troedfedd ar hugain o gwmpas yn agos i'r ddaear, ac ym mhen saith troedfedd oddiwrth y ddaear yn ddwy droedfedd ar bymtheg. Y mae dros ddeg troedfedd a thriugain o uchder. Y mae rhai o'i chengydd dros ugain troedfedd o hŷd.

Yn Mai, yn y flwyddyn un mil wyth gant a chwech, fe daflwyd Llyfanen i lawr gan wynt ar wastadedd Wells (Maine) yr hon a fesurai saith troedfedd ar hugain o gwmpas, ac yr oedd yn ddeugain troedfedd i'r camder cyntaf o'r bôn, ac oddi yno i'r gangen gyntaf yn ugain troedfedd, ac felly yn driugain troedfedd i'r canghennau, y rhai a ymledent yn anferth. Ei huchder nid ellid ei gael yn gywir, oblegid ei bod wedi torri, ond bernid yn fwy na chan troedfedd.

Y mae Llyfanen yn agos i dŷ y Cadpen J. Avery, yn Stratham, Massachuset, yr hon a godwyd wedi côf ganddo ef, yr hon a fesura dair troedfedd ar ddeg o gwmpas ym mhen pedair troedfedd o uchder. Mesura hefyd gan troedfedd o flaen y canghennau un tu hyd flaen y canghennau y tu arall. Y mae wedi ei phlannu er's pedwar ugain mlynedd; ac nid oedd y pryd hynny, fel y dywed y Cadpen A. fwy na'i fawd ef.

Mr. Nelson, y Llysieuydd, yr hwn a fordwyodd gyd â'r Cadpen Bligh i Fôr y Dehau, er mwyn trosglwyddo 'r Pren Bara i'r India Orllewinol, a ddywed iddynt gael coeden yn ei llawn fywyd o dair troedfedd ar ddeg ar hugain o gwmpas, ac o uchder cyfattebol i hynny. Syr Joseph Banks a'r Dr. Solander yn Zealand Newydd, pan gyd â'r Cadpen Cook y tro cyntaf, a fesurasant bren yn ddeunaw troedfedd a phedwar ugain o uchder, heb un gangen arno, ac yn hollol union. Yr oedd yn bedair troedfedd ar bymtheg o gwmpas.

Gwelodd y Cadpen Cook yn ei drydedd fordaith gwch Indiad ar arfordir gorllewinol yr Amerig, yr hwn a gynnwysai ugain o ddynion ynddo, wedi ei wneuthur o un bonyn pren. Yr oedd llawer o'r cychod yn ddeugain troedfedd o hŷd,

yn saith o led, ac yn dair o ddyfn. Yn Hanes Môrdaith y Llywydd Philips i Botany Bay, fe ddywedir i ni fod y Pinwydd yn tyfu yno i faintioli anghyffredin; rhai o honynt yn wyth neu naw ugain troedfedd o uchder, a naw neu ddeg troedfedd o dryfesur; y maent yn fynych yn bedwar ugain troedfedd heb un gangen.

Y Llyfanen yn Hatfield yn Lloegr Newydd yn Massachusets yw 'r fwyaf yn y dalaeth, meddant. Y mae yn bedair troedfedd ar ddeg ar hugain o gwmpas, a dwy droedfedd oddiwrth y ddaear. Ym mhen oddeutu pum troedfedd oddiwrth y lle meinaf yn y bonyn, y mae yn bedair troedfedd ar hugain a hanner o gwmpas. Y mae bwlch ynddi, yr hwn, medd traddoddiad, a wnaeth yr Indiaid er dangos uchder y llif mwyaf a fu yn yr afon.

"Y pren mwyaf yn Lloegr," medd y Dr. Hunter, "y darllenais am dano, yw yr hwn y sonir am dano gan Smallie yn Noethineb Hanes Anian, yr hwn oedd yn tyfu yn Cowthorpe, yn agos i Wetherby, ar dir y Gwir Anrhydeddus Lady Stourton. Yr oedd ei faintioli agos yn anghredadwy. Y mae yn mesur yn ymyl y ddaear chwe troedfedd ar hugain. Ei uchder yn awr (1776) yn ei adfeiliad, sy bum troedfedd a phedwar ugain; ac y mae ei brif gangen yn un llath ar bymtheg o hŷd. Wrth eu cydmaru a hon, nid yw y coed eraill ond gwïail." Dywed Lewis a Clarke iddynt weled yn agos i lann yr afon Colembia, Binwydd yn ddeuddeg troedfedd o dryfesur, a dau gant o hŷd.

Y Dderwen fwyaf yn agos i Charleston a ofyn bymtheg cam mawr i fyned oddi amgylch iddi, a chammu mor agos ag y galloch atti. Ym mhen pedair troedfedd o'r ddaear, y man meinaf o'r bonyn, hi a fesura ddeunaw troedfedd a chwarter; a mesura un gangen iddi ddeuddeg troedfedd a hanner o gwmpas. Taflai hon gysgod, pe byddai yr haul uwch ei phen, dros dri chant a thriugain a deg o droedfeddi. Y mae Derwen o'r Yrfa Charleston, i'r hon y mae cangen yn ymestyn yn syth oddi wrthi dros bymtheg a thriugain troedfedd. Y coedydd hyn oll a dyfasant yn y cylch cymmedrol o'r ddaear.

T.

---

## DAMWAIN ALARUS YN YR ERYRI.

Pan oeddwn, ar brydnhawn yr unfed dydd ar ddeg ar hugain o Ragfyr, yn gwylied fy mhraidd ar un o fynyddoedd Eryri, digwyddodd i mi yn ddisymmwth ddyfod at enau ogof helaeth, lle y gwelais y golwg mwyaf gresynus a ganfyddais i erioed, ac y clywais y fath oernadau a griddfan ag a ddadseiniant yn fy nghlustiau drwy holl yspaid y flwyddyn bresennol. Gan dybied y bydd peth awyddfryd yn eich darllenwyr wybod hanes cyflawn y ddamwain a effeithiodd mor ddwys ar fy meddyliau fy hun, cymmerais yr hyfder o'i danfon at Gyhoeddwr y GWYLIEDYDD.

Pan aethum y tu mewn i'r ogof, ymddangosai y fan megis yn ymhelaethu o'm blaen; ac yno, mewn cilfach yn y cwrr pellaf, canfyddwn henafgwr musgrell yn gorwedd ar wely o ddail gwywedig, wedi ei amwisgo â mantell eiryawg, ei gymmalau yn sythedig, ac yn rhy weinion i gynnal eu perchennog, ei farf hir yn llwyd-wen hynod, a'i holl goryn yn eithaf moel. Cryggasai ei lais; pallasai i radd fawr ei anadl; prin yn unig, a hynny gyd âg aml attalfa, y medrai ddywedyd ychydig eiriau; a dangosai, yn ei holl ymarweddiad, argoelion diammheuol adyn truan ar drangcedigaeth.

Ni's gallai neb syll-dremio ar y cyfryw olwg tristfawr, heb dosturio;

gofynais yn awyddus, pa beth a'i dygasai i le mor anhyspell—pa beth oedd ansawdd ei ddolur—a pha amgylchiadau gofidus a barai iddo y fath wendid a phoenau. Beth, meddwn, yw yr achos? Achos ddigon, eb yr henafgwr, gan dorri ar fy ymadrodd; yr wyf fi ar fin trangcedigaeth, nesâodd terfyn fy mynydau, a diffodda fy anadl diweddaf pan darewir deuddeg o'r gloch heno.

Och! nid felly, gobeithiaf, fy ewythr druan, ebe finnau; gobeithiaf nad ydyw eich cyflwr cyn waethed. Ond rhyfedd a gofidus gennyf eich gweled mor unigol a hyn. A oes gennych neb o gyfaill neu berthynas y rhai a allaf fi eu cyrchu attoch, fel y dyhuddent ryw faint ar eich aflonyddwch meddwl, ac yr esmwythâont eich doluriau, yn eich awr ddiweddaf.

Afraid hylwyr, attebai yr henafgwr, fyddai i mi drafferthu eich hynawsedd. Ni feddaf gymmaint ag un perthynas yn alluog i'm cynnorthwyo; a hyn a gyflawna fesur chwerw fy ngofidiau. Pa un o ddarllenwyr prydydd-waith Llywarch Hên nid yw yn cyd-ymdeimlo â'r henafgwr, pan alara dros ei ddeuddeg bachgen arwrawl eurdorchawg? Mwy o lawer y dylid cyd-alaru â minnau, yr hwn a genhedlais ddeuddeg o fechgyn mor hoyw-wych a glandeg a neb yn y wlad, er mai myfi sy'n ei ddywedyd, yr hwn a berchennais, o amser i amser, nid llai na deuddeg a deugain o wyrion, ac o orwyrion nid llai na chwech a thriugain a thri chant; ac yn awr meirw yw y cwbl, oddigerth yr eneth hon sydd yn gorwedd yn fy mynwes, fy orwyres ieuengaf.

Ar hynny deallais pwy oedd yr henafgwr; deallais mai UN MIL WYTH GANT AC WYTH AR HUGAIN oedd, yr hwn a welswn ychydig fisoedd o'r blaen mor ieuangc a llawen; ac yn awr (y cyfryw ydyw effaith niweidiol amser) a syrthiasai i gymmaint musgrellni. Gan fod pawb o'ch darllenwyr, yn ddiau, yn cofio yr henafgwr unwaith mor ieuangc a hoenus a'r llawenaf o honynt eu hunain, tybiwn na byddai yn annymunol ganddynt glywed ychydig o'i hanes, a'i eiriau diweddaf.

"Mab wyf fi," meddai, "i'r hen ŵr AMSER, a'r diweddaf o'i holl hiliogaeth. Bu iddo o'm blaen i nid llai na phum mil wyth gant ac wyth ar hugain o feibion; ond digwyddodd iddo bob amser weled y naill blentyn yn olynol yn marw ar enedigaeth y llall. Barna rhai fod iechyd yr henafgwr ei hun yn debyg o dorri i fynu yn fuan; a phan genhedla gant neu ddau ychwaneg o feibion, y bydd ei deulu yn gyflawn, ac y derfydd yn hollol am dano yntau ei hun."

Yna ymaflodd yr *henafgwr* yn ei lyfr, ac edrychodd yn athrist ar y dalenau yn olynol. Gwelwn iddo gadw cyfrif manwl o'r mynydau a'r oriau, y dyddiau a'r misoedd, a rannasai efe i ddynion, a'r modd y treuliasid hwynt. Deallais yr edrychai efe ar y dyddiau a'r misoedd, a aethent heibio, nid megis *rhodd*, ond hytrach megis arian benthycciedig, y rhai y disgwyliai gyfrif am danynt. Ansawdd ei gyfrifon ni byddai gennyf amser i adrodd gyda manylrwydd; ond tybiwyf y gallai cydwybod y darllenydd gyflawni, i radd fawr, yr hyn sydd ddiffygiol yn fy hanes. Eithr un peth ni fedraf lai na dal sylw arno. Pan droai yr henafgwr at un tu dalen, treiglai ddagrau, megis dyfroedd lawer, hyd rychau ei wynebpryd. Cynnwysai y ddalen hon hanes deuddeg a deugain o Suliau, sef y rhan werthfawroccaf o'i roddion, a'r rhan, ysywaeth! a gam-ddefnyddiasid fwyaf. O'r tu arall, rhaid cyfaddef bod ar gyfer y Suliau hyn fwy o addewidion têg, a bwriadau da, nag ar holl ddyddiau

eraill y flwyddyn; ond canfyddwn, wrth droed y rhan fwyaf o honynt, y sylw-nod canlynol:—*D. S.* Torrwyd yr addewidion têg, ac aeth y bwriadau da oll i anghof. Yn y fan, ennynodd digofaint yr henafgwr, a lled-wridodd ei wyneb glaswyn unwaith drachefn; ac yna, gan ymaflyd yn yr addewidion, efe a dorrodd y papur yn fil o ddarnau, ac a'u chwalodd tu a'r pedwar gwynt.

Buan, er hynny, y darfu ei lidiawgrwydd; a chan lariciddio yn ei yspryd, efe a ddywedodd yn fwynaidd, Gweddusach i mi dosturio na llidio wrth y troseddwyr; canys iddynt eu hunain, yn hytrach nag i mi, y gwnaethant y niwaid mwyaf. Gobeithiaf yn gardodol yr ystyriant, wedi fy marw, eu drwg ymddygiad tu ag attaf, ac yr edifarhant o'i blegid. I'r cyfryw, fy nghyngor diweddaf yw, na chollant amser mewn gofid diles; canys er eu holl ofid a'u hedifeirwch ni's gallant fy adferyd i fywyd. Byth, yn ddiau, byth ni ddychwelaf i einioes drachefn. Dymunwn yn hytrach arnynt barchu a defnyddio fy mrawd ieuengaf, yr hwn a enir mewn ychydig o oriau. Goheithiaf y caiff nid llai anrhydedd na minnau ar ei enedigaeth—ac na siomir m'ono gwedi, fel finnau, gan addewidion têg, a bwriadau disail. Cofied dynion fod un weithred lwyddiannus yn werth deg o addewidion.

Dywenydd mawr oedd gennyf wrandaw ar ymadroddion mor synwyr-gall a doethlawn; a glynais yn ddiysgog wrth yr ymadroddwr, gan ei ymgeleddu a'i ddiddanu hyd y gallwn. Hyd yn hyn, tybiaswn, fel hurtyn difeddwl, fod y flwyddyn wedi ei rhoddi yn unig i fwytta, ac yfed, ac ymlawenhau; a syndod mawr oedd gennyf weled mor ddichlyn a gofalus y cadwesid cyfrif am bob mis, pob wythnos, ïe pob dydd, ac awr, a mynyd o honi. Dwys-addunedais y gwnawn ar Suliau y flwyddyn ganlynol ryw beth amgenach nag addaw yn unig; a dywedais, o ddyfnder calon, a chyda mwy o ddifrifwch nag erioed o'r blaen, "Arglwydd, dysg i mi felly gyfrif fy nyddiau, fel y dygwyf fy nghalon i ddoethineb."

Megis y trymhaodd cysgodau y prydnhawn, gwanychodd yr henafgwr fwy-fwy, a syrthiodd i aml lewyg, hyd oni roddes i fynu yr yspryd, fel y rhag-ddywedasai ei hun, ar hanner nos. Wrth ddilyn ei gynhebrwng, rhyfedd oedd gennyf ddal sylw leied o barch a ddangosai y lluaws i'w hen gyfaill marw. Ar y brawd ieuengaf y gwenai pawb, am hwnnw yr ymadroddai pawb; a deallais nad oedd eu bwriad i wastattâu eu cyfrifon gyd â'r brawd hynaf, eithr rhedeg, cymmaint ag a allent, i ddyled y mab newydd. Ai gweddus, ai diogel yw myned fel hyn ym mlaen i hela dyled newydd o amser i amser, bernwch chwi, Y GWYLIEDYDD. Gan obeithio y gosodwch farn ddiduedd yn yr achos drwy helynt y flwyddyn bresennol—ydwyf, gyda phob ewyllys da, eich ufudd wasanaethydd,

BUGAIL CWM IDWAL.

*Ionawr* 3, 1829.

---

## CWYN-ACHWYNIAD CYFAILL AM GAEL EI ESGEULUSO.

SYR,—Un wyf fi o'r personau anffodiog hynny y rhai y mae llai o ymorol am danynt yn ein dyddiau ni nac a fyddai arferol o fod! Yn wir, y mae llawer o deuluoedd y rhai na bu iddynt fy ngwahodd yn nghorph y deng mlynedd diweddaf, ac y mae rhai pobl nad ydynt yn cofio fy ngweled erioed o fewn eu drysau. Yr anghymmwynasgarwch hyn sydd yn rhoddi i mi ddirfawr boen; canys i ba le bynnag yr âf byddaf yn sirioli y man lle byddwyf, ac yn chwanegu yno lawn han-

ner awr o oleuni bob dydd, ac hefyd yr wyf yn gynnorthwy rhagorol tu ag at gadw ymaith y Meddygwr; ac heblaw hyn oll, pe digwyddai i mi ond ymweled unwaith bob blwyddyn â fy nghyfeillion, ni byddai y draul ond yr ychydig lleiaf, yr hyn a ad-dalir iddynt yn dda oddiwrth y budd sydd yn deilliaw o'm cymdeithas.

Yr wyf fi, yn ostyngedig, yn erfyn arnoch fy nghynnorthwyo, ac i wneuthur fy achos yn adnabyddus, ac yr wyf yn gobeithio, trwy eich clod-air chwi, nid yn unig y bydd i mi gael cyfeillion newydd, ond hefyd i'm dal yn fwy mynych mewn cyd-gyfeillach â'r rhai hynny a'm gwelsant o'r blaen, o achos ni byddaf yn foddlon oni chaf ddychwelyd cyn i effaith fy ymweliad cyntaf gael ei anghofio. Fy nghyfeillion lliosoccaf sydd yn trigo yn Nehaubarth Cymru; ac os digwydd i hyn gael ei ddarllen gan rai o honynt, yr wyf yn erfyn arnynt dderbyn fy niolchgarwch mwyaf am fy nerbyn cyn amled i'w tai; ac nis medraf lai na meddwl, pe digwyddai iddynt edrych i mewn i fwthynod myglyd a di lewyrch gogledd-dir Cymru, byddai iddynt ryfeddu weled cyhyd y bum heb ddangos fy ngwyneb yno. Pan y byddwyf yn myned i mewn i dŷ, ni bydd arnaf ond eisiau yn unig help y wraig dda, neu un o'r plant hynaf, i'm gwneud yn saig o wyn-olch ardderchog,——

Eich cyfaill glandeg,

CALCH BRWD.

---

GEIRIADUR BUCHDRAETHIADOL.

MR. GWYLIEDYDD.—Cyhuddir ein cenedl, gan ryw rai, o fod yn fwy ffrostus o'i hiaith, hynafiaeth, a'i gwroldeb, nag unrhyw genedl arall. Nid wyf am wrthddadleu â'r cyfryw yn bresennol, p'odd bynnag. A wyddoch chwi pa beth a'm synnodd i, Mr. Gwyliwr, cyn heddyw? O ba le y gwn i, medd-wch chwithau? Wel, a wyddoch chwi, holl ddarllenwyr y GWYLIEDYDD, beth sydd arnaf fi awydd mawr ei weled? Na wyddom ni, medd y rhei'ny, ac ni's gwaeth gennym chwaith. Wel, rhag gwneud i bobl foesgar ymheriaw, dyma a'm synnodd—na welais erioed, o Aberdaron yn Lleyn i'r Morfa Du, nac o Hafren i Dŷ Ddewi, gymmaint ag un Geiriadur Buchdraethiadol Cymreig! A'm hawydd ydyw gweled un, yn dechreu yn debyg i hyn (fel y gwelo'r cyhoeddwr yn addas, chwi a wyddoch)—"GEIRIADUR BUCHDRAETHIADOL CYMRAEG; yr hwn a gynnwys hanes fèr a chryno *o bob Cymro* a fu yn nodedig yn ei ddydd a'i genhedlaeth; *pob Cymro* a ragorodd mewn unrhyw gangen o ddysgeidiaeth, gwroldeb," &c. &c. Dyna fo; a phwy a'i gwna, medd rhywun? medrwn ysgrifennu ei enw gystal ag yr ysgrifenwn *GARMON*.

Wel, o ddifrif, frodyr a thadau, geraint a chyfeillion, drwy Gymru oll, ymafled rhywun yn y gwaith: ac os paid a dweud hanes Gomer yn gyflawn, a gwneud Cymro glân o Adda, a hyspysu y pryd ei ganwyd, mi a dderbyniaf 20 o'i lyfrau, pe costient *goron*. Peidiwch chwi a meddwl na welais i y "*Cambrian Biography*," wedi ei rwymo bob yn ail ddalen o wyn a du, a llenwi llawer o'r rhai gwynion â Chymry enwog a fuasent feirw wedi argraphu'r llyfryn. Wel, da chwi, Ohebwyr dysgedig, gadewch weled eich meddyliau ar yr achos yn y GWYLIEDYDD, ac nac oedwch, rhag marw o honof cyn gweled *BUCHDRAETHIAD CYMRAEG*, ac na bo neb arall ar fy ol yn.

*Bran Pryder*, AWYDDUS.

*O. S.* Na feddylied neb fod ysgrifenydd y llythyr hwn âg un meddwl ynddo i gyhoeddi y fath lyfr: dymuno gweled y fath un yn unig a barodd iddo anfon hyn i'r GWYLIEDYDD.

## DILIAU BARDDAS.

Wyliedydd llafurus—Byddwch cystal a danfon y llythyr hwn etto, trwy gyfryngdod eich Greal, at *Fardd Nantglyn*, i'w hyspysu mai rhuthro, mal hogyn diriaid ysgol pen mynydd, i ganol ei Ddiliau a ddarfu i mi, yn lle eu cymmeryd o'u dechreu yn rheolaidd, megis y dylaswn. Dymunwn yn ostyngedig hyspysu B. N. hefyd, ddarfod i mi ryw ddiwrnod yn yr wythnos ddiweddaf ddarllen ei ragarawd i'w Ddiliau, a fy mod trwy hynny wedi cael llwyr foddlonrwydd i'm meddwl mewn perthynas iddynt; a phe gwnaethwn felly ar y cyntaf, attaliasai hynny lawer o wawdio diachos, a phoen i'm hyspryd innau hefyd. Yr wyf yn erfyn yn ostyngedig am ei faddeuant; ac os bydd wiw ganddo ganiattâu y gymmwynas hon i mi (er y gwn nad wyf yn haeddu dyferyn o ddwfr oer o'i law) attolwg, dangosed ei fod yn hoffi trugaredd yn hytrach na barn, yn eich Gwyliedydd, fel y byddo i fy nghydwybod euog lonyddu fy mynwes.

Pechais, nid o gais, dyna 'r gwir——fy lle
  Fydd yn y llwch, gwelir;
 Ai tybaid yr attebir
 Iuddew dwl ei eiddo, dîr?

MORDECAI.

---

## AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.

Syr—Yn ddiweddar, wedi blynyddau meithion o absennoldeb, bu i mi ymweled â vy mro enedigol, yn yr hon yr arosais dalm o ddyddiau. Wrth holi ac ymovyn am helyntion vy hen gymdeithion, ym mysg pethau eraill a adroddid yn hynt eu bywyd, nid oedd dim yn rhoddi mwy o hyvrydwch i'r hanesydd na gallu ychwanegu, "Y mae o wedi dyvod at grevydd—O, hon a hon, y mae hi yn awr yn profesu ——." Pan ovynais am vy hen gyvaill o'r Vron ——, ve'm hattebwyd:—"Y mae o wedi marw. Yr oedd rhywbeth yn bur *feind* ynddo vo, yr oedd o yn hynod o ddiwyd yn y moddion—yn bur voesol yn ei vywyd—yn dra elusengar a chariadus yn ei ardal; ond mae 'n ddrwg gan i ddweyd, 'doedd o ddim gyda chrevydd."

O herwydd vod y cyvryw ymadroddion yn ddieithr i'm clustiau i, byddav dra diolchgar os bydd i chwi, neu rai o'ch gohebwyr, egluro i mi, Pa beth y mae y bobl hyn yn feddwl wrth *ddyvod at grevydd—bod gyda chrevydd—a phrofesu crevydd?*——Yr eiddoch, &c.

A.

---

## EISTEDDFOD DINBYCH.

Mr. Gwyliedydd,—Goddefwch i mi osod dau ofyniad ger eich bron chwi, a'ch Gohebwyr serchogaidd.

1. Aethym i dŷ cyfaill un noswaith yn ddiweddar, a phwy a ddamweiniodd fod yno ond dieithr o ymdeithydd; a thestun ymddiddan y ddau oedd Eisteddfod Dinbych. Ym mhlith pethau eraill o dan eu sylw, perthynol i'r Eisteddfod odwyoh honno, oedd hyn;—haerai gwr y tŷ mai yn Nhalaeth Powys y mae tref Ddinbych; ond y dieithr a ddywedai yn gadarn mai yn Ngwynedd y mae hi: "ac, onidê (ebe ef) paham y cynnaliodd Cymmrodorion Gwynedd eu Heisteddfod ym Mhowys?" Ond gwr y tŷ a ddechreuodd ffrommi—cododd ei waed i'w wyneb, a galwodd arnaf fi i fod yn farnwr arnynt eu dau. Dechreuodd wregysu ei lwynau, a dywedodd—"Chwi a wyddoch i Gymru gael ei dosparthu yn bedair Talaeth; sef, Powys a Gwynedd yn y Gogledd, a Dyfed a Gwent yn y Deheudir, ac Esgob ym mhob Talaeth; Esgob Llanelwy ym Mhowys, Esgob Bangor yn Ngwynedd, Esgob Tŷ Ddewi yn Nyfed, ac Esgob Llandaf yn

Ngwent. Cynnwys Powys Siroedd Dinbych, Fflint, Trefaldwyn, a rhan o Sir Amwythig. Gwynedd, Siroedd Môn, Arfon, a Meirion. Dyfed, Caerfyrddin, Ceredigion, a Phenfro. Gwent, Morganwg, Brycheiniog, a Maesyfed; ac y mae 'r drefn er's naw mlynedd yn ol o gynnal yr Eisteddfodau Taleithiawl yn profi fy haeriad. Os nad Eisteddfod Powys oedd yr hon a gynnaliwyd yn Ninbych, yr Alban Elfed diweddaf, ni's gwn i pa fodd y dichon i neb, o briodoldeb ei chyfenwi yn Eisteddfod Gwynedd. Powyswr oedd y Llywydd, ynghyd â'r rhan fwyaf o'r Cyfeisteddwyr. Er i'r enwogion, Blackwel a Pugh, ddywedyd ar uchaf hen Gastell Caledfryn, Medi 16eg, eu bod yn——yn ngwydd y byd, ac yn ngolwg yr haul, yn Ninbych, yn Ngwynedd, ni chredaf hwy, hyd nes y mynegant hwy, neu ryw rai eraill, i mi fod Bugail *St. Asaph* yn bugeilio defaid ei frawd Fugail o Wynedd, neu, nad yw Powys ond rhyw gyfran, megis lled llaw gwr, o gylch Dyfrdwy, wedi gadael o honi *Barc* Syr Watcyn, a glànau Hafren, o Blumlumon hyd i Bengwern yn Mhowys?" Dygodd y dieithr amrywiol o resymau cedyrn er profi ei haeriad yntau; ond y cwbl yn aneffeithiol i roddi boddlonrwydd i ŵr y tŷ.

Gan nad oeddwn i yn ŵr difai i farnu rhyngddynt, penderfynais ddanfon sylwedd eu dadl i'ch Cylchgrawn, i ofyn i chwi, neu ryw rai o'ch Gohebwyr hanesyddawl, pa un o'r ddau ŵr yma oedd ar yr uniawn? Attebiad ebrwydd, efallai, a rydd derfyn ar ymryson y ddau Gymro dihocced, &c.

Yr hyn wyf ar feddwl i ofyn yn 2il, yw, Ai gwir fod Cymreigyddion Corwen, Dinbych, Rhuthyn, &c. wedi meirw, ynte cofleidio egwyddorion Brutus a ddarfynt? Os byw ydynt, a ydyw eu brwdfrydedd dros eu hiaith gyssefin wedi llwyr ddiffodd? ai, ynte, myned a wnaethant, fel Judas, i garu golud yn fwy na charu gwneuthur daioni ym mhlith eu brodyr? Meddyliais unwaith na buasai byth ddiwedd ar eu hanrhegion, ac na buasai bathdy Caerludd byth yn dyfod i ben a bwrw digon o dlysau a phenaduriaid iddynt i'w dosparthu rhwng Beirdd, Traethodwyr, Areithwyr, a Thelynorion teilwng Cymru. Rhyfygais ddywedyd, o gylch dwy flynedd yn ol, wrth fy ewythr Wmffre o Hafod y Maidd, y buasai Berwyn yn llammu tros Fynyllod, Coedmarchan tros goppa uchaf y Llainwen, a hen gastell Caledfryn ymadael â'i orsedd, cyn y buasai diwedd ar y Cymreigyddion hyn yn coleddu eu hiaith.

Os rhoddwch le i'r ddau ofyniad uchod yn eich Cylchgrawn, byddai yn ddywenydd gan eich gohebydd newydd,

OWEN LAWGOCH.

*Glan Clywedog.*

---

## MEDDYGON.

GOFYNODD Ymerawdwr China i Syr G. Staunton, ym mha fodd yr arferid gwobrwyo Meddygon ym Mhrydain. Attebodd y Sais, mai yn ol nifer eu hymweliadau, ac na's gwobrwyai neb mo honynt oddigerth yr afiach, a hynny yn ol amser eu hafiechyd. "Ffordd ynfyd iawn," eb yr Ymerawdwr, "yw honno i ymdrin â Meddygon, yn fy meddwl i. Y mae gennyf fi ffordd lawer amgenach. Perthyna i mi bedwar o feddygon, y rhai yr ymddiriedwyd gofal fy iechyd iddynt; a gosodir iddynt ddogn o arian neu wobr wythnosol; ond cyn gynted ag y clafychwyf fi, attelir y gwobrwy hyd oni byddaf holliach drachefn." Afraid yw ychwanegu mai byrr iawn yw pob afiechyd.

C.

# BARDDONIAETH.

## MARWOLAETH YR ESGOB HEBER.

### GALARNAD AROBRYN—GAN ALUN.

Llr treigla 'r *Caveri*[1] yn donau tryloywon
  Rhwng glenydd lle chwardd y pomgranad a'r pîn,
Lle tyva perlysiau yn llwyni teleidion,
  Lle distyll eu cangau y neithdar a'r gwin;
Eisteddai *Hindoò* ar lawr i alaru,
Ei ddagrau yn lliv dros ei ruddiau melynddu,
A'i vron braidd rhy lawn i'w davod levaru,
  Ymdòrai ei alaeth vel hyn dros ei vin.

" Vy ngwlad! O vy ngwlad, lle gorwedd vy nhadau!
  A'i mangre y nos vyddi byth vel yn awr?
Y Seren a dybiais oedd Seren y borau,
  Ar nawn ei disgleirdeb a syrthiodd i lawr;
Y dwyrain a wenai, y tymmor tywynodd,
A godrau y cwmwl caddugfyd oreurodd;
Disgwyliais am haul—ond y Seren vachludodd
  Cyn i mi weled ond cysgod y wawr.

" Vy ngwlad! O vy ngwlad! yn over yr hidlwyd
  I'th vynwes vendithion rhagorach nag un,
Yn over âg urdd bryd a phryd y'th anrhegwyd,
  Cywreindeb i vab a phrydverthwch i vûn;
Yn over tywyni mewn gwedd ddigyvartal,
A blodau amryliw yn halio dy anial,
A nentydd yn siarad ar wely o risial,
  A phob peth yn ddwyvol—ond yspryd y dŷn.

" Yn over y tardd drwy dy dir heb eu govyn
  Ddillynion per anian yn vil ac yn vyrdd;
Yn over y gwisgwyd pob dol a phob dyfryn
  A dillad Paradwys yn wyn ac yn wyrdd;
Yn over rhoi awen o Nev i dy adar,
A gwythi o berl i vritho dy ddaear;
Yn over pob dawn tra mae bonllev a thrydar
  Yr anghred a'i anrhaith yn llenwi dy fyrdd.

" Dy goelgrevydd greulon wna d'ardd yn anialdir,
  Ei sylvaen yw gwaed, a gorthrymder a cham:
Pa oergri vwrlymaidd o'r *Ganges*[2] a glywir?
  Maban a voddwyd gan grevydd y vam:
Ond gwaddod y gwae iddi hithau ddaw heibio;
O! dacw 'r nen gan y goelcerth yn rhuddo,
Ac uchel glogwyni y Malwah 'n adseinio
  Gan ddolev y weddw o ganol y flam.

---

[1] *Caveri*—avon yn Ngorllewin Hindostan, a liva heibio Trichinopoly, claddva yr Esgob Heber, ac a ymarllwysa i vôr Coromandel wrth Tranquebar.

[2] *Ganges*—priv avon India—gwrthddrych addoliad y Brahminiaid. Cyfredin ydyw i wragedd davlu eu mabanod i'w thonau er mwyn boddio y duw Himalaya, a elwir yn Dad y Ganges.

[3] Y *Malwah*—rhes o vynyddoedd uchel yn nghanol Hindostan. Nid yw cyngor na cherydd Prydeinaidd yn gallu rhwystro yr arver greulon gynhwynol o losgi gweddwon byw gyd â'u gwyr meirw.

" Gobeithiais cyn hyn buasai enw Duw Israel,
  A'r aberth anveidrol ar ael Calvari,
Yn destun pob cerddi o draeth Coromandel,
  A chonglau Bengal hyd i eithav *Tickree*;[4]
Ac onid oedd *Brunah*[5] yn crynu ar ei cherbyd,
Er y pryd y bu Swartz yn cyhoeddi vod bywyd
Yn angau y groes i Baganiaid dwyreinvyd?—
  Pan gredodd vy nhad yr hyn ddysgodd i mi.[6]

" A'th ddoniau yn uwch, ac yn uwch dy sevyllva,
  A'th enaid yn dân o ennyniad y Nev,
Cyhoeddaist ti, Heber, yr un rhyw ddiangva,
  Gyd â'r un serch ac addvwynder ag ev;
Dyverai vel gwlith ar y rhôs dy hyawdledd,
Ennillai 'r digred at y groes a'r gwirionedd,
Llonyddai 'r gydwybod mewn nevol drugaredd;—
  Mor chwith na chav mwyach byth glywed dy lev!

" Doe i velynion a gwynion yn dryvrith,
  Cyvrenit elvenau danteithion y nen;
Y plant a veithrinit nesâant am dy vendith,
  A gwenent wrth deimlo dy law ar eu pen;
Doe y datgenit vod Nev i'r trallodus—
Heddyw fraethineb sy vud ar dy wevus—
Ehedaist o'r ddaear heb wasgva ovidus,
  I weled dy Brynwr heb gwmwl na llen.[7]

" Vy ngwlad! O vy ngwlad! bu ddrwg i ti 'r diwrnod
  'R aeth Heber o rwymau marwoldeb yn rhydd;
Y grechwen sy 'n codi o demlau 'r eilunod,
  Ac uffern yn ateb y grechwen y sydd;
*Juggernaut*[8] erch barottoa 'i olwynion—
Olwynion a liwir gan gochwaed dy veibion—
Duodd y nos—ac i deulu Duw Sion
  Divlanodd pob gobaith am weled y dydd."

Yn arav, vy mrawd, paid, paid anobeithio,
  Gwnai gam âg addewid gyvoethog yr Ior:
A ddifydd yr haul am i seren vachludo?
  Os pallodd yr aber a sychodd y môr?
Na, na, ve ddaw boreu bydd un Haleluia,
Yn ennyn o'r Gauts hyd gopäau *Himalaya*,[9]
Bydd baner yr Oen ar bob clogwyn yn India,
  O aelgerth Cashgur hyd i garth Travancore.

---

[4] Nid anghyfelyb Hindostan i driongl*yn*: Coromandel, Tickree, a Bengal, ydynt y conglau.

[5] *Brunah*—priv dduwies y Brahminiaid.

[6] Tybir bod tua 40,000 o Gristionogion, ond bod mwy na'u hanner yn Babyddion, yn y Carnatic. Nid yw prin werth crybwyll mai un o hil disgyblion Swartz, Cenadwr enwog tua chan mlynedd yn ol, ydyw yr Hindoo a ddychymyga yr Alarnad.

[7] Angau disyvyd a gymmerodd Heber ymaith tra y mwynâi drochva dwymn. Y dydd o'r blaen—y Sabbath—cyvlawnai ddyledswyddau ei daith Esgobawl.

[8] *Juggernaut*—un o eilunod pennav Hindostan. Ar ei gylchwyl llusgir ev ar gert anverth i ymweled â'i havoty. Ymdavla miloedd o'i addolwyr dan ei olwynion trymion, ac yno y llethir hwynt.

[9] *Gauts*—mynyddoedd uchel wrth Travancore, penrhyn *deheuol*.—Himalaya, mynyddoedd uwch, wrth Cashgur, penrhyn *gogleddol* Hindostan.

A hwyrach mai d'.wyrion a gasglant y delwau,
  A vwrir i'r wadd ar bob twmpath a bryn,
I'w gosod ar veddrod ein HEBER yn rhesau,
  Ei gyvran o yspail ddymunodd cyn hyn:
*HEBER!*—ei enw ddeffrodd alarnadau,
Cydymaith mewn galar, rho venthyg dy dannau,
Cymmysgwn ein cerddi, cymmysgwn ein dagrau,
  Os dinôdd y gerdd bydd y llygad yn llyn.

Yn anterth dy lwydd, HEBER, syrthiaist i'r beddrod,
  Cyn i dy goryn ddiwyn un blewyn brith;
Yn nghanol dy leni y gwywaist i'r gwaelod,
  A'th ddeilen yn ir gan y wawrddydd a'r gwlith:
Mewn mynyd newidiaist y *mitre* am goron,
A'r vantell esgobawl am wisg wen yn Sion,
Ac acen galarnad am hymn anvarwolion,
  A thithau gymmysgaist dy hymn yn eu plith.

Llwyni *Academus*,[10] eynorsav dy lwyddiant,
  Lle gwridaist wrth glod y dysgedig a'r gwâr;
Y cangau a eiliaist a droed yn adgoviant
  O alar ac alaeth i'r lluoedd a'th gâr:
Llygaid ein ieuenctid, a ddysgwyd i'th hoffi,
Wrth weled dy ardeb[11] yn britho 'n fenestri,
A lanwant, gan govio vod frydiau Caveri,
  Yn golchi dy vynwent wrth draeth Tranquebar.

Llaith oedd dy vin gan wlithoedd *Castalia*,
  O *Helicon* yvaist yn morea dy oes;
Ond hoffaist wlith Hermon a frydiau Siloa,
  A swyn pob testunau daearol a foes:
Athrylith, Athroniaeth, a dysg ar Awenau,
A blethent eu llawryv o gylch dy arleisiau;
Tithau 'n ddi vôst a dderbyniaist eu cedau,
  I'w hongian yn ofrwm ar drostan y groes.

Pan oedd byd yn agor ei byrth i dy dderbyn,
  Gan addaw pob mwyniant os unit ag ev,
Coffeidiaist y groes, a chyvrivaist yn elyn
  Bob meddwl a geisiai vyn'd rhyngot a'r Nev:
Yn *Hodnet*[12] yn hir saiv dy enw ar galonau
Y dinaid ddychwelwyd yn saint trwy 'th bregethau—
Amddivad ga'dd borth yn dy briod a thithau—
  Y weddw a noddaist—y wan wneist yn grev.

Gadewaist a'th garant—yn yspryd Cenadwr
  Y noviaist dros donau trochionog y môr,
I ddatgan vod Iesu yn berfaith Waredwr,
  I Vahmond Delhi, ac i Vrahmin Mysore;
Daeth bywyd ac adnerth i Eglwys y dwyrain—
Ofrymwyd ar allor Duw Israel a Phrydain—
Yn nagrau a galar Hindoo gallwn ddarllain
  Na sengaist ti India heb gwmni dy IOR.

---

[10] *Llwyni Academus.* Nid oes ond a wypo a ddichon ddychymmygu y parch a dalwyd yn Rhydychain i HEBER, a'r parch a delir yno etto i'w enw. Yno y daeth gyntav i wydd yr oes drwy ei Balestine, a gyvieithiwyd i Gymraeg mor ardderchog gan yr unig wr cyvaddas i'r gorchwyl—yr enwocav Gymro, Dr. Pughe.

[11] *Ardeb—Portrait.*

[12] *Hodnet*—yn Amwythig—yno y cyvlawnai HEBER swydd Bugail Cristionogol yn ddivevl hyd ei symmudiad i India.

O Gôr Trichinopoly cadw di 'n ddiogel
  Weddillion y Sant i vwynâu melus hûn,
Pan verwo y weilgi ar lan Coromandel,
  Govynir adveilion ei babell bob un;—
Ond tawed ein pruddgerdd am bennill melusach,
A ganodd ein HEBER ar dannau siriolach;
Yn arwyl y Bardd â pha odlau cymmwysach
  Dilynir ei elor na'i odlau ei hun.

" Diangaist i'r bedd—pa'm galarwn am danat,
  " Er mai trigva galar a niwl ydyw 'r bedd?
" Agorwyd ei ddorau o'r blaen gan dy Geidwad,
  " A'i gariad wna 'r ddunos yn ddiwrnod o hedd.
" Diangaist i'r bedd—ac wrth adael marwoldeb,
  " Rhwng hyder ac ovn os unwaith petrusaist,
" Agoraist dy lygaid yn nydd tragwyddoldeb,
  " Ac angel a ganodd yr Anthem a glywaist."[13]

[13] Gwel y Gwyliedydd am Hydrev, 1827.

## AIL ARGRAPHIAD O "GWYNFAN PRYDAIN,"

Ar y Llong-ddrylliad a yspeiliwyd gan drigolion ar-for-dir Ceredigion yn y fl. 1818, gwedi ei gymmwyso at gyffelyb *Gyflafan* a weithredwyd ar golliant y llong *Emma*, llwythog o *Rum*, *Coffi*, *Siwgr*, *&c.* ar ei mordwy o'r India Orllewinol i Ffraingc, gan *Drigolion cymmydogaeth* Traethell *Cefn Sidan*, gerllaw Cydweli, yn Swydd Gaerfyrddin, ar y Sadwrn a'r Sabboth—29 a 30 o Dachwedd diweddaf.

*AR Y DON A ELWIR "CWYNFAN PRYDAIN."*

*Cwynfan Prydain*—cnofa i'n brodyr,
  Ochain dolur—achwyn du!
Ow, 'nhrigolion! mae 'n oer g'wilydd
  Adrodd beunydd modd y bu.
Ce's *Dderwyddon* gynt yn feibion
  Benau doethion heb un Duw;
Aberthai 'r bleiddiaid gyd-gre'duriaid
  I gythreuliaid gwaetha 'u rhyw.

Dylem gwyno 'r dwl *Baganiaid*,
  Dall drueiniaid, tywyll, trist;
Mwy yw 'r dalent, mawr yw dyled
  Rhai sy'n arddel credu *Crist!*
Yr oedd y rheiny 'n cyfeiliorni
  Heb oleuni yn y wlâd—
Fe wna 'r Barnydd Mawr gyfiawnder,
  Y mae 'n dyner mwyn iawn Dâd.

I wasgaru niwl y fagddu,
  Peri ffynnu pura Ffydd,
Daeth *Efengyl* anwyl ini,
  Gwir i dorri Gwawr y Dydd.
Gair y Bywyd a bregethwyd,
  Yna gwelwyd enwog wawr,
Caed i gelloedd ein mynyddoedd,
  *Glannau moroedd* Goleuni mawr!

[...]th anialwch noeth a niwlog
  Yn feillionog fel y llwyn,
[...]n ddwyn blodau *Ffydd* a'i *ffrwythau*,
  Per-aroglau moesau mwyn:—

Ond mewn dyddiau mwy diweddar—
  Braw—a galar—briw—a gwall,
Gwelwyd *enw proffes lewo*
  Gan *ffydd farw*—ffiaidd fall!

*Enw o ffydd* a wna ddiffoddi
  Heb oleuni bywiol wawr,
Poeth ei thrydar, heb weithredoedd,
  Tynna 'i miloedd i'r tân mawr!
*Iôr Goleuni* sy'n cyhoeddi,
  Os ystyri ystyr llawn—
" *Na ladrata*"—" Na chwennycha"—
  Ow! na phecha 'n anhoff iawn!

Anufudd-dod i'r cyfammod,
  Eglur hynod gwelir hyn,
Camrau di-ddysg—cym'ryd eiddo,
  *Llong-yspeilio*, twyllo tynn.
Mae dialedd *yma* 'n dilyn
  Aml lan-ddyn fu 'n rhy lew,
Daeth Rhagluniaeth â gwialennod
  *Effaith meddwdod—ryndod rhew.**

* Digwyddodd cyn hyn, i'r lladronach, gwedi yfed gormod o win, neu *frandi*, *&c.* perthynol i lwyth y llong golledig, yn eu meddwdod mochynaidd, anadlu eu hebwch diweddaf ar y traeth: ac eraill a gafwyd tan ormod o lwyth lledrad, ar ganol y ffordd i'w hanneddau, gwedi fferru gan " ryndod y rhew" duoer.

"*Gwylliaid Mawddu*,"† gâent eu barnu,
Eu penderfynu poender faith;
Ac fe grogwyd "*Lladron Grugyll*"‡
Am eu tywyll erchyll waith;—
*Chwithau* 'u ceraint—o bob cyrrau
*Gwlad y Dehau*—clod a dawn!
Cym'rwch rybydd—rhoddwch heibio
Llong-yspeilio, llwytho llawn.

Os gwall angor ym mysg llongau,
Os fel muriau tonnau 'r môr,
Os y meirwon gwaelion gwelwch—
Ow ystyriwch—*pwy* biau 'r stôr!
Bydol lawnder, nwyfau nifer,
Os daw llawer o'r môr lli,
*Pwy* yw 'r praddog wir berchenog?—
Enaid chwannog—*nid y chwi!*

Oes iwch' *frodyr* eu yn *forwyr*,
O glod pybur, mewn *gwlad bell?*
O! meddyliwch am *ddialedd*
Gan dorf giaidd mewn rhyw gell!
Môr chwyddedig—llong ddrylliedig!
Mwyaf peryg'—anhap yw
*Iddynt* ddiodde'—a'ch bod *chwithau*
'N llawn o feiau hyll *yn fyw!*

Mae glan-moroedd tair o Siroedd§
Yn dra chyhoedd mewn drych chwith,
Am ddrwg gastiau—'speilio llongau,
El yn ddryllian, placau i'w plith.

A *Chefn Sidan*—Och! arswydus!
Mae 'n g'wilyddus fod mewn gwlâd
Fath chwiw-ladron, anghrist'nogion,
Meddwon bryntion mwya 'u brâd.

Gado 'r *Iesu* gyda 'i drysor,
*Manna* 'r allor, mwyna' ryw!
Myn'd i'r domen ar ol *Demas*—
Rhagrith rhygras atgas yw.
Ow! gw'radwyddus gariad eiddo—
Oes dim gwrido—gwr—na gwraig?
Fod Eglwysydd a Chapelydd
Mor ddigrefydd ag yw 'r graig!

An-glod gymmaint i'n gwlad *Gomer*
Ni bu llawer—beiau llym!
Mwy di ogan, Ow! ymddygwch—
Na w'radwyddwch Dduw er dim.
Eppil flysig, nawdd dychymmyg
Pa ryw tebyg—pwy yw 'r Tâd—
Wrth y weithred mae amgyffred,
Hawdd yw gweled heb ddim gwâd.

---

† "*Gwylliaid Mawddu*" y gelwid teulu o yspeilwyr mileinig ar gyffiniau Meirionydd a Threfaldwyn, a grogwyd yn nheyrnasiad y frenhines Elisabeth, am ladd y Barwn Lewis Owen, Ynad y brawdlys ar ei ddychweliad o Sesiwn Dolgellau, mewn lle a adwaenir hyd heddyw tan enw "*Llidiard y Barwn*," ar fin y ffordd yn agos i Fallwyd.

‡ "*Lladron Grugyll*" a gawsant eu coll-farnu yn Sesiwn Beaumaris ym Môn, yn y fl. 1741, am yspeilio llong o *Liverpool* a ddrylliasid ar Draeth *Grugyll*. Dywedir iddynt, yn eu brys, dorri ymaith fys gwraig y llong-lywydd, a hi yn fyw, er mwyn y fodrwy aur oedd arno.

§ Sef Aberteifi—Penfro—a Chaerfyrddin. Gadawyd allan o'r argraphiad hwn enwau y *Mwnt* a'r *Ferwig*—*Penbryn*—*Llan Gwrwyg*, *&c.* o herwydd ein bod yn gobeithio na chlywir byth mwy sôn am eu glan-mor ladradau, gwedi eu hanferth gwymp yn y fl. 1818. Uwch ben yr yspeilwyr diweddar ar Draeth *Cefn Sidan* y cyfodir yn awr y ffangell.

*Chwi, Bregethwyr y Gair*—a ydyw y cleddyf llym dau-finiawg wedi pylu ei awch, fel na roddo friw ar gydwybod yr adyn a dorodd glust yr enethig ddeuddeg mlwydd oed, er mwyn meddiannu y dlws fodrwyawg oedd ynddi? Y mae esgymmunded yn eich dwylaw—esgymmunwch—nes y gweloch arwyddion edifeirwch cyrhaeddbell i'r galon.

*Chwi, Gymry diledryw*—eppil Brython cyntefig ein hynys—ymddidolwch, rai anwyl—deuwch allan o'u canol hwy—ymddidolwch, ac na chyffyrddwch â dim aflan, â dim gwaharddedig yn nghyfraith Dduw ac yn nghyfraith y tir—ymddidolwch oddiwrth eppil yr hen Wyddelod—canys diau nid Cymry o'r Cymry ydyw yspeilwyr eiddo eraill ar draethau môr—ond hiliogaeth y môr-wylliaid Gwyddelig, a ymsefydlasant ar orllewinawl fordiredd Cymru ar ymadawiad y Rhufeiniaid o'r Ynys, yn y 4edd ganrif, nes y deolwyd y lladronach gan dylwyth *Cunedda Wledig*. Ond er eu halldudo, gadawsant ar eu hol eu cywion a'u *Sibboleth* leferydd. Ymddidolwch—ac na bydded i chwi gydgyfeillach â gweithredoedd anghyfreithlon, ond yn hytrach argyhoeddwch hwynt.

*Chwi, blant yr Awen Gymreig*—cynhenid i chwi onestrwydd—ni ymhalogwch, fel mab *Carmi*, â gwaharddedig bethau eich hunain, ac ni oddefwch yn eraill yn ddigerydd. Os nad yw ofn Duw, nac ofn dialedd y gyfraith wladol—na bygythion na gwahoddiadau yr Efengyl—na gofal teimladwy am eu geirda eu hunain—Os nad oes dim o'r rhai hyn yn effeithiol i attal y gwylliaid rhag troseddu etto, fel y troseddwyd mor ddiweddar ar Draeth *Cefn Sidan*—yna ergydiwch folltau cynghanedd, nes y cocher â gwrid a chywilydd wynebau yr euogion, fel y delont i'r iawn ffordd allan o fagl diafol—Ond

Rhoddwch i'r fall yr eiddo—oni phwyllant
A phallu yspeilio—
Ni cheir (chwaith i'r diffaith Do)
Trugaredd ond trwy garo.

Na ryfygwch, anwir fagad,
  Alw 'n *Dad* haelionaf Duw;
'Fe bia gwrthod *feibion* gwarthus,
  Anwireddus ëon ryw;
Cabledd galw ar ei Enw
  Heb fyw 'n loyw, hoyw hawl—
*Gwae* sy'n canlyn gweision c'wilydd,
  Yn dragywydd heb y gwawl.

Och! fy meibion, clywch f'och'neidion,
  Gwael oer gwynion galar gas;
Mae Duw 'n addaw caloнau newyddion,
  Gwnewch ymryson am ei ras;
Fel gollyngoch lwythau llongau
  I'r rhai a'u piau oreu pen,
A chael addysg i chwi lwyddo,
  Gwnawn ddymuno bawb—*Amen.*

NAI IDRIS.

---

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## GROEG.

Dywedir fod y fyddin Ffrengig i ymadael â'r Morea yn fuan, ond i adael rhai milwyr yn Patras, Modon, Coron, a Navarino, hyd y 1af o Ebrill. Disgwylir erbyn hynny y bydd y Groegiaid yn ddigon galluog i gadw amddiffynfeydd eu tiriogaethau. A dywedir hefyd fod ammodau heddwch rhwng Ffraingc ac Algiers i gael eu llaw-nodi yn ddioed.

## TWRCI.

Hyspysir i ni fod y Sultan (ymerawdwr y Tyrciaid) wedi gorchymyn cyhoeddi drwy ei holl ymerodraeth, fod i bob *Mussulman* o bymtheg i driugain oed fyned tan arfau. Y mae y Capitan Pacha i hwylio i'r Dardanelles i sylwi ar ysgogiadau y lynges Rwssiaidd sydd i warchae yno. Ar yr achlysur o arddangosiad y faner sanctaidd, cyhoeddodd y *Mufti* (uchoffeiriad Mahometanaidd) esgymmundod yn erbyn y cyfryw a wrthodent fyned yn erbyn eu gelynion, neu a ddangosant drugaredd iddynt, ac hefyd i'r rhai a oddefant i gael eu cymmeryd yn garcharorion. Gorchymynwyd hefyd i'r *Grand Vizier* adgymmeryd Varna, bydded y draul a fyno— disgwylir wrth hyn y cedwir y rhyfel i fynu drwy 'r gauaf.

## PORTUGAL.

Y mae Portugal yn parhâu yn olygfa o annhrefn, cynnwrf, a chreulondeb. Er bod y wlad hon dan y rhwymedigaethau mwyaf i Brydain, er y draul a fuom ynddi i'w hamddiffyn, er i ni ei gwared oddiwrth ormes y traws-lywodraethwr, drwy golli aml filwr dewr, y maent yn bresennol yn gwawdio, ammharchu, a diystyru ein cydwladwyr yno, ac yn eu herlid yn greulawn. Hyd o fewn pymtheg mlynedd yn ol yr oedd enw Prydeiniwr yn dŵr o gadernid yno, ac wedi bod felly dros ganrif, yn awr nid ydynt ond gwawd-nôd a gwatwargerdd pob crach swyddog yn eu gwlad druenus. Dywed rhai o Newyddiaduron Llundain fod llongau rhyfel wedi hwylio i'r Tagus. Tybir y trinir rhai matterion ynghylch y wlad hon yn y Senedd nesaf, yr hon sydd i ymgynnull yn Chwefror.

## BRAZIL A BUENOS AYRES.

Y mae 'r heddwch rhwng Brazil a Buenos Ayres yn terfynu y cwbl o'r ymdrechiadau anghymen yn yr Amerig Ddeheuol. Dywedir fod yr ymryson rhyngddynt wedi yspyddu cyllidiaeth y ddwy blaid yn ddirfawr.

## YR UNOL DALEITHIAU.

Y mae Unol Daleithiau Amerig brom yn ddwy blaid wrth ddewis Llywydd. Y mae plaid y Cadfridog Jackson yn llawer amlach na'r rhai o ochr Mr. Adams. Dywed un Newyddiadur fod y blaid olaf yn dewis Pen-coronog yn hytrach na'r Cadfridog.

---

*Llofruddiaethau erchyll.*—Gwraig dlawd o'r enw Docherty, yr hon oedd yn cardotta yn Edinburgh, a aeth i mewn i fasnachdy yn West Port, ac yno cyfarfu â dyn a elwid Burke yn prynu *whiskey*, yr hwn a ofynodd iddi ei henw, ac o ba gwrr o'r Iwerddon y deuai. Yn ol cael ei hatteblad, dywedodd Burke ei fod yntau o'r un lle, a bod rhaid iddi berthyn i'w fam, yr hon a elwid Docherty. Yna yr addawodd iddi ei boreufwyd; ac aethant allan o'r masnachdy gyd â'u gilydd, ac fe'i gwelwyd yn myned i mewn i dŷ Burke. Gwelwyd hi hefyd aml waith yn y tŷ yn nghorph y dydd. Danfonwyd un Gray a'i wraig, y rhai oedd yn llettya gyda Burke, i dŷ ei gyfrinachwr Hare, dan y ffûg fod ganddo (Burke) gyfeilles newydd ddyfod o'r Iwerddon. Gwelwyd hwy wedi hynny yn yfed a dawnsio gyda Hare a'i wraig, yn gyntaf yn nhŷ Ann Connaway, ac wedi hynny yn nhŷ Burke. Yn ystod y nos clywyd sŵn ymrafaelio a

gwaedd "*Murder*" yn nhŷ Burke; ond y cymmydogion yn gwybod fod tair gwraig a dau ddyn yn y tŷ, ac wedi mynych glywed y fath sŵn, ni wnaethant sylw o hono. Un o honynt, pa fodd bynnag, a yspiodd drwy dwll y clo, ac a welodd Helen Mac Dougall yn dal costrel wrth safn y wraig Docherty, ac yn tywallt *whiskey* iddi. Yna buont ddistaw hyd rhwng 11 a 12, pryd y gweithredwyd y gyflafan echryslawn.

Yn y boreu dychwelodd Gray a'i wraig i dŷ Burke; ac wrth i Mrs. Gray chwilio oddeutu 'r gwely, a'r gwellt odditan y gwely, dywedodd Burke wrthi, gyda llw, "i gadw allan o honynt." Aeth Burke allan, a gadawodd Gray a'i wraig yn unig yn y tŷ; a dechreuodd Mrs. Gray edrych am hosan ei phlentyn, ac wrth edrych yn y gwellt hi a ganfu gorph Docherty. Aethant yn ddioed i geisio ceisbyliaid, y rhai, er iddynt chwilio yn fanwl, a fethasant gael y corph, na Burke, nac un o'i gyfrinachwyr. Dywedodd gweinidoges tŷ gyferbyn iddi weled gwyr yn cludo cist *dê*, a llawer o wellt yn y pen uchaf iddi. Ar ol dychweliad y ceisbyliaid, daeth Burke i mewn, a hwy a'i daliasant yn ddioed; ac ar foreu y Sul daliasant Hare a'i wraig. Gwelsom fod Hare, ar ol ei brofiad *(trial)* wedi cyfaddef iddo gael llaw mewn deuddeg llofruddiaeth, ac y gwyddai am un arall, o ba un nid oedd efe gyfrannog. Y mae Burke wedi cyfaddef wrth ei geidwaid y gwahanol lofruddiaethau, ym mha rai y bu ef gyfrannog. Dywedodd ei fod yn perthyn i'r gorchwyl erchyll er y gwyliau 1827; ac iddo gael llaw mewn, neu lofruddio oddeutu, deg ar hugain o'i gyd-greaduriaid; ac hefyd, y byddai y llofruddiaethau yn cymmeryd lle yn nhŷ Hare y rhan amlaf. Yn gyntaf, meddwent wrthddrych eu hyaglyfaeth, yna gafaeliai un o honynt yn ei ffroenau a'i enau, a'r llall a bwysai ar ei ddwyfron. Ambell waith, arferent obennydd i'w mygu; ond nid felly y lladdasant Docherty. Gwerthasant yr holl gyrph i'r un gwr.

Aeth Hare i mewn i dŷ cyfferiwr cyfrifol yn Edinburgh, a gofynodd iddo, "A oedd arno eisieu *rhywbeth?*" Ebe yntau, "Pa beth ydych yn ei feddwl wrth rywbeth?" "*Corph*," ebe Hare. Gofynodd y cyfferiwr, mewn dychryn, "Pa le y cawsoch ef?" "Na ofalwch am hynny; medrwn gael cymmaint ag a fynnom." Ar hyn, daeth llangc gwladaidd i mewn i bryna cyfferi; ac wedi iddo fyned allan, dywedodd Hare, "Os dymunwch gael corph y llengcyn yna, gallaf ei gael i chwi ym mhen awr." Trodd y cyfferiwr ef allan, gan dybied ei fod yn wallgof.— "*Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch.*"

*Llofruddiaeth erswydus.*——Fel ag yr oedd Protestant cyfrifol, o'r enw Patrick O'Connel, yn dychwelyd oddiwrth ei waith o dŷ amaethwr, rhuthrodd tri llofrudd arno o'r gwrych; y cyntaf a'i trywanodd yn nghanol ei gefn gyda chyllell fawr; yr ail a ymgeisiodd am ei fwrw i gyd â'r cyfryw arfyn, yr hyn a fethodd, ond torrodd ymaith ei ddrwyn; yn y cyfamser, saethodd y trydydd ef yn ei gnap ddehau gyda llawddryll. Yr oedd Patrick druan ar y cyntaf yn analluog i amddiffyn ei hun; ond wedi ennill ychydig nerth, tarawodd un o honynt â'i fwyall, yr hyn [redacted]ddodd yn y fan; ond wedi hyn llo[redacted]yd ef mewn modd rhy arswydus i'w adrodd.

---

*Llong-ddrylliad.*—Ychydig ddyddiau yn ol collwyd y llong *William* o Lynlleifiad, ar ei dychweliad o'r India Orllewinol, a chollwyd yr holl ddwylaw. Rhedodd y llestr ar swp o greigiau yn agos i *Fortelle*, ar draethau Ffraingc. Cyrhaeddodd dynan du i'r lan yn flinedig a briwedig iawn: ymgeleddwyd ef gan bysgodwyr, a rhoisant iddo ychydig o *frandi*, ac yr oeddent yn ei gynnorthwyo ef i gerdded tu â'u tŷ, pan ddaeth swyddogion y toll-dŷ *(custom-house officers)* ac a orchymynasant i'r gwyr dyngarol ei ollwng yn ddioed, gan fygwth ymosod arnynt â'u pidogau, os na ufuddhaent; yr hyn a fu orfod i'r gwyr druain yn anewyllysgar. Aeth y swyddogion i achub y cyfryw nwyddau ag a gludid i'r lan gan y tonnau, tra yr oedd y dyn druan yn agored i'r gwlaw a'r oerni ar y traeth, yn y fan y gadawyd ef gan yr anghenfilod dideimlad; ac a drengodd ym mhen ychydig oriau. Golchwyd amryw gyrph i'r lan, ond gwaharddodd y swyddogion eu cludo i'w claddu.—Nid fel uchod y triniwyd y llongwyr a berthynent i'r llong Ffrengig *Jeune Emma*, yr hon a ddrylliwyd ychydig wythnosau yn ol ar draethau Cefn Sidan, yn Neheubarth Cymru, y rhai a driniwyd yn y modd mwyaf ymgeleddgar a hynaws.

---

*Torriad Tŷ.*—Y chweched o'r mis hwn torrwyd Maelier-dŷ John Jones, Llangollen, ac yspeiliwyd ef o lawer o eiddo. Gwnaeth y lladron eu mynedfa drwy bannel y drws. Cafwyd rhan o'r eiddo wedi eu cuddio mewn ysgubor, yn agos i'r llan, y diwrnod canlynol. Gosodwyd dynion i'w gwylio, gan ddisgwyl y deuai yr yspeilwyr y nos i'w ceisio. Oddeutu hanner nos, gwelsant ddyn yn ymnesu yn lledradaidd. Gwaeddodd un o'r Ceisbyliaid, mewn gor-lawenydd—"Dyma fe yn dyfod!" a'r lleidr a ddiangodd yn chwippyn, heb adaw namyn ei amben ar ei ol.

NEWYDD DA I'R YSGOLION SABBATHAWL.

Nid oes neb weithian yn ammau am les a defnyddioldeb yr Ysgolion Sabbathawl, na braidd ardal nac enwad crefyddawl yn Nghymru, nad oes Ysgol Sabbathawl wedi ei sefydlu. Gan fod llawer ardal yn bur dlawd, ac yn anhawdd iddynt gael llyfrau i'r plant, ac, efallai, heb wybod am yr un ffordd i gael llyfrau ysgol yn rhad; tybygwn, Mr. Gwyliedydd, y bydd yn dda gan lawer o'n cydgenedl wybod fod Cymdeithas yn Llundain wedi ei ffurfio i'r diben uchod er ys llawer o flynyddau yn ol, [illegible] bod o les mawr i ysgolion tlodion, [illegible] parhâu yn weithgar a haelionus o hyd, ac yn cwyno yn fawr na byddai y wlad yn gyffredin yn gwybod am dani, ac yn danfon o bob ardal atti: ac ar ddeisyfiad rhai o'i swyddogion yr wyf fi yn danfon hyn o hyspysiad i'r Cymry drwy gyfrwng y Gwyliedydd, o rhynga bodd i chwi adael iddo ymddangos.

Enw y Gymdeithas sydd fel y canlyn—"*Society for the support and encouragement of Sunday Schools throughout the British Dominions. Established A. D.* 1785."

Cofiadur Cynnorthwyol y Gymdeithas yw "*Mr. W. H. Bruce, No.* 19, *Trump Street, King Street, Cheapside, London,*" at ba un y mae pob cais am lyfrau i gael ei ddanfon yn ddigost.

Pan ddanfono rhywun at y Cofiadur am lyfrau, danfonir yn ol iddo yn gyntaf bapyryn argraphedig o holiadau, 18 o honynt. Yna bydd raid ysgrifennu attebiad i bob un o'r holiadau hynny, ar gyfer yr holiad argraphedig: ac yna danfon y papyr hwnnw yn ei ol, i fyned dan sylw y Dirprwywyr, y rhai sydd yn ymgyfarfod i ystyried y cyfryw geisiadau, ar y Mercher olaf o bob mis. Hyn yna ydyw yr holl drafferth i gael llyfrau.

Gallwn i feddwl, Mr. Gwyliedydd, y byddai yn dda gan lawer ysgol dlawd yn Nghymru gael y wybodaeth uchod am y Gymdeithas haelfryd hon; ac oni allai (ac oni *ddylai* hefyd) pob Offeiriad plwyfol daenu y wybodaeth am dani yn ei blwyf a'i ardal ei hun?

Cyfranodd y Gymdeithas y flwyddyn ddiweddaf, o Sillyddion 40,200, y Wyddor ar fyrddau 9,393, *Primers* 5,524, *Collective Lessons* (*Sets*) 448, Biblau 1,097, Testamentau 5,625. Traul y flwyddyn, £1078. 6s. 0*d*. Derbynion y flwyddyn, £184. 9s. 0*d*.

*D-ptf-rd.* J. H.

Bu dda gennym ni, a bydd dda gan Gymru, glywed bod Arch-esgob Caerefrog wedi anrhegu y teilwng a'r Parchedig J. Jenkins, o Geri, seilydd yr Eisteddfodau diweddar, a noddwr pob peth gwladol a da, gyda Sedd Côr-beriglor (*Prebend*) yn ei Eglwys Gadeiriol. Dymunem ddangos ffawd a pharch ein *Hifor*, fel gwrthddrych efelychiad i foneddion ein gwlad, ac fel prawf o wirionedd y llinell farddonawl henno—

"*Gwybydd nid â y dâ heb dâl.*"

---

Y mae Ardalydd Môn wedi cael ei alw yn ol o'i swydd fel Rhaglaw yr Iwerddon. Y mae gwahanol feddyliau ynghylch yr achos o hynny: y dyb gyffredin yw, mai o ran fod ei Arglwyddiaeth wedi dangos tueddiad cyfeillgar at gais y Pabyddion. Pa fodd bynnag am hyn, y mae Golygydd pob Newyddiadur yn cyttuno mai doeth y gwnaed wrth hyn; ac nid oes neb ond y Pabyddion tanbeidiaf yn gwrthsefyll cyfiawnder y ddedfryd.

---

Cynnaliwyd Cyfarfod i erfyn ar y Senedd-dai i naccâu cais y Pabyddion, yn y Bala, y degfed o'r mis hwn. R. W. Price, Ysw. o'r Rhiwlas, yn y Gadair. Ym mhlith eraill, areithiodd y boneddigion canlynol:—Y Parchedig J. Jones, M. A. Llandderfel; a'r Parchedig S. Lloyd, B. A. Bala.

---

Gwel ein darllenwyr hyspysiaeth, ar glawr y Rhifyn hwn, fod Cyhoeddiad newydd Seisnig yn cael ei argraphu yn Llundain, dan yr enw "CAMBRIAN QUARTERLY MAGAZINE," yr hwn a gynnwysa amrai engraifftiau o waith ein cynfeirdd a'n gogynfeirdd, gyda chyfieithiad o'r unrhyw yn Saesonaeg. Trwy y cyhoeddiad uchod caiff ein cyd-ynysyddion weled prydferthwch gwaith ein Hynafiaid yn eu tafod-iaith eu hunain, a chânt weled mai nid cenedl "Farbaraidd" oedd y Cymry cyn dyfodiad Hengist; ofer fyddai ein canmoliaeth ni, y mae y Rhifyn a gyhoeddwyd yn ddigon o dyst o deilyngdod y gwaith.

---

Mrs. Hughes, Llysdulas, Môn, gyd â'i harferol haelioni blynyddol, a roddodd *bum punt* i dlodion y gwahanol blwyfau Llawenllwyfo, Amlwch, a Llanrhwydrys.

---

BU FARW,

Rhagfyr 7fed, 1828, Mrs. Mary Blackwell, yn 72 oed; mam yr enwog a'r athrylithgar J. Blackwel, B. A.

# Y GWYLIEDYDD.

## CHWEFROR, 1829.

### COFIANT AM YR ESGOB HUMPHREYS.

Amser yn ei yspaid diaros sydd yn ein cludo ymaith at yr aneirif luoedd a aethant o'n blaen. Er cymmaint y gwahaniaeth rhwng dynion yn y fuchedd hon, etto y mae 'r doeth yn *marw* fel yr annoeth: onid i'r un *lle* yr â pawb? Hefyd, y pethau sydd yr awr hon, yn y dyddiau a ddaw, a ollyngir oll dros gof. Wrth ganfod cyflawniad o hyn, sef fod gwr ag ydoedd mor enwog a nodedig yn myned dros gof; ac na welsai ysgrifenydd hyn o gofiant ond braidd grybwyll am ei enw yn Gymraeg, er ei fod yn Gymro, tueddwyd ef i anfon yr hyn a ganlyn i'r Gwyliedydd.

Humphrey Humphreys a anwyd yn yr Hendref Isa', Penrhyndeudraeth, Plwyf Llanfrothen, Sir Feirionydd, y 24ain o Dachwedd, 1648; ac a fedyddiwyd y Sul canlynol, sef y 26ain o'r un mis, yn Eglwys Llanfrothen. Efe ydoedd fab hynaf ac etifedd Richard Humphreys o'r Hendref, Penrhyn-deudraeth, Boneddwr, a Margaret, merch Robert Wynn o'r Gesail Gyfarch, yn Sir Gaernarfon, Ysw. Dygwyd ef i fynu rai blynyddoedd yn Ysgol Rydd Croesoswallt, dan nawdd a gofal ei ewythr a'i dadbedydd Humphrey Wynn, A. M. o Goleg y Drindod, Caergrawnt, Ficar ac Athraw y lle. Oddiyno, ar farwolaeth ei ewythr, symmudodd i Ysgol Bangor, Athraw yr hon ydoedd Roger Williams. Yn Chwefror 1665, anfonwyd ef i Goleg Iesu yn Rhydychain. Yn Hydref 1669, cymmerodd y radd o A. B.; a'r haf canlynol gwnaed ef yn Ysgolhaig o'r tŷ hwnnw. Yn Nhachwedd 1670, erdeiniwyd ef yn Ddiacon ac Offeiriad gan yr Esgob Morgan ym Mangor, a'r un dydd rhoddwyd iddo Berigloriaeth Llanfrothen. Ar y 12fed o Fehefin, 1672, graddwyd ef yn A. M. ac yn mis Awst canlynol dewiswyd ef yn Aelod o Goleg yr Iesu. Ar y 24ain o Dachwedd yn yr un flwyddyn, wedi rhoddi o hono i fynu Berigloriaeth Llanfrothen, cafodd Bersonoliaeth Trawsfynydd a Llaniestyn. Yn Nhachwedd 1673, Dr. Humphrey Lloyd, yr hwn a ddilynodd y Dr. Morgan yn Esgob Bangor, a'i cymmerodd ef yn Gapelwr teuluaidd iddo. Ar yr 16eg o Dachwedd, 1680, pan oedd efe yn B. D. ac yn Aelod o Goleg Iesu, ac yn Ganon Bangor, dyrchafwyd ef yn Ddeon yr eglwys honno.

Yn y flwyddyn 1689 cymmerodd y radd o D. D.; ac yn 1689 dyrchafwyd ef i Esgobaeth Bangor; ac oddiyno, yn y flwyddyn 1701, symmudwyd ef i Henffordd, lle y bu farw ar yr 20fed o Dachwedd, 1712, yn y 64ain flwydd o'i oedran,

a chladdwyd ef yn agos i allor yr Eglwys Gadeiriol honno, lle y mae yr argraph ganlynol yn Lladin ar ei Gofarwydd:

H. S. E.

Humphrey Humphreys, Proffeswr Dwyfol Dduwinyddiaeth:

Yn gyntaf Deon, B. A. 1680, } Bangor,
Wedi hyny Esgob, B. A. 1689, }

A symmudwyd i Henffordd, B. A. 1701;
yno yn llawn o ddyddiau,
ac yn aeddfed i'r nef, bu farw, Tach. 1712,
yn 64 o oed.

Anwyl ddarllenydd, os byw a fyddi yn ol ei esiampl ef, ni's ofni farw.

Mr. Ellis Wynne, wrth gyflwyno y llyfr "Rheol Buchedd Sanctaidd," i'r Esgob Humphreys, a'i hannerchai fel y canlyn:—"Canys er maint ei barch a'i groesaw yn Lloegr (eisys yn ei ddeunawfed wisc, argraphiad) nid yw ef etto ond dieithr yn Ghymru, ac ymdeithydd egwan ac ieuanc yn y mynydd-dir: eich swydd a'ch arfer chwithau yw derbyn y dieithr, noddi 'r gwan, a hyfforddi 'r ieuanc. Hefyd, gan mai neges hwn yw lles cyffredin y wlad, ni all o rann hyny na bo iddo groesaw gennychwi: drachefn, pan wyper wrth eich enw iddo gael croesaw a chymeriad gennychwi, fe a fydd chymeradwyach gan y wlad, ac felly f'â'r lles yn gyffredinol."

Prif nodweddiad yr Esgob Humphreys ydoedd llarieidd-dra; yr oedd ei wynebpryd fel pe dywedasai, dyma dangnefeddwr. Y mae yn debyg mai dyna 'r achos y dewiswyd ef gan y Brenhin William i gymmyg ymheddychu rhwng rhyw bleidiau. Ei ostyngeiddrwydd a'i hunan-ymwadiad oedd bob amser yn nodedig: yr ydoedd yn noddwr a chefnogwr i athrylith, ac yn haelionus i bawb. Ei fuchedd ydoedd dra addas trwy ei holl fywyd, fel y gallasai yn ddibryder ddywedyd wrth ei braidd, "Byddwch ddilynwyr i mi:" ond dywedir fod ei dduwioldeb mor amlwg a neilltuol yn y blynyddoedd olaf o'i fywyd na welwyd nemawr o'i gyffelyb.

Yr ydoedd o gorpholaeth canolig, glân o bryd, a mwynaidd yr olwg arno, fel yr ymddengys wrth ddarlun o hono oedd yn ddiweddar yn y Gesail Gyfarch.

## ADGOFION.

Am ei briodas, ysgrifenodd yr Esgob Humphreys fel y canlyn, yn Lladin:

"Humphrey Humphreys, Deon Eglwys Gadeiriol Bangor, ac Elizabeth Morgan, merch Robert Morgan, Esgob Bangor, a unwyd mewn priodas yn Eglwys Plwyf Bodewryd, ar yr 18fed o Fai, yn yr ail wythnos wedi Gwyl Adgyfodiad ein Harglwydd——."

O'r briodas yma cafwyd dwy ferch, Anne a Margaret, am ba rai, a marwolaeth eu mam, yr ysgrifenai fel y canlyn yn Lladin etto:

"Eu mam, gwae fi! a roddodd i fynu i farwolaeth ammhrydlawn, yn *nones* Chwefror, ac a gladdwyd ym Mynwent St. Beuno, Penmorfa, ar sabboth y 4ydd o *ides*, yr un mis, 1683, lle mae yn ysgrifenedig yr argraph ganlynol:"

"YN DDIHALOG,

"Er cof am Elizabeth, merch Robert Morgan, Esgob Bangor, a Gwraig Humphrey Humphreys, Deon yr un Eglwys, yr hon a anwyd y 7fed o *ides*, Mawrth, 1661, wedi bywyd byrr, a dreuliwyd yn y modd mwyaf crefyddol, gan brysuro i anfarwoldeb, bu farw yn *nones* Chwefror, 1683, gan adael i'w holl gyfeillion esiampl ragorol, a galar dwysaf ar ei hol.

"*Gwr a fynnodd godi y gofarwydd hon "am wraig.*"

Yng Nghôr yr Eglwys Gadeiriol ym Mangor y mae'r Gofargraph ganlynol, yn Lladin:

"Humphrey Humphreys, S. T. P. hefyd Esgob yr Eglwys yma, a barodd wneuthur hwn er cof am ei

serchoccaf a theilyngaf ferch Anne, yr hon trwy ddwyfol ffafr a genhedlwyd o'i wraig Elizabeth (merch yr Esgob Robert Morgan) ar y 3ydd o *fis* Awst, 1682, wedi ei haddurno âg ymddygiadau mwyaf dymunol, yn gystal a phrydferthwch personol; wedi ei chynnysgaeddu oddi uchod â phob rhinwedd a gras; doeth goruwch ei blynyddau, ac yn hiraethu am bethau nefolaidd. Efe a'i rhoddodd hi yn ol i Dduw yn Ionawr 1690, nid heb ddiolchgarwch, yn gystal am hon a adawyd iddo cyhyd, ag am ferch arall iddo, Margaret, yr hon sydd etto'n fyw."

Pan oedd yr Esgob Humphreys yn byw yn y Gesail Gyfarch, dygodd fechgyn ieuaingc i fynu ar ei draul ei hun. Rhai o honynt oedd y Parch. —— Jones, Henffordd Fechan; a'r Parch. Ed. Samuel o Langar; a'r Parch. —— Griffiths, Llanandreas, &c. y rhai oeddynt enedigol o'r ardal honno.

Dywedir fod dau lyfr ysgrifen o'i waith yn llyfrgell Hengwrt.

Yr Esgob Humphreys ydoedd perchennog y Gesail Gyfarch, ac yno y trigai pan oedd yn y gwahanol raddau ym Mangor: y mae eisteddle yr Esgob i'w gweled yn Eglwys Penmorfa yn bresennol. Ym Mynwent Penmorfa y claddwyd Elizabeth ei wraig (merch yr Esgob Morgan, fel y gwelir yn flaenorol ei bedd-argraph) ac hefyd ei ferch Margaret (gwraig John Lloyd, Ysw. Penlan, mab i'r Esgob Lloyd o Norwich): yn yr un bedd hefyd y claddwyd Miss Anne Lloyd, wyres i'r Esgob, a merch i'r ddau olaf, ond nid oes cof-argraph am hon etto. Miss Anne Lloyd a adawodd y Gesail Gyfarch yn ei hewyllys i Gâr iddi, John Lloyd, ail fab Tregaian; ar farwolaeth yr hwn y daeth i feddiant ei frawd Robert Lloyd, Tregaian, Ysw. yr hwn yw y perchennog presennol.

*Cefn y Meusydd.* ELLIS OWEN.

## ORIAU YSGRYTHYROL.

JOEL i. 4. "*Gweddill y lindys a fwyttâodd y ceiliog rhedyn, a gweddill y ceiliog rhedyn a ddifâodd pryf y rhwd, a gweddill pryf y rhwd a ysodd y locust.*"—Sonir yn yr adnod hon am bedwar math o greaduriaid, y rhai a ddanfonir megis offerynau dialedd yr Arglwydd ar genedl wrthryfelgar Israel. Bod y farnedigaeth fygythiedig yn rhagori mewn toster ar y dialeddau dwyfol o'r blaen, a ymddengys oddi wrth eiriau y prophwyd yn appelio at ei wrandawyr, a welsent hwy erioed eu cyffelyb. Dichon fod peth amrywiaeth meddyliau yn nghylch dau o'r difrodyddion hyn, sef y lindys a phryf y rhwd, o herwydd nad ydynt gyffredin yn ein gwledydd a'n dyddiau ni. Creadur ymlusgaidd heb ddim adenydd yw y lindys. Darlunia hen anianydd ef megis creadur dinystriol, yn difrodi dail a changhenau y gwinwydd a'r olewydd. Pryf y rhwd sydd fath o chwilen, a rhoddir yr hanes canlynol am ymweliad echrydus a wnaeth â pharthau o'r Iwerddon. Bu hyn gyntaf yn y flwyddyn 1688. Ymddangosodd y pryfed gyntaf ar lann môr *Galway*, lle y daethant gyda gwynt cryf o'r dehau-orllewinol, ac ymwasgarasant yn raddol oddiwrth y môr i barthau y berfedd-wlad. Yn y dydd gwelid hwynt yn crogi, yn filoedd o rifedi, ar ganghenau coed, a gwrychoedd; eithr codent ac ehedent tu a'r hwyr gyda math o ûd-lais, ac yn gymmaint eu rhifedi fel y tywyllent yr awyr am ddwy neu dair milltir *ysgwar*. Parent anghyfleusdra mawr i ymdeithwyr, o herwydd eu bod yn ehedeg yn erbyn eu hwynebau, a hynny cyn gryfed fel y gadawent ol bychan wedi hynny. Ym mhen ychydig amser, er ei bod y'nghanol yr haf, difrodasent holl ddail y coed mor hylwyr, fel yr ymddangosai wyneb y wlad cyn noethed a phe buasai

amser gauaf. Eu swn yn rhuthro ac yn difrodi eu hyspail, oedd gyffelyb i'r swn a wneir wrth lifio coed. Cyrchent hefyd i mewn i dai, a disgynent ar y bwyd wrth y tân, neu yn y dysglau ar y bwrdd, a'r drygsawr oddi wrthynt oedd yn hynod o dost. Y groned, a adawsant yn y ddaear, wedi bywioccâu, a fu yn dra dinystriol i wraidd ŷd a gwellt, ac felly difethwyd ymborth dyn ac anifail ganddynt yr un amser.

ADN. 5. "*Deffrôwch, feddwyr, ac wylwch; ac udwch, holl yfwyr gwin, am y gwin newydd; canys torrwyd ef oddi wrth eich min.*"—Tebyg yw fod llaweroedd o gyfoeswyr y prophwyd wedi ymroddi i bechod bwystfilaidd meddwdod, ac am hynny cyhoeddir yn llym fygythion Duw yn erbyn y sawl nid ystyrient waith yr Arglwydd, na'u daioni eu hunain. Paham y sonir yma am win *newydd*, nid yw yn eglur. Amlwg yw, oddiwrth eiriau Crist, *Luc* v. 39. mai gwell y cyfrifent hen win yn yr oesoedd gynt, megis hefyd yn ein hamser ninnau. Trwy ddisylwant cyfieithwyr dodwyd yma, medd esponwyr, win *newydd* am win *melus*. Y cyfryw oedd y gwin a hoffid fwyaf yn yr oesoedd gynt, fel yr ymddengys oddiwrth hen awduron. Y geiriau, "Gwin brenhinol lawer, yn ol gallu y brenhin," (*Esth.* i. 7.) a gyfieithir gan y LXX, "*llawer o win melus, y cyfryw ag a yfai y brenhin.*" Gweler hefyd *Act.* xi. 13. lle y mae gwin *newydd* (*new* wine) y Saesoneg wedi ei *iawn*-gyfieithu yn win *melus* yn y Bibl Cymraeg. Yr ymdeithydd Russell a eglura hyn yn ei hanes am win gwyn *Aleppo*. "Blasus ydyw," medd efe, "eithr tenau a gwan; ac anaml y *ceidw* yn hŵy na blwyddyn. Eithr y cyfryw ag a hoffid fwyaf oedd y gwin *melus*, hwn a *gedwid* yn hir; a chymmwys iawn, gan hynny, y bygythiai y prophwyd dorri hwn ymaith." Perthynol i hyn yw sylwiad y Dr. Shaw am win Algiers. "Yr oedd gwin Algiers yn dda ragorol cyn difrodiad y locustiaid yn 1723 a 1724; eithr gwaethygwyd y gwinwydd gymmaint y pryd hwnnw, fel nad ydyw y gwin etto (1732) wedi ail gaffael ei flas a'i ardderchawgrwydd gynt." Bygythia Joel ddifrodiad y gwinllanoedd gan y locustiaïd, yr hyn a ammharai y cnwd dros flynyddoedd lawer, ac felly cymmwys iawn oedd galw ar y meddwyr i alaru o'r achos.

ADN. 17. "*Pydrodd yr hadau dan eu priddellau, yr ysguboriau a anrheithiwyd, yr ŷdlannau a fwriwyd i lawr; canys yr ŷd a wywodd.*"—Dywed y Dr. *Shaw*, mai arfer *Barbary* yw cadw yr ŷdau wedi eu nithio, mewn ystordai tan-ddaearol, dau neu dri chant weithiau ynghyd, a phob un yn dal o'r lleiaf bedwar cant o *fwsheli*. Felly hefyd yn Syria yr ystordai ŷd yr amser presennol ydynt ystafelloedd tanddaearol, y rhai sydd ganddynt bob un ddrws bychan, yn fwyaf cyffredin yn gyfagos i'r prif-ffyrdd.

ADN. 19. "*Y fflam a oddeithiodd holl brennau y maes.*"—Digwyddiant cyffredin mewn gwledydd poethlyd, yw i laswellt a choed gymmeryd tân, ac ymdaenu o'r difrod dros ardaloedd helaeth. Ni allai lluoedd gelynawl wneuthur niweid mwy i'r priodorion na thrwy losgi yn y modd hynny holl wyneb y wlad ar unwaith. At ryw ddigwyddiant helaeth o'r fath y cyfeiria bygythiad y prophwyd. Caniattâed y darllenydd i ni yma ddal sylw yr arferid gynt yn y dwyrain, megis hyd heddyw ym mhlith cenhedloedd afrywiog, o dorri coed i lawr, nid â bwyeill neu lifiau, ond trwy gynneuad tân wrth eu gwreiddiau. Medd Niebuhr, ymdeithiwr dwyreiniawl, "Beiwn yn fawr ar arfer y bobl mynyddig hyn, y rhai wrth daflu coed i lawr a osodant dân

wrth eu bôn, ac yno y cadwant ef hyd oni syrthio y pren." Dywed Mr. Turner yn hanes ei ymdaith i *Thibet*, mai yr unig arfer sydd ganddynt i dorri coed i lawr yw trwy gynneu tân wrthynt, a'u hanner losgi; ac yna, wedi eu gadael i sefyll am un flwyddyn, dychwelant yn y nesaf, a llosgant hwynt drwodd hyd oni syrthiont i lawr.

JOEL ii. 2. "*Diwrnod tywyll du, diwrnod cymmylog a niwlog, fel y wawr wedi ymwasgaru ar y mynyddoedd.*"—Tybir yn gyffredin mai yr achos paham y cyffelybir nesâd y lluoedd locustaidd i ymwasgariad y bore ar y mynyddoedd yw helaeth ymwasgariad y creaduriaid difrodawg, pan y maent megis yn tywyllu yr awyr; ond ysgatfydd teflir goleuni amgenach ar y gyffelybiaeth yn hanes monach a fu yn ymdeithio yn Abyssinia. "Y diwrnod cyn dyfodiad y locustiaid, gwybuasom eu bod yn nesâu o herwydd *adlewyrchiad melynaidd* yn yr awyr, yr hwn oedd yn deilliaw oddi wrth eu hadenydd melynaidd. Cyn gynted ag yr ymddangosodd yr adlewyrchiad hwn, gwybuwyd yn ddilys fod llu dirfawr o locustiaid yn nesàn. Gwelais fy hun yr adlewyrchiad hwn cyn gryfed, fel y cymmerai wyneb y ddaear liw melynaidd oddi wrtho. Trannoeth daeth y locustiaid, a gorchuddiasant y wlad dros bedair milltir ar hugain."

JOEL ii. 4, 7. "*Fel marchogion, felly y rhedant ..... cerddant bob un yn ei ffordd ei hun, ac ni wyrant oddi ar eu llwybrau.*"—Dospartha y dwyreinwyr y locustiaid yn ddwy ran, sef marchogion, a gwyr traed. Yn y Datguddiad cyffelybir hwynt i feirch, ac hefyd i lewod ac ysgorpionau. Clybu Niebuhr gyffelybiaeth debyg fwy nag unwaith, sef pen y locust i ben march, y ddwyfron i eiddo llew, y traed i eiddo camel, y gynffon i eiddo ysgorpion, &c. Nid mwyhad anghywir o ddifrodiad y locustiaid yw y darluniad dychrynfawr a roddir yn nechreu y bennod. Dywed ymdeithydd diweddar, "Y mae Syria, ynghyd (a'r Aipht a Phersia) â holl ddeheuol barthau Asia, yn ddarostyngedig i ddirfawr bla y locustiaid. Anghredadwy y cyfrifir eu hanes gan y sawl ni's gwelodd hwynt; gorchuddir y ddaear ganddynt am filltiroedd lawer. Clywir o bell y swn a wneir ganddynt wrth fwytta dail a gwelltglas; a gallai un dybied fod byddin anweledig yn hela porthiant. Gwell o lawer dioddef difrodiad llu o *Dartariaid*, na chael ein hysglyfaethu gan y creaduriaid bychain hyn. Braidd nad allai un ddywedyd bod tân yn eu canlyn. Lle bynnag y disgynant, derfydd yn ebrwydd holl wyrddlesni y meusydd fel llen wedi ei phlygu ynghyd; ni welir dim ond cyffion a changhenau noethion prennau a phlanhigion, ac yn ebrwydd bydd newidiad y ddaear megis newidiad diffrwythdra gauaf am helaethder toreithiog y gwanwyn. Y cyfryw yw lluosawgrwydd y creaduriaid hyn, fel y gellir dywedyd eu bod, pan ehedant, yn tywyllu y wybr. Da iawn na ddigwydd y plâ hwn yn aml, canys nid oes dim mor sicr o ddwyn newyn ac afiechyd."

Dywed Moses ddyfod o'r locustiaid ar yr Aipht gyd â gwynt y dwyrain. Daethant gan hynny o ddiffaethwch Arabia, ac o'r un diffaethwch yr ymwasgarant hyd heddyw i'r gwledydd cymmydogaethol. Cyrchant yn union rhag blaen, heb droi nac i'r dehau nac i'r aswy, drwy wlad Canaan, Syria, Faramania, Asia Leiaf, ac ambell waith hyd Gaer Cystenyn, a Poland, fel y digwyddodd yn 1740 ac 1750. Oblegid na throant ddim allan o'u ffordd, anaml yr ymwelant â'r Aipht, er ei bod cyn agosed. Ond yn 1761 a 1762 daeth lluaws mawr o honynt i'r wlad hon gyd â'r dwyrain-orllewin wynt, a thost

iawn oedd y difrodiad a wnaethant. Syrthiodd llawer o honynt ar bennau tai, ac yn heolydd y dinasoedd, naill oblegid eu bod yn lluddedig neu yn disgwyl cael yno hefyd ryw beth i ysglyfaethu arno.

Bod llawer o locustiaid yn cael eu difetha yn y môr, a wyddis yn gyffredin. "Y mae gwyntoedd y dehau a'r dehau-orllewin yn gyrru nifer mawr o honynt i'r môr, lle y boddir hwynt; a phan ddug y llanw hwynt yn ol, a'u gadael ar y lann, y mae y drygsawr yn flin a niweidiol iawn. Y mae aderyn bychan hefyd, a elwir *Tamarmar*, tebyg i linosen felen, nid yn unig yn bwytta cymmaint ag a all, ond hefyd yn lladd llawer ychwaneg."

JOEL ii. 6. "*Pob wyneb a gasgl Dduwch.*"—Arferir ym mhlith y dwyreinwyr dduo gwyneb yn amser galar.

JOEL ii. 8. "*Er eu syrthio ar y cleddyf, nid archollir hwynt.*"—Ffy llawer o greaduriaid eraill ymaith o flaen dyn, eithr y locustiaid a garant ruthro arno. Am hynny y trigolion a giliant o'u blaen i'w tai, rhag ennyn eu digofaint i'w herbyn eu hunain. Ni ddengys y locustiaid ddim ofn, a'r cyfryw yw eu bychander, fel y gochelant y dyrnod a fygythir arnynt. "O ran maintioli, tebyg ydynt i geiliogod rhedyn; a chyn gynted ag y deorir hwynt o'r wyau, ymgynnullant ynghyd yn fintai o ddau cant o latheni *ysgwar*, a chyrchent ym mlaen yn union-gyrch heb wyro o'u ffordd er dim. Ar y dechreu, y trigolion a oleuant dânau mawrion i'w hattal; eithr y cyfryw yw eu lluosawgrwydd, fel y diffoddant y tân, o herwydd fod y naill yn gyrru y llall ym mlaen, ac nad yw ddichon i'r blaenaf droi yn ol. Pwy a all ryfeddu wrth y dirfawr ofn â'r hwn yr arswyda y dwyreinwyr rhagddynt? Tybia y bobl anwybodus fod yn ysgrifenedig ar eu hadenydd, "ffiangell Duw." Ië, medd eraill, y mae arnynt eiriau o'r ystyr canlynol, "Llu mawr y galluog Dduw ydym ni. Y mae gan bob un namyn cant o wyau, a phe byddai gennym ond y canfed, ni a ddifrodem y byd oll, a'r cwbl y sydd ynddo." Chwedlau disail ydyw yr ymadroddion hyn; er hynny dangosant mor ofnadwy yw difrodiad y locustiaid, ac mor gymmwys ydynt i fod yn ffiangellau dwyfol ar genhedloedd pechadurus.

Γ.

---

## AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.

SYR,—Gan nad oes un cyfieithiad Cymraeg o Homiliau ein Heglwys wedi ei wneuthur dan un gorchymyn awdurdodol, tybiaf nad anghymmwys fyddai ymgais i wneud un mwy *dealladwy* na'r un presennol. Hyspys i bawb a ddarllenasant y cyfieithiad sy gennym, nad hawdd, yn aml, amgyffred yr ystyr. Dilynir ynddo yn rhy gaeth drefn ac agwedd yr iaith Saesneg. Fy ymgais fydd i drosglwyddo yr *ystyr* yn *llwyr*, heb un coll na chwanegiad. Os cyhoeddi hwyrt yn dy Drysorfa gwnaf eu danfon i ti yn gysson, fel y byddo eu heisiau; a chwennychaf i'r rhai dysgedig o'th ddarllenwyr eu cydmaru yn *fanwl* â'r gwaith gwreiddiol, a nodi unrhyw wall a ganfyddant yn yr *ystyr*, gan nad ewyllysiwn wyro yn hyn hyd yn oed yn y *mymryn lleiaf*. Cymmeraf fy rhyddid o ran geiriau ac ymadroddion, ac o ran eu trefn a'u gosodiad; ond o ran yr ystyr cadwaf atto yn ochelgar. Rhoddaf yr adnodau o'r Bibl, a geffir ynddynt, yn ol ein cyfieithiad presennol. Dyma y Bregeth gyntaf.

IOAN AERON.

## PREGETH I.

*Annogaeth ddwys i ddarllen ac i ddysgu yr Ysgrythyr Sanctaidd.*

Ni ddichon dim fod mor angenrhaid ac mor fuddiol i Gristion a

gwybodaeth o'r Ysgrythyr, am y cynnwys ynddi air gwirionedd Duw, yr hwn a osod allan ei ogoniant ef, yn nghyd â dyledswydd dyn. Ac nid oes un gwirionedd nac athrawiaeth, angenrhaid er ein cyfiawnhad a'n iechydwriaeth, nad yw o fewn y ffynnon fawr hon o wirionedd, neu nad ellir ei thynnu allan o honi. Cynnifer gan hynny ag a chwennychant fyned at Dduw ar hyd yr union ffordd berffaith rhaid iddynt ymdrechu gwybod yr Ysgrythyr: heb hyn nis gallant gael gwybodaeth ddigonol am Dduw a'i ewyllys, nac am eu dyledswyddau eu hunain.

Hyfryd yw diod i'r sychedig, a bwyd i'r newynog; felly hyfryd yw darllen, gwrando, a chwilio yr Ysgrythyr, a myfyrio arni, i'r sawl a chwennychant adnabod Duw a hwynt eu hunain, a gwneuthur ei ewyllys. Ni chaseir ac ni ffieiddir y wybodaeth nefol, ac ymborth gair Duw, gan neb ond y rhai y mae eu harchwaeth a'u blas wedi eu llygru gymmaint gan wageddau bydol fel na charant Dduw na duwioldeb; a dyma yr achos y dewisant y fath wageddau o flaen gwybodaeth wirioneddol o Dduw. Mae yr hyn a yfo, neu a fwyttao, y rhai ydynt glaf o'r cryd, er melysed fyddo, mor chwerwed iddynt a'r wermod; nid am fod chwerwder yn y bwyd, ond am fod yr elyw *(humour)* ar y tafod ac yn y genau, yn chwerw: felly y mae gair Duw; er yn felus ynddo ei hun, etto chwerw yw i'r rhai sydd a'u meddyliau wedi eu llygru gan hir arfer o bechu ac o garu y byd presennol.

Boed i ni, gan hynny, ymwrthod a meddyliau cyfeiliornus dynion cnawdol, na ofalant am ddim ond am eu cyrph; a boed i ni wrando a darllen yn barchus yr Ysgrythyr, gwir ymborth yr enaid. Chwiliwn yn ddyfal am ffynnon y bywyd yn llyfrau yr Hen Destament a'r Newydd, ac na foed i ni fyned am gyfiawnhad ac iechydwriaeth i byllau aflan traddodiadau ffol, a luniwyd gan ddychymmygion dynion. O herwydd cyflawn gynnwysir yn yr Ysgrythyr yr hyn oll a ddylem ei wneuthur, ei ochelyd, ei gredu, ei garu, neu ei ddisgwyl ar law Duw yn y diwedd. Gallwn ganfod, yn y llyfrau hyn, y Tad *o'r* hwn y mae pob peth, y Mab *trwy* yr hwn y mae pob peth, a'r Yspryd Glân *yn* yr hwn y mae pob peth, a bod pob peth felly yn cyd sefyll; a chanfyddwn ynddynt hefyd fod y tri Pherson hyn yn un Duw ac yn un sylwedd. Gallwn ddysgu trwy y llyfrau hyn adnabod ein hunain, a gweled pa mor wael a thruenus ydym; a dysgu adnabod Duw, a chanfod pa mor dda yw ynddo ei hun, a pha fodd y gwna ni a'i holl greaduriaid yn gyfrannog o'i ddaioni. Gallwn trwyddynt ddysgu hefyd gymmaint o ewyllys Duw ag sydd gymmwys ac yn ddigonol i ni yn ein cyflwr presennol. "Beth bynnag sydd angenrhaid er iechydwriaeth," fel y dywed yr offeiriad ardderchog, a'r pregethwr clodfawr, Crysostom, "a gyflawn gynnwysir yn Ysgrythyrau Duw." Yr hwn sydd heb wybodaeth a ddichon ddysgu yno er cael gwybodaeth. Y pechadur gwrthnysig a chalon galed a all glywed yno, er peri iddo grynu a meddalhau, am y poenau tragywyddol a ddarparwyd gan gyfiawnder Duw. Yr hwn a flinir gan orthrymderau y byd a all gael yno ddiogelwch a chysur trwy yr addewidion o fywyd diorphen. Yr hwn a farwol glwyfwyd gan ddiafol a gaiff yno feddyginiaeth a'i hadfera i iechyd drachefn. "Os bydd angen dysgu unrhyw wirionedd, neu wrthbroti unrhyw an-athrawiaeth, neu geryddu unrhyw feiau, neu gymmeradwyo unrhyw rinwedd, neu gyfrannu unrhyw gynghor da, diddanwch, neu annogaeth, neu wneuthur un peth arall angenrhaid er iechyd-

wriaeth; "yr holl bethau hyn," medd Crysostom, "a allwn ddysgu yn gyflawn yn yr Ysgrythyr." "Mae yno," medd Fulgent, "lawn ddigon i wyr i'w fwytta, ac i fabanod i'w sugno; beth bynnag sydd gyfaddas i bob oedran, i bob gradd, ac i bob math o ddynion."

Dylai, gan hynny, y llyfrau hyn fod yn fynych yn ein dwylaw, yn fynych o flaen ein llygaid, yn fynych yn ein clustiau, yn fynych yn ein geneuau, ond yn fynychaf oll yn ein calonnau; o herwydd ymborth nefol ein heneidiau yw gair Duw. Ei wrando a'i gadw a'n gwna yn ddedwydd, a'n sancteiddia, ac a gyfnewid ein calonnau. Llusern yw i'n traed—moddion effeithiol ein iechydwriaeth ydyw—rhydd ddoethineb i'r gostyngedig a'r isel galon—cyfranna ddiddanwch, llawenydd, a thawelwch i'r gydwybod—trysor gwell yw nag aur a meini gwerthfawr—melusach yw na'r mel, ie, na'r diliau mel. Gelwir ef y *rhan orau* a ddewisodd Mair, o herwydd y cyfranna ddiddanwch anorphen. Fe elwir geiriau yr Ysgrythyr yn *eiriau y bywyd tragywyddol*, am y defnyddia Duw hwynt er cyfrannu y bywyd hwn. Effeithiol ydynt, trwy Dduw, er troedigaeth pechaduriaid, a thra galluog trwy ei nerth ef. Pan eu derbynir i'r galon, cynnwysant rymusder nefol bob amser. Maent yn nerthol, yn fywiog, yn rymus yn eu gweithrediad, "*yn llymach nag un cleddyf dau-finiog, ac yn cyrhaeddyd trwodd hyd at wahaniad yr enaid a'r yspryd, a'r cymmalau a'r mêr.*" *Heb.* 4. 12. Geilw Crist ef yn adeiladydd doeth, yr hwn a adeilado ar sylfaen ddiogel ei air. Ni a gawn ein barnu wrth y gair hwn; "*y gair a leferais,*" medd Crist, "*hwnnw a'u barna yn y dydd diweddaf.*" *Ioan* 12. 48. Addewir i'r hwn a gadwo air Crist gariad ac ewyllys da Duw, ynghyd â'r fraint o fod yn breswylfod ac yn deml i'r Drindod bendigaid.

Pwy bynnag a ddyfal ddarlleno y gair hwn, ac a argrapho ar ei galon yr hyn a ddarlleno, lleiheir ynddo ei serch at bethau darfodedig daear, a chynnyddir ynddo ddymuniad at y pethau nefol a addewir gan Dduw. Ac nid oes dim a gadarnhâ ein ffydd a'n hymddiried yn Nuw gymmaint a'r arfer o ddarllen a myfyrio ar ei air sanctaidd, neu a feithrin ddiniweidrwydd a phurdeb calon gymmaint, neu a wna gymmaint er peri moesolder a duwioldeb flaguro yn yr ymddygiad allanol: canys fe gyfnewidir o'r diwedd i anian y galon yr hyn a argraphir arni trwy barhau i ddarllen a dyfal chwilio yr Ysgrythyr. Ac, ym mhellach, gwna y gair hwn ddysgu yr anwybodus, rhydd chwanegol oleuni i'r sawl a'i darlleno yn astud, diddana y galon, ac annog ni i gyflawni yr hyn a orchymyn Duw: dysg ni i fod yn amyneddgar mewn adfyd, ac yn ostyngedig mewn hawddfyd: dengys i ni pa anrhydedd sy ddyledus i Dduw, a pha gariad a thosturi a ddylem goleddu tu ag at ein cymmydog: rhydd gyngor da mewn pob amgylchiadau dyrys: amlyga i ni gan bwy y gallwn gael nerth a chynnorthwy mewn peryglon, gan ddangos mai yn holl ymosodiadau a phrofedigaethau ein gelynion, byddent ddynion neu gythreuliaid, Duw yw unig roddwr y fuddugoliaeth.

Ond nid bob amser y parottaf i droi dalennau y llyfr hwn, neu i adrodd o hono, a ennill y budd a'r llesad mwyaf; ond yr hwn sydd a'i feddwl fwyaf ynddo, yr hwn a ddylanwer fwyaf gan yr Yspryd Glân, ac a gyfnewidir fwyaf i'r hyn a ddarlleno, yr hwn sydd yn myned beunydd yn llai balch, yn llai digofus, yn llai cybyddlyd, ac yn llai ei awydd am wag hoffderau y byd, ac yn fwy ei gynnydd yn feunyddiol mewn pob rhinwedd, gan ymwrthod â'i hen arferion pechadurus.

Ac, yn fyr, nid oes dim a gynnal dduwioldeb meddwl, neu a yrr ymaith annuwioldeb, yn fwy effeithiol na'r arfer o ddarllen a gwrando gair Duw; os gwneir hynny gyda difrifoldeb meddwl, a bwriad pur i wybod a chanlyn ewyllys y nef; canys heb lygad syml, a bwriad cywir, a meddwl difrifol, nid all dim fod yn gymmeradwy gan Dduw: o'r tu arall, nid oes dim yn gorchuddio gras Crist a gogoniant Duw yn fwy, neu yn dwyn i mewn fwy o dywyllwch, ac o bob anfoesau, nag anwybodaeth o Dduw.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### Y BRAIN.

*(Parhad o du dal.* 16.*)*

Y Cadfran, neu y Brain Cad, fel y dywed plant Mowddwy. *Nid* yw y rhai hyn yn amrywio llawer oddiwrth y rhai diweddaf. Y gwahaniaeth mwyaf sydd yn nghylch eu pig a'u ffroenau. Y mae plu yn gorchuddio bôn pig a ffroenau y Tyddynfrain, ond nid oes felly i'r Cadfrain, o herwydd y maent yn gwthio eu pig mor fynych i'r ddaear i ymofyn am drychfilod a'r cyffelyb, fel y maent yn eu llyfnhau. Ymbortha hefyd ar bob math o ŷd, yr hyn a bair, fe allai, ychydig golled i'r amaethwr; ond etto hwy a dalant iddo yn ddauddyblyg wrth ladd y cynrhonyn a fegir yn y ddaear, yr hwn ar rai blynyddoedd a ddinystria gnydau o ŷd trwy fwytta eu gwraidd. Y Brain hyn ydynt gyd-drigog, a gwelir hwy weithiau yn gad mor lluosog, fel y tywyllir yr awyr agos ganddynt. Ehedant yn gâdau fel hyn foreu a nawn, oddieithr yn amser dodwy, eistedd, a magu: canys ar y ddau amser olaf y mae yn angenrheidiol iddynt aros yn agos i'w nythod. Eisteddant ar yr wyau, a phorthant y rhai bach bob yn ail. Dewis y Brain hyn yn gyffredin lwyn o goed uchel i adeiladu eu nythod arnynt; ond och o'r swn a'r budrwch a wnant. Eu hwyau ydynt debyg i wyau y rhai uchod, ond eu bod yn llai, a'r mannau duon arnynt yn fwy. Dechreuant adeiladu eu nythod yn mis Mawrth; ac ar ol magu eu rhai bach, gadawant eu nythod, gan fyned i orphwys a chysgu i ryw le arall. Dychwelant weithiau iddynt yn Awst; adgyweiriant eu nythod yn mis Hydref. Arosant dros yr holl flwyddyn yn Mrydain, yr hyn ni wnant, meddant, yn Ffraingc na Silesia. Y mae y rhai bach yn ymborth blasus yn marn llawer pan y gwneler *pastai* o honynt.

Y Llychlyd-fran, neu Fran y Werddon, sydd yn bur agos o'r un maintioli a'r rhai diweddaf. Ei dwyfron, ei bol, ei chefn, a'r rhan uchaf o'i gwddf, sydd lwydlas gwan. Nid yw yn arosol yn y wlad hon; canys y mae yn ymweled â ni yn nechreu y gauaf, ac yn myned ymaith yn y gwanwyn. Y mae yn nythu er hyn mewn amryw fannau yn yr ynys hon, a cheir ei nyth yn fynych ar goedydd yn yr Iwerddon.

Y Big-goch-fran, neu y Fran â'r Big Goch, sydd ychydig yn llai na phob un o'r rhai uchod. Y mae ei thraed, a'i choesau, a'i phig, yn hirion, a melyn-gochion o ran lliw, ond y mae yn ddu oll oddieithr hynny. Ni welir hon ond yn Mrydain a'r Alps yn Ewrop. Y mae yn byw yn y mynyddau a'r creigiau, neu 'r gwledydd a fo felly. Nytha ar dopiau creigiau, neu ar hen dyrau; a dodwa bedwar neu bump o wyau gwynion â mannau llwydion arnynt. Hi a ymbortha ar drychfilod, ac ŷd newydd hau. Y maent yn gyffredin yn ehedeg yn uchel, ac y mae ei llais yn eglurach nag eiddo y Gogfran. Y mae yn aderyn hardd, ond tyner;

canys ni all oddef tywydd caled. Y mae peth disglaer yn brofedigaeth iddi: codant weithiau bric tanllyd; a rhoddwyd tai felly ar dân ganddynt cyn hyn. Gwelir hwynt yn Ngherniw, a Siroedd Fflint, Arfon, a Môn. Nid anfynych yr arferir mewn rhai ardaloedd, ddywedyd wrth blant, pan y bo un wedi cael allan ryw ddirgelwch perthynol iddynt, "*fe ddywedodd y Fran â'r Big Goch i mi.*" O ba herwydd yr arferir hyn, a phaham y Fran â'r Big Goch? Ond awn yn y blaen at

Y Gogfran, neu'r Jac y Do. Gelwir hi yn ddiammau wrth yr enw olaf hwn, o herwydd y swn a wna: canys os dywed ddim, hi a ddywed *Jac y Do*. Pwysa yn nghylch naw *wns;* a mesura dair modfedd ar ddeg o hyd, ac wyth ar hugain o flaen y naill aden i'r llall. Y mae ei phen yn fwy mewn cydmariaeth nag un rhan o'i chorph. Y mae yn ddu, oddieithr ei dwyfron, ei bol, a'i gwddf, y rhai ydynt lwydaidd. Y mae yn drwstfawr, a hawdd ganddi ddysgu. Nythant mewn clychdai, a hen gestyll, a chreigiau, a dodwant bump neu chwech o wyau. Nythant weithiau mewn hen geubrennau yn agos i nythfa Cadfrain, ac ymunant â hwynt. Dywedir y nythant yn *Hampshire*, yn Lloegr, yn nhyllau cwningod. Pan y megir hwynt yn ddofion, y mae tuedd ynddynt i gadw a diogelu yr hyn a fo ormodedd iddynt y tro hwn, erbyn tro arall; ac hefyd i gelu pethau eraill, er anghlod weithiau i weinidogion.

Y Biogen, neu'r Frith-fran. Y mae hon mor adnabyddus i bawb fel nad oes eisiau dywedyd gair am ei lliw, ei llun, na'i maintioli. Fe ddywedir mai hon yw 'r harddaf o adar Brydain. O ran moes a thuedd, y mae yn debyg i'r Fran. Hi a ymbortha ar ŷd, trychfilod, a burgynod. Hi a ladd gywion ieuaingc hwyaid, gwyddau ac ieir, ac adar gwylltion, ac yfant eu hwyau. Y mae yn dangos llawer o gywreinrwydd yn ngwneuthuriad ei nyth. Y mae oddi allan i gyd yn ddrain pigog, oddi tanodd ac oddi arnodd, a gwna ddau dwll yn ystlys ei nyth; un ychydig yn uwch na'r llall; ac eistedd yn gyffredin yn y nyth â'i phen tu a'r twll isaf; trwy yr hwn, cyn belled ag y gallodd yr ysgrifenydd farnu, yr â allan yn wastad; a thrwy y llall yr â i mewn, o hyn nid yw sicr; ond y mae yn sicr bod dau dwll ym mhob nyth a chwiliodd efe. Y mae yn ddigon hawdd cael boddlonrwydd ar hyn. Pan y dofir, gellir ei dysgu i ddywedyd llawer o eiriau, a rhai ymadroddion. Ynfydrwydd a chreulondeb annynol yw hollti eu tafodau fel y bo iddynt siarad yn eglurach: canys ni wnant felly ar ol hynny. Y mae llawer o hen goelion Paganaidd yn aros yn ein plith er dyddiau Paganiaeth ynghylch y Piod. Os gwelir fel hyn, neu os clywir fel hyn, bydd llwyddiant; ond os fel arall, yna, och fi, y mae rhyw anffawd ofnadwy yn dyfod. Ond nac ofnwch, fy narllenwyr; canys nid oes na ffawd nac anffawd yn llais na llun Piogen, mwy nag yn llais a llun yr Eos, a'r Brongoch. Yn nesaf awn at hanes

Piogen y Coed, neu, fel y gelwir hi gan rai, Caseg y Drycin, Y mae hon yn un o'r adar harddaf o'r un lliw ei phlu yn Mrydain. Byddai yn anfuddiol ceisio ei darlunio mewn geiriau. Hi a bwysa o chwech i saith *wns*, ac y mae ynghylch troedfedd o hyd. Adeilada ei nyth ar goed, a dodwa bump neu chwech o wyau. Dilyna y cywion yr hen adar hyd amser nythu yr ail flwyddyn, pan y cydmarant er adeiladu nythod iddynt eu hunain. Y maent yn ymborthi ar fês, cnau, a ffrwythau o bob math. Lladdant hefyd weithiau gywion ieuaingc, a hwy a yfant

wyau. Gwelir hwy yn fynych yn ddofion mewn tai, a siaradant gryn lawer o bethau; ond ni welir yn y cyfwr hwn fawr o'r harddwch a berthyn i'w plu pan yn wyllt yn y goedwig. Y mae llawer yn ychwanog yn perthyn i'r teulu hwn, ond ni soniwn ni am danynt y tro hwn. Fel y mae ym mhlith dynion ryw debygolrwydd i'w weled rhwng perthynasau, felly y mae rhyw bethau tebyg i'w gweled ym mhob un o'r rhai a berthynant i'r un teulu ym mhlith yr adar. Y mae tebygolrwydd rhwng pigau, tafodau, ffroenau, a thraed yr holl amrywiaeth yn y teulu hwn. Y mae rheol a pherffeithrwydd yn holl waith yr Arglwydd, ac nid oes ond eisiau ei weled yn eglurach i'w ryfeddu yn helaethach. Y doeth a'i clyw Ef yn nghrawcian y Gigfran, ac yn nghrecian y Biogen. Y mae i'w weled ym mhob peth, ac i'w glywed ym mhob llais: ond yn ei air a'i efengyl y gwelir ef yn Dad, a Mab, ac Yspryd Glân, yn Dduw iechydwriaeth i bechadur.

R.

---

CYRPH PER-AROGLEDIG A BEDDAU YR HEN AIPHTIAID.

Mynegwyd eisoes yn y *Gwyliedydd* yr arfer Aiphtaidd o bêr-arogli, a chadw cyrph eu perthynas. Gosodid y rhai'n mewn ogofeydd helaeth, y rhai a naddesid tu fewn i'r creigiau; ac yno y ceir hwynt hyd heddyw, yn lluaws aneirif. Rhydd Belzoni, ymdeithydd diweddar, yr hanes canlynol am hen gladdfa a gafodd yn agos i dref Gornou, lle y claddid trigolion lluosog yr hen amser gynt. "Naddwyd pob rhan o'r graig, yr hon sydd oddeutu dwy filltir o hyd, a rhanwyd y tu fewn yn ystafelloedd o amryw faintioli. Perthyna i bob ystafell ei drws priodol o'r rhyddramwy cyffredin; ond nid oes dim tramwyfa, gan mwyaf, o'r naill ystafell i'r llall. Nid yw ddichonadwy ddarlunio yn gywir y lleoedd hyn; ac, yn ddilys, nid oes dim cyffelyb iddynt mewn gwledydd eraill o'r byd.

"Anhawdd ac anhyfryd yw myned ym mhell iddynt: a phan welo ymdeithwyr cyffredin y lleoedd nesaf i'r tu allan, digon yw ganddynt, a throant yn ol wedi eu cyflawn foddloni. Y cyfryw yw drygsawr y lle, a'r mân-lwch sydd yn tagu y genau a'r ffroenau cyn dosted, fel braidd y gellir ei ddioddef. Cyfyng iawn hefyd yw y pyrth i'r cilfachau; a rhaid ymlusgo i mewn iddynt, neu, yn hytrach, megis llynghyren ddaear, ymwthio drwy y ceulcoedd, y rhai nid ydynt ambell waith fwy na throedfedd neu ddwy o led. A phan gyrhaeddir lle helaethach, pa beth a welir? Ystafell gyflawn o gyrph y meirwon, y naill wedi eu gosod ar y llall, hyd yr entrych; ac ni's gellir ymsymmud un tippyn heb gyffwrdd â rhai o honynt. Os eisteddir i orphwys, bydd un o'r cyrph, fel tywod, yn malurio danom, ac yn ein gollwng i lawr. Os estynwn law a cheisio ymgynnal trwy ryw bethau yn ein cyrhaedd, nid oes dim i ddodi dwylaw arno ond pentwr o gyrph maluriedig, y rhai, ond odid, a syrthiant i lawr, ac a'n gorchuddiant â darnau aneirif o esgyrn, eirch, a hen gadachau. Mân-lwch y rhai'n yn myned i mewn i enau a ffroenau sydd yn flin annhraethol; a rhaid aros chwarter awr heb ymsymmud, fel y chwalo, i ryw fesur, y cwmmwl anhyfryd. Digwyddodd i mi unwaith ymwthio drwy dramwyfa ugain troedfedd o hyd, eithr nid llettach na chorph dyn; ac yr oedd mor llawn o gyrph fel na's gallwn fyned hyd-ddo heb gyffwrdd â'm genau â rhyw hen gorph maluriedig, a gorchuddiwyd fi âg esgyrn o bob rhyw fath, yn treiglo arnaf ac o'm

deutu. Aethum o'r naill ystafell i'r llall, lle y gwelais y cyrph wedi eu pentyrru yn amryw foddion, rhai yn sefyll, rhai yn gorwedd, rhai ar eu pennau. Y mae trigolion Gornon yn gwneuthur masnach o'r hen weddillion hyn, ac yn gwerthu i ddieithriaid naill ai cyrph cyfain, neu ddarnau esgyrn, neu yr eirch, neu y cadachau a'r *papyri* sydd wedi eu rhoi o amgylch y cyrph. Gwnaethant eu trigfannau yn nrysau yr ogofeydd hyn; ac yma hefyd y cadwant eu hanifeiliaid, megis, gwartheg, defaid, geifr, cŵn, camelod, &c. wedi gwneuthur y cyfryw fagwyr o ddaear ag sydd angenrheidiol i wahanu rhyngddynt. Ochrau a phen uchaf yr ogof sydd yn ddu fel simnai. Mynych y bydd cyd-frefiad y defaid a'r gwartheg yn cyd-lefain â lleisiau y meistradoedd liw nos. Gosodir lamp fechan i oleuo tywyllwch y nosweithiau, a thaenir hesg-wellt iddynt orwedd i lawr arni. Eu hymddiddan sydd yn hollol yn nghylch hen bethau a gweddillion oesoedd gynt. Cafodd un y cyfryw hen offeryn, cafodd arall fedd newydd. Rhoddent i mi bob amser brydnhawnfwyd o fara a llaeth mewn cawg pren; eithr os disgwylient i mi aros drwy y nos, lladdent ddau giw iar, y rhai a rostient mewn ffwrn fechan, a boethasid â darnau o eirch, ac ambell dro âg esgyrn a chadachau y meirwon eu hunain. Cyffredin iawn yr eisteddir i lawr wrth ddarnau o esgyrn; a rhaid, ond odid, symmud dwylaw, traed, neu henglogau, oddiar y ffordd; canys mor arferol yw y bobl hyn i eistedd ym mhlith cyrph meirw fel na wnant ddim cyfrif o orwedd arnynt hwy. Felly y daethum innau yn y diwedd, a chysgwn mor foddlon mewn pydew o gyrph meirwon ag mewn un lle arall."

Deallodd yr Ymdeithiwr (yr hyn a fynegasid gan hen hanesyddion hefyd) fod tri math o bêr-aroglied—sef, yn gyntaf, cyrph pendefigion, y rhai a gedwir rhag ammhariad gyd â'r gofal mwyaf; yn ail, y cyfoethogion, y rhai a bêr-aroglir mewn ffordd gostfawr; ac yn drydydd, y tlodion, y rhai a amwisgir mewn gwisgoedd a drochesid mewn *nitr*. Heblaw cyrph dynolryw, cafwyd teirw, buchod, defaid, eppaod, llwynogod, ystlymod, crocodiliaid, pysgod, ac adar, wedi eu pêr-arogli hefyd; ac yr oedd un ystafell helaeth yn gyflawn o gathod yn unig, wedi eu hamwisgo yn ofalus â llieiniau coch a gwyn, a'u pennau yn orchuddiedig gan ffugwyneb lliain, yn arddangos llun câth. Gallwn feddwl mai achos yr holl ofal hwn yw yr eilun-addoliaeth gwarthus arferedig ym mhlith yr hen Aiphtiaid, y rhai, er y rhagorent mewn dysgeidiaeth ar genhedloedd eraill, a addolent amryw greaduriaid* direswm; ac megis y parchent hwy yn fywion megis duwiau, cynhenid oedd iddynt eu pêr-arogli wedi eu marw. Os gwir y tybygiad hwn, rhyfedd yw na cheir cyrph anifeiliaid ond yn unig ym meddau y werin. Cyrph pendefigion sydd wedi eu dodi mewn eirch o goed sycamorwydd, cauadlen y rhai a gerfiwyd yn gywreingar âg amryw bortreiadau; ac y mae llun wyneb dynol, naill ai gwrryw neu fenyw, ar bob un o honynt. Gwelir amrywiaethau lawer iawn yn y dull o liwiau a phortreiadau; a gosodwyd coronblethau o ddail a blodau ar bennau a dwyfronnau rhai o'r cyrph yn yr eirch.——Daliwyd sylw ar fath arall o gyrph pêr-arogledig, yn

* Yr ŷch oedd Duw hoffaf yr hen Aiphtiaid. Y mae cyfeiriadau aml at yr eilun-addoliad hwn yn yr Ysgrythyr. Dywed Moses na feiddiai offrymmu ffieiddra yr Aiphtiaid yn y wlad honno, rhag ei labyddio ganddynt. Cyfeiriadau at hwn oedd lloiau aur Aaron a Jeroboam, yn ol yr arfer a welsent ill dau yn yr Aipht.

amrywio oddiwrth y lleill i gyd; a thybir y perthynai y rhai'n i'r offeiriaid. Dyblygwyd hwynt yn dra gofalus, a chyda pharch neilldual. Y dyblygiadau sydd o liain coch a gwyn cymmysgedig, o amgylch y corph oll; eithr ni ddyblygir y rhai'n megis y lleill, sef yr holl gorph a'r aelodau ynghyd, eithr y breichiau a'r coesau, ac hyd yn oed y byssedd oll yn wahanedig. Y mae ganddynt sandalau o ledr lliwiedig am eu traed, a breichledau am eu breichiau a'u harddynau. Bydd eu breichiau bob amser wedi eu gosod ar eu dwyfronnau, a chedwir yn ofalus lun y corph yn weledig er maint y dyblygiadau. Gwneuthuriad yr eirch sydd hefyd yn fwy cywraint; ac y mae llygaid ac aeliau rhai o'r cyrph wedi eu harliwio yn gywreinwych, i arddangos lluniau y mannau hynny mewn cyrph bywion.

Ceir ambell waith gau-lestri, yn cynnwys ynddynt ymysgaroedd y cyrph pêr-arogledig. Y maent o amryw faintioli, a defnydd, a gwneuthuriad. Ceir ambell olygyn o'u llaw-weithiau gynt; ond offerynau rhyfel sydd anaml iawn, yr hyn sydd yn rhyfeddol, gan fod yr hen Aiphtiaid yn bobl ddewraidd a rhyfelgar. Y mae amrywiaeth tyb ynghylch yr achosion a barai iddynt ymdrafferthu cymmaint i bêr-arogli cyrph eu perthynasau. Meddylir, yn gyffredin, y credai yr hen bobl hygoelus y gwnai eneidiau y meirwon barhau gyda hwynt, neu o'r lleiaf yn fywion, tra parhâai y cyrph heb gyflawn ddarfod; ac mai dyna yr achos y gofalent am bêr-arogli y cyrph, fel y parhaent hyd ddiwedd y byd. Gweler faint cyfnewidiad a ddigwyddodd yn nhreigliad oesoedd! Y pendefigion a fuont gynt mor rwysgfawr a galluog, ac a gadwyd gyda chymmaint traul a pharchedigaeth, a drowyd yn awr yn ddefnyddiau tân a marsiandiaeth i rai o'r Barbariaid mwyaf dan haul. Y wlad, a fu gynt mor flodeuog, ac yn lledu ei breichiau dros gynnifer o deyrnasoedd, a wnaethpwyd, yn ol bygythiad y prophwyd, yn frenhiniaeth isel; ie, isaf yw o'r brenhiniaethau. Ni pherthynodd i'r wlad dros gannoedd o flynyddoedd dywysog, yr hwn oedd briodor i'r Aipht; eithr, yn hytrach, megis yn bresennol, caeth-weision a brynasid er arian, ac a arglwyddiaethent arni yn enw eu meistriaid tramor. Y priodorion eu hunain ydynt dlodion, ac anwybodus, a chaethion i ddieithriaid, sef y Tyrciaid. Lle bu dysgeidiaeth gynt yn blaguro, anwybodaeth anwaraidd yn awr a gafodd yr oruchafiaeth. Lle bu St. Marc unwaith yn athrawiaethu ac yn dysgu yr efengyl yn ei phurdeb, enw yn unig a phroffes o grefydd ddirywiedig a geir yn bresennol. Er bod yr amaethyddion yn llafurio yn dost, prin y caniatteir iddynt ddigonedd o luniaeth bennyddiol, a chrys i guddio eu noethni. Cyflawnwyd bygythion yr Arglwydd bob un yn erbyn y genedl eilunaddolgar, ac nid aeth heibio un iod nac un tippyn heb ei gwblhau. Er y dug llif-ddyfroedd yr afon Nilus yr unrhyw gnydau toreithiog ag yn yr oesoedd gynt—er bod sefyllfa ragorol y wlad rhwng y Môr Coch a'r Canoldir megis yn gwahodd marsiandïaeth i lettya yn ei phorthladdoedd, ac yn cynnyg iddi gyffelyb gyfleusderau a phan oedd yr Aipht yn ganol-bwynt masnach Ewropaidd a Dwyreiniol, nid yw y trigolion ond tywyll ac anghenus, a'r wlad ei hun yn isaf o'r brenhiniaethau.

R.

---

LLYTHYR GOMER AB JAPHETH.

WYLIEDYDD HYBARCH,—Er y geilw rhai yr oes hon, Oes Gwybodaeth, ac nid wyf fi yn meddwl beio

arnynt am hynny; ac er y dywed eraill, y rhai a siaradant wrth eu galwedigaeth, bod yr *Ysgol-athraw* wedi myned allan i'r byd, yn *Wyliedydd* y mae yn debyg, ac am hynny nid oes achos ofni enbydrwydd oddiwrth fyd, cnawd, na diafol; canys y mae Meddwl yn marchogaeth trwy 'r wlad mor llwyddiannus, ac nid yw wiw i gawri, Coel-grefydd, Anwybodaeth, Culfarn, Rhagfarn, a Henarfer, feddwl myned i'r maes i'w erbyn. Ond pa fodd bynnag y mae mewn gwledydd eraill, y mae Henarfer a Rhagfarn a Chulfarn yn sefyll i fynu hyd yn hyn yn ein gwlad ni. Ac felly, a dywedyd y gwir i chwi, Wyliedydd Hybarch, ac fe allai y cyhoeddwch chwithau ef, fel y gwnaeth y Pabydd, yr Esgob Curtis, âg eiddo fy nghar, y Dae W——n, gwnewch fel y mynoch, canys nid oes ffydd i'w chadw â hereticiaid: ond yr oeddwn yn myned i ddywedyd i chwi bod Henarfer ar y maes etto; canys chwi a wyddoch, ac fe wyr pawb, mai Henarfer yw rhodio y gwyliau; ac felly, i gadw Henarfer, minnau a aethym i rodio gwyliau i blith fy mhlant a'm cyfeillion anwylaf. Ond i ba le, meddwch chwi, yr aethym gyntaf? I dŷ Ifor ab, ab, ab, ab yr Hael, am yr hwn y llefarodd eich hen dadau lawer yn eu hamser. Yma y daethai ynghyd, trwy ddamwain neu gyngor, gynnulleidfa hardd o hen ac ieuaingc; megis Aneurin, Taliesin, Llywarch Hen, Dafydd ab Gwilym, a Dafydd ab Edmwnt, Ieuan Hir, Robin Ddu o'r Nant, Gwilym ab Sion, Meddyg ab Caledfryn, Ieuan ab Geirionydd, Alun ab Gwenfrewi, Tegid ab Llyn, a chûd hardd o gawri dihafarch o fynwes a cheseiliau yr Eryri; Cymry o waed coch calon oeddynt i gyd, chwi a ellwch dyngu, wrth eu henwau. Yr oedd yno lawer eraill, ond nid allaf, oblegid lle, yn awr eu henwi. Meddyliais am ddiddanwch anghraethol yma dros y gwyliau; ond Och, y mae rhyw felldith ym mhob nyth a bwth pechadur, fel nad oes un ystafell na llys yn llawn o'r melys heb ddim o'r chwerw. Dechreuodd rhywun, gan adrodd llinell o newydd Farddoniaeth, a galwodd ar y nesaf i'w hatteb—gwnaeth felly: ac fel hyn yr aeth pethau ym mlaen yn dawel a llonydd am dro, hyd nes y gwaeddodd Dafydd ab Edmwnt "*dyna fai—twyll odl.*" "ie (ebe rhywun arall) yr oedd yr un o'r blaen yn *rhy debyg*." "Yn wir (ebe rhywun arall) yr oedd pob bai, oddieithr gwest-awdl, yn y llinellau cyntaf o'r caniad." "Nac oedd," ebe rhywun arall. "*Pw, pw, pw-w*," ebe rhywun ieuangc, yn agos i'r tân, wrth smoco ei bibell. "Pa beth, syra (ebe un o Gawri yr Eryri) ai nid ydym ni i edrych am gadw rheolau Dafydd ab Edmwnt? Er mai Mynachod segurllyd a'u cyfansoddodd, etto, y maent yn hanfodol i fodoldeb Barddoniaeth Gymreig." Ar hyn, fe gododd Gwilym ab Sion ar ei draed, ac a waeddodd, "y Barddonai efe am y goreu â holl Farddonwyr y byd, os nid oes Farddoniaeth mewn un iaith yn y byd ond y Gymraeg. Beth yw synwyr a meddyliau ardderchog heb gynghanedd a thincian geiriau?" a tharawodd y bibell o ben y gwr ieuangc, ac yna y bu dadl a thaeru, a duodd yr awyr fel pe buasai tymhestl yn agos; ac ar hynny, myfi a redais allan, rhag bod yno ryw un tebyg i *Fiore* o *Edinburgh*, i syrthio ar fy mharwyden, a rhoddi ei law ar fy ngheg, a'm gwerthu i'r meddygon, y rhai nid wyf eisoes yn eu hoffi yn fawr. Cerddais yn lled chwap, canys oer ydoedd, tua thŷ Dewi Sant, un o hiliogaeth yr hen Ddewi, yr hwn y cododd y bryn dano, a welir hyd heddyw o dan Eglwys Llanddewi Brefi—y

Dewi hwnnw y gelwir y Coleg ar ei enw: a pho gwrandawai fy mhlant yn y De arnaf, cynghorwn hwynt i'w alw *Coleg Sant Dewi;* canys gwell i ni fod sancteiddrwydd yn rhwym wrth y Coleg nag wrth Dewi: ond gwnaent hwy fel y mynont. Erbyn i mi fyned i'r tŷ, yr oedd amrai o gyfeillion wedi dyfod ynghyd—Sion Syml, Dewi Feddylgar, Sion Siarad, Guto Gulfarn, Rhagfarn Fyrolwg, Penboeth Tanllyd, Edmwnt Lygadgraff, Dafydd Ddistaw, Rhysyn Rheswm, Twm Ddyfal, ac amryw eraill o Ddeheuwyr â'u llygaid mor graff ag eiddo 'r Eryrod yr Eryri. Wel, ebe fi, gan daro fy nwylaw ym mhleth, mor ffodiog y bum i ymadael â llys Ifor—yma yn sicr y cartrefa rhinwedd, a phob dedwyddwch; canys y mae yn rhaid i chwi foddloni i mi, yn fy henaint, ddywedyd yr un peth fwy nag unwaith; am hynny, er i mi ddywedyd ganwaith wrth fy mhlant, nad oes *ddedwyddwch* heb *rinwedd*, yr wyf yn cyhoeddi hynny unwaith etto yn y llythyr hwn. Dros dro hir, bu 'r ymddiddan yn hyfryd dros ben, â rhyw wlith rhyfedd yn ireiddio pob enaid, a chynnyddodd pawb, gan mwyaf, mewn gwybodaeth a rhinweddau. Ond Och! y mae 'r felldith yma etto; canys gwelodd, neu feddyliodd, Guto Gulfarn ei fod yn gweled rhyw frychau yn ymadroddion Sion Siarad, ac fe ddywedodd hynny yn nghlust Rhagfarn Fyrolwg, Penboeth Tanllyd, ac Edmwnt Lygadgraff, ac yna y tri a waeddasant yn groch, "Tân! Tân! Tân Cyfeiliornad! yn ennyn yn tŷ; fe'i llosgir yn sicr os goddefir yn hŵy." Yna dechreuodd Rhysyn Rheswm eu darbwyllo i ochelyd byrbwylldra, a chyffroi 'r teulu a'r cymdeithion yn ddiachos. Rhanwyd y lluaws; a rhai a waeddasant un peth, ac eraill beth arall: un yn gwaeddi "Morganiaeth, Hanner-Morganiaeth, Arminiaeth, Baxteriaeth, Williamyddiaeth, Caerwysiaeth, Pabyddiaeth," &c. &c. a'r llall yn gwaeddi —"Tynghedfeniaeth, Calfiniaeth, Awstiniaeth, Antinomiaeth, Penrhyddidiaeth," &c. &c. Blant, ebe fi, â'm holl egni, ceisiwch *ddeall* eich gilydd, cyn duo eich gilydd âg enwau diles a diystyr, fe allai. Clywais bob un o honoch yn cyfaddef, ac yn profi, mai o ran yr ydych yn gwybod—mai anmherffaith yw eich deall, a'ch barn, a'ch amgyffred am bethau, yn enwedig pethau crefyddol; a pha fodd y mae pob un o honoch yn duo 'r llall, o herwydd nad yw yn cydweled âg ef, fel pe byddai pob un o honoch yn anffaeledig a pherffaith, mewn amgyffred, deall, a gwybodaeth. Er cased yw gennych y Pab, yn wir y mae cymmaint o Babyddiaeth, yn ymddangos i mi, yn yr ymddygiad hwn o'ch eiddo chwi y naill tu ag at y llall, ag a welwyd erioed yn ei anSancteiddrwydd o Rufain. Ond gan nad ellais eu dofi a'u darbwyllo i daflu ymaith y gwydrau twyllodrus oddiam eu trwynau: ac wedi gweled Sion Syml, Dewi Feddylgar, Dafydd Ddistaw, a Thwm Ddyfal yn gwaedu gan glwyfau, mi a redais allan, a gadewais ynoiddynt hwy. Ac ar fy hynt aethym trwy Ddolgellau, gan feddwl llettya y noson honno ar ben y Gader, fel y gallwn o hynny allan, Farddoni yn ddigyffelyb: ond ryw fodd neu gilydd, nid oedd Calonrwydd yn arweinydd o fewn galw. Gorfu i mi, am hynny, eistedd i lawr dan arwydd y Llew, y Llong, neu 'r Llwynog, yr Angel Glân, neu 'r ciw Ceiliog: barned plant Dafydd ab Edmwnt, a oes Barddoniaeth yn hyn? Ni bum i etto ym mhen y Gader. Ond aruthrol ofnadwy i'w adrodd, digwyddodd un o'r pethau rhyfeddaf wedi fy ngenedigaeth; (canys ni welais y

dilnw y noswaith honno) canys, pan oeddwn i gan ludded yn barod i orphwys, ac yn meddwl yn syngar am deulu Ifor a Dewi, yr oedd un o'm plant anwylaf, Cybi y Seryddwr, yn ymdrech yn llwyddiannus i ddangos i'r Dolgellauwyr gywreindrefn y bydysawd, a rhyfeddol gylchdroadau a symmudiadau y bydoedd wybrenawl; a thra 'r ydoedd yn gwneuthur wrth fodd pawb, agos, neidiodd rhyw un o hiliogaeth Idris y Seryddwr, a chan eiddigeddu dros anrhydedd ei orhendaid, y mae yn debyg, fe safodd i fynu o dan ddylanwad cryf yspryd Bacws, ar ben y Gader, ac â'i fraich efe a dynodd, nid traian ser y nef fel y gwnaeth y ddraig â'i chynffon, ond yr haul, y ser, a'r holl blanedau i'r ddaear, yn nghanol Dolgellau; ac O! 'r tywyllwch yr oedd y byd ynddo!! Ond, ryw fodd neu gilydd, pan deimlais y ddaear-gryn, a chlywed ysgrechian, gwaeddi, wylofain, ac oernadau gwyr, gwragedd, rhianod glanaf dan y nefoedd, a llangciau, neidiais ar fy nhraed, fel yn nyddiau fy ieuengctid, ac o'r braidd y cyffyrddais â'r ddaear deirgwaith; nes yr oeddwn dros y Bwlch Coch, ac nid hir y bum heb weled Llyn Trigraienyn, Ffynnon Cwm'rhwyfor, a Chorus, a disgynais y'mhlith plant barus y tlws-le a elwir Machynllaith. Wedi yfed dwfr blasus Ffynnon y Garsiwn, myfi a lechais yn nghysgod Craig yr Ogof; canys yr oedd melldith anghydfod yn y dref, fel yn nhŷ Ifor a Dewi: ac yno y cysgais, ond ni's gwn dros ba hyd; ac erbyn i mi ddeffroi, yr oedd yr haul, y ser, a'r planedau, a Dolgellau a'i thrigolion, am a wn i, fel yr oeddynt yn yr hen fyd, cyn y chwyldroad tryblithawg hwn. Penderfynais ymweled â'm plant yn y Dehau—neidiais i'r cerbyd a'm goddiweddodd tua phen *Tyno Hir*, a chwap wele fi yn Aberystwyth: ac yno, buan y canfyddais fod y *Meddwl wedi marchogaeth drwyddi:* canys, yn lle *Porth Tywyll*, a *Heol y Bont*, a *Heol y Moch* a'r *Wig*, y mae yno ryw enwau dieithr na's medrwn i na'u darllen, na'u deongl, na'u deall, ac ni fernais hwynt yn werth ymofyn am gyfieithydd, os oedd un yno, wedi ymadawiad yr un cyfreithlon. Llechais am dro ym mysg darnau yr hen gastell, a daeth llawer meddwl trwm ac ysgafn i'm mynwes am a fu, ac y sydd, ac a all fod. Treuliais ychydig ddyddiau yn rhedeg yma ac accw, i weled rhyfeddodau yr ardal, y rhai a welais o'r blaen. Cynghorwn fy holl gyfeillion yn y Gogledd, os cânt hamdden, i weled *Pont y Gwr Drwg*, *Ffrwd y Gyfarllwyd*, *Gwely Plant Fat*, *Hafod Ychdryd*, *Ystradfflur*, *Ystradmeurig*, &c.

Wedi gweled y rhai hyn, dychwelais i Aberystwyth, a chyrchais i'm lletty; ac mewn ystafell o'r tu cefn yr oedd bagad o gyfeillion o'r dre' a'r wlad wedi ymgynnull, pa un ai damweiniol ai bwriadol, ni's gwn, ac ni's gwaeth. Agorwyd y drws, a chefais gennad i fyned i mewn, a buan yr anghofiais fy lludded yn llawenydd a buddioldeb ymddiddanion y cyfeillion. Synais braidd eu clywed yn llefaru mor gysson a dealladwy am ymdroadau ac ymddangosiadau y lloer, yr haul, y sêr, a'r planedau. Yr wyf yn meddwl mai Siamas Gryfgof oedd y prif ymadroddwr am y rhan fwyaf o'r amser y buwyd yno. Ond, yn nghanol yr ymadroddion, tarawodd gwr mewn dillad gleision, a gwydrau o flaen ei lygaid, ei ben i'r ystafell, a thynodd yn ôl, a chauodd y drws. "*Dyna fe, dyna fe,*" ebe dau neu dri yn yr ystafell, ar unwaith. Ar hyn, myfi a ofynais, *pwy oedd efe?* a dywedwyd wrthyf, "*Gwr o'r North* yw efe, sydd yn myned o amgylch i ddangos i ni drefn y nef a'r ddaear, a mawr allu a daioni y Creawdwr yn

y cwbl—gwr craff hynod yw efe hefyd. Ni welsom ni, ac ni chlywsom ni yn ein hiaith ein hunain erioed y fath beth o'r blaen." "Ni buaswn i (ebe un arall) yn blino am flwyddyn yn gwrando, ac yn edrych ar y pethau o'm blaen." Yna y deallais mai ail adrodd darlith serydd-ol y doethgarwr o Gaergybi yr oedd Siamas. Ond yr oedd pawb yn un air yn canmol y gwr o'r *North*, a'i ymadroddion, ac yn addaw annog eraill, er eu budd a'u hadeiladaeth eu hunain, i fyned i'w wrando: ond yn nghanol yr hyfrydwch a'r tangnefedd hwn, cododd rhyw gerlyn coesgam, cefngrwm, talrychiog, llygadgroes, ym mhen draw yr ystafell, a gwaeddodd yn lled uchel, mewn llais cecrus, "Digon bellach ar ynfydrwydd. Ydych chwi yn meddwl mai ffyliaid ydyw dynion, ac mai ffyliaid oedd ein tadau a'n teidiau o'r dechreu hyd heno? Na, na; nid wyf fi yn coelio, nac yn meddwl coelio *gwyr y North*, na neb arall, yn groes i dystiolaeth fy llygaid fy hun. Onid wyf yn gweled yr haul bob dydd yn ymddangos gyntaf yn y boreu yn y dwyrain, ac yno yn myned yn araf tu a'r gorllewin, ac yn machludo, neu yn myned o'n golwg ni am ychydig, ac yn dyfod i'r golwg wedi hynny yn y dwyrain. Ac onid yw hyn yn profi ei fod ef yn myned o amgylch y ddaear, ac nid y ddaear o'i amgylch ef. Mi goeliaf fi fy llygaid fy hun o flaen neb." "Wel, Siarlas," ebe Mwynwr Pwyllog, "a ydych chwi yn cofio, pan yr oeddech chwi a finnau yn y cwch yn myned o'r *Bar* at y Tolldŷ, bod y castell yn ymddangos i chwi a finnau fel yn ymsymmud, a ninnau yn aros yn yr un man, er mai ni oedd yn symmud, a'r castell yn sefyll, mewn gwirionedd, fel y gwyddoch chwi eich hunan; am hynny fe all eich llygaid chwi eich hun eich twyllo." "Pw, pw," ebe Siarlas, "ai tebyg i'r haul yw'r castell, a thebyg i gwch ar y môr yw sefyll ar y ddaear?"

"Dywedodd y gwr lawer am y sêr gwib neu gynffonnog," ebe Siencin ab Dychymmygwr; "ond, yn fy meddwl i, y mae efe, a phawb a glywais i, yn camsynio yn eu cylch. Fe ŵyr pawb agos yn awr, bod llawer iawn o fydoedd yn ngwagle neu ehangder diderfyn y greadigaeth. Ac nid oes dadl nad yw y rhai hyn yn llawn o breswylwyr, o ryw fath neu gilydd; a chwi a wyddoch bod ar greaduriaid angen am gymmorth naill y llall tu ag at ddedwyddwch eu gilydd. Y mae arnom ni eisiau cymmorth pethau, a chreaduriaid, Ardaloedd y Dwyrain, ac Ynysoedd Môr y Dehau, a Chyfandir ehang yr Americ; ac y mae eu pethau hwynt, trwy eu mwynhau, yn ychwanegu ein cysuron ni; ac felly y mae ein pethau ninnau yn ychwanegu eu cysur hwythau: etto fe fuwyd yn hir cyn myned mor bell a'r Dwyrain a'r Gorllewin India. Ond yn awr yr ydys yn myned, ac yn dychwelyd, i'r ardaloedd pellaf, cyn agos y gwybyddir ein colli o'r wlad hon. Fe aeth un ychydig y'mhellach na'r llall, hyd nes aethant i'r lle pellaf yn y diwedd. Yn awr y mae *Ager-longau* yn myned mor wastad yn y blaen yn wyneb gwynt a thonnau, fel y gellir agos ddweud mewn ychydig oriau pa bryd i'w disgwyl o ardal i ardal, a theyrnas i deyrnas. Yn awr y mae yn ymddangos i mi, mai rhyw fath o *Ager-longau* mawrion, yn nofio yn yr awyr o fyd i fyd, ac yn cludo nwyfaw a newyddion o'r naill i'r llall, er ychwanegu dedwyddwch a chysuron eu hamrywiol drigolion, ydyw y sêr gwib. Fe allai bod rhai o honynt wedi eu cymmwyso fel llongau, fel eiddo'r Cadpen Parry, i chwilio am fyd neu fydoedd newyddion—a'u bod etto heb ddyfod i

olwg ein byd ni. Peth rhyfedd fyddai pe deuai un mor agos attom, yn y byd hwn, ag y gallem fyned i'w bwrdd, a siarad â'i gwyr, a masnachu â hwynt. Ië, fe allai hefyd y gallem fyned ar ei bwrdd i weled y bydoedd fry, a dychwelyd yn ol yn gyfoethocach na Solyf y'mhen ychydig flynyddoedd, ar ei dychweliad i'r ardaloedd hyn. Nid yw'r gynffon, fel y gelwir hi, amgen na *mŵg* y tân sy'n berwi 'r dwfr i gael agerdd i'w gyrru." "Ac—taw, Siencin, taw," ebe Siarlas, "ac onidê myfi a ffystaf dy fennydd i faes â'r dderwen hon," gan godi ei ffon, a thyngu yn ofnadwy ei fod yn ynfyttach na S—-ni Gaerfyrddin." Aeth yn daeru fel hyn, a dadleu fel arall, a hwn a'r llall a'r trydydd â'i reswm direswm ganddo. Oh, O, ebe fi, dyma 'r felldith etto yn y Dehau, fel yn y Gogledd—ac ymaith â myfi i'r gwely, a breuddwydio cryn lawer ni wneuthum ynghylch yr Agerdd, longau cawraidd hyn. Ar ol ymgynghori ychydig â'r gobenydd, a chodi, a phaderu, aethum yn bwyllus i lawr y grisiau, a chefais ymborth glân blasus i'm diwallu, a chofiais am y Dychymmygwr wrth weled ac archwaethu 'r *tê* a'r *coffi*. Ar ol hyn, penderfynais weled Caerfyrddin; a chlywais lawer o bethau newydd a hen yn Llanrhystyd, Talsarn, Llanbedr, Llanwnen, a Llan a Llan o Reidiol i Dywi. Llettyais o dan arwydd y Llwyn Eiddiorwg; a phob mwyneidd-dra a wnaethpwyd i mi yno gan ——. Aethum tu a'r De oddi yno i ryw dref a llys dienw; ac yr oedd yno Gymry gwresog wedi ymgyfarfod i ystyried pethau pwysig, fel y deallais wedi hyn, perthynol i ni a'n hiaith. Cefais, gan gyfaill, fy nghymmeryd i'r ystafell, a gwelais hen ŵr hybarch pwyllus yno yn y gadair, a nifer mawr o wyr parchus, o'r De a'r Gogledd, ar bob llaw iddo. Ym mhen ychydig, cododd un ar ei draed (nid wyf yn cofio pa un ai Deheuwr ai Gogleddwr oedd); ac ar ol cyfarch y cadeirydd, efe a lefarodd yn hyawdl a medrus ar y pethau canlynol. "Y mae yn hyspys i chwi, ac i bawb," eb efe, "fod dynion doeth a da, ond ryw fodd yn ddibwyll yn hyn, yn ceisio yn ddiwyd a diflino wanychu, anharddu, a gwneuthur yn annealladwy, yr hen iaith Gymraeg. Pwy ni wel, os deelir yr holl lythyrenau dwyol, y gwanychir yr iaith, y dinystrir hen-arfer, ac y gwneir y Bibl a'r Llyfr Gweddi Gyffredin yn hollol annealladwy i'r bobl gyffredin. Y mae yn wir bod y bobl hyn yn sôn ac yn ein galw at reolau Ieithaduron, rheswm a thadogaeth geiriau; ond pa beth sydd gan y pethau hyn i'w wneuthur a'r henarfer o silladu ac ysgrifennu geiriau. I ragflaenu yr holl ddrygau hyn, dylem, yn ddioed (ac yr wyf yn gosod y cynnygiad o flaen y Cyfarfod) anfon at ein blaenoriaid, mewn Gwlad ac Eglwys, ac erfyn arnynt ddefnyddio awdurdod i dagu a mygu y terfysgwyr hyn. Ysgrifenwn hefyd at holl Gymdeithasau Eglwysig, ac erfyniwn arnynt wneuthur rheol na wnant hwy symmud bys na llaw i argraphu, dosparthu, na chymmorth, y fath newydd arferion a'r rhai hyn." Yna cododd rhyw un arall i gefnogi 'r cynnygiad; ond yr oedd gormod o lediaith arno i mi ei ddeall, ac ni chafodd fawr o wrandawiad gan neb. Yna cododd gwr ieuangc arall, a chyfarchodd y cadeirydd, ac areithiodd yn dda a doeth ragorol; a dangosodd "bod rheswm, cyssondeb, rheolau a thadogaeth geiriau o'i blaid ef, a'r ffordd newydd." A dywedodd hefyd, "nad oedd rheolau Ieithadurol ond arferiad cynhenid yr iaith; ac am hynny, gan fod rheolau ieithadurol y Gymraeg o blaid yr hyn a elwir y drefn newydd, ac yn

erbyn yr hen drefn o silladu, y mae yn rhaid mai ein harfer ni yw yr arfer hynaf: ac am hynny, os *hynafra* arfer yw y rheswm cadarnaf o blaid fy nghyfaill acow, y mae yn rhaid iddo roddi'r goreu i mi, a dyfod dreosodd i'r ochr hon. Yr wyf fi yn cynnyg, gan hynny, 'Na byddo i neb ddefnyddio awdurdod o'i blaid, ond bod rhyddid i bawb roddi eu rhesymmau cadarnaf o flaen y cyffredin dros ac yn erbyn y drefn hon a'r drefn arall; a barned y deallus wedi hynny.'" Cefnogodd un o'r cyfeillion y cynnygiad hwn. Areithiodd dau neu dri eraill, un o'r ochr hon, a'r llall fel arall. Wedi hyn cyfododd y cadeirwr hybarch ar ei draed, a chyfarchodd y cyfarfod yn ddoeth, yn bwyllus, a boneddigaidd, a dywedodd i'r perwyl hyn:—"Clywsoch gynnygiadau ein cyfeillion o bob ochr, a chlywsoch eu rhesymmau i ryw raddau pa fodd bynnag. Yn awr y mae yn rhaid i mi ddywedyd nad wyf fi yn gweled dim enbydrwydd i'n hiaith, nac i'n gwlad, nac i'n Heglwys, yn y pwngc; ac am hynny nid allaf gyduno â fy nghyfaill, yr hwn a ddywedodd y gwnai y dull newydd o silladu y Bibl, a'r Llyfr Gweddi Gyffredin, yn annealladwy i'r bobl gyffredin: canys ni bydd sain y gair ond yr un, yn ol barn y ddwyblaid. Y mae tuedd ynom ni, y Cymry, i liwio pethau yn rhy gryf, yn ein poethni. Nid wyf yn gweled mai cyfiawnder ydyw galw awdurdod Gwlad neu Eglwys i amddiffyn yr hyn ni all rheswm a gwirionedd ei amddiffyn: ac nid têg ydyw galw ar y Cymdeithasau Eglwysig i ymrwymo i gynnal na'r naill na'r llall; oblegid y mae eu haelodau yn gymmysedig o bleidwyr y ddwy ochr. Ac y mae yn ymddangos i mi yn afresymmol i neb roddi llais o barth yn y byd ar y pwngc mewn dadl, os nad yw yn ei ddeall; ac am hynny y mae holl blant Alis, fel y geilw gwyr Mawddwy hwy, yn anghymmwys i roddi barn ar y pwngc. Y mae yn rhaid cyfaddef y gwna'r dull newydd, fel y gelwir ef, roddi peth anhawsdra yn ffordd y rhai a ddarllenant Gymraeg heb ei deall; ond y mae mor wir na wna felly i'r hwn sydd yn ei deall. Yn wir, nid wyf yn barnu na'r Dr. —— na'r Dr. ——, na'r Athraw —— na'r Athraw ——, na gwyr Llundain na gwyr Llandaf, na gwyr y gogledd, yn anffaeledig. Ac fe allai bod pob un yn camweled ac yn camsynio hefyd. Am hynny, fel dynion, fel Cymry, y rhai ni ffoisant erioed rhag ofn gelyn, gadewch i ni chwilio'r pwngc. Nac ofnwn fwbachod y naill ochr na'r llall. Profwn eu rhesymmau, a daliwn y da. Cynnygiwn wobrau am y traethodau rhagoroccaf ar y testun, pa un bynnag ai tros ai yn erbyn y b'ont. Cofiwn nad yw newid dillad, neu ryw ran o ddilledyn, ein mam yn cyffwrdd â'i bywyd, nac yn newid ei hwynebpryd serchog yn y radd leiaf. A chymmeradwywyd cynnygiad y cadeirydd trwy fonllef gan yr holl gyfeillion gwyddfodol. Penderfynwyd anfon Hyspysiad a Chynnygiad i'r Newyddiaduron, a Chyhoeddiadau Misol y Dalaeth. Yna ymadawodd y cadeirydd, a lluaws o'i gyfeillion; ond arosodd llawer yn ol, ac ym mhen ychydig fe ddywedodd un, "*Siaradwr da digynnyg oedd y cyntaf.* Y mae'r dull newydd yn gwanychu yr iaith, ac yn ——." "Nac yw," ebe un arall. "Pw, pw," ebe'r trydydd. "Tewch," ebe'r llall, "ac ewch adref i ysgrifennu, os oes gennych ryw beth i'w ddywedyd." Ac ar hyn cododd un arall, a dywedodd, "*Hafab be chwi ddeud w?*" Och! ebe fi, dyma'r felldith etto yn y wlad hon; a diangais allan am fy hoedl; ac oni buasai ei bod yn noswaith oleu, ni's gwn a gawswn y tŷ lletty ai peidio.

Dyma i chwi, Wyliedydd hybarch, ran o hanes fy rhodiad y Gwyliau. Pa gyngor a roddwch i mi? Pa fodd yr ymddygaf tu ag at fy mhlant? Y maent yn rhy hen i'w ffangellu â bedw a danadl poethion. Ni achwynwn i pe baent yn dadleu am gan mlynedd, pe dadleuent yn dêg, yn bwyllog, heb dduo na niweidio eu gilydd. Fe allai y gwnewch chwi, neu rai o'ch cyfeillion doethion, fy nghymmorth yn y peth hwn. Yr wyf yn caru fy holl blant o eigion fy nghalon, ac yn dymuno eu llwydd; ond, yn wir, y mae arnaf ofn am danynt, y rhoddant y byd ar dân os dadleuant yn boethlyd a thanbaid. Blwyddyn newydd dda i chwi, pa fodd bynnag, a llawer, llawer o honynt, *Amen.*——Ydwyf, Wyliedydd hybarch, eich hen orhendaid,

GOMER AB JAPHETH.

---

GWROLDEB INDIAIDD.

PAN oedd rhyfel rhwng dwy genedl o Indiaid Americanaidd, daliwyd un o'r llwyth *Katahba* gan ei elynion, eithr y cyfryw oedd ei fedrusrwydd gyd â'i saeth-ddryll, a'i fuander, fel y lladdasai yn gyntaf saith o'i wrthwynebwyr. Dygwyd ef adref ganddynt fel y rhoddent ef i farwolaeth, yn ol eu harfer hwynt, drwy yr arteithiau poenusaf. Ar yr ymdaith, ychydig a roddent iddo o luniaeth wedi hir lafur, a'r un pryd, caethiwent yn dost ei freichiau a'i goesau hyd yr holl ffordd. O'r diwedd, tynasant ei rwymau, a dygasant ef yn rhydd tu a'r fan, lle y bwriadasent ei ladd, a lle yr oedd yr holl genedl yn ymgynnulledig i ganfod ei boenau diweddaf. Digwyddodd fod y lle hwn ar lân afon, i'r hon, wedi rhuthro yn ddisymmwth heibio i'w geidwaid, y neidiodd y dyn, ac yna nofiodd dan y dwfr, gan mwyaf, fel dwfr-gi, oddigerth ambell-waith pan godai i fynu ei wyneb am wynt. Cyrhaeddodd y lân arall, er bod rhai yn nofio ar ei ol, ac eraill yn saethu atto; ac wedi crochlefain arnynt i ofyn eu gwaethaf, rhedodd ymaith â'i holl egni dan oddeutu canol y nos. Gorphwysodd ar hynny yn y fan y daethai iddo, ac arhosodd yno hyd oni chyrhaeddodd pump o'i erlidwyr yr un lle. Ymguddiodd yntau o'u golwg, a gwyliodd hwynt hyd oni syrthiasant oll mewn trwmgwsg. Llwyr ymfwriadodd ynddo ei hun gymmeryd y cyfleusdra hynny i ddial ei gam. Gwir fod ei elynion yn bump, ac yn arfogion, ac yntau ei hun yn noeth, a lluddedig, a newynog, megis hefyd heb un erfyn yn ei ddwylaw. Er hynny, nesâodd yn ddistaw attynt, cymmerodd fwyall rhyfel un o honynt, a lladdodd y pump oll. Yna gwisgodd am dano rai o'u dillad, cymmerodd y saeth-ddryll goreu, a digonedd o ddefnyddiau saethu, ac ymdeithiodd ymaith tu a'r fan lle y lladdasai y saith ryfelwr ar y cyntaf. Cymmerodd i fynu eu cyrph claddedig o'u beddau, a llosgodd hwynt yn lludw, ac yna dychwelodd, â chalon ysgafn, i'w gartref ei hun. Pan ddaeth eraill o'i elynion i'r fan lle y cawsai y pum rhyfelwr eu lladd, synnu yn fawr a wnaethant, a galaru â galar tost iawn. Ymgynghorasant yn bwyllog beth oedd oreu ei wneuthur, ai parhâu i'w ymlid ef, neu ddychwelyd adref; a phenderfynwyd, o'r diwedd, gan ei fod yn elyn mor enbydus pan oedd yn noeth a diarfog, mai callaf fyddai ei ochelyd yn awr wedi ei gyflawn arfogi, ac yr ymddangosai ei fod yn meddiannu galluoedd goruwchnaturiol. Felly, gwir y cyflawnwyd ynddo yr hen ddïareb—"Ni ddiffyg *arf* ar was gwych."

B.

### HUNANOLDEB Y BEIRDD.

Syr—Digwyddodd i mi yn ddiweddar fod yn ymdaith tua D——ch, a gwelwn ddau ddyn ychydig o'm blaen; a chan y bydd cymdeithion difyr yn esmwythâu y daith, prysurais fy nghamrau er mwyn eu gorddiwes. Cyferchais y gwyrda, a gofynais iddynt, a oeddynt ar fedr myned ym mhell y ffordd honno? attebasant, eu bod yn myned i Dd——ch: dywedais y byddai dda gennyf gyd-deithio â hwynt, os nad oeddynt yn ymddiddan yn gyfrinachol; dywedodd un o honynt, mai ymddiddan ynghylch yr Iaith Gymraeg a Barddoniaeth yr oeddynt, ac y dilynent yr ymgom os nad oedd yn groes i'm meddwl i: dywedais innau, fy mod yn fawr hoffwr Barddoniaeth. Deallais wrth y gwyr hyn mai Beirdd oeddynt, ac adroddais amrai linellau, y rhai i'm tyb i oeddynt ddestlus engreifftiau o awen ddiledryw. Ym mhlith eraill adroddais linellau o "Gywydd Bonedd a Chynneddfau 'r Awen," gan Goronwy Owen: dywedodd un o'm cymdeithion, "Iaith gref;" "Synwyr da," ebe 'r llall; "er hynny ni's gwn i pa fodd y cafodd Gro. Owen yr enw anrhydeddus o fod yn Brif-fardd; y mae ei waith yn llawn o feiau cynghaneddol; aml iawn y byddaf yn gweled dybryd sain, ymsathr odlau, &c. yn ei waith." "Yr ydwyf finnau o'r un farn a chwi," ebe 'r llall, "ac nid allwn alw y fath linellau a

> "Cofio wna hoglangc iefangc,"
> "Ffylliwn hyd ddau begwn byd,"

yn Farddoniaeth, a byddai gywilydd gennyf Fi roddi Fy Enw wrth y fath waith!!" Minnau yn fy mympwy egwan a geisiais amddiffyn ychydig ar Brif-fardd Môn. Po mwyaf pencerddawl y dywedwn i fod ei waith, mwyaf tincerddawl y dywedent hwy ei fod: ar ol hir ymdaeru, rhag ymgecru, troisom ben ar y ddadl. Yna adroddais ddernyn o'r Awdl Fuddugol ar "Ddinystr Jerusalem;" ond pan ddaethum at y llinellau arddderchog hynny,

> "Llithrig yw 'r palmant llathr-wyn,
> Môr gwaed ar y marmor gwyn,"

torrwyd ar fy siarad. Dywedodd un o honynt, fod y llinell ddiweddaf o'r ddwy yn rhy debyg—*mór, mor*, eb efe. Gofynais innau, oni oddefai efe anaf bach cyffelyb hwna yn y gynghanedd, os bydd yr iaith yn dda, a'r farddoniaeth yn orchestol? "Ha, ha," ebai 'r gwr gyda gwên ddirmygus, "beth ydyw Barddoniaeth ond cynghanedd?" Dywedais, mai ehediadau meddwl oedd Barddoniaeth; a gofynais iddo, ym mha le y ceir purach Barddoniaeth na'r eiddo yr Alun hwnnw yn yr "Emyn ar Farwolaeth yr Esgob Heber" yn y Gwyliedydd diweddaf? Addefodd y gwr mai nid yn aml y gwelir gwell ehediadau meddwl mewn "Rhigymwaith;" "ond etto," eb efe, "pa beth yw honno i'w chyffelybu i Awdl ar y Pedwar Mesur ar Hugain." Y mae y rhai hynny mor gaeth nad oes modd i Fardd gyfansoddi arnynt heb ffrwyno neu gwttogi llawer ar ei feddyl-ddrychau, a phe cynnysgaeddid fi âg Awen at Farddoniaeth, ni chyfansoddwn i ddwy linell byth arnynt, ebe finnau.

> "Coegwr, a bradwr i Brydydd,"

eb efe, a gofynodd i'w gyfaill, yr hwn oedd fud er ys tro, orphen. "Na, na, yr ydwyf fi wedi cyfansoddi Englyn wrth glywed y gwr yna yn siarad, a llyma fo:

> "Pall, mall, maith, araith wrawl——
> ydyw enaid
> O anian Barddonawl;
> Hidl da doeth, Awdlau di dawl
> O gynghanedd ganghenawl.

"Arddderchog, onidê, ebe 'r awdwr ei hun;" "gorchestol iawn," eb ei gyfaill. Yn ol iddynt foesgyfarch eu gilydd am ennyd, gofynais i'r

Bardd a gyfansoddes yr Englyn, pa beth a feddyliai wrth y llinell gyntaf? "Sain ddyblyg, cynghanedd orchestol," ebe 'r gwr. Yna gofynais, beth a feddyliai wrth y tri gair cyntaf? dywedodd yntau, fod yn rhaid eu cael i mewn er gwneuthur i fynu y gynghanedd. Ow, Ow, ebe finnau, rhaid cael y tri gair hepgoradwy yna cyn y gallech ysgrifennu "araith wrawl." Yna gofynais, pa beth a feddyliai wrth "araith wrawl?" ond yn lle rhoddi attebiad, ffrommodd y gwr; ond dywedodd ei gyfaill, fod y llinell gyntaf yn rhy hir, a gofynodd, "Oni fyddai 'n well dywedyd *yw enaid* yn lle *ydyw enaid?*" Attebodd, fod y gynghanedd yn gryfach gyd â'r llythyren *d* yn y gair *ydyw;* ond o'r diwedd cydsyniodd yn anewyllysgar i golli ei *d* drwy roddi *yw* yn lle *ydyw*. Crybwyllasom am amryw Feirdd, ond yr oedd *os* ac *ond* gyd âg enw pob un o honynt; yr oedd naill ai *lleddf a thalgron*, neu *gyrch a llyfn*, y'ngwaith pawb; a phan y soniais am un o Brif-feirdd Gwalia, dywedodd un o honynt mai *Person Eglwys* ydoedd, am nad allai gael un pall ar ei nodweddiad. Ow, Ow, chwi fôn y glêr, crach-feirdd o hiliogaeth Robyn Cludro a Ned Leban, ai hyd byth y byddwch yn ngafael cenfigen, yr

"Anghenfil welw ddielwig,
Ben isel ddelw ddulddel ddig."—G. O.

yn difenwi ein Beirdd, ac yn ymchwyddo yn eich sorod eich hunain; ai hyd byth y bydd

"Pob chwit chwat yn lladratta
Pennillion Prydyddion da."

Er mwyn ffawd a pharch llythyraeth eich gwlad, er mwyn anfarwol goffadwriaeth eich hynaif dewrion a gorchestol, na fydded i'w disgynyddion ymgeccru a difenwi y naill y llall, yn enwedig na ddifenwch y rhai y bydd eu henwau yn ddidrangc yn yr oesoedd a ddel, pan y byddoch chwi a'ch henwau wedi pydru. Er mwyn eich henwau da eich hunain, ymatteliwch, ac na adewch eich hunain i fod yn nôd o wawd a gwatwargerdd i'ch cydoeswyr deallus.

Parch i'm cenedl, ac eiddigedd dros enwogion fy ngwlad, yn unig a'm cynhyrfodd i ddanfon hyn i'r Gwyliedydd, a gobeithir na chaiff undyn achos i achwyn drachefn ar fawredd hunanol un o "Blant yr Awen."

Meudwy Meirion.

---

## LLYTHYR MWNWR, A'I FRODYR, AT Y GWYLIEDYDD.

Y mae yr ardal y trigianwyf ynddi yn nodedig am amlder ei Chymdeithasau Cyfeillgar, lle y ffurfia y werin gyllidfa erbyn dydd afiechyd, ac angen. Cynhelid y cwbl o honynt gynt yn y Gwestdai; ond ymgynnulla dwy o honynt yn awr yn Nghapelydd yr Ymneillduwyr, ac yna cynhaliant eu cyfarfodydd misawl a blynyddawl; arbedant felly lawer o draul ac oferedd. Byddai yn orchwyl teilwng i un o'ch Gohebwyr mwy doniol na myfi i ddangos i Gymdeithasau o'r fath y buddioldeb o adael y Gwestdai.

Ar Ddydd Llun y 5ed o Ionawr cynhaliodd un o honynt ei Chylch-wyl yn Nghapel Ymneillduwyr y Wern, ac areithiodd dau Weinidog o Ymneillduwyr ar yr achlysur; ond nid oedd Gweinidog y lle yn wyddfodol. Gan mai er mwyn adeiladaeth yr aethum i'r Cyfarfod, nid wyf chwannog i nithio pob araeth i chwilio am eu beiau. Ond arferodd yr areithydd olaf un ymadrodd a barodd i mi, fel Eglwyswr cydwybodol, gymmeryd yn fwy angharedig na pheidio. Dywedodd ei fod yn *gobeithio* fod holl Aelodau y Gymdeithas "*yn proffesu crefydd.*" Nid oedd llawer o ddrwg na da yn y dywediad;

ond wrth ei gydio â dywediadau eraill cyffredin yn mhlith Ymneillduwyr Cymreig o bob enw, ni allwn lai na chanfod ynddo y cyhuddiad trymaf yn erbyn holl Aelodau yr Eglwys Sefydledig—nad ydynt hwy yn proffesu crefydd. Ni chaniatâ yr Ymneillduwyr hyn fod neb yn proffesu crefydd oni byddant yn perthyn i ryw Gymdeithas Grefyddol gyfrinachol, a alwant y "*Society*." Nid wyf yn gwadu na ddichon lles darddu o Gyfarfodydd fel hyn weithiau, pan y cynhelir hwynt fel y dylid. Dichon i'r gwan a'r ammheuus gael rhyddâd o'u hofnau a'u hammheuon ynddynt, drwy gyfarwyddyd a phrofiad Cristionogion henach, dysgedicach, a pherffeithiach. Ond cydnabyddiaeth agos o Aelodau Cymdeithasau o'r fath a brofa i mi gywirdeb dywediad y diweddar Barch. T. Scott, nad oedd y cyfarfodydd hyn yn gyffredin nemawr well na magwrfa balchder ysprydol a hunan-dyb. Dysgwyd fi gan fy Mibl, a chan fy athrawon, i ystyried Bedydd yn enw 'r Drindod yn ddechreuad Proffes Gristionogol; ond etto, yn nhyb y bobl hyn, "ofer yw cred a Bedydd: ofer yw ymgyfraniad o ordinâdau yr Efengyl, a chyflawniad o'i dyledswyddau: ofer i hwn ddywedyd, "Eiddo yr Arglwydd ydwyf fi; ac i'r llall alw ei hun ar enw Jacob; ac i arall ysgrifennu â'i law, Eiddo yr Arglwydd ydwyf, ac i ymgyfenwi ar enw Israel:" ofer, ofer yw y cwbl; os na bydd yn Aelod o'r Cymdeithasau Cyfrinachol hyn, nid ydyw yn Broffeswr Crefydd. Diolch i Dduw, yr ydwyf fi yn Aelod o Eglwys sydd yn ei gweddïau mynychaf yn erfyn gwaredigaeth "oddiwrth bob dallineb calon; oddiwrth falchder a gwag ogoniant, a ffug sancteiddrwydd; oddiwrth genfigen, digasedd, a bwriad drwg, a phob angkariadoldeb." Rhag i'r cyhuddiad brwnt hwn gael ei daflu mor fynych i wyneb Eglwyswyr cydwybodol, dymunaf i chwi, neu rai o'ch Gohebwyr parchedig, hyspysu pa beth sydd yn gwneud i fynu Broffes o Grefydd? Hyn a fawr wasanaetha ac a foddia eich darllenwyr cyson,

MWNWR, A'I FRODYR.

*Mônglawdd*,
Ionawr 7, 1829.

---

## HANES IUDDEWAIDD.

DYWED yr Iuddewon, mai un o'r moddion drwy y rhai y profodd Brenhines Sheba ddoethineb Solomon, oedd fel y canlyn:—Ymddangosodd un dydd o'i flaen â dwy goron-bleth o flodau; un o flodau gwirioneddol, a'r llall wedi ei gwneuthur mor gelfydd fel na's gallai neb wybod heb eu teimlo y gwahaniaeth rhyngddynt. Gofynodd hithau yn chwareugar i'r Brenhin fynegi pa rai oedd y blodau naturiol, a pha rai oedd y rhai celfydd. Rhy anhawdd oedd atteb yr holiad o bell, ac o'r tu arall, cywilyddus gan y Brenhin oedd cyffesu ei anwybodaeth. Yn ei gyfyngder gwelodd nifer o wenyn yn ehedeg y tu allan i'r ffenestr, ac yn ebrwydd gorchymynodd ei hagor, fel y gallent ddyfod i mewn. Daeth y gwenyn yn y fan i'r brenhinllys, ac wedi ehedeg yma a thraw yn yr ystafell, disgynasant yn unfryd ar y blodau naturiol. "Dyna," ebe y Brenhin, gan wenu, "dyna y goron-bleth o wir flodau." Cafodd y ddieithres ei boddloni yn hyn megis mewn cwestiynau uwch a mwy doethwych eraill, a chyffesodd ragorol ddoniau Brenhin Israel.

C.

---

## BYWYD Y DYN DEDWYDD.

Y DYN dedwydd a anwyd yn ninas adgenhedliad, ym mhlwyf edifeirwch i fywyd; dygwyd ef i fynu yn ysgol ufudd-dod, ac yn

awr y mae yn byw ar wastadedd dyfal-bara; y mae yn gweithio yn bresennol yn y gelfyddyd o dduwydrwydd; er hynny y mae ganddo etifeddiaeth helaeth yn Sir boddlonrwydd Cristionogol, ac y mae yn aml yn gwneuthur gorchwylion o hunan-ymwadiad: y mae yn gwisgo y wisg ddysyml o ostyngeiddrwydd: ac y mae ganddo wisg ragorach i'w rhoddi am dano pan elo i'r llys, yr hon a elwir mantell cyfiawnder Crist; mynych y rhodia yn nyffryn hunan-ffieiddiad, ac weithiau dring i fynu i fynydd syniad-ysprydol: ei forenbryd bob boreu yw gweddi ysprydol, ac y mae yn swppera ar yr unrhyw bob prydnawn; y mae ganddo ymborth i'w fwytta na wyr y byd ddim am dano, a'i ddiod ydyw didwyll laeth y gair; felly dedwydd y mae efe yn byw, a dedwydd y mae yn marw: dedwydd yw yr hwn y mae ganddo ymostyngiad efengylaidd yn ei ewyllys, iawn drefn ar ei serchiadau, gwir dangnefedd yn ei gydwybod, gras sancteiddiol yn ei enaid, athrawiaeth bur yn ei fynwes, gwir ostyngeiddrwydd yn ei galon, iau y Gwaredwr am ei wddf, byd gorwael dan ei draed, a choron gogoniant ar ei ben; dedwydd yw bywyd y cyfryw un: mewn trefn i gyrhaeddyd hyn, gweddïa yn daer, cred yn ddiysgog, disgwyl yn amyneddus, llafuria yn helaeth, bydd fyw yn dduwiol, bydd farw yn feunyddiol, gwylia ar dy galon, hyffordda dy synhwyrau, pryn dy amser, câr Grist, a hiraetha am ogoniant.

*Cyf.* J. B. Jones.

---

## Y DECHREUAD O ARFER SYLLWYDRAU.

Oddeutu dechreu y 14eg canrif y daeth syllwydrau gyntaf i arferiad. Dywed ysgrif-daflen ar feddfaen pendefig o *Fflorence*, yn yr Ital, o'r enw Salvinus Armatus, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 1317, mai efe oedd y cyntaf a'u dyfeisiodd. Ond y gwr a'u gwnaeth gyntaf yn gyhoeddus oedd Alexander Spira, priodor o Pisa, yn yr Ital. Digwyddodd iddo weled pâr o syll-wydrau yn nwylaw un, yr hwn naill ai ni fynnai, neu nis gallai eglurhau iddo eu natur; ond llwyddodd o'r diwedd i wneuthur pâr iddo ei hun, ac yn ebrwydd efe a'u gwnaeth yn gyhoeddus er lles eraill.

R. ap G.

---

## ECHWYNA.

Yr oedd cyfraith dra hynod ymmhlith yr Aiphtiaid gynt i attal dynion rhag rhoddi benthyg yn annoeth. Ni chaniatteid i neb geisio dim ar fenthyg heb wystlo i'w echwynwr gorph ei dad. Bernid ei fod yn beth mor hynod o wrthun i beidio rhyddhau gwystl mor gyssegredig, fel os byddai un farw gan adael ei dad heb ei adbrynu, gwaherddid iddo y parch a'r anrhydedd arferol wrth gladdu.

R. S.

---

## GOFYNIADAU.

Mr. Gwyliedydd—Byddai dda gennyf pe rhoddech chwi, neu rai o'ch Gohebwyr, atteb i'r gofyniad canlynol. Pa beth yw ystyr y gair *Liverpool*? a pha un cymmwysach ei galw Llynlleifiad neu Lle'r pwll, yn Gymraeg? C. S.

---

Mr. Gwyliedydd—Cafwyd yn Bodryddan, Swydd y Fflint, mewn hen law-ysgrifen, y darluniad isod, Pa beth yw?

H.

"Pen y neidr,
Cerddediad lleidr,
Golwg angel,
Llais y cythrael."

# BARDDONIAETH.

## COFION BARDDONOL.

Mr. Gwyliedydd.—Os rhoddwch le i'r Englynion canlynol chwi a fawr foddloawch eich cysson ddarllenydd,

S. W. o B.

### ENGLYN

*A gyfansoddes* Rowland Huw, *o'r Graienyn, gerllaw y Bala, yn Llanfawr, ar yr arferiad, mewn Claddedigaeth, o ddiagcian y Gloch, i wysiaw y Bobl o'r Dafarn i Offrwm.*

Ai Bugel heb gêl sy'n galw—y defaid,
O Dafarn y cwrw;
Nid yw yn hel a'i dwyn uhw'
I dŷ mawl ond am elw.

Chwithau aelodau goludog,—sain gwledd,
Sy'n gloddest mor halog;
Pa arwydd gras praidd y grog,
Clywch ganu Cloch y geiniog.

A'R DDAU ENGLYN CANLYNOL A GYFANSODDES YN OL I'R PARCH. MR. DAVIES DDIDDYMMU YR ARFER.

Ni chydfydd Dafydd â defod—Llanfawr,
Ei llawn fai a'i phechod;
Tincian neu glulian di glod,
Ar wasanaeth, wers hynod.

Gwnaeth farn ar wasarn di wresog—y galw
Dig'wilydd am geiniog;
Gwers y'mlaen gwyr sy' am log,
Droi yn ol y dwrn elwog.

———o———

Cefais y llinellau canlynol wedi eu hysgrifenu ar ymyl un o ddalenau Gramadeg Sion Dafydd Rhys.

*Fleres, si scires, unum tua tempora mensem;*
*Rides cum non sit forsitan una dies.*

CYVIEITHIAD.

Pe gwyddai dyn, mawr wylo wnai,
Mae mis a gai cyn huno;
Fe chwardd ond odid pryd nad oes,
Ond awr o einioes iddo.

O. Y. Gwn fod cyffelyb gyfieithiad yn "Ngwaith Beirdd Môn," gan mai nid yr un yw aid ydyw yn "*Bottes ail-dwym.*"

———o———

Vel yr oedd Tegyd, rai blynyddau yn ol, yn teithio ar ddiwrnod gorddryghinog, trôai i Westdŷ lle yr oedd yn adnabyddus; à phan ddaeth un o bobl y tŷ i'w groesawu, gan sylwi ei vod wedi cael gwlaw trwm a fordd vudr, atebai vel hyn:—

Y mae gwlaw a baw 'n yn y byd——yn vynych,
A vinnau 'n o wanllyd;
Diogel gwelwch Degyd
Er ei gân yn ddw'r i gyd.

### ENGLYNION

*A gyfansoddwyd gan Fardd Ieuangc o Benllyn ar, ac wedi ei Fordwyaeth i'r Unol Daleithiau, America.*

AR Y SABBOTH.

Diau Sabboth di seibiant——yw heddyw,
Anhawdd yw rhoi moliant,
I Dduw Nef fel syber sant,
O'r hyll fôr a'r llifeiriant.

PAN OEDD Y MOR YN AFLONYDD.

Si y tònau sy tanaf——yn rhuo,
Fal rhaiadr y'i clywaf;
Ond bob pryd cy'd ag y caf
Ddw'r llonydd mi ddarllenaf.

YN OL TIRIO YN NEW YORK.

Tawel cawsom y tywydd,——a hyfryd,
I Gaer Efrog Newydd;
Cael y làn! diddan fu 'r dydd,
Oll yno mewn llawenydd.

J. Edwards.
*Gynt o Dŷ'n y Fedw.*

———o———

### ENGLYNION

DWRDIAD BRAWDOL I GYFAILL GWEINIDOGAETHOL, O HERWYDD TUCHAN O HONO YN ERBYN EI EINIOES.

Ow! Dafydd nid yw difai,—rhygwynaw
Rhag einioes ond mawrfai;
Bydd gall, rhy glan efallai,
Gweli 'r bedd, O! gwilia 'r bai!

Clywaist Job mewn anobaith—ceintachus,
Yn tuchan am ddylaith;
Ei buchiant ef oedd bech-iaith,
Drwg enbyd a gwŷd y gwaith!

Dyn duwiol grasol dan groes,—yn cwynaw
Rhag haner dolur-loes!—
O! gweled leied ei loes!—
Tri-chrug sy'n dyoddef tra-chroes?

Gwna ddefnydd, Dafydd, yn deg,—o'th
einioes,
A thanier di'n chwaneg;
Ymostwng yn rymus-deg,
Dan bob croes yr oes na rêg!

Mal mur o lon-bur lawn-borth—i'w weis-
ion,
Yw Iesu rhag anmhorth;
Dos, y bach, dewis ei borth,
Nac ammeu Faen y cymmorth.

Er dirfawr blinfawr bla anferth—calon,
Ac helynt o drafferth;
Etto Naf rydd itti nerth,
Gwa'dd reibiaid—gwaedda'r Aberth!

Trydar gan ofid tra-dwys,—yn ddifeth,
Wna Ddafydd yn gymmwys
Weinidawg, doniawg a dwys,
Aroglaidd yn yr Eglwys.

Dos y'mlaen a dwys ymlyna—yn nerth,
Anorthur Jehofah;
Bydd ddiwyd iawn, cyflawna
Mewn un oes ryw ddwy-oes dda.

Iago Tri-chrug.

---

## CYWYDD

*I ANNERCH IOAN TEGYD.*

*Ioan* ŵr o iawn araith,
Golud ac urdd gwlad ac iaith
Cymru hen, y Cymro hardd,
A gwiw erfai gywirfardd;
Nid er mawl na d' aur melyn,
Y gwas hardd y gweuais hyn,
Ond o union fron ddi frad,
Sy'n curo o swyn cariad;
Cariad i fy hen-wlad hon,
I *Degyd* a'm cym'dogion;
A thra pery hynny'n hon,
Gyfaill cai hybarch gofion;
Cefnogydd a Llywydd llên,
A fuost i fy Awen;
Yn hoff fardd i'm hyfforddi,
A thra mwyn Athraw i mi;
Gwna'm mant am y mwyniant mawr,
Dy foli hyd fy elawr.
Heddyw pwy sy'n fwy haeddawl,
A phwy mwy a gaiff y mawl.
Mwy gwr nid oes am grôni dysg,
A threiddiawl Ieithwr hyddysg;
Iaith ei wlad a'i theleidion,
A wyr y Bardd, ïe o'r bôn:
Hoff yr wyf ei gân ffraeth,
A'i bêr ddawn mewn Barddoniaeth.
Ond, Ow! 'r modd d'wedir i mi,
'N gadarn fod Saeson gwedi
Dwyn ei Awen fwyn o fawl,
Mewn rhyw fodd mae'n rhyfeddawl.
Os gwir yr iasawg eiriau,
Eirian ddyn gyr air neu ddau,
Mewn mawr frys i'n hyspysu,
*Ioan* fardd os hynny fu:
Ond os ydwyt, was hoywdeg,
Yn berchen ar d' Awen deg;
Os oes ym mhlith y Saeson,
Gariad at yr hen-wlad hon,
Gyr bennill neu bill bellach,
Oddi yna i'r Bala bach,
Ai bras oes mewn bro Saeson,
Sy'n fwy mâd na'r hen-wlad hon?
Neu Rydychain gain ei gwedd,
Na gogoniant gwig Gwynedd?
Mae y llwyni meillionog,
Lle nytha brân lle cân côg;
A'i rhianedd wawr hynod,
A'r Aran a'r Bala'n *bod;*
Yr un y Llyn er ein lloni,
'R un hefyd *Tegyd* wyt ti?
Yn wir mae'n rhaid it' ai naill
Eu hanghofio fy nghyfaill;
Neu o ddig, neu ddiogi,
Fwyn ŵr ein hanghofio *ni;*
Na roddit ryw arwyddion,
O'th fri hardd i'th wiw fro hon.
Nid o ddig neu gynfigen,
Y gyrais i'r geiriau sen;
Ond o gariad i gywrain
Ddawn cu dy Farddoni cain.
Tawaf—gobeithiaf ca'i beth,
O'th hoew-blawdd Farddwaith hybleth.
Byd hyfryd boed a hoew-fri,
A gwynfyd *Tegyd* i ti;
Heb ddolur, heb ddu elyn,
A siriol oes medd

*Bala.* Siarl Wyn.

---

## PENNILLION

*At Emma Eller, o'r Erw, ar farwol-aeth ei Chwaer Elen, gwraig Eseciel Hanmer.*

O MA LR 10 DLW
Yw dy 'LI ddagrau D;
Dy RS chwaer sy'n mynwes CHW,
Yn ngwely DN 2R ddu;
Ond pam, val mewn 3NI R
DOD wellt 2RN lâs?
DCHR yw,—ni chysga lawr,—
Ac nis DNGA neb o'i phlas.

Ond MA ni wnaeth angau GR,
VLLU VO'i gryman du,
Ond NGI NR LN 'MR,
A buan fodd o'i marwol dŷ:
Ond PT YD vod llon NTH,
Mor 'GL loaydd 'NO'i dull;
Wedi provi DN PTH
Dur o VL Vwlcan hyll.

Dywedai'i thynged RS wrthi,
(A'i thynged nid DNW vydd,)
"O fordd pob ad8 os DNGI,
"Rhaid IT CHU i'r tŷ pridd:"
Cysura, MA, 'th vrawd SCL,
VE o boen gadd 'LTH ran,
Ac os, rai gweithiau, codai'r R'SL,
Paham DLI MI lân?

Holl CHN tynged ('r hon a BA
Dori 'n DDI oesau llon,
A dirwyn dyddiau holl blant VA)
I'r RW aent, ar eni hon:
Un dd'wedai, "3 10 tro gyvlawna
"CHL amser yn ei hoes,
"A phob buan dro DDDA,
"I chwanegu pwys ei X.

"NTH 10 myvi a BR
"Edau gnotiawg bàr it' nych,
"Poen a'th 'LA byth yn GR,
"T a phoen 2 VLL ych;
"Dechreui 'DDI, y 10 LN,
"Dy drist vyth-an9L gerdd;
"Ce 'r POD T gydysgrechian,
"Cân R'GI 2R werdd."

J*.

---

## EMYN.

Dewrown a down liw dydd,
Mae 'r fordd yn rhydd a rhad,
A chroeso i avradlonaid lu,
Wynebu at dŷ eu Tad;
Nawdd deg newyddion da,
I'r gwaela' a'r isa' i radd,
Pwy 'rosai 'n ol, pa reswn yw,
A genau Duw 'n ein gwa'dd.

Mae yma Veddyg rhad,
Er maint ein brad a'n briw;
Ac os ein pechod yw ein poen,—
Ve dalodd gwir Oen Duw;
Mae 'n awr a'i vreichia' ar led,
Yn gwa'dd trueiniaid gwael,
A'r sawl a ddel tra mae hi 'n ddydd,
Trugaredd sydd i'w gael.

Eve yw 'r Meichiau mawr,
A thalu i lawr a wnaeth;
'Roedd arno olwg hardd yn wir,
O Edom dir pan ddaeth:
Ve ddwg ei blant i'r lân,
Mae 'r dreigiau dan ei draed,
Er cael ei wasgu yn eu mysg,
Nes bod ei wisg yn waed.

Er bod ger bron y byd
Yn wanllyd iawn ei wedd,
Er gwaetha ange' a'r tystion gau,
Ve dorodd rwymau 'r bedd;
Bydd covio am Galvari,
Tros oesoedd di wahân,
A'r gwaredigion degwch llawn,
Yn uchel iawn eu cân.

Trwy werth yr aberth rhad,
Mae 'n cyviawnâad a'n hedd,
Bydd cofa hyn pan gaif ei had,
Eu dwyn i wlad i wledd:
Ve ddaw—pwy brawv pa bryd?
Pan swnio 'r hyvryd sain,
I'w ogoneddu yn ei saint,
O! ryvedd vraint y rhai'n!

J. T. *Hiraethog.*

## PENNILLION

AR FARWOLAETH MERCH IEUANGC BEDAIR BLWYDD OED.

Hi gymmerodd gwppan bywyd
At ei gwefus am fyr ennyd;
Ni chadd oud y chwerwedd ynddo,
Buan iawn y troes ef heibio.

Wedi profi 'r byd a'i wagedd
Blin, am yspaid pedair blynedd;
Ca'dd ei chwbl flino ynddo,
Cau a wnaeth ei llygaid arno.

Rhoes ei chlust wrth borth y ddaear,
I wrando 'i thwrf a'i therfysg anwar;
Dewis wnaeth y bedd i ango',
Cafodd lawn ddistawrwydd yno.

Ei henaid a ehedai 'n ddirgel,
Ar adenydd tanllyd angel,
I'r breswylfa lonydd honno,
Lle na chlywir neb yn cwyno.

---

## BEDD-ARGRAPH YR UN.

Y fach hon fwyn-lon fain-lwys,—yn foreu,
A fwriwyd i ddyfn-gwys;
O ofid byd dybryd dwys,
Ehedodd i Baradwys.

Ei gyrfa yn y garw-fyd,—a'i phoenau
A orphenodd hefyd;
Y wen-ferch aeth i wynfyd,
Forwyn bach! o ferw ein byd.

Fy Ior a eilw farwolion,—fawr a mân,
Foreu mawr barn gyfion;
Ar ei ddelw hardd wiwlon,
Yn iach hardd daw y fach hon.

G. Hiraethog.

---

## PENNILLION

*A gyfansoddwyd yn ddi-ragfyfyr wrth ymadaw â Mr. John Jones, Llyfrgellydd.*

Bum dan afiechyd lawer gwaith
Yn goddef mawr orthrymder maith;
Ond o bob loes, neu groes, neu gri,
Canu 'n iach yw'r mwya' i mi.

Ammharu'm sylwedd, gwlychu'm grudd,
Mae 'n oeri'm bron, a'i gwneud yn brudd;
Rhyw swyn* o fewn y geiriau sy'
Sef canu 'n iach i'm cyfaill cu.

* *magic.*

Ni wyddom beth i'n gorfod ddaw,
Neu gawn i gwrdd ac ysgwyd llaw,
Afiechyd f'allai ddaw a'i gur,
Neu 'r angau ffrom a'i ddwylaw dur.

Trwy bob rhyw loes, a phob rhyw gur,
Fy nghalon itti gura 'n bur:
A chof am danat a'm gwna 'n llon
Ym mhob sefyllfa f' anwyl John.

Siarl

## PENNILLION

*I annerch, ac i gyngkori fy hynaws Gyfeilles Miss* JANE LLOYD, *ar ei hymadawiad i ymweled â Gwledydd Tramor, yn y flwyddyn* 1828.

SIANI fach, fwyn gynt a welais,
Gwna dy ymgais (nerthol fryd)
I ymgadw rhag Pabyddiaeth,
Yn dy ymdaith trwy y byd;
A phan elot dros yr eigion,
Bydd yn gyson gyd â'r saint,
Cofia fod dy rwymau bedydd,
Ar dy ysgwydd (uchel fraint!)

Gwylia 'r Ffrancod rhag dy ddenu,
Byth i wadu 'r union ffydd,
Ped f'ai'r Pab ei hun yn hudo,
Gochel rhagddo nos a dydd;
Cofia 'r fraint o gael dy eni
Y'ngwlad Cymru, hyfryd fro,
Gwedi pwyso ar yr aradr,
Diwrthgilgar bydd bob tro.

Felly bydd gresynus gennyd
Wel'd yr yspryd anghrist gau;
A phan weli 'r bwystfil enbyd,
Gwylia 'i symmud byth o'i ffau;
Rhag andwyo'th enaid gwerthfawr,
(Pechod dirfawr anfad yw)
Wrth ymgrymmu i gau dduwiau,
Dyma eiriau deddfau Duw.—*Ex.* 20. 5.

A phan weli ddinas Rhufain,
Cofia gywrain eiriau Paul,
Ragddywedodd deuai bleiddiaid
'N rhith defaid ar ei ol:
Dyro 'th Fibl yn dy logell,
Ceidwad gwell ni's gelli gael,
A Llyfr Gweddi Cyffredinol,
Byddant fuddiol nefol fael.

GWILYM EDWEN.

## EMYN.

O HOLL weithredoedd rhyfedd Duw,
Hon yw y fwyaf un,
Sef trefnu modd i gadw 'n fyw,
Syrthiedig euog ddyn.

I'w godi o'i iselder mawr,
Danfon a wnaeth Efe
Ei anwyl Fab ei hun i lawr,
O'i drigfa yn y ne'.

Dibrisiodd yntau 'i hunan gan
Gymmeryd agwedd gwas;
O pwy all beidio diolch pan
Yn meddwl am ei ras!

Fe dalodd drosom berffaith Iawn,
Trwy roddi yn ei oes,
I'w ddeddf ei hun ufudd-dod llawn,
A marw ar y groes.

Ac yn yr aberth hwn yn awr,
Mae Duw y Tad yn llon,
Yn derbyn pechaduriaid mawr,
Yn gyfiawn ger ei fron.

A thrwy anfeidrol rin y gwaed,
Mae 'n golchi a glanhau
Y pechaduriaid mwyaf gaed,
Yn lân oddiwrth bob bai.

MINIMUS.

## BEDD-ARGRAPH

*AR DDAU LANGC IEUANGC.*

Dan gymmar yn wâr un weryd—i'w dal,
Deulangc ieuaingc hyfryd!
Dau o'r un fro, dirion fryd,
Di feius eu dau fywyd.

IEUAN BRYDYDD HIR.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## *Y TYRCIAID A'R RWSSIAID.*

NID oes dim newyddion o bwys wedi eu derbyn oddiwrth Rwssia a Thwrci, ond y mae parottoadau mawrion yn cael ei gwneuthur gan y ddwy blaid i ail ddechreu y rhyfel yn y gwanwyn presennol, yr hyn ni allent ei ddwyn ym mlaen o herwydd gerwindeb y gauaf. Daeth cennadwr neillduol o Rwssia i Lundain yn ddiweddar, ond y mae dibenion ei neges yn anhyspys hyd yn hyn. Y dyb gyffredin yw, mai i fenthycca arian, ac i wybod tybiau y deyrnas hon, ar ymddygiad ei Fawrhydi Ymherodrol y daeth, Dywedir y bydd yr Ymerawdwr yn blaenori y gâd yn bersonol yn y rhyfel-dymmor dyfodol.

Y mae y llynges Dyrcaidd wedi cael ei hadgyweirio, ac y mae ganddynt dair o longau y gâdres ar y dwfr, cludant 108 o gyflegrau yr un.

## PORTUGAL.

Y mae 5,540 o garcharorion oddeutu Lisbon, ym Mhortugal, o ba rai nid oes ond 200 yn ddrwg weithredwyr, y lleill a garcharwyd o herwydd eu hymlyniad wrth Don Pedro. Dywedir fod Don Miguel yn ceisio benthycca myrddiwn o arian yn Paris.

### *IWERDDON.*

Gosodwyd y Dug o Northumberland yn Rhaglaw yr Iwerddon, yn lle Ardalydd Môn. Y mae y Dug yn wrthwynebol i gais y Pabyddion, ond yn dangos cymmedroldeb yn ei farn. Nid oes neb ond y Pabyddion yn gwadu addasrwydd y Dug i Rag-deyrniaeth yr Iwerddon. Y mae eiddo personol y Dug o £260,000 i £270,000 yn flynyddol, a dywedir iddo wrthod y £30,000 a roddir yn flynyddol i Raglaw yr Iwerddon.——Danfonodd y Dug lestri arian i'r Iwerddon, pa rai a bwysant dair tunnell!!

---

Ar ol diweddu yr offeren yn Balinasloe, Iwerddon, anrhegodd gwr bonheddig o'r enw R. Macdonnel, Ysw. bedair o wragedd, a elwir E. Maloney, C. Harnley M. Lynch, a B. Meacle, âg ugain punt, fel arwydd o gymmeradwyaeth iddynt, am beidio danfon eu plant i ysgol lle yr arferid yr ysgrythyrau, ac am ymlynu mor ddichlynaidd yn y grefydd Babaidd dan yr erlidigaethau presennol!

---

Dywed Gohebydd geirwir, fod, yn Esgobaethau Cork a Ross, yn yr Iwerddon, 4,117 o blant Protestaniaid wedi cael eu catecceisio a'u holi yn eu gwybodaeth o'r ysgrythyrau bob wythnos, yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. Y nifer yn y flwyddyn 1827 oedd 3,900, y chwanegiad y llynedd yn 217. Yr ydys yn edrych ar y cyfrif hwn yn dra phwysfawr, yn gymmaint a'i fod yn dangos nad yw y boblogaeth Brotestanaidd yn y parthau gorllewinol o'r Iwerddon cyn lleied ag y dychymmygwyd, a bod addysg crefyddol yno ar gynnydd. Ni ellir ei adrodd yn rhy aml, nad oes dim moddion tebyccach i leihau Pabyddiaeth na dwyn ym mlaen addysg crefyddol a moesol ym mhlith Protestaniaid y wlad derfysglyd honno.

---

## AGORIAD Y SENEDD.

Agorwyd y Senedd ddydd Iau, y 5ed o'r mis hwn, pryd y darllenodd yr Arglwydd Canghellor araith ei Fawrhydi, yr hon a ganlyn:—

### ARAITH Y BRENHIN.

"FY ARGLWYDDI A BONEDDIGION,—Y mae ei Fawrhydi yn gorchymyn i ni eich hyspysu ei fod yn parhau i dderbyn sicrrwydd o ddibaid ddymuniadau yr holl dywysogion a thaleithiau i goledd y caredigrwydd mwyaf cyfeillgar gyd â'i Fawrhydi.

"Trwy gyfryngdod ei Fawrhydi, y mae rhag-ammodau o gyttundeb am heddwch rhwng ei Fawrhydi Ymerawdwr y Brasils ag Unol Daleithiau gwerin-lywodraeth Rio de la Plata wedi eu harwyddo a'i cadarnhau.

"Y mae ei Fawrhydi wedi cyttuno gyda Brenhin Yspaen i derfynu gofyniadau deiliaid Brytanaidd ac Yspaenaidd, a ddodwyd dan y cyttundeb a arwyddwyd yn Madrid, Mawrth 12, 1823.

"Gorchymynodd ei Fawrhydi roddi adysgrif o'r cyttundeb ger eich gwydd, a hydera ar eich cymmorth i'w alluogi i gwblhau rhai o'r rhagdrefniadau.

"Cwyna ei Fawrhydi fod ei gyfrinach gyda Phortugal trwy angenrheidrwydd yn parhau i gael ei attal.

"Trwy ddwys syniadau am lwyddiant y Frenhiniaeth Bortugiaidd, y mae ei Fawrhydi wedi cyttuno gyda Blaenor Ty Braganza, mewn gobaith o ddibennu ansawdd matterion ag sydd anghydweddus â heddwch parhaus a llwyddiant Portugal. Gorchymyna ei Fawrhydi i ni hyspysu i chwi, iddo lafurio yn ddibaid i gyflawni ammodau cyttundeb y 6ed o Orphenaf, 1827; ac i effeithio heddwch Groeg drwy gydweddiad ei gynghreiriau.

"Y mae y Morea wedi ei ryddhau oddiwrth bresennoldeb y galluoedd Aiphtaidd a Thyrcaidd.

"Y mae y gwrthddrych pwysfawr hwn wedi ei gwblhau drwy ymdrechiadau llwyddiannus galluoedd morawl ei Fawrhydi a'i gynghreirwyr, yr hyn a arweiniodd i gyttundeb gyda Pacha yr Aipht, ac yn ddiweddaf trwy drefniadau medrus ac ymddygiad anghreifftiawl byddin Ffraingc yn gweithredu dan reolaeth ei Gristionogol Fawrhydi ar ran y cynghrair.

"Y mae milwyr ei Gristionogol Fawrhydi ar ol cwblhau y gorchwyl a bennodwyd iddynt yn dychwelyd i Ffraingc.

"Y mae ei Fawrhydi, gyda boddlonrwydd mawr, yn hyspysu i chwi fod yr undeb mwyaf diffuant wedi parhau rhwng galluoedd y tair llywodraeth ar fôr a thir trwy yr holl weithrediadau hyn.

"Y mae ei Fawrhydi yn gofidio o herwydd parhad y gelyniaeth sydd rhwng Ymerawdwr Rwssia a'r Ottoman Porte.

"Y mae ei Fawrhydi Ymerodrawl wedi tybied wrth ddilyn y rhyfel hwn yn angenrheidiol i ail ddefnyddio ei hawl ryfelgar yn Môr y Canoldir, ac a sefydlodd warchae ar y Dardanelles.

"Er fod yn anhepgorol i'w Fawrhydi Brenhin Ffraingc i oedi ymuniad ei alluoedd gyd â'i Fawrhydi Ymerodrol yn ei ail-ddechreuad o'r rhyfel, y mae yr undeb mwyaf yn bod rhwng y tair llywodraeth er cyflawni y cwbl o'r cyttundeb a wnaed yn Llundain.

"Y mae ei Fawrhydi yn hyspysu i chwi barhaol wellhad y Cyllidaeth.

"Y mae cyflwr yr Iwerddon wedi bod yn wrthddrych o ddwys ofal ei Fawrhydi,

"Y mae ei Fawrhydi yn galaru fod cymdeithas yn sefydledig yn y parthau hynny ag sydd yn peryglu heddwch gwladol, ac yn anghydweddawl â threfn y llywodraeth, yr hon sydd yn ennyn anghydfod a drwg-ewyllys rhwng deiliaid ei Fawrhydi, yr hon a rwystra bob ymgais at wella cyflwr yr Iwerddon, os caniatteir iddi barhau.

"Hydera ei Fawrhydi ar ddoethineb a chymmorth ei Senedd, a gorchymyna iwch gymmeryd i'ch ystyriaethau ansawdd cyffredinol yr Iwerddon, ac adolygu y cyfreithiau sydd yn gwahardd i'w ddeiliaid Pabaidd lenwi swyddau gwledig.

"Ystyriwch a oes modd i symmud yr analluedd hynny mewn cyssondeb â pharhaus ddiogelwch yr Eglwys a'r wlad gyda chynnaliaeth o'r Eglwys ddiwygiedig sefydledig drwy gyfraith, gyda breintiau a hawl Esgobion ac Offeiriaid y deyrnas hon a'r Eglwysi dan eu gofal.

"Y mae y rhai hyn yn sefydliadau ag y rhaid eu gwastadol gynnal yn ddihalog yn y llywodraeth Brotestanaidd hon, a dyledswydd a phenderfyniad ei Fawrhydi yw eu cadw felly."

---

Yr ydym yn disgwyl y bydd ymgais y Pabyddion am "Ryddid" wedi ei ddibennu ryw ochr neu gilydd cyn ein Rhifyn nesaf; y mae amrai foneddion wedi areithio o bob tu i'r Gofyniad yn y Senedd; y mae yr areithiau yn rhy faith i'n Cyhoeddiad. Dywed yr hanesion o'r Iwerddon na foddlona dim y Pabyddion oni chaniatteir yr oll y maent yn ei geisio, a hynny yn hollol ddiammodol, ac heb ddim attalfa.

---

Testament Newydd.—Cymmaint yw galwad am y Testament Newydd a argraffwyd yn nechreu y Gwanwyn y llynedd, yn Wasg Clarendon, Rhydychain, o dan nawdd y Brif-ysgol, ac o tan olygiad *Ioan Tegid*, nes y mae eisys wedi myned trwy bedwar argraffiad. Cynnwysai yr argraffiad cyntaf 2,000, ac y lleill 5,000 bob un. Y mae ar werth am un geiniog ar ddeg, yn rhwym, gan y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol, ac hefyd gan y Bibl Gymdeithas.

---

### *EGLWYS GADEIRIOL CAEREFROG.*

*Dinystr arswydus trwy dân.*—Bore dydd Llun, yr 2fed o'r mis hwn, canfyddwyd fod adeilad ardderchog Eglwys Gadeiriol Caerefrog (*York*) ar dân; ac nis gallwyd diffodd y fflamau nes y dinystriwyd yr holl ben dwyreiniol iddi. Llosgwyd yr Organ gostfawr, yr hon oedd agos y fwyaf, ac yn ddiammheuol un o'r rhai pereiddiaf, yn Ewrop; a gorchuddiwyd beddfeini harddwych y marwolion enwog yn yr adfail. Yr holl du dwyreiniol a adeiladasid gan yr Arch-esgob Thoresby, yr hyn a berffeithiodd waith ag oedd ddau cant mlynedd cyn ei orphen, sydd, fel y dywedwyd o'r blaen, wedi ei ddinystrio, oddigerth y waliau yn unig; y ffenestr orwech wydr-liwiawg oedd 75 troedfedd o uchder, a 35 troedfedd o led, a hollol ddinystriwyd. Yr oedd y plwm toddedig yn disgyn oddiar y tô megis gwlaw, ac yr oedd twrf megis taran i'w glywed pan syrthiodd yr organ a'r nen i lawr. Cyfrifid yr Eglwys hon yn anghraifft mwyaf harddwych o adeiladaeth Gothaidd yn Ewrop. Yr oedd y tân heb ei hollol ddiffodd dri o'r gloch y prydnawn; ond tybid na wnai ychwaneg o niweid. Ni chyffyrddodd y tân â'r tyrrau, ac a'r rhannau gorllewinol o'r Eglwys. Cafwyd allan mai dyn gwallgof o'r enw Martin a gynneuodd y tân, ac ysgrifenodd lythyr bygythiawl wedi ei gyfeirio at "holl Offeiriaid Caerefrog." Y mae yr adyn wedi cael ei gymmeryd i fynu yn agos i Hexham, Northumberland.

Bydd traul o £60,000 i £70,000 yn angenrheidiol cyn y gellir adgyweirio yr adeilad i'w chyntefig harddwch.

---

### *HEN LOFRUDDIAETH.*

Yr hanes canlynol am ddau lofruddiaeth a gymmerodd le yn Lloegr, yn y flwyddyn 1768, a ysgrifenwyd gan ŵr boneddig (trigianydd o Edinburgh yn awr) oedd yn bresennol ar farwolaeth Ashton, un o'r llofruddwyr, yr hwn a gyffesodd y trosedd 20 mlynedd ar ol y gyflafan.

Ugain mlynedd yn ol, gwr boneddig ieuangc, a boneddiges, a ddaethant o'r Alban ar achlysur priodasol, fel y tybir, oeddynt yn ymdeithio trwy Swydd Derby, a yspeiliwyd ac a lofruddiwyd mewn lle a elwir y *Winnets* neu *Winyards*, gerllaw *Castleton*. Eu cyrph a gafwyd oddeutu saith mlynedd yn ol, gan weithwyr wrth gloddio mŵn-dwll yn y lle uchod.

James Ashton, o Castleton, un o'r llofruddwyr, a fu farw oddeutu pymtheg-nos yn ol; yr oedd mewn cystudd truenus trwy saldra, a chnofeydd ei gydwybod. Ac yr oedd yn ol pob tebygoliaeth yn marw er ys deng wythnos, ond nid allai cyn cyffesu y gwir. Dywedodd iddo ef, Nicholas Cock, Thomas Hall, John Bradshaw, a Francis Butler, gyfarfod y ddau uchod yn y *Winnets*, a'u tynnu oddiar eu meirch, a'u llusgo i ysgubor gerllaw y lle, ac yno iddynt eu diosg o'u dillad, a chymmeryd 200 o bunnau oddi wrthynt, a gafaelasant yn y gwr boneddig, a thorasant ei wddf. Y foneddiges a ymbiliodd ar ei gliniau ar iddynt beidio ei niweidio, ac erfyniodd, mewn ing trallodus, am iddynt ei gollwng ymaith yn noeth; ond un o honynt a gym-

merodd big, neu gaib, a arfora y mwnwyr, ac a'i plannodd yn ei phen: gadawsant y lladdedigion yn yr ysgubor (yr hon a berthynai i un o'r llofruddwyr) am dri diwrnod.

Pan ddaethant y noson gyntaf, a'r ail, i gladdu y cyrph, dychrynwyd hwynt gan lais arswydus, fel y tybient, ac ni feiddient eu cymmeryd i ffordd; ond y drydedd noson dywedodd Cock nad oedd dim ond y cythraul, ac na wnai eu niweidio; yn ol hyn cymmerasant y cyrph ac a'u claddasant. Dywedodd Ashton mai y lofruddiedig oedd y ferch brydferthaf a welodd efe erioed, ac na wnaeth ei ran ef o'r yspail ddim daioni iddo; cludydd glo oedd, a phrynodd geffylau â'r arian, ond buont oll feirw. Cyn iddynt ladd y gwr ieuangc ymbiliodd y ferch am iddynt beidio, gan mai hi oedd yr achos iddo ddyfod oddi cartref.

Er na chafodd cyfraith y tir afael arnynt daethant oll i farwolaeth anamserol, ond Ashton, cyffesydd yr hanes uchod. Syrthiodd N. Cock oddiar ddibyn yn agos i'r fan y cymmerodd y llofruddiaethau le, a bu farw. Ymgrogodd T. Hall. Yr oedd J. Bradley yn cerdded o fewn ychydig latheni i'r lle y claddwyd y cyrph, treiglodd carreg oddiar fryn, ac a'i lladdodd yn y fan, er syndod pawb a glywodd yr hanes. Francis Butler a geisiodd ymgrogi amryw weithiau, ond a rwystrwyd, yna aeth yn wallgof, ac a fu farw o farwolaeth arswydus iawn.

---

*Dienyddiad.*—Dienyddiwyd y llofrudd Burke (hanes llofruddiaethau yr hwn a ymddangosodd yn ein Rhifyn diweddaf) yn *Edinburgh*, yr 28ain o'r mis diweddaf. Dywedir fod 25,000 o edrychwyr, ac iddo anadlu ei anadl olaf yn nghanol bloeddiadau eu gorfoledd. Yr oedd trigolion y tai oddeutu y dienydd-le yn gosod eu ffenestri i'r edrychwyr am benadur, eraill a'i gosodent am 2*s.* 6*d.* yr eistedd-le. Pan ddygwyd ef at y crog-bren ychwanegwyd y bloeddiadau di dorr, a galwasant ar y swyddogion i ddwyn Hare, ei gyd-lofrudd, yno hefyd. Ymddangosodd oddiwrth ei edrychiad ar un o'r swyddogion, yr hwn a'i gwthiai yn mlaen i'w osod dan y trawsbren, fod ei dymmer waedlyd heb ei llwyr ddarostwng.

---

Y *Dyhiryn twyllodrus.*—Ar ddydd Llun, y 15ed o'r mis diweddaf, llettyodd dyn o'r enw *Keeling* dan arwydd y Goron a'r Deyrn-wialen (*Crown and Sceptre*) yn *Bran-gard*, Swydd *Worcester*. Pan welodd yr oeb nad oedd yn ymddangos yn y boreu, danfonodd forwynig i'w alw, yn ol agor y drws, canfu y gwr dieithr yn gorwedd ar lawr ei ystafell, a darn o reffyn am ei fwnwgl, a dernyn arall wedi ei sicrhau wrth drawst; ymgeleddwyd a llettywyd ef hyd y dydd Mercher canlynol, a rhoddwyd iddo £1. 13*s.* i dalu traul ei ymdaith adref. Y Sul canlynol cafwyd ef yn yr un dull dan dderwen, ym mhlwyf *Earl's-crome*, yn agos i *Upton*, a Pheriglor y plwyf a'i croesawodd, a danfonodd am feddyg i'w waedu; dywedodd y twyllwr nad oedd ganddo hatling yn y byd, ac y byddai farw o newyn: talodd y Periglor ei draul i fyned gyd â'r cerbyd. Gwnaeth yr un weithred dwyllodrus yn *Stroud*, yn Swydd *Gloucester*. Os canlyna yn hir yn yr yrfa hon, tebygol yw y caiff raff am ei wddf na fydd ddim mor frau a'i reffyn ei hun.

---

Dywed Mr. Lambert yn hanes ei ymdaith, fod cyfaill yn bresennol mewn tŷ Boneddiges Ffrengig, yn Canada, ar darnau a thymmestl fawr. Yn ddioed, gorchymynodd gau cauadau y ffenestri, ac, yn anfoddlon i adael diogelwch ei hun a'i chymdeithion i ddigwyddiad, a edrychodd am gostrel y dwfr sanctaidd, yr hon, yn ol ei chael, drwy oleu mellten, a ddechreuodd ei daenellu ar y Bonedd. Yr oedd y dymmestl yn ddychrynllyd iawn, ac a barhaodd yn hir, felly hithau a ddyblodd y taenelliad gyda phob taran neu fellten. O'r diwedd tawelodd y dymmestl a'r cymdeithion a ddiangasant heb ddim niweid, yr hyn, meddai y foneddiges, a fu o herwydd y dwfr sanctaidd. Agorwyd y cauadau oddiar y ffenestri, pan y gwelodd y Boneddigesau eu sidanau, a'u holl wisgoedd gwychion, wedi eu duo âg *ink.*

---

Dywedir fod organ yn Eglwys Gadeiriol Haerlem, Holland, yr hon a gyfrifir y bereiddiaf yn y byd. Y mae ynddi wyth mil o bibau, rhai o honynt sydd 30 troedfedd o hyd, a 16 modfedd o gylch, a 12 o feginau. Geill y beiriant rhyfeddol hon ymchwyddo o'r meinlais distawaf i'r sain fwyaf dyrchafedig, a dynwared tônau aderyn yn lleisio o bell, cystal a llais dychrynllyd taran, hyd nes y bydd yr adeilad mawr yn crynu drwyddo. Y mae ynddi un nod (*stop*) a elwir *Vox Humana* yr hwn sydd debygol iawn i lais dynol.

---

Gwraig dlawd yr hon oedd ganddi dri mab gyd â'r milwyr, y rhai a roddent iddi swllt bob wythnos o'u cyflogau: ond trwy ryw ddamwain neu gilydd attaliwyd y ddogn wythnosol. Ysgrifenodd y wreigan dlawd yn ddioed at y Dug Wellington, yr hwn a symmudodd yr attalfa, a chafodd attebiad y cai fel arferol wrth ymofyn dri swllt o gyflog ei meibion, a thri swllt o gyflog y Dug hefyd.

Dywedir fod yr Eisteddfod nesaf i gael ei chynnal yn Llundain, yn mis Mai nesaf, dan nawdd ei Fawrhydi, y Brenhin, ynghyd âg amrai bendefigion eraill, teuluoedd pa rai ydynt o waed Cymreig. Ni chlywsom etto am ddim testynau.

Y mae gan Brydain filwr am bob 229 o drigolion; Ffraingc, am 138; Unol Daleithiau, am 1,977; Russia, am 77; Prussia, am 80; Austria, am 118; Netherlands, am 142. Y mae gan Brydain long o'r gâdres, neu *Frigate,* am bob 82,979 o drigolion; Ffraingc, am 290,900; Unol Daleithiau, am 815,000; Russia, am 688,250; Austria, am 2,909,091; Netherlands, am 170,556.

Cafwyd allan yn ddiweddar fod gwerthwyr *tê* yn llygru ei nwyddau trwy ddull na chlywyd am dano hyd yn hyn, a thebygol yw eu bod wedi ei arferyd i raddau mawr. Hyspys yw y bydd gweinidogion gwestai a boneddigion yn rhoddi, neu werthu, y dail yn ol ei trwytho i'r gwyr fydd yn cludo *tê* ar hyd y wlad, a hwythau a'i hail grasant ar lèni o elydn *(copper)* poeth yr hyn, gyda phethau eraill, a'i gwna yn ol tebygoliaeth yn *dê* newydd gwyrdd *(green tea)* ond o naws beryglus a gwenwynllyd iawn.

Ymddengys oddiwrth gasgliad a wnaed yn Awst diweddaf, nad ydyw poblogaeth Constantinople, ynghyd â'r lleoedd cylchynol, yr hyn a dybid o 400,000 i 600,000, ddim dros 280,000, a nifer y tai o bob math oddeutu 85,000, a nifer gwyr galluog i ddwyn arfau ond ychydig iawn mewn cydmariaeth i'r boblogaeth.

Y mae pedwar o swyddogion Aiphtaidd yn Lloegr yn dysgu'r celfyddydau. Y mae *Ali Effendi* yn myned allan yn llong ei Fawrhydi y Shannon, i ddysgu llongwriaeth; a'r lleill i aros yn Lloegr i ddysgu gwahanol gelfyddydau.

*Llosgiad Boneddiges i Farwolaeth.*—Digwyddodd anffawd alarus yn Dinbych, nos Sul, y cyntaf o'r mis hwn, i Mrs. Elizabeth Mostyn, boneddiges forwynawl, rhwng 70 ac 80 mlwydd oed, yr hyn a derfynodd yn ei marwolaeth drwy ei dillad gymmeryd tân pan yr eistedd yn ei pharlawr. Ei morwyn, yr hon oedd allan, ni ddaeth i'w chynnorthwyo nes yr ydoedd yn rhy ddiweddar, nychodd hyd ddau o'r gloch y boreu, yna bu farw. Fe fydd ei marwolaeth yn achos o hir alar i dlodion Dinbych, y rhai a dderbynient aml elusenau o'r llaw haelionus.

Danfonodd gwr o'r enw Mr. C. Clarke, Adar-werthwr, Boston, Licolnshire, mewn un wythnos o'r Gwyliau, i Lundain, 8 tunell a 400 o bwysau o adar i'r farchnad. Yn yr anferth bwysau hyn, yr oedd 1500 o dyrciod.

Y mae y Gwir Barchedig Dr. James, Esgob Calcutta, yn glaf iawn; ac y mae cryn ammheuaeth am ei fywyd. Ychydig yn ol symmudodd o Calcutta i'r Ynys a elwir *Prince of Wales,* a thybiwyd ei fod yn well, a gellid gobeithio am ei adferiad yn bresennol; ond dywedir ei fod yn angenrheidiol anhepgorol iddo ymadael â'r India, gan nad yw awyr y wlad honno yn cyttuno â'i iechyd.

## URDDIADAU EGLWYSIG.

Urddwyd y boneddigion canlynol yn Llanelwy, James E. Hughes, B. A. o Goleg Iesu, Rhydychain, a Morgan Davies, B. A. Coleg Wadham, Rhydychain, yn Offeiriaid. John Blackwell, B. A. a Hugh Thomas, B. A. o Goleg Iesu, Rhydychain, yn Ddiaconiaid.

## DYRCHAFIAD EGLWYSIG.

Dyrchafwyd y Parch. T. Jones, Curad Creaton, Swydd Northampton, Esgobaeth Peterborough, i fod yn Beriglor yr un lle, yr hwn oedd wag trwy farwolaeth y Parch. T. Young.

## BU FARW,

Ar y 24ain o'r mis diweddaf, ar ol byr saldra, y Parch. Rice Hughes, Curad parhaus Llanfachreth a Llanelltyd, Swydd Feirionydd; gwr ieuangc o'r nodweddiad hawddgaraf, ac yn dra pharchus gan bawb o'i gydnabod.

Boreu Ddydd Llun, y 26ain o Ionawr, yn Llanbedrog, gerllaw Rhuthyn, Swydd Ddinbych, Eliza, gwraig y Parch. J. Jones, Archdiacon Meirion.

Ar y 29ain o'r mis diweddaf, y Parch. Owen Jones, Ebrwyad Llanilar, Swydd Aberteifi, yn 79 mlwydd oed.

Dydd Mawrth, y trydydd o'r mis hwn, yn Aberystwyth, Mrs. Evans, gwraig y Parch. R. Evans, A. C. Ebrwyad Llanbadarnfawr, Swydd Aberteifi.

Dydd Mawrth, y trydydd o'r mis hwn, (Chwefror) y Parch. J. Jones, Ebrwyad Gwyddelwern, Sir Feirionydd, yn 87 mlwydd oed.

Dydd Sul, yr wythfed o'r mis hwn, y Parch. Charles Bowen, A. C. Ebrwyad Kidwelly, Swydd Gaerfyrddin, yn 53 mlwydd oed.

# Y GWYLIEDYDD.

## MAWRTH, 1829.

### LLYTHYR GARMON.

*RHIF. X.*

PARHAD O SYLWADAU AR AIL ARGRAFFIAD Y BIBL CYMRAEG YN Y fl. 1620.

Yn fy llythyr diweddaf, a gofidus gennyf weled ei amseriad mor bell yn ol a Rhif. 72, dal. 229, o'r Gwyliedydd, gan sylwi ar *Luc* 23. 32. tybiais mai yn y Testament dwy-ieithol Rhydychen (1826) yr adferwyd gyntaf gyfieithiad cywir y Dr. Morgan ynghylch "y drwg weithredwyr." Ond gwedi hynny gwelais Fiblyn llogell, argraffedig yn Nghaerfyrddin yn y fl. 1812, yn cynnwys yr adnod uchod yn lythyrenol o'r cywir, yn ol cyfieithiad y Dr. Morgan. Y mae genyf fwy o sylwadau i'w rhoddi ar y ddau argraffiad cyntaf o'r Bibl, ond yn awr rhaid i mi eu hoedi hyd lythyr arall, i roddi lle, ar ddymuniad cyfaill, i ychydig sylwadau ar y ddadl sydd etto ar droed ynghylch y ddull oreu o ysgrifenu Cymraeg, o barth llythyraeth. Y ddadl hon a gyfododd o gylch y fl. 1804, y pryd yr amcanodd y diweddar Barch. Thomas Charles o'r Bala ddiwygio llythyreniad y Bibl a oedd y pryd hyny i gael ei argraffu yn Nghaer Grawnt, dros Gymdeithas y Biblau. Y cynnygiad hwn o ddiwygiaeth, a gyffroawdd wrthwynebiad nid bychan yn erbyn Mr. Charles; ac er ei fod ef wedi huno mewn heddwch, y mae y rhyfel ynghylch llythyreniad geiriau yn parhau etto. Amddiffynwyr yr hen drefniant a haerant mai llythyreniad Bibl yr Esgob Parry (1620) yw y cynllun safadwy i'w ddilyn byth ym mhob argraffiad o'r Bibl, &c. Y blaid am ddiwygiad a haerant, o'r ochr arall, nad yw yr argraffiad hwnw yn deilwng o efelychiad ddim pellach nag y byddo y geiriau gwedi eu llythyrenu yn gysson â'u tarddiant o'u rhanau gwreiddiol. A diau y dylai pob ieithydd cyfarwydd fod yn gyfymbwyll â hwynt yn hyn: a gormes y dylid cyfrif pob llythyren mewn gair na byddo hanfodol iddo. Nid wyf fi berthynol i un o'r ddwyblaid mwy na'r llall, am nas gallaf gydfyned ag un o honynt i eithafoedd eu daliadau. Rhag gwneyd fy llythyr yn rhy faith, dynodaf, o hyn yn y blaen, blaid yr hen drefn ag A, a phleidwyr y drefn newydd â B.

*Dadl.* 1. Dylai fod dwy *n* yn y geiriau *calonnau*, *calonnog*, &c. fel y gwelir hwynt yn y Bibl, medd A; a hynny, er mwyn dïogelu y pwys aceniad ar *on*. *Na ddylai*, llefa B, ar y cras-gywair: *Na ddylai*, meddaf finnau, ar yr is-gywair; a hyny o herwydd dau achos—1. Y gwreidd-air yw *calon*—a'r terfyniad lliosog yw *au*—nid *nau*—gwelir hyn yn amlwg yn *tad*—tad-*au*; *mam*, mam-*au*—&c. Dywedwyd a chyhoeddwyd cyn hyn—"os nad ysgrifenid *penau*—*prenau*—*tonau*, &c.

â dwy *n* ynddynt, y byddai perygl o gam-seinio y geiriau, drwy eu darllen pe-nau—pre-nau—to-nau." Nag oes ddim. Y mae plant yr ysgolion yn cael eu dysgu i silliadu yn well na hyn. Hwy a fedrant wahanu rhwng y gwreidd-eiriau a'u terfyniadau. Hwy a wyddant mai y gwreiddiau yw *pen—pren—ton*—ac mai y terfyniad lliosóg i bob un yw *au*, nid *nau*, un amser. Y mae amryw derfyniadau ereill yn ufudd-ion i'r un reol, megys—*aeth* yn *pen*-aeth, *ydd* yn *bron*ydd, &c. Y mae yr aceniad yn sefydledig, heb yr *n* ormes, eisys, wrth reol gyffredinol aceniad, yn yr hyn y mae'r iaith Gymraeg yn rhagori ar laweroedd o ieithoedd y byd.

Geiriau deusill a acenir yn gyffredin ar y sill gyntaf, megys *brèn*-in. Yr eithriadau i'r rheol hon ydynt ychydig o nifer, a'r acen ar y sill olaf—megys lleihâu, mwyhâu—parhâd, glanhâd—cyffròi, ymdròi, &c.

Geiriau trisill a acenir ar y sill ganol; megys bonèddig, trugàrog, &c. a'r un deulu o eithriadau iddynt—megys, esmwythâu, cadarnhâd, canymdòi.

Geiriau pedwarsill, ac o hyny hyd bymtheg, pe byddent, a fynant yr acen yn rheolaidd ar y sill nesaf i'r olaf. Engraifft a ddengys fel y mae yr acen yn llithro tua y dehau o sill i sill, o'r gyntaf i'r ail, y drydedd, a'r bedwaredd.

Pèrchen,
Perchènog,
Perchenògaeth,
Perchenogàethau.

Gwelir ar gyfer reolusrwydd yr aceniad. A a fynai ysgrifenu yr ail air, Perche*nn*og, fel y mae yn y Bibl 1620, a hynny er mwyn iawn-osodiad yr acen. Ceniader hyny—onid edryched A ar y trydydd air: ac ar ba sill y mae yr acen yno? Nid ar yr *ail*—nid ar *en*, ond ar y drydedd sill—ar *og*. Am hyny ysgrifened A y gair hwn â dwy *g* yn lle dwy *n*, i ddiogelu yr acen! Y rheol hon a gyrhaedd ac a effeithia ar bob gair a dreiglir o'i gyflwr deusill hyd bump a chwe' sill—megys àwdwr—awdùrdod—awdurdòdawl--awdurdodòldeb, &c.

Amrafaelir hefyd ynghylch dwy *t*, yn gystal a dwy *n* ynghyd. A a haera y dylai fod dwy *t* yn *attoch*, *attynt*, &c. Dymuner arno ddadglymu y ddeuair hyn o'i lythyraeth ei hun, a'u rhanu yn sillau, i weled pa synwyr a geir yn eu gwreiddiau. *Wel!* dyma hwynt: at-toch, at-tynt. Yr ydym yn cyfaddef bod *at*, y sill gyntaf, yn Gymraeg gloyw—"Af hyd *at* droed y Wyddfa." Nid *att* droed na phen: ond beth yw ystyr *toch* a *tynt?* Beth bynag ydynt, nid ynt na Chymry na Chymraeg. Gofyner i B silladu ei *atoch*, *atynt*, ac egluro eu rhanau. Efe a eill wneyd hyn yn ebrwydd—atóch—*at-chwi;* atynt—*at-hwynt*. Dyma Gymry glân. Diachos hefyd yw dwy *t* yn bwytta—cardotta, &c. o herwydd bod bwyta, cardota, &c. yn ddifai cyfnewid am *bwyda*, cardoda—o bwyd, cardawd, &c. Un *t* yn cytuno, cytundeb—o ran mai o cyd-uno, cyd-undeb; y maent. Ac un *m* yn camu, llamu, &c. am fod eu tarddiad o *cam*, *llam;* at ba rai y cyssylltir y terfyniad gweithredol *u*. O'r gair *hynod* y treiglir *hynotach*, *hynotaf;* a phwy a wâd nad yw un *t* yn ddigon trom i bwyso *d*, pan osodir yn ei lle, er mwyn grymuso y llafariad? Pan gyfarfydd dwy *d* mewn gair cyfansawdd, megys ad-dwf (ail dyfiant gwellt) rhoddir *t* am bob *d*, i barhau y gwreidd-eiriau ar gof a chadwedigaeth. Myn A hefyd ddwy *p* yn happus, a byddai yn anhapus hebddynt. Ond ni ddeil ei air *hop-pus* ef ei ddattod: *hap* a adwaenom, ond pa beth yw *pus?* Pa iaith? Pe byddai dwy *s* hefyd, gair Saesneg a fyddai am gath; ond ag un *s*, gair Lladin yw am grawn briw, neu darddiant poethell. Ac i glo

pus a'i gyfeilliaid anghyfiaith, yn ngharchar Noeth ac Anoeth, dalier sylw nad yw terfyniadau ansoddeiriau *(adjectives)* un amser yn dechreu â chydsain, ond â llafarog *(vowel)*, megys *a—aw* neu *o—awg* neu *og—awl* neu *ol—aidd—ain—us—yn*, &c. Ni fyn B osod mewn gair yr un llythyren mwy nag a fyddo yn anhebgorol iddo o barth tarddiad a threigliad: ac ni fyn chwaith adael allan yr un a fyddo yn angenrheidiol i ach a charennydd y gair. Am hyny y gwelir dwy n ynghyd yn y geiriau canlynol—nant, nantau—Nannau, plas Syr R. W. Vychan, A. S:—*tant*, tantau, tannau telyn Rhisiart Arfon, Cadeiriog Cerdd Dant Eisteddfod Dinbych: Meddiant-au, Meddiannau. Ein hen-deidiau a newidiasant y *t* i *n* er mwyn peraiddiach sain, a llithricach ymadrodd. Nid oes achos chwanegu treigl-eiriau o *dant*, chwant, cant, &c. Annoeth a ofyn ddwy *n*, canys o an-doeth y cyweiriwyd—felly hefyd anniwair, annuwiol, annichell, anhrugarog, &c.

2. *Aceniad geiriau unsill.*—Sonia gramadegwyr am dair acen. Nid oes achos trylwyr ond am ddwy yn y Gymraeg, sef yr *hir* a'r *fer*; nac am ond un o'r ddwy hyny, pe cytunid pa un o'r ddwy a gedwid. Mwy o nodau aceniad, a fyddai er mwy rhwystr na chyfarwyddyd. Byddai argraffwyr yn debyg o'u cymmysgu yn amryfus; rhoddent ddyryswch i ddisgyblion, a hawdd y geill athrawon eu hebgor. Y ddadl yw, pa un ai yr acen *hir* ar cân, ai y *fer* ar cân, a roddir heibio. Rhai a haerant, gan fod mwy rhif o eiriau byrion unsill na rhai hirion, y dylid rhoddi heibio yr *hir*. Nid wyf fi yn gytunol i hyny: dynoder *cân* awenyddol, a *glân* fuchedd: a gadawer bara *can* a *glan* Teifi, i ymbwyll y darllenydd. Ymddengys cymmwysder fy haeriad, wrth yr atebiad canlynol. "I ba le yr ei di?—1. Af i dy dŷ di:—2. Af i dŷ dy di. Yr aceniad cyntaf yw y mwyaf dealladwy; a mwyaf dewisol, am ein bod yn gynefin ag ef; a pha ham y rhaid rhoddi i fynu gynnefindod am anghynnefindod, os na bydd yr un cynnefin yn feius? Gan hyny, acener bob unsill *hir*—*mân*—*glân*—a gadawer y rhai byrion, megys *man*, *glan*, *can*, &c. a'r rhai eanolig, *bref*, *llef*, &c. yn ddinod. Ychydig o gydnabyddiaeth â'r iaith, a'i rydd ddigon o ysbysrwydd i'r anghyfarwydd i wahaniaethu rhwng aceniou byrion a chanolig; a chubiatäer i'r acen *hir* yn unig gael ei pharchu â'i nod hirllaes.

3. *H*, *h*, megys arwydd ucheneid, neu gryf anadliad, a arferir yn rhy fynych gan A; megys yn bren*hin* (brenin). B, i'r gwrthwyneb eithaf, a fyn ei dëol o'r manau lle yr ymddengys yn fwy cyfaddas i'w sefyllfa nag un nod arall a ddyfelir yn ei lle; megis yn y geiriau canlynol—byw*h*äu, marw*h*äu, &c. Y mae gormod o weadid yn ymddangos mewn torf o lafarogion ynghyd, heb gydsain rhyngddynt; a'r eilun goreu o gydsain yw *h*. Gwan hynod ar olwg yw *bywäau* yn gystal a marwäau. Adfered B yr *h* i'w lle arferol; er nad oes ganddi gymmaint o hawl i'r lle hwn, ag y sydd ganddi yn y geiriau, gor*h*offedd, ym*h*yfäu. Arferir *h* hefyd yn rhagddod at eiriau yn dechreu â llafarog—pan fyddo achos i wahaniaethu rhywiau—&c. megys *ei* Harglwydd—a rhifau, megys *ein* Harglwydd.

4. *Au* sydd un o'r terfyniadau amlaf i'r rhif lliosog, megys taran*au*, coron-*au*; ac o herwydd hyny, ai nid dewisol a fyddai terfynu geiriau, heb fod o'r lliosog-rif, ag *eu* yn lle *au*, megis dechr*eu*, gol*eu*, gor*eu*, ten*eu*, &c.?

5. B a haera fod y blaenddod *dy* yn wastad yn gadarnhäol, a *di* yn nacäol; ond A, er ei fod yn addef

mai cadarnhäol yn wastad yw *dy*, etto deil bod *di* hefyd yn gadarnhäol mewn ychydig o gyfansoddeiriau, megys *diben*, *dioddef*, gan olygu ar *alpha* y Groegaid, ac *in* y Saeson. Ond B a hwtia y fath gyfeiriadau at ieithoedd estronol; ac a hona y dylai pob iaith sefyll ar ei gwaelod ei hun. Dywed hefyd mai llygriad sain a ddygodd *diben* i mewn i'n hiaith yn lle *dyben*—; ac mai *dyben* a ysgrifenai ac a lefarai Edeyrn Dafod aur, &c. —bod y Gymraeg yn gywir ei diwyg, ac yn ei hegwyddor lythyren drefnus am bob sain, cyn i'r Rhufeiniaid ddwyn i mewn eu hegwyddor ddiffygiol, a'i benthyca i'r Cymry. Da iawn! pe dygid tystiolaeth o'r iaith ddilwgr, a'r egwyddor gyflawn, naill ai ar faen ai ar femrwn. Ni waeth dangos i ni gruglwyth o lwtrach y ser, a haeru iddo ddisgyn o'r blaned Gwener, na dywedyd mai yr egwyddor a elwir "Coelbren y Beirdd" oedd egwyddor gyssefin y Cymry. Pa fodd bynag, os ennill B a'i blaid y dydd, a mynu ysgrifenu *dyben;* gan fod i *y* eisys ddwy sain, megys yn y gair *ystyr*, rhodder iddi yn drydedd sain *i:* ac yna os ysgrifenir dyben—nyni a gawn y rhyddid o'i ddarllen diben. Yn y to nesaf, dichon y bydd i *ddyben* a'i dylwyth lai o wrthwynebiad, o herwydd bod bechgyn yr oes hon yn cael eu dysgu gan fechgyn eraill i ysgrifenu a llefaru yn ol llythyraeth B. Yn ddiweddar, rhoddais gynllun i hogyn o enw Benjamin ddysgu ysgrifenu: y linell oedd o gyngor iddo—sef—"Ymgais a *di*benion da." Gwelwn ar wên deneu yr herlod, nad oedd fy llythyraeth yn ei foddio; ac yn ebrwydd mi a'i clywn yn sibrwd—"Ni etyb hwn i mi un *dyben* da." Atebais—pe baet Sais, mi a ddywedwn—I will *dub*-Ben, if not a dunce, a conceited little fellow.

6. Y mae llawer o wrthwyneb gan B i *am* negyddol o flaen geiriau yn dechreu â *P*—megys *pur*, *perffaith*, *am*mhur, *am*mherffaith. Nid oes gan B yr un rheswm cadarn o'i blaid ar yr achos hwn. Pe na byddai ond *an* negyddol yn unig yn ein hiaith heblaw yr *am*, byddai gan B well esgus i daflu *am* o'i gorsedd. Ond gan fod negyddion eraill, megys *af* a *di*, nis gwelaf un achos cymmellfawr i ddiorseddu y naill negydd mwy na'r llall. Y mae a*m*mherffaith yn llawn mor olygus i'r llygad, ac yn rhoddi rhwyddach lafar i'r tafod, nag a*n*mherffaith. Gwnaed A, B, ac C fel y mynont; o'm rhan fy hun ni a*m*mharchaf, yn nod a*m*mharch ei hun, drwy ei ysgrifenu, na'i enwi anmharch. Ac am *af* negyddol, dywedaf—Yr hyn sydd *af*lan bydded *af*lan etto; ac i bob un diragfarn mi a faddeuaf, er ei fod mewn rhai daliadau yn *am*mhwyllus. Y Parch. Mr. Charles, ym mhlaid *an* negyddol yn lle *am*, a haerai, y gallai rhai gael eu dyrysu rhwng yr *am* negyddol (os arferid) ac *am* arall (*circum*, about). Ond nid oedd y perygl lleiaf o un dyryswch ar yr achos. *P*, yn nechreu gair a newidir deir-modd mewn cystraweniad—*P*wyll—1 ei *b*wyll —2 fy *mh*wyll—3 ei *ph*wyll. *Am* yn negydd i'r gair *p*wyllus, a dry y *p* i *mh*, sef yr ail newidiad—*ammh*wyllus. Ond yr *am* arall, am yr hwn y sonia Mr. Charles, y mae yn rhan arall o ymadrodd, ac a newidia *p* i *b*, nid i *mh*—ambwyll, heb un ystyr negyddol. Yr *am* hwn a lywia y newidiad *cyntaf* i bob llythyren newidiadwy—megys, Carn, amgarn—Cylch, amgylch—To, am*do*. Nid yw *an* negyddol mor rheolaidd; canys o flaen B a G, hi a ddewis y newidiad *cyntaf;* ac o flaen D. C. P. T. yr ail newidiad. Os gorfydd i ni roddi fynu *am* negyddol—teilynged B roddi i ni yn ei lle, *di* yn hytrach nag *an*; *di*-bwyll, &c.

7. Am derfyniadau geiriau anseoddawl, &c. nid oes genyf le i ddywedyd llawer. Mwy dewisol genyf yr hen ddull, fel y gelwir llythyraeth A—duw*iol*, nid duw*iawl*—annuw*iol*, nid annuw*iawl*. Diehon bod *aw* yn well nag *o; awg* nag *og; awl* nag *ol:* ond fy mwriad yw eu gadael i'r sawl a'u hoffa fwyaf, ac i ysgrifenyddiaeth y Cynghaneddwyr; *awg* i gydodli â hawg a chawg, ac *awl* i gyssoni â mawl a chawl.

I ddiweddu—da feehgyn,—ymgeisiwch ag eglurdeb ymadrodd yn lle dieithrwch—pan ysgrifenoch ragymadrodd i'ch cathlau, gadewch allan "*oc eu lle—no—noc—nog—idd et*"—&c. Pe ail gyfodai Edeyrn Dafod Aur, ac ymorol ar eu hol, gallech ei ateb—eu bod hwy, a llawer ereill gyda hwynt, ar ben ysguriau Geiriaduron, ar gof a chadw; ond nid ar arfer na llafar gwlad. Byddwch heddychlon â'ch gilydd.

GARMON.

*Chwerw-oer*, 1829.

---

## AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.

BARCHEDIG SYR,—Gwirionedd anwadadwy yw, ac un sydd yn peri galar i galon pob Eglwyswr diffuant, fod, hyd yn nod yn yr oes oleu hon, lawer o anwybodaeth a chamsyniad yn nghylch athrawiaeth a dysgyblaeth yr Eglwys Sefydledig wedi ymledaeu ym mhlith gwerin Cymru; ac o herwydd hyn fod yspryd ymraniad wedi cynnyddu i radd uchel iawn. Cyfieithais y Bregeth ganlynawl er ymdrechu goleuaw ei meibion cywir am yr hyn a broffesant, er cryfâu eu hymlyniad wrthynt, ac er dangos yr afles a ddeillia oddiwrth Ymneillduaeth, ac nid er cynhyrfu cynhen ac eiddigedd. Tybiais mai iawn i bob aelod cydwybodawl o'r Eglwys Sefydledig gael datgan ei reswm am y gobaith sydd ynddo. Ac yn wir, Syr, clywais sibrwd fwy nag unwaith, gan rai a'ch carent, nad ydych wedi gwneuthur cymmaint ag a allasech i egluräu ac ymddiffyn godidogrwydd trefniadau ein Heglwys. Gwn mai serch at heddwch, ac yspryd addfwyn, a barodd hyn ar lawer tro; ond o hyn allan gobeithiaf gael gweled yn eich dalenau, pan y caffoch hamdden, ymdrech i ddangos nad yw sail Ymneillduaeth mor gadarn ag y tybia rhai o'i disgyblion: ac os cydiwch weithiau yn y gorchwyl hwn, y mae genyf hyder llawn y dangoswch mai cariad at yr hyn a dybiwch sydd yn wir, a dymuniad cywir am ennill y defaid crwydredig yn ol i'w corlan cyssefin, ac nid yspryd ymbleidiaw a bâr i chwi gynnyg eich barn ar y pynciau hyn. Diolch i chwi, ac i'ch Gohebwyr doniawl a dysgedig *Calonrwydd* a *Beta*, am yr hyn a ymddangosodd o'u llaw yn eich Rhifynau diweddaf.

Er mwyn awchu rhesymau y Bregeth ganlynawl, teg i mi hyspysu fod ei Hawdwr duwiawl ac enwawg wedi cael ei gyhuddaw, fwy nag unwaith, gan rai, o dynerwch gormodawl at Ymneillduaeth.

CH.

## PREGETH

*A draddodwyd Hydref* 19, 1828, *gan y Parch. J. W.* CUNNINGHAM, *A. M. Ebrwyad Harrow.*

SALM cxxxii. 3,—5.

"Ni ddeuaf i fewn pabell fy nhŷ, ni ddringaf ar erchwyn fy ngwely; Ni roddaf gwsg i'm llygaid, na hûn i'm hamrantau, Hyd oni chaffwyf le i'r ARGLWYDD, preswylfod i rymmus *DDUW* Jacob."

MEWN ymadroddion fel hyn y datganai brenhin a phrophwyd, "peraidd ganiadydd Israel," ei ddymuniad i adeiladu teml gyfaddas i odidogrwydd a sancteiddrwydd y Goruchaf, yr hwn a garai ac a addolai. Ac er y gwarafunid y fraint hon iddo gan amgylchiadau neillduawl, etto llawer o'i amser a'i feddyliau, o'i gyfoeth ei hun a chyfoeth ei deyrnas, a dreuliwyd wrth gasglu defnyddiau tu ag at y tŷ a fwriadai adeiladu, a chysurid ei oriau olaf pan wybu y rhoddid i'w fab anwylaf yr anrhydedd a waherddid iddo ei hun. Yn yr amser hwn o ddwys deimlad a sobrwydd, y rhoddes efe i Solomon "bortreiad porth tŷ yr ARGLWYDD," a phortreiad "yr allor a'r cerubiaid," ac o'r diwedd cyfarchodd ef yn y geiriau cyffröus hyn:—"Ymgryfâ, ac ymegnïa, a gweithia; nac ofna ac na arswyda, canys yr ARGLWYDD DDUW, fy NUW i fydd gyda thi; nid ymedy efe â thi, ac ni'th wrth-

yd, nes gorphen holl waith gwasanaeth tŷ yr ARGLWYDD." Nid oes dim yn amlycach na bod dymuniad cryf yn anadlu yn y cyfarchiad uchod, nid yn unig i adeiladu teml i'r Arglwydd, ond teml yn ol cynllun arbenig, gwasanaeth yr hon a gyflawnid yn ol rheol a benodasid o'r blaen. Pan roddes efe i'w fab y portreiadau gwahanawl, yn ol y rhai y dylai weithiaw, dywedodd, "Hyn oll a wnaeth yr ARGLWYDD i mi ei ddeall mewn ysgrifen trwy ei law ef arnaf fi, sef holl waith y portreiad hwn." Ei fwriad, gan hyny, oedd adeiladu teml, nid lle y gallai pob addolwr dywallt ei erfyniad unig neu afreolaidd, ond lle y gallai fod mewn cymdeithas â'i gyd-greaduriaid, ac y gallai, yn unawl â ffurf sefydledig, a chyda gweinidawg awdurdöedig, offrymmu gweddi edifeirwch, neu gàn o ddiolch a chariad i Dad Goruchel y bedysawd.

Galwa Llywodraeth ein gwlad, fy mrodyr, ar holl weinidogion crefydd i annog serch a haelioni eu gwrandawyr y dydd hwn tu ag at y Gymdeithas er helaethu ac adeiladu Eglwysi; a'r modd yr ymdrechaf, gyda bendith Duw, i gyflawni y gorchymyn hwn a fydd yn gydunawl âg yspryd y testun,

I. GWNEUTHUR RHAI SYLWADAU AR Y BUDDIOLDEB A DARDDA ODDIWRTH EGLWYSI SEFYDLEDIG YN GYFFREDINAWL.

II. DYNODI RHAI O RAGORIAETHAU EIN HEGLWYS NI YN NEILLDUAWL.

III. CRYBWYLL DYLEDSWYDDAU EGLWYSWYR TU AG AT Y SEFYDLIAD O'R HON Y MAENT YN AELODAU.

I. Yr ydwyf i wneuthur rhai SYLWADAU AR Y BUDDIOLDEB A DARDDA ODDIWRTH EGLWYSI SEFYDLEDIG YN GYFFREDINAWL.

Wrth Eglwys Sefydledig deallaf gymdeithas grefyddawl, aelodau yr hon a gydunant mewn egwyddorion a threfniadau cyffredin o addoliad, a gweinidogion yr hon a delir, a'i heglwysi a adeiledir ac a adgyweirir allan o'r dollfa gyffredin.

Diammau mai hollawl afreidiawl fyddai gohiriaw y ddadl i brofi *cyfreithlondeb* Sefydliad Eglwysig, pa olygiadau bynag fyddo gan wyr parchus ar y pwnc. I ddyweyd dim yn nghylch y rheolau a drefnir yn y Testament Newydd mewn perthynas i Fedydd, Conffirmasiwn, y Cymmun, Cyssegriad, a darpariad ar gyfer y rhai a weinyddant wrth yr allor, y mae awdurdod yr Hen Destament yn anwadadwy ar y pwnc. Amlwg yw i'r Arglwydd, dan yr oruchwyliaeth Iuddewig, ddarparu i'w bobl sefydliad eglwysig yn y drefn fanylaf a chywreiniaf. Penodwyd gweinidogion, a chyfansoddwyd gwasanaeth y deml yn ol y portreiad a'r rheolau manylaf, a gadawyd cyn lleied ag a ellid i ymddibynu ar ewyllys neu archwaeth yr addolwr. Os anghyfreithlawn fyddai egwyddawr Sefydliad, ai tebyg yw y rhoddid i ni y fath anghraifft gan yr "Hwn sydd yn gwneuthur pob peth yn dda?"

Ond heb ymhelaethu ar y pwnc hwn, awn ymlaen, yn ol ein bwriad, i ystyried rhai o'r *rhagorion amlycaf a darddant oddiwrth Eglwys Sefydledig*.

1. Yn ngwasanaeth Eglwys Sefydledig gwneir, yn barâus, addefiad sobr a chyhoedd o wirdeb Cristionogaeth. Miloedd o Offeiriaid a chan miloedd o'u gwrandawyr a ddygir o wythnos i wythnos i dŷ Dduw, i gyhoeddi yno, yn y modd dwysaf, eu hollawl gydsyniad â phrif ranau cred. Anmhrisiadwy yw y lles a dardda oddiwrth y cyfaddefiad hwn o awduredd yr Ysgrythyr, a rhaid ei ystyried yn un o'r prif attaliadau rhag cynnydd anghredaeth. Dyga anghredwyr i amryfusedd fel hyn, os una eu barn dirgelaidd â'u tystiolaeth gyhoedd, Cristionogaeth a elwa oddiwrth y

ddau; os anghytunant, yna nid ydynt well na rhagrithwyr, ac ychydig raid ofni oddiwrth eu gwrthwynebiad. Daw amser ar yr eglwys pan y tywallter yr Yspryd fel llifeiriant, a phan y dywed un yn ddiffuant, "Eiddo yr ARGLWYDD ydwyf fi; a'r llall a'i geilw ei hun ar enw Jacob; ac arall a ysgrifena â'i law, Eiddo yr ARGLWYDD ydwyf, ac a ymgyfenwa ar enw Israel." Er nad ydyw y cyfaddefiad hwn o wirdeb Cristionogaeth bob amser yn ddiffuant ac ystyriawl, etto, trwyddo sefydlir crefydd yn gadarnach mewn gwlad. Ateba, mewn rhan, ddyben gwyrthiau mewn oesoedd eraill, arweinia y meddwl i ystyriaeth manwl a pharchus o wirioneddau pwysig, er nad oes ond Yspryd Duw yn unig a bâr i ni eu coffeidiaw yn ddyladwy.

2. Yr ail les a dardda oddiwrth Eglwys Sefydledig yw, *y tuedd sydd ynddi i annog undeb mewn barn*. Ni ammheua neb nad ydyw undeb mewn barn grefyddawl o'r gwerth mwyaf, pan ystyriont yr ymryson, y creulondeb, a'r dyryswch, yr esgorodd anghytundeb mewn barn arnynt. Yn wir, undeb barn ydyw yr arwydd tebycaf i undeb calon, ac efelly i heddwch a chariad yn nheulu Duw. Ond pa fodd y gallwn obeithiaw gweled yr undeb hwnw heb erthyglau cyffredin, wrth y rhai y gellir profi gwahanawl farnau? Er fod addysgiadau y Bibl ar holl benau sylfaenawl crefydd yn rhy oleu a llawn i'w cam-gymmeryd, rhaid cofiaw fod llawer pwnc Ysgrythyrawl wedi ei adael i farn y darllenydd ei hun. Hwyrach, fod y rhyddid hwn yn hanfodawl i gyflwr o brawf, ond heb iawn egwyddawr au heb ryw arweiniad penodawl arferir y rhyddid hwn yn achlysur i'r cnawd, ac yn gochl malais. O achos y rhyddid hwn hefyd teflir yn aml y meddwl tyner ac ofnus i betrusder mawr, os ymbwysa yn hollawl ar ei nerth ei hun, a bydd "yn bwhwman," ac yn cael ei "gylcharwain â phob awel dysgeidiaeth." Pwy bynag a gafodd gyfleusdra i gymdeithasu yn fynych gyda dynion a rwystrir o herwydd eu daliadau neillduawl rhag mwynâu y budd a dardda oddiwrth erthyglau cred, neu ordinadau cyffredin crefydd, rhaid iddo wybod yn dda mor aml y blinir gwyr cydwybodawl gan anymddibyniad o'r fath hyn, a theimla duedd i ddiolch i Dduw am angoraeth a phorthladd cyffredin, am gompodau a chyfarwyddyd yr Eglwys Sefydledig. Gorfawr yw y cysur a ddeilliodd i luoedd oddiwrth yr ystyriaeth bod eu daliadau wedi eu cymmeradwyaw gan "gwmwl o dystion" a fuchеddasant yn saint, ac a fuont feirw yn ddedwydd ym mynwes Eglwys Sefydledig. Nid oeddynt ein tadau uwchlaw cyfeiliornad, ond yr oeddynt ddoeth a da. Tra ynte ni alwn neb yn "athraw," tra y cyfeiriwn yn barâus at yr Ysgrythyr, ac yr erfyniwn yn ddiffuant am i'r Yspryd Glân ddehongli ei lyfr ei hun, tra yr honwn hawl gyflawn i ddarllen a phenderfynu drosom ein hunain, mynych y bydd yr ystyriaeth bod golygiadau y goreu o ddynion yn un â'n barn ninau yn orffwysfa ac yn noddfa i'r meddwl. "Llais anian," medd yr enwocaf o'r ysgrifenwyr Rhufeinig, "ydyw cydsyniad pob dyn am unrhyw beth arbenig:" a dywed yr Esgob Beveridge, "y gellir, yn gyfiawn, ystyried cydsyniad pob Cristion megis llais yr Efengyl." Ac os na all yr Eglwyswr hòni cydsyniad pob Cristion â'i ddaliadau ef, gall hòni cydsyniad cynnifer o'r gwyr doethaf a goreu, ac i dderbyn diddanwch a chadernid i'w feddwl ei hun.

3. Yn nesaf, ystyriwn y tueddiad sy mewn Eglwys Sefydledig i sicrâu *purdeb golygiadau ac ymarferiadau crefyddawl*. Tra y pery natur ddynawl fel y mae yn awr, amlyga egwyddorion ac ymddygiad

dynion duoddiad cryf i adfeiliaw a gwaethygu. Bwriad godidawg cymmwynaswr y natur ddynawl, ynte, fydd ymdrechu attal cynnydd y llygriad hwn. Gymmaint yw rhagoriant Eglwys Sefydledig mewn perthynas i hyn! Edrychwch ar y gwirioneddau a hyspysa hanesiaeth i ni. Ystyriwch er anghraifft mor ddwfn a dinystriawl a fu gwrthgiliadau rhai o'r sefydliadau crefyddawl a wrthodasant âg attaliadau erthyglau cred, a ffurfiau gweddi. Yr Anymddibynwyr a ymwrthodasant â hwynt yn nyddiau Cromwell: a pha orlif o ynfydrwydd a chyflafan a ruthrodd ar y deyrnas! Yr areithfâau a sangwyd unwaith gan Baxter, ac Owen, a'u cyfeillion, yn nyddiau Puritaniaeth, ydynt y pryd hwn yn llochesau cadarnaf Sociniaeth! Y gwirionedd canlynawl a brofa y mater sy genym mewn llaw. Ni sefydlwyd ond 46 o gynnulleidfaon yr Undodiaid, allan o 222 a dybir fod yn Mrydain, gan ddynion o'r golygiadau hyny: y 176 eraill a fuont unwaith mewn cymmundeb âg Ymneillduwyr union-gred. Gellir gweled gwirioneddau cyffelyb yn hanes gwledydd eraill heblaw y wlad yma. Yn Eglwys Geneva, er anghraifft, cyn gynted ag y tynasant eu llaw oddiwrth y Cyffes Helvetaidd, cymmerodd athrawiaeth gyfeiliornus *Arius* lawn feddiant o'r cadeiriau a'r areithfâau. Er yr arferir prawf crefyddawl mewn rhai o daleithiau a chymdeithasau crefyddawl yn yr America, etto yn gyffredin nid oes yno yr un; a digon ydyw diffyg gweinidogion a lleoedd o addoliad, a llygriad crefydd yno, i arddangaws effeithiau dinystriawl y drefn hon. Haerwyd, ar awdurdod anwadadwy, fod pum myrddiwn allan o wyth myrddiwn mewn un dalaeth yn y wlad hòno yn hollawl ymddifad o addysg crefyddawl cyfaddas! Gwirionedd rhyfedd hefyd yw, er bod Undodiaeth wedi ymledaenu i raddau pell yno, yn enwedig yn y Taleithiau Dwyreiniawl, ac yn fwy neillduawl yn Boston, ni ymwthiodd i un gynnulleidfa Esgobawl. Dywed un ysgrifenydd dysgedig, "Cyn gynted y daw un at y dynion a arferant ddarllen ffurf weddïau yr Eglwys, a dywedyd, 'Yr ydwyf yn gwadu y Drindod;' cyfeiriant at eu gweddïau cyffredin: a chan fod y gwasanaeth wedi penderfynu arno gan Eglwysi America yn gyfunawl, ffrwyth cyfeiriadau fel hyn ydyw, na syrthiodd yr un gynnulleidfa Esgobawl i Undodiaeth."

Yn wir y mae effaith ffurfiau sefydledig dan fendith Duw i roddi parâd i Eglwys, ac i'w golygiadau neillduawl, bron yn anfesuredig. Parâodd yr Eglwys Syriaeg ar gyffiniau Malabar yr un er dyddiau yr Apostolion, mae yn debyg, heb un nodded ond bendith Duw ar ei threfniadau sefydledig o addoliad. Edrychwch ar ein Heglwys ni. Er i nerthoedd cydunawl digrefydd a phenboethni yn nyddiau Cromwell —maswedd yn amser Siarl II.—a Phabyddiaeth yn nheyrnasiad Iago II.—cnawdolrwydd a phenrhyddni ym mhob oes, ymfyddinaw yn ei herbyn, mor ardderchawg y safodd yn erbyn yr holl dymhestloedd! mor ddigyffraw yr â y'mlaen yn ei thaith! gan ymledaenu beunydd hwyliau ychwanegawl i'r ystorm, gan ymddyrchafu ar bob tòn wrthwynebawl, a dwyn pob un o'i meibion diffuant yn ddiogel i'r porthladd a ddymunent.

4. Ni ddangoswn ond penau gwanaf y ddadl pe gorphwyswn yn unig ar effaith Sefydliad Eglwysig i gynnal i fynu rai o ranau neu gynneddfau crefydd: yn fy nhyb i anhebgorawl yw hefyd *er mwyn cynnal ordinadau allanawl Cristionogaeth, a phroffes o honi yn unig.* Ystyriwch yr hyn a ellir ei dybied yn un o'r prif wahannodau

rhwng egwyddawr Sefydliad a rheol yr Ymneillduwyr. Egwyddawr Eglwys Sefydledig yw, y cymhellir pob dyn, pa un bynnag ai crefyddawl ai digrefydd fyddo, i adeiladu ei Heglwysi, a i dalu ei gweinidogion: egwyddawr Ymneillduaeth yw, na chymhellir neb i dalu fel hyn ond cyn mhelled ag y teimlu yn awyddus i wneuthur hynny. Y gofyniad gan hynny yw, pa un o'r ddwy ffordd sydd addasaf i amgylchiadau byd syrthiedig? Tybiwch fod y deyrnas yn ymddifad o Eglwysi a Chapelydd, ac i ryw ddynion a ddymunent yn dda i'w cyd-greaduriaid ddarparu moddion gwybodaeth grefyddawl er eu lles cyffredin, os ânt allan wedi ymarfogi âg egwyddawr Sefydliad, bydd eu llwybr yn olau, a'u llwyddiant yn y diwedd yn sicr. Ar yr egwyddawr yma, gorfydd hyd yn nod i elyn penaf crefydd aberthu ei wrthwynebiadau er mwyn daioni y genedl; ac i roddi ei gynnorthwy er cynnal yn gyhoeddus y grefydd a ddiystyra neu a gasâ. Ond gadewch iddynt fyned allan gyd âg egwyddawr Ymneillduaeth yn unig, mor anobeithiawl fydd eu cennadwri! Beth fyddai yr ateb i archeb dros Eglwysi a gweinidogion yn nhai y cnawdawl, y cybyddlyd, yr afradlawn, y maswedddawl, neu y digred. Os am amser, neu dan amgylchiadau neillduawl, os yn y man y deffroid yspryd crefydd mewn modd arbenig, y gellid adeiladu addoldai, neu gynnal gweinidogion, oni ddengys y wybodaeth leiaf o'r natur ddynawl i ni mai buan y darfyddai cyllidfa o gyfraniadau gwirfoddawl: a thra y mynai ychydig nifer o dduwiolion foddion addysg ac addoliad cyhoeddus, y gadawid y nifer lluosocaf o'r werin yn fuan hebddynt. Mewn perthynas i angenion y corph, y mae yr eisiau yn peri y darpariad, ond nid felly y mae ynghylch afiechyd yr enaid. Po gwaethaf fo y claf mwyaf dig-



gyffraw yn y byd y bydd i ymofyn am feddyginiaeth. Pe dibynai crefydd am ei chynnaliaeth ar gyfraniadau gwirfoddawl yn unig, nid anhawdd darogan y syrthiai newyn am air Duw yn fuan ar y wlad. Ni all golygiad gwlad lle y gweithreda Ymneillduaeth mewn cydundeb âg Eglwys Sefydledig roddi i ni ond ychydig gyfle i farnu am agwedd gwlad arall, lle y triga Ymneillduaeth ar ei phen ei hun. Yn y man cyntaf dymuniad crefyddawl a ennynwyd gan Sefydliad Eglwysig a gynhyrfa yr Ymneillduwr i adeiladu ei dy cwrdd; ond tybiwch i adeiladaeth eglwys neu addoldy ymddibynu ar ewyllys gwirfoddawl cenedl, nid hir y gwnai blas a haelioni naturiawl dynolryw gynnorthwyaw at roddi maen ar faen yn y naill na'r llall o honynt.

(I'w barhâu.)

---

BEIRNIADAETH YSGRYTHYROL.

PSALM CX. 3.

"O groth y wawr y mae gwlith dy enedigaeth i ti."

YN y cyfieithiad presennol, yr hwn yn y fan yma sydd gyfieithiad llythyrenol o'r Sallwyr Saesonaeg, nid amlwg yw meddwl y Salmydd, ac anhawdd yw cyssoni y geiriau yn brydferth gyd â'r rhan gyntaf o'r adnod. Tybiwyd gan hynny mai nid annerbyniol gan ddarllenwyr y Gwyliedydd fyddai eglurhad o honynt yn ol beirniadaeth *Lowth* a *Horne*, a dysgedigion eraill diweddar.

Dylasid cyfieithu y geiriau yn y modd canlynol:—"*Mwy na'r gwlith o groth y wawr yw gwlith dy hiliogaeth;*" hynny yw, Dy blant, y rhai a genhedlir i ti trwy yr efengyl, a ragorant, mewn rhifedi, cystal a disgleirdeb a phrydferthwch, ar loywderau aneirif y gwlith boreuol, y rhai ar dorriad dydd a lewyrchant ar y gwyrdd-lesni.

Ni's gellir gwadu fod y cyfieithiad uchod yn brydferth hynod, a chysson â'r ymadrodd o'r blaen. Y mae hefyd yn lled-gyttuno â chyfieithiad cyntaf y Sallwyr Cymraeg, cyhoeddedig yn amser y Frenhines Elisabeth; ond y mae amrywiaeth y'nghanol yr adnod. "*Dy genhedlaeth o'th fru fydd megis y boreuwlith.*"

Yma y canlyn ar un golwg grynhoad o amryw gyfieithiadau a wnaethpwyd o'r adnod yn y Saesonaeg a'r Gymraeg, fel y galler yn hawe eu cymharu.

*Yr Hen Sallwyr Saesoneg.*—"In the day of thy power shall the people offer thee free-will offerings with an holy worship: the dew of thy birth is of the dew of the morning."

*Y Bibl Saesonaeg.*—"Thy people *shall be* willing in the day of thy power, in the beauties of holiness from the womb of the morning: thou hast the dew of thy youth."

*Ar ymyl y ddalen....*"more than the womb of the morning: thou shalt have the dew of thy youth."

Dr. *Morgan.*—"Dy bobl (a offrymant) yn ewyllysgar, yn nydd dy nerth mewn harddwch sancteidd: o groth y wawr (y mae) gwlith dy enedigaeth i ti."

Dr. *Parry.*—"Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth, mewn harddwch sancteiddrwydd: o groth y wawr y mae gwlith dy enedigaeth i ti."

*Y Sallwyr yn amser Elisabeth.*—"Dy bopul (a ddeuant) yn wyllysgar yn-dydd (cymmynva): dy lu ym-mrydverthwch sanctaiddrwydd: dy genedleth oth bru (vydd megis) y boreu-wlith."

Gan nad yw yr holl Salm ond berr, fe allai na bydd rhai darllenwyr yn anfoddlon i ni gyhoeddi y cwbl yn y cyfieithiad cyntaf.

*Ymyl y ddalen.*

* SYGANEI yr Arglwydd wrth vy † Ior, Eistedd ar vy-deeulaw, yny ‡ osotwyf dy elynion yn § llethic draed yty.

Yr Arglwydd y ddenvyn wialen dy ‖ veddiant o Siion: llywodraetha di * yn-cenol dy elynion.

Dy bopul, &c.......† genedleth....

Tyngawdd yr Arglwydd ac nys ediveira, Yr wyt yn Offeiriat yn tragyvyth ‡ yn ol § urdd Melchi-tsedek.

Yr Arglwydd ('rhwn 'sy) ar dy ddeeulaw, a ‖ archolla Brenhinedd yn dydd ei soriant.

Efe barn ymplith y cenhedloedd: ef a lainw (bob lle) a chelanedd; ac a dery y penn ar * lawer tir.

O'r † garoc ar y ffordd yr yf ef: am hynny y ‡ dercha ef ei ben.

* Dywedei.
† Arglwydd.
‡ wnelwyf.
§ baingc, ystol.
‖ gedernit 'allu.
* Ymperfedd.
† genedigaeth.
‡ herwydd, wrth.
§ urddas, trefn, ordr.
‖ briw, glwyfa.
* wledydd mawrion.
† abonic, nant, ffrwd.
‡ cyfyd.

## YSTORMYDD.

"Efe a wna yr ystorm yn dawel." *Ps.* 107. 29.

YSTORMYDD y gauaf ydynt nid yn unig yn arswydus, ond y maent hefyd yn angenrheidiol, i buro yr awyr oddiwrth bob cynneddfau niweidiol, i gynhyrfu y dyfroedd, gan ysgwyd allan eu hammhuredd; i beri i'r coed wreiddio, ac i gludo hadau o'r naill ardal i'r llall.

Dinystr yn wir sydd yn canlyn gyd â hwynt:—yn awr y bwthyn gwael a ddidöir, y dyffrynoedd a orchuddir â dwfr, rheieidr a dywelltir i lawr y bryniau; y dderwen a safasai yn ddiysgog dri chant o flynyddoedd, a ddryllir yn chwilfriw, neu a ddiwreiddir; Duw y gogoniant a darana; y praidd ofnus a ymlecha yn nghysgod y bryniau; y mellt a wreichiona yn saethau llymion o dân goleu; yr ewigod a lydnant cyn eu hamser; y coedydd a ddynoethir; Libanus a Sirion a lamant fel llwdn unicorn; yr anialwch a gryna; y llifogydd a lifant dros geulanau dyfroedd lawer; y sychdir a à yn fôr. Eto yr Arglwydd a eistedd ar y llifeiriant—efe sydd Frenin—efe a orchymyn, a'r gwyntoedd a'r tònau a ufuddhant iddo. Wedi yr holl ddifrod hwn, y gwanwyn ffrwythlawn a adgyweiria y bylchau, a'r haf toreithiog a ddengys mai mewn doethineb y gwnaeth yr Arglwydd ei holl weithredoedd.

Felly ar ol ystormydd y bywyd hwn, y Cristion a fwynhâ dawelwch hyfryd ar hyd y maith dragywyddoldeb, heb yr un dòn drallodus yn curo ar ei ddwyfron. Wedi iddo ddioddef gauaf o gyfyngderau yn amser marwoldeb, a diange peryglus oerion wyntoedd adfyd, tymhestloedd erlidigaeth, tòn ar dòn o wrthwynebiad; ac wedi i foroedd o brofedigaeth fyned drosto, efe a rydd ei ben lluddedig i orphwys ar fynwes ei Iachawdwr, ac a gaiff ei helaeth wobrwyo ar ol llafur y bywyd hwn.

Tlodion a chystuddiol ydyw pobl Dduw yn y byd hwn. "Gadawaf ynot bobl druain dlodion," ebai yr Hollalluog. "Y druan, helbulus gan dymhestl, y ddigysur." Dafydd a ddywedodd, "Dyfnder a eilw ar ddyfnder, wrth sŵn dy bistylloedd di: dy holl dònau a'th lifeiriant a aethant drosof fi." Job a ddywedodd, "Efe a'm dryllia â chorwynt." Esay, gan bersonoli eglwys Dduw, a glywodd ddarluniad o hono ei hun. "Am hyny gwrando fi yn awr, y druan, a'r feddw, ac nid trwy win." "Gwraig galed arni ydwyf fi," meddai Hannah. Jeremiah a gwynodd fel hyn—"Myfi yw y gwr a welodd flinder; a fu erioed y fath ofid a'm gofid i." "Yn y byd gorthrymder a gewch; ïe, a phawb a'r sydd yn ewyllysio byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a erlidir." Ond pa beth ydyw holl gystuddiau amser, pa beth yw holl gynhwrf tymhestlog yr awyr, y gwyntoedd rhuadwy, y tònau cynddeiriog, a'r moroedd mawrion o ofid ac ymdrech â phechod, i'w cyffelybu i'r hyn sydd yn aros y crediniwr ar lànau tangnefeddus y nefol ogoniant? "Yr ydwyf yn cyfrif nad yw dioddefiadau yr amser presenol hwn yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant a ddatguddir. Canys ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni."

O dduwiolion, cymerwch gysur; os ydyw y byd yn gwgu, y mae y nefoedd yn gwenu; os ydyw dynion yn eich erbyn, y mae Duw trosoch; os ydych chwi yn dlodion, y mae eich Tad nefol yn gyfoethog iawn; eich Brawd hynaf, er ei fod yn gyfoethog, a aeth er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi; eich etifeddiaeth sydd yn yr

ncheldder, ac yr ydych chwithau yn prysuro i'r mwynhad.

ב

---

POB PETH O VEWN ANIAN YN CYD-WEITHIAW ER DAIONI DYN-AWL RYW.

Dy ddyledswydd, O ddyn! ydyw bod yn ddwys deimladwy o gariad digymhar y Creawdydd yn dy ddewis o vlaen yr holl greaduriaid eraill, a'th gynnysgaeddu â chynniver o ragoriaethau. Cydnebydd y vraint vawr o vod yn wrthddrych nodedig haelioni Duw, ac yn ben ar bob peth a wnaethid er dangos ei briodoliaethau gogoneddus! Erot ti y gweithreda Anian ar y ddaear, yn y dyvroedd, ac yn yr awyr. Erot ti y gwisgid y devaid â gwlan; erot ti y cynnysgaeddid y march â charnau celyd vel y gallo ddwyn beichiau trymion, a dringaw y llechweddau serthav; erot ti y gweua y sidanbryv ei we vrau; erot ti y meithrinir pysgod y môr; erot ti yr ymgudd y wenynen yn mynwes y llysieuau pereiddiav, ac y casgl o honynt drysorau o vel; erot ti yr ymostwng yr ŷch dan yr iau; erot ti y mae y coedwigau, y maesydd, y gerddi, yn doreithiawg o gyvoeth, a'r mynyddoedd hevyd yn dwyn frwyth; erot ti yr at-dala dyvnleoedd y ddaear lavur y sawl a chwilia eu dirgelion.

Dir yw, vod dy angenrheidiau, mewn cymhariaeth ag angenrheidiau creaduriaid eraill, yn lluosawg iawn; ond rhoddid i ti mewn gradd anveidrawl tu hwnt iddynt hwy ddoniau, galluoedd, a diwydrwydd i wneuthur pob peth yn ddarostyngedig i'th ddevnyddioldeb a'th hyvrydwch. Miloedd o greaduriaid a gydunant i'th ddilladu, i'th veithrin, i barottoi trigvanau, a darparu ar dy gyver gysuron a chyvleusderau diriv.

Ond nid ymorfwysodd y Creawdydd daionus ar hyn: rhyngodd bodd iddo, nid yn unig barottoi ar gyver dy angen, ond ymddarostyngodd i gyvranu i ti amrywiaeth o ddillynion. Erot ti y lleisia yr Hedydd ei gân yn beraidd, pan eheda bob bore gyd â'r wawr i'r entrych draw; erot ti y pâr yr Eos i'r llwyni adseiniaw gan ei "thelori mwyn;" erot ti y pery y gweirgloddiau a'r bryniau hyvrydwch drwy amrywiaeth eu teleidion; ac erot ti yr arogla yr awyr o'th ddeutu gan gysewyr peraidd y llysieuau ar hyd y maesydd: ond bendithid di yn annhraethawl uwchlaw hyn oll drwy veddiannu y gallu ardderchawg o ymresymu; hyn a wna i arglwydd yr aniveiliaid ymgrymu wrth dy draed, ac i benaeth trigolion y dyvnder gydweinyddu er dy gyvoethogi; galluoga hyn i ti rodiana drwy holl Anian, a myvyriaw ar ardderchogrwydd, gwychder, a phrydverthwch ei gweithredion, ac i ymsynied yn barchus ar eu Perydd Hollalluawg, heb ymvoddloni i ryveddu yn unig o herwydd eu trevn a'u cydrwymiad cysseiniawl, ac er nad yw yr olygva yn sylweddawl o'th vlaen, par y ddawn hon i ti vwynâu diddanwch parâus wrth adgoviaw, gyda bywiogrwydd meddwl, deleidrwydd a mawredd Anian.

Nid mynych y gallai advyvyriadau o'r vath hyn lenwi ein meddyliau heb i'n calonau ddychlamu gan deimladau o gariad ac o ddiolch tu ag at y Creawdydd Dwyvawl. Pan edrychom o'n deutu a myvyriaw ar Anian ehelaeth, os ehedwn vry i entrych y furvaven, neu os disgynwn i'r dyvnderoedd eithav, cawn sicrwydd vod yr holl greaduriaid yn cydweinyddu i ddaioni dynion; ac yn wir ni allwn, mewn modd efeithiolach, ateb dyben goruchel ein crëedigaeth, ac at-dalu, mewn rhyw radd, drugaredd Duw, na thrwy ddevnyddiaw y doniau y bu gwiw ganddo, yn ei

raslonrwydd, gyvranu i ni, a thrwy gyfrôi teimladau tynerav ein calon, y rhai a ganiataodd i ni eu mwynâu. Heb y cyntav ni allwn byth amgyffred un rhan o ardderchogrwydd Anian a'i gweithredion; heb yr olav yn over y swnia ocheneidiau y truain yn ein clustiau; yn over yr edrychwn ar ddoluriau y clwyvedig. Gall y gwynt chwythu, a'r dymhestl ruaw o'n deutu, ond o herwydd ein diogelwch ein hunain, byddwn yn anystyriawl o ddioddeviadau eraill. A'r canlyniad o hyn a vydd, cydwybod wedi ei seriaw, meddwl gwan a chyvyng, a chalon nad yw yn nefraw i ddim ond i ddrygioni ac anniolchgarwch. Ai hyn yw iaith ac ymarweddiad Cristionogion, i'r rhai y mae yn nghadw ddedwyddwch a llawenydd annhraethawl, a'r rhai ydynt yn edrych ymlaen at deyrnas ogoneddus, lle y ceir diddanwch pur, "heb boen no govid byth!"

*Charactor lav.*

---

YMSYNIAW AR DDUW YN NGWAITH Y GREEDIGAETH YN EANGU GALLUOEDD Y MEDDWL.

Pwy bynag a ddymunai addoli y Duw a greodd y nevoedd a'r ddaear, edryched ar ei waith, a chydnabydded yn ddiolchgar y rhyveddodau a luniodd. O bob math o wybodaeth cyrhaeddadwy nid oes un yn vwy pwysvawr, mwy hyvryd, a mwy diddanus, na'r wybodaeth a geir drwy vyvyriaw ar weithredion Anian; ac er iawn steb dyben ein crëedigaeth, angenrheidiawl yw i ni gael adnabyddiaeth o'r Duwdawd drwy ymsyniaw ar waith ei ddwylaw, hyn a sicrâ i ni ddiddanwch presenawl a dyvodawl. Dir yw, mai ein dyledswydd yw ceisiaw gwybodaeth am Dduw vel y'i datguddir yn ei air; ond braidd y gallwn govleidiaw dadguddiad o'r vath gyda gwir argyhoeddiad calon, os nad ychwanegwn at yr un uchod y datguddiad trwy yr hwn yr amlygir ev, yn anian, vel Perydd pob peth, vel Tad cyfredinawl, Arglwydd, a Chymmwynaswr yr holl grëedigaeth. Cawn vod ein Prynawdydd bendigedig, Iesu Grist, pan yn egluraw i'w ddisgyblion wirioneddau pwysig crevydd, yn cyveiriaw yn aml at waith Anian, ac yn arwain ei wrandawyr oddiwrth ymsynied y byd moesawl ac anianawl, i ystyried pethau ysprydawl a nevawl.

Ymseliad manwl a mynych ar eangderau anian sydd yn dra ardderchawg, ac yn deilwng o ystyriaeth dynion; trwy hyn y dysgwn y gwirioneddau a arddangosant i ni vawredd anveidrawl a phriodoliaethau Duw—trwy hyn y dysgir ni i adnabod, ac i iawn brisiaw ein galluoedd a'n cynneddvau ein hunain, ac i gyrhaedd gwybodaeth sicrach o'n rhwymedigaethau am yr aneiriv vendithion a dderbyniwn. Y rhai a ddiystyrant vyvyriaw ar anian, gan ei dybied islaw eu sylw, a dynant gywilydd ac anvri arnynt eu hun, ac a haeddant dosturi eu cydgreaduriaid. Ni theimlir un amser vnddioldeb rheswm gymmaint a'r pryd y bydd ein cynneddvau yn ymsynied ar berfeithrwydd y Creawdwr vel y'i heglurir yn ei weithredoedd, nid ymeanga y meddwl gymmaint, ni bydd ehediadau dychymmyg mor uchel a phan y rhodianwn drwy anian, ac y canvyddwn ei theleidion; pa un bynag ai y sêr a goleuadau yr wybren, y bryniau a'r mynyddoedd pellenig, y dyfrynoedd goreang, y coedwigau a'r avonydd a ddolenant rhwng eu glenydd gwyrddion, neu yn gwrandaw ar lais cwynvanus y gwynt, neu swn croch y dòn chwyddedig sydd yn awr yn ewynu dan y clogwyni, yna yn berwi yn erbyn y graig, yr hon a'i chrib eadduglyd a ymddengys goruwch yr ysgai, ac yna ein henaid a enyn

gan lawenydd, ac a deimla vod rhywbeth heblaw yr hyn a welir; teimladau rhy ardderchawg i'w hadrodd a dreiddiant drwy ein bronau, a thybiwn ein bod yn sevyll yn ngwydd Duw. Yn y mynydau hyn o bur hyvrydedd nid all pethau gwaelach gael lle yn ein mynwes, yr hon sydd lawn o ddedwyddwch ac annhraethawl lawenydd. Anwadal a darvodedig yw gwag bleserau y byd; ond y rhai hyn a vlodeuant yn dragywydd yn holl harddwch ieuengctid, ni ddivlasant drwy arddigonedd, ac ni'n blinant drwy dramynychiad. Wedi ciliaw hevyd i'n preswylveydd gall y meddwl, a ddichon amgyfred gwrthddrychau ardderchawg, yn lle ymvoddloni ar wageddau y diwrnod, edrych gyd âg hyvrydedd ar y golygvaoedd a welsai, y rhai y darlunia y dychymmyg yn y lliwiau purav a disgleiriav; a'r ymdeithydd, pan unwaith yn ddiogel rhag peryglon ei ymdaith, a adgovia y gwrthddrychau a dynasant cyn hyny ei sylw neillduawl.

Ni allwn arver ein cynneddvau vel hyn am hir amser heb iddynt dderbyn budd a gwellâad, beth bynag a gyfröa alluoedd y meddwl, a duedda i ddyrchavu ac eangu ei rym, ac nid oes dim a ateb y dyben goruchel hwn yn well nag ymsyniaw ar Anian a'i Pherydd. Ein hyvrydwch penav a ddeillia oddiwrth ehediadau y dychymmyg, y rhai nid ydynt un amser yn uwch neu yn vwy gogoneddus na phan yn ymrodiaw drwy ddillynion anian. Nid avresymawl tybied na ddiddymir ac na leiheir y gallu sy genym i vwynâu gradd o wir lawenydd ar y ddaear, pan y rhyddheir yr enaid oddiwrth y rhwymau ydynt yn awr yn huala ac yn attal ei gynnydd mewn doethineb a pherffeithrwydd; ond, yn hytrach, y pery yr hyvrydedd a'r mwyniant hwn yn y byd a ddaw, a'r sawl a veithriniai yn vwyav alluoedd ei ddeall, a rhinwedd ei galon, ei gynneddvau hyn a gynnyddant yn ol ei haeddiant yn y byd nesav, lle y mae seintiau ac angylion goleuni yn vennyddiawl yn gorvoleddu yn ngwyddvod Duw, ac ni vlinant wrth ymsyniaw ar ei ogoniant, ac wrth ganu ei glod! Ac hyd yn nod ar y ddaear, tebyg i hyn ydyw gwobrwy y rhai a vyvyriant beunydd ar y Bod Hollalluawg vel yr amlygir ev yn ei waith!

STURM.

*Mawrth 1af.*

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### *YR HWYAD.*

FE ddywed Anianyddion bod yn nghylch cant o amrywiaeth yn y rhyw hwn. Gwahaniaethant yn ddiddiwedd y naill oddiwrth y llall, o ran maint, a lliw eu plu. Dofwyd llawer o honynt; etto, y rhan amlaf o lawer a erys yn wyllt. Adnabyddir y teulu hwn wrth eu pig a'u traed: canys y mae y rhai hyn yn gyffelyb yn yr holl amrywiaeth, o'r Alarch mawredig hyd y Corhwyad lleiaf yn y teulu. Nid ym yn bwriadu y tro hwn ddywedyd dim ond am y rhan honno o'r teulu, a elwir yn gyffredin, Hwyad. Y maent mor hyspys i'n darllenwyr, fel nad oes angen am ddarluniad o honynt. Er y bwyttaent gig, os rhoddir iddynt, etto, ymfoddlonant ar ddeiliach, llysiau a'u hadau: digonir hwynt yn hawdd, os cant ddwfr i fyned iddo. Dywed rhai eu bod yn ymborth iachus a maethlawn. Yr hen bobl a farnent yr Alarch yn ddanteithfwyd, a'r Gwyddau i ymgadw rhagddynt, fel ymborth anmhreuliedig a difaeth. Yr y'm ni yn yr oes hon yn barnu yn wahanol. Yr Hwyad a fernid yn ymborth iachus a meddyginiaeth(.). Canys fe ddywed Plutarch, fod Cato yn cadw ei deulu

mewn iechyd, drwy eu porthi â Hwyaid pan y gwelai duedddrwydd yn neb o honynt i anhwyldeb. Fe ddywedir bod gwneuthuriad y tu mewn iddynt y cyfryw fel ag i'w galluogi i fyw o dan y dwr. Ond fe welwyd nad allant fyw heb awyr dros ddau fynyd. Y prawf cadarnaf o allu yr Hwyaid i fyw ym mhob math o le, yw yr hyn a ddywedir am Hwyaid deillion Llyn Zirchnitzer, yn Carniola, yn yr Almaen. Meddylir bod y llyn hwn yn uno â llyn arall o dan y ddaear ym mynydd Savornic; a bod dwfr y llyn uchaf yn rhedeg trwy dyllau yn ei waelod i'r llyn isaf. Yr Hwyaid, o'r rhai y mae amledd mawr yma yn wastad, a ddygir gan y dwr drwy 'r tyllau i'r llyn anweledig. Yma y collir llawer o honynt, a llawer o honynt a gedwir yn fyw. Tywylla eu llygaid: a syrthia ymaith eu plu. Pan y llanwo y llyn isaf, teflir hwy, a physgod lawer, i fynu i'r llyn uchaf. Y pryd hyn y mae 'r olwg arnynt yn rhyfedd heb blu. Y maent yn dewion; a delir hwynt yn hawdd, oblegid eu dallineb. Ym mhen ynghylch pythefnos, adferir eu plu, a'u golwg iddynt. Yr Hwyaid Gwylltion a gymharant yn y gwanwyn, ac a wnant eu nyth fynychaf yn y brwyn a'r hesg yn agos i'r dwfr. Dodwant o ddeg i un ar bymtheg o wyau. Y mae yn hynod gyfrwys: ac am hynny ni wna ei nyth bob amser yn agos i'r dwfr, ond yn dra pheil; a gwelwyd hi yn nythu yn hen nyth Piogen, ym mrig pren uchel. Dwg eu rhai bach yn ei phig, neu ei thraed, i'r dwr, os pell fydd oddiwrth ei nyth. Delir rhifedi mawr o honynt yn amser newid eu plu, pan nad allant ehedeg. Delir miloedd o'r rhai hyn bob blwyddyn mewn hudfeydd, a thrwy gyfrwysder dynol.

Rhoddwn yn nesaf ychydig o hanes y pethau hyn. Dewisir man i wneuthur hudfa ym mhell oddiwrth ffyrdd a sŵn dynion. Hudfa oreu a wneir yn ochr llyn mawr ynghanol coed, a gwlad wlyb gorsiog tu hwnt i hynny. Ar ochrau llyn fel hwn gwneir ffosydd dyfnion, llydain yn y pen agosaf i'r llyn, ond yn culhau i'r dim yn y pen pellaf oddiwrth y llyn. Gorchuddir yr holl ffos â rhwydau, crogedig ar frigau a physt; a gosodir ballegrwyd yn y pen pellaf. Ar ystlysau y ffosydd hyn, gwneir yma ac acw yn aml wrychoedd o hesg: gwneir gwrych o'r unrhyw ar ymyl y llyn, bob tu i'r ffos, i guddio'r cwbl o'r llyn: yn nghysgod hwn y chwareu yr adarwr ei ran. Wedi parottoi yr hudfa, rhaid i'r adarwr edrych a chyrchu ei hudyddion, y rhai ydynt Hwyaid gwylltion dofedig. Porthir y rhai hyn yn wastad wrth enau y ffosydd, a dysgir hwy i ddyfod yno wrth chwibaniad yr adarwr. Yn ngwyll y nos (canys yr adar gwylltion a ymborthant y nos) gellir clywed sŵn adenydd yr Hwyaid yn ehedeg o bell, os bydd yr hwyr yn dawel. Yr adarwr, yn gweled llawer o adar ar y llyn, a ystyria i ba ffos y gall hudo yr adar hawsaf. Yna, wedi hynny, efe a dafl had cywarch, neu ryw hud arall a nofia, i'r dwr, yn ngheg y ffos, ac ar wyneb y ffos hyd at y fallegrwyd: wedi hyn efe a chwibana, a'r hudyddion a frysiant yno, gan ddisgwyl ymborth, fel arferol; a lluaws o Hwyaid a'u dilyn hwynt, heb feddwl am y dinystr yr hwn sydd o'u blaen. Y mae eu harogliad mor gyflym, fel yr aroglent yr adarwr yn ddiattreg, oni bai ei fod yn wastad yn cadw mawnen dorredig fyglyd yn agos i'w anadl, rhag iddynt ei arogli. Yr Hwyaid Gwylltion fel hyn a ddilynant yr hudyddion i'r ffos, yn ddifeddwl am enbydrwydd, ac heb weled yr adarwr, y'nghysgod y gwrych. Ond fel y maent yn myned y'mlaen, wrth weled y lle yn myned gulach gulach, ymddangosant fel yn drwg-

dybio'r lle, ac ymddangosant fel pe baent am ddychwelyd yn ol; ond fe'u rhwystrir i wneuthur hyn trwy ymddangosiad yr adarwr. Dychwelyd am hynny ni feiddiant—ehedeg i fynu nid allant, oblegid y rhwydau; nid oes gan hynny le i fyned ond ym mlaen i'r fallegrwyd, lle y delir hwynt. Weithiau fe ddigwydd bod y rhai gwylltion mor gysglyd a marwaidd, fel na ddilynant yr hudyddion; yna arferir ci bychan addysgedig i ymwthio yn ol ac ym mlaen trwy yr hesg yn y gwrychoedd, a'r ci a dyn eu sylw atto, a hwy a ddygir felly i'r ffos. Rai prydiau bydd raid rhoddi ynghylch y ci gadach coch, neu ryw beth hynod, cyn y tynnir eu sylw atto. Nid â yr hudyddion i'r fallegrwyd; canys y maent wedi eu dysgu i ymsoddi i'r dwfr, pan y bo'r lleill yn myned i mewn.

Yr amser cyffredin i'w dal fel hyn, sydd o ddiwedd Hydref hyd Chwefror. Gosodir hudfa yn fynych yn Swydd Lincoln, wrth y flwyddyn, am o bum punt hyd yn ugain punt, a rhai am ddeg ar hugain. Anfonwyd mewn un tymhor *dros ddeng mil ar hugain o Hwyaid*, o bob math, o'r hudfeydd yn nghymmydogaeth Wainfleet. Delir y cyfryw nifer o honynt, fel y dywedir y byddai yn dda gan yr adarwyr gyttuno i'w gwerthu yn y trefydd amgylchiadol am ddeg ceiniog y *cwpl* wrth y flwyddyn.

Yn nesaf, rhoddwn ger bron ein darllenwyr hanes y dull o ddal Hwyaid, ac adar gwylltion eraill, yn China, yn y dwyrain. Pa bryd bynnag y gwelo yr adarwr nifedi o adar yn aros ar ryw lyn, neu gasgliad o ddwfr, y mae yn gwaghau crwyn dau neu dri o ffrwythydd mawrion y wlad honno, a elwir gan ein cymmydogion y Saeson, *gaurds*, ac yn gollwng y croen gwag i nofio ar wyneb y dwfr hyd nes elo i blith yr adar. Gellir gweled weithiau ugain, neu fwy, o'r rhai hyn yn nofio ar wyneb y llyn. Y mae yr adar ar y dechreu yn ammheüus, ac yn cilio rhagddynt; ond ym mhen ychydig y maent yn cynnefino â hwynt, ac yn agoshau attynt, ac yn hogi megis eu pigau ynddynt. Wedi y gwelo yr adarwr hwynt yn hollol ddiofn o barth y ffrwythau gwag hyn, ac yn chwareu megis â hwynt, y mae yn ymbarottoi i'w twyllo mewn gwirionedd, er eu dinystr. Y mae yn gwaghau un o'r ffrwythau hyn, o faintioli digonol iddo roddi ei ben ynddo; yna y mae yn gwneuthur tyllau ynddo ar gyfer ei enau, a'i lygaid; ac wedi gwneuthur hyn, efe a'i gwisg am ei ben. Yna efe a â yn araf i'r dwfr; a chan gadw yr holl gorph, oddieithr y pen cuddiedig, yn y dwfr, efe a symmud mor araf tu ag at yr adar, fel na feddyliant fod yno un peth arall oddieithr y ffrwyth gwag. Wedi y delo fel hyn i'w canol, efe a ddechreu eu dal, gan gydio yn eu traed, a'u tynnu i lawr i'r dwfr, a'u sicrhau wrth wregys darparedig: ac fel hyn y gwna hyd nes y bo wedi cael llwyth digonol. Wedi hyn efe a â yn ei ol yn yr un modd. Ac fel hyn yr ymwel ddwywaith neu dair yn y dydd â'r adar gwylltion hyn ar wyneb y llyn. O bob dull a modd o ddal adar gwylltion, hwn, y mae yn debyg, yw'r mwyaf llwyddiannus; canys hwn a arferir fynychaf ym mhlith pobl China. Er cryfed rhai o'r creaduriaid direswm, er gwyllted a chyflymed eraill, er trigo o rai o honynt yn ogofeydd y creigiau, ac yn nghilfachau yr anialwch, ac er trigo o eraill o honynt yn ac ar wyneb y dyfroedd; etto, nid oes yr un o honynt, yr hwn nid yw dyn, drwy ryw foddion neu gilydd, wedi dangos roddi iddo lywodraeth arno. Gweled ei ragor, a gogonedded yr hwn a'i parodd.

C.

## YSTAFELLOEDD Y MEIRW.

Yr hanes a roddwyd yn nghylch claddfâu yr hen Aiphtiaid sydd gyttun â hen arferion amryw wledydd dwyreiniol eraill. Cyffelyb gladdfâu tan-ddaearol a geir hefyd yn *Kief*, un o ddinasoedd deheuol Rwssia, yr hon oedd gynt yn brifddinas, a phreswylfod hen dywysogion y genedl honno. Cyssonai defodau y Rwssiaid, mewn llawer o bethau, ag arferion y dwyreinwyr wedi i ddefodau eraill fod yn gyffredin ym mhlith cenhedloedd mwy gwareiddiawg y gorllewin. Digwyddodd i mi, yn ddiweddar, ddarllen yn hanes yr ymdeithiwr Henderson y sylwadau canlynol, y rhai, medd efe, a allant fod yn ddefnyddiol i adlewyrchu peth eglurhad ar ymadroddion Ysgrythyrol.

Crybwylla yr ymdeithiwr pa fodd y disgynodd drwy dramwyfaoedd cyfyng i'r amryw ystafelloedd tanddaearol; ond y mae y cyrph yn llai lluosawg na'r rhai Aiphtaidd, ac wedi eu gosod mewn trefn hyd ochrau yr ystafelloedd, pob corph yn ei gilfach briodol. Perthyna y cyrph i hen fonachod, neu grefyddwyr a gawsant fawrglod gynt o herwydd eu disgyblaeth, a dygn gospiad y cnawd. Amlwg oddiwrth yr Ysgrythyr yw, mai cyffelyb, mewn rhan, oedd rhai claddfâu ym mhlith yr Israeliaid hefyd, megis eiddo y Patriarchiaid yn ogof Machpelah, beddrod brenhinoedd Judah yn Jerusalem, a chladdfâu teuluoedd eraill o îs radd. Yn y golwg y gwelir cymmwysder amryw ymadroddion cyffredin yn y llyfrau sanctaidd. O achos hyn y dywedir fod y meirw yn "disgyn i'r pydew," hynny yw yma, ogof neu ystafell tan-ddaearol: megis *Ezec.* 32. 23. "Yr hon y rhoddwyd eu beddau yn ystlysau y pwll," &c. Yn *Esa.* 14. 15. "ystlysau y ffos" yw yr ymadrodd, a dywedir yn *adn.* 18. eu bod yn gorwedd "bob un yn ei dŷ," sef yn ei gilfach "ei hun." Yn *Esa.* 57. 2. "Hwy a orphwysant yn eu hystafelloedd." Oddiwrth hyn hefyd y sonir am "gasglu y meirw at eu tadau," ac "i dŷ eu hir gartref."

Prydferthwch mawryddig yr ymadrodd yn *Esa.* 14. 9. ni ellir ei amgyffred heb olygu ar yr hen arfer hon o gyd-gladdu a gosod y cyrph ynghyd mewn ystafelloedd ehang. Pan ddarfu am frenhin Babilon, a nesâu o hono yntau at y beddrod, darlunia y Prophwyd y Pennaethiaid a gladdesid yno o'r blaen, ac a orthrymasid ganddo, megis yn adfywio, ac wedi codi i fynu bob un o'i orweddle, yn myned i ddrws yr ogof i gyfarfod eu hen orthrymydd, ac i'w ddirmygu ar ei ryfeddol gwymp, megis pan syrthiodd o'r nefoedd Lucifer, mab y wawr ddydd.

Dywedir na chladdwyd rhai o'r brenhinoedd drwg yn y beddrod brenhinol, megis barn am eu drwg fucheddau o'r blaen. Ymddengys y dirmyg yn eglurach pan ystyrir mor fawryddig a gorwych oedd y beddrodau a barottoisid i'r teulu brenhinol, lle y gorweddent mewn ystafell gyffredin, eithr pob un yn ei gilfach briodol. A.

---

## MYFYRDODAU

### AR YMDDANGOSIAD YR EIR-FLODEUYN (*SNOW-DROP.*)

Gwedi i'r hen ddaearen gael gollyngdod o'r llyffetheiriau cedyrn a osododd y rhew diweddar arni, aethum, Mr. Gwyliedydd, ar ryw forau teg a rhywiog i'm gardd, ac yno, gan wrando ar yr adar yn y goedwig gogyfer megis yn ymorchestu mewn peroriaeth, a'r naill yn eiddigeddu wrth ymbyngciadau y llall, ac wrth hir rodio oddi amgylch y llwyni, a chraffu ar addarddiad y planhigion, canfyddais o'r diwedd y blodeuyn bychan hwnnw a elwir y *Snow-drop* yn dechreu ymagor. Llawenychodd fy

yspryd pan welais y rhagflaenydd ffyddlon hwn o'r Gwanwyn, ac o wir gariad tu ag atto cymmerais ef oddiar ei droed gwyrddlas, a gosodais ef yn y lle mwyaf clyd yn fy meddiant, sef yn fy mynwes. Yr oeddwn yn edrych yn aml ar yr addurn bychan gyda rhyw deimladau rhyfedd o falchaidd ac ysgafn, am ei fod yn fy nhrosglwyddo, yn ddiarwybod, i ganol y tymmor hyfryd a rag-ddangosai. Wrth fynych syllu arno gwelais ei ben serchog yn gogwyddo, yna yn gwywo, ac wrth farw, tybiais yn fy nghalon i mi ei glywed yn dywedyd wrthyf, "yn ei lef ddistaw fain," fel hyn:—

"Wr ieuangc,—Gwel ynof fi ddarlun cywir o honot dy hun! Nid cynt yr ymddangosais yn y byd nag y darfu am fy hoedl! gynneu yr oeddwn yn harddu gwyneb y greadigaeth, yn awr yr wyf yn gwywo, yn diflannu, ac yn marw! Ychydig yn ol yr oeddwn am dyfu i fynu, a blodeuo, a mwynhau yr hin dymmoraidd ag sydd yn dyfod ym mlaen, ond ofer fy holl fwriad! y mae fy mywyd gwedi darfod, "a'm lle nid edwyn mo honof mwy?" Ychydig yn ol yr oedd yr hen ddaearen megis mam gynnes yn fy meithrin, mwyach ni chaf brofi o'i nawdd! gynneu yr oedd gennyf gyfeillion a chyfeillesau lawer yn codi i fynu yn yr un gwely; ond myfi yr hynaf a gymmerwyd, a hwy a adawyd, ac ni ddychwelaf fi mwy attynt hwy, ond hwy a ddiflanant megis minnau ym mhen ychydig bach! Felly tithau, wr ieuangc, nid wyt ond megis blodeuyn yn ymddangos dros ennyd fechan yn y byd, ti a ddiflenni yn union! Er dy fod heddyw yn dlws yn nghreadigaeth Duw, ac yn harddwch ym mhlith dy gyfoedion, ti a ddychweli yn union i'th lwch dechreuol. Er dy fod yn awr megis yn Ngwanwyn dy amser, ac yn edrych ym mlaen tu ag at Haf-ddydd einioes, y nos hon, fe allai, y gofynir dy enaid oddi wrthyt. Er fod dy ruddiau heddyw yn hardd ac yn wridog, y fory angau a bâr iddynt fod mor laswyn a'm gwynebpryd innau: heddyw y mae gennyt dad tyner a mam ofalus, y fory nid rhaid i ti wrth eu gwasanaeth. Er fod gennyt lawer o frodyr a chwiorydd anwyl, etto cei dy ysgaru oddi wrthynt am byth, ac ni ddychweli di attynt hwy, ond hwy a ddeuant i'r un lle ag yr wyt ti yn myned. Am hynny bydd barod! bydd barod! oblegid megis y buaist ti mor greulon a'm torri i lawr cyn cyrhaeddyd o honof fy nghyflawn oed, felly y daw angau mewn awr nad wyt yn ddisgwyl, ac a'th dyr dithau o dir y rhai byw ym moreuddydd dy fywyd."

BACHGENYN.

*Chwefror 9fed.*

---

## RHAGORIAETHAU DYSGEIDIAETH.

"Côf-adail o ddysg sy fwyaf parhaol."

CROESAW it' addurn gwychaf dynoliaeth! trwot ti y galluogir dyn i weled hawddgarwch, prydferthwch, a godidogrwydd rhinwedd; yn dy oleuni disglaerwych di y gwelir moesau da yn rhagori ar fywyd anifeilaidd y dosparth iselaf o bobl; yn dy belydrau gloywwych di y galluogir dynion i dreiddio i ddirgeledd naturiaethau; trwot ti y ceir allan bethau rhyfeddol mewn perthynas i'r bydoedd tanllyd uwch ben; ie, ceir allan yn ein hoes ni bethau a fuasai yn anghredadwy gan Copernicus ei hun, yn yr oesoedd a aethant heibio, trwy lafur diflino Newton a'i ddisgyblion. Ond lles pennaf dysg a gwybodaeth ydyw, mai trwyddynt hwy y ceir golwg ar y "porth cyfyng," a hyfforddiadau i rodio y "llwybr cul:" ni byddai ond oferedd i'r annysgedig geisio cyssoni pethau ag y sydd yn ymddangos yn hollol groes i'w gilydd yn yr Ys-

grythyr Lân; ond trwy gyfrwng dysgeidiaeth galluogir ein Gweinidogion ffyddlon i ddangos pethau fel y maent. Da fydd gennyf weled, trwy gyfrwng y GWYLIEDYDD, fod dysg a chywreinrwydd yn dyrchafu eu pennau yn Ngwynedd yr oes hon; ond etto gwell fyddai gennyf weled mwy o awydd cyrhaeddyd gwybodaeth ym mryd gwron ein bröydd nag y sydd i'w ganfod hyd yn hyn, a hynny mewn amser cyfaddas, sef mewn ieuengctid.

Ond os treulir y rhan foreuol o'r oes mewn gwagedd ac oferedd, ni bydd lle i ddisgwyl fawr o ddiddanwch na ffrwyth i'w weled mewn henaint. Rhaid ei bod yn ofidus ar y meddwl pan y byddo heb un math o orchwyl i fyfyriaw yn ei gylch, nac un digrifwch i ymfoddloni ynddo, a chan na allwn fwynhau digrifwch ym mhob man, nac ychwaith archwaethu pleser bob amser, y mae yn angenrheidiol bod gennym ryw waith neillduol i'r meddwl. Gallwn ddilyn y pleser hwn, a'r digrifwch arall; gallwn ymhoffi dros ychydig yn nghaffaeliad gwrthddrych a fyddom yn ei garu; ond pan y byddo tegwch newydd-dir wedi gwisgo ymaith, a bywiogrwydd ein dymuniad cyntaf wedi myned heibio, buan y symmud y serch oddiwrth hoffder awyddus at ddiduedd garwch oer. Yna y mae terfysg ddiorphwys yn codi yn y meddwl, beunydd yn ymgais am ryw beth newydd, a phan gaffer, yn methu ymfoddloni ynddo, ac fel y byddo henaint yn neshau, y mae y pruddglwyf yn cynnyddu, megis cysgod yn ymestyn at yr hwyr. Y mae dynion o'r argraph hon yn dueddol iawn i ddyweyd "fod y byd yn waeth nag ydoedd er ys talm;" ond, y gwir yw, nad ydynt hwy yn cael y fath flas ar bleserau mewn henaint ag a fuont; oblegid bu bywiogrwydd ieuengctid yn eu dangos iddynt mewn gwahanol oleuni, rhagor y peth y maent hwy yn eu gweled yn awr. Pan y byddo dyn yn foddlon iddo ei hunan, y mae yn dueddol o fod felly i bawb a fyddo o'i amgylch; y mae gwynebpryd natur y pryd hwn yn ymddangos yn fwy disglaer iddo, ac y mae pelyderau yr haul yn tywynu yn fwy hyfryd i'w olwg y pryd hwn nag arferol; ond pan ddelo henaint i ysgaru rhyngddo a'r mwynhâd o'i bleserau gau, pan y byddo ei gynnefindra â drygioni wedi tynnu ymaith ei archwaeth oddiwrth bethau parhaol a sylweddol; os edrych yn ol ar ei rodiad a'i fuchedd, ni bydd ganddo ddim i'w weled ond gwlad lydan o dir heb ei amaethu, enaid annhymmerus gan y ddueg *(spleen)* cydwybod yn cnoi, annheimladrwydd o bob boddlonrwydd rhesymol yn drwg liwio, ac yn diwyno, pob gwrthddrych. Nid ydym i dadogi y cyfnewidiad hwn i'r amseroedd, ond iddynt hwy; oblegid fod eu pleserau wedi eu gadael, ac am nad ydynt, yn bresennol, yn teimlo un gradd o hoffder at ddigrifwch ieuengctid.

O! y fath wahaniaeth anfesurol sy rhwng y fath yma o bobl a'r rhai a gasglant iddynt eu hunain drysor anhysbyddadwy o wybodaeth. Pan y byddo dyn yn treulio ei amser i gael gafael ar ryw wirionedd safadwy, y mae ei gydwybod yn cyddystio âg ef ei fod yn gweithredu yn unol ag anrhydedd ei natur, ac oddi ar y dystiolaeth hon o eiddo ei gydwybod y mae y boddlonrwydd tawel hwnnw yn deilliaw, yr hwn, er nad ydyw mor gryf, sydd yn fil rhagorach na phleserau bywyd anifeilaidd. Gall fyned ym mlaen o nerth i nerth, oblegid y mae dyn yn ymestyn at wybodaeth yn debyg i ryfelwr glew, y mae pob buddugoliaeth y mae yn ennill, yn ei allluogi i ennill brwydrau eraill, ac i helaethu ymerodraeth ei reswm. Fel hyn y mae yn wastad mewn cyflwr cynnyddol, yn cyrhaeddyd ychwaneg o wybodaeth yn feunydd-

iol, ac yn cysuro ei hunan â gobaith o ddatguddiadau newyddion rhag llaw.

Os rhynga bodd i Dduw alw dyn i'r swydd oruchel o fugeilio ei eglwys filwriaethus yn y byd, meddyliwn y caiff weled y pryd hynny fod ei waith yn ddigon trwm iddo, pe byddai y mwyaf dysgedig ar y ddaear. Gan hynny, cyn y delo yr amser hwnnw, buddiol iawn fyddai iddo ddarparu iddo ei hunan wybodaeth angenrheidiol gogyfer a'r gorchwyl, onid ê, pan y dylai fod yn adeiladu, bydd yn y drafferth o chwilio am ddefnyddiau, a'u dwyn ynghyd. Heblaw hynny, os na bydd dyn, ym moreu ei amser, wedi bod yn arferol â rhagfyfyrio yn ystyriol, anfynych y mae yr ymarferiad yn greddfu ynddo pan y delo i oedran; y mae dyn, y pryd hynny, yn cael ei dynnu â gwrthlif gofalon bydol, ac yn methu dyfod allan o hono, nes, o'r diwedd, o ddiffyg ymarferiadau ysprydol, y mae cynneddfau yr enaid yn soddi i ddiogi, ac yn parhau yn y musgrellni ysprydol hwn hyd nes delo y " nos, pryd na ddichon neb weithio."

Dedwydd, gan hynny, ydyw y dyn, yr hwn, mewn ieuengctid, a gyrhaeddo archwaeth at unigedd sanctaidd. Dedwydd, meddaf, yw y dyn a gaffo y fraint, ym moreuddydd ei amser, i ymgynnefino â dwyn iau disgyblaeth Crist, yr hwn a eistedda ei hunan mewn distawrwydd, ac a chwilia yn fanwl am ddoethineb yn y lle y mae i'w chael, sef yn Ysgrythyrau y ffydd, ac ym mhlith ysgrifeniadau y saint. O'r blodau paradwysaidd hyn y sugna fêl gwybodaeth, a chariad dwyfol, ac â hwnnw y lleinw bob cell o'i ddeall a'i serch. Nid yw gauaf cystudd, afiechyd, a henaint, yn dal hwn mewn cyflwr ammharod. Mewn amser peryglus ni ddyrysir ef, ac mewn tywydd chwerw, a chroes awelon, bydd ganddo ddigon i'w gysuro ei hunan a'i frodyr. Gwerthfawroccach na gemmau yw oriau ieuengctid ac iechyd! na adawer i un o honynt fyned heibio yn ddi fudd; oblegid, yn sicr, y maent yn gwneuthur iddynt eu hunain adenydd, ac fel aderyn y maent yn rhwygo yr awyr, ac ni ellir eu haddryweddu na'u mwynhau byth eilwaith. Os wedi eu hiawn-dreulio ehedant i'r nefoedd i adrodd newyddion a lawenychant angylion, a chyfarfyddant â ni eilwaith fel tystion o'n tu ger bron brawdle ein Harglwydd. Pan redo grasusau amser i ogoniant tragywyddol, O! pa fath waelbeth i'n golwg yr ymddengys y llafur a ennillodd i ni, trwy ras, orphwysfa dragywyddol! am yr hon orphwysfa y bu yr apostolion yn ymboeni ddydd a nos, ac am hon hefyd ni wrthododd y merthyron eu haberthu.

BRADWEN.

---

MR. GWYLIEDYDD,—Os canfyddwch y talfyriad isod o lythyr a dderbyniais yn ddiweddar oddiwrth gyfaill, sef Mr. James Lisk, un o Genhadon y Gymdeithas Genhadol Eglwysig, yn addas i'w roddi ar ddalenau disglaer eich Cyhoeddiad, dyma ef at eich gwasanaeth.—Yr eiddoch, yn ddiysgog,

GWILYM EDWEN.

LLUNDAIN.

## DEHEUBARTH CYMRU NEWYDD.

FY ANWYL GYFAILL,—Lle truenus iawn ydyw hwn: nid wyf yn meddwl bod un rhan o *St. Giles's** cyn waethed. Y trigolion ydynt yn euog o feddwdod a rhysedd o bob math i raddau dirfawr; ariangarwch hefyd sydd yma yn wreiddyn pob drwg. Eu prif wrthddrych ydyw meddiannu arian, ni waeth pa sut, na thrwy ba foddion. Ni

---

* Lloches pob drygioni yn Llundain ydyw *St. Giles*.

chedwir y Sabboth ond mewn rhan: ond ni achosir hyn gan ddiffyg moddion ychwaith, oblegid fod yma ddwy Eglwys, dau Gapel, ac un Eglwys Ysgotaidd, *(Kirk)* areithfäau y rhai a feddiennir gan weinidogion duwiol ddwy waith bob Sabboth, ac amryw weithiau yn nghorph yr wythnos. Etto, ysywaeth, caledwyd calonnau y bobl hyn; maent yn caru meluschwantau yn fwy nag yn caru Duw. Pwy a pha beth a wnaeth i ni ragori arnynt hwy? I ras, ïe, i ras y byddo 'r moliant!

Ond, efallai, y byddwch barod i ofyn, Pa fath greaduriaid ydyw Cyntefigion Deheubarth Cymru Newydd? Attebaf, maent fel pob cenedl anwar arall, yn grwydredig, ac yn anymddibynol; etto, yn dra swrth a segurllyd yn eu hymddygiad; anewyllysgar i weithio, ac i ymdrechu yn erbyn anhawsderau, oddieithr pan eu cymhellir gan dostedd newyn, neu pan eu cyffröir gan nwydau ymddialgar, neu gan awydd am bethau newyddion, neu serch gweled eu cyfeillion; ïe, yn iaith yr Ysgrythyr, "Duw y rhai yw eu bol;" ac i ddiwallu hwn, cymhellir hwynt i lafurio am ychydig amser; canys ymborth ydyw y cyfan gyda hwynt, am hyn y maent yn bur awyddus; etto, gwelir yn eu mysg, megis yn ein plith ninnau, wahaniaeth oddiwrth y rheol gyffredin hon. Cynneddfau rhai ydynt yn fwy bywiog, a gellir eu gweled yn ymroi at ddiwydrwydd, yn enwedig os caniatteir iddynt fedi o ffrwyth eu llafur, yr hyn, hyd yma, ni chawsant ond yn anaml; rhy fynych yn wir gwobrwyir hwynt yn wael iawn am eu gwaith. "O, dynion duon ydynt, gwnewch iddynt weithio," yw iaith llawer yma, gan anghofio ein bod ni yn ymgyfoethogi ar eu tir a'u meddiannau hwynt. Gwirionedd alaethus yw, y gorthrymmir hwynt yn greulon! llawenychai niferoedd pe caent eu hollol ddiddymmu! Ni feddylir mwy am saethu dyn du, nag am saethu anifail gwyllt! Gan ein bod ni, y Saeson, wedi casglu golud mawr yma, a chan i ni gael ein geni mewn gwlad Gristionogol, dylem ddangos teimlad Cristionogaidd tu ag attynt. Mor drom fydd y farnedigaeth ar y rhai a attaliant freintiau crefyddol oddiwrth y genhedlaeth druenus hon!

Er pan wyf yma, tramwyais lawer ym mhlith y trigolion, a chefais gyfleusdra i sylwi ar eu harferion neillduol; rhai o honynt a fynegaf i chwi. Yn y gwanwyn arferant ymgyrchu i'r dyffrynoedd a'r dolydd isel i gasglu mêl, lle y ceir ef yn fwyaf toreithiawg yn y tymmor hwn, gan mai hwn ydyw eu lluniaeth mwyaf cyffredin. Yn yr haf ceir hwynt yn nghymydogaethau yr afonydd enwoccaf am bysgod, neu ar lànau y môr. Yn niwedd y flwyddyn dechreuant ymadael o'r lleoedd agored, a chyrchant tu a'r mannau mwyaf coediog a chysgodol, lle y ceir y *Kangaroo* mewn nifer lluosog. Os byddant ar gyfer preswylfeydd Ewropiaid, gwelir hwynt yno yn lluosoccach y pryd hwn nag un amser arall. Yn y gauaf cyfanneddant yn y parthau mwyaf creigiog a mân-goediog. Yn ystod pob tymmor ymdeithiant dros 50 neu 60 milltir. Cydunant ddau wersyll neu dri, ond nid un amser nes ar ol codiad yr haul, a symmudiad y gwlith. Wrth dramwy chwiliant yn fanwl bob coeden a dybiant fod eu hysglyfaeth ynddi, tra y bydd eu llygaid yn tremio 'r llawr i ganfod ôl traed yr anifeiliaid. Cymmerant eu gwaewffyn, neu 'r *Tomahawk*, gyda hwynt, a'u cŵn hefyd os bydd angenrhaid, ac wrth ymweled â'r lleoedd tebyccaf i gael helwriaeth, curant y twmpathau, os byddant ar dir agored, neu lle y tyf coed mân. Goddeithiant y

glaswellt er gwasgaru y bwystfilod a lochesant ynddo; ac yn gyffredin lladdant y creadur âg un dyrnod, a blingant ef tra y mae yn dwym. Eithr nid ydynt oll mor foethus a hyn; canys gosodant eu hysglyfaeth ar y tân heb ddiosg ei groen, ac heb dynnu allan ei goludd. Nid ymddengys eu bod yn deall defnyddioldeb dwfr er glanhau eu cyrph, nac er trin eu hymborth, ond yn unig i'w yfed. Tybiais yn wir fod yr Affricaniaid* yn dra gresynus, ond mae creaduriaid truenus y wlad hon wedi suddo yn ddyfnach na hwynt mewn pob math o anweddeidd-dra! Ond pa drueni ac anwybodaeth a all wrthsefyll yr Efengyl, pan ei dilynir â bendith Yspryd Duw? Gan hynny, mae gennym annogaeth i fyned ym mlaen, gan ymddiried i'r Hwn a ddywedodd, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur; ac wele yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."

Y mae ein llong yr *Herald* newydd dirio yma o *New Zealand*, gan ddwyn Mr. Davies, a rhai o frodorion *New Zealand*, a ddaethant i ymweled â'r wlad hon, gan fod sôn am sefydlu Cenhadaeth yma i'r sawl a ddymunant gael cyfleusdra i fyw yn llonydd, ac i orphen eu dyddiau heb ryfela, yr hyn ni allant wneuthur yn eu gwlad eu hunain, am y gommeddir hwynt gan y llwythau cymmydogaethol. Rhaid yn gyntaf gael cydsyniad y llywodraeth gartref. Bwriada Mr. Davies ysgrifennu attoch: mae efe, ei wraig, a'i saith blentyn yn iach: felly hefyd mae ein cyfeillion eraill. Arddangosant amgylchiadau yn *New Zealand* arwyddion boddlongar.——Yr eiddoch, &c.

J. L.

*Sydney, New South Wales,*
Medi 29, 1827.

* Bu Mr. L. yn Genhadwr yn *Sierra Leone* cyn myned i'r wlad lle mae yn awr.

HYNAFIAETH.

Mr. Gwyliedydd—Gan na welais yn eich Cyhoeddiad clodfawr a chymmeradwy, am yr ydwyf yn ei gofio, un ran o *Frut y Brenhinoedd*, na *Brut y Tywysogion*, nac o *Drioedd Ynys Brydain*, anturiaf anfon i chwi yn achlysurol, ryw bigion ó bob un: ond yn gyntaf tybiaf y byddai yn ddywenydd gan lawer o'ch darllenyddion weled ychydig o'r Trioedd, gan nad ydynt yn sathredig nac yn gyffredin yn ein gwlad. Cafwyd yr adysgrif ganlynol yn llyfr-gell Hengwrt. Gwaith Mr. Robert Vaughan, yr Hynafieithydd, ydoedd; ac ail-ysgrifenwyd gan Mr. Lewis Morris, yn y flwyddyn 1738. Y mae hefyd wedi ei gyd-gymmharu â'r llyfrau canlynol; sef, yr eiddo John Bulmer, yn cynnwys 70 o du-dalennau; Y Llyfr Cwtta, 58; Llyfr Meredydd Llwyd, 56; Llyfr John Jones, o'r Gelli Lyfdy;—y tri cyntaf ar femrwn.——Ydwyf yr eiddoch,

P. B. W.

TRIOEDD YNYS PRYDAIN.

1. Tri Enw yr Ynys hon—y cyntaf cyn ei chyfanneddu y gelwid hi, Clâs* Merddin: wedi ei chyfanneddu y gelwid hi, *Y Fel Ynys:* ac wedi ei gorescyn o *Frut*, y dodes arni, Ynys Brut:—mewn rhai llyfrau fel hyn—Ac wedi gorescyn o *Prydain*, mab Aedd Mawr, y dodes arni, Ynys *Prydain*.

2. Tair Prif-rân Ynys Prydain—Lloegr, Cymru, a'r Alban; sef yw hŷd yr Ynys hon, o Benrhyn Blathäon, y Mrydyn, hyd yn Mhenrhyn Penwaeth, yn Nghernyw, naw cant milldir; a'i lled, o Griccyll yn Môn hyd yn *Sorram*, pum cant milldir. Ac hi a gynhelir dan un goron a thair talaith. Ac yn Llundain gwisgo y goron; ac yn Mhenrhyn, yn y Gogledd, un o'r

* Clâs Meitin, medd Llyfr arall Robert Vaughan.

taleithiau; arall yn Aberffraw; a'r trydydd yn Nghernyw.

3. Tair Prif Borthfa Ynys Prydain—1. Porth Ysgewin, yn Ngwent—2. Porth Wygyr, yn Môn—3. Porth Wyddno, yn y Gogledd.

4. Tair Prif Afon Ynys Prydain—1. Temys—2. Hafren—3. Hymyr.

5. Tair Prif Rag-ynys y sydd iddi—1. Orc—2. Manaw—3. Ynys Weith.

6. Ac ynddi y mae wyth ar ugain o Brif Gaerydd, nid amgen—1. Caer Alclwyd, neu Caer ar Clwyd—Dunbritan, Dunbarton;—2. Caer Efrawg, Caer Ebrawc—York;—3. Caer Geint—Canterbury;—4. Caer Wrangon, Caer Vrangon—Brangonium, Worcester;—5. Caer Lundain—London;—6. Caer Lirion—Lyrcester, Leicester;—7. Caer Colun—Colchester;—8. Caer Loyw—Gloucester; 9. Caer Ceri—Corinium, Cirencester;—10. Caer Wynt—Venta Belgarum, Winchester;—11. Caer Went—Venta Silurum; Câs-Went—Chepstow;—12. Caer Wysg, neu Caer Lleon ar Wysg;—13. Caer Grant, neu Caer Grawnt—Cambridge;—14. Caer Daur, Caer Dorin—Dorchester;—15. Caer Lwytcoed—Lindum, Lincoln;—16. Caer Urnach, Caer Gusien, Caer Garicon—Wroxeter;—17. Caer Vuddei, Caer Segent—Silchester;—18. Caer Lleon Gawr, Caer Lleon ar Ddyfrdwy—Chester;—19. Caer Celemion—Camalet in Somersetshire, or Camelot in Scotland;—20. Caer Gorgorn, Caer Gorgyrn, Caer Gorcon, Caer Gortigern, Caer Vymbir, Rhydychen—Oxford;—21. Caer Mygit, Caer Megwad—Medfolanum;—22. Caer Lisidid, Caer Lualid, Caer Diball—Luguvallum, Carlisle;—23. Caer Peris, Caer Poris, Caer Gwrgant—Porchester;—24. Caer Weir—Werwick now, a Village in Cumberland. O Gaer Weir i Gaer Liwelydd; *i. e.* from the City of Werwick to Carlisle;—25. Caer Widawlweir, Caer Wair—Warwick;—26. Caer Caradoc, Caer Wallawc—Salisbury;—27. Caer Esc—Exeter;—28. Caer Gorgorn, anadnabyddus yr awrhon, medd Mr. Robert Vaughan: medd eraill, Llan Illtyd yn Morganwg ydyw, ac a elwir hefyd, Caer Wyrgorn.

At y rhai uchod yr ychwanegir yn gyffredin saith eraill, sef yw hynny—1. Caer Ffawydd, Ariconium, Erging, Irchenfield, Hereford, Henffordd;—2. Caer Gai, yn Mhenllyn, Meirion—Caer Gai hir ap Cynyr;—3. Caer Fyrddin, Caer Ferddin—Carmarthen;—4. Caer Septon, Caer Rhun Paladr Vrâs—Shaftsbury;—5. Caer Baddon, Caer Bleiddyn, neu Bleiddyd Ddoeth—Bath;—6. Caer Arfon, Caer yn Arfon, Caer Segont, Caer Seiont, Caer Cystenyn, Caer Custenydd, Caer Sallawg;—7. Caer Lynn—nis gwyddis pa un ydyw. Mewn rhai ysgrifeniadau, medd Mr. Vaughan, y mae Caer Ennarawd yn lle Caer Paladur, yr hon, fel y tybia efe, oedd Ennerton Walls, pum milldir o Lwydlo, yn Swydd y Mwythig. Rhai o'r caerau a'r dinasoedd rhagflaenol (medd efe) sydd wedi diwreiddiaw yn wallus, eraill yn gyweir gyfannedd etto. Caer Fyddau, Caer Cori, yw Chichester, medd eraill. Caer Dugoll yw y Mwythig, neu Am-wythig. At y rhai hyn ychwanegir y rhai canlynol:—Caer Collwyn, neu Twr Bronwen, Harlech; Caer Gyffin, Aberconwy; Caer Odor, yn Nant Baddon—Bristol; Caer Werydd, Caer Lawn—Lancaster; Caer Eiddin, yn y Gogledd, Edinburgh; Caer Rhianedd yn y Gogledd, Durham; Morfa Rhianedd, yn agos i Gonwy; Ynys Afallon, Ynys Wydrin—Glastonbury; Dinwydr, Widrington; Caer Gawr, Stonehenge; Maes Mawr, Salisbury plain; Caer Alun, Hwlffordd; Ynys Weith, Isle

of Wight; Caer Dawn, Doncaster; Llan Eurgain, Northope; Caer Gwrle, Estyn Hope; Yr Wyddgrug, Mold; Maelor, Bromfield; Gaer Bladdon, Malmsbury; Hawarden, Pen ar Lag; yr Heledd Wen, Nantwich; Porth Hamon, Southampton; Ereinwg, Herefordshire; Mancwyn, Maengwyn, neu Maen-achwyn, Achwyn-faen (*the Echo Rock*) Manchester. (*See Whitaker's Hist. of Manchester.*) Aber Daugleddau, Milford Haven; Abergwaun, Fishguard; Trefdraeth, Newport, Pembrokeshire.

7. Teir Archesgawb Ynys Prydain—Un o Lundain—yr ail o Gaer Efrawg—a'r drydydd o Gaer Lleon ar Wysg. Llyfrau eraill fel hyn: Un o Gaer Geint—yr ail o Gaer Efrawg—a'r drydydd o Fynyw. Ac nid oes dyled i neb ar yr Ynys hon, namyn i Genedl Gymry ei hun; gweddillion y Bryttaniaid a ddaethant gynt o Gaer Dro.

8. Tri Lleithig Llwyth Ynys Prydain—1. Arthur yn Benteyrnedd, yn Gaer Lleon ar Wysg; a Dewi yn Ben Esgob; a Maelgwyn Gwynedd yn Ben Hynaif. Eraill fel hyn:—2. Arthur yn Ben Teyrnedd, yn Nghelliwig, y'Nghernyw; a Betwini yn Ben Esgob (Betwini, Esgob pennaf Cernyw); a Charadoc Freichfras yn Ben Hynaif.—3. Arthur yn Benteyrnedd yn Penrhyn Rhianedd, yn y Gogledd; a Chyndeyrn Garthwys yn Ben Esgob; a Gwrthmwl Wledig yn Ben Hynaif.

9. Tri Hael Ynys Prydain—1. Rhydderch Hael ap Tudwal Tudclud;—2. Mordaf Hael mab Serfan;—3. Nudd Hael fab Senyllt.

10. Tri Gwyn Teyrn Ynys Prydain—1. Rhun mab Maelgwn;—2. Ywein mab Urien;—3. Rhufawn Befr, mab Deorath neu Dewrath Wledig.

11. Tri Deifniawg Ynys Prydain—1. Gwalmai mab Gwyar;—2. Llechai mab Arthur;—3. Rhiwallawn Wallt Banhadlen.

12. Tri Phost Cad Ynys Prydain—1. Dunawd Fur (Dunawd Fawr ap Pabo—*Index;* Dunawt Fyr—*Brut y Tywysogion;* Dunawd Uwr—*Ysgrif-law y Dr. Davies, yn Bonedd y Saint*) mab Pabo Post Prydain;—2. Gwallawn mab Lleenawg;—3. Cynfelyn Drwsgl.

13. Tri Tharw Cad Ynys Prydain—1. Cynfawr Cadwg mab Cynwyd Cynwydon;—2. Gwenddoleu mab Ceidio;—3. Urien mab Cynfarch.

14. Tri Lleddf Unben Ynys Prydain—1. Manawydan mab Llyr Llediaith;—2. Llywarch Hen mab Elidir Lydanwyn;—3. Gwgawn Gwrawn mab Peredur mab Elifer Gosgorddfawr—ac ysef, achaws y gelwid hwy, Lleddf Unben, wrth na cheisient gyfoeth, ac na allai neb ei luddias iddynt.

(*I'w barhâu.*)

---

## ATTEBIAD.

Mr. Gwyliedydd,—Gwelais ofyniad yn eich Rhifyn diweddaf mewn perthynas i hen law ysgrifen a gafwyd yn Bodrhyddan, yn Swydd Fflint, fel y canlyn:—

"Pen y neidr,<br>Cerddediad lleidr,<br>Golwg angel,<br>Llais y cythrael." } *Atteb.* Y PAUN.

---

## MELGAWAD.

Mr. Gwyliedydd—Yn yr haf diweddaf, gwelwyd, ar brydiau, helaethrwydd o wlybwr gludiog a melus yn hulio dail y coed, ac yn diferu i'r llawr: a gelwir ef, yn gyffredin, y felgafod (*milligo*) neu y gafod fel.—Dywenydd i amryw o'ch darllenwyr fyddai gwybod, gan rai o'ch Gohebwyr dysgedig am achos ac effaith y felgawad, a pha un ai bod y gwenyn yn gwneud defnydd o honi, ai nad ydynt? Tegai.

# BARDDONIAETH.

## ENGLYNION

A WNAED WEDI BOD YN GWELED YR ANEIRIF LUNIAU SYDD YN Y *ROYAL ACADEMY, SOMERSET HOUSE*, LLUNDAIN.

Rhyfeddodau gau i gyd——a welais,
Eilun waith celfyddyd;
Delwon bach, dylion y byd,
A bawaidd heb ddim bywyd.

Llun dynion, meirwon, ar y muriau——'n llawn,
A llun arglwyddesau;
Llun cŵn meirw, a llun teirw tau,
Neu fuchod mewn cilfachau.

Llun Esgyb mewn llawn osgedd,——llun maerod,
A llun meirch rhygyng-wedd;
Llun temlau, a lluniau lledd
Llènodrion, a llun nadredd.

Hud llygaid a gaid o gŵr——bwygilydd,
Eu gwel'd yn y pentwr;
Ow sych! ni chai 'r edrychwr,
Y Maen teg o mewn y twr. *Mat.* 13. 46.

Beth yw 'r byd ynfyd enfawr,—a'i lawnder,
Ond eilun-dy dirfawr?
Llawn tremiau, lluniau tramawr,
O ryfedd gymmysgedd mawr.

Yn llys gwawl nefawl ein Naf—areulaidd
Mae 'r olwg hyfrydaf;
Gweled Iesu, cu Oen caf,
A melus yno 'i molaf.

*D—ytf—rd.* J. H.

---

## ENGLYNION

AR FARWOLAETH J. PARRY, *neu* PARRI FARDD, O'R DEILDREF LLANUWCHLLYN.

Nid oes beunydd ond dwys boenau,——a chur,
Chwerwon ddygwyddiadau,
Ing, mewn byd anghymen bau,
Symudiad a siomiadau.

Minnau sydd ym min soddi——o hiraeth,
Herwydd angau Parri:
Mae briw yn awr i'm bron i,
Argyllaeth mawr o'i golli.

Yn iach gyfeillach a fu——i'r fynwes,
Mor fwynaidd a gwiwgu;
Am wr call, am oriau cu,
Fy enaid sy 'n griddfanu.

Ow! o'i golli pwy gallach?——pa wr gaf?
Pwy wir gyfaill purach?
Er cwyno 'n wir canu 'n iach,
I wr di ball raid bellach.

MAWRTH, 1829.

Cofio i'n rodio ar hyd——y dolydd,
Sy 'n delwi fy yspryd,
Poen ac ing yw; pyncio 'nghyd,
I fy nwyfron fu 'n hyfryd.

Mor ddiddan amryw ddyddiau,—cynnem
Anian ein meddyliau;
Un galon dirion ein dau,
Un feddwl ac un foddau.

Rhyw oeraidd egraidd ddagrau,——Ow! a gaf,
Wrth gofio 'i ganiadau:
Nid oedd, i'n gwahanu 'n dau,
Ai rhyngom ond yr angau.

Ei bridd fydd anwyl i'm bron,—cof o'i edw
Cu fwyn fydd i'm calon,
A'i ddenawl ymddiddanion,
Cywir hardd, tra cura hon.

Yr addien Dduw a'i rhoddodd, ——yn ol,
I'w hawdd fe 'i cymerodd;
Iesu mad a'i symudodd,
I ail fyd yn ol ei fodd.

Am wir elw ymorolwn——ninau,
Awn yno ryw ddwthwn;
Am gu Iesu ymgeisiwn,
Ion Lyw Nef, un lŷn yw hwn.

*Bala.* Siarl.

---

## PENNILLION.

"*FY AELWYD FACH FY HUNAN.*"

Gad i eraill, f' awen dirion,
Ddiwyd ganu fel y mynnon';
Mi a ganaf am gysurlan
Wledd "*fy aelwyd fach fy hunan.*"

Golud bydol ni dderbyniais,
Parch ac urddiant ni chwennychais;
Ond ces fwy gwerth na'r India lydan,
Yn "*fy aelwyd fach fy hunan.*"

Beth yw rhwysg y byd a'i fawredd,
Clod, ac urddas, ac anrhydedd;
Wrth gysurwych, orwych, eirian,
Wledd "*fy aelwyd fach fy hunan.*"

Gad i'r byd hyll egr wgu,
Gad i ddynion traws orthrymmu;
Ond gad i mi fy Nhŵr, fy Nharian,
Wledd "*fy aelwyd fach fy hunan.*"

I'r cybydd boed ei sorod afles,
Boed i'r balch ei rwysg a'i rodres;
Ond boed i mi uwch aur ac arian,
Wledd "*fy aelwyd fach fy hunan.*"

Ni ofidiaf yn hiraethgar,
Am gymdeithas mawrion daear;
Os caf gwmni 'r awen fwynlan,
Ar "*fy aelwyd fach fy hunan.*"

P'le mae cartref pob gwir fendith,
Serch a chariad pur di ragrith;
Pawb un bwriad, bryd, ac amcan?
Ar "*fy aelwyd fach fy hunan.*"

Pan fo trymder, cur, neu ofid,
Yn dirbwyso ar fy yspryd;
Pwy gysura 'm calon egwan?
Teulu 'm "*haelwyd fach fy hunan.*"

Pan fwy'i 'n dod o'r maes o'm llafur,
Yn lluddiedig, beth yw 'm cysur?
Cwrdd wrth riniog drws fy nghaban
Deulu 'm "*haelwyd fach fy hunan.*"

Pe rhagluniaeth f'ai yn gwgu,
A'm cyfeillion arnai 'n cefnu;
Pwy 'r pryd hyny a'm croesawan'?
Teulu 'm "*haelwyd fach fy hunan.*"

Cefais ganwaith groesaw calon,
A thiriondeb gan gyfeillion;
Ond ni welais eto yn unman,
Ail "*i'm haelwyd fach fy hunan.*"

Pwy sy'n maddeu 'm mynych feiau?
Pwy sy'n ddeillion i'm ffaeleddau?
Pwy o'm lle mewn dim ni'm gwelan'?
Teulu 'm "*haelwyd fach fy hunan.*"

Pwy yn ngwyneb angau creulon,
Pan ballo nerth ac arial calon,
Pwy 'r pryd hyny a'm diddanan'?
Teulu 'm "*haelwyd fach fy hunan.*"

Pwy pan elo 'm pabell freulyd,
Draw i orwedd yn y gweryd;
Pwy â'u dagrau wlitha 'm beddfan?
Teulu 'm "*haelwyd fach fy hunan.*"

MYRDDIN.

*Conwy.*

---

## YMDDIDDANION FY MAM.

HWN! fy Mam, pa edn yw?
O! Hedydd yw,
Fy Mab, eheda fry i'r entrych draw,
Pob bore gyd â'r wawr, dan foli Duw
Yn felus iawn; ac yn ei ôl ni ddaw
I'r ddaear mwy, hyd nes gorpheno ei gân,
Gan ddysgu dyn mai ei ddyledswydd yw
Pob bore, ar ol ymolchi yn lân,
Gwir wneuthur coffa am ddaioni Duw.

O! fy Mab! tebyga di yr Hedydd ar ei daith,
Yn wresawg bydd mewn gweddi cyn dechreu dim o'th waith.

Hwn! fy Mam, pa edn yw?
Colomen fach,
Fy Mab, yn trydaru wrthi ei hun,
Un fodd a'th nain, neu ti, pryd nad wyt iach:
Colomen hoff! mor hardd ei lliw a'i llun!
Mor ffyddlawn idd ei chymhar hefyd yw!
Fy Mab, na thafla gareg at ei phen;
Mae mor ddiniwaid! O! gad iddi fyw!
Na chlwyfa hi:—goddefa hyn o sen.

O! fy Mab! tebyga di y wâr golomen hon,
O hyd mewn diniweidrwydd, a thawel fydd dy fron.

Hwn! fy Mam, pa edn yw?
O! Alarch gwyn,
Fy Mab, o dôn i dôn yn nofiaw 'n hardd,
Nes cyrhaedd tawel ddwr o tan y bryn,
Lle cân ei farwnad, uwch no'r mwynaf Fardd,
A llais melusach noc erioed o'r blaen;
Ac yna gorwedd ar ei wely llaith
I farw, ac ei esgyll gwyn ar daen;
Mal hyn yr Alarch a derfyna ei daith.

O! fy Mab! tebyga di yr Alarch. Yr un wedd
Mwy nefawl boed dy eiriau wrth nesu at y bedd!

TREIDDIL.

RHYDYCHAIN, *Ionawr* 29, 1829.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

### *Y TYRCIAID A'R RWSSIAID.*

Ni dderbyniwyd dim newyddion o bwys er ein Rhifyn diweddaf mewn perthynas i'r pleidiau rhyfelgar hyn, namyn bod parottoadau mawrion yn parhau i gael eu gwneuthur gan y ddwy blaid i ddwyn y rhyfel ym mlaen gyda rhwysedd yn y rhyfel-dymhor nesaf. Dywed newyddion o Gaer Cystenyn, fod 3000 o forwyr Aiphtaidd wedi cyrhaedd yno i gyfnerthu y llynges ag sydd yn parottôi i hwylio i'r môr, yr hon a fydd yn barod yn nechreu y mis nesaf. Y mae y Sultan yn troi clust fyddar at bawb ag sydd yn ceisio ganddo ymheddychu; a diammeu y bydd raid i'r cenhadwr Ffrengig, M. de Jaubert, ddychwelyd heb lwyddo yn ei gennadwri.

Y mae y Rwssiaid wedi adgymmeryd Varna yn hollol, ac wedi sefydlu Yspyttai, Llysoedd, ac Eglwysi yno; a chynnaliwyd gwasanaeth crefyddol yno y tro cyntaf ar ddydd-gwyl St. Alexander: ar y diwrnod hwnnw hefyd y llawenychwyd calonnau y Cristionogion yno gan sŵn y clych y waith gyntaf er pan gymmerwyd Varna gan y Tyrciaid. Y mae y Rwssiaid dan Count Langeron wedi cymmeryd amddiffynfeydd Tournoul a Kale; a thrwy hynny cawsant 98 o fagnelau, 8 o lummanau, a lladdwyd neu gymmerwyd 3500 o Dyrciaid.

---

## Y SENEDD.

### *CAIS-YSGRIF Y PABYDDION.*

Yn ol y rhybydd a roddasai Mr. Peel rai dyddiau o'r blaen, dygodd o flaen y Senedd yr Ysgrif ag yr oedd y Llywodraeth am ei chynnyg i gymmeradwyaeth y *Parliament*, i'r diben i symmud ymaith y rhwystrau o ffordd Pabyddion y Deyrnas i gael swyddau yn y llywodraeth, neu i fod yn aelodau o'r Senedd Frytanaidd. Wrth gyflwyno yr Ysgrif i sylw y Tŷ, areithiodd Mr. Peel dros yspaid pedair awr. Ar ol i amryw eraill areithio yn hyawdl dros ac yn erbyn y cynnygiad, ymranodd y Tŷ; a chafwyd fod 348 o'i ochr, a 160 yn ei erbyn; yr hyn sydd 188 fwy o'i blaid nac yn ei erbyn.

Yma y canlyn gyllun o'r Ysgrif a ddygwyd gan Mr. Peel o flaen y Senedd yn achos y Pabyddion:

1. Swm a sylwedd yr Ysgrif ydyw symmud y rhwystrau ag sydd yn gwahardd i'r Pabyddion fod yn swyddogion gwladol.

2. Bydd rhyddid i Babyddion eistedd yn nau Dŷ y Senedd. Nid oes dim cyfryngiad i fod ar eu nifer; a rhaid i'r Pabyddion gymmeryd y llw canlynol:

"Yr ydwyf fi, A. B. yn tystio fy mod "yn proffesu y grefydd Babaidd."

"Yr ydwyf fi, A. B. yn ddiffuant yn "addaw ac yn tyngu y byddaf ffyddlon "mewn cywir ufudd-dod i'w Fawrhydi "Sior y Pedwerydd, ac yr amddiffynaf ef "hyd eithaf fy ngallu rhag pob brad ac "ymgais a wneir yn erbyn ei berson, ei "goron, a'i urddas; a gwnaf fy ngoreu "i ddatguddio ac i hyspysu iddo ef, ei "etifeddion, a'i olynwyr, pob brad a di"chell fradychol a gynllwynir yn ei erbyn "ef neu hwy. Ac yr ydwyf fi yn ffyddlon "addunedu i gadw, cynnal, ac amddiffyn "hyd eithaf fy ngallu olynol ddilyniad i'r "Goron, yr hwn ddilyniad yn ol Gweith"red a elwir, '*Gweithred i gyfyngu y "Goron, ac i sicrhau hawl a rhyddid y deil"iaid*,' sydd, ac yn sefyll yn derfynol i'r "Dywysoges Sophia, Etholyddes Hano"ver, a'r etifeddion o'i chorph fyddo yn "Brotestaniaid: wrth hyn yr wyf yn holl"ol wadu a gwrthod ufuddhau ac ymos"twng i un person arall fyddo yn honni "neu yn cymmeryd arno hawl i goron y "llywodraeth hon. Ac yr ydwyf fi ym "mhellach yn tystio, nad ydyw yn erthygl "yn fy nghred i, a'm bod yn gwrthod ac "yn gwadu y farn, fod tywysogion a es"gymmunir gan y Pab o Rufain, neu un "awdurdod o Esgobaeth Rhufain, yn agor"ed i'w diswyddo neu eu llofruddio gan "eu deiliaid, neu gan unrhyw berson pa "bynnag. Ac yr ydwyf fi yn tystio, fy mod "yn credu nad oes gan y Pab o Rufain, "neu un Tywysog estronol arall, Esgob, "Person, Llywodraeth, na Phennaeth, "ddim, ac na's dylent gael dim awdurdod, "gallu, goruchafiaeth, na blaenoriaeth "gwladol neu dymhorol, yn gyfeiriol neu "anghyfeiriol, yn y llywodraeth hon. "Yr ydwyf fi yn tyngu, yr amddiffynaf "hyd eithaf fy ngallu sefydliad meddian"nau fel y gosodwyd trwy gyfreithiau yn "y deyrnas hon; ac yr wyf wrth hyn yn "gwrthod, gwadu, ac yn difrifol ddiar"ddel pob bwriad i ddadymchwelyd yr "Eglwys Sefydledig, megis y sefydlwyd "trwy gyfraith yn y deyrnas hon. Ac yr "ydwyf fi yn tyngu yn ddifrif-ddwys, na "arferaf un fraint ag sydd gennyf, neu a "eill ddyfod i mi, i derfysgu neu wanychu "yr Eglwys Brotestanaidd, neu lywodr"aeth Brotestanaidd y deyrnas hon. Ac yr "ydwyf yn ddifrifol, ger bron Duw, yn "proffesu, tystio, ac yn datgan, fy mod yn

"gwneuthur yr hyspysiaeth hwn, a phob "rhan o hono, yn ol eglur a chyffredin "feddwl y llw hwn, heb un ystryw, mwys "iaith, na dirgel-feddwl pa bynnag."

3. Cyfrifir Pabyddion yn analluog i lenwi y swyddau o fod yn Ganghellwr Lloegr neu 'r Iwerddon, neu Rhaglaw yr Iwerddon.

4. Gallant gynnal pob swydd Fwrdeisaidd, a gallant fod yn Siryddion ac yn Farnwyr.

5. Ni bydd iddynt lenwi swyddau perthynol i'r Eglwys Sefydledig, mewn llysoedd Eglwysig, neu sefydliadau Eglwysig, nac un swydd yn y Prif Athrofeydd, nac yn Ysgolion Eton, Winchester, a Westminster, na dim Ysgolion o sylfaeniad Eglwysig. Y cyfreithiau perthynol i hawl y Pabyddion i gyflwyniadau Eglwysig i gael eu cadw. Mewn achosion ag y llenwa Pabyddion swyddau â nodded yr Eglwys yn perthynu iddynt, bydd hawl i'r Goron drosglwyddo y nodded. Ni bydd i un Pabydd ddal swydd i gynghori y Brenhin mewn awdurdod perthynol i Eglwys Sefydledig Lloegr a'r Iwerddon.

6 Bydd y cyfreithiau cospawl perthynol i'r Pabyddion i gael eu diddymmu.

7. Gosodir y Pabyddion ar yr un tir a'r Ymneillduwyr mewn perthynas i feddiannau.

8. Ni bydd gorfod ar y Pabyddion i adael y Senedd un amser.

9. Ni ofynir un ardystiad yn erbyn Traws-sylweddiad.

10. Ar yr achlysur o ddiogelwch Eglwysig, gosodir y Pabyddion ar yr un tir ag Ymneillduwyr.

11. Ni bydd i'r llywodraeth ddim i'w wneuthur yn ngosodiad Esgobion Pabyddawl, na dim ymyraeth yn nghyfrinach y Pabyddion gyd âg Esgobaeth Rhufain mewn pethau ysprydol.

12. Nid ydyw yr urdd-enwau a arferir yn bresennol yn Eglwys Loegr i gael eu harferyd gan aelodau yr Eglwys Babyddol.

13. Nid oes i'r dangosiadau o uchafiaeth a wisgir gan swyddogion Bwrdeisaidd, &c. i gael eu cymmeryd i un lle o addoliad ond yr Eglwys Sefydledig.

14. Y Jesuitiaid a'r Monachdai.—Cofrestrir enwau a nifer y rhai a berthynant i'r sefydliadau hyn. Gwaherddir cymdeithasau a rwymir gyd âg adduned grefyddol neu fonachaidd; a gwneir rhagddarbodaeth i rwystro ychwaneg o Jesuitiaid i'r wlad. Cofrestrir y Jesuitiaid sydd yma yn bresennol.

15. Rhyddfraint dewisol, i berchennogion tir o werth Deugain Swllt yn y flwyddyn.—Ni bydd gan berchennog tir o werth llai na Deg Punt yn y flwyddyn un hawl i roddi pleidlais (*vote*) yn newisiad Aelod o'r Senedd dros unrhyw Sir. [O'r blaen gallai perchennog tir o werth Deugain Swllt yn y flwyddyn roddi pleidlais yn newisiad Aelod Senedd yn yr Iwerddon.] Cofrestrir enwau perchennogion tiroedd ger bron y Cyfreithiwr Cynnorthwyol (*Assistant Barrister*) Siroedd yr Iwerddon, gyd â'r hawl mewn achosion neillduol i appelio at lys uwch.

---

Dywedir fod Saith Miliwn o Babyddion yn yr Iwerddon. Bwrier fod 3,000,000 o'r rhai'n yn Foneddwyr a Maelierwyr, a rhai yn analluog i weithio, yna bydd 4,000,000 o lafurwyr yn ymddibynnu ar waith eu dwylaw, a bod y rhai hyn yn derbyn naw ceiniog bob dydd y gweithiant. Naw ceiniog ydyw teir-ran swllt, felly ennillai y 4,000,000 hyn dair miliwn o swlltau bob dydd, yr hyn sydd yn £150,000. Dywedai y Dr. Doyle, yn ei holiad ger bron y Senedd, fod pymtheg o wyliau yn cael eu cadw yn flynyddol gan y Pabyddion, ar ba rai y gwaherddid i bawb weithio: o ganlyniad difuddir Pabyddion tlodion yr Iwerddon o'r gallu i ennill pymtheg gwaith £150,000, neu £2,250,000. Os rhoddir at hyn y symiau a warir ar y dyddiau hyn a alwant yn wyliau mewn gloddest a maswedd, gwelir y difesur ddrygioni a ddwg egwyddorion Pabyddiaeth ar y wlad. Yn Ffraingc, yr hon wlad sydd fwy goleu (er mai Pabyddiaeth yw 'r grefydd sefydledig gan y llywodraeth) ni chedwir namyn y pedair gwyl hyn drwy'r flwyddyn, sef, Gwyl yr holl Seintiau, Gwyl y Dyrchafael, Gwyl yr *Assumsiun*, a'r Nadolig. Dywedai y Parch. Mr. M'Guire, offeiriad Pabaidd Innismagrath, mewn araith yn ddiweddar, "Pa fodd y gall yr offeiriaid fod yn gyfoethog, pan nad ydym yn ceisio ond pymtheg ceiniog gan bob un y Nadolig a'r Pasg, ac nid oes ond naw o ddeuddeg yn talu yr ychydig hyn." Yna y mae naw o ddeuddeg, neu dair rhan o'r Pabyddion yn talu hanner coron yn flynyddol; a chaniattâu i'r boblogaeth fod ond 6,000,000, a naw o ddeuddeg o'r rhai'n yn talu ond hanner coron bob un, felly derbynia yr offeiriaid £562,500; yna chwaneger at hyn yr hyn a delir mewn bedyddiadau, priodasau, ac angladdau, derbynia yr offeiriaid Pabaidd £752,000 yn flynyddol.

Tybiwn fod un o bob chwech, neu 1,000,000, yn rhoddi dimmai wrth ddrws y Capel bob Sul a Gwyl yn y flwyddyn, derbyniai yr offeiriaid filiwn o ddimmeiau, yr hyn sydd dros £2,083. Y mae 52 o Suliau, a 15 o Wyliau, yn y flwyddyn, yr hyn sydd yn 67 o ddyddiau; a 67 miliwn o ddimmeiau ydynt dros £139,583. Heblaw hyn, telir o un i bump punt am eis-

teddleoedd mewn orielau (*galleries*) cappelydd, yr hyn hefyd a wna swm mawr. Oddiwrth hyn gallwn farnu am anferth gyfoeth yr offeiriaid Pabaidd!

---

## CYMREIGYDDION CAERLUDD.

Nos Iau, yr wythfed o Ionawr, cyfarfu lliaws o aelodau y Gymdeithas, ynghyd ag amryw eraill o ewyllyswyr da iddi, yn eu hystafell, dan arwydd y *Tair Baril, Heol Coleman* (*Three Tuns, Coleman Street*) i gynnal eu gwledd flynyddawl, y 32 er sefydliad y Gymdeithas. Cawsant eu diddanu tra yn gwledda â "Mil o leisiau melysion" gan y delyn, yr hon a chwareuwyd gan Mr. R. T. Llewellin, gyd â'r medrusrwydd mwyaf.

Ar ol i bawb gael eu digonedd o'r cyfryw seigiau ag a ewyllysient, symmudwyd y lliain, a chyfododd John Evans, y Llywydd, gan ddywedyd ei fod wedi ymegniaw yn wastadawl i gyflawni y swydd ardderchawg sef Llywydd, yn unawl â rheolau y Gymdeithas, a bod yr amser rhagderfynawl wedi dyfod oddi amgylch, o ganlyniad, ei fod yn rhoddi y swydd i fynu i foneddig arall mwy teilwng a galluawg idd ei llanw nag efe, a chan ddiosg y tlws efe a'i gwisgodd am Mr. John Jones, y Llywydd etholedig, yr hwn a esgynodd i'r Gadair yn nghanol twrf a bloeddiadau y cyfeillion yn gyfunawl. Yna y boneddigion eraill a'i dilynasant ef gan gymmeryd eu swyddau, sef, Mr. John Lloyd, Rhaglywydd; Mr. John Thomas, Trysorydd; Mr. Jenkin Jenkin, Bardd; Mr. Hugh Morris, Llyfrgellydd; Mr. Thomas Thomas, Is-drysorydd; a Mr. John Evans, Cofiadur. Gwedi rhoddi y llwnc-destunau canlynol, y Brenhin a'r Eglwys; Oes y Byd i'r Iaith Gymraeg; Cymdeithasau Cymreigyddawl trwy bedryfan byd; Undeb a Brawdgarwch; a Golygwyr di duedd Cyhoeddiadau Cymreig; cynnygiwyd iechyd y diweddar Lywydd, ynghyd â'r hen swyddogion oll, yr hwn a dderbyniwyd gyda phob gwresawgrwydd; a chyfododd John Evans, y diweddar Lywydd, a thraddododd araeth fywiog a dysgedig; ond o ddiffyg lle nis gall ymddangos yma. Yna yn ol cael distawrwydd yfwyd iechyd y swyddogion newyddion, a chyfododd y Llywydd, ac a hyspysodd, mewn araeth ffraeth a chynwysfawr, ei barodrwydd yn wastadawl i wasanaethu y Gymdeithas, ac i wneuthur unrhyw beth, yn ol ei allu, er puro a lledaenu y Gymraeg, a lleshau ei gydwladwyr y Cymry, &c.

Yna Mr. Lloyd a gyfododd, ac yn ol talu ei ddiolchgarwch am y derbyniad caredig a gafodd yn eu plith ar yr achlysur o'i ethol yn Rhaglywydd, a ddywedodd, Nad allai lai na sylwi ar un peth neillduawl mewn perthynas i'n Cymdeithas, sef, o'r holl Gymdeithasau Cymroaidd yn Llundain nad oedd yr un o honynt ond y Cymreigyddion yn cario eu gorchwyl ym mlaen yn yr Iaith Gymraeg: ynddi hi yn unig y ceir ymddiddan a dadleu yn Iaith eu mam. Er yr ychydig o amser y bu yn breswylydd yn y dref hon, cafodd y dywenydd o fod mewn amryw gyfarfodydd cymdeithgar eraill; ond yr oedd yn rhaid iddo gyfaddef ei syndod wrth glywed y llwnc-destun "Oes y Byd i'r Iaith Gymraeg" yn cael ei yfed ganddynt bob amser gyd â'r fath wresawg floeddiadau a chariadus serchawgrwydd, pan braidd y clywid yn eu hymddiddanion (ond pryd yr etholir aelodau) un ymadrodd Cymraeg o naill ben y flwyddyn i'r llall! yr oedd yn meddwl mai amddiffyniad lled wael fyddai bloeddio yn unig uwch ben dyn bron trengu o oerfel. Wrth gadw i fynu eu hadnabyddiaeth o'r *Gymraeg* nid oeddynt yn anghefnogi un Cymro i ddod yn gyfarwydd yn y *Saesneg*, neu un iaith arall; ei ddyledswydd yn wir, os oedd yn awyddus i lwyddo yn y byd, oedd bod yn ddeallus yn ei thrysorau; ond rhyw goryn gwan rhyfeddawl, neu groglofft yn bur llawn o dalpiau dodrefn, sy gan y Cymro hwnnw na all gyrraedd eangder o wybodaeth mewn iaith arall, heb anghofio ei iaith ei hun. Er cymmaint yw awydd y Cymreigyddion i gynnorthwyo pob gwladawl gynnygiad, gwir ydoedd nad ymddangosasant ym mhlith annogaethwyr Llythyriant Cymraeg yn ddiweddar yn Nghymru; pa fodd bynnag, yr oedd yn meddwl, pe gwyddid yr achos, y byddai hyd yn nod hyn er clod iddynt. Ni allasid cynnyg gwobrau, a thestynau i ysgrifennu arnynt, o herwydd tlodi eu trysorfa, a hyn o achos eu bod agos bob wythnos yn gwrando cwyn, ac yn cyfrannu tu ag at gynnorthwyo rhai o'u cydwladwyr tlodion yn Llundain.—Felly hefyd Mr. John Thomas, a Mr. Hugh Morris, a areithiasant yn fywiog ac effeithiawl, gan dystio eu gwladgarwch, a'u hyfrydwch wrth weled y Gymdeithas yn cynnyddu mewn gwybodaeth ddefnyddiawl a chelfyddgar o flwyddyn i flwyddyn, a'i haelodau yn ymegniaw i chwilio am drysorau cuddiedig yn feunyddiawl fel ag y gellid dywedyd am danynt, "Pilerau ynt rhag pylu 'r Iaith," &c.—Wedi hynny yfwyd iechyd da Mr. Griffith Davies, un o'r Gorfydrianwyr goreu yn Lloegr, a'r hwn a addawodd i fod yn un i roddi Darlith i'r Gymdeithas yn y Gymraeg, nos Iau cyntaf o bob mis, ar rai o ganghenau Celfyddyd a Gwyddoriaeth; gyd â'r gwresawgrwydd pennaf, a chyfododd Mr. Davies a thraddododd araeth dda a dysgedig.—Wedi hynny yfwyd iechyd da Tad y Gymdeith-

as, sef, Mr. Thomas Roberts, Llwynrhudol, gyda hyfrydwch caredigawl, a chyfododd eu hen gyfaill, gan hyspysu, ym mhlith amryw bethau eraill, ei fod ef yn un o'r deuddeg a osododd sylfeini y Gymdeithas, a'i fod yn meddwl, gyda galar, mai efe yn unig o'r deuddeg hynny oedd ar dir y byw, a bod yn dda ganddo weled, cyn ymadael o'r bywyd hwn, fod ei lafur ef a'i gyfeillion ymadawedig wedi gwneuthur daioni a lleshad i lawer o'u cydwladwyr, &c. Ar ol treulio y prydnhawn gyd â'r hyfrydwch a'r llawenydd mwyaf, y cyfeillion a ymadawsant, gan gychwyn bawb tu a'u cartrefle.

Cynghor y Cymdeithas am y flwyddyn hon ydynt, Mr. Richard Thomas, Mr. William Price, Mr. Evan Griffiths, Mr. David Parry, Mr. Evan Jones, Mr. Morris Griffiths, a Mr. John Reece.

## ENGLYNION

*A gyfansoddodd Mr. O. W. Thomas, o Faentwrog, i'w hadrodd yn Ngwledd Flynyddawl Cymreigyddion Caerludd, sef Nos Iau, Ionawr 8fed*, 1829.

Iechyd a llwyddiant ichwi,——heb weniaith,
Yw beunydd fy ngweddi;
Diwygiwch, wyr diwegi,
Iaith gain hen Frydain i fri.

I fri y daw hi a hawl—diwegi,
Dysgedigion dethawl;
Ar gyhoedd miloedd a'i mawl
Eleni yn olynawl.

Olynawl ar olwynion—anrhydedd,
Y rhodia yn gyson,
Gwiriaf fi, teg yrfa hon
Ni rwystra unrhyw estron.

Estron sydd weithion (swydd wych)—'n ymyraeth
Ar Omeraeg yn fynych;
O! hynod dro yn ei drych,
Pob oedran pawb a edrych.

Edrych yn fynych i Fŵn—Omeriaith,
Wna mawrion bob dwthwn;
Aur ydyw, pa'm na chredwn,
Fraint y sawl fedd hawl i hwn.

Dyma 'i gwledd, gwawr hedd o hyd,—am oesau
Ar ei maesydd hyfryd;
Egina ffrwytha ei phêr ŷd,
Heb anaf ar bob ennyd.

Amen, yn awr crechwenaf,—wyr anwyl,
Eich rhinwedd ganmolaf;
Da o'm henaid dymunaf,
I chwi yn hawdd dan nawdd Naf.

## GWYL FLYNYDDOL YSGOL RAD Y CYMRY YN LLUNDAIN.

Dydd Llun, yr 2fed o'r mis hwn, cynnaliwyd y 115fed Wyl flynyddol Ysgol Rad y Cymry. Cerddodd yr Ysgolheigion yn drefnus o'r Ysgoldy yn *Grays Inn Lane*, i Eglwys St. Martin, lle darllenodd y Parch. Mr. Alban, Llandrillo 'r Rhos, y Gwasanaeth yn Gymraeg; a phregethodd Esgob Winchester. Am chwech o'r gloch eisteddodd nifer mawr ynghyd i giniawa yn *Free Mason's Hall*—Iarll Clarendon yn y Gadair. Yn absennoldeb Arglwydd Kenyon, darllenodd Mr. Serjeant fynegiad o'r rhoddion a'r tansgrifiau, y rhai oeddynt fwy na Mil o Bunnau. Cerddodd y plant o gwmpas y Neuadd, a chanasant bennillion a gyfansoddasid ar yr achlysur gan Mr. Parry, ar y dôn wladaidd, "Ar Hyd y Nos," yr hyn a barodd ddywenydd mawr i'r cymdeithion.

---

*Cydfradwriaeth i lofruddio.*—Ar ddydd mawrth, y 10fed o'r mis hwn, holwyd Richard Peet, a James Peet ei fab, James Smith, a Thomas Willmore, yr hwn a alltudiasid o'r blaen, ar y cyhuddiad o gydfradwriaeth i lofruddio Jonathan Brown, amaethydd, yr hwn sydd yn byw gyda mam Smith y carcharor, ac hefyd i "*Furkio*," fel y dywedent, Samuel Turner, Yswain, Meistr tir y carcharor Smith.

Datguddiwyd y cydfradwriaeth i'r heddswyddwyr *(Police)* gan un John Ray, yr hwn rai blynyddoedd yn ol a fuasai ei hun yn un o'r swyddogion. Ammheuid ei dystiolaeth ar y cyntaf gan mor erchyll ydoedd. Yr hyn a ganlyn sydd fras-ddarluniad o'r modd yr oedd y llofruddiaeth i gael ei gyflawni:—Oddeutu pythefnos yn ol cyfarfyddodd Willmore â Ray yn Smithfield, ac a ddywedodd wrtho, y gellid gwneuthur rhywbeth yn Essex i wella eu sefyllfa: fod gan un o'r enw Smith, Pobydd, ac un Peet, Saer coed, gynllun mewn golwg, a'u bod i gyfarfod ar yr achos y prydnawn canlynol. Cyfarfyddodd Ray â hwynt yn y lle appwyntiedig, a chyttunwyd ar y dull o lofruddio Mr. Brown. Dywedodd Peet fod Mr. Brown yn byw gyda pherthynas iddo ef, ac y byddai ganddo o 500 i 600 o bunnau yn wastad gyd âg ef. Cyttunent i fyned i Essex gyda drylliau a chwn, ac i fyned ar dir Mr. Brown dan y ffug-esgus o saethu; a dywedodd Peet yr hynaf y caent gwn a drylliau yn ei dŷ ef. Yr oeddynt i gynllwyn ac i lofruddio Mr. Brown mewn lle unig a elwir *Barrett's-place*, lle y byddai yn myned heibio yn ei rodiad boreol; ac wedi claddu ei gorph mewn twll ag oedd i'w dorri i'r diben hwnnw, yr oeddent i fyned i yspeilio ei dŷ. Y cyfryw yw swm adroddiad Ray;

ac yntau yn gweled eu bod yn ammeu y gwirionedd o hono, a ddywedodd wrthynt y gallent weled y pleidiau yn ymdrin ar yr achos mewn rhyw le yn Hoxton. Aeth dau o'r swyddogion yno, a chawsant Willmore a Ray yn ymddiddan â'u gilydd, yn y fan y dywedasai Ray. Yr oedd Peet a'i fab y pryd hynny gyda Smith yn Essex yn gwneuthur parottoadau at y llofruddiaeth. O hynny allan ni chollodd y swyddogion olwg ar eu hysgogiadau. Dydd Mawrth ymadawsant o Lundain mewn trol a logasai Willmore a Peet yr ieuengaf gan un Mr. Bateman, dan yr esgus o gludo *frumiau* ffenestri i Woolwich. Ac fel na byddai i'w nifer dynnu sylw arnynt, prynasant wellt i guddio dau o honynt yn gwaelod y drol. Cyrhaeddodd y pedwar y lle, ac yno ymunodd Smith â hwynt. Yr oeddynt wedi penderfynu i Willmore saethu yr hen ddyn, ac i Peet yr ieuengaf i'w gladdu. Ymadawiad y cymdeithion o Lundain a wybuwyd yn ebrwydd gan y ddau swyddog, y rhai a aethant rhag blaen mewn cerbyd i'r *King's Arms*, lle yr ymguddiasant hyd oni ddaeth Willmore, Ray, Smith, a'r ddau Peet yno. Yna aeth y swyddogion, a Mr. Turner, sef un o'r rhai a nodasent i'w ddifetha, i mewn attynt i'r parlawr. Yn attebiad i ofyniad, pa beth yr oeddynt yn ei wneuthur yno, attebodd Ray, yn nghlyw y cwbl, iddynt ymgynnull yno i'r diben o lofruddio ac yspeilio, ac hefyd mai Smith oedd y person a'i bwriadodd gyntaf. Cymmerwyd hwynt oll i fynu yn garcharorion i Lundain.

---

Cymmerwyd Hare, cyd-lofrudd Burke, i fynu yn Newcastle yn Nghelyddon, ar y dybiaeth o lofruddio gwr ieuangc o'r enw Margetts, yr hwn a gollwyd o'r gymmydogaeth honno ychydig amser yn ol.

---

## DISGYNIAD BWLANES, NEU AWYREN.

Ar yr 31ain o Ionawr, 1829, disgynodd Bwlanes yn Nyffryn Clwyd, o fewn tair milltir i Ddinbych, mewn cae yn perthyn i *Ffarm* a elwir Cil-y-llwyn, Plwyf Bodfari, Swydd Dinbych, yn ngolwg rhai o drigolion yr ardal, er mawr syndod iddynt. Weithiau tybient mai Barcutan papur ydoedd; ond gweled ysgogiad ei nawf yn wahanol i hwnnw a barodd betrusder ynddynt yn ei chylch: ond fel yr oedd yn disgyn yn araf tu a'r ddaear, deallodd rhai o honynt mai 'r peth a elwir gan y Saeson *Air Balloon* ydoedd. Yn ebrwydd rhedodd un a berthynai i deulu Cil-y-llwyn i'w chyrchu; ond fel yr oedd y gennad gan ryw ei awydd yn prysuro gyd â'r ymwelyddes ddieithr, cyffyrddodd â drain, y rhai â'u gwinedd echryslon a rwygasant ei chroen, nes gollwng y defnyddiau ehedyddawl (*gas*) i ffordd; ac yr oedd eu drygsawr yn ddigon effeithiol i orchfygu yr edrychwyr. Yr oedd yn gyssylltiedig â hi gawell bychan, yn yr hwn yr oedd papuryn yn hyspysu pa bryd, ac o ba le yr esgynasai, sef, ar y dywededig 31ain o Ionawr, dau o'r gloch yn y prydnawn, o le a elwir *Bolton le Moors*, un milltir ar ddeg yn y gogledd-orllewin i *Manchester*, ac a ddisgynodd bump o'r gloch yr un prydnawn yn y lle dywededig, ar ol ehedeg ynghylch 70 milltir (a'i gyfrif yn ol union ehediad brân) mewn tair awr o amser.

---

Dywenydd gennym rhoddi lle i'r llythyr canlynol o eiddo ein Gohebwr o *Ll-n-r-m-n*, yn cynnwys siampl o haelfrydigrwydd tra chanmoladwy.

Hybarch Wyliedydd,—Gan mai rhan o'ch goruchwyliaeth ydyw rhybuddio a cheryddu y beius, canmol a chefnogi y rhinweddawl, tybiais nad annerbyniol gennych fyddai hanes y gwr bonheddig rhinweddol, haelfrydig, ac elusengar, sef, Wilson Jones, Yswain, Gelligynan, Llanarmon yn Iâl, yr hwn sydd yn rhagori ar y rhan fwyaf o foneddigion ein gwlad y dyddiau hyn mewn tosturi a chydymdeimlad tu ag at ei is-raddolion, sef deiliaid ei dir, a'i weithwyr, ac yn enwedigol tlodion ei gymydogaeth, yr hyn a ganlyn a brawf wirionedd yr hanes. Rhoddodd, wedi calan-gauaf diweddaf, 35 tunnel o lo rhwng 35 o deuluoedd tlodion; defnydd dillad, sef cymmysgwe, a gwlanen, i ddilladu 58 o deuluoedd noethion: hefyd, y mae yn rhoddi gwerth o saith i ddeg swllt, yn wythnosol, o gig eidion, i'w ferwi yn gawl, neu yn isgellfwyd, i'w rânu i'r newynog, a'r angenus: hefyd, y mae Ysgol Sabbothol yn cael ei chadw yn Eglwys y Plwyf uchod, gan nifer o ewyllysgaryddion i'r gwaith clodfawr hwn, ac anrhegodd ef yr athrawon hyn âg wyth bunt i'w rhânu rhyngddynt fel gwobr am eu llafur, a'u hewyllys da: hefyd, rhoddodd lonaid cist o lyfrau i'r Ysgol, heblaw amryw o Fiblau a Thestamentau a fydd yn ddwyn gyd âg ef i'r Ysgol, yn achlysurol, i wobrwyo y plant ffyddlonaf. Nid eleni yn unig y mae yn rhoddi fel y dywedwyd, ond yn flynyddol a pharhaus, a pharhau a wnelo; felly y daw "bendith yr hwn oedd ar ddarfod am dano arno ef a'i eppil;" ie, deued arno, meddaf, fendithion y nefoedd uchod, a bendithion y ddaear yn gorwedd isod, bendithion y bronau a'r groth, yw dymuniad diffuant eich cyson ddarllenydd.

J. Ll. S.

Ll-n-r-m-n,
*Chwefror* 18, 1829.

*Y dyn anllosgadwy.*—Yn ddiweddar synwyd trigolion tref Brighton gan un *Sieur Francisco Martinez*, brodor o'r Hispaen; yr hwn, yn ol poethi ffwrn deuddeg troedfedd o uchder, a'r un faint o led, a'i genau fal rhai cyffredin, oddeutu dwy droedfedd bedrongl, aeth i mewn iddi, a rhoddwyd teisenau iddo, ac yntau a'u gosododd hwynt yn drefnus tu mewn, ac a arosodd yno nes eu crasu, yna efe a'u trosglwyddodd hwynt allan. Wedi iddo ddyfod allan gwelwyd fod y rhan fwyaf o'i ddillad wedi llosgi; ac wrth ymaflyd ynddynt yr oeddynt yn syrthio yn lludw oddiwrtho. Wedi hynny poethwyd y ffwrn yr ail waith, ac yntau a gymmerodd gostrelaid o win, a gwydryn, a darnyn o gig anmrwd, a bara gyd âg ef i mewn iddi; rhostiodd ei gig, a bwyttaodd ei fara, ac yfodd ei win yn llawen tu mewn i'r ffwrn boeth; rhoddai y gwydryn yn aml yn ei fynwes, rhag iddo dorri gan y gwres. Poethwyd y ffwrn y drydedd waith, ac yntau a aeth i mewn iddi, ac a arosodd ynddi amryw fynydau wedi cau arno; wedi hynny daeth allan, a neidiodd dros ei ben a'i glustiau i ddwfr oer ag oedd wedi ei ddarparu iddo.

——o——

*Llofruddiaethau echryslon.*—Boreu dydd Llun, yr 2fed o'r mis hwn, cafwyd un Mr. Samuel Langtrey, a'i forwyn, wedi eu llofruddio yn ei dŷ ei hun yn Portsmouth. Yr oedd yr hen wr oddeutu 81 mlwydd oed, ac yr oedd y forwyn hefyd mewn gwth o oedran. Cafwyd corph y forwyn mewn ystafell â'i gwddf wedi ei dorri, a'i phen wedi ei guro mewn modd tra dychrynllyd. Mewn lloft uwch ben yr ystafell honno cafwyd corph Mr. Langtrey â'i wddf wedi ei dorri, a'i ben wedi ei friwo mewn modd cyffelyb i'r forwyn. Tybir yn gyffredin i'r weithred ysgeler gael ei chyflawni rywbryd rhwng y boreu a'r prydnawn y dydd Sul. Y mae lle i feddwl fod y llofrudd, neu y llofruddion, wedi cael eu haflonyddu, gan nad oedd ond ychydig neu ddim o'r eiddo wedi eu cymmeryd ymaith, a bod cistan yn agored yn ystafell y llofruddiedig, yn yr hon yr oedd amryw o lwyau arian, ac hen aur. Y mae Dau Cant o Bunnau wedi cael eu cynnyg am ddal y llofrudd, neu y llofruddion. Dywedir fod gwr ieuangc o *brentis* i eilliwr yn y gymmydogaeth lle y cyflawnwyd y weithred ysgeler wedi ei gymmeryd i fynu dan ammheuaeth cryf o fod yn euog o'r llofruddiaeth.

——

Y mae yr Iuddewon yn sôn am anfon erfyniadau i'r Senedd am Ryddid.

*Damwain.*—Dydd Sadwrn, y 14eg o'r mis hwn, lladdwyd dyn o'r enw Evan Peak yn agos i Gorwen, trwy i ddarn o graig syrthio arno, a'i falurio yn chwilfriw.

Llosgodd tŷ Mr. Jacobs, masnachydd, *Conception Bay, Halifax (Nova Scotia)* ynghyd â'r holl deulu, sef, Mrs. Jacobs, a thri o blant, a dwy forwyn.

——

Y mae y mynydd tanllyd Vesuvius wedi rhoddi arwyddion yn ddiweddar o chwyrndarddiad *(eruption)* arall. Gwelir rholiau mawrion o fwg yn tarddu o hono, a lluchia gerrig o 5 i 6 chan troedfedd o uchder.

——

Yr ydym yn deall fod y Dug o Norfolk, a'r Pabyddion Gwyddelig yn Llundain, wedi gwneuthur cynllun i adeiladu Eglwys Gadeiriol Babyddol yn Llundain, mewn canlyniad i'r Cais-ysgrif gael ei chaniattâu. Dywedir fod £200,000 wedi ei danysgrifio eisoes at hynny.

——

Ar y 6ed o'r mis hwn cyrhaeddodd y Dug o Northumberland ddinas Dulyn, i gymmeryd arno y swydd uchel o Raglawiaeth yr Iwerddon, a derbyniwyd ef gyda pharch mawr.

——

Dywedir fod mwy na Phymtheg Cant o Eirchiadau wedi cael eu danfon i ddau Dŷ y Senedd yn erbyn Cais y Pabyddion. Ysgrifenodd Esgob Salisbury lythyr rhagorol at y Duc o Wellington ar y matter, yn dangos i'w Bendefigaeth y perygl o wneuthur dim cyfnewidiad yn ffurf llywodraeth Brotestanaidd y deyrnas hon.

——•——

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Cyflwynodd Arglwydd Esgob Llandaff Ficeriaeth Roath, Swydd Ceredigion, i'r Parch. R. Calvert Jones.

Rhoddodd Arglwydd Esgob Tŷ Ddewi Berigloriaeth Llanilar, Swydd Ceredigion, i'r Parch. D. Ffelix.

——ooo——

Gwelsom Gynnygiad, gan John Evans, neu Ioan Maelor, i Gyhoeddi Llyfr, a elwir "DIL Y WENYNEN;" yn cynnwys Traethodau ar amryfal Destynau: Hefyd, Awdlau, &c. &c. Yr ydym yn gobeithio yn fawr y caiff y cyfryw gefnogiad ag a ddisgwylia. Gwelsom yn ei gofrestr o enwau, fod eisoes amryw foneddion parchus yn rhoddi eu nodded iddo. Ni chlywsem sôn am un llyfr yn Gymraeg ar ddull "Dil y Wenynen;" a diammeu y bydd yn dderbyniol gan amryw o'n cydwladwyr.

# Y GWYLIEDYDD.

EBRILL, 1829.

## ORIAU YSGRYTHYROL.

JOEL ii. 28. "*A bydd ar ol hynny, y tywalltaf fy Yspryd ar bob cnawd, a'ch meibion a'ch merched a brophwydant, eich henuriaid a welant freuddwydion, a'ch gwyr ieuainge a welant weledigaethau.*"—Pa ddarllenydd ysgrythyrol ni chofia am y cymmwysder, â'r hwn y coffâodd Pedr ei wrandawyr ynghylch y brophwydoliaeth hon, pan dywalltwyd yr Yspryd Glân ar ddydd y Pentecost? Perthynol iawn i hyn yw yr hanesyn canlynol, a rydd ymdeithiwr diweddar.* Digwyddodd iddo fyned yn un o wledydd dwyreiniol Ewrop i Synagog Iuddewaidd ar ddydd y Pentecost. Clybu yno weddiau y rhai a arferwyd gan yr Iuddewon dros oesoedd lawer; a darllenwyd rhannau o'r ysgrythyrau, y rhai (mor anghyfnewidiol yw defodau Iuddewaidd) a bennodasid, mae yn debygol iawn, yn amser yr apostolion. Canys y mae addoliad yr Iuddewon, fel eiddo yr Eglwys Sefydledig, yn cynnwys ffurf o weddiau, a darlleniad llithoedd gosodedig o'r ysgrythyrau. A pha lith, tybygai y darllenydd, a *bennodasid ganddynt i'w darllen yn flynyddol ar ddydd y Pentecost* allan o'r prophwydi? Yr ail bennod o'r prophwyd Joel, prophwydoliaeth arbennig am yr hyn a gyflawnwyd ar yr apostolion ar y dydd hwnnw. Pwy bynnag yn y dechreuad a ddewisodd y llithoedd i'r gwyliau Iuddewig, tebyg iawn yw i'r Yspryd Glân oruwch-drefnu iddynt ddewis prophwydoliaeth Joel i'w darllen ar y Pentecost; ac felly, pan ad-roddodd Pedr hi i'w gyhuddwyr, efe a adroddodd iddynt LITH PRIODOL Y DIWRNOD, yr hon a glywsent eu hunain yn eu synagogau, a chyflawniad yr hon ni allent, heb ddirfawr haerllugrwydd, ei wadu. Pwy ni wel gyda hanner golwg gymmwysder yr ymddygiad hwn—callineb rhagorol y sarph cystal a diniweidrwydd y golommen—doethineb ac ymadrodd y rhai ni's gellid eu gwrthsefyll? Arferir y llith hon yn ngwasanaeth y blaid Iuddewig honno a elwir sect y *Karâid,** y rhai a amrywiant oddiwrth yr Iuddewon cyffredin, neu Rabbinaidd, yn o debyg megis Saduceaid oddiwrth y Phariseaid yn yr hen amseroedd. Yn wir tybia yr ymdeithydd, mai disgynyddion yr hen Saduceaid yw y Karâid, oblegid eu bod yn dal at lythyren y gair, megis y Rabbiniaid at draddodiadau yr henafiaid. Pa fodd bynnag, gwrthwynebwyr ffyrnigaidd ydynt, y naill fel y llall, i enw a disgyblion Crist; ac annhebyg iawn yw,

* Henderson's Travels in Russia.

* Ystyr y gair *Karâid* yw Ysgrythyrwyr.

y priodolent i ddydd y Pentecost unrhyw lith, yr hon a arferwyd gynt, ac a ellir ei harferu drachefn, i'w hargyhoeddi hwynt am eu cyfeiliorni. Tebyccach o lawer yw, bod y llith hon, megis yn ddiau y rhannau eraill gan mwyaf o'u ffurf addoliad, yn arferedig ganddynt er dyddiau Crist a'i apostolion.

Pwy bynnag a hiraetho am wybodaeth amgenach a manylach yn nghylch ffurfiau yr addoliad Iuddewig, troed at rai o Rifynau cyntaf y Gwyliedydd.

JOEL iii. 3. "*Ac ar fy mhobl y bwriasant goelbrennau, a rhoddasant y bachgen er puttain, a gwerthasant fachgennes er gwin, fel yr yfent.*"—Yn y dwyrain fe werthir caethion am ychydig iawn; ac yn gyttun â hyn y cwyna Joel, o herwydd y pris bychan a dirmygus am yr hwn y gwerthid caethion Iuddewig. Cyffelyb brisiau isel a osodir etto gan y Tyrciaid, Tartariaid, ac eraill, ar y plant bychain a gaethgludir ganddynt. Pan ddifrododd y Tartariaid deyrnas Poland, dygasant ymaith gynnifer o blant ag a allent. "Dywedwyd wrthyf (medd Chardin) gan rai o bendefigion y llys, i'r yspeilwyr werthu rhai o'r bobl ieuaingc am goron y pen, ac iddynt hwy, yr adroddwyr, eu prynu ganddynt am y pris hwnnw." Yn Mingrelia arferir gwerthu caethion am luniaeth ac am win.

JOEL iii. 2, 12. "*Casglaf hefyd yr holl genhedloedd, a dygaf hwynt i waered i ddyffryn Jehosophat; a dadleuaf â hwynt yno dros fy mhobl, a'm hetifeddiaeth Israel, y rhai a wasgarasant hwy ym mysg y cenhedloedd, a rhannasant fy nhir. Deffroed y cenhedloedd, a deuant i fynu i ddyffryn Jehosaphat: o herwydd yno yr eisteddaf i farnu yr holl genhedloedd o amgylch.*"—Oddiwrth yr hyn a fynegir yma ynghylch "*dyffryn Jehosaphat,*" a'i ddeall yn ol y llythyren, yr arweiniwyd Iuddewon, Cristionogion, a Mahometaniaid, i dybied mai yn y dyffryn hwn y cydgesglir yr holl fyd i'r farn fawr ddiweddaf. Nid diogel yw esponio prophwydoliaethau cyn eu cyflawniad, a dilys yw mai gweddusach fyddai aros cyn datgan ein barn yn rhy hyderus ar y cyfryw byngciau ac amserau, y rhai a geidw y Tad yn ei feddiant ei hun. Yn y cyfamser da fyddai i'r cyfryw esponwyr gofio mai lle bychan yw dyffryn Jehosaphat, ac hylwyr anghyfaddas i gynnwys y gyfryw gynnulleidfa luosawg ag a gyd-ymgynnull o flaen Barnwr y byw a'r meirw.

Cred gyffredinol yr Iuddewon yw, mai yma y bernir y byd, ac am hynny mawr yw eu hawydd i gael eu claddu yn nyffryn Jehosaphat, fel y byddont, tybygir, yn fwy parod i orchwylion y diwrnod, a chyffredin iawn y danfonir esgyrn eu cyfoethogion o wledydd pellenig i'w claddu yno. Cyffelyb hefyd yw cred y Mahometaniaid, ac ychwanegant un arall atti, sef mai eu gau brophwyd Mahomet a osodir y dydd hwnnw i alw y byd oll i dderbyn y farn ddiweddaf. O herwydd hyn gosodasant garreg yn corbelu neu yn taflu allan o fur Jerusalem er cyfleusdra iddo i eistedd arni, pan alwo holl blant dynion oddi tano i wrandaw ar eu dedfryd!

AMOS ii. 1. "*Am iddo losgi esgyrn brenhin Edom yn galch.*"—Dywed hen esponiad mai i wyngalchu muriau ei dŷ y gwnaeth hyn. Gwnaethpwyd hyn er ychwaneg o ddirmyg i'r marw. Mynega hanesion i Ymerawdwr Persia, wedi ymddwyn yn dra chreulon tu ag at Ymerawdwr Rhufeinig a gymmerasid yn gaeth ganddo, ei ladd a'i flingo a chyffeithio ei groen er dirmyg parhaus i'w elyn. Y mae amryw hanesion cyffelyb am bobl, y rhai a gasglasant benglogau ac esgyrn eraill eu gelynion, ac a wnaethant bentwr o honynt, megis côf-adail am eu buddugoliaeth.

AMOS ii. 6. "*Gwerthu y cyfiawn am arian, a'r tlawd er pâr o esgidiau.*"—Gwel hefyd *Amos* viii. 6. Yn y dwyrain dygir o flaen y briodas-ferch, ym mhlith pethau eraill, sandalau pren, y rhai sydd ychydig o werth, ond y maent ambell waith wedi eu haddurno yn dlws, ac yn hoff gan y benywod. Dywed ymdeithydd am swyddogion a barnwyr y Tyrciaid, "Gwisga eu gwragedd wisgoedd harddwych o sidan amryliw, y rhai a *roddir i'r gwyr gan y sawl sydd yn ymgyfreithio o'u blaen er eu llwgr-wobri.*" O herwydd bod cyfoeswyr Amos yn derbyn cyffelyb ddobrwyon, ac yn gwyro barn am arian, yr ydys yn cyhoeddi yn eu herbyn y bygythiad yn yr adnod uchod.

AMOS ii. 8. "*Ac ar ddillad wedi eu rhoi yn ngwystl y gorweddant wrth bob allor.*"—Buddiol er esmwythder ac iechyd oedd taenu llawr-len, neu ddilledyn tew, ar y ddaear i'r sawl a breswyliant mewn pebyll, ac wedi hynny arferwyd yr unrhyw ddillyn-ddull gan y rhai a drigent mewn tai. Pan gadwent eu gwleddoedd eilunaddolgar yn nhemlau eu gau-dduwiau eisteddent i lawr, eithr nid ar y ddaear noeth, neu balmant mynoraidd y temlau hynny, eithr ar ryw ddillad, neu lenni a ddygasent gyda hwynt. Yn *Exod.* 22. 26, 27. gwelir fod cymmeryd dillad yn wystl yn waharddedig; ac, ym mhellach, peth beius yn ddiammeu oedd gwaith yr Israeliaid yn myned i wledd eilunaidd. Eithr paham y sonir yma am ddillad gwystledig? Yn gyntaf, gofidus i'r sawl a wystlasent eu dillad yn ddirgel oedd eu gweled wedi hynny yn cael eu harddangos mor gyhoeddus: yn ail, gellir meddwl bod yr eilun-addolwyr yn cadw y dillad pryd y dylasent eu rhoi drachefn: (Gwel *Ezec.* 18. 7, 12, 16. a 30. 15.) yn drydydd, gallai y dillad berthyn i rai pobl a ffieiddient eilunaddoliaeth, ac a'u cyfrifent hwynt yn halogedig wrth eu harferu yn ngwasanaeth eilunod: yn bedwerydd, gallent gael eu niweidio yn ddirfawr gan y gwleddwyr meddwon afreolus, y rhai a ymgynnullent yn y deml.

Nid ammherthynol i'r achos diweddaf yw yr hyn a fynega ymdeithyddion dwyreiniol. Yn eu hymddygiad cyffredin cymmera dwyreinwyr dra-mawr ofal rhag niweidio neu ddiwyno eu llawrlenni, a gorchuddiant ryw beth arnynt. Eithr ar achosion o rwysg anghyffredin dangosant ddiofalwch hollol am danynt, megis arwydd o'u parch i'r cyfeillion a fo yn ymweled â hwynt. Y mae gennym yr hanes canlynol am wledd fawr a roddwyd i frenhin Persia: "Yr oedd holl lawr y tŷ, a'r rhodfeydd yn yr ardd, cystal a'r ystafelloedd dirgelaf, wedi eu taenu â llawrlenni gwerthfawr euraidd, a llawweithiau costfawr eraill, y rhai a ddifethwyd gan mwyaf drwy sengiad traed budron yr ymweledyddion."

(*I'w barhâu.*)

---

PREGETH AR SALM CXXXII. 3,—5.

(*Parhad o du dal.* 73.)

II. Sylwn yn awr ar yr ail ben o dan ein hystyriaeth, sef RHAI O RAGORIAETHAU NEILLDUAWL EIN HEGLWYS EIN HUNAIN.

Anmhosibl mewn annerchiad fel hyn ydyw gwneuthur cyfiawnder i bwnc mor ehang; ond gan fod rhai gwyr yn rhyfeddu pa fodd y gall dynion cydwybodawl barâu yn aelodau o Eglwys Loegr, bydd yn fuddiawl dynodi ychydig o'r rhesymau sy gan Eglwyswyr am eu serch tu ag ati.

Yn gyntaf, ynte, yr ydym yn caru Eglwys Loegr, am mai Eglwys ein tadau ydoedd. Gwelwn nad ydyw yn annheilwng o'n serch, pan gofiwn mai y dull hwn o addoli a ddewiswyd gan luoedd, at y rhai

y try ein cof gyd â'r teimladau dwysaf o barch a chariad. Tu mewn i'w muriau hi y cawsant ddiogelwch a llawenydd iddynt eu hunain; ac o fewn yr un cylch cyssegredig y gorchymynasant i ninau ymofyn llwyddiant a nodded. Nid yw ymneillduaw oddiwrth yr Eglwys Sefydledig lai na chiliaw oddiwrth y bedyddfäau lle y cyssegrwyd hwynt i Dduw—oddiwrth yr allorau y plygasant o'u blaen—ac oddiwrth y beddau y claddwyd hwynt. Dichon i rai dybied fod mwy o deimlad nag o reswm yn y dywediad hwn, ond yn ein bryd ni nid ydyw dynolryw yn ddoethach, nac yn well, wrth ddiystyru teimladau a wreiddiwyd mor ddwfn yn ein cyfansoddiad cyntefig.

Yn nesaf, parchwn Eglwys Loegr o herwydd bod ei meini gwedi eu taenellu â gwaed goreu y merthyri. Dir yw fod y fath beth ag ymlyniad beius wrth farn enwogion a aethant o'r blaen. Ar yr un pryd, y mae y fath beth a pharch dyladwy iddo: ac nid yw hwnw yn teimlaw fel y dylai, os na chynnydda ei serch at unrhyw sefydliad crefyddawl drwy y dystiolaeth a ddygodd gwyr fel Cranmer, Latimer, Ridley, a Hooper, yn eu bywyd a'u marwolaeth o'i ragoroldeb.

Yn mhellach, dewiswn Eglwys Loegr yn hytrach nag un Eglwys arall, am ei bod yn rhan o'r gyfdrefn wladwriaethawl a ddiogela ein breiniau a'n hiawnderau gwledig. Mor agos y cyfrodeddwyd ein Sefydliadau Eglwysig a Gwladawl, nad dichonadwy yn ein tyb ni gyffwrdd â'r naill heb y perygl o niweidiaw y llall.

Addefwn yn rhwydd y dichon i lawer gwrthddadl gael ei chodi yn erbyn yr ymresymiadau hyn; ond ymddengys i ni mai nid hawdd y cyfodir y llais yn erbyn y rhai canlynawl.

Dewiswn ni Eglwys Loegr, ynte, o herwydd fod ei hathrawiaethau gwedi eu tynu yn ddiledryw o ffynnonell bur ymadroddion Duw; ymddengys i ni y cynnwysa ei herthyglau a'i homiliau fwy o'r hyn sydd anwadadwy, a llai o'r hyn sydd ammheuawl, nag unrhyw ysgrifau a feddiannodd un Eglwys Gristionogawl arall erioed.

Eilwaith, dewiswn Eglwys Loegr o achaws fod ei dull hi o addoli yn unaw mewn gradd anghyffredin gorserch, sobrwydd, symledd, a duwioldeb.

Dewiswn hi hefyd, gan yr ymddengys i ni ei bod yn fwy goddefus tu ag at bleidiau gwahanawl nag unrhyw eglwys arall; nid ydyw yn cymmeryd arni benderfynu pynciau ydynt yn wir yn ammheüus, ac yn agored i ddadl; nac yn alltudiaw o'i chorlan neb "sydd yn caru yr Arglwydd Iesu Grist mewn gwirionedd."

Dewiswn hi yn mhellach, o herwydd ei thuedd amlwg i feithrin duwioldeb ymarferawl, ac i wneuthur dynion yn ddedwydd yn ol fel yr ymlynont wrth ei hegwyddorion a'i hysbryd hi.

Yn olaf, dewiswn hi, gan fod pob plaid grefyddawl yn ystyried ei chredo a'i ffurfiau hi yn nesaf mewn perffeithrwydd at yr eiddynt eu hunain.

Hawdd fyddai, fy mrodyr Cristionogaidd, roddi awdurdd ychwanegawl i'r haeriadau hyn, drwy ddwyn y'mlaen dystiolaeth nifer helaeth o eglwyswyr duwiawl a deallus: ond gyda rhesymoldeb byddai y fath dystiolaeth yn agored i ammheuaeth, goddefer i mi, gan hynny, alw tystion o le arall.

Dywed un o Ymneillduwyr enwocaf yr oes, "na phetrussai osod gwasanaeth yr Eglwys ar orsaf uchaf cyfansoddiadau anysbrydawl." Tybia un arall, pe ymddygai yr Eglwys fel y dylai tu ag at ei hun, byddai yn "ogoniant yr holl dir." Gweinidawg hybarch ym mhlith yr Ymneillduwyr, yr hwn a

adawodd y byd yn ddiweddar, a ddarlunia effaith ei gwasanaeth ar ei feddwl ei hun, yn y geiriau hyn, "Yr ysgrythyrau agosaf at fy meddwl yn awr ydynt llithoedd y ddarllenfa, a thestynau yr areithle, a glywais drwy yspaid 18 mlynedd. Teimlais hyfrydwch wrth ymgyrchu i'r Eglwys, ac ymunais yn ddifrifawl yn y Gweddiau ac yn y Salmau. Dyrchafwyd fy mwyniant weithiau mor uchel fel ag y credwyf y gallaswn dderbyn gwys angau gyda llawenydd."

Er nad oedd Mr. Wesley ymneillduwr, yr ydoedd yn seilydd plaid sydd yn feunyddiawl yn ymneillduaw fwyfwy oddiwrth yr Eglwys Sefydledig: ond etto ei ymddiffyniad ef o'r Eglwys oedd yn bybyr a gwresawg. Gyda ei anadl olaf dywedai, "O Arglwydd bendithia yr Eglwys a'r Brenin." Yn y flwyddyn 1758 cyhoeddodd ddeuddeg o resymau anatebadwy yn erbyn ymneillduaw oddiwrth yr Eglwys Wladawl. "Byddai hyny," meddai efe, "yn wrthwyneb i'r ardystiad a wnaethom yn fynych ac yn sobr yn mhob dull trwy bregethu, drwy y wasg, ac mewn ymddiddanion cyfrinachawl." Un o'r rheolau a gymhellai yn benaf, oedd i'w ganlynwyr dderbyn y cymmun yn eu Heglwysi Plwyfawl: un arall, na chaffai fod addoliad yn eu capelydd yn yr amser y cyflawnid gwasanaeth yn yr Eglwys, oddieithr dan amgylchiadau neillduawl. Mewn un man dywed, "Gwnaethpwyd prawf mynych o ymneillduaw, ond nid atebodd y dyben erioed." Ac etto, "Llawer yn ein cof ni a adawsant yr Eglwys, ac ymffurfiasant yn bleidiau neillduawl; a rhai o honynt yn wir oddiar y dyb y gwnaent fwy o wasanaeth i Dduw. Ond a lwyddasant hwy gwedi ymrannu? a fuont hwy yn well neu yn ddedwyddach nag oeddynt o'r blaen?"

Cyffelyb i hyn ydyw iaith un o'r enwocaf o ganlynwyr presenawl Mr. Wesley. "Y Gwasanaeth," medd yr awdwr hwn, "a sicrâ ddarlleniad rhan helaeth o'r ysgrythyr; sicrâ yr hyn a eilw Mr. Wesley, gyda phriodoldeb mawr, yn bedwar pwnc pwysfawr o addoliad cyhoeddus, sef, cyfaddefiad, arch, eiriolaeth, a diolch. Heblaw y cymmorth a rydd i'r duwiolaf a'r ysprydolaf, plant a dynion anwybodus trwy arferiad mynych a drysorant swm ehelaeth o wirionedd efengylaidd yn eu cof; a phan y dechreuant weddiaw dan effaith grefyddawl, cyflenwir hwynt âg erfyniadau priodawl, dilwgr, syml, ac effeithiawl. Dir yw fod rhai cydnabyddus â'r Gwasanaeth, wedi gwneuthur darpariad pwysig tu ag at orchwylion y pregethwr: a digwydd yn aml fod eu crefydd yn fwy syml a phur o herwydd yr amgylchiad hwn."

Wedi dyfynu yr ymadroddion uchod, a ydym ni yn cyfeiliorni pan yr haerwn fod y fath dystiolaeth gan wyr o'r fath yn ddigon i ddiheuraw yr Eglwyswr gwresocaf oddiwrth y cyhuddiad o ragfarn a phenboethni? Os cara efe ei eglwys, onid amlwg yw nad ydyw ei ymlyniad wrthi ond ymddygiad cyfreithlawn oddiar yr egwyddorion a osodir i lawr gan ei gelynion cyhoeddus, neu ei chyfeillion ammheuus?

Ond afreidiawl cyfeiriaw at dystiolaethau fel hyn. Ni allwn ddisgwyl perffeithrwydd mewn unrhyw sefydliad lle y mae dyn yn gweinyddu: ond gofynwn pwy, a all edrych ar Eglwys Loegr heb addef nad oes un sefydliad crefyddawl yn debycach i gyflawni ar y cyfan yr hyn a ddylai fod bwriad holl sefydliadau rhesymawl, sef, *parotoi enaid erbyn tragwyddoldeb*.

Gwelwch gyda pha ddyfalwch santaidd y dilyna ni, fel mam dyner, drwy bob cam o'n pererindawd daearawl, ac y gwylia dros ein

hangenrheidiau, ein peryglon, a'n budd. Cyn gynted ag y genir maban i fyd pechadurus, peryglus, a thrist, cymmer ef oddiar ein dwylaw, a chyflwyna ef yn yr ymadroddion mwyaf cyffröus a thyner i ofal y Bugail mawr. Ar ol yspaid byr, wedi iddo gyrhaeddyd blynyddau o ddealldwriaeth a gwybodaeth, daw drachefn i alw arno "i fyned i fynu i dŷ yr Arglwydd," ac yno i ymgyssegru trwy yr ordinâd ddifrifaf yn filwr a gwas i'r Arglwydd. Gwahodda ef yn nesaf "pan yn flinderawg ac yn llwythawg," a baich ei bechodau heb eu maddeu, i nesâu at y bwrdd, lle y gellir disgwyl y llywodraetha ein Gwaredydd, ac y cyfrana â'i ddwylaw ei hun gyfoeth maddeuant a gras. Ni ymfoddlona ei adael yma, ond dilyna ef o dan y gronglwyd, ac ar yr aelwyd eistedda yn ei ymyl. Hi a rwyma ei gysur teuluaidd. Dilyna ef i'w glaf wely, a gweinydda iddo wrth orwedd yno y diddanwch melusaf. Treiddia gyd âg ef i ddyffryn cysgod angau; dengys â'i bys Iachawdwr croeshoeliedig, a chan sibrwd wrtho yr addewidion llonaf, egyr iddo ogoniant y byd anweledig. Ac yn y diwedd, pan y gostyngir ei weddillion i grombil daear oer, hi a saif ar fin y bedd yn brif-alarydd, gan drydar uwch ei ben farwnad o alar a chlod; cyflawna ddyledswydd, yr hon ni all mwyach gyflawni drosto ei hun; ond i gyflawni yr hon, pe gallai ddychwelyd yn ol ar y ddaear, y byddai dymuniad penaf ei galon; gwna y marw yn addysgydd y byw; a thywys feibion eraill i ogoniant drwy roddi iddynt ddarluniad disglaer a bendigaid o lawenydd yr hwn a hunodd yn yr Arglwydd: "Clywais lais o'r nef yn dywedyd wrthyf, Ysgrifena, O hyn allan gwynfydedig yw y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd."

Pa beth, fy mrodyr, pa beth a ellid gael yn ngwasanaeth gwahanawl, ansicr a gobrin, pleidiau crefyddawl eraill, yn gyfnewid am y ffurfiau hyn o santeiddrwydd a chariad? Pwy a ddymunai ymddiried gwasanaeth crefyddawl a berthyna mor agos i ni i ddoniau difyfyr y pregethwr duwiolaf a hyawdlaf? Pwy wrth wrandaw gweddiau cyhoedd y rhai a daflasant heibio ffurfiau yr Eglwys, na wel yn fynych achaws i gwynaw fod symledd wedi ei newid am wagaraeth, ac erfyniad dwys wedi ei droi yn bwnc, a chyfaddefiad naturiawl a chynhyrfiawl o'n hangen am athrawiaethau ansicr? Pwy, hyd yn nod yn gwrandaw ar y rhai a ymlynant wrth y ffurfiau hyn, ac wrth gydmaru tylodi y bregeth gyda chyfoeth a grym y gwasanaeth gosodedig, na chafodd le i ddiolch i Dduw nad ymddiriedwyd y rhan gyntaf o'r gwasanaeth fel yr olaf i'r gweinidawg ei hun; fod cymmaint a hyn wedi ei gadw allan o grafanc un sydd Eglwyswr mewn enw, ond yn anghredadyn mewn ymarweddiad; fod yn rhaid i wefus oer arfer iaith wresawg, ac i galon farw gyflwynaw erfyniadau bywiawg gweision pur a serchawg Athraw croeshoeliedig? Chwilied Ymneillduwr cydwybodawl hanes crefydd yn ein gwlad gynenid, a rhaid iddo addef, tybygaf, mai, yn nesaf i air Duw, gwasanaeth Eglwys Loegr a fu atteg gadarnaf athrawiaeth bur, ac ysbryd addolgar, na ddichon dyfroedd lawer ei ddiffoddi, a'r hwn sydd ar unwaith yn gwneuthur i fynu ddedwyddwch y byd hwn yn gystal a'r hwn a ddel.

*(I'w barhau.)*

---

## SYLWEDD PREGETH

### AR DAT. XIII. 1.

"Ac mi a sefais ar dywod y môr,"

BYDDAI yr Arglwydd Iesu yn fynych yn dysgu pethau anweledig teyrnas nefoedd yn nghysgod peth-

an gweledig y byd hwn: byddai yn llefaru ar ddamhegion; megis Dammeg yr hauwr, *Mat.* 13. y ddafad golledig, *Luc* 15. a'r winllan, *Mat.* 21.

Er bod y tywod yn fân iawn, eto Duw a'i gosododd yn derfyn i'r môr tymhestlog, *Jer.* 5. 22.

Dau beth ag sydd yn drymach na'r tywod; trychineb Job, *pen.* 6. 3. a digofaint y ffol, *Diar.* 27. 3.

Tri pheth ag sydd yn fwy lliosog na'r tywod; y trugareddau yr ydym yn eu derbyn, ein pechodau ni yn erbyn Duw, a nifer yr etholedigion.

Bwriadaf yr awr hon son am y rhan hono o dywod y môr a elwir *y traeth*, megis Traeth y Lafan, &c. gan wneuthur *cyffelybiaeth rhwng y Traeth a'r Byd.*

1. Y mae ar y traeth amryw suga-draethau, y rhai os syrth dyn iddynt efe a fydd mewn perygl o golli ei fywyd. Felly y mae yn y byd faglau a phrofedigaethau, "megis chwant y cnawd, chwant y llygaid, a balchder y bywyd;" 1 *Ioan* 2. 16. "a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sydd yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth." 1 *Tim.* 6. 9.

2. Y mae polion ar Draeth y Lafan er cyfarwyddyd, ac er dangos y ffordd. Felly y mae cyfarwyddyd i'w gael wrth fyned trwy y byd yma; megis cyfarwyddyd y gair, *Sal.* 119. 9, 105. cyfarwyddyd yr Yspryd, *Sal.* 143. 10. a chyfarwyddyd rhieni a chyfeillion duwiol. *Diar.* 30. 17. a 5. 11, 12, 13.

3. Y mae dynion yn teithio trwy y traeth wrth fyned o'r naill ardal i'r llall. Felly y mae y Cristion yn teithio trwy y byd hwn wrth fyned o'r Aipht i Ganaan, o Sodom, dinas distryw, i'r Jerusalem nefol, o wlad digofaint Duw i fro yr hedd a'r tragywyddol ogoniant. *Heb.* 11. 13. 2 *Cor.* 10. 3.

4. Ar y traeth nis gellir sefyll yn hir yn yr un man, onid ê soddi a wneir oblegid meddaldra y tywod. Yr un modd, os rhoddwch eich pwys ar y byd, neu ar ddim o'i bethau, megis cyfoeth, perthynasau, iechyd, &c. chwi a gewch eich siomi. "Canys nid oes i ni yma ddinas barhaus, eithr un i ddyfod yr ŷm ni yn ei disgwyl." *Heb.* 13. 14. Ni chafodd y golommen orphwysfa i wadn ei throed dros wyneb yr holl ddaear. *Gen.* 8. 9.

5. Y mae ol traed y fforddolion i'w weled yma ac acow ar y traeth; ond gyd â'r llanw nesaf fe a ddileir. Felly y mae dyn yn myned ymaith: "Ni ddychwel mwy i'w dŷ, a'i le nid edwyn ef mwy. Y llygad a'm gwelodd ni'm gwel mwyach," medd Job, *Pen.* 7. 8. 10. "Un genhedlaeth a â ymaith, a chenedlaeth arall a ddaw." *Preg.* 1. 4.

6. Pan ddelont at lân y dwfr, y maent yn myned trosodd yn y cwch neu yr ysgraff. Yn gyffelyb, wedi i'r Cristion deithio trwy y byd, efe a ddaw at lân afon angau, yr hon y bydd raid ei chroesi; ond efe a ddiogelir yn yr arch, sef yn Iesu Grist. Wrth fyned trosodd hi a fydd weithiau yn dawel, bryd arall yn dymhestlog. Felly y bydd ar y Cristion yn angau. Weithiau efe a ymdawela yn ei Dduw cyfammodol, ac a gyferfydd ag angau yn siriol, gan lefain, "Tyred ar frys, yn wir tyred, Arglwydd Iesu." Bryd arall, profedigaethau y gelyn a gythryblant ei enaid; eithr efe a gynnelir gan ei Brynwr, ac a gyrhaedda yn ddiangol i'r lân draw.

7. Yr ochr draw y mae tir safadwy, er nad oes ar y traeth. Er nad oes cyflawn orphwysdra y tu yma i'r bedd, "y mae gorphwysfa eto yn ol i bobl Dduw" y tu draw i angau. Yno cânt roddi pwys eu heneidiau ar sylwedd, ac heb eu siomi: eu dymuniad ar ol Crist a gyflawnir; canys hwy a gânt ei weled ef megis ag y mae; a hwy a gânt orphwys yno heb ymadael byth mwy.

8. Ond wele niwl yn codi ar y traeth, a dynion yn colli eu ffordd. Y mae yn y byd hwn niwl rhagfarn, a chyfeiliornad, a thrachwant, yn gyru dynion ar ddidro o ffordd y gwirionedd.

9. Wedi i bawb a gawsant y cwch fyned trosodd, wele y llanw yn gorchuddio yr holl draeth, ac yn boddi y dynion a gollasent eu ffordd yn y niwl. Felly, wedi i'r holl dduwiolion gael eu trosglwyddo adref i'r anneddle dawel yn y nef, fe losgir y byd, ac fe soddir yr annuwiolion yn y llyn o dân a brwmstan, yr hyn yw yr ail farwolaeth.

Yn ddiweddaf, ychydig o gyngborion:

1. I ieuengctid, i ochelyd maglau a phrofedigaethau y byd, i ymgadw yn wyliadwrus yn ol gair Duw, ac i weddio beunydd yn erbyn hudoliaethau y byd drygionus hwn.

2. I bobl mewn oedran, i gyfarwyddo yr ieuengctid yn eu ffordd trwy y byd, ac i feithrin eu plant yn addysc ac athrawiaeth yr Arglwydd.

3. I bawb, i beidio gosod eu serch ar y byd, ond ar Grist a'i iachawdwriaeth, fel y byddo byw eu heneidiau.

Duw a roddo i ni oll grefydd bur a dihalogedig, yr hon a ddysg i ni ymgadw yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd. Amen. R.

---

## "CRIST SYDD BOB PETH."

COL. iii. 11.

CRIST sydd bob peth i mi megis diwedd y ddeddf er cyfiawnder. Efe yw sylwedd y prophwydoliaethau, swm yr efengyl, a bywyd yr addewidion. Gwnaethpwyd ef i mi gan Dduw yn ddoethineb i'm cyfarwyddo, yn gyfiawnder i'm cyfiawnhau, yn sancteiddrwydd i'm puro, ac yn brynedigaeth i'm gwneud yn ddedwydd mewn byd o wynfyd annhraethadwy. Efe yw canol-bwynt fy holl wynfyd, fy siampl berffaith. Efe yw y gwirionedd heb na chymmysg na diffyg. Sancteiddrwydd difrychau. Efe sy'n rhagori ar ddengmil. Trwyddo y daw i mi ar y llawr bob bendith, a'r hyn oll wyf yn eu gobeithio yn y nef. O hono ef y daw pob gras ar fy nhaith, a'r holl ogoniant ar ben y daith; ie, ac iddo ef y bydd yr holl ogoniant yn dragywydd! Ei addewidion, O! mor werthfawr!—Ei waith, O! mor berffaith!—Mor ddirfawr ei gariad!—Mor anchwiliadwy ei gyfoeth!—Ei drugaredd mor ddiderfyn!—Ei wirionedd mor anghyfnewidiol!—A'i allu mor ddiderfyn! Mae ei ras yn ddigon.—Annrhaethol ddwfn yw ei gyngor!—Mor ddiogel yw ei bobl!—Mor hyfryd ei bresennoldeb!—Mor nefolaidd ei wên!—Ei Efengyl sydd yn rhydd i bawb, a'i gyfreithiau yn anfeidrol sanctaidd! Pur iawn ydyw ei orchymynion, ac ofnadwy ei fygythion! Ond er y cwbl leied a fedrwn ganfod o'i fawredd. Tlodi iaith ddynol, a byrdra ein cyrhaeddiadau, ydynt yn rhwystrau i ni gyrhaedd syniadau cywir am fawredd yr hwn sydd yn rhagori ar Moses gymmaint ag y rhagora yr arglwydd ar y gwas; yr hwn sydd uwch na'r angylion, yn gymmaint ag yr etifeddodd efe enw mwy rhagorol na hwynt-hwy, ie, yr hwn ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch a Duw, gan ei fod yn ddisgleirdeb ei ogoniant, ac yn wir lun ei berson. Anturiaf chwithio er y cwbl y daw amser pan caf ei weled megis ag y mae, a bod yn debyg iddo; pryd y caf ei ganfod yn rhagori ar holl ogoneddus gôr yr apostolion, moliannus nifer y prophwydi, ac ardderchog lu y merthyron; y caf ganmol ei enw, a gosod allan ei ogoniant yn oes oesoedd. O! ddarllenydd hawddgar, ymdrecha am gael ei adnabod, canys hyn yw y bywyd tragywyddol. Myfyria ar ei berffeithiadau,

ei swyddau, a'i addasrwydd i ti fel pechadur: ffo atto fel dy unig noddfa; bwrw dy holl faich arno, ac ymddiried ynddo. Efe yn unig a fedr sefyll rhyngot a'r llid a fydd; efe yw yr unig ffordd at y Tad; efe all gydymdeimlo â thi yn dy holl orthrymderau; efe a ddeil dy ben yn dy gyfyngder olaf; efe hefyd fydd dy Farnwr ddydd y farn. "*Crist sydd bob peth.*" P. B.

---

## SYLWADAU AR Y CREDO,

*O WAITH YR ESGOB PEARSON.*

"CREDAF."—Er nad yw y pethau a honaf yn amlwg i'm synwyr allanol, ac am hyny nis gallaf ddywedyd fy mod yn eu canfod;* er nad ydynt ychwaith, o honynt eu hunain, yn eglur i'm dealltwriaeth;† nac yn ymddangos yn wirionedd o herwydd un achos naturiol ac angenrheidiol,‡ ac felly nas gallaf ddywedyd fod genyf wybodaeth briodol a chelfyddol o honynt; eto, gan eu bod yn gynnwysedig yn yr Ysgrythyr Lân, ysgrifeniadau y santaidd apostolion a'r prophwydi; a chan fod yr apostolion a'r prophwydi hyny wedi eu gwisgo â nerth gwyrthiol o'r uchelder, a'u hysprydoli yn ddigyfrwng gan Lân Yspryd Duw, ac felly nad yw eu geiriau eiriau dyn ond geiriau Duw ei hun. Gan fod Duw yn meddu y fath wybodaeth ddiderfyn, a doethineb anfesurawl; fel na ellir ei dwyllo, a'r fath santeiddrwydd dihalog, a pherffeithrwydd anfeidrol, fel na ellir meddwl y twylla efe neb, ac am hyny bod yn rhaid i'r hyn a ddywedodd fod yn wirionedd sicr. Yr ydwyf yn rhwydd a diysgog yn cydsynio â hwynt fel y gwirioneddau cadarnaf, ac yr wyf yn eu credu mor llwyr a dilys, a chyda llawer mwy o ofal a pharch (gan eu bod o'r pwys mwyaf) na dim yr wyf yn ei ganfod neu ei wybod. Gan na ddatguddiodd Duw hwynt er fy mudd i yn unig, ond hefyd er lles i eraill, ac er amlygiad ei ogoniant ei hun; gan iddo, i'r dybenion hyn, orchymmyn imi eu proffesu, ac addaw gwobr dragywyddol am y cyffesiad o honynt; gan fod pob dyn i ddysgwyl ei gyfiawnhad ac iechyd ei enaid trwy ei ffydd; gan hyny, fel yr wyf yn eu llwyr a'u dilys gredu, felly, gyda bwriad cadarn a diysgog y cyffesaf hwynt; a chyd â'r ffydd hon yn fy nghalon, a'r gyffes yn fy ngenau, yr wyf, gyda golwg ar yr holl Gredo, a phob rhan, a chyfran o honi, yn ddiffuant, ewyllysgar, a diymmod yn dywedyd, "CREDAF."

### ERTHYGL I.

"*Credaf yn Nuw Dad Hollgyfoethog, Creawdwr nef a daear.*"

"CREDAF YN NUW."—Gan fod gallu tragywyddol a Duwdod i'w weled ym mhob peth a wnaed, a bod ymddibyniad terfynedigion yn arddangos Hanfod anfeidrol ac annibynol; gan fod pob peth er rhyw ddyben, a'u holl weithrediadau yn cyfeiriaw ato, er nad allant amgyffred y dyben y maent erddo, ac er mwyn yr hwn y maent yn gweithredu, ac am hyny bod rhaid fod rhyw ddoethineb annherfynedig a goruchlywiawl yn rheoli; gan fod hyn mor amlwg fel y bu i holl genedloedd y ddaear ei ganfod; gan i Dduw, nid yn unig arddangos ei hun yn eglur yn ngwaith y greadigaeth, ond hefyd wneuthur amlygiadau aml o'i Dduwdod, drwy y rhagfynegiadau sicraf a'r gwyrthiau mwyaf; gan hyny, yr wyf yn llwyr gredu, yn rhwydd addef, ac yn eglur broffesu y gwirionedd hwn, *Fod Duw.*

---

* Fel yr wyf yn canfod fod yr eira yn wyn, neu fod y tân yn boeth.

† Fel y mae yn eglur fod peth cyfa yn fwy nag ei hanner.

‡ Fel yn mhyncian mesureg. Ond cofier y dywedir hyn yn gyffredinol, ac nid am bob Erthygl yn y Credo.

Yn mhellach, gan fod yr endyb* o brif ac annibynol Fod yn rhagolygu pawb eraill yn ddibynolion, heb un Duw arall; gan nad all fod ond un ffynon pob perffeithrwydd, a bod llywodraethiad perffaith y byd yn arddangos rheolaeth un Penarglwydd; gan hyny, yr wyf yn addef nad yw y Duw hwnw ond un, ac yn y cyfryw Undod (gan lwyr wadu fod, neu y gall fod, lliosedd o Dduwiau) "*Credaf yn Nuw.*"

"*Credaf yn Nuw Dad.*"—Fel yr wyf yn gwbl sicr fod un anfeidrol ac annibynol Fod, yr hwn a alwn ni yn Dduw, ac nad all fod ond un anfeidrol, felly yr wyf yn dilyn gredu fod y Duw hwn yn Dad pob peth, yn enwedig dynion ac engylion, cyn belled ag y gellir galw crëad yn genedliad, ac ei fod, ym mhellach eto, ac mewn modd mwy neillduol, yn Dad i'r holl rai a adgenedlir ganddo trwy ei Yspryd, a fabwysiedir yn ei Fab yn etifeddion a chyd-etifeddion ag ef, ac a goronir â gwobr o etifeddiaeth dragywyddol yn y nefoedd; ond ymhell uwchlaw hyn i gyd, heblaw ei hiliogaeth gyffredinol, a'i bobl briodol, i'r rhai y rhoddes efe allu i fod yn feibion i Dduw, yr wyf yn credu ei fod yn Dad, mewn modd mwy ardderchog a rhagorawl, i un unig a phriodol Fab, ei Fab ei hun, ei anwyl, ei uniganedig Fab, yr hwn, nid yn unig a genedlodd efe o'r forwyn fendigaid trwy ddyfodiad yr Yspryd Glân, ac argysgodiad nerth y Goruchaf, nid yn unig a rodd efe gyd âg awdurdod penodawl yn Frenin Israel, nid yn unig a gyfododd efe oddiwrth y meirw, ac a wnaeth yn etifedd pob peth yn ei dŷ; ond o flaen hyn oll, a genedlodd efe trwy genedliad tragywyddol yn yr un Duwdod a Mawrhydi ag ef ei hun; trwy y Tadogaeth hwn, cyfoed a'r Duwdod, yr wyf yn addef ei fod erioed yn Dad fel yr oedd erioed yn Dduw. Ac yn yr unryw berthynas, addefaf yr uchafiaeth a'r blaenoriaeth hwn, mai fel ag y mae yn achos cysefin pob peth a greodd ei law, felly y mae yn ffynon y Mab a genedlwyd ganddo, a'r Yspryd Glân sy'n deilliaw o hono.

"*Credaf yn Nuw Dad Hollgyfoethog.*"—Fel yr wyf yn credu yn un Hanfod annibynol, sef Duw, ac yn y dirgelwch o genedliad tragywyddol, trwy yr hwn y mae y Duw yma yn Dad; felly y mae yn sicr genyf nad yw y Tad hwn ddarostyngedig i wendidau heneint, ac nad oes na dinerthwch na llesgedd yn cyfhwrdd â'r Hen Ddihenydd; ond, ar y llaw arall, yr wyf yn credu fod hollalluogaeth yn briodoledd hanfodol i'r Duwdod, a hyny, nid yn unig gyda golwg ar allu gweithredawl,* (am yr hyn y caf eto achos i ddangos fy nghred)† ond hefyd gyda golwg ar allu penarglwyddawl, yn yr hwn yr addefaf ei flaenorol a thragywyddol hawl i wneuthur y peth y myno, yn y pryd a'r modd y myno, i feddiannu beth bynag a wnelo trwy awdurdod ddigyfrwng, ac i ddefnyddiaw a gosod fel y myno bob peth y byddo efe fel hyn yn eu meddiannu. Yr wyf yn credu fod yr arlywyddiaeth hwn yn hollol annibynol, yn gystal yn ei ddechreuad ac yn yr arferiad o hono, yr wyf yn addef fod y gallu hwn yn anfeidrol yn ei eangder, gan ei fod yn allu ar bob peth;‡ yn ei berffeithrwydd, fel y

* Arferir, yn y cyfieithiad hwn, *endyb*, am *idea*, *notion*, pan sonir am *anghorffolion*, ac *enlun*, neb *endyb*, am *gorffolion*.

* Hyny yw, Gallu i wneuthur, neu greu.

† Yn y chweched Erthygl.

‡ Gallu, gyd âg awdurdod a rheolaeth ar bob peth. Arferir yn y Groeg, yn yr Erthygl 1af, y gair *παντοκρατωρ* gan gyfeiriaw at ei ollallu a'i benarglwyddiaeth: ac yn y 6ed Erthygl *παντοδυναμος* yn ar-

mae yn ollalluog ar bob peth; yn ei barhad, gan ei fod yn dragywyddol heb dranc na diweddiad. Ac felly, "*CREDAF YN NUW DAD HOLLGYFOETHOG:*"

"*CREAWDWR NEF A DAEAR.*"—Yr wyf yn llwyr gredu na hanfodolawdd na nef na daear, na dim sydd ynddynt, o honynt eu hunain; ond iddynt gael eu gwneuthur yn y dechreuad, a hyny trwy greawd cyfryngawg neu anghyfryngawg, ac nad oedd dim yn hanfodi yn y dechreuad; cyn y creawd hwn, oedd Duw ei hun, yr hwn a wnaeth y rhan fwyaf o'r byd o lwyr ddiddymder, a'r rhan arall o'r hyn a greasai efe o'r blaen o ddim. Yr wyf yn credu wneuthur hyn trwy rydd a diorfod ewyllys Duw, am yr hyn ni ellir rhoddi un rheswm, nac enwi un cymhelliad, namyn ei ddaioni yn unig; creodd hwynt yn ol ei ewyllys yn yr amser y gwelodd ef yn dda, hwyrach o fewn 130 o genedlaethau o ddynion, yn sicr o fewn chwech, neu yn y lle pellaf saith* mil o flynyddoedd. Yr wyf yn addef mai Tad ein Harglwydd Iesu Grist yw y Duw hwn, Creawdwr y byd; ac fel hyn, "*CREDAF YN NUW DAD HOLLGYFOETHOG; CREAWDWR NEF A DAEAR.*"

*(I'w barhau.)*

## CAM-DRINIAETH ANIVEILIAID.

ANHAWDD vyddai mynegi cyniver fordd y cam-drinir aniveiliaid gan ddynion: ond er mwyn eglurder cyvyngav hwynt yn awr i ddwy fordd. Yn gyfredin rhoddir naill ai gormod neu rhy vychan o barch iddynt, mae y naill mor velus a'r llall. Yr ydym yn govalu rhy vychan am y creaduriaid direswm pan y cam-arverwn yr awdurdawd a roddodd Duw i ni drostynt, a phan y devnyddiwn ev gyda chreulonder a thraha. Ond os caniatawn vod genym awdurdawd trostynt, ai iawn ydyw i ni ymddwyn tu ag atynt gyda fyrnigrwydd? Y mae tuedd naturiawl yn mhob dyn, os na bydd yn hollawl dan lywodraeth ei chwantau, neu gwedi ei halogi gan voesau drwg, i dosturiaw wrth bob creadur sydd yn meddu bywyd a theimlad. Y mae y tuedd hwn yn anrhydedd i natur dyn, ac y mae gwedi ei blanu mor ddwvn yn ein calonau vel yr edrychwn gyda chasineb at yr adyn truenus sydd wedi ei ddifoddi, a thybiwn y cyvryw un vel wedi discyn yn mhell islaw mawredd cyvovin dyndiaeth. Un cam a'i gwna yn angenvil, ni raid iddo ond gwadu i ddynion y tosturi na chaniata i'r anivail.

Esiamplau beunyddiawl a brovant wirionedd y dywediad uchod; a chovia vy narllenwyr lawer enghraifft o'r cyvryw greulonder: Gallwn gael niver lluosawg o enghreifftiau oddiwrth hanesiaeth; cawn yno vod y dynion hyny a ymhyvrydent mewn ymladdau bwystvilod yn hynod am eu creulonder tu ag at eu cyd-greaduriaid, mor wir ydyw hyn, vod ein triniaeth o'n haniveiliaid yn efeithiaw ar ein moesau yn gystal ag ar vwyneidd-dra ein hymarweddiad. Er y gellir honi vod genym hawl i ddistrywiaw pob creadur niweidiawl, a oes genym hawl i'w hymddivadu heb un teimlad o dosturi o'u bywyd sy mor anwyl i bob anivail? ac os byddwn dan angenrheidrwydd i'w dinystriaw, pa vodd y gallwn, heb greulonder, ymhyvrydu gyda llaw-

---

wyddiaw ei allu yn unig; ac er mwyn gwneud cyffelyb wahaniaeth yn y Gymraeg cyfieithiwn yr Erthygl gyntaf, "Credaf yn Nuw Dad Hollgyfoethog:" a'r chweched, "A esgynodd i'r nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheulaw Duw Dad Hollalluog."

* Mae yma ryw dafliad at gyfrif y 70 yr hwn sy'n gwahaniaethu ychydig oddiwrth y cyfrif Hebreig (presennol) yn oesoedd cyntaf y byd.

enydd anghenvilaidd yn eu dirdynu a'u poenydiaw? ac wrth gymmeryd ymaith eu bywyd, gwneuthur iddynt deimlaw miloedd o arteithiau mwy aethus nag angau ei hun? Caniatâv vod ein Creawdydd wedi rhoddi aniveiliaid i ddiwallu ein hangenion, i gydweinyddu er ein cysur a'n dedwyddwch, ac i leiâu ein llavur trwy eu gwasanaeth; ond nid yw yn canlyn oddiwrth hyn vod i ni awdurdawd i'w blinaw yn ddiangenrhaid, neu wneuthur iddynt lavuriaw tu hwnt i'w nerth, i'w hymddivadu o'u hymborth dyledus, neu ychwanegu eu poenau trwy driniaeth caled.

Digon vydd yr hyn a ddywedwyd er dangaws y cam-driniaeth cyntav; ond rhai dynion a ymddygant yn hollawl groes i hyn. Y creaduriaid hyny ag sydd amlav ger ein bron, y rhai a'n divyrant, neu a weinyddant er ein diddanwch a'n cysur, a ennynant ynom weithiau serch hollawl avresymawl. Blin genyv ddywedyd vod rhai dynion a merched mor fol a charu eu haniveiliaid gwâr i'r vath radd nes bod yn ol o gyvlawni eu dyledswyddau anhebgorawl tu ag at eu cyd-greaduriaid. Gall rhyvel anvon ei bläau drwy deyrnasoedd, gall byddinoedd ddyvetha eu gilydd heb gael yr efaith lleiav ar y venyw a vydd ychydig o ddyddiau wedi hyny yn anniddanadwy o herwydd marwolaeth ei hofgi.

Gellir ymhelaethu llawer ar hyn; ond ni vlinav vy narllenwyr drwy adrodd y vath wrthuni, ond tervynav yr advyvyriad hwn gyd ag un sylwad pwysig. Ni ddichon rhïeni, a'r rhai yr ymddiriedwyd iddynt arolygiaeth ac addysg plant, vod yn rhy ovalus rhag cam drinïaw aniveiliaid yn eu gwydd. Y mae hon yn ddyledswydd a haedda sylw neillduawl, a hyny yn vwy am yr esgeulusir hi mor aml; canys y cyvryw esiamplau a efeithiant gymmaint ar veddyliau plant nes y dysgant yr anwydau gwaethav. Ni ddylid rhoddi anivail i varwolaeth yn eu gwydd, llai o lawer y dylem eu gyru at y cyvryw orchwylion. Dylent gael eu harveryd i drin pob anivail vel creadur yn meddu bywyd a theimlad, ac nid vel pethau i'w baeddu a'u blinaw yn ol eu mympwy a'u nwydau. Tra y gwaharddwn vel hyn i'w teimladau vyned yn aniveilaidd, dylem ochelyd rhag meithrin ynddynt serch gormodawl at aniveiliaid a hofant, a bydded i ni hyforddi ein plant ymddwyn yn addas at y rhan hon o'r greedigaeth, vel y gallont o'u mebyd ymarver i gydnabod yn y creaduriaid hyn arwydd gweledig o'r Perfeithrwydd Dwyvawl.

STURM.

*Ebrill 1av.*

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### TWRCH DAEAR, Y WADD.

Y MAE saith math o Dyrchod yn y byd, medd anianyddion; ond nid oes oddieithr un o honynt yn ein gwlad ni. Y mae i'r Twrch chwech o ddannedd blaen yn yr ên uchaf, ac wyth yn yr isaf; un ysgythrddant bob tu i lawr ac i fynu; saith gilddant bob tu yn yr ên uchaf, a chwech yn yr isaf. Gwelir twrch ein gwlad ni dros holl ardaloedd Ewrop, oddieithr yr Iwerddon, lle nid oes dyrchod, fel y dywedant. Y mae i'w weled hefyd ym mharthau Gogleddol Asia ac Affrica. Ei hoffle ydyw maesydd a gweirgloddiau nawsaidd, a gerddi. Yn y rhai hyn y gwna iddo ei hun lwybrau tan-ddaearol ym mhob ffordd i ymofyn am bryfed, ac wyau, ac ieuaingc amryw fath o drychfilod, ar y rhai yr ymbortha; canys ni phrawf mewn modd yn y byd un o'r llysiau, er y niweidia lawer o

honynt wrth dyllu yngbylch eu gwraidd. O flaen gwlaw y mae fwyaf llafurus; canys y pryd hynny y mae 'r amryw fath o bryfed a thrychfilod yr ymbortha arnynt yn ymwthio tu â'r wyneb yn y ddaear. Cymmarant yn y gwanwyn, a bwrw y fanyw bump neu chwech ar y tro, y rhai a osodir mewn nyth o fwswgl, dail, a gwair sych. Gellir cael allan agos yn sicr y nyth wrth edrych ar faintioli y twr pridd; canys y mae 'r nyth yn wastad o dan y twr mwyaf. Y mae 'r nyth wedi ei wneuthur yn gelloedd, a goruwch-ystafelloedd, gyda llawer o gywreinrwydd. Y mae 'r cwbl wedi ei amgylchynu â ffôs, i'w gadw rhag gwlybaniaeth, a diddosir y cwbl uwch ben â gwaith bwäog o bridd, tebyg i ben ffwrn neu bobty: ofnant ddwfr yn fawr, a gwelwyd hwy weithiau yn dringo i fynu i goedydd er diogelu eu hunain rhagddo. Y mae ein Tyrchod ni yn nghylch pum modfedd a thri chwarter o hyd, ac y mae ei gynffon yn nghylch modfedd: ei ben sydd fawr mewn cydmariaeth, ac nid oes iddo glustiau: ei lygaid ydynt fychain iawn, ac mor agos yn anweledig yn ei fân-flew fel y tybiodd llawer ei fod yn ddall, ac am hynny yr arferir y ddiarheb, "*Mor dywyll a'r Wadd,*" Am ei fod yn byw y rhan fwyaf o'i oes o dan y ddaear, y mae yn eglur nad oes eisiau llygaid arno fel creaduriaid yn byw ar wyneb y ddaear: a chan ei fod yn hela ei ymborth wrth ei arogliad yn y tywyllwch, ni byddai llygaid, fel creaduriaid eraill, o fawr os dim defnydd iddo; etto, gan ei fod rai prydiau, o fodd neu o anfodd, yn ymddangos ar wyneb y ddaear, rhoddwyd iddo lygaid i'w gyfarwyddo tra yn y goleuni. Y maent yn greaduriaid nwydwyllt hynod, ac ymladdant fel cwn, neu foch, a goddefant y pryd hyn i ddyn eu sathru, heb ollwng eu gafael y naill o'r llall. Gwelodd yr ysgrifenydd ddau yn ymladd yn greulon am hir amser, a phan oeddynt wedi ymaflyd â'u dannedd y naill yn y llall, goddefasant iddo roddi ei droed arnynt, heb ymgais am ddiangc. Mewn cydmariaeth i'w faintioli, y mae yn gryf iawn, a rhoddwyd iddo draed blaen addas hynod at y gorchwyl o wneuthur ei rodfëydd tan-ddaearawl, ac nid ydynt annhebyg i'r llaw ddynol. Gellir eu dinystrio trwy roddi ychydig o arlleg, neu wnionyn, neu geninen, yn eu tyllau; canys ni allant oddef eu harogl, am hynny hwy a redant allan, ac yna gellir eu lladd â gwaewffon, neu â chi: neu cymmerwch ychydig o lwch Hylyf (*Helebore*) du neu wyn, ychydig beilliaid gwenith, gwyn ŵy, llaeth, ac ychydig win melus, neu Fethyglyn, a gwnewch y cwbl yn does, a gwnewch o hono bellenau at faint cneuen, a thaflwch un neu ychwaneg i'w dwll; y Tyrchod a ymborthant arnynt gyda hyfrydwch, a'r ymborth a dry yn wenwyn marwol iddynt. Gellir eu tarfu ymaith trwy losgi brwmstan, a phethau drewedig eraill, yn eu tyllau. Os rhoddwch Dwrch marw drewedig yn eu tyllau, gadawant hwynt. Gellir lladd llawer o honynt wrth fyned oddi amgylch, a sylwi ar y pridd yn codi; a phan y gweloch un yn gweithio, yna ystyriwch pa du i'r twr y syrth y pridd, ac yna tarewch y rhaw, neu y bâl, y tu arall oddi tano, a chodwch ef i'r dydd; os methwch gadewch y twll yn agored am ychydig, a'r Twrch a ddychwel i'w gau; canys nid ydynt yn hoffi llawer o awyr; neu tefiwch i'r twll *alwyn* neu ddau o ddwfr, a'r Twrch a red allan rhag ofn boddi. Y mae rhyfel cyffredin mewn rhai cymmydogaethau yn erbyn y Tyrchod daear, ac os eir yn y blaen fel hyn, diau cyn hir na fydd ond ychydig, os dim, wedi ei adael er coffa am danynt; etto, fe allai fod y creadur hwn yn fwy gwasanaethgar i'r am-

aethydd nag y mae llawer yn meddwl: yn sicr, y mae yn difetha llawer o bryfed yn y ddaear, y rhai a allent fod yn niweidiol i wraidd yr yd a'r llysiau, amser a ddengys hyn. Y mae pob creadur yn ei ryw yn llefaru yn uchel ac eglur am y Duw a'i gwnaeth, ac yn gosod allan ei ddoethineb, ei allu, a'i ddaioni.

R.

---

## ORIAU LLYFRAWL.

TRA chyffredin y daliwyd sylw nad ydym yn iawn barchu amryw ddefnyddiau a breintiau gwerthfawr, y rhai sydd hyspys i ni er amser mabandod, y rhai a welwn bob amser o'n hamgylch, a diffyg y rhai nis gallwn ei amgyffred, er na wyddai ein hynafiaid ddim am danynt, megis y maent yr awrhon yn ddieithr i wledydd a chenhedloedd eraill.

Yn ein gwlad ddedwydd ein hunain, anhawdd fyddai caffael unrhyw fwthyn yn y parthau mwyaf mynyddig heb ryw lyfrau ynddo; a'r llyfrau hyn sydd yn nghyrhaedd pawb, nid wedi eu darn-guddio megis trysor anghyffredin. Beth a barodd hyn? Y gelfyddyd o argraphu. Cyn caffael y gelfyddyd ddefnyddfawr hon, ychydig o lyfrau a welid, oddigerth mewn mynachdai, a phrif-ysgolion, neu lyfrgelloedd y goludog. Cedwid y llyfrau hynny, megis perlau o werth anfeidrol, gyd a'r gofal mwyaf; ac ni roddid hwynt yn echwyn heb y sicrwydd diogelaf y dygid yn ol yr hyn a fenthyccid.

Yn y dyddiau hyn, os ewyllysiwn berchennogi unrhyw lyfr, nid rhaid i ni ond cyrchu at y llyfrwerthwr nesaf, a thalu ei bris; ac yna ein heiddom ni yw. Y pryd hwnnw pob ysgrif-lyfr oedd anghyffredin a chostfawr; ac wrth ei brynu byddai y prynwr yn arholi ynghylch hawl y gwerthwr, ac yn gofalu am dystiolaeth barhaus o'r cyttundeb, yn yr un modd a phan brynir tyddyn o dir yn y dyddiau presennol. Y pryd hwnnw yr oedd llyfrau yn hylwyr anghyrhaeddadwy gan y werin; ond yn awr geill llafurwr tlawd am bris bychan feddiannu llawer o lyfrau buddiol. Y pryd hwnnw llaw-ysgrifen oedd pob llyfr, ac ychydig o gopïau a adawsid o honynt, fel yr oedd bob amser perygl eu myned yn hollol ar ddifancoll. Llawer a ddifethwyd yn hylwyr, ac eraill a wnaethpwyd yn anmherffaith iawn. Eithr yn awr, cyn gynted ag yr argrephir llyfr, nid yw ddichonadwy iddo gael ei golli, os na bydd yn hylwyr ddiwerth, wedi ei wasgaru drwy amryw ardaloedd y wlad.

Yn amser ysgrif-lyfrau yr oedd y drafferth a'r draul o'u hail-ysgrifennu gymmaint, fel nas gellid hyspysu y wybodaeth fwyaf defnyddiol oddieithr yn araf iawn. Ond yn awr y mae dysgedigion yn cyhoeddi eu gwybodaeth mewn ychydig fisoedd drwy bedwar rhan y byd. Felly hir y parhaodd cyfeiliorni a thywyllwch ar genhedlaethau gynt, er maint oedd gwybodaeth ambell wr dysgedig yma a thraw. Yr oedd y moddion i oleuo eu cyd-ddynion yn ddiffygiol ganddynt; eithr trwy y gelfyddyd o argraphu, galluogwyd y celfyddgar mewn un ardal i hyspysu pob caffaeliad newydd mewn gwybodaeth a chelfyddydau i'w gyd-frodyr llenawl ym mhob ardal dan yr haul.

Dengys y sylwadau uchod mor ddefnyddiol yw yr argraph-wasg; ac mor gynnil y taenid gwybodaeth pan oedd raid i ddynion gyhoeddi pob llyfr mewn ysgrif-waith yn unig. Eithr barnwyd mai nid anfuddiol i lawer darllenydd fyddai gosod o'i flaen yr amryw foddion a defnyddiau trwy ba rai y taenid gwybodaeth cyn dechreu argraphu:

ac yn ail, rhoddi peth hanes am ysgrif-lyfrau, a'r sawl a arferent eu gwneuthur; megis hefyd eu gwerth, ac amryw amgylchiadau perthynol iddynt.

Y mae gan bob gwlad, hyd yn oed y bobl mwyaf afrywiog, eu deddfau priodol, y rhai a ddylid eu hyspysu mor gyffredin ag y gellir i'r werin. Yn eu cyflwr anllythyrenog, cynhenid yw ganddynt eu gosod allan mewn prydydd-waith, fel y galler yn haws eu cofio. Ym mhlith yr hen Roegiaid arferent eu cyfaddasu at ryw fath o gerddoriaeth, a'u canu ar gyhoedd. Eithr wedi caffael gwybodaeth o lythyrenau, gadewir heibio ansicrwydd tafod leferydd, ac ymdrechir am gaffael i'r cyfreithiau anghyfnewidioldeb ac hyspysrwydd ysgrifeniadau. Tybygir mai cyfreithiau fu yr ysgrifeniadau cyntaf y'mhob gwlad. Ar ddwy lech faen yr ysgrifenwyd y deng air deddf; a hen gyfreithiau y Groegiaid a gerfid* ar ryw ddefnydd caled, megis carreg, mettel, neu bren. Dywed rhai hanesyddion, mai ar daflenau o goed y cerfiwyd cyfreithiau Solon, deddfwr yr Atheniaid; eithr dilys yw fod rhai wedi eu cerfio ar lechau maen. Cerfiwyd cyfreithiau y deuddeg taflen ym mhlith y Rhufeiniaid ar ystyllod derw, neu daflenau pres, a gosodwyd y rhai'n megis taflenau yr Atheniaid i fynu yn y farchnadfa, neu ryw le cyhoedd, fel y caffai pawb gyfleusdra i'w darllen. Megis y dileid neu y newidid yr hen ddeddfau, rhoddid ysgrifenwyr (neu gerfwyr yn hytrach) ar waith i ail-ysgrifennu yr hyn a fyddai angenrheidiol. Ar lechau maen neu bres, yn yr oesoedd hynny, yr ysgrifenid pob peth pwysfawr er coffadwriaeth parhaus. Y mae yn gadwedig ym mhrif-ysgol Rhydychen hen weddillion mynoraidd, y rhai a elwir Mynorion Arundelaidd; ac oddiwrth y rhai'n hawdd yw profi pa amrywiol ddefnydd a wnai yr hen Roegiaid o arysgrifeniadau maen. Rhai o'r arysgrifeniadau hyn a goffânt heddwch gwladol rhwng dwy genedl; eraill fuddugoliaethau neu rinweddau rhagorol pendefigion; ond y rhan fwyaf ydynt goffadwriaethau beddrodawl. Ar hen fynorion y cawn yr oesrestriad manylaf, perthynol i hanesion Groeg. Arferai y Rhufeiniaid, hyd amser eu Hymerawdwyr, gerfio ar bres ammodau heddwch, deddfau a chof-ysgrifeniadau gwladol. Yr unrhyw arysgrifeniadau pres a arferent i bennodi terfynau tiroedd. Yr oedd caniattâd i filwyr Rhufeinaidd, pan fyddent ar y maes-ymladd, ysgrifennu eu hewyllys diweddaf ar eu tarian, neu wain eu cleddyfau. Heblaw taflenau pres, arferent arysgrifennu deddfau a chyfammodau ar blwm hefyd. Cedwid yn y modd hyn brydydd-waith yr hen feirdd yn rhai mannau. Cyd-rwymid y daflenau ynghyd gyda modrwyau.

Gan fod taflenau o bres a phlwm mor gostfawr, ystyllod o goed a arferid yn fwyaf cyffredin. Byddai amrywiaeth yn y modd. Yn y dechreuad cerfient yr ystyllod noeth â phin haiarn; wedi hynny dysgasant y ffordd o amliwio y coed yn wyn, ac yna *paentio* arnynt yn o debyg i'r arfer bresennol; neu hwy a wyneb-wisgent y taflenau â *chwyr*. Arysgrifenid deddfau Rhufeinig ar daflenau gwynion amliwiedig yn y pedwerydd canrif; ac mor gyffredin oedd yr arfer yn Sweden, fel y daeth y gair *balkar*, hynny yw,

* Nis gellir ammeu mai cerfio oedd y dull cyntaf o ysgrifennu, a hynny ar lechau, neu daflenau o faen, neu bren, neu fettel. Y mae llun y llythyrenau Hebraeg yn gyfryw ag sydd gymmwys i'w cerfio. Tebyg yw fu'r arfer o ysgrifennu ar daflenau barhau yn hir ym mhlith yr Israeliaid, a chyhoeddi o rai o'r prophwydi eu geiriau yn y modd hynny. Gwel *Esa.* xxx. 8. "Ysgrifena hyn mewn *llech*," &c. a Habacuc, "Ysgrifena y weledigaeth, a gwna hi yn eglur *ar lechau*," &c.

(*balk* Saesonaeg) trawst, tylath, i arwyddoccâu deddfau ym mhlith y bobl hynny. Pan arferai y Groegiaid yn eu cynoesoedd ystyllod moethion, *schedai* y galwent hwynt; ac oddiwrth hwn y benthycciwyd y gair Saesonaeg *schedule*. Gwynebwisgo y daflen â chwyr oedd arfer ddiweddarach, ac ysgrifent arno â phinau o fettel, ifori, neu asgwrn. Pan rwyment ynghyd lawer o'r taflenau teneuon hyn, galwent y swpyn yn fonyn, neu *Codex*, o herwydd ei fod yn debyg i fonyn pren wedi ei lifio, ac oddiwrth yr ymadrodd hwn y daeth y gair Saesonaeg *Code*. Pan ysgrifenai y Rhufeiniaid lythyrau ar y cyfryw daflenau, cyd-glymment hwynt ynghyd â llinyn, a dodent eu sêl ar y cwlwm. Arferid taflenau o'r fath hyn cyn diweddared a'r pedwerydd canrif ar ddeg yn Lloegr. Y mae rhai hen lyfrau o'r fath yn gadwedig hyd y dydd hwn yn llyfr-gelloedd gwyr mawr. Pan ddaeth ifori yn gyffredin gyd â'r Rhufeiniaid, dewisasant arysgrifennu ar daflenau teneuon o ifori, megis defnydd amgenach a mwy dillyn-dlws na thaflenau o bren.

Arferwyd *dail* yn foreuol iawn i ysgrifennu arnynt. Oddiwrth y Lladin-air *folium*, arwyddoccâd yr hwn yw *deilen*, y daeth y gair *folio*, ac y priodolwyd deilen mewn amryw ieithoedd (megis hefyd, tebygir, *dalen* yn y Gymraeg) i arwyddo rhan o lyfr. Eithr yn y rhan fwyaf o wledydd Ewrop gadawyd heibio ddail am *risg* coed, megis defnydd i ysgrifennu. Nid annhebyg y gallai pobl anghelfyddgar, yn niffyg defnyddiau amgenach, arferu y rhisgl bras oddi allan; eithr yn ddiau gadawyd ef heibio gan mwyaf am y rhisgl main tufewnol, yn enwedig rhisgl y wâg-lwyfen. *Liber* yw y gair Lladin am risgl, ac arferwyd hwn i arwyddoccâu *llyfr* cystal a *rhisgl* yn yr iaith honno, ac nis gellir ychwaith yn rhesymol ammau fod *llyfr*,* yn y Gymraeg, yn deilliaw oddiwrth *liber* yn ei *ail* ystyr. Y mae rhisgl yn ddefnydd cyn freued fel nad yw ryfeddod fod hen ysgrif-weithiau o'r fath hyn yn anhawdd iawn eu cael yn y dyddiau

---

* Yn Ngeirlyfr y Cymro dysgedig Dr. W. O. Pughe, *llwv* yw tadogair *llyvyr*. Ond pa berthynas sydd rhwng llyfr a'r hyn sydd ganddo, *aptitude of motion, that may be moved, an exclamation, or an oath*, ânhawdd yw gweled. Dylai rhyw gyffelybiaeth ymddangos rhwng y tadogair a'i ddisgynydd, onidê nid oes dim sicrwydd yn y cyfryw eir-darddiad anwadal. Un o feiau mwyaf y Geirlyfr gwerthfawr hwnnw (a pha waith dynol sydd heb ei fai?) yw ymgais yr awdwr dysgedig i gaffael gwreidd-air *pob* gair yn y Gymraeg, pan y mae yn eglur i bob un diragfarn (gyda mawrbarch i Gymreigyddion a Chymmrodorion y dywedwn) y dylid ceisio tadogiad rhai mewn ieithoedd eraill, megis *angel*, *esgob*, *eglwys*, &c. Nid oedd fodd na ddygai Cristionogaeth i mewn amryw eiriau eglwysawl a chrefyddol, y rhai ni cheffid yn y Gymraeg yn amser Paganiaeth. Nid yw gywilydd i'r Gymraeg fod yn ddiffygiol o eiriau, pan na wyddai y Cymry ddim am y pethau a arwyddoccêid gan y geiriau hynny. Hyn a ddywedir, nid mewn yspryd annhirion at yr awdwr, ond o wir ddymuniad am i'r hyn oedd werthfawr yn ei ymddangosiad cyntaf, fod yn fwy perffaith a gwerthfawr byth yn ei ailargraphiad.

Bod y gair *llyfr* yn deilliaw oddiwrth y Lladin-air *liber*, yw cred yr ysgrifenydd; ond bod y gair hwn yn ei arwyddoccâd gwreiddiol am *risgl* yn perthyn yn fwy neillduol i'r Lladiniaid nag i lwythau y Celtiaid, ni chaniattêir ddim. *Libher*, yn iaith bresennol Celyddon, a arwyddoccâ y rhisgl, neu y sylwedd meddal teneu-fain rhwng y bonyn a'r rhisgl garw y tu allan, ac ni feddwn unrhyw sail i dybied fod y gair yn yr ystyr hwn wedi ei fenthyccio oddiwrth y Rhufeiniaid gan drigolion Celyddon. Pe gellid profi yn foddhaol fod llyfrau ym mhlith yr hen Frytaniaid, ond yn ddiau nid oedd dim ym mhlith pobl Celyddon, mwy tebygol fyddai i'r geiriau yn y ddwy dafod-iaith gyd-darddu allan o iaith *gyntaf* Ewrop.

Un o'r geiriau Lladin, a arferid am y defnydd yr ysgrifenid arno gynt, yw *Charta* neu *Carta*. Yn awr un gair *Gael* am risgl yw *cart*; *A chart*, yw *Y rhisgl*. Gwelir yma hefyd, megis yn y llall, *gyd-feddiant* o air gwreiddiol. Yn nhreigliad oesoedd priodolodd y Rhufeinwyr ef i'r defnydd yr

presennol. Ond yn amryw wledydd dwyreiniol, megis ym mhlith y Birmaniaid, dail, neu risgl, yw y defnyddiau cyffredini ysgrifennu arnynt; ac os bydd achos, cyd-gylymir llawer ynghyd megis dalenau o bapur. Y mae amryw ddail dwyreiniol yn helaeth iawn, ac yn gymmwysach i ysgrifennu arnynt na dim o'r eiddom ni. Eithr rhy faith fyddai olrhain yr arfer yn fanylach. Yn yr un modd gwnaed llyfrau o risglau ym mhlith yr hen Saeson, a thrigolion Llychlyn. Rhisgl ffawydden *(beech-tree)* a arferid ganddynt fynychaf. Ystyr dechreuol yr hen air Saesonaeg *boc* yw ffawydden *(beech-tree)*, ei ail ystyr yw *llyfr*, ac oddi wrtho ef y deilliaw y gair Saesonaeg presennol *book*. Yr ydym etto yn perchen hen lythyrau, ïe, llythyrau cariad, y rhai a ysgrifenodd trigolion Llychlyn ar risgl coed. Ië, ym mhlith y *Calmucs* cafwyd llyfrau o'r fath hyn; eu llun yn hirfain iawn; y dalenau oeddynt o risgl tew wedi ei adliwio *(ferneisio)* a'i dduo, a gwnelsid llythyrenau gwynion ar y lliw du. *(I'w barhau.)*

---

ysgrifenent arno, wedi rhoi heibio ysgrifennu ar risgl; megis yr arferwn ninnau y gair *papur* i arwyddo ein papur presennol, er mai hesg Aiphtaidd a feddylid yn y dechreuad. Eithr trigolion Celyddon a barhant i arferu y gair *Cart* yn ei ystyr dechreuol.

Cyffelyb gyfnewidiad a welir yn y gair *Bibl*. Beth yw *Bibl?* "Yr Ysgrythyr Lân," medd Dic Ben mynydd, "fe ŵyr pawb hynny." "Nage," medd Sion wybodus, "Y Llyfr yw, mewn ystyr *arbennedol*, sef y goreu o bob llyfrau. Ond, ai hyn oedd ei ystyr cyntaf? Gair Groeg yw, arwyddoccâd gwreiddiol yr hwn yw *rhisgl*, *rhisgl* pob pren, ond yn fwyaf rhisgl y wâg-lwyfen. Wedi dechreu ysgrifennu ar risgl daeth y gair megis *Liber* yn Lladin, i arwyddoccâu *Llyfr* y'mhlith y Groegiaid; ac yn ddiweddaf cyfyngwyd ef gan Gristionogion, fel y dywed Sion wybodus, yn baeddiannol i'r ardderchoccaf o'r holl lyfrau, yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

Yr unig ragoriaeth rhwng Bibl a Llyfr yn eu hystyr dechreuol, yw bod y cyntaf yn deilliaw o'r Groeg, a'r ail o'r Lladin.

## BREUDDWYD Y DR. JOHNSON.

Yn ddiweddar breuddwydiais freuddwyd rhyfedd, yr hwn a gafodd y fath argraph ar fy meddwl fel yr wyf yn ei gofio bob gair.

Gweled fy hunan yr oeddwn yn nghanol cwmni diddan, yn gwrando ymddiddanion difyr cyfeillion llawen, pan yn ddiattreg y canfyddwn ryw DDRYCHIOLAETH arswydus, ar lun dynes, yn cyfeirio tu ag attaf. Yr oedd mewn gwisg ddu; ei chroen ydoedd grychlyd; ei llygaid yn eithaf ei phen; a'i lliw yn welwlas fel yr angau: ei golwg oedd yn llawn o ddychryn marwol; ac yn ei llaw yr oedd ffangellau ac ysgorpionau.

Fel yr oedd yn nesâu attaf gyda chuwch erchyll, a llais yn fferu gwaed fy nghalon, gorchymynodd i mi ei dilyn hi, yr hyn a wnaethum; a hi a'm harweiniodd hyd lwybrau gerwin ac anwastad, trwy ddrain a mieri, i ddyffryn dyfn ac anial; gwellt y ddaear a wywai dan ei thraed y ffordd y rhodiai, ei hanadl wenwynig a lygrai yr awyr â tharth drewllyd, yr hwn a dywyllai lewyrch yr haul, ac a osododd wyneb teg y nefoedd mewn tristwch mawr. Lleisiau drwg a swn udo ydoedd yn y diffaethwch hwn, yr olwg ydoedd lawn o ddistryw a dychryn. Yn y fangre arswydus yma hi a'm cyfarchai fel hyn:—"O! ddyn marwol ac anystyriol, tyred gyda mi oddiwrth wag bleserau y byd twyllodrus, a gwybydd na osodwyd llawenydd yn rhan i neb o'r hil ddynol. Dyn a aned i flinder a thrueni, dyna yw cyflwr pawb dan y sêr, a phwy bynnag a weithreda yn ngwrthwyneb i hynny sydd yn rhwyfo yn erbyn rhediad ewyllys y nefoedd." Y fath olwg druenus ar fywyd a soddodd fy yspryd, ac a fu bron a diffodd y wreichionen olaf o lawenydd fy enaid. Teflais fy hun dan ywen grinllyd ddi-

flanedig, lle yr oer chwythai y gwynt, ac y llanwai meddyliau dychrynllyd fy nghalon; yma y penderfynais aros i ddisgwyl i angau ddyfod i roddi terfyn ar fy mywyd annedwydd. Yn y sefyllfa hon, gwelwn ar fy llaw aswy afon leidiog o ddwfr budr, yn araf wthio ei thonnau trymion tu a'r làn. I hon y penderfynais daflu fy hun; ond yn ddiattreg teimlwn fy hunan yn tynnu yn ol; mi a droais fy mhen, ac, er fy syndod, gwelwn un o'r gwrthddrychau mwyaf hawddgar a welswn erioed. Hon oedd anghydmarol hardd mewn prydferthwch, a thegwch, ei golwg a ddisgleiriai mewn gogoniant, edrychai arnaf gyda sirioldeb tirion, yn llawn o nefolaidd dosturi, a gwir heddwch. Ar ddyfodiad y Dduwies hon attaf, y DDRYCHIOLAETH erchylldrem, a'i holl flinder a ddiflannodd. Yn awr yr haul a hyfryd lewyrchai drwy y cymmylau duon, y ddaear a'r coed a ymwisgodd mewn harddwch, a'r holl fro a siriolai yn llon flodeuog fel gardd Paradwys. Mawr oedd fy llawenydd yn y cyfnewidiad annisgwyliadwy hwn, hyfrydwch adnewyddol a ddechreuodd lawenhau fy meddyliau; ar hyn, gyda mwynder annrhaethadwy, hi a'm hannerchodd â'i nefol hyfforddiadau fel y canlyn:—"Fy enw yw *Crefydd*, un o hiliogaeth *Gwirionedd* a *Chariad*, a mam *Serch*, *Gobaith*, a *Llawenydd*. Y bwystfil ofnadwy, o grafangau yr hon y'th waredais, a elwir *Coelgrefydd*, enw ei mam ydoedd *Anfoddlondeb*, a pherthynasau agos iddi ydyw *Ofn* a *Gofid;* ac er mor wahanol ydyw hi a minnau, trwy ei digywilydd-dra, ymddengys yn fynych yn fy enw i, a'i gwaith ydyw hudo trueiniaid annedwydd hyd lwybrau gwallgofrwydd, trwy anialwch a dyryswch, tros greigiau a mynyddau, i làn afon *Anobaith*, tros geulan yr hon y meddyliaist dithau daflu dy hun i ddinystr tragywyddol.

"Edrych o amgylch, a manwl sylwa ar holl brydferthwch y ddaearen, yr hon a arfaethodd y nefoedd yn breswylfod i'r rhyw ddynol; ac ystyria, ai i drueni a gofid yn unig y lluniwyd y fath le? I ba beth y taenai llaw rhagluniaeth yr aneirif wrthddrychau hyfryd a welir; ond fel y byddai i bawb lawenychu yn ei sefyllfa, a bod yn llawn o wir ddiolchgarwch i Roddwr pob daioni: felly rhinwedd ac ufudd-dod ydyw mwynhau ei fendithion ef, ac nid ydyw diystyru y fath drugareddau amgen nac anwybodaeth gresynus, a chyndynrwydd afresymol.

"Anfeidrol ddaioni Duw yw dechreuad pob creadur hanfodol; a dymuniad pob enaid rhesymmol, o'r seraphiaid mwyaf gorfoleddus mewn gogoniant, i'r radd iselaf o ddynion ar y ddaear, ydyw cyrchu at fwy o lawenydd. Rhanwyd i bob un o honynt alluoedd addas i wahanol raddau o ddedwyddwch."

"Beth," meddwn innau, "ai dyma iaith Crefydd. A ydyw hi yn arwain ei dilynwyr hyd lwybrau hyfrydwch, ac yn peri iddynt dreulio eu dyddiau mewn seguryd? Pa le y mae holl flinder a thrafferth y rhinweddol, bywyd gofidus yr edifeiriol, a gweithrediadau hunanymwadol y saint a'r merthyron?" Ond hi a'm hattebodd yn y modd mwyaf tirion, gan ddywedyd, "nad ydoedd difyrrwch a mwyniant enaid rhesymmol yn gynnwysedig mewn llawer o foethau, esmwythyd gloddestgar, terfysg y nwydau, dioglyd syrthni, nac ychwaith mewn gwag ffolineb, a choeg-ddigrifwch.

"Ymollwng i bleserau cnawdol sydd yn llygru y meddwl, byw mewn gwagedd ac oferedd a'i darostynga, a phob un o honynt, mewn rhyw fesur, a'i gwna yn anghymmwys i achos da; ond byddant yn sicr o'i drosglwyddo i drueni. Diesgeulus reoli tueddiadau galluoedd yr enaid, a ddylai fod gofal

pennaf y sawl a ddymunai fod yn hollol ddedwydd; hefyd anrhydeddu perffeithrwydd ei Greawdwr, dangos ewyllys da tu ag at ei gydgreaduriaid, a choleddu tufewnol uniondeb calon ydyw dyledswydd dyn. Ond er llonni ei gynneddfau serchiadol, y mae yn rhaid iddo ganiattau iddo ei hunan gymmaint o ddedwyddyd ag a adfywia ei feddyliau ar ei daith tu a'r byd tragywyddol. Yn ardaloedd gwynfyd, lle y preswylia yr angylion nefolaidd, y mae hyfrydwch pur byth yn blodeuo, yno mae afon lifeiriol o ddidranc lawenydd yn rhedeg yn wastadol.

"Y mae yn rhaid i'r rhai sydd yn teimlo eu meddyliau gwreiddiol yn llygredig (fel y mae achos gan yr holl hil ddynol i fod) gaeth lywodraethu eu hunain at foddion addas i'w cyflwr; a'r hwn sydd yn euog o anghymmedroldeb gwirfoddol, ymostwng yn amyneddgar i ofidus weithrediadau natur, ac anghenrheidiol dostrwydd meddyginiaeth, mewn trefn i gael iachad, ac yn gyferbyniol â'i welliant yn barhaus, y mae ganddo hawl i radd fawr o gysuron yn yr etifeddiaeth deg a osododd ei dad nefol yn rhan iddo ef, ac fel y bo yr enaid yn ymgryfhau, dirgel feddyliau y galon adnewyddol a ddirfawr lawenychir; cyn belled a hynny oddiwrth derfynau erchyll gwlad Anobaith yw cyflwr y mwyaf euog ei gydwybod. O! ddyn marwol, arswyda wrth feddwl am y geulan, dros yr hon y meddyliaist daflu dy hun. Pan y mae pob annogaeth i'r pennaf o bechaduriaid wellhau ac edifarhau, diau y cynhelir ac y diddenir yr enaid diniwaid tan holl brofedigaethau ei anian lygredig, a gall fod yn llawen a hyderus y bydd i bob ymdrech gwirioneddol a wnelo i oresgyn ei nwydau gael cynnorthwy, derbyniad cymmeradwy, a gwobr mawr yn y diwedd. I'r cyfryw un nid yw dwfn ymddarostyngiad amgen na gosod sylfaen isel mewn gobaith am wir ddyrchafiad, gan y cynnorthwyir (trwy fy arweiniad i) y rhai a gyfaddefant eu beiau, ac a ffyddlon holant eu hunain, i ddyfod yr hyn a ddymunent." Ac â llawer o ymadroddion eraill y cynghorodd hi, y rhai ydynt yn rhy faith i'w hadrodd yn bresennol: "ond, yn ddiweddaf," ebai hi, "tyred gyda mi o wastadol drueni i fwyniant rhesymol, a hyfryd lawenydd. Dychwel o olwg anial, cyfyng gilfachau, dirgel neillduaeth, at ddyledswyddau perthynol i enaid rhesymol. Ni ddylid cyfyngu Crefydd i gelloedd, ac ystafelloedd, na'i chaethiwo i leoedd anhylon. Athrawiaeth dywyll a chymmylog Coelgrefydd ydyw, trwy yr hon y mae yn ymdrechu torri cadwyn euraidd cariad brawdol, yr hon sydd yn cyd-gyssylltu holl rannau cyfeillgarwch cymdeithasol yma yn y byd."

JOHNSON.

---

## YFED IECHYD DA.

HYSPYS i hanesyddion yw, fod hen ogleddwyr Ewrop yn hynod am eu cyfeddach, a'u tueddiad i yfed yn anghymmedrol. Amlygent y tueddiad hwn yn eu hathrawiaethau crefyddol, cystal a'u harferion yn addoli eu duwiau gau. Pwngc sylfaenol o athrawiaeth ganddynt oedd, y derbynid gwyr dewrion, y rhai a laddesid mewn rhyfel, i fath o baradwys neu ddedwydd-le yn y byd nesaf; ac mai dedwyddyd y fan fyddai hyn, sef archolli a lladd eu gilydd mewn brwydrau beunyddiol bob boreu, eithr ymiachâu erbyn ciniaw, a bwytta eu gwala o gig baedd anferth, ac yna yfed diod gadarn allan o benglogau eu gelynion. Yn gyttun â'r daliadau cableddus hyn, tybient mai un ffordd o anrhydeddu eu duwiau oedd fel y canlyn: Cydgynnullai lluaws mawr at deml yr

eilun, a chyd-ddygent anrhegion lawer, pob un yn ol ei allu. Dwysorchymynid i bawb ddwyn *rhyw faint o gwrw* gyd âg ef. Ar yr achos hwn lladdent wartheg a cheffylau, a thaenellent y gwaed ar yr eilunod, ar lestri yr addoliad, ac hefyd ar yr addolwyr eu hunain. Berwent y cig yn fwyd. Swydd yr Arch-offeiriaid oedd bendithio y bwyd a'r ddiod hefyd. Yfent y cwppanaid cyntaf i *Odin*, Duw y rhyfel, er caffael buddugoliaeth mewn brwydr, ac er llwyddiant i'w lywodraeth, yna yfent yn yr un modd i dduwiau eraill yn olynol. Yfent hefyd er coffadwriaeth y dewrion a'r cyfeillion arwraidd y rhai oeddynt wedi marw o'u blaen.

Pan gymmerodd enw o Gristionogaeth lygredig le yr eilun-addoliaeth gynt, ni wnaethpwyd nemmor o newidiad yn eu bucheddau, a chyffelyb arferion drwg a barhasant i ymhoffi ynddynt. Gadawsant heibio yfed iechyd *Odin* a'i deulu, ac yfasant iechyd Crist, Mihangel, a'r Saint, ac yn ddiweddaf oll iechyd eu gilydd. Ië, wrth fwrdd yr Arglwydd, wedi cymmuno, os byddai peth o'r gwin y'ngweddill, yfent iechyd eu gilydd gyd âg ef; canys yn yr oesoedd hynny ni naccauesid y cwppan gwin yn yr offeren i'r gwyr lleyg. Ail godwyd er hynny yr arfer anweddus mewn rhai eglwysi Protestanaidd, ond yr ydym yn gobeithio ac yn credu ei bod, er ys blynyddoedd lawer, wedi ei rhoi heibio yn hollol.

Y cyfryw oedd twyll a chreulonder y Daniaid (neu y Llychlynwyr) fel yr hudent ddynion i yfed mewn ffug-gyfeillach, ac yna trywanent hwy â chleddyf, pan fyddent yn y weithred o yfed. O achos hyn bu yn angenrheidiol caffael meichniau i ymwystlo na wneid niwaid i'r yfwr yn ei gyflwr ammharod; ac oddiwrth yr arfer hon y daeth yr ymadrodd o ymwystlo (*pledge*, Saesonaeg) i gyfaill wrth ofyn iddo yfed; hynny y.w, yr wyf yn ymwystlo am eich diogelwch, ac na wneir niwaid i chwi pan fyddoch yn yfed. A.

---

## TRIOEDD YNYS PRYDAIN.

(*Parhad o du dal.* 88.)

15. Tri Unben Llys Arthur—1. Goronwy mab Echel Forddwydwll;—2. Cadreith mab Porthfawr Gadw;—3. Ffleidir Fflam mab Godo.

16. Tri Unben Deifr a Bryneich (Durham, Cumberland, Westmoreland, &c.)—1. Gall mab Dyngyfedawg;—2. Difedel mab Distyfyndod Dysgyfodawg;—3. * * * * * wedi colli (tri meib Beirdd oeddynt eill tri.)

17. Tri Gwaywrudd Beirdd Ynys Prydain—1. Trist Fardd, Bardd Urien;—2. Dygynelw, Bardd Owein;—3. Afan Ferddig, Bardd Cadwallawn (eraill fel hyn—Amian Merddig, Avaneddig—*Llwyd; Afanferddig—Printed Copy*) Bardd Cadwallawn mab Cadfan.

18. Tri Ofer Feirdd Ynys Prydain—1. Arthur;—2. Cadwallawn mab Cadfan;—3. Rhyhael eil Morgant.

19. Tri Chynweisiaid Ynys Prydain—1. Caradawc mab Brân;—2. Cawrdaf mab Caradawg Freichfras;—3. Ywein mab Macsen Wledig.

20. Tri Llynghesawg Ynys Prydain—1. Gereint mab Erbin;—2. Gwenwynwyn mab Naf;—3. March mab Meirchiawn.

21. Tri Gwrddfaglawg Ynys Prydain—1. Rineri mab Tangwm;—2. Tinwaed Faglawg;—3. Pryder mab Dolor—(Deifr a Bryneich.)

22. Tri Eurhualog Ynys Prydain—1. Rhiwallon Wallt Banhadlen;—2. Rhun mab Maelgwn;—3. Cadwaladr Fendigaid—ac ysef y gelwid y gwyr hynny yn Hual-

ogion, wrth na cheffit meirch a berthynai iddynt, rhag eu maint, namyn dodi hualon am eu hegwyddydd, ac ar Bedrenneu eu meirch, tra ar eu cefnau—a dwy badell eur o dan eu gliniau—ac wrth hynny, y gelwir padelli y glin.

23. Tri Cadfarchawg Ynys Prydain—1. Caradawc Freichfras;—2. Menwaed o Arllechwedd;—3. Llyr Lluyddawg.

24. Tri Gal-Ofydd Ynys Prydain—1. Greidiawl Galefydd mab Enfael;—2. Oedran;—3. Drystan mab Tal-llwch.

25. Tri Rhyddfoawg Ynys Prydain—1. Arthur;—2. Rhun mab Beli;—3. Morgant Mwynfawr.

26. Taleithiawg Cad Ynys Prydain.—1. Trystan mab Tallwch;—2. Hueil mam Caw;—3. Cei mab Cynyr (arall, mab Ynyr) Ceinfarfawg. Ac un oedd daleithiawg arnynt (arnaddynt wynteu) hwythau oll: Bedwyr mab Pedrawg oedd hwnnw.

*D. S.* Yr hyn a ganlyn a gymmerwyd allan o hen lyfr ysgrifenlaw.

Maelgwn Gwynedd ap Caswallawn Lawhir, a fu Frenhin creulon, a hwnnw a wnaeth Caer Ddigoll, a Chaer Ddyganwy (Dingonwy) a Chaer Gyffin, a Chaer Gollwyn. Caer Ddigoll yw y Mwythig (Amwythig); a Chaer Ddyganwy yw y Creuddin; a Chaer Gyffin yw Aber Conwy; a Chaer Gollwyn yw Harddlech; a mab a merch fu i Maelgwn, Rhun oedd y Mab, ac Eurgain oedd y Ferch.

Cystenyn Fendigaid, Brawd Aldwr, brenhin Llydaw, oedd Tad, 1. Constans, neu Custenin Fychan, 2. Emrys, 3. ac Uthr Bendragon, Tad Arthur.

Twrog oedd yn byw yn amser Cadfan, Brenhin Gwynedd, B. A. 613; a Tysilio, mab Brochwel Ysgethrog, Brenhin Pywys, oedd hefyd yn byw at yr un amser. Tysilio oedd awdwr Brut y Brenhinoedd, yr oedd yn Esgob clodfawr a duwiol, a rhai Eglwysydd a gyssegrwyd iddo. Sieffrai o Fynwy a fu yn Esgob Llanelwy ychydig gwedi hynny. Pabo Post Prydain oedd yn Dywysog o gylch B. A. 500; y mae Eglwys iddo yn Môn; mab Arthwys ap Mar ap Cenau ap Coel Codebog oedd; Brawd i Pabo oedd Ceidiaw, Tad Myrddin Wyllt. P. B. W.

---

AT GYHOEDDWR Y GWYLIEDYDD.

SYR.—Wrth ddarllen eich Cylchgrawn am Chwefror diweddaf, gwelais yn tu dal. 54, "Llythyr Mwnwr a'i Frodyr," mewn dull o ofyniad; a daeth ar fy meddwl ei atteb goreu ag a allwn, ac os gwelwch ef yn deilwng o le yn eich Cylchgrawn y mae at eich gwasanaeth.

J.

CAER-GYFFIN,
*Mawrth* 12, 1829.

SYLW

*AR LYTHYR MWNWR A'I FRODYR.*

AM y Cymdeithasau Cyfeillgar y mae yn sôn am danynt, y mae yn sicr eu bod yn dda, ond nid pob peth ag sydd ynddynt, yn fisol ac yn flynyddol, sydd weddus mewn lle wedi ei gyssegru at waith yr Arglwydd yn unig. Am ddiwrnod y cylchwyl blynyddol, o'm rhan i, byddai yn well gennyf gael y Gwasanaeth a Phregeth ar yr achos yn yr Eglwys Sefydledig, am fod parch yn gweddu iddi o herwydd ei hynafiaeth, a bod y rhan fwyaf o'n gwlad yn aelodau o honi trwy fedydd.

Yn nesaf, y mae yn dywedyd iddo "fyned i gyfarfod ar yr achos yma, ac nad oedd chwannog i nithio pob araith i chwilio am eu beiau;" ond y mae yr Eglwyswr cydwybodol (pe bai gydwybodol hefyd) ar yr un gwynt yn llindagu y gwr o herwydd ei eiriau, ac yn dywedyd

nad ydynt, "na drwg na da;" y mae yn sicr os nad ydynt dda eu bod yn ddrwg, a da fyddai iddo ystyried pethau cyn eu danfon ar gyhoedd gwlad.

Hefyd, y mae yn gofyn "beth sydd yn gwneud i fynu broffes o grefydd?" Fy marn i yw, mai gweinyddiad o Fedydd, a chyfrannogiad o Swpper yr Arglwydd, yn nghyd ag ymarferiad o ddyledswyddau crefyddol, sydd yn gwneud proffes o grefydd; etto, yr wyf yn barnu, os na bydd eu buchedd yn atteb i ammod eu bedydd mai gwell iddo ef a'i frodyr aros yn y mwngloddiau, "na bwytta ac yfed barnedigaeth iddynt eu hunain."

Hefyd, mi a feddyliwn wrth ei eiriau ei fod yn barnu fod pawb, os byddant wedi eu bedyddio, yn broffeswyr crefydd; wrth hyn y mae y meddwon, tyngwyr, lladron, godinebwyr, &c. yn proffesu crefydd, ni fedraf ddeall pa grefydd yw hon, os nad yw Beelzebub wedi codi crefydd newydd yn Nghymru.

Am y cyfarfodydd neillduol, mae Gweinidogion ein Heglwys yn Neheudir Cymru yn eu cadw mor gyffredin a neb enwau eraill, a rhai gweinidogion effro yn y Gogledd, a sicr yw am y rhai yr ymwelodd yr Arglwydd â hwynt, y deuant at eu gilydd "i fynegi yr hyn a wnaeth efe i'w henaid." Nid peth newydd yw hyn, y mae esiampl yr Arglwydd Iesu gennym, pan oedd gyd â'i ddisgyblion, byddai yn athrawiaethu i'r torfeydd, ac o'r neilldu yn egluro y pethau i'w ddisgyblion. "I chwi y rhoddwyd gwybod dirgelion teyrnas Dduw, ond iddynt hwy ar ddammegion." Da fyddai gennyf eu gweled yn amlach yn ein Heglwysydd.

Hefyd, y mae "yn diolch i Dduw am ei fod yn aelod o'r Eglwys sydd yn ei gweddïau mynychaf yn erfyn gwaredigaeth 'oddiwrth bob dallineb calon, oddiwrth falchder, a gwag ogoniant, a ffug sancteiddrwydd, oddiwrth genfigen, a digasedd, a bwriad drwg, a phob anghariadoldeb:'" mi a gydunaf i ddiolch yr un modd ag ef, ond da pe buasai yn cofio peidio drwg liwio araith y gwr, yr hyn sydd foddion i fagu a meithrin pob un o honynt.

Ni fedraf ddeall beth all y *Mônwr* fod, ond byddaf yn meddwl weithiau wrth ei araith mai un wedi bod yn perthyn i'r cymdeithasau crefyddol (fel y'u geilw) ydyw, a'i farnu yn "fanna gwael;" os ydyw, buasai yn harddach iddo gadw y gyfrinach iddo ei hun: bryd arall, byddaf yn meddwl mai un yn ceisio gwneud ei fedydd yn broffes o grefydd, er mwyn tawelu ei gydwybod; ond cofied mai "cul yw y cwrlid i ymdroi ynddo."

---

### AT EIN DARLLENWYR.

Er cyd-syniaw â chais aml un o'n cyfeillion, yr ydym yma yn cyhoeddi pigion o'r "*Myvyrian Archaiology*," gan fod y Llyfr hwnw yn brin ac yn uchel iawn ei bris, nid ydym yn tybied y bydd ychydig fal hyn o honaw o dro i dro yn annerbyniawl.

Y Golygwr.

### BRUT Y TYWYSOGION.*

Oed Crist 660, y bu farw Cadwallawn ab Cadfan brenin y Brittanniaid ac y daeth ei fab ef Cadwaladr fendigaid yn Frenin yn ei le; a gwedi deng-mlynedd yn heddwch daeth y Clefyd mawr a elwir y Fall felen ar holl ynys Prydain, a hynny a ddechreues pan oedd oed Crist yn 674. Ac achaws y Fall honno ydd aeth Cadwaladr a llawer o bob goreuwyr y Bryttaniaid i Lydaw lle ydd oedd eu cydwladwyr wedi gwladychu yn

---

* Dalier sylw fod y Brut uchod yn ei orgraff cyntefig.

hir o amser cyn no hynny; ac achaws y clefyd nis gellid rhyfelu yn ynys Prydain na llafuriaw daear, ac o hynny y digwyddes newyn mawr oni bu farw niferoedd rhyfeddawl o'r Cymry a'r Saeson; a'r Newyn, a'r Fall, a barhëis unmlynedd ar ddeg, onid aethant yn dost eu gormail holl bobloedd ynys Prydain. A gwedi dyfod diwedd ar y dialeddau hynny, fe ddodes Gadwaladr ynys Prydain a'i choron yn nawdd ac adnau Alan Brenin Llydaw, ac a aeth i Rufain wrth gyngor Angel a welsai efe yn ei lesmair, ac yno y bu efe bum mlynedd ac y bu farw yno, a phan ddel ei esgyrn ef oddiyno yn ol i ynys Prydain y cant y Brytaniaid eu Braint a'u Coron, yn ol y dywaid yr Angel wrth Gadwaladr.

Oed Crist 683, y danfones Alan brenin Llydaw ei fab Ifor ac Ynyr ei Nai a dwy Lynges gadarn i ynys Prydain, a rhyfel a fu ryngddynt a'r Saeson, a gorfod ychydig arnynt, yna y cymmerth Ifor arnaw Benaduriaeth y Bryttaniaid. A gwedi hynny y daeth y Saeson yn ei erbyn ef a llu cadarn, a chad ar faes a fu ryngddynt lle y gorfu Ifor a'r Bryttaniaid wedi ymladd creulawn, ac ynnill Gwlad Cerniw, a Gwlad yr Haf, a Dyfnaint yn gwbl. Ac yna y gwnaeth Ifor y Brodyrdy mawr yn ynys y Fallen er diolch i Dduw am ei gyfnerth yn erbyn y Saeson.

Oed Crist 698, y bu 'r glaw gwaedliw yn ynys Prydain, onid aeth y llaeth ar ymenyn a'r caws yn gochliw gwaed; ac Ifor a aeth i Rufain lle y bu farw gwedi cynnal Penawdurdawd ar y Bryttaniaid wyth mlynedd ar hugain, yn fawr ei glod ai ddoethineb, efe a ddodes lawer o Diroedd at Eglwysi yng Nghymru a Lloegr.

Oed Crist 720, Bu Haf tesawg rhyfeddawl oni bu farw coedydd a llysiau ac ysgrublaid gan sychder ac angerdd y poethder, ac ym mis Medi yr un flwyddyn y bu 'r llifeiriaint disyfed ac y torres Eglwys Llancarfan, a llawer o'r Tai, ac y boddes aneirif o'r Gwartheg a'r Defaid oni bu dra mawr y colledion, a'r un peth mewn llawer man arall, a'r un amser y bu llanw aruthrawl ym Mor Hafren oni thorres argaeau, ac y collwyd llawer o'r ynysdir ar hyd lan y mor ym Morganwg, a Gwent, a Gwlad yr Haf, a dirfawr y colledau o hynny.

*(I'w barhau.)*

---

## CHWEDL.

OFEIRIAD Cymreig yn pregethu ar y testun canlynawl, sev, "Cerwch eich gilydd," a ddywedodd wrth ei gynnulleidva, vod dynion yn waelach nag yr aniveiliaid direswm yn eu cymwynasgarwch, ac eu triniad parchus tu ag at eu cyd-greaduriaid. Vel amlygiad o wirionedd y sylwad yma, mynegodd un engraift am ddwy avr yn ei blwyv ev ei hun, a gyvarvuasant ar bont mor gul, vel nas gallent vyned drosti heb i y naill davlu y llall i yr afon. "Ac," ebe ve, "pa vodd, tybygech chwi, y gwnaethant? Wel, mynegav i chwi, gorweddodd un ar y bont, a gadawodd i y llall neidio drosti. O! vy anwyl vrodyr bydded i ni vod vel y geivr hyny."

M.

---

## GOFYNIAD.

MR. GWYLIEDYDD,—Da fyddai gennyf i chwi, neu rai o'ch Gohebwyr, roddi ar ddeall i mi pa un ai cyfreithlon ai anghyfreithlon ydyw cau y Monwentydd, fel na's gellir myned iddynt heb gennad y Person, neu y Clochydd, neu ryw weinidog arall perthynol i'r Plwyf? Hefyd, a ydyw yn gyfreithlon cyfodi côf-golofn, neu gôf-adail, yma a thraw ar hyd y fynwent, fel prin y gellir ei thramwy o'r naill gŵr i'r llall heb fyned ar eu traws? Cael atteb o hyn fyddai dda gan

YMOFYNYDD.

# BARDDONIAETH.

## COFION BARDDONOL.

### *ENGLYNION*

O gronfa *Miss* Angharad Llwyd, a gyfansoddodd Sion Tudur, i Dd. ab Edmwnd, o'r Hôb, Estyn. Saer Olwynion, yn y cyntaf mae yn gofyn am echel mèn ganddo, ac yn yr ail mae yn rhoddi clod iddo, herwydd ei chael, dybygaf.

Gwnia di yna goed Onen,——yn dŷn
Ac adenydd Derwen;
Dwy loew-foth dew o Lwyfen,
Chwilia i mi am echel mèn.

Goreu Saer o Gaer i Gorwen,—yw 'r gwr,
Goreu naddwr Onen;
Goreu Saer yw, gras i'r wên,
Be bai Saer am bob Seren.

Sion Tudur.

——o——

## ENGLYNION COF A CHADW.

Mil oedd oed Iesu molaf,——un ar borth,
Pan las Herbert benaf;
Pedair C, L ni 's celaf,
Cais I rhwng dwy X yr haf.

Byddai hoff genyf gael gwybod gan ryw un o'ch Gohebwyr, pwy oedd yr Herbert uchod? ac yn mha le y lladdwyd ef?

S. W. B.

———

Mil chwechant cofiant cyfan,—onid tair,
Iawn oed Duw Ner purlan,
Pan fu llong wyllt hyllt herw-dan,
A'i phwys ar *Ddyfi* lwys lan.

Duw Ner a'i faner i gyfiawni——hyn,
Rhown at hwn ein gweddi;
Ni all *Yspaen* oll a'i spi,
Na 'i dynion niweid ini.

Rhobert ab Hywel ab Morgan.

---

## CYWYDD

MARWNAD MRS. ELIN HUMPHREYS, GWRAIG Y DIWEDDAR BARCHEDIG H. HUMPHREYS, PERIGLOR LLANSADWRN YN MON, HEFYD VICAR *PRINCESS HARWELL*, YN *BERKSHIRE*, YR HON A FU FARW, EBRILL 7fed, 1823, YN NHANYGRAIG, LLANGEFNI, YN 95 OED.

Galar mawr gwelir ym Mon,
Deuai oerfel hyd Arfon,
Am wraig fad; pand profiad prudd
Yw daearu ei deurudd?
Meistres Humphreys, dynes deg,
A'i geirda yn gywirdeg.
Gwraig o ryw gwyr goreuon,
Oedd fawr anrhydedd i Fôn:
Merch awdwr mawrwych ydoedd;
Dyfal wr dihafal oedd,
Lewis Morys, hysbys wr,
Enwoccaf, gwympaf gampwr.
Enwogi a noddi wnaeth,
Yn eang Farddoniaeth.
Profai orchestion Prifeirdd;
Profai a * Thafolai feirdd.
Ef oedd Brifardd hardd ei oes;
Yn wr ag awen erioes;
Ac athraw llon † Goronwy,
Na bu fardd gan neb ei fwy:
Ond mewn ffraeth wybodaeth ber,
Lewis oedd fwy o lawer.
Cloddiwr clau dyfnderau dysg,
Ac arweddawdr gwir addysg.
Draw o giliau dirgelwch,
Daeth a fflur wybodaeth fflwch.
Hyfawl Ofydd
Oedd ef i'w ddydd.
‡ Hynafiaethydd celfydd, call,
Heb ei oruwch neb arall.
Seryddwr a Rhifwr rhydd;
A thra hynod Athronydd.
Effro wr, olrheiniwr rhin;
§ Fu wr hynod i'w frenin.
Gwnai 'n hysbys i'n hynys ni
Ei thynion aur wytheni.
Rhifai a mesurai 'r Ser,
Heb balldod, gyda 'u pellder.
A rhwyddhau ffyrdd ‖ llongau llyfr;
Gan wybod eigion ebyr.

---

* *Hysbys i lawer am " Dafol y Beirdd," o waith Mr. Lewys Morys: efe a gasglodd ynghyd fwy na neb arall o waith y Beirdd Cymreig, bernir iddo ysgrifennu, ar amryw achosion, ynghylch 80 o lyfrau; ac o herwydd ei bwyll, a'i ddysg, a'i fedr, a'i wybodaeth yn y gelfyddyd Farddonol, ynghyd a'i gydnabyddiaeth â gwaith Beirdd yr oesau blaenorol iddo, pwy well nag ef i'w Tafoli?*

† *Yr oedd Mr. Lewys Morys mewn oedran gwr pan aned Goronwy Owen. Clywais Mrs. Humphreys yn dywedyd, ei bod yn cofio Goronwy yn was gyda ei Thad; ond tebygai ei fod yn hŷn na hi o 7 i 9 mlwydd; ac nad oedd yntau ond bachgen. Dyn bychan hardd, bywiog, gwalltddu oedd ef.*

‡ *Efe a ysgrifenodd lyfr cywreinwiw a helaeth ar y pen hwn, a elwir,* Celtic Remains. *Ni argraphwyd ef etto.*

§ *Efe a fu olygwr Mwngloddiau y Brenhin.*

‖ *Argraphwyd llyfr o'i waith ef, a elwir,* Plans of Harbours, &c. in St George's Channel, *yr hwn a wnaeth ef ar orchymyn y Brenhin.*

Nid rhaid fod ar hyd ei fedd
Garreg, lle mae yn gorwedd.
Ei enw yn wiw yn a wnaeth
Gaiff dirion goffadwriaeth,
Tra bo mwyn gloddio i'n gwlad,
Tra mŷr a sŷr a siarad.
A'i gyngllun pawb a unant,
Yn ol ei reol yr ânt.
A'i wir union arweiniad,
A bâr les tra y bo 'r wlad:
Berthoga aurioria lys
Gwiw eneiniog ein hynys.
Lewis a wnaeth les i ni,
Argyllaeth hir o'i golli!
A'i Ferch hon weithion a aeth:
Gem deg y gymmydogaeth.
Ac iddi bu agweddiad,
Rhinwedd a thuedd ei Thad.
Och! adwyth i'w Pharchedig
Briod, trwm mewn braw y trig
Gan hiraeth, yn waeth ei wedd,
Am gilio ei ymgeledd.
Ei gywely a'i galon,
I'w bywyd o hyd fu hon.
Caled brawf, er cael di brin
* Fri hynod gyda 'i Frenin,
Ac er cyfoeth a moethau,
A bri a hedd i barhau,
Nid oes i'w hwyr oes na rhin
Na bywioliaeth heb Elin.
Braw dileu ei Briod lan:
Mae 'n golled, mewn ac allan.
I'w gardd werdd hardd yr oedd hi,
Wraig eirian yn rhagori,
Yn harddwych feithrin irddail,
Dyn ddoeth a adwaenai ddail.
Mam dirion, faethlon, a fu,
Yn doeth wylied ei theulu,
Rhoi athrawiaeth wrth reol,
Hyfforddiad i'w had o'i hol.
A thrugar fu wrth druain;
A'i haeledd un wedd a'i † Nain.
Parchus, cariadus, ydoedd;
Un gywir iawn i'w gair oedd.
Rhanwyd iddi hir einioes,
Canmlwydd ond chwech harddwech oes.
Ar ddyddgwyl ei harwyl hi,
Ai 'n gyfnos yn *Llangefni*.
Ond er dyfod diwrnod du
Ei hetholiad o'i theulu,
Dydd heddwch ydoedd iddi,
A hoen teg i'w henaid hi.
Di lid a duwiol ydoedd:
Pwyllus a Christianus oedd.
Corph parod i fod i'w fedd,
Ac enaid i ogonedd.
Mae etto, er huno hon,
Ei heres blant a'i hwyrion.
Pwyllig, dysgedig ydynt,
Delwau o'u hen deulu ynt.
Blodeuog o blaid Awen
A mawrhad i Gymru hen,
Gwyr erioed, a gerir ynt,
A bydded rhwydd-deb iddynt.

Gruffydd Williams, *Braichtalog*.

*O. Y. Cyfansoddwyd y Cywydd uchod cyn marwolaeth y Parch. Mr. Humphreys.*

---o---

## ENGLYNION

ANNERCHIAD I'R FUDD GYMDEITHAS, A ELWIR, *BRODORION DYFFRYN CONWY*; Y RHAI A ARFERANT GYD-GYFARFOD DAN ARWYDD Y PLU, YN LLANRWST.

Henffych i'ch doethwych Gymdeithas,—luniwyd
I haelionus bwrpas;
Boed iwch fri, er coegni cas,
A da lwyddiant diluddias.

Deliwch, er pob hudoliaeth,—i gynnal
Eich gweinion yn helaeth;
I'ch gilydd mewn awch galaeth,
Rhoddwch er difyrwch faeth.

Yn y *Feathers* yn ffyddiawg,—cyferfydd
Eich Cyfarfod enwawg:
Diau bydd yn flodeuawg
Dan y Plu, wyr hoywgu 'rhawg.

Mor llon i gleifion ein gwlad,—cael odfa,
Mewn cul adfyd anfad,
Cael ymgeledd, ryfedd rad,
Heb eiriach drwy eich bwriad.

Yn wyr del yn hir dalioch,—a llwydd
I'r lle cyfarfyddoch;
Llon byth wyr llawen y b'och,
A diwyrni, rhad arnoch.

*Llanrwst.* Llywelyn.

---

* *Crybwylliad yw hyn am y cymmeradwyaeth a gafodd y Parch. H. Humphreys, gan y Brenin Sior y 4ydd, yn Awst,* 1820. *Pryd y cynhaliodd ei Fawrhydi Lys,* (Court) *yn y Plasnewydd, yn Môn, i dderbyn cyfarchiadau ei ddeiliaid, pryd yr oedd y Parch. H. Humphreys yn un o'r deg a ddewiswyd, dros weinidogion yr Eglwys Sefydledig, i gyflwyno annerch i'w Fawrhydi, ar yr achos o'i ymweliad a'n Gwlad.*

† *Margaret, merch Morys Owen, o Fodafon-y-Glyn, yn mhlwyf Llanfihangel, Tre y Beirdd, yn Môn, yr hon oedd fam Lewis Morys. Mae ei marwnad yn y "Diddanwch Teuluaidd;" sonir yno am lawer o'i rhinweddau, ac ni anghofiwyd ei haelioni yn ei chymmydogaeth hyd heddyw. O herwydd ei hynawsedd a'i heluseni, galwyd y gamfa a oedd i droi at ei thŷ yn "Gamfa'r fendith:" Llawer o chwedlau a geir, yn mherthynas i'w rhinweddau, a'i haelioni, ar gof a chrybwyll hyd heddyw.*

## ENGLYNION

*I'R FARN DDIWEDDAF.*

E fydd barn :—holl feddau byd——agor
wnant,
Udgorn Ner mewn munyd,
A gasgl y meirwon cysglyd
Hefo gawr, yn fyw i gyd.

Ni fu ddyn na fydd yno,——pob un fu,
Pawb yn fyw 'n ympirio;
Y mawr ddydd—miloedd myrdd, O!
Ys welir ger bron Silo.

Adrodd wna Crist y dded'ryd,—yn ddeulu
Gwna 'n ddilys yr hollfyd;
Y nifer enfyn hefyd
I'w lle, a gair, oll i gyd.

T. E. *Caledfryn.*

---

## POB PETH YN CYDWEITHIO ER DAIONI.

Paham y mae 'r fynonydd,
Yn tarddu ar ben pob mynydd?
Val byddo i'r dyvrawl frydiawl frau,
Ddyvrâu ardalau 'r dolydd.

Paham y mae 'r cymylau,
Vry 'n hovian uwch ein pènau?
Er gwlawio maeth val llaeth yn llòn,
I'r ddaear hon yn ddiau.

Paham mae rhai mewn mawriaeth?
Er cynnal y wladwriaeth:
Mal cafo 'r hauwyr sydd yn hau
Eu tir, vwynâu eu toraeth.

Paham mae rhai 'n oludog?
Vel byddo 'r gwr cyvoethog
Mewn dydd o gyni 'n rhoddi rhan,
I'r neb vo gwan anghenog.

A ddoniawdd nev ryw ddynion,
O lwysbur natur Newton?
Duw, o'i rad llawn, ei ddawn a ddyd
Er lles ein cyd-ddyniadon.

A roes ev rinwedd vreiniawl,
Yn ambell vynwes vanawl?
Halen y ddaear ydyw hon,
I vaethu bron ddifeithiawl.

Pwy bynag wyt, Ddarllenydd,
Na chuddia ddoniau Dovydd?
Cyvrana vlith y vendith vawr,
O gwr i'r llawr bwygilydd.

Oes genyt nerth?—amddiffyn
Y dinerth, gwaelav dynyn:
Oes genyt oleu;—dyro heb ball,
O lwn i'r angall wrengyn.

Oes cyvoeth genyt?—covia'
'R cyvranwr, rhoddwr rhydda:
Oes rhyddid genyt?—bydd yn vrawd,
I'r caeth tylawd heb draha.

A gevaist ti yn anrheg,
Ddigyrrith vendith vwyn-deg?
Bendithia dithau, ac yn ddi drai
Echwyna, cai ychwaneg.

Po mwyav a gyvreni,
Bydd mwyav a dderbyni:
Bydd hynaws, cár, a da ryw dro
Vydd eto, a nevoedd iti.

Tra llon yw troellau anian,
Trwy 'r holl vydysawd cyvan,
Yn gweini lles i gywion llawr,
Heb ochel mawr a bychan.

Boed llon ac ewyllysgar,
Gan hyny ddynion moddgar,
I boeni er lles, bob un i'r llall,
Mewn cyvwng, gwall, ac avar.

Mal hyn y daw mil-vlwyddiant,
Di ludd, o dawel lwyddiant,
Caif teulu 'r ddaear, gwâr eu gwedd,
I'w mynwes hedd a mwyniant.

Tri-chrug.

---

## CWYNFAN HENAINT.

O WAITH Y DIWEDDAR BARCH. D. RICHARDS, LLANSILIN.

O! beth wyf yn ei deimlo
Yn curo arnaf cy'd,
A'i law yn myn'd yn drymach,
Mwy afiach wyf o hyd;
Fy ngwaed yn awr sy 'n oeri,
Anheini yw fy ngwedd,
A'm corph y sydd yn barod,
Yn barod bron i'r bedd.

O'm pen i'm traed mae loesau,
A gwyniau amryw gant,
Y ddeintwst a'm poenydioedd,
A dygoedd lawer dant;
Y peswch a'r clunheccian,
Yn druan gwnan' fy 'm drych.
A'r anadl sy' ddiffygiol,
Neud marwol yw fy nych.

Er llunio llawer amcan,
Yn gyfan megys gynt,
A meddwl ei ddibennu,
Heb fethu ar fy hynt;
Ond natur sy 'n edwino,
Anolo fydd ar dir,
Bob amcan i weithredu,
A methu 'r wyf yn wir.

Pan oedd y traed yn gallu
  Dynesu at dŷ Dduw,
Yr 'wyllys oedd yn gyndyn,
  I 'mofyn am gael byw;
Er bod yn awr ewyllys,
  Anhwylus yw fy nhraed,
Yn lluddias im' ddarymred,
  I glywed am y gwaed.

Er amled gynt gyfoedion,
  Rai gwiwlon iawn eu gwedd,
Yn awr hwy oll a aethant
  O bant a bwlch i'r bedd:
Gadawsant finnau 'n unig,
  Lle 'r oeddem goedwig gynt,
Fal pren yn foel ei hunan,
  A gwan yn erbyn gwynt.

Rhyw wers yw hyn i'm dysgu
  I brynu 'r amser brau,
A dangos fod yn unwedd,
  Fy niwedd yn nesâu;
Rhyw rybudd imi frysio
  I geisio gan fy Nuw,
Y rhad sydd angenrheidiol
  I farwol un ail fyw.

Dy golli sydd yn golled drom i mi,
Ond ennill mawr ac elw yw i ti.
  Pa le mae 'm cyd 'sgolheigion oll i gyd!
Nid dau o'r gloch a'u cyrcha 'n awr yn
    nghyd.
Gofynais, "P'le mae hwn oedd lon ei
    wedd?"
"Er's amser maith mae ef yn ngwaelod
    bedd."
"Pa le mae hwn a hwn oedd un di goll?"
"Y Tad fu farw a'r teulu chwalwyd oll."
Fy hen gyfeillion gwasgaredig ynt,
Prin y mae tri, y lle bu degau gynt.
Yr Athraw gwiw, a'r Ysgolheigion oll.
O'r hen drigfanau aethant oll ar goll.
Nid sefydlcdig ym, ond ar ein taith,
Ein cartref ydyw 'r trag'wyddoldeb maith.
*Bala.* SIARL*s*

——o——

## LLINELLAU

A FYFYRIWYD WRTH YMWELED AG YSGOL RAD Y BALA, YN OL MARWOLAETH FY HEN ATHRAW, A DIFFUANT GYFAILL, MR. E. HARRIES.

MIL henffych iti orhoffusaf dud!
Anwylach wyt nag un-man yn y byd;
Wyt anwyl im', wrth gofio 'r Athraw cu
A'm dysgai ynot—yr ieuengctyd lu
O'th gylch chwareuai, 'n nyddiau llon fy
    nwyf,
Fy ysgafn fron, ddieithr i boen a chlwyf:
Mae pob rhyw lwyn, a phob rhyw garreg
    bron,
Yn dwyn i'm cof ryw ad-gofiadau llon,
Neu anhap gas—neu ryw chwar'yddiaeth
    fwyn,
Y digwyddiadau fu yn nghil y llwyn.
Hyn oll aeth heibio—'n awr eu coffa fydd,
Yn lleuwi 'm bron a pharchedigaeth prudd,
  Y wîg oedd wech delwedig ydyw 'n awr,
Yr ardd oedd hardd, anurddawl yw ei
    gwawr,
A llaw 'r gormeilydd Amser amlwg yw
Ar oll o'th gylch, ar bob planhigyn gwyw,
Ond uwch pob dim sydd yn anurddo 'th
    wedd,
Y mwyaf oll, fod HARRIES yn y bedd;
Un Athraw mwynach, cyfaill purach, gwn
Ni chaid o fewn yr holl fydysawd crwn.
Mor wych cryfhai bob amgyffrediad gwan,
Meithrinai ddeall ei ddisgyblion mân;
Ond angau certh, gormesydd dynol had,
A'i torodd ymaith—Ow! fy Athraw mad!

——o——

## Y CROESHOELIAD.

*(Cyfieithiad o Linellau Saesonaeg gan y Bardd J. MONTGOMERY.)*

GOFYNAIS i'r Nefoedd,--"Pa elyn i Dduw
A wnaeth y fath weithred echryslon ei rhyw
  Na bu ei chyffelyb erioed?"
Crochlefai y Nefoedd,--"Dyn ydoedd! a ni
Mewn arswyd rhag gweled golygfa mor ddu
  Cipiasom yr haul yn ddi oed."

Gofynais i'r Dyfnfor, ac yntau mewn ffroch
A ferwodd, a roddes im' atteb yn groch,
  A'i lais o ystormydd,--"Dyn oedd!
Wrth weled ei feiau, fy nhonau mewn braw
Redasant o'r canol, ciliasant hwy draw,
  Datguddiwyd yr eigion ar g'oedd."

Gofynais i'r Ddaear, a hithau a r'odd
Attebiad, a hyny'n frawychus,-"Dyn oedd!
  A rhwygwyd fy mynwes â gloes;
Mor ryfedd, fel 'r ydwyf yn griddfan yn awr,
Ac nis gallaf beidio a chrynu yn fawr,
  Wrth gofio 'r hyn fu ar y groes."

Yn nesaf mi aethum i ofyn i ddyn,
Gwych, gwengar, difeddwl, a wnaeth hyn
    ei hun,
  Ac yntau 'n ddi ystyr a drodd
Ei lygaid oddi wrthyf, ac ysgwyd a wnaeth
Ei ben balch, ac ymaith dan watwar yr aeth,
  Ac i mi byth atteb ni rodd.
*Ll-n-ll-f-d.* MINIMUS.

——o——

## GALAR-GWYN.

MADDAU i'm dagrau, enaid cu,
Sydd am dy nol o'th nevol dŷ;
Pa'm, pa'm y clot, O! angau trwch,
Ein holl lawenydd yn y llwch.

Ond Iesu a'i groes a'th ddygodd di,
Yn frind, yn elw mwya' i ni;
A thrwy ei waed a'i aberth ev,
Porth angau du sy'n borth y nev.
J. DYB

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

### Y TYRCIAID A'R RWSSIAID.

Dywed Newyddiaduron o Gaer Cystenyn hyd y 26ain, ac o Smyrna hyd yr 20fed o Chwefror, fod y Llyngesydd Brytanaidd yn Valetta, wedi danfon Llong ryfel i chwilio allan wirionedd y chwedl o fod y Rwssiaid wedi cymmeryd ynys Poros, sefyllfa y Llywodraeth Roegaidd, ac iddynt ei chadarnhau fel pe na byddent am ei rhoddi i fynu. Y mae achwyniadau mawr yn erbyn y llynges Rwssiaidd, am iddynt ymosod ar y llynges Aiphtaidd yn Môr Ægea, yr hyn sydd yn torri eu hyspysiad y cyfyngid eu rhyfel morawl i'r gwarchae ar y Dardanelles. Dywedir fod y gwarchae hwn wedi llwyddo i ryw raddau i drallodi y Brif ddinas Dyrcaidd am luniaeth. Danfonwyd nifer mawr o Gristionogion ac Iuddewon allan o Gaer Cystenyn, gan eu bod yn ofni newyn. Y mae parottoadau diorphwys yn cael eu gwneuthur yn Twrci erbyn ail-ddechreu y rhyfel. Yr oedd y fyddin Rwssiaidd i ddechreu ei hymgyrch y 27ain o Fawrth. O herwydd i'r Rwssiaid ddioddef eisiau yn y rhyfeldymhor diweddaf, y maent wedi darparu triugain mil o bedrolfenni erbyn y rhyfeldymhor nesaf.

### PORTUGAL.

Dywed y newyddion diweddaraf o Portugal, fod Nero yr oes hon, sef Don Miguel, yn dilyn ei lwybrau ysglyfaethus cyn waethed ag erioed. Heb gael ei foddloni drwy y dienyddiadau diweddar, gyda golwg ar ba rai yr adgofir iddo ymfoddloni ei hun mewn dull a deilyngai i nodweddiad ei gynddelw Nero, y mae y dyhiryn anghenfilaidd wedi gwneuthur ymgais i lofruddio ei chwaer hynaf, am na chydsyniai â'i weithredoedd mileinig. Y Pendefig, yr hwn a achubodd ei chwaer o'i ddwylaw gwaedlyd, a syrthiodd yn arlâd i'w gynddaredd. Y mae ei chwaer er hynny yn gorfod cadw yn ei hystafell, ac y mae yntau yn boddloni ei annynol gynddaredd drwy ei churo yn feunyddiol.

Dywedir fod llynges *(Squadron)* gref o longau rhyfel, a 6,000 o filwyr Brytanaidd, i gael eu danfon i Lisbon yn ddioed.

### DAEAR-GRYN YN YR HISPAEN.

Dywed llythyr, a ddyddiwyd yn Murcia, y 24ain o Fawrth, am ddaear-gryn dychrynllyd a ddigwyddodd yn y rhan hono o'r Hispaen. Dywedir fod llawer iawn o dai, yn enwedig eglwysi, wedi cael eu distrywio trwy effeithiau y daear-gryn. Y mae eisoes 306 o gyrph meirw wedi cael eu tynnu o'r adfeiliau.

## Y SENEDD.

### CAIS-YSGRIF Y PABYDDION.

Y mae y Pabyddion wedi ennill eu cais drwy ragoriaeth o 104, yn Nhŷ yr Arglwyddi y drydedd waith o'i ddarlleniad. Gellir dywedyd fod yr adysgrif o'u Cais yn y Gwyliedydd diweddaf yn awr yn un o gyfreithiau ein tir. Yr ydym yn gweled mewn ysgrif a gyflwynodd Ardalydd Môn i dŷ yr Arglwyddi, nad ydyw Pabyddion yr Iwerddon yn foddlon ar y "rhyddid" a gynnygiwyd iddynt. Y maent wedi anfon Archiad yn erbyn rhwystro i'w Hesgobion gymmeryd yr urdd-enwau a ganiattêir i Esgobion yr Eglwys Sefydledig, ac hefyd yn erbyn diddymmu y Jesuitiaid, a'r gyfraith ynghylch rhydd-fraint dewisol.

Y digwyddiad mwyaf poenus i feddyliau y wlad yn gyffredin, yw, fod o'r wyth ar hugain Esgobion, noddwyr y ffydd Brotestanaidd yn nhŷ yr Arglwyddi, ddeg o honynt wedi rhoddi eu pleidlais i gynnal y mesur ag sydd yn annelu, fel y mae yn ymddangos i ni, at ddiogelwch a phurdeb ein Llywodraeth Brotestanaidd. Nid yn unig pob Esgob, ond pob Aelod o ddau dŷ y Senedd, ydynt wedi tyngu yn ddifrifol ger bron yr Arglwydd Hollalluog, fod y Grefydd Babaidd yn eilun-addolgar a choel-grefyddol. Yr ydym yn cyfaddef ein bod yn methu canfod mewn pethau moesol na gwladol, pa beth a gynhyrfai yr Aelodau hynny ag sydd wedi tyngu fod y Grefydd Babaidd yn eilun-addolgar, i roddi eu pleid-lais, nid yn unig i'r rhai coel-grefyddol hynny gael rhan yn ein Senedd, ond y gallant yn gyfreithlon mewn amser dyfodol gyfansoddi *holl* Dŷ y Cyffredin, a *holl* Dŷ yr Arglwyddi, namyn 30 o Esgobion, ac Arglwydd Canghellor ! !

Cyflwynodd y Gwir Anrhydeddus Arglwydd Eldon 129 o Erchiadau wrth draed ei Fawrhydi, i erfyn arno beidio arwydd-nodi y Cyfreithiau newyddion ynghylch y Pabyddion. Cynnwysai un Archiad o Bristol 21,000 o enwau.

Y mae Iarll Winchelsea, yr hwn a ymladdodd yr ornest â Dug Wellington, a Syr H. Smyth, A. S. dros Caer Colyn *(Colchester)* yn bwriadu ymadael â'r Senedd o herwydd i'r Ysgrif-gais gael ei chymmeradwyo.

*Llofruddiaeth echrydus.*—Yn nechreu y mis hwn dienyddiwyd adyn o'r enw Jeremiah Hayes, yn Limerick, am lofruddio ei wraig; yr hanes sy fel hyn:—Yr oedd yr adyn uchod wedi priodi yn erbyn ewyllys ei deulu, yn enwedig ei fam; i'w *boddio* hwy, ac er mwyn gwobr a addawyd iddo, llofruddiodd ei wraig, gyd â'r hon ni bu unedig ond 5 wythnos, a'r hon a garai er ys 3 mlynedd. Cyn iddynt gychwyn oddi cartref parodd iddi ddyfod â gwellaif (*scissors*) gyda hi, yr hwn oedd i fod yn offeryn ei marwolaeth. Wedi ei churo i lawr ar y ffordd gyda charreg, rhwygodd ei gwddf yn agored gyd â'r gwellaif o glust i glust. Yna cymmerodd hi yn ei freichiau, ac a'i cludodd i gae cyfagos, ac a'i rhoddodd i lawr rhwng dwy graig, lle y cafwyd hi, gan dybied ei bod heb ei hollol ladd; tarawodd hi aml waith wedi hynny yn ei phen gyda cherrig, ac a dorodd ei dannedd gyda sawdl ei esgid. Ei fam a'i hwyliodd i wneuthur y weithred echrydus hon. Nid oedd dim arwydd cyfnewidiad ar gyflwr yr adyn truenus hyd y boreu y diweddwyd ei fywyd. Pan ar y dienyddle cafwyd ef ar ei liniau trwy ei orthrechu gan yr Offeiriad Pabaidd, ond neidiodd i fynu, ac ni fynnai wrando ar gysur ysprydol hyd yn nod yn yr awr ofnadwy honno.

---

*Damwain alarus.*—Prydnawn dydd Mercher, y 1af o'r mis hwn, y bu digwyddiad truenus yn Hyde, yn agos i Fanchester, mewn tafarn, trwy yr hyn y lladdwyd dim llai na *deg ar hugain* o bersonau, ac amryw eraill a friwyd yn dost. Ar y prydnawn dywededig yr oedd cyfarfod, yn cynnwys o gylch 700 o bersonau, wedi ymgynnull er ymsyniaw ar y cynnygiad a wnaeth eu meistriaid i ostwng eu cyflogau. Cynnaliwyd y cyfarfod mewn ail lofft (*second story*). Torrodd y trawstiau a gynnaliai ran o'r llofft, a gollyngwyd oddeutu tri chant o'r bobl i'r ystafell islaw, ac o honno i'r seler. Buwyd agos i bedwaran awr cyn gwneuthur un ymgais i achub y dioddefwyr, yna tynnwyd allan o'r adfail 30 o gyrph meirw, ac amrai eraill wedi eu briwo yn dost.

---

*Digwyddiad gofidus.*—Dydd Iau, yr 2fed o'r mis hwn, bu farw mab i Mr. Denison o Newington Green yn y dull canlynol: Yr oedd wedi dychwelyd o dŷ ei daid yn Tottenham i aros ychydig ddyddiau yn nhŷ ei dad cyn myned i'r Ysgol; ac wrth chwareu gyd â'i ddau frawd, dywedodd wrthynt, y dangosai efe iddynt *y modd y crogid pobl ar grogbren.* Cymmerodd reffyn, a chylymmodd un pen am fach wrth ben y llawr, a'r pen arall am ei wddf, oddiar ben cadair; yna ciciodd y gadair oddi wrtho: ei frodyr, pan welsant ei wyneb yn glasu, a alwasant arno, ac a ofynasant iddo, A oedd efe yn meddwl y *gwnai iddynt goelio!* Pan welsant nad oedd efe yn atteb, aethant i ddywedyd wrth eu mam, "fod William yn crogi ei hun i'w dychrynu hwynt." Hithau yn meddwl mai chwareu yr oedd, ni wnaeth sylw o honynt. Toc ar ol hynny aeth morwyn i'r ystafell, ac a welodd y bachgen yn crogi; torrwyd ef i lawr yn ddioed, a danfonwyd am amryw feddygon, ond bu eu holl ymgeisiadau i'w adfywio yn ofer. Nid oedd y bachgen ond 13 oed.

---

*Dienyddiad.*—Dydd Gwener, y 3ydd o'r mis hwn, dienyddiwyd dyn o'r enw Thomas Lister, yn Lincoln, am yspeiliad. Ymddangosai yn brudd a sarrug er y dydd y dedfrydwyd ef; ond fel yr oedd dydd ei ddienyddiad yn nesáu, gwisgai hynny i ffordd yn raddol; ond dilynwyd hynny gan ymddangosiad mwy caled ac anystyriol o'i dynged ddynesol. "Crogi (eb efe) beth yw crogi? nid wyf yn meddwl mwy am gael fy nghrogi na hyna," gan daflu ei amben ar y llawr. "Ac am gyffesu, pe byddai i mi gyffesu, byddai gennyf ychwaneg i'w gyffesu na neb yn y wlad, ond byddai hynny yn datguddio cyfrinach, ac ni wnaf byth mo hynny." Boreu dydd Gwener cymmerodd ei foreubryd yn gefnog, gan fwytta pwys a hanner o gig eidion, a galwodd am chwart o gwrw, ond ni roddwyd hynny iddo.

---

*Damwain.*—Cyfarfu y Parch. G. Lloyd o Christleton, Sir Gaer, brawd Syr E. P. Lloyd, a nai Syr Thomas Mostyn, âg anffawd y 26ain o'r mis diweddaf, yr hyn a roddodd ei fywyd mewn perygl. Pan yr oedd allan yn hela, gwnaeth i'w farch neidio dros nant, glennydd yr hon oedd wedi tirio o tanynt gan y dwfr; ac er i'w farch neidio lathen ym mhellach na min y nant, ymollyngodd y tir dano; ac yntau a ddaliodd afael yn y ffrwyn a'r cyfrwy, a thrwy hynny syrthiodd ei farch arno. Digwyddodd yr un ddamwain i ddau wr arall, ond trwy iddynt ollwng eu ffrwyni diangasant yn iach. Y mae bywyd Mr. Lloyd mewn perygl mawr.

---

Ar y 25ain o'r mis diweddaf, cyhuddwyd un James Mathew Vincent M'Carey, offeiriad Pabaidd nodedig, yn mrawdlys Antrim, am briodi dau berson yn Belfast, y rhai oeddynt Brotestaniaid, yr hyn sydd yn groes i gyfreithiau y tir, a dirwywyd ef i £500, ac i gael ei garcharu nes eu talu: y prif dystion yn ei erbyn oedd y ddau a briodwyd ganddo.

Ymddengys oddiwrth y cyfrifon a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan y Senedd, fod swm yr arian a gasglwyd dan yr enw "Treth y Tlodion," am y flwyddyn 1828, yn £7,715,000; o ba swm y gwariwyd £1,370,000 at achosion eraill, a £6,300,000 at gynnal y Tlodion.

---

*Dienyddiad.*—Dydd Llun, y 13eg o'r mis hwn, dienyddiwyd Esther Hibner, am ymddwyn yn greulon at, a hanner newynu plentyn. Ceisiodd ladd ei hun ddydd Sul â chyllell fawr, â'r hon y torrodd archoll yn ei gwddf ddwy fodfedd o hŷd. Pan gafwyd hynny allan, y meddyg a berthynai i'r carchar a ddaeth ac a wniodd yr archoll yn ddioed. Dywedai, na fynnai gael ei chrogi fel ci. "Ni waeth gennyf fi (ebe hi) mor pin am farw, ond nid wyf yn dewis myned o'r byd yn y dull yna." Yr oedd holl ymdrechiadau y Caplan i'w chael i weddio yn ofer. Ychydig amser cyn iddi geisio at hunan-lofruddiaeth, gofynodd ei merch iddi, A ewyllysiai hi weled rhai o'i pherthynasau eraill? Attebodd hithau, "nac oes arnaf fi yn wir, ni all neb o honynt achub fy einioes i." Dywedai, ei bod yn edifaru na neidiodd o'r sefyllfan *(bar)* a churo ymenydd y plant allan ag oeddynt dystion yn ei herbyn. Rhegai y Golygwr Eglwys *(Church Warden)* am iddo dystiolaethu yn ei herbyn. Dywedodd, "ni chyfrifwn hyn oll ond dim pe gallwn ddial ar y Golygwr Eglwys hwnnw; pe gallwn ryw ffordd neu gilydd ddwyn ei fywyd, byddwn farw yn dawel a happus." Ni adroddodd un gair bron er dydd Gwener nad oedd yn cynnwys rhegfeydd, ac yn dangos y nwydau mwyaf cythreulig. Y mynyd yr ymddangosodd ar y dienyddle, cyfarchwyd hi â bloeddiadau o orfoledd gan yr edrychwyr, a bloeddient yn yr un modd ar bob ysgogiad a wnai y dienyddwr; fel hyn yr ymadawodd â'r byd heb yr arwyddion lleiaf o edifeirwch, a dyngarwch yr edrychwyr yn cael ei lawenhau yn ei marwolaeth.

---

Yn Rhufain yn ddiweddar bu farw yr Arianydd enwog Torlonia yn 80 oed. Dechreuodd ei fywyd yn Emydd Ymdeithiol *(Travelling Jeweller)* rhwng Rhufain a Paris, ac a ddiweddodd ei einioes yn Ddug, a'r dyn cyfoethoccaf yn nhiriogaeth y Pab. Byddai yn aml yn rhoddi benthyg symiau mawrion o arian i'r Pabau, ond yn enwedig i'r Pab Pius VII. gan yr hwn y dyrchafwyd ef i'r radd o Ddug.

---

*Dynes lwth.*—Yn nechreu y mis hwn prynodd tafarnwr yn Ruislip, Middlesex, *bedwar ar ddeg* o wyau. Sylwodd y forwyn yr ewyllysiai eu cael i'w swpper. Dywedodd ei meistr y cai ar yr ammod iddi hi dalu am danynt os na wnai eu bwytta mewn pedwaran awr. Cydsyniodd hithau, ac er syndod i'r edrychwyr bwyttaodd 14 o wyau, hanner torth chwarthor *(quartern loaf)* ac yfodd chwart o gwrw yn yr amser gosodedig. Y mae yn awr dan ymrwymiad i fwytta 18 o wyau hwyaid mewn pedwaran awr.

---

Symudwyd Jonathan Martin, yr hwn a osododd Eglwys Gadeiriol Caerefrog ar dân, o Gastell Caerefrog i garchar y ddinas, drwy orchymmyn oddiwrth y Barnwr. Diwrnod neu ddau cyn ymadael â'r Castell, ysgrifenodd lythyr, ac erfyniai iddo gael ei roddi i'w frawd. Yn y llythyr dywedai iddo glywed fod ar y Dug o Northumberland eisiau Meudwy *(Hermit)* i fyw saith mlynedd dan y ddaear, a chan ei fod ef yn ddyn unig, gobeithiai yr ymdrechai ei frawd i gael y lle iddo. Dywedir y cedwir ef yn Yspytty St. Luc, yn Llundain, dros ei oes.

---

Ar ddydd Sadwrn, yr 11eg o'r mis hwn, bu farw Edward Stokes, yn Waterford, a'i oedran yn 100. Yr oedd yn y dyn hwn, er ei fod yn dlawd iawn, hoffder at fagu cwn, ac adar, &c. &c. ac yr oedd ganddo yn ei feddiant ar un waith 16 o Geiliogod ymladd, 75 o Golommenod, 6 o Gystowgŵn *(Bull Dogs)* 16 o Gŵn ieuaingc, 14 o Fwyeilch, 13 o adar Bronfraith, 36 o adar Canary, 26 o Linisod, ac amryw eraill o wahanol rywiau."

---

Ym Mrawdlys Swydd Callestr, a gynnaliwyd yn y Wyddgrug y 3ydd o'r mis hwn, cafwyd George Graves yn euog o dorri i dŷ Mr. John Foulks, Llanelwy: wrth i'r Barnwr ddywedyd wrtho, y gallai fod yn sicr y cai ei alltudio am ei oes, dywedodd, "Diolch i chwi, fy Arglwydd; pan y cyrhaeddaf yno, danfonaf ffb i'm cyhuddwr.

---

Ni bydd mwyach ond wyth brawdlys i gael eu cynnal yn flynyddol yn Nghymru, a'r rhai hynny yn Bangor, Dogellau, Caerfyrddin, a Chastellnedd.

---

Tan-ysgrifiwyd 1,200 o bunnau yn Cork, yr Iwerddon, i wobrwyo Mr. O'Connell am ei wasanaeth dros y Pabyddion Gwyddelig.

---

Yr ydym yn rhybuddio ein darllenwyr i gymmeryd gofal mawr wrth dderbyn arian, o herwydd fod llawer o arian drwg ar daen drwy'r wlad, yn enwedig Papurau Pum Punnoedd o Ariandy Lloegr (*Bank of England*): hefyd Hanner Coronau, Pennaduriaid, a Hanner Pennaduriaid.

*Damwain angeuol.*—Dydd Sadwrn, yr 11eg o'r mis hwn, plentyn, oddeutu saith oed, i Mr. Hughes o'r Dderwen Freiniol, Llangollen, wrth chwareu ar y ffordd pan yr oedd y llythyr-gerbyd yn myned heibio, a darawyd i lawr gan y ceffylau blaenaf, ac aeth yr olwynion dros ei gorph; bu farw oddeutu chwe awr ar ol hynny.

---

Y mae Rowland Stephenson, yr Ariangydd, yr hwn y crybwyllasom am dano yn ein Rhifyn am Ragfyr diweddaf, wedi ei gymmeryd i fynu yn agos i Savannah, yn yr America, y 3ydd o Fawrth.

---

## UCHAFIAETH PROTESTANAIDD.

Ar ddymuniad amrywiol o Bennaethiaid eglwysig a gwladol Swydd Fôn, Jones Panton, yr ieuangc, Yswain, y Sirydd, a welodd yn dda alw ynghyd Foneddigion, Eglwyswyr, ac Uchelwyr, y Swydd ddywededig, dydd Mawrth, Ionawr 6ed, 1829, "I ystyried yr Angenrheidrwydd o Gyfarch y Seneddl-dai a'r Brenhin yn erbyn Caisyngais y Pabyddion." Am hanner dydd y Dadleudy a lanwyd o ben bwygilydd. Jones Panton, yr hynaf, Yswain, a gynnygiodd y Cyfarchiadau mewn ychydig o eiriau cymwysfawr. Yr un modd J. H. Clough, Yswain, o Blas Llanfair, a gefnogodd y Cyfarchiadau. Gwedi hynny canlynodd y Parchedig H. W. Jones, a Dreiorwerth, ac a wnaeth lawer o sylwadau buddiol ac annadleuadwy. Ar ol hynny Syr R. Williams, Barwnig, A. S. a gododd i fynu, ac a wrthwynebodd y Cyfarchiadau, gan ddadleu mai gwell oedd gadael y Cwestiwn yn nwylaw y Llywodraeth. Ar ol i'r anrhydeddus Farwnig ddiweddu ei Araith, y Cynghorwr Williams, o Dreffos, a ddadleuodd, nad oedd y Cyfarfod yn gyfreithlon, o herwydd fod y cyhoeddiad yn ddiffygiol. J. H. Hampton, Yswain, a wnaeth wedi hynny araith ferr, annadleuadwy, gan sylwi yn gras ar resymau yr areithiwr olaf. Efe a ddiweddodd gan ddarllen opiniwn rhagorol y diweddar ddysgedig Esgob Tomline ar y testyn. Yna y canlynodd T. Williams, Yswain, o Groesfryn, ac a lwyrddymchwelodd y Cynghorwr Williams. Gwedi hynny, ar ddymuniad y Cyfarfod, Mr. Richard Llwyd, Gweinidog y Trefnyddion Calfinaidd, a gyfarchodd y gynnulleidfa yn debyg i'r hyn a ganlyn, yn iaith Gomer:—"Gyda chennad y Sirydd, Foneddigion, yr ydwyf yn cyfodi i gefnogi Anfoniad yr Eirchiadau parottoedig, o herwydd y pedwar peth canlynol: 1. Syr, yr ydwyf yn barnu nad yw yn addas i'r Pabyddion gael eu cais, o herwydd llw coroniad y Brenhin. Gofyniad yr Archesgob i'w Fawrhydi yw, 'A wnewch chwi addef yn ddifrifol, drwy lw, amddiffyn, hyd eithaf eich gallu, holl gyfreithiau Duw, gwir broffes o'r Efengyl, a'r grefydd Brotestanaidd, yn ol cyfreithiau y deyrnas?' Y Brenhin a ettyb fel y canlyn: 'Yr ydwyf yn addaw hyn oll, gan ddywedyd ym mhellach, y pethau a addewais a gyflawnaf, ac a gadwaf: felly cynnorthwyed Duw fi.' Yna y Brenhin a gusana y Bibl. Yn awr, Syr, yr ydwyf yn gweled, fod gadael i'r Pabyddion gael eu cais, nid yn unig yn afresymol, ond hefyd yn eithaf peryglus: ni fynnwn i, er dim, fod yn bleidiol iddynt, rhag, wrth hynny, i mi demtio'r Brenhin i dorri ei lw.—2. O herwydd Ffurf-lywodraeth Prydain Fawr yn amser Elizabeth, 1571. Yn nechreu y Diwygiad Protestanaidd, ffurfiwyd Trefn o Addoliad trwy y Deyrnas; ac ail-gadarnhawyd yr un Ffurf o Addoliad yn amser Iago I. yn y flwyddyn 1604; wedi hynny trefnwyd cyfreithiau gwerthfawr drwy yr holl Deyrnas. Y mae Ffurf-lywodraeth Lloegr, mewn Gwlad ac Eglwys, megis dinas gaerog; ac nid fel Llywodraeth America, yr hon sydd megis maesdrefi, yn gollwng pob bwystfil ac anifail â'i ben rhydd i wneuthur fel y mynno. Mae yn annichonadwy byth i Ffurf-lywodraeth Prydain, mewn Gwlad ac Eglwys, gydsefyll â Sefydliad Pabaidd y Pabyddion: mae y ddau Sefydliad mor groes i'w gilydd, fel na's gellir disgwyl tawelwch nes y cymmerer un o'r ddau Sefydliad ymaith. Ond pe barnai y Llywodraeth i newid y Ffurf, byddai hynny yn beth arall.—3. O herwydd afresymoldeb Cais y Pabyddion â hwy eu hunain. Yn y flwyddyn 1724, y 14eg o fis Mai, Brenhin Ffraingc a osododd allan Gyfraith mewn 18 o Erthyglau ynghylch crefydd; a'r 12fed Erthygl sydd yn agos fel y canlyn: 'Yr ydym yn gorchymyn, yn ol Sefydliad ein hynafiaid, ac arferion y deyrnas hon, na byddo i neb o'u deiliaid gael eu derbyn i unrhyw swydd, megis Barnwr cyfreithiol, Maer, Sirydd, neu un swydd mewn Bwrdeisdref, Coflyfrwr, Cyfreithiwr, Ceidwad Cof-lyfrau, Rhingyll â'r Ffon Ben aur, Ceisbwl, nac un swydd ac awdurdod yn y wlad, heb gael gan yr Offeiriaid, neu gan y Ficer yn ei absen, ysgrif-dystiolaeth fod ei fywyd a'i ymarweddiad yn gydffurfiol âg arferion y Grefydd Babaidd ac Apostolaidd.' Pa fath wyneban a all fod gan y Pabyddion i wneud Cais am swyddau gan y Protestaniaid, a hwythau wedi cyhoeddi Deddf trwy eu Teyrnas, na chaiff un Protestant swydd byth ganddynt hwy? Pe buasai Cais y Pabyddion am ryw fraint grefyddol, buaswn yn eu pleidio â'm dwy law, os felly yn fwy llwyddiannus.—4. O herwydd gan egwyddorion y Pabyddion. Crwydryn o wyddel, wrth fyned o Loegr i'r Iwerddon, a adawodd yn nhŷ y swyddog plwyfol, yn

Llanergain, yn Swydd Fflint, daflen o lyfr Saesoneg, ac ynddo yr egwyddorion hyn: 'Yr ydym ni yn rhwym i gredu fod y rhai a ymadawsant â'n crefydd ni yn meddiant y diafol. Nid ydym ni i gredu llwon yr Hereticiaid; canys y mae eu hegwyddorion yn ddamniol. Yr ydym yn rhwym i faddeu yn rhad i bawb a drochant eu dwylaw yn ngwaed yr hereticiaid. Yr ydym yn rhwym i gredu fod pedwar lle yn y Purdan, *Limbus Infantum*, lle i blant bach, *Limbus Patrum*, lle i hen bobl, Dyffrynoedd Esmwythder, a'r Purdan ei hun.' Syr, o herwydd y rhesymau blaenorol, yr ydwyf yn gwrthwynebu Cais y Pabyddion. Y mae plant dan bump oed y'Nghymru yn medru gwell egwyddorion na'r darluniad uchod.

"Ond yn awr, Syr, gwnaf sylw ar yr hyn a ddywedodd fy nghymmydog, y Cynghorwr Williams. Meddai efe, 'Ni bydd eich ymdriniaethau yma heddyw ond megis llwch yn nghlorian y Senedd-dai.' Ond cofied fod sylwedd mewn llwchyn, a llwchyn at lwchyn a fydd yn fwy pwysig. Hefyd, dywedodd yr anrhydeddus Farwnig, Syr Robert Williams, Fod ganddo brawf i'r Ymneillduwyr Cymreig yn Llundain ddangos eu pleidgarwch i Gais y Pabyddion. Ond yr wyf yn atteb, ddarfod i ryw nifer o wrandawyr, a arferent ymgynnull yn Addoldy Heol Jewin, Crescent, lunio Archiad, ac nid oedd ond pedwar gwr yn unig o aelodau y Gymdeithas wedi arwydd-nodi y cyfryw Archiad; ac o herwydd hynny hwy a ddiarddelwyd gan y Gymdeithas."

Wedi hynny y Parchedig W. L. Jones, o Drefan, a eglurodd yn Gymraeg ystyr y Cyfarchiadau, a sylwadau y gwrthwynebwyr, yn hynod o glir a diduedd, ac a wnaeth araith hir a dysgedig, i'r hon nid oes bossibl rhoddi gormod o ganmoliaeth.

Yna cynnygiwyd y Gwelliad, o ochr yr hwn *naw* yn unig a godasant eu dwylaw. Ar ol cynnyg y Cyfarchiadau, y lleill oll, yn cynnwys oddeutu *pum cant* o bobl, a godasant eu dwylaw. Wedi hynny y Cyfarfod a wasgarodd yn dawel, ar ol rhoddi naw bloedd, ac "un ychwaneg," dros Uchafiaeth Protestanaidd.

G. LL. M. A.

GLENNYDD MENAI,
*Mawrth* 16, 1829.

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parchedig John Jones, A. C. diweddar Gurad parhaus Amlwch, Môn, i Bersonoliaeth St. Sior, Swydd Ddinbych; rhydd trwy farwolaeth y Parchedig William Williams Edwards.

Y parchedig Henry Weir White, A. C. Cyfaill o Goleg yr Iesu, Rhydychen, i Guradiaethau parhaus Llanfachraeth a Llanelltyd, Swydd Feirion; rhydd trwy farwolaeth y Parch. Rice Hughes, G. C.

Y Parchedig James Hughes, G. C. Ysgolhaig o Goleg yr Iesu, Rhydychen, i Guradiaeth Bodedern, Môn; rhydd trwy ymadawiad y dywededig Henry Weir White.

Y Parchedig Henry Griffith, G. C. Ysgolhaig o'r un Coleg, i Guradiaeth parhaus Bodwrog a Llandrygarn, Môn; rhydd trwy ymadawiad y dywededig James Hughes.

Y Parch. Daniel Jones, gynt Curad Dyserth, i Ficeriaeth Gwyddelwern, Swydd Feirion; rhydd trwy farwolaeth y Parch. J. Jones.

## URDDAU NEILLDUOL.

Dydd Sul, Mawrth 29fed, urddodd Arglwydd Esgob Bangor, yn ei Eglwys Gadeiriol, y Parchedig Edward Herbert, G. C. Curad Llanfair Fechan, Swydd Arfon, yn Offeiriad; a Mr. Evan Owen Hughes, G. C. i Guradiaeth Llanidan, Môn, yn Ddiacon.

## MARWOLAETHAU.

Ionawr y 6ed, yn 85 oed, y Parchedig Huw Humphreys, Person Llansadwrn, Môn, am 45 o flynyddoedd, a Ficer Harwell y Tywysog, Swydd Berks, er 1822.

Ionawr y 19eg, yn 91 oed, Mr. Richard Hughes, gynt o Lan-yr-afon, Llanfair Pwllgwyngwyll, Môn, yr hwn a fwynhahaodd iechyd tan y diwedd.

Ar y 27ain o'r un mis, yn 55 oed, y Parchedig William Williams Edwards (o Gerrigllwydion, Swydd Ddinbych, ail fab y diweddar Bennett Williams, Yswain, Bodlewyddan, Swydd Gallestr, ac o Gaerlleon, a brawd i Syr John Williams, Barwnig) Person St. Sior, Swydd Ddinbych, er 1796.

Ar y 13eg o Chwefror, yn Llundain, yn 89 oed, y Parch. William Crowe, G. C. F. Person Llan-y-mynach, Swydd Ddinbych. Efe a addurnodd y swydd o Areithiwr Cyhoedd, yn Athrofa Rhydychen, am 45 o flynyddoedd.

Mawrth y 10fed, yn 71 oed, y Parchedig Henry Jones, A. C. Person Llangeinwen a Llangaffo, Môn, er 1783; hefyd Is-faer Bwrdeisdref Caernarfon.

# Y GWYLIEDYDD.

## MAI, 1829.

### ORIAU YSGRYTHYROL.

AMOS iii. 8. "*Rhuodd y llew, pwy nid ofna?*"—Rhuad y llew, pan fo yn chwilio am ysglyfaeth, sydd debyg i swn taranau pellennig; a phan ddadseinir ef gan y creigiau a'r mynyddoedd, yr holl anifeiliaid bychain a ddychrynant, ac a geisiant ddiangc ymaith. Gwae i bob creadur a ddaw y pryd hynny i'w gyfarfod. Y cyfryw yw ei nerth, fel y tyrr ei grafangc gefn ceffyl âg un ergyd, a threflir i lawr ddyn grymmus âg ysgydwad ei gynffon. Pan ddisgyno ar ei ysglyfaeth, ei arfer yw ei ladd yn gyntaf cyn dechreu ei fwytta. Tyrr ef yn ddarnau â'i grafangau, a'i *ruad yr amser hyn sydd ofnadwy iawn.*

AMOS iii. 12. "*Darn o glust.*"—Ymddengys *darn* o glust yn beth rhyfedd i'w achub o safn y llew. Ond y mae yn y dwyrain ryw o eifr, y rhai sydd ganddynt glustiau yn droedfedd o hŷd, ac yn gyfartal o ran lled.

AMOS iii. 12. "*Cwrr gwely.*"—Arwyddoccâd y gair *gwely* yma yw, nid yn unig yr hyn a feddylir wrtho yn gyffredin yn y gwledydd hyn, sef gorweddfa i gysgu arno liw nos; eithr hefyd eisteddle yn y dydd, ar yr hwn yr ymosodai y dwyreinwyr eu hunain yn yr hen amseroedd, megis yn ein dyddiau ninnau. Dylai y darllenydd ysgrythyrol gadw yn ei gof yr arferiad deu-ryw hyn o'r gair *gwely* yn y Bibl. Y cyfryw wely bychan a gyfeirir atto gan yr efengylwyr, lle y mae Crist yn gorchymyn i'r claf gymmeryd i fynu eu gwely, a myned ymaith; yr hyn ni fuasai yn hawdd iddynt, pe buasai y gwelyau dwyreiniol yn debyg i'r eiddom ni. Ar fath o orwedd-faingc y *lled-orweddai* Crist pan ordeiniodd ei swpper diweddaf, a dyna yr arfer gyffredin yn ei amser ef, fel y byddai yn hawdd profi. Eithr yn amser y Patriarchiaid, eistedd a wnaent. Yn y dyddiau presennol, eistedda y Tyrciaid yn groes-goesawg, yn debyg i wniedyddion.

Y lle anrhydeddusaf yw y gongl, neu *cwrr*, fel y dywedir yma; ac yno y gosoda y gwyr mawrion eu hunain, megis arwydd o'u rhagoriaeth a'u huchel-radd. Rhydd yr ymdeithydd Russel yr hanes canlynol am yr eistedd-leoedd hyn yn Aleppo: "Ar draws y pen uchaf, a dwy ochr yr ystafell, gosodir gwaith coed pedair troedfedd o led, a chwe modfedd o uchder; ac ar hwn *fatras* o'r un led, ac ar y *matras* orchudd o frethyn llydan, wedi ei addurno âg eirion-weoedd euraidd a phlethau, yn cyrhaedd drosodd at y llawr. Wedi hynny gosodir ar yr eisteddle yn agos i'r mur amryw glustogau hirion a mawrion, wedi eu tynn-lenwi â chotwm, a'u hardd-wynebu â *felfed*. Ar ddau *gwrr* uchaf, neu *gonglau*, y gwely, y

mae ganddynt glustogau esmwythach, hanner maintioli y lleill, y rhai a osodir ar *fatras* mwy dillyn-wych, a brethyn addurnedig. *Cyrrau*, neu gonglau, y rhai'n yw y lleoedd anrhydeddus, ac ni wna gwr mawr un amser eu rhoddi hwynt i fynu i'r sawl sydd o is-radd." Hawdd fyddai casglu sylwadau cyffelyb o lyfrau ymdeithwyr yn yr Aipht, a gwlad Canaan.

Ystyr yr adnod yw, na fydd ddichon i'r sawl sydd yn byw foethusaf yn Samaria, yn gorwedd beunydd ar welyau, ïe, *ar y cyrrau*, neu y mannau anrhydeddusaf, ochelyd y distryw a ddeuai ar y wlad.

Yr hanes uchod ynghylch gwelyau dwyreiniol, a lewyrcha oleuni ar yr hanes a roddir ynghylch gwely Og brenhin Basan. Nid yw gwelyau dwyreiniol yn cyfatteb, megis y drydedd yn fwy, i faintioli y perchennog, megis gyda ni. Ymhyfrydai y dwyreinwyr o bob oes mewn mawredd, a hoff hynod ganddynt fawredd corphorol, megis hefyd mawredd mewn adeiladau a dodrefn. Er fod Og yn rhagori ar ei gyfoeswyr mewn maintioli, ni fyddai resymol casglu oddiwrth hŷd ei wely, fod maintioli corphorol y perchennog yn cyfatteb yn gwbl i'r gwely yn yr un modd a phe byddai yn Lloegr.

Amos iii. 15. "*A mi a darawaf y gauafdy a'r hafdy.*"—Yr ydys yma yn dosparthu y naill oddiwrth y llall. Yr achos a eglurir fel hyn gan y Dr. *Shaw:* "Yr holl fryniau a'r dyffrynoedd o amgylch Algiers a brydferthir â gerddi a thai haf, i'r rhai yr arfera y trigolion ymneillduo ym mhoethder dirfawr yr hin hafaidd. Tai bychain gwynion ydynt, yn gysgodedig gan goed ffrwythau a gwastad-ddeiliog. Ym mhob gardd y mae ffrwythau lawer iawn o bob math, a'r hyn a gyfrifir yn dra gwerthfawr yn y wlad hon, digonedd o ddwfr." Adeiledir yr hafdai hyn allan yn y wlad, a bychain ydynt er eu bod yn perthyn i'r cyfoethogion. Eglurhant eiriau Amos, "*Mi a darawaf y gauafdy,*" sef palasau y pendefigion yn y dinasoedd caerog: "*A'r hafdy,*" y tai bychain lle y mae yn hawdd i'r gelyn eu cyrhaedd. Ni bydd tai yn y dinasoedd caerog yn fwy diogel na thai bychain yn y wlad; ïe, "*derfydd am y tai ifori,*" y rhai sy fwyaf mawrwych: "*A bydd diben ar y teiau mawrion,*" y rhai sydd hynottaf am eu maintioli rhwysgfawr, a golud eu perchennogion.

---

## PREGETH AR SALM cxxxii. 3,—5.

(*Parhad o du dal.* 102.)

III. Ond y mae yn bryd ystyried y trydydd pwngc y bwriadwyd galw eich sylw ato, sef, Rhai o ddyledswyddau Eglwyswr tu ag at y Sefydliad o'r hwn y mae yn aelod.

1. Yn gyntaf, ynte, mor bwysfawr yw argraffu yn fynych ar feddwl pob aelod o Eglwys Loegr y ddyledswydd o *beidio cynnorthwyo i sefydlu ar yr Eglwys a hoffa y gwarth o greulonder, rhagfarn, ac anoddefgarwch!* Gwn fod yn anhawdd i rai wahaniaethu rhwng rhyddid crefyddawl a dibrisdawd o grefydd; rhwng gwylder a gwendid i ymddiffyn ein golygiadau neillduawl; rhwng addfwynder tu ag at y rhai a anghytunant â ni o barth pethau o bwys bychan, ac esgeulusdawd anghrediniawl o'r pynciau a wahanant rhwng y grefydd wir a'r ffugiol. Ysbryd brawdawl ac addfwyn, fel y dywedwyd o'r blaen, ydyw cynneddf amlycaf ffurfiau ein Heglwys. Nid yw ei hysbryd o'r rhyw cyfyngedig hwnw a hoffa benderfynu yn ddiwrtheb bynciau ammheuus, na chyhoeddi anathema ac esgymmundeb uwch ben y rhai a wahanant oddi wrthi. Fel "ein mam ni oll," ymhyfryda dderbyn i'w mynwes bawb "sydd yn caru

yr Arglwydd Iesu Grist mewn purdeb!" I gyfeiliornadau ar bethau sylfaenawl ac amlwg, yn wir, ni rydd arbediad lleiaf; ond bydd "yn dirion at bawb," yn "hawdd ei thrin;" a hoffa dynu ymaith ei phlant o lwybrau dyrys ymrysonau crefyddawl i ymrodiaw ar byd porfeydd gleision, ac yn ymyl dyfroedd tawel cariad a hedd. A dylai tymherau yr aelodau fod yn gyffelyb i dymher yr Eglwys. Nid oes yr un gwirionedd mwy pwysfawr yn nuwinyddiaeth na hwn, sef, "nad yw digofaint gwr yn cyflawni cyfiawnder Duw." Yn wir brycheuyn duaf eglwys yw anoddefgarwch eglwyswyr; a'r cymmwynaswr goreu i grefydd gwlad, yw yr hwn a ymdrecha unaw pob calon, os na ddichon gymmodi pob golygiad gwahanawl.

2. Yn nesaf, teimlaf ei bod yn angenrheidiawl argraffu yn ddifrifawl ar feddylian holl gyfeillion yr Eglwys Sefydledig *y ddyledswydd o ymlynu yn ffanwl wrth ei hegwyddorion, ac ymgyrchu yn wastadawl i'w gwasanaeth.* Gwn mai iaith rhai gwyr o ddybenion cywir ydyw, "Os pregethir yr Efengyl, pa wahaniaeth sy pa le yr addolwn, neu ar bwy y gwrandawn?" Yn awr tybiwch i ni ganiatàu y pregethir "yr Efengyl, yr holl Efengyl, a dim ond yr Efengyl," mewn unrhyw le o addoliad a gyfodir mewn plwyf, ymddengys i mi y dylai gorbarch at yr hyn a sefydlwyd—addefiad dwys o werth eglwys wladawl—edmygedd at ein heglwys gynenid—teimlad o werth annhraethawl undeb a chydweithrediad yn holl bethau Duw—annhueddu pob gwir Gristion i feithrin yr ysbryd dibris ac ansefydledig sydd yn rhy gyffredin yn y dyddiau hyn. Cofier fod ymraniad, nid yn unig yn anffawd, ond yn bechod, pan na bydd seiliau digonawl o blaid ymraniad. Na fydded gan hyny i'r hwn na welo sail i ymranu, annawg ymneillduaeth drwy ei fuchedd ei hun. Ond wedi y cwbl, ai rhesymawl yw tybied y pregethir "yr holl Efengyl" ym *mhob* lle o addoliad? Ai yr Efengyl ydyw Undodiaeth ac Antinomiaeth? Ai yr Efengyl ydyw y Galfiniaeth a wrthoda egwyddorion y Bibl, neu yr Arminiaeth a wada effaith gras?

Ond gan mai nid bwriad yr annerchiad hwn ydyw gwrthwynebu cyfeiliornadau neillduawl mewn crefydd, ni ymhelaethaf ar y pen hwn. Dywedaf yn unig, gyda phob parch at yr Ymneillduwr na ddichon gydsyniaw â fy ngolygiadau crefyddawl i; gyda dymuniad cryf i gydweithredu ag ef, fel brawd a chyfaill, yn holl achosion ein Cristionogrwydd cyffredin; gyda chred lawn y byddai pob coeg-ymddangosiad o anffaeledigaeth mor anghall ynof fi ag ynddo yntau; etto rhaid i mi farnu nad ydyw nac Eglwyswyr nac Ymneillduwyr yn ennill dim trwy ddull o addoliad sydd yn anwadal a chrwydraidd. Tuedda hyn, cyn mhelled ag y canfyddaf, i greu ysbryd dadleugar, "clustiau yn merwinaw," a hoffder am newid, a phenboethni. Lleiâ awdurdawd cyfreithlawn y gweinidawg, a pherygla ostyngeiddrwydd y gynnulleidfa. Am hyny nid diffyg cariad Cristionogawl, ond gofal dyfalus am undeb ac iawn drefn a'm tuedda i alw ar bob Eglwyswr i yfed o'i ffynnonell ei hun, ac ymborthi yn ei borfeydd cynenid. Dangoswch barch i aelodau cywir y corph Cristionogaidd a anghytunant â chwi; cyd-oddefwch â hwynt, a gweddïwch drostynt; na chamddarluniwch eu hegwyddorion, ac na waradwyddwch y dynion; ond gan i Dduw eich cynnysgaeddu âg addysgiadau, a chan i'ch gwlad eich anrhegu â man cyfleus i'w derbyn, ewch yno, fel y mae y ddwyblaid yn eich gwahawdd, ac yno hefyd offrymwch eich gweddiau a'ch clod.

3. Yn y lle nesaf, galwaf ar eg-

lwyswyr i ymdrechu i amgylchu eu heglwys â'r colofnau a'r addurniant daearawl goreu a fedd, sef addolwyr diffuant, ysbrydawl, serchogaidd, a duwiawl. Troseddau Eglwyswyr mewn enw a fuont yn ddiammau yn un o'r achosion penaf i gynnyddu Ymneillduaeth. Ped analluawg fyddai egwyddorion ein heglwys (fel y tueddai bucheddau rhai dynion i ni led-dybiaw) i waredu dynion oddiwrth yr ynfydrwydd a'r beiau erchyllaf, pwy a ddymunai ymlynu wrthi? Dygwch ynte, fy mrodyr, yn eich ymddygiadau, dystiolaeth briodawl o'i heffaith. Bydded i ddoethineb gael ei chyfiawnâu yn ei phlant ei hun. Dangoswch werth yr Eglwys drwy dylanwad ar eich bywydau; dangoswch wirionedd ei hathrawiaeth drwy nodweddiad ysgrythyrawl eich cred eich hun; dangoswch burdeb ei hyfforddiadau drwy fanylrwydd eich buchedd; dangoswch arafwch ei hysbryd drwy eich addfwynder, eich llarieidd-dra, a'ch cariad. Cymhellwch y byd, wrth iddo ganfod ei heffeithiau arnoch eich hunain, i werthfawrogi y "pren," o herwydd y "ffrwyth" sydd ar ei gangenau.

4. Yn olaf, rhaid i ni ddeisyf yn daer arnoch fel Eglwyswyr, *gyflawni yn haelionus y ddyledswydd y gelwir chwi yn benodawl i gyflawni heddyw.* Pan alwodd Dafydd ar ei bobl i gyfranu tu ag at adeiladu y deml, dywedir, "A'r bobl a lawenâsant, pan offryment o'u gwirfodd; am eu bod â chalon berffaith yn ewyllysgar yn offrymu i'r Arglwydd; a Dafydd y brenin hefyd a lawenychodd â llawenydd mawr." Ardderchoced yw y darluniad a roddir i ni am yr hyfrydwch a deimlai brenin cadarn, pan yn dymunaw yr hyn oedd ddyladwy, ac y teimlai y bobl wrth gyflawni ei ddymuniad. Bydded ein hymddygiad ni ar yr amgylchiad hwn yn debyg i'r eiddynt hwythau! Ymlawenâed pob calon am gyfleusdra i gyflawni yr archiad a osodir arnom! Ni phetrusaf ddatgan ei fod yn archiad y dylai penaeth ei roddi, ac y dylai y bobl ymhyfrydu i'w ufuddâu.

Wedi clywed, ar achlysur arall, lythyr ein Brenin ar y mater hwn, ni bydd angen ond am ychydig hyspysiad ychwanegawl genyf fi.

Gwyddoch mai dyben y Gymdeithas dros yr hon y dadleuaf ar yr achlysur hwn, ydyw cyweiriaw ac helaethu eglwysi ein gwlad ar gyfer cynnydd dirfawr ei thrigolion. Bwriada y Llywodraeth i'r Pregethau hyn fod yn lle llythyraugofyn *(Briefs)* ac efelly i roddi terfyn ar drefn a ddrwg-dybiwyd, neu a esgeuluswyd, a defnyddiaw un na allai neb wrthwynebu. Rhoddir yr arian a gesglir yn awr, heb y diddymiad lleiaf, i ddwylaw y Dirpwywyr er adeiladu eglwysi; a phan yr ystyriwn nodweddiad y Dirprwywyr hyn, gallwn haeru yn ddiofn fod pob sicrwydd i ni y defnyddir yr arian yn iawn. Er fod y Gymdeithas yn barod wedi gwneuthur llawer, trwy ddarparu 154,680 o eisteddleoedd (o ba rai 116,503 ydynt i'r tylodion yn unig) y mae etto lawer mwy eisiau ei wneud. Cyflawned Gweinidogion yr Eglwys eu dyledswydd gyda thaerineb a chariad; a meiddiaf ddywedyd na fydd bron yr un plwyf yn y deyrnas na waedda yn uchel am le ychwanegawl yn yr adeiladau lle y gweinyddir addysg Cristionogaidd. Dylai y plwyfydd cyfoethocaf lawenychu yn cynnorthwyo eu brodyr tylotaf. Galwaf arnoch gan hyny fel y perchwch eich Heglwys, ac fel y cerwch Ben Mawr yr Eglwys hono, i ymdrechu hyd eithaf eich gallu dros yr achaws pwysfawr hwn. Galarus iawn fyddai i mi pe byddai y plwyf hwn yn ol o arddangos ei ymlyniad wrth ein Heglwys hybarch a gogoneddus, ar yr achlysur cyhoedd

cyntaf a roddwyd i chwi dystiolaethu eich ymlyniad. Bydded i chwi gyfranu yn haelionus! ac atdaler eich cyfraniadau i'ch mynwesau, trwy eich cynnydd mewn gwir aelodaeth eglwysawl—trwy dderbyn yn wresawg yr holl athrawiaethau, addysg, ac addewidion, a ddatgana yr eglwys ar awdurdawd Duw i chwi! Ymadnewydded ynoch ysbryd Eglwyswyr yr oesoedd a aethant heibiaw —"Gwyr un llyfr"—dynion yn llai tueddawl i ymorawl am lwybrau dyrys dadleuaeth grefyddawl nag am faes ehang gwirionedd diddadl—gwyr yn ymhòni ychydig, ond yn cyflawni llawer; yn perthyn i neb rhyw blaid ond Eglwys ein Pryniawdwr; wedi eu diddyfnu oddiwrth y byd, a'u cyssegru i Dduw—gwyr yn adeiladu "ar sail yr Apostolion a'r Prophwydi, Iesu Grist ei hun yn ben congl-faen"—dynion "wedi ymgyssylltu ynghyd yn un cymmundeb a chymdeithas yn nghorff dirgeledig Mab Duw, efelly i ganlyn y gwynfydedig saint yn mhob rhinweddawl a duwiawl fywyd!" Bydded i Eglwyswyr o'r fath gynnyddu ac amlâu! Bydded yr ardal hon yn fammaeth i lawer o blant y Duw byw! Yn olaf, bydded i chwi fyw yn heddychawl dan aden yr Eglwys; bydded i chwi ymadael o'r byd yn ei chymmundeb, a chyfarfod myrddiynau o'i haelodau gorfoleddus yn mhlith "ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd."

---

## SYLWADAU AR Y CREDO.

*(Parhad o du dal. 107.)*

### ERTHYGL II.

"*Ac yn Iesu Grist, ei un Mab ef, ein Harglwydd ni.*"

"*Ac yn Iesu.*"—Yr wyf, nid yn unig yn credu fod Duw, yr hwn a wnaeth y byd, ond hefyd yn addef ac yn proffesu fy hollol gydsyniad â'r gwirionedd sicr ac anwadadwy hwn, sef, y bu, ac hefyd fod dyn, yr hwn a enwyd, trwy weinidogaeth angel, Iesu; o'r hwn holl Farnwyr a Gwaredwyr Israel (ac yn enwedig Josuah*) nid oeddynt ond cysgodau. Yr wyf yn credu fod yr Iesu hwn, yn ystyr uchaf, helaethaf, a phwysfawroccaf yr enw yn Waredwr† ac Iachawdwr y byd, yn gymmaint a darfod iddo ddatguddio i feibion dynion yr unig ffordd or iachawdwriaeth eu heneidiau, a gwneuthur y ffordd hòno iddynt trwy ei waed, gan gael maddeuant i bechaduriaid, gwneuthur cymmod i elynion, a thalu pridwerth dros gaethion, ac yn y diwedd y dyry efe yr iachawdwriaeth hon, a gyhoeddodd ac a brynodd efe i'r holl rai a gredant yn ddiffuant a diysgog ynddo. Yr wyf yn addef nad oes ffordd arall i'r nef ond yr un a ddangosodd efe; nad oes un llwybr arall i'w chyrhaeddyd ond trwy ei waed, ac nad all neb arall ein dwyn iddi ond efe ei hun. A chyd â'r addefiad hwn, *Credaf yn Iesu.*

"*Ac yn Iesu Grist.*"—Yr wyf yn cydsyniaw â hyn fel gwirionedd sicr, i Dduw addaw, ac i'r prophwydi ragfynegi, y deuai dyn i'r byd a fyddai yn Fessïah,‡ yn

---

* Jesus (*Jesws*) neu Jesu, yw y ffordd Roegaidd o ysgrifennu Josuah. (Gwel *Act.* 7. 45. *Heb.* 4. 8.) Galwyd ef ar y cyntaf Hosea (*Num.* 13. 6.) yn arwyddo, yn yr amser gorchymynol neu ddeisyfol, Pared iachawdwriaeth, neu bydded yn Iachawdwr. Josuah, yn yr amser dyfodol yn Hiphil, efe a bâr iachawdwriaeth, neu bydd yn Iachawdwr; neu, yn ol *Eusebius*, ac eraill o'r henafiaid, Iachawdwriaeth Duw, gan attodi talfyriad o Jehofah, neu y gair Ja, at ei enw cysefin. Ιησους δε εστιν Ιαω σωτηρια, τουτ εστι, Θεου σωτηριον. *Euseb. Demonstr. Evang.*

† Gan gyfeiriaw at ystyr yr enw *Iesu.*

‡ Cyfystyr yw *Messïah*, *Crist*, ac *Eneiniawg.*

waredydd Israel, a dymuniad y cenhedloedd. Yr wyf yn gwbl sicr, oddiwrth yr holl ragfynegiadau hyn, fod y Messïah addawedig wedi dyfod eisoes. Ac yr wyf yn dilys gredu mai y dyn Iesu a anwyd yn nyddiau Herod, o'r forwyn Fair, yw y gwir Fessïah addawedig. Credaf iddo, fel Messïah, gael ei enneiniaw i dair swydd neillduawl, perthynol iddo fel cyfryngwr rhwng Duw a dyn; ei fod yn Brophwyd, yn datguddio holl feddwl Duw er iachawdwriaeth dyn; ei fod yn Offeiriad, ac iddo roddi ei hun yn aberth dros bechod, ac felly gwneuthur cymmod trosom; ei fod yn Frenin, yn eistedd ar ddeheulaw Duw, ym mhell goruwch pob tywysogaethau ac awdurdodau, trwy yr hyn, wedi iddo orchfygu ei holl elynion, y dyry efe i ni wir, berffaith, a thragywyddol ddedwyddwch. Yr wyf yn credu iddo gael ei enneiniaw, nid âg olew naturiol, ond âg Yspryd Duw, yr hwn a dderbyniodd efe fel y pen, ac a gyfranna i'w holl aelodau. Ac fel hyn, "*Credaf yn Iesu Grist.*"

"*Ei un Mab ef.*"—Addefaf yn ddiffuant fy nghred ddiysgog yn y gwirionedd sicr, anwadadwy, a diymmod hwn, sef, mai Iesu Grist, y Gwaredwr a'r Messïah, yw gwir, prïod, a naturiol Fab Duw, cenedledig o sylwedd y Tad; yr hwn sylwedd, gan ei fod yn afranadwy ac afluosogadwy, a gyfunir* iddo mor llwyr a gwirioneddol, fel ag y mae o'r un Hanfod a'r Tad, Duw o Dduw, Llewyrch o Lewyrch, Gwir Dduw o Wir Dduw. Ac fel yr wyf yn ei addef yn Fab, felly yr hònaf na chenedlwyd neb gan Dduw ond efe, trwy y cenedliad prïodol a naturiol hwn, gan gau allan bawb eraill o'r cyfryw Fabolaeth, sef y neb ni chenedlwyd,* am ei fod yn genedliad; a'r holl rai y dywedir iddynt gael eu cenedlu (neu eu geni) o Dduw,† ac a elwir yn feibion iddo, ond y sydd felly yn unig trwy fabwysiad, am ei fod yn genedliad naturiol. Ac fel hyn, "*Credaf yn Nuw Dad, ac yn Iesu Grist ei un Mab ef.*"

"*Ein Harglwydd ni.*"—Yr wyf yn credu hyn fel gwirionedd sicr a dianwadal, a ddysgwyd ini gan Dduw ei hun, fod Iesu Grist, unig Fab Duw, yn wir Jehofah, yn meddu hunanfod digrëedig a thragywyddol, a phob peth, o angenrhaid, yn ymddibynu arno; ei fod, fel y mae yn Dduw, yn meddu perffaith a goruchel lywodraeth ar bob peth, gan iddynt oll ddeilliaw o hono; ac hefyd roddi iddo, fel y mae yn Fab y dyn, bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear; y rhan oruchwyliawl o hono (er perffeithio ein hiachawdwriaeth, a dinystriaw ein gelynion) a bery hyd ddiwedd pob peth, ac yna a roddir i fynu i'r Tad; a'r rhan hòno ag sydd ddilynawl i undeb y natur ddynol a'r ddwyfol, neu yn ddyledus i'w ufudd-dod dan ei ddioddefiadau, sydd dragywyddol, gan y perthyna i freniniaeth ar yr hon ni bydd diwedd. Ac er ei fod fel hyn yn Arglwydd pob peth, drwy hawl crëad dechrëawl, a chadwraeth gwastadawl, eto, y mae mewn modd mwy enwedigawl yn Arglwydd i ni, y rhai, trwy ffydd, a ymroisom i'w wasanaeth; canys, trwy waith y prynedigaeth, y mae yn Arglwydd i ni yn hawl gorchfygwr a phryn-

* Gan fod sylwedd Duw yn afranadwy, nid prïodawl, tebygid, yw y geiriau *cyfranu, cyfranogi.*

* Megis yr Yspryd Glân, yr hwn, er ei fod, yn gystal a'r Mab, yn hanu o'r Tad, ni chenedlwyd ganddo, ond deilliaw y mae o hono.

† Megis yn *Ioan* 3. 9. a 5. 1, &c. arwydda y gair Groeg, *geni*, neu *genedlu*; yr un gair a arferir pan sonir am genedliad y Mab.

wr,* a thrwy ein gwneuthur yn feibion i Dduw, a pharotoi ini drigfanau nefol, y mae yn ennill hawl i fwy uchafiaeth, yr hwn (os ystyriwn y cyfammod yr ydym oll yn myned dano i'w wasanaethu) a gwblëir ac a berffeithir drwy ein hymrwymiad gwirfoddawl. Ac felly, "*Credaf yn Iesu ein Harglwydd ni.*"

*(I'w barhau.)*

---

YMDDIDDAN MEWN BWTHYN.

Pan oeddwn yn ymdeithio ryw hwyr-ddydd haf, ac yn myfyrio ar yr olygfa brydferth o'm hamgylch, tra taflai cyflychwyr ei mentyll llwydion o radd i radd dros fryn a dôl, yn ddisymmwth duodd yr wybren, a'r cwmwl cadduglyd uwch fy mhen a fygythiai gawod o gurwlaw. Dechreuodd y defnynau ddisgyn; a chan fod penty yn gyfagos, a berthynai i fwthyn gweithiwr tylawd, tybiais y gwnai hwnw gysgodfa am dro rhag yr ystorm. Disgynais oddiar fy march, a chefais y penty yn ddigon ehelaeth i gysgodi fy anifail a minau.

Dygodd yr amgylchiad i'm cof fraint ddedwydd y credadyn, yr hwn a dderbyn achles rhag yr ystorm pan fo gwynt y cedyrn fel tymmestl yn erbyn mur, o dan aden ei Brynwr bendigedig. Aethum i mewn heb i neb fy ngweled: drws y bwthyn ydoedd yn haner agored, a chlywais lais gwr, gwraig, a phlant, yn y tŷ.

Petruswn pa un ai myned i mewn i'r tŷ a wnawn, a gwneuthur fy hun yn adnabyddus, neu ynte mwynâu mewn llonyddwch fyfyrdod ar y gydmariaeth uchod a ddygwyd i'm cof gan fy sefyllfa, pan y clywais yr ymadroddion canlynol yn cael eu llefaru mewn acan fwyn a serchogaidd, y rhai a barasant i mi lawenydd a syndod, a phenderfynais beidio rhwystro yr ymddiddan.

"Yn wir, fy ngwraig, yr ydych yn camsynied. Ni wnai cyfoeth byth mo honom yn ddedwydd, tra gwelo 'r Arglwydd yn oreu i ni fod yn dylawd."

"Wel," atebai y wraig, "ni fedraf fi feddwl bod yn ddrwg i ni ddymuno ychwaneg o arian, a gwell bywioliaeth, nag sydd genym yn awr. Cododd pobl eraill yn y byd, a phaham na chawn ninau? Dyna ein cymydog Wiliam Hugh wedi gwneuthur yn dda er ei deulu; ac, am ddim ar a wn i, yn debyg o fod yn un o'r amaethwyr cyfoethocaf yn y plwyf, os bydd fyw ychydig; a gŵyr pawb iddo fod unwaith mor dylawd a ninau; tra yr ydym ni ein dau yn llafurio ac yn gweithio o fore hyd hwyr, a digon prin y gallwn gael digon o luniaeth, a rhyw fath o ddillad i ni a'n plant."

"Fy ngwraig," ebe 'r dyn, "gan y diwallir ni â bwyd a dillad, ymfoddlonwn ar hyny. Ac os bydd gwiw gan yr Arglwydd i'r rhai hyn hefyd brinâu, gadewch i ni ymostwng i ewyllys Duw yn amyneddgar ac yn gwneuthur daioni, gan y rhydd efe i ni fwy nag yr ydym yn ei haeddu."

"Dyna chwi," yr ydych yn myned i bregethu eto," meddai 'r wraig, "ni fedrwch un amser roddi ateb i mi, heb gyfeirio at eich Bibl."

"Pa le y caf gystal man i fyned?" atebai 'r gwr; "onid gwir air Duw ydyw, a roddwyd i'n hyfforddi ac i'n cysuro?"

"Wel, gall hyny fod," meddai 'r wraig, "ond nid da genyf fi glywed cymmaint o hono."

"Ac nid da genyf finau glywed cyn lleied o hono ag a glywaf ac a welaf oddi wrthych chwi," ebe'r gwr. "Addysgwyd fi gan y Llyfr

---

* Yma y cyfeirir at y modd yr elai dynion gynt yn gaeth-weision, naill ai trwy eu cymmeryd yn garcharorion mewn rhyfel, neu eu prynu âg arian.

hwnw bód anrhydedd a chysur yn perthyn i'r tylawd; a thrwy fendith Duw, credaf a theimlaf mai gwir ydyw hyn. Galluogwyd fi bob amser, drwy drugaredd, i ennill bara gonest diwydrwydd, ac felly chwithau hefyd: ac er i'n plant fyw ar luniaeth sâl, ac er nad oes genym fodd i brynu gwisgoedd gwychion iddynt, fel rhai o'n cymmydogion gwag, i feithrin eu balchder; eto, diolch i Dduw, y maent mor lân ac iachus a neb yn y plwyf. Pa'm ynte yr ydych yn grwgnach? 'Elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd.'"

"Yn anrhydedd ac yn gysur yn wir i fod yn dlawd! Mor wirion yr ydych yn siarad! Fath anrhydedd a chysur ydyw hyny? Nid oes genyf fi ddim amynedd gyda chwi," ebe'r wraig, yn o sarugaidd.

"Gallaf fi brofi hyny," atebai'r gwr.

"Sut?" gofynai y wraig mewn llais go annymunol.

"Fy anwylyd," ebe'r gwr da, "gwrandewch yn amyneddgar arnaf fi, a mi a ddywedaf i chwi.

"Tybiaf yn anrhydedd ac yn gysur i mi fod yn yr un fath gyflwr ag y bu fy Mhrynwr o fy mlaen. Ni ddaeth efe i'r byd fel un cyfoethog a mawr, ond fel gwr tylawd, heb le i roddi ei ben i lawr. Yr ydwyf yn teimlo cysur yn fy nhylodi, am i Iesu, pan gymmerodd arno ein natur, ddyfod yn dylawd fel finau. Pe buaswn i yn gyfoethog, fe allai na fuaswn erioed yn ei adnabod ef, nac yn ei garu. 'Nid llawer o rai galluog, nid llawer o rai boneddigion a alwyd.' Y mae plant Duw yn amlaf ym mhlith pethau gwael a dirmygus y byd. Yr ystyriaeth yma sydd yn gwneud fy nhylodi yn gysur i mi.

"Heblaw hyn, oni ddewisodd Duw dylodion y byd hwn i fod yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn ei garu? Hyn a wna fy nhylodi hefyd yn anrhydedd i mi.

"Yn mhellach, i'r tylodion y pregethwyd ac y pregethir yr efengyl; ac er llawenydd fy nghalon, profaf wirionedd hyn bob sabboth o fy mywyd. Ac onid yw yn eglur drwy yr holl gymydogaeth, fod nifer mawr o dylodion wedi eu hargyhoeddi, tra y mae cynnifer o amaethwyr cyfoethog, a masnachwyr, a boneddigion, naill ai yn hollol ddiofal am ffyrdd Duw, neu yn gosod eu gwynebau yn eu herbyn, ac yn farw i bob peth santaidd a da? Anrhydeddaf y cyfoethogion am eu sefyllfa, ond nid ymgynfigenaf wrthynt o herwydd eu meddiannau. Ni allaf anghofio beth a ddywedodd Crist, 'Mor anhawdd yr â y rhai y mae golud ganddynt i deyrnas Dduw.'

"O! fy anwyl wraig, mor ddiolchgar y teimlwn, pe gwyddech pa fodd i werthfawrogi yr addewidion a roddodd Duw i dylodion!

"Ni dderfydd am obaith y tylawd. Efe a wared y tylawd a'r anghenog oddiwrth yr hwn a'i gorthryma. O'i ddaioni y darparodd efe ar gyfer y tylodion. Y tylodion yn mhlith dynion a orfoleddant yn Sant Israel; o herwydd daeth yn dylawd fel y cyfoethoger ni trwy ei dylodi ef: nid yn gyfoethogion mewn aur, ond mewn gras.

"Yr addewidion hyn a gysurant fy enaid, a gwnaent fi yn ddedwydd pe ymddifedid fi o'r hyn yr ydwyf yn awr yn ei fwynâu. Gallaf ymddiried yn fy Mhrynwr am bethau y byd hwn, yn gystal ag am bethau a ddaw. 'Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll: pa wedd gyd âg ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?' Bydded i'r Arglwydd o'i drugaredd eich bendithio, fy anwylaf Mary, â meddwl boddlon!"

Yna tawodd y gwr duwiol: a pha un ai ymddiddan ei gwr, neu ryw beth arall, a gafodd effaith

arni, nis gwn: ond ni atebodd iddo. Yna dywedodd efe, "Dowch blant, y mae yn bryd i ni fyned i orwedd: cauwch y drws, ac awn i weddi."

Maddeuwch i mi, ebe fi, gan gymmeryd gafael yn y drws, pan oedd un o'r plant yn ufuddâu gorchymyn ei thad, os gofynaf genad i glywed eich gweddi deuluaidd cyn i mi ymdeithio tua chartref. Bum yn gwrando arnoch, fy nghyfaill, yn ddiarwybod i chwi; a diolchaf i Dduw am y bregeth a bregethasoch i fy enaid heno.

Gwridodd y gweithiwr gonest pan welodd fi yn dyfod i mewn, a phan glywodd y dywediad uchod; ond dywedodd yn ddiattreg, "Syr, y mae i chwi groeso dyfod i mewn i dŷ tylawd, os deuwch yn enw yr Arglwydd."

Edrychais o'm deutu ar y wraig, yr hon a ymddangosodd fel pe buasai gwedi dychrynu wrth fy ymddangosiad disymmwth, ac ar chwech o blant prydferth, a dywedais, yr oeddych yn myned i weddïo; dymunaf arnoch, heb feddwl am danaf fi, fyned ym mlaen, fel pe na buaswn yn wyddfodol.

Yna y gwr, yr hwn ni allwn lai na'i garu a'i barchu, a wnaeth fel y dymunais, mewn modd sobr, syml, gweddus, a duwiol. Ei weddi oedd yn llawn o ddiffuantrwydd a serch tyner; ac adroddodd hi gyda phriodolder ysgrythyrol, ac mewn pob dull yn gweddu i bregethwr yr egwyddorion a draddodai i'w wraig ychydig o'r blaen.

Wedi iddo derfynu, ei blant a ymostyngasant ar eu gliniau ger ei fron i dderbyn bendith eu tad, yn ol hen ddefod batriarchaidd a arferwyd mewn amseroedd gwell.

Yr oedd erbyn hyn yn hwyrâu, a'r gwlaw wedi darfod: rhoddais fy mendith i'r dyn tylawd, a derbyniais ei fendith yntau. Cyferchais well iddynt, a dychwelais gartref gan fyfyrio gyda llawer o hunan-ffieidd-dra gymmaint anrhydedd a chysur ydyw bod yn ddyn tylawd, ond yn gyfoethog mewn ffydd! TH.

---

## DIOLWCH GWRAGEDD AR OL ESGOR PLANT.

"Rhyfeddol ac ofnadwy y'm gwnaethpwyd" yw sylwiad y Salmydd duwiol. Mor ryfeddol yw genedigaeth dyn, fel y gellir, gyd âg eithaf cymmwysder, ei gyfrif yn arwydd gwastadol o hollalluogrwydd Duw, a'i barhaus ragluniaeth. Pe rhywbeth anghyffredin fyddai, faint fyddai o sylwi arno a siarad am dano? Ond yn hyn, megis mewn pethau eraill, bychain y cyfrifir gweithrediadau mwyaf rhyfeddfawr yr Hollalluog, pan ddigwyddant yn gyffredin ac yn ol trefn barhaus anian; ac etto, pa beth yw rheol anian mewn bychain a mawrion, yn nhŵf y planhigion a sethrir dan draed, a chwyl-deithiau mawryddig y goleuadau disgleirwych uwch ein pennau, ond trefniadau doethlawn yn arddangos gallu a pherffeithrwydd anfeidrol yn eu *cadw*, megis ar y cyntaf hefyd yn eu *creu* hwynt?

Megis y trefnwyd i laweroedd o bob byw farw yn feunyddiol, gosodwyd fod i eraill gael eu geni, i gymmeryd eu lle, a rhodio yr un llwybr o farwoldeb. Rhag i fynychder genedigaeth a marwolaeth dynolryw hylwyr ddileu yr effaith a ddylai y cyfryw ddwys-ddigwyddon ei wneuthur, barnwyd yn addas, gan Ddiwygwyr yr Eglwys Sefydledig, osod Gwasanaeth parchuslawn, fel na byddo na dechrau na diwedd dynion yn llwyr ddi effeithiol ar feddyliau yr edrychwyr.

Mewn perthynas i enedigaeth dyn, yr hyn y darparwyd sylwi arno yn bresennol, cymmwys iawn y gosodwyd Gwasanaeth prïodol, fel y coffhao y wraig ei gwaredigaeth hynodfawr. Os teilwng ac addas

yw diolch i Dduw am adferiad iechyd, cystal a thrugareddau eraill, addasach o lawer yw coffhau y waredigaeth bresennol, pryd y dygpwyd ar y fam boenus ganlyniad y cwymp dechreuol, y dioddefodd chwerw ofid oddiwrth y trosedd hwnnw, ac y cyflawnwyd arni y bygythiad a wnaethpwyd i Efa a'i hiliogaeth, "gan amlhau yr amlhaf dy boenau di a'th feichiogi, mewn poen y dygi blant." Pa destun helaeth a agorir yma i ystyriaethau difrifol y wraig a'i pherthynas hefyd! Dygwyd effeithiau gofidus y cwymp i'w tai eu hunain, nesâwyd y fam i ystafelloedd angau, bu ennyd yn yr hon ni wyddid a ellid yn hir ei chyfrif ym mhlith y rhai byw; eithr yn awr hi a brofodd waredigaeth ardderchog, a ganwyd i'r byd etifedd newydd anfarwoldeb. Barned pob pwyllog a chydwybodol, onid oes yma achos tramawr i ystyried a thalu diolch?

Megis y mae llawer o ddefodau yn yr eglwys Gristionogol yn deilliaw oddiwrth arferion y weinidogaeth Iuddewig, felly gellir olrhain y Gwasanaeth hwn o Ddiolwch Gwragedd at ddefod y puredigaeth, a orchymynir yn y ddeuddegfed bennod o Lefiticus. Bid sicr nad yw y gorchymyn mwyach mewn grym mewn perthynas i ni; ond er fod y ddefod ei hun wedi darfod, bernir fod rhyw ddyledswydd foesawl, mewn ffordd o *gyfattebiad*, yn gynnwysedig ynddi. Ni chedwir mwyach gennym yr hyn a ddilëwyd, ac nid offrymir aberthau er puredigaeth y wraig; ond y mae coffhad cyhoeddus o drugareddau Duw yn gwared y fam, ac yn lluosogi nifer dynolryw, yn ddyledswydd, yr hon a bery hyd ddiwedd y byd. Y mae yn y ddefod hon gyffelyb gwahaniaeth ag mewn pethau eraill rhwng y ddeddf a'r efengyl. Yn y naill, gofynid aberthau costfawr anifeiliaid; yn y llall, boddlonir yr Arglwydd gan offrymiadau ysprydol y galon. Nid yw y fam mwyach rwymedig i ddwyn aberthau seremoniawl y gyfraith, ond hi a ddylai offrwm i'r Arglwydd aberth efangylaidd moliant a diolch. Hi a ddylai etto gyfaddef ar gyhoedd y fendith a gafodd, a'r rhwymedigaethau newyddion sydd arni i fod rhag llaw yn wir ddiolchgar ac ufudd i Dduw. Y mae rhai o'n cyfoeswyr crefyddol yn mawr ofni gwneuthur dim a ellir ei alw yn Iuddewaidd, neu yn ddeddfol, gan fawrygu eu rhyddid efangylaidd. Eithr ystyried y cyfryw, beth yw rhan fawr o'r ysgrythyrau. Onid hanesion yr hen oesoedd wedi eu hysgrifennu er addysg i ninnau? Oni osodwyd yr Iuddewon, mewn llawer o bethau, yn esamplau i oesoedd eraill? Diau fod yspryd y gosodiadau gynt yn fyw, er bod y llythyren wedi marw. Nid ydym ni rwym i aberthu anifeiliaid hwyr a boreu; ond rhy anhawdd gan neb a ddeallo yspryd yr ysgrythyrau wadu bod addoliad ysprydol y galon, bod gweddïo a moli Duw hwyr a boreu, etto mor ddyledus ag erioed, a bod y defodau cyntaf yn rhag-gysgodi ein dyledswyddau ninnau tan yr efengyl. Afresymol fyddai tybied fod yr aberthau puredigaeth, a wnaed gan wragedd Iuddewig o *honynt eu hunain yn unig* yn boddloni Duw; ond eu bod yn dderbyniadwy, megis aberthau eraill, *o herwydd y pethau a gysgodid ganddynt, ac yn ol yspryd diolchgar, ufudd, ac edifeiriol, y rhai a'u dygent.* Yn awr, pa yspryd bynnag o ddiolchgarwch, ufudddod, ac edifeirwch, a weddai iddynt hwy, sydd gymmwys i ninnau hefyd; ac wrth ddiolch i'r Arglwydd am adferiad iechyd, a gwaredigaeth mor ragorol, nid ydym ond dilyn y duwiolion gynt, y rhai a osodwyd i ni yn esamplau.

Ond y mae sylfaen arall am y Gwasanaeth presennol, sef esampl y Forwyn fendigedig, yr hon, er ei bod wedi ei sancteiddio, yn hytrach

na'u hammhuro, gan enedigaeth Mab Duw, a ymostyngodd i'r ddefod Iuddewaidd, ac a offrymodd ei haberth o foliant, megis hefyd y dug hi y plentyn dwyfol i'r deml. Arferwyd Gwasanaeth cyfattebol i hwn o Eglwysa cyn foreued yn y brif eglwys fel nad oes prin hanes am ei ddechreuad mewn un man, a thybir ei fod yn golygu yn arbennig ar esampl y Forwyn Fair, o blegid yr arferir etto, yn yr eglwys Roegaidd, fod i'r Fam ddwyn y plentyn gyda hi i'r eglwys, a'i gyflwyno yn gyhoeddus i Dduw ar amser ei diolwch. Diau ymddengys rhywbeth parchuslawn a thra difrifol yn yr arfer hon. Y wraig, a fu yn ddiweddar mewn cymmaint perygl, yn dyfod yn ostyngedig i dalu ei chyhoeddus ddiolch i'r Arglwydd am ei drugareddau, a'r un pryd (yn ol esampl gwragedd duwiol gynt) yn cyflwyno y plentyn bychan i wasanaeth arbennig Duw. Dilys yw gennym, pe deuai gwraig hynod am ei duwiolgarwch i ryw gynnulleidfa grefyddol yn y modd hyn, a chyflwyno y plentyn a'i moliant cyhoeddus ei hun i'r Arglwydd, mai nid bychan fyddai effaith y cyfryw olwg ar yr edrychwyr, ac y canmolent ei gwaith o ddiolwch. Os hyn a ganiattâid, gochelwn farnu yn anfuddiol, neu ddiangenrheidiol, y ddefod honno o herwydd ei bod yn *hen*, yr hon, pe *newydd* fyddai, a ganmolem yn ddirfawr.

Pan ddarlunia yr ysgrythyr ofid anghyffredin, cyffelybir ef i wewyr gwraig yn esgor. Os yw y dolur gymmaint, a chyn dosted, oni weddai i ni dalu diolch cyfattebol? Os gofynir, paham y gosodwyd Gwasanaeth arbennig am y waredigaeth hon yn hytrach na gwaredigaethau eraill cyfartal? yr atteb yw, ein bod yn golygu yma ar y gwahaniaeth rhwng afiechyd ar esgoriad dyn bach a phob rhyw aficchyd arall. Beichiogi, a dwyn plant mewn poen, oedd y farn neillduol a osodwyd ar Efa, a phob mam, megis cosp y trosedd cyntaf; ac er mai canlyniad y pechod hwnnw yw pob dolur, y mae gofidiau gwragedd wrth esgor yn perthyn yn fwy arbennig iddo, megis hefyd y gosodwyd hwynt yn gospedigaeth bennodol o'i blegid. Eithr yn awr, trowyd y felldith ddechreuol yn fendith: daeth prynedigaeth dyn trwy esgoriad gwragedd; a "bydd cadwedig bawb a arosant mewn ffydd, a chariad, a sancteiddrwydd, ynghyd â sobrwydd." Gan hynny addas iawn yw moli Duw mewn Gwasanaeth pennodol. Addas iawn yw gweddio am i'r Fam "fyw yn ffyddlon, a rhodio yn ol ewyllys Duw yn y fuchedd bresennol, fel y byddo gyfrannog o ogoniant tragywyddol yn y fuchedd a ddaw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd."

Yr hyn a ddywedwyd gennym uchod a gyflwynir at bawb, megis ymresymiad cyffredinol; eithr wrth y sawl a brofasant y mawr boen a'r perygl wrth esgor, gallem, ni a dybygwn, lefaru mewn geiriau mwy pèr-wresog. Yr ydych wedi caffael, gan ddaioni Duw, ryddhad dirfawr ymwaredol. Wedi eich cylchynu gan ofidion angau, a chael ing a blinder, galwasoch ar yr Arglwydd, a gwaredwyd eich enaid. Graslawn fu yr Arglwydd i chwi, ïe, cyfiawn a thosturiol. O! meddyliwch pa fodd y'ch achubodd chwi o gymmaint perygl a gofidiau. A ddichon i chwi fod yn awr yn anniolchgar iddo am ei holl ddoniau? A ddichon i chwi lai na thalu eich addunedau i'r Arglwydd, â hynny, nid yn y dirgel, eithr yn ngwydd ei holl bobl, ac yn nghynteddau ei dŷ cyssegredig? O! peidiwch âg anghofio, wedi adferiad iechyd, y Bod mawr y gweddïasoch arno cyn daered yn awr trallod a dagrau. Ni ddylai neb gywilyddio talu diolch i Dduw am waredigaeth; eithr peth gwarthus dros ben

yw dilyn arfer llaweroedd, y rhai, yn yr oes hon, a esgeulusant gyffaddef ar gyhoedd eu rhwymedigaethau iddo. Ymbwyllwch, attolwg, a choeliwch mai nid canmoladwy yw pob arfer newydd, ac nid cyfeiliornus pob pethau hen. Pe amgen, cyfeiliornus hefyd fyddai y grefydd Gristionogol ei hun, yr hon a barhaodd am oddeutu deunaw cant o flynyddoedd.

Yr ydym yn hylwyr gredu, pe nas buasai Gwasanaeth Diolwch yn esodedig, a phe dechreuai Gweinidog gwresoglawn rywbeth cyffelyb iddo, y galwid y weithred yn dda a dilynwiw.

"Os bydd Cymmun, iawn yw i'r wraig gymmeryd y Cymmun bendigedig." Felly y dywed y *Riwbric;* ac yn ddiau nid oes un modd parchusach iddi foli Duw am ei gwaredigaeth, ac ymrwymo i'w wasanaeth ef rhag llaw, na thrwy gyfrannu o'r ordinhad sancteiddiol hwn. Arfer wastadol yn yr eglwysydd Ethiopaidd a Groegaidd yw, i'r gwragedd gymmuno ar yr amser hwn. Bu hyn arferol yn ein heglwys ninnau, ac yr ydym yn dwyn y wraig at yr allor etto, fel y coffheir hi ynghylch ei dyledswydd. Un achos paham yr anghofir trugaredd ymwaredol Duw cyn gynted yw, yr arfer o esgeuluso cymmuno gan wragedd wrth eu gollwng, neu yn fuan wedi hynny.

Yn yr ordinhad hwnnw gallant yn oreu foli Duw am ei rodd annrhaethol o'r Arglwydd Iesu Grist, ac am yr ymwared diweddar hefyd; yma y gallant fywioccau eu grasusau, ac adnewyddu a chryfhau eu bwriadau duwiol. Y modd tebyccaf i ddiolch i Dduw yn iawn yw, pan fo y gymmwynas yn newydd, a'r ymsyniad o honi heb ei ddileu. Gan hynny, bydded i bob gwraig dduwiolgar, wedi profi y mawr boen o esgor, dalu ei diolch cyhoeddus i'r Arglwydd yn ei gynteddau, ac "o bydd Cymmun, cymmered y Cymmun bendigedig," naill y tro hwnnw neu ar y cyfleusdra cyntaf wedi hynny.

Γ.

---

## AR DELEIDION Y GWANWYN.

O feibion dedwydd Duw! agorwch eich calonau i lawenydd. Gwelwch y Gwanwyn yn rhodiaw mewn prydferthwch a dillynder. Ystyriwch wyrddlesni y meusydd, a llysiau y doldir, y rhai a ddygant i ni yn fuan gyflawnder o gysuron. Y pren a ymddangosai gynt yn amddifad o fywyd, a grym, a harddwch, yn awr a addurnir gan flodau a addawant gynnyrch toreithiawg.

Mor hardd ydyw anian! Mor deg ei haddurniadau! Pob anifail, pob dôl, coedwig, a maes, a adfywiant ac a gyd-lawenychant â dyn mewn hanfodaeth newydd. Yr Hedydd a esgyn yn uchel nes y darfyddo ei ganiadau peraidd o radd i radd ar yr awel; y colomenod a chwildroant ym mro y cwmmwl goruwch y gweirgloddiau meillionawg; a'r Eos gwynfanus a byncia yn y llwyni, ac ym mysg y llysiau ei pheroriaeth hyfryd a glywir yn y dyffrynoedd isel, neu a lanwa y coedwigau. Yr iar a arwain, a amddiffyn, ac a gysgoda dan ei hadenydd, y cywion gweiniaid a diblyf a ymddiriedwyd i'w gofal. Y wennol a adawa ei nyth ac a ddychwel ar fyr gan ufuddâu galwad tynerwch, a chan ddwyn lluniaeth dymunawl i'w rhai bach. Yr ŷd sydd yn tyfu mewn ffrwythlonrwydd, ac yn addaw ad-daliad ehelaeth am boen a gwaith y llafurwr, yr hwn a ddisgwyl mewn hyfrydwch ei fendithion dyfodawl. Dynion ydynt yn plannu; ond y pelydr ter, a'r cawodydd cynnyrchiawl, a ddisgynant o'r nef. Gwres yr haul a addfeda ffrwythau y

ddaear, ac a bàr i nòdd ddylifaw o'r winwydden. Y gostyngeiddiaf a'r diystyraf o feibion dynion, pan yr adfywir ef â phelydr y nef, ac y goddefir iddo yfed dyfroedd bywiawl oddi uchod, a ddaw yn anrhydedd i ddynoliaeth, ac yn gennad o nerth a gogoniant y Goruchaf.

---

## CYFDREFN Y BEDYSAWD.

O'R holl ranau a ydynt yn gwneuthur i fynu cyfdrefn y byd, yr haul yw y mwyaf nodedig ac ardderchawg. Ei lun sy gyfrgrwn, ac oddi wrtho y tardda ddylifiad diddarfod o ronynau disglaer. Canfyddwn trwy yspïen-ddrychau ryw frychau ar ei wyneb, y rhai a brofant yn eglur ei ysgogiad ar ei begwn. Ei bellder oddiwrth ein daear ni, yw 95 miliwn o filldiroedd; ac y mae filiwn o weithiau mwy na'r ddaear. Y mae yn gweini goleuni i oddeutu 20 o bellenau tywyll a ymdroant o amgylch iddo mewn pellder gwahanawl. Yr agosaf ato yw Mercher, yr hwn ni welir ond anaml, ac am yr hwn nid yw ein gwybodaeth ond bychan. Yn nesaf daw Gwener, yr hon a elwir yn seren foreuawl a phrydnawnawl; am ei bod weithiau yn rhagflaenu, waith arall yn canlyn yr haul. Yn nesaf at Gwener gwelir ein daear ni; arwyneb yr hon a gyfansoddir o dir a dŵr, o fynyddoedd a dyffrynau; a'i rhanau tufewnawl a gynnwysant welyau a hânau o amrai sylweddau. Y ddaear sydd yn drigfan i rifedi lluosawg o greaduriaid byw a difywyd; i blanigion, mŵnau, ac anifeiliaid. Y lleuad a ysgoga o amgylch y ddaear, ac a'i dilyna hi yn ei hysgogiad oddeutu yr haul. Y mae yn 50 waith llai na'r ddaear; a gallwn ganfod ar ei harwyneb amrai o fanau disglaer a thywyll. Pe gwastad fyddai arwyneb y lleuad, adlewyrchid pelydr goleuni yn gydradd o bob rhan, ac annichonadwy fyddai i ni weled y brychau hyny. Tybiwyd gynt mai cyfandiroedd ydoedd y manau disgleiriaf, ac mai moroedd ydoedd y brychau tywyll, y rhai a ymddangosent yn dywyll am eu bod yn sugnaw gronynau goleuni: ond sylwadau diweddarach a brofasant nad ydynt ond pantleoedd dyfnion, y rhai na adlewyrchant belydr yr haul mor gryf; ac mai gwastadedd yw y llanerchau goleu, a mynyddoedd uchel ydyw y manau disgleiriaf.

Y planedau eraill yn ein cyfdrefn, ydynt Mawrth, ac Iau a'i bedair lleuad; Sadwrn a'i saith lloer; a Herschel, neu Georgium Sidus, gyd â'i chwe lleuad. Cymmaint yw pellder Sadwrn oddiwrth yr haul, fel ag y bydd agos i 30 mlynedd yn myned drwy ei ysgogiad. Er bod y cylch dros yr hwn y llywodraetha yr haul yn bedair mil o filiwnau o filldiroedd, eto nid yw ond rhan o'r bedysawd: o herwydd fod pob un o'r ser sefydlawg yn haul o gymmaint maintioli a disgleirdeb a'r hwn sydd yn gweini goleuni i'n daear ni. Y fath ydyw yr ardderchogrwydd a'r mawrhydi a arddangosa Duw yn ei weithredion prydferth a rhyfeddawl, y rhai a'n gwahoddant i dalu ein teyrnged o ryfeddod, hybarchedd a moliant i'w Perydd! A oes un peth mewn anian a all greu meddyliau ardderchocach am y Duwdawd na golwg y ffurfafen yn disgleiriaw bob nos gyda miloedd o bellenau ysgogiadawl! Na fydded i ni dremiaw arnynt heb deimlaw y cyffroadau bywiocaf ynghylch haelioni a mawredd yr hwn a greodd bob peth, sydd yn parâu i'w cynnal gyda doethineb, a'u llywodraethu trwy ddaioni trugarawg!

STURM.

*Mai 1af.*

## Y MILDRAETHODYDD.

### Y CRYCHYDD, Y CEGYR, NEU Y CEGHIR-GLAS.

Yn y rhyw hwn fe ddywedir gan rai fod mwy na phedwar ugain o amrywiaeth, oll yn wahaniaethol y naill oddiwrth y llall, o ran maintioli, llun, a lliw. Ond er hyn oll y maent i gyd o'r un duedd ofnus, swibus, ddioglyd, a gwangcus. Adar eraill a frasânt os cânt ddigonedd o fwyd; ond y rhai hyn, er ymborthi, ac ymborthi drachefn, a chael digonedd o ymborth, ydynt yn aros yn deneuon hynod wedi 'r cwbl. Nid yw 'r aderyn hwn ond ysgafn iawn mewn cydmariaeth i'w faintioli. Y mae ynghylch pum troedfedd o flaen un aden i'r llall. Y mae ei big yn bum modfedd; ac ewinedd ei draed yn hirion, a'r un canol yn ddanheddog fel llif-ddur. Ni phwysa yn gyffredin uwch tri phwys a hanner. Y mae mor ofnus fel y ffy rhag y llemysten neu 'r cudyll. Difroda hwn fwy o breswylwyr y dwfr croyw nag yr un o adar ein gwlad ni: ac nid oes o'r braidd un pysgodyn, o ba faint bynnag y byddo, nad ymgais efe i'w ladd, er ei fod yn rhy wan i'w ddwyn ymaith. Y pysgod bychain yw ei brif ymborth. Y rhai hyn, wedi eu hymlid o'r dyfroedd dyfnion gan eu gelynion ym mysg eu rhyw eu hunain, a breswyliant y rhydau a'r beisiau, ac yma y Cegyr-glâs a ddaw arnynt, a difetha rifedi aneirif o honynt. Cerdd hyd y gallo i'r dwfr, a rhoddwyd iddo goesau hirion i hyn, ac yna efe a ddisgwyl yn amyneddgar am agosiad y pysg; a phan ddelo un o honynt yn agos atto, efe a saetha ei big arno yn anffaeledig. Yn y modd hwn efe a ddifetha fwy o bysgod mewn wythnos nag a wna Dyfrgi mewn tri mis. Dywed *Willoughby*, iddo weled dau bysgodyn ar bymtheg yn nghylla un a saethwyd, yr hyn a dreulia efe mewn chwech neu saith o oriau. A dywed yr un gwr, iddo weled pysgodyn naw modfedd a hanner o hŷd wedi ei dynnu allan o'r Crychydd. Rhai boneddigion yn cadw rhai dofion, a ddywedant y bwyttâent bob dydd gyd â'u gilydd ynghylch deg a deugain o bysgod. Er bod y Cegyr glâs yn cael gwala a gweddill o fwyd yn y llynoedd a'r afonydd yn amser teg, etto yn nyddiau tymhestl ac oerni nid yw ei ymborth o fewn ei gyrhaedd; canys y pysgod, y rhai ar amser teg oeddynt yn y beisiau, a ânt amser oer a thymhestlog i'r dyfroedd dyfnion; ac nid yw 'r llyffaint, brogaid, na'r geneu-goegion, i'w cael y pryd hyn ychwaith. Yr amser hwn y goddef yr adar o dan sylw lawer o eisiau a newyn; a gorfydd arnynt y pryd hyn ymborthi ar y llysiau a'r dail tyfedig hyd wyneb y dyfroedd. Ac fel hyn y gellir dywedyd am danynt, eu bod weithiau yn ymborthi i ormodedd, a phryd arall yn goddef llawer o eisiau: ac o herwydd hyn, fe allai, y mae 'r Cegyr-glâs mor deneu a gwael; canys er bod ei gylla ef yn llawn, etto y mae mor deneu, fel o'r braidd y mae arno ddigon o gig i guddio ei esgyrn. Cartrefle cyffredin yr adar hyn yw yr afonydd, y llynoedd, a'r corsydd. Gwnant eu nythod y rhan amlaf ym mrig y coedydd uchaf, ac weithiau ar depiau creigydd. Pan yn hel ymborth, y maent yn unig; ond pan yn nythu, hoffant gyd-drigo, a gwelir hwy yn gâdau yn nythu fel Brain cîd. Briwwydd yw y tu allan i'w nyth, a gwlân y tu mewn. Dodwant bedwar wy o liw gwyrdd-lâs gwan. Gwelir eu tuedd ddiog hwynt wrth nythu, fel wrth ymborthi; canys os cânt nyth wedi ei wneuthur, ni wnant yr un iddynt eu hunain. Tra bo 'r fenyw yn eistedd, y ceiliog a

dreulia y rhan fwyaf o'i amser yn gorphwys ar y pren yn agos atti. Gadawant eu nythod yn y gauaf, oddieithr yn mis Chwefror, pan yr ymwelant â hwynt i'w hadgyweirio. Yr oeddynt unwaith yn adar hela yn y wlad hon, ac yr oedd dirwy o bunt am dorri eu nyth. A byddid y pryd hynny yn ystyried eu cig yn ymborth blasus mewn gwleddoedd. Y maent yn drwst-fawr iawn pan yn fychain yn y nyth; ac o herwydd hynny, ym marn yr ysgrifenydd, yn annymunol iawn yn agos i dŷ neb. Adar hir-hoedlog ydynt. Dywedir y byddant byw uwch triugain mlynedd. Tarawyd un o honynt gan walch yn yr Iseldir yn ddiweddar, am goes yr hwn yr oedd cylch arian, ac yn argraphedig arno yr hyn a ddangosai ei daro gan walch Llywydd Colgne, bymtheg mlynedd ar hugain o'r blaen. Ni soniwn y tro hwn ond am y rhyw hwn. Y mae adar y nef, a physg y môr, a bwystfilod y ddaear, yn dywedyd yn eu hiaith am y Duw a'u gwnaeth, ac am ei ddaioni, a'i ddoethineb; a gwaeth na dall na byddar yw 'r dyn na welo ac na ryfeddo ei Greawdwr yn y pethau hyn. R.

---

## ORIAU LLYFRAWL.

*(Parhad o du dal. 118.)*

GAN fod y defnyddiau a soniasom o'r blaen, sef rhisg neu ddail, yn rhy ddarfodedig, dechreuodd yr Aiphtiaid yn foreuol iawn arferu lliain, a darlunliwio llythyrenau arno gyda phuntariau *(pencils)* pan ewyllysient goffhau y cyfryw bethau ag a amcenid i barhau yn hir iawn. Dangosir yn Llundain ysgrifenwaith o'r fath hyn, yr hwn a gymmerwyd oddiwrth gorph perarogledig. Arferai y Rhufeinwyr hefyd liain *(libri lintei* y gelwid hwynt) i goffhau arnynt gyttundeb ac achosion rhwng y naill ddyn a'r llall, cystal ag enwau swyddogion, ammodau heddwch, a gorchwylion gwladol.

Ym mhlith yr Ioniaid, trigolion Asia Leiaf, y dechreuwyd parottoi, eithr mewn ffordd *anghelfydd*, grwyn anifeiliaid yn lle y *papyrus*, pan oedd hwn yn rhy anhawdd neu gostfawr i'w gaffael. Crwyn defaid, geifr, ac asynod, a ddewisid fwyaf. Y mae llawer o'r rhai hyn yn gadwedig etto mewn llyfr-gelloedd. Ysgrifenwyd pryddest-waith odidog Homer ar berfedd neidr, mewn llythyrenau aur. Cedwid y plyg-lyfr hwn gyntaf yn llyfr-gell Ptolemeus Philadelphus yn yr Aipht, a throsglwyddyd ef wedi hynny i'r Llyfr-gell Ymerodrawl yn Nghaer Cystenyn, lle y llosgwyd ef yn y chweched ganrif. Hyd y plyg-lyfr hwn oedd ugain troedfedd a chant.

Yr Iuddewon hefyd a arferent ledr neu grwyn, wedi eu parottôi, yn ol dull yr oes bresennol, i ysgrifennu arnynt y *gyfraith*, a rhannau eraill o'r ysgrythyrau. Dywed y Dr. Buchanan gaffael o hono yn Synagog yr Iuddewon* Duon yn Malayala hen adysgrifen o'r gyfraith ysgrifenedig mewn plyg-lyfr, pymtheg troedfedd o hŷd. Y mae y crwyn wedi eu gwnïo ynghyd. Adysgrifen arall o'r *gyfraith*, sef pum llyfr Moses, mewn llythyrenau Hebraeg, a feddiennid unwaith

---

* Nid sicr yw gan yr ysgrifenydd, a gymmerwyd eisoes sylw o'r bobl hyn yn y Gwyliedydd. Amlygwyd hwynt i drigolion Ewrop gan yr Ymdeithydd a'r Duwinydd enwog Buchanan. Cafodd hwynt ar lennydd môr Malabar. Amrywiant oddiwrth Iuddewon cyffredin o ran eu lliw, gan eu bod yn dduach eu hwynebpryd, megis hefyd o ran eu moesau. Meddiannant y llyfrau hynny o'r Hen Destament, y rhai a ysgrifenwyd cyn y caethglud i Fabilon. Barn yr Ymdeithydd oedd, mai disgynyddion ydynt i'r Iuddewon hynny, y rhai ni ddychwelasant o'r caethglud, eithr a arosasant, megis eu heppil ar eu hol, yn y gwledydd estronol y dygasai eu gorthrymwyr hwynt iddynt.

gan Ffrengwr dysgedig. Ysgrifenasid hwn ar ddau ar bymtheg a deugain o grwyn.

Mynegai rhai hen hanesyddion mai yn Pergamus y dyfeisiwyd y modd i wneuthur memrwn; enw Seisnig yr hwn sydd yn tarddu oddiwrth y ddinas honno, o herwydd rhyw anghyttundeb rhwng brenhin y fro honno a brenhin yr Aipht. Eithr gellir profi bod gwneuthuriad memrwn yn hŷn na'r oes honno; a thybir mai gwellhau y gwneuthuriad, ac nid ei ddyfeisio yn gyntaf, a wnaethpwyd yn Pergamus. Ar femrwn yr ysgrifenwyd y rhan fwyaf o hen lyfrau sydd yn awr yn gadwedig. Y mae tri math o honynt; sef, yr unlliw naturiol; deuliw, neu felyn un tu, a gwyn y tu arall; ac yn drydydd, y porphoraidd, yr hwn yr ysgrifenid arno gyda llythyrenau arian, neu euraidd. Ambell waith byddai y memrwn goreu yn brin iawn, ac yn y flwyddyn 1120 nid oedd dim o'r cyfryw i'w gaffael trwy holl Loegr.

*Vellum*, memrwn llyfnedig, wedi ei wneuthur o grwyn lloi ieuaingc, a arferid i ysgrifennu arno yn yr hen oesoedd. Gwnaent addurniadau dillynwiw a chostfawr iawn ar hwn, a'r llythyrenau a fyddent fynychaf naill ai yn arianaidd neu euraidd.

Gadawsom y *papyrus* heb sôn am dano, er yr arferid ef megis defnydd i ysgrifennu arno cyn caffaeliad y memrwn, fel y dilynem yr hanes am dano yn ddidorr hyd ddechreuad ein papur presennol. Hwn yw gwreiddair y gair *papur*. Math o hesg yw, yr hwn ni chefid gynt oddigerth yn unig ar lennydd afon yr Aipht. Pa cyn gynted yr arferwyd ef megis defnydd ysgrifennu nis gellir gwybod; eithr gwyddis ddechreu o'r arfer dri chan mlynedd cyn amser Alexander Fawr. Er y cymmerent ddirfawr ofal i'w barottoi, a'i lyfnhau, a'i wynnu, y cyfryw oedd ei freuolder fel y cyd-gymmysgid weithiau, bob yn ail, ddalenau o femrwn a *phapyrus*. Y mae llyfrau o'r fath hyn wedi parhau dros fwy na deuddeg cant o flynyddoedd. Torrent y *papyrus* yn ddarnau o amryw faintioli, eithr nid un amser yn fwy na thair modfedd ar ddeg o led, gosodent y naill ddarn ar y llall, ac wedi eu gludo ynghyd, a'u sychu, curent â morthwyl, a llyfnhaent hwynt mor gelfyddgar ag y gallent. Anfonai yr Aiphtiaid lawer iawn o'r llaw-waith hwn allan o'r wlad, a'r cyfryw oedd yr ennill, fel yr ymgyfoethogodd un llaw-weithydd i'r cyfryw radd hyd oni anturiodd osod ei hun i fynu yn Ymerawdwr, gan ymffrostio y gallai gynnal ei fyddin drwy gyllid yn deilliaw oddiwrth ei law-weithiau papur yn unig. Oddeutu yr wythfed neu y nawfed ganrif, pan gafodd y Saraceniaid feddiant ar wlad yr Aipht, lleihaodd y llaw-weithiau hyn, a dechreuwyd gwneuthur papur o *gotwm*, yn Bucharia medd rhai, yn China neu Persia medd eraill.

Dilys yw mai yr Arabiaid a ddug y gelfyddyd gyntaf i'r Hispaen, ac oddi yno yr ymledodd drwy Ewrop oddeutu y ddeuddegfed ganrif. Ar y cyntaf gwnaed ef o gotwm *an*-weithiedig, ac wedi hynny o hen lieiniau cotwm wedi eu gwisgo. Eithr anghelfydd oedd y gwneuthuriad gan yr Arabiaid, o herwydd eu ffordd drwsgl o bwyo y cotwm mewn morter, a marchfelinau; ond yr Hispaenwyr a gymmerasant amgenach moddion i bwyo a meddalu y defnydd cotwm mewn melinau dwfr. Yn y drydedd ganrif ar ddeg yr oedd papur cotwm yn gyffredin; eithr can mlynedd gwedi hynny daeth i mewn yr arfer o wneuthur papur yn hylwyr o liain; fe allai ar y cyntaf yn y gwledydd lle yr oedd cotwm yn brin, a lliain yn rhad. Gosodwyd y felin bapur gyntaf yn yr Almaen, yn Nuremberg, yn 1390; eithr ni ddaeth

y llaw-gweithiad i Loegr cyn y fl. 1588, yn amser y frenhines Elsbeth. Hyn yw y tyb cyffredin, ond y mae achos da i feddwl ddyfod o hono swrn o amser yn gynt. Can mlynedd yn ol, dygid papur lawer o wledydd tramor i Loegr; eithr yn awr anfonir gennym lawer iawn at ddieithriaid.

Amrywiai offer ysgrifennu yn ol y defnyddiau yr ysgrifenid arnynt yn amryw oesoedd a pharthau o'r byd, megis cynion, neu geingau, ar bren, a maen, a mettel; ac erfyn blaen-llym bychan, a elwid *stylus*, ar daflenau cwyr. Gan na wasanaethai yr erfyn hwn i ysgrifennu ar femrwn, a phapur Aiphtaidd, arferwyd math o galaf, neu gorsen, i nodi y duwy *(ingc)* arnynt. Calafau Aiphtaidd a ganmolid fwyaf, eithr arferid rhai eraill hefyd. Y ffordd o'u gwneuthur oedd yn hollol gyffelyb i wneuthuriad pinnau ysgrifennu yn yr oes bresennol. Arferai pendefigion a chyfoethogion binnau arian, cyffelyb, tybygir, i'r eiddom ninnau. Arferir calafau i ysgrifennu â hwynt mewn rhai gwledydd dwyreiniol hyd heddyw.* Tebyg o barth maintioli ydynt i binnau a wneir o esgyll elyrch. Tybir fod eu parottoad a'u gwneuthuriad yn gyffelyb i'r hyn a arferid yn yr hen oesoedd. Gosodir hwynt am rai misoedd mewn tommen, yr hyn a rydd iddynt liw du tywyll, llathredd gloywaidd, a'r caledwch angenrheidiol.

Parhaed i arfer calafau tan yr wythfed ganrif, er y gwyddis fod rhai pinnau gweithiedig o fôn esgyll yn y ganrif o'r blaen. Y gair Lladin am asgell yw *penna*, yr hwn yw tadogair *pen* yn y Saesonaeg.

Arferai y Groegiaid a'r Rhufeinwyr *inge* o amryw liwiau, megis coch, porphoraidd, a glas, ac hefyd arianaidd ac euraidd. Dilys yw ei fod yn eithaf parhaus, megis y tystia hen ysgrif-lyfrau, y rhai sydd yn ddarllenedig hyd y dydd presennol.

*(I'w barhau.)*

---

## HANES ENWOGION CYMMRU.

*At Ddarllenyddion cyson y Gwyliedydd.*

Boneddigion,—Am vy mod mewn anghyvle i chwiliaw Rhivion y Gwyliedydd yn rheolaidd, methais atebu *Awyddus* yn y Rhiv yn canlyniadawl i ba un yr ymddangosodd ei lythyr o berthynas y llyvr uchod.

Mae yn ddiau bod ein cenedl ni yn bur ymfrostgar yn eu hiaith ac eu hynaviaeth; a pha ryvedd hyny gàn neb à syniant yn ddiragvarn? Oni buasai anfodau anverthawl ddawed i gyvarvod ein cyndadau dro ar ol arall, gàn eu hymddivadu odd eu llyvrau barddoni, hanesion, ac amrywion, drwy ddivrod tân gelynion, a rhwysg amser, tebyg yw na buasai braidd un genedl arall à allesynt eu cystadlu yn hawdd mewn gweddillion o awenydd a dysg cynoesawl.

Oblegid bod yr oes hon mòr vendithiawl, a breintiau yn lliosogi; cynniver o lyvrau àr bob peth yn cael eu cymhell àr y Cymmry, màl nas gwyddont beth braidd a dderbyniont gyntav, mae achaws amheu fyddlondeb y Genedl tuagat gyhoeddiad mòr llesiawl à *Hanes ei Henwogion*, o amseroedd bore hyd yr oes ddiweddav; er y barna pob Cymmro gwladgarawl mai anrheg digyfelyb vyddai y gorchwyl iddynt. Gàn hyny, meddyliav y gwelir y Gwennhwyson, y Dyvedwyson, y Gwyneddwyson, ac y Powysiaid, yn ymgyfröi, yn eu pedair ardal, i gynnorthwyaw gwaith nad oes ei vath yn y Gymmraeg.

---

* Dywed ysgrifenydd Seisnig, yr hwn a ymdeithiodd drwy wlad Canaan, yn 1820, na fedrai gaffael yn Tiberias ddim pinnau ysgrifennu, oddigerth rhai *trwsgl* o galafau.

Gan vod y *Cambrian Biography* yn cael ei ymchwelyd i Gymraeg; a chaniatâd ynghyd ag ewyllys da yr Awdwr gàn y cyvieithydd, ynghyd a chwanegion ato, er ys misoedd hirion weithion, yr hyn a brova mewn llythyr oddiwrth y doethawr W. O. Pughe ei hun, gyda ei Ragvynegiad, o ddyddiad Rhagvyr 8ved, 1828; nid rhaid i néb amheuaw na ddugir y gwaith yn mlaen yn drevnus, gàn vod gohebiaeth rhyngddo ac y Parch. T. Price, Crughywel, oddiwrth yr hwn y caves yr annogaeth blaenav i gyhoeddi y cyvryw yn gynnar yn yr hav y llynedd.

Bydd y gwaith o raid yn helaethach nog yr un Seisonig, am vod cynniver o enwogion gwedi marw er pan orphenid hwnw; ond eto bid ddiogel na bydd ei werth ond yr un vaint; a phwy bynag a vyddo hyvwyned â danfon ei enw vàl tanysgrivwr at y gwaith, bydd ei dâl yn rhatach nog eiddo ereill, o leiav swllt, a chaif ei enw yn nghovres y tanysgrivyddion ei gadw àr gov i oesoedd dawedadwy y byd, yn gynnorthwy a nodded i lenoriaeth Cymmru.

Mae y gwaith mewn llaw yn Llanymddyvri, gan y cyvieithydd ac yr argrafydd Jeffrey Jones; a chwblëir yr orchwyl ganddo ev cynted ag y caniatâa amser, ar ol y gwna' ychydig ymdrech er cael math o ddychymyg pa niver a argrafa, gàn ei vod yn bwriadu peidio argrafu ond ychydig dros gyvlawni govynion y tanysgrivwyr.—Ydwyf, Boneddigion, yr eiddoch yn ostyngedig.

Ab Cilydd.

---

## BENYW.

Sylwyd yn fynych nad oes mewn clefyd law fel llaw merch, na chalon fel calon benyw. Gall mynwes mab chwyddo gan dristwch annrhaethadwy, ac ofn a phryder rwygo ei feddwl; etto, rhodder ef wrth glafwely, yn nghysgod, yn hytrach na goleuni y lamp di lewyrch a'i gwylia; bydded fod iddo gyfrif drosodd anhylon feithion oriau y nos, ac aros yn unig, a di gwsg, dòriad y wawr i ystafell y dyoddefaint; gosoder ef i'r gwasanaeth hwn er mwyn ei dad a roddodd iddo fod, neu frawd ei fynwes, ei natur anmhurach, hyd yn nod lle mae berffeithiaf, a flina, ei lygaid a gaua, a'i yspryd a á yn anoddefus o dan ei orchwyl athrist; ac er i'w gariad a'i bryder fod yn ddi leihâd, ei feddwl a addefa iddo ei hun lusgiad i mewn anwrthwynebadwy hunanolrwydd ac esgeulusdra, er y gall y bydd arno gywilydd o'u plegid, ac yr ymdrecha i'w gochel; etto, er gwaethaf ei holl ymegniadau, yno yr arosant, i briod-nodi ei natur, ac i brofi, mewn un peth o leiaf, ei wendid *gwrawl*. Ond gweler mam, chwaer, neu wraig, yn ei le. Y ferch ni theimla flinder, ni ŵyr am hunanolrwydd, nac esgeulusdra. Mewn distawrwydd, yn nyfnder nos, bydd, nid yn unig yn ddyoddefgar, ond cybelled ag y dengys y gair cymmwysiadol ein meddwl, yn llawen. Ei chlust a gyrhaedd gyfarwyddyd y dall, tra, o amser i amser, y deil y symmudiad lleiaf, neu y sibrwd, neu anadliad, o eiddo y cystuddiedig, yr hwn, yn fwy nag erioed, yn awr a gâr;—ei cherddediad, fel mewn ufudd-dod i gymhelliad neu arwydd, ni ddeffröai lygoden;—os sieryd, ei llais sydd adsain esmwyth o ber-sain naturiol, tra hyfryd i glust y claf, yn dwyn yr hyn a all sain ddwyn o dosturi, cysur, ac ymroddiad; ac fel hyn, nos ar ol nos, y gweinydda iddo, fel pe byddai wedi ei hanfon o fyd uwch, gwedi i bob gwyliadwriaeth ddaearol ballu; ei llygaid heb amrantu, ei meddwl heb lwfrhau, ei natur bob amser arall sydd wendid, yn awr a ennill nerth a mawrfrydig-

swydd goruwch-naturiol, ei hun yn anghofiedig, ei rhyw yn unig yn goruwch reoli.—Cyfieithiad allan o lyfr a elwir, "*Tales of the O'Hara Family*," gan

RISIART TUDWY.

LLANFAIR,
*Ebrill 20fed*, 1829.

---

## CYNGOR I'R BEIRDD.

"Ni chydfydd awenydd wâr
"A dynion dybryd anwar."
GRO. OWAIN.

Y MAE ymddygiadau y gwyr hyny ag a alwent eu hunain yn FEIRDD yn Nghymru yn bresennol yn galw yn uchel am fflangell oddiwrth y boneddigion a'u noddant. Y maent, yn y dyddiau hyn, yn mwynhau mwy o freintiau nag erioed. Y mae pendefigion ein gwlad megis â'u breichiau ar led i'w derbyn i'w nawdd haelionus, a hyny yn ddiammeu genyf mewn dieithrwch i'w bucheddau; o herwydd nid wyf yn llochesu y meddwl hwnw am Foneddion Cymru y rhoddant arian-dlysau, ac y cynnaliant Eisteddfodau rhwysgfawr, i gynnull Beirdd neu Brydyddion masweddol ynghyd i loddesta a meddwi, ie, heb un neges arall; nid ydym i feddwl fod pob "rhigymydd" ag a oedd yn Eisteddfod Dinbych wedi danfon ei gyfansoddiad i mewn am "Awyren," na "Gwlawlen" (*Umbrella*) "Bolol," na "*Balloon*," am hyny, beth a allai fod eu diben ond yr hyn a grybwyllwyd? Y mae eu hymddygiad yn warthus tu ag at haelioni ein Boneddion. Ai teilwng, meddwch chwi, Gymry diragfarn, ydyw Prydydd â'i lygaid yn gochion, a duon, gan ddyrnodiau rhai o'i gyfeillion a fynent eu bod yn well beirdd nag ef; yn methu siarad gan y syched a'r bloesgni a ddygodd yfed gormodedd o gwrw cryf Dinbych, neu ryw le arall, y nos o'r blaen; a'i law grynedig yn methu bron roddi pin ar bapur; a'i amben dolciedig, fudr, a fu yn sathrfa i'w draed, am ei ben; a'i ddillad gyn ffieiddied a phe llusgid ef dros fynydd Hiraethog ar ddiwrnod gwlawog? ai teilwng, meddwch chwi, yw y cyfryw o bresennoldeb a nawdd ein Pendefigion? ai teilwng ydynt o'r enw Beirdd? tybygaf y clywaf chwi oll yn unfryd unllais yn atteb, Nagè. Os rhagora y naill ar y llall yn ei gyfansoddiad, dyna "fy hunan" yn distaw dramgwyddo, a llid mynwesol yn enyn yn y naill at y llall, ac os bydd y gwr buddugoliaethus o dymer fwy syber a distaw na'i gydymgeisyddion, ymosodant arno (a'u geneuau) fel cynnifer o Fytheiaid ar ysgyfarnog ofnus; ac os bydd y buddugol cyn uwched ei glool a hwythau, gwae ni, bydd yno ymgecoru cyffelyb i'r hyn a glywodd y Bardd Cwsg yn *rhywle;* os gwr llên o offeiriad fydd, dywed un, "pa ddiolch iddo, a chanddo gymaint o amser, a rhagorfreintiau:" arall a ddywed, "pa ddiolch iddynt *hwy*, yr oeddynt yn gwybod pwy sydd yn gwisgo y fodrwy:" rhai a'u difenwant, ac anaml yw y rhai a ddywedant fod yn dda ganddynt iddo enill. Dim ychwaneg ar hyna.

Ym mhlith y Derwyddon yr oedd y Beirdd yn fawr eu parch; yr oeddynt yn brydyddion, achwyr, a haneswyr; eu dillad oeddynt unlliw awyrlas, i arwyddo heddwch a gwirionedd. Yn ein dyddiau ni, nid yw ein Beirdd ond meddwon, enllibwyr, &c. Nis gallant heddyw wisgo un dilledyn cymmwysach i'w dull presennol o fyw na gwisg lwyd garpiog.

O Feirdd! y rhai amser yn ol oeddych golofnau y wladwriaeth: yr oedd eich cyfansoddiadau i elynion ein cenedl, fel yr oedd areithiau Demosthenes i Alexander, yn gwneuthur mwy o niwed na'r holl

filwyr. O Feirdd! y rhai *oeddych* deilwng gynt gan Dywysogion ein gwlad i gyd eistedd â hwynt! O Feirdd! y rhai y'ch cynnysgaeddwyd â doniau i foesoli, a diwygio, ac addysgu eich cenedl: ymgroeswch! ymgroeswch! os try boneddigion ein tir eu cefnau arnoch eto am eich anfoesoldeb,

"Yn iach oll awen a chân."

Yn iach byth i Eisteddfodau Cymry! yn iach i fri ein cenedl! Ymatteliwch oddiwrth eich defodau llygredig; ac os na wnewch hyny nid oedd yr Eisteddfodau diweddar ond eich dawns ar lân eich beddau. Y mae boneddigion ein gwlad wedi diosg eu menyg i ysgwyd llaw â chwi, ac os na wnewch chwi hyny mewn dull addas a theilwng, ofer disgwyl amgenach nac iddynt eu hail wisgo.

Nid ydwyf, yn y llythyr uchod, yn cyfeirio at *bawb* o'r Beirdd, ond yn unig at y sawl y perthyna iddynt. Gallwn enwi y rhai syber, ond cystal fyddai hyny a nodi y lleill. Cewch glywed oddi wrthyf eto ar fyr.

MEUDWY MEIRION.

---

## CYNGOR

### I FERCHED IEUAINGC AR FYNED I DDECHREU GWASANAETHU.

YR ydych yn awr yn myned i sefyllfa newydd o'ch bywyd, lle y bydd gennych ddyledswyddau newydd i'w cyflawni, a bydd yn ofynol i chwi fod yn fwy gwyliadwrus arnoch eich hunain, o achos y bydd eich temtasiynau yn fwy. Ond fe allwch, beth bynnag, fod yn sicr, os bydd i chwi yn ostyngedig ymddiried yn eich Tad nefol, na wrthyd efe mo honoch, na'ch gadael chwaith; canys yr Arglwydd sydd gyda chwi, tra byddoch chwi gyd âg ef; ac os chwiliwch am dano, efe a fydd i'w gael. "Y gweision, ufuddhewch ym mhob peth i'ch meistriaid yn ol y cnawd; nid â golwg-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion; ond yn symlrwydd eich calon, yn ofni Duw: a pha beth bynnag a wnewch, gwnewch ef yn ewyllysgar megis i'r Arglwydd." Gallwch chwi, pan y gorphenwch eich gyrfa ar y ddaear, dderbyn trwy haeddedigaethau eich Iachawdwr goron cyfiawnder, yr hon a rydd efe i bawb a'i caro ac a'i gwasanaetho; a bydd i chwi glywed y geiriau gorfoleddus hyn, "Da, was da a ffyddlawn: dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."

---

*Traul angenrheidiol Lodes mewn Gwasanaeth am un Flwyddyn.*

| | | |
|---|---|---|
| Dwy Ysgin (*Gown*) 14 llath am 1*s.* y llath | 14 | 0 |
| Pais ucha o gymmysg-we (*linsey*) 2¼ llath am 1*s.* 6*c.* y llath | 3 | 4½ |
| Dwy Bais wlanen, 5 llath am 1*s.* y llath | 5 | 0 |
| Dau Grys *calico*, 7 llath am 4*c.* y llath | 2 | 4 |
| Tri phâr o Hosanau am 1*s.* 6*c.* y pâr | 4 | 6 |
| Dau bâr o Esgidiau am 6*s.* y pâr | 12 | 0 |
| Dwy Arffedog o liain brith, 2 lath am 1*s.* y llath | 2 | 0 |
| Dwy etto o liain gwineu, 2 lath am 6*c.* y llath | 1 | 0 |
| Dwy etto o *galico* gwyn, 2 lath am 7*c.* y llath | 1 | 2 |
| Mein-liain (*muslin*) i wneud capiau, hanner llath, 2*s.* y llath | 1 | 0 |
| Etto i wneud ymylau (*borders*) hanner llath am 2*s.* y llath | 1 | 0 |
| Dau Gap nos, hanner llath am 1*s.* y llath | 0 | 6 |
| Un Cadach lliw wedi ei dorri yn ddau | 2 | 0 |
| Un Penguwch (*Bonnet*) | 3 | 0 |
| Ysnoden (*Ribbon*) i'w haddurno 3 llath am 6*c.* y llath | 1 | 6 |
| Un *Shawl* | 4 | 6 |
| | 2 18 | 10½ |

---

## ADFEILIADAU POMPEII.

YR hen ddinas enwog Pompeii yn Itali, wrth droed y mynydd tanllyd Vesuvius, a gladdwyd drwy

chwyrn-darddiad (*eruption*) o'r mynydd hwnnw yn y flwyddyn o oed Crist 79; yr ydym yn rhoddi yma adysgrif o lythyr a dderbyniwyd o'r parth hwnnw yn ddiweddar.

"Fy nibon yn ymweled â Naples oedd, i gael golwg ar yr olion o hynafiaeth ardderchog dinas Pompeii, o ba un y tybir fod ei hanner wedi ei chloddio allan. Nid yw y gweithwyr yn myned ym mlaen ond yn araf; er hynny y mae rhyw beth yn wastadol yn cael ei wneuthur, a rhyw weddillion o hynafiaeth beunydd agos yn cael eu dwyn i'r golwg. Bron yn union-gyrchol ar ol fy nyfodiad i, cafwyd allan ddelw hardd-wech. Nid yw y ddinas mor fawr ag y meddyliais ei bod; nid yw dros dair milltir o hŷd; er hynny y mae yn peri hyfrydwch i'r ymwelydd deallus.

"'Tis Greece, but living Greece no more."

*Cyfieithiad,*

"Groeg yw, ond Groeg fyw nid ydyw mwy."

"Yr ydym yn canfod yma debygoliaeth anghyffredin yn y dull o fyw y pryd hwnnw a'r amser presennol. Canfyddwn yn olion y gladdedig dref hon nad oes fawr gyfnewidiad yn moes a defod a chelfyddydau y dyddiau hynny a'r rhai presennol, wedi cymmeryd lle yn Itali. Gellir gweled yn amgueddfa (*Museum*) Naples lawer o nwyfau a gafwyd yn adfeilion Pompeii, Herculaneum, a Pæstum, a'u bod yn tebygoli yn fawr, yn eu defnydd, eu dull, a'u gwneuthuriad, i'r rhai sydd mewn arferiad yn y dyddiau hyn, ond bod amser wedi effeithio peth arnynt, ynghyd â'r lludw poeth ym mha un y claddwyd hwynt. Nid oes ond ychydig ddodrefn i'w cael yno, efallai o ran nad oedd y trigolion yn byw yno yn wastadol, ond ei harfer fel hafle, (*summer seat*); neu fe allai fod y trigolion yn disgwyl am y cyfryw gyflafan trwy fod ysgrudion (*skeletons*) yn anaml iawn i'w cael yno. Cliriwyd yno amryw adeiladau, pa rai yn ddiammeu oeddynt enwog yn eu dydd; ym mhlith eraill, teml Isis. Gwelir yn y deml hon y dull twyllodrus a arferai yr offeiriaid Paganaidd ar y gynnulleidfa anwybodus. Yn y deml dan sylw canfyddir delw Isis yn sefyll ar fath o golofn neu allor. Y mae grisiau cudd tu mewn i'r golofn yn cyrhaedd at bibell (*tube*) fettelaidd, yr hon a gyrhaedd drwy y ddelw hyd at ei gwefusau. Gallai yr offeiriaid siarad drwy y bibell hon, a gwneuthur i'w gwrandawyr twylledig gredu mai y dduwies a lefarai. Dywedwyd na chafwyd ysgrudion yma ond anaml; yr oedd y rhai a gafwyd wedi eu gorchuddio âg addurniadau, fel pe buasent wrth ddiangc yn ceisio cludo gyda hwynt yr hyn a allent o'u cyfoeth." C.

---

## CHWEDL

### YNGHYLCH RISIARD PLANTAGENET.

Y noson arswydus cyn brwydr Bosworth rhwng Risiard gefngrwm (y trydydd) a Harri y seithfed, y cymmerodd Risiard ei ymadawiad olaf â'i fab Risiard Plantagenet yn ei fwth (*tent*) yr hwn a ddesgrifia yr ymweliad ei hun yn y geiriau canlynol:—"Gwesteuwyd fi gyd âg ysgol-feistr Lladin, heb wybod pwy oedd fy rhieni, nes oeddwn yn bymtheg neu un ar bymtheg oed. Byddai gwr bonheddig, yr hwn a ddywedodd wrthyf, nad oedd dim perthynas rhyngddo â mi, yn dyfod unwaith bob tri mis i dalu am fy nghadw, a chymmerai fawr ofal na fyddai arnaf eisiau dim. Un dydd daeth y gwr bonheddig hwn a chymmerodd fi gyd âg ef i dŷ harddwych; aethom drwy lawer o ystafelloedd gorwych, a pharodd i mi aros yn un o honynt. Yna daeth gwr bonheddig arall attaf yno mewn gwisg

swysgaidd, ac a siaradodd yn dirion wrthyf, ac a roddodd i mi beth arian. Yna dychwelodd y gwr cyntaf, ac aeth â mi yn ol i'r ysgol.

"Rhyw amser yn ol hyn daeth yr un gwr attaf drachefn gyda march, a thaclau priodol, a dywedodd wrthyf y byddai raid i mi fyned allan i'r wlad gyd âg ef. Aethum gyd âg ef i Swydd Leicester, ac i faes Bosworth, a chymmerodd fi i fwth y Brenhin Risiard. Cofleidiodd y Brenhin fi, a dywedodd wrthyf, mai ei fab oeddwn. 'Ond, blentyn,' meddai efe, 'efory yr ydwyf yn myned i ymladd am fy nghoron. A bid sicr iwch', os collaf fy nghoron, y collaf fy mywyd hefyd, ond yr wyf yn disgwyl arbed y ddau. Sefwch chwi ar y bryn accw, man y gellwch edrych ar yr ymgyrch yn ddiberygl; a phan yr ennillwyf y fuddugoliaeth, deuwch attaf, a mi a'ch haddefaf yn fab i mi, ac a gymmeraf ofal o honoch: ond os byddaf mor anffodus a cholli, rhaid i chwi wneuthur ereu y galloch; a chymmerwch ofal rhag dywedyd wrth neb mai myfi oedd eich tad, gan na ddangosir un drugaredd i undyn yn perthyn i mi.' Wedi hyn y Brenhin a roddodd i mi gôd o aur, ac a'm cofleidiodd wrth ganu yn iach â mi. Gwneuthym yn ol ei gyfarwyddyd; a phan welais iddo golli y dydd, a'i ladd, prysurais i Lundain; a gwerthais fy march a'm dillad gwychion, er mwyn dirgelu fy hun rhag ammheuaeth o'm bod yn fab i frenhin; ac fel y gallwn gael fy mywioliaeth drwy lafur gonest fy nwylaw, rhwymais fy hun i ddysgu y grefft o Saer pridd-feini (*Brick-layer*). Ond gan fy mod yn hyddysg yn yr iaith Ladin, nid oeddwn yn dewis ei anghofio; a chenyf awyddfryd i ddarllen, a dim diddanwch yn siarad â'r rhai oeddynt o'm hamgylch, arferwn dreulio fy holl amser segur yn darllen o'r neilltu."

Dywed llythyr oddiwrth y Dr. Thomas Brett at y Dr. William Warren, Llywydd *Trinity Hall*, fel hyn: "Pan yr oedd Syr Thomas Moyle yn adeiladu Tŷ Eastwell, yn agos i Lundain, oddeutu y flwyddyn 1544, sylwodd fod un, ei brifweithiwr, yn union-gyrchol wedi ymadael â'i waith, yn myned i ddarllen. Ceisiodd Syr Thomas amryw weithiau gael gweled y llyfr, ond bu yn hir cyn caffael y cyfleusdra: ond o'r diwedd daeth Syr Thomas atto yn ddisymmwth, ac a gipiodd y llyfr o'i law; a phan welodd mai Lladin oedd, dechreuodd ymresymmu âg ef ynghylch yr iaith honno; a phan welodd ei fod yn hyddysg ynddi, gofynodd iddo, pa le y cawsai efe ei ddysgeidiaeth. Dywedodd y gwr wrtho, gan ei fod ef wedi bod yn feistr da iddo, yr anturiai i ymddiried y dirgelwch iddo, yr hyn na ddatguddiodd i un-gwr, yna adroddodd y chwedl uchod wrtho. Dywedodd Syr Thomas, "Yr ydych yn awr yn hen, a bron wedi myned heibio eich llafur, cewch fod yn fy nghegin tra byddoch byw." Dywedodd yntau, "Y mae gennych deulu mawr, Syr, ac yr ydwyf fi wedi arfer byw yn neillduedig; ac os caniattewch i mi adeiladu tŷ o un ystafell yn y cyfryw faes, yno, gyd â'ch cennad da chwi, y byddaf byw a marw." Caniattaodd Syr Thomas iddo ei ddeisyfiad; adeiladodd yntau ei dŷ, ac yno yr arosodd hyd ei farwolaeth. Risiard Plantagenet a gladdwyd yr 22ain o Ragfyr, *anno ut supra ex registro de Eastwell sub* 1550. Dyna y cwbl o'r gofrestr (*Register*) am dano. Ni wyddis ym mha un ai yn yr Eglwys neu y fynwent y claddwyd ef; ac nid oes yn bresennol un cofiant am dano, ond chwedlau yn y teulu, a rhyw ychydig o olion yn y lle y safai ei dŷ. "Yr hanes hwn a adroddodd y diweddar Arglwydd Heneage, Iarll Winchelsea, wrthyf yn y fl. 1720." Fel

hyn y bu fyw a marw yr unig fab a adawyd i Risiard y trydydd, Brenhin Lloegr, mewn tlawd ac isel amgylchiadau.

CYF. C. S.

---

## BRUT Y TYWYSOGION.

*(Parhad o du dal. 119.)*

YN y fl. 720, y doded Rhodri Molwynawc yn Frenin ar y Bryttaniaid, a rhyfel mawr a fu ryngthaw ef a'r Saeson lle trechasant y Bryttaniaid mewn dwy Gadfaes yn anrhydeddus. Yr un flwyddyn y bu Gad Garthmaelawc, ac un arall yng Ngwynedd, a Chad Pencoed ym Morganwg lle y gorfu 'r Bryttaniaid ymbob un o'r tair.

Yr un flwyddyn y bu farw Beli ab Elphin, ac y torres y Saeson di gred lawer o Eglwysydd Llandaf, a Mynwy, a Llanbadarn, ac y lladdasant Aidan Escob Llandaf a llawer o ddoethion ei Blwyf.

Oed Crist 728, y bu Cad Mynydd Carno yng Ngwent lle y gorfu 'r Bryttaniaid gwedi colled dirfawr ar wŷr, ac y gyrrwyd y Saeson drwy Afon Wysg, lle y boddasant laweroed o honynt, achaws llif oedd yn yr Afon.

Oed Crist 733, Bu Cad Ddefawdan lle gwedi ymladd hir a thra chreulawn y gorfu 'r Saeson ar y Bryttaniaid.

Oed Crist 735, y bu waith Henffordd, lle gwedi ymladd tost a chreulawn y gorfu 'r Cymry ar y Saeson.

Oed Crist 750, y bu farw Tewdwr ab Beli, a Rhodri Molwynawc gwedi gwladychu deng mlynedd ar hugain yn glodfawr am gyfiawnder a gwroldeb, ac ai claddwyd yng Nghaerlliou ar Wysg, a diweddaf o Eppil Brenhinoedd ynys Prydain a gladdwyd yno oedd efe.—Yn yr un flwyddyn y bu waith Mygedawc lle y gorfu 'r Bryttaniaid ar y Gwyddyl Ffichti gwedi ymladd creulawn.

Oed Crist 754, y gwnaethpwyd Cynan Tindaethwy yn Frenin ar Gymru oll o fodd yr holl Frenhinoedd a'r Arglwyddi. Yn yr ail flwyddyn y bu ail waith Henffordd lle y gorfu 'r Cymry, ac yno y llas Cyfelach Escob Morganwg.

Oed Crist 755, y symmudwyd y Pasg yng Ngwynedd o gyngor Elfod Escob Bangor, ond nis caid hynny gan yr Escobion eraill, ac achaws hynny y daethant y Saeson ar y Cymry yn Neheubarth, lle bu Cad Coed Marchan, a gorfüwyd ar y Saeson yn anrhydeddus.

Oed Crist 757, y bu drydedd waith Henffordd lle y Gorfu Gwyr Deheubarth ar y Saeson, ac y llas Dyfnwal ab Tewdwr y rhyfelwr glewaf o du 'r Cymry, wedi iddaw wneuthur yn orchestawl o neb yn y Gad honno.

Oed Crist 765, y diffeithiwyd Tiroedd y Mers gan y Cymry ac y gorfuant ar y Saeson, ac ai hyspeiliasant yn ddirfawr, achaws hynny y gwnaeth Offa Brenin y Mers y clawdd mawr a elwir Clawdd Offa yn derfynfa rhwng Gwlad Cymru ar Mers, fal y mae fyth yn parhau.

Oed Crist 776, y codes Gwyr Gwent a Morganwg ac a aethant am benn y Mers, ac y torrasant Glawdd Offa yn gydwasted a'r ddaear, a gwedi hynny dychwelyd ag yspail fawr.

*(I'w barhâu.)*

---

## GOFYNIADAU.

*Hybarch Wyliedydd,*

A WNEWCH chwi adael, trwy gyfrwng eich Greal, i'r *Gwr o Gybi*, neu ryw Seryddwr enwog arall, i ddywedyd i mi pa bryd yr ymddengys y Seren Wib a welwyd yn niwedd y flwyddyn ddiweddaf? a welir hi yn yr oes hon etto ai pedio?—

Ydwyf, &c. C. AP IOAN.

MR. GWYLIEDYDD—Gwelais yn nghofrestr enwau y Beirdd y'Ngeiriadur y Parch. T. Richards, grybwylliad i Lywarch Hên gael ei gladdu yn Llanfor; a dangosir gan y trigolion garreg wrth dalcen yr Eglwys, a dywedant mai bedd-faen Llywarch Hên ydyw, yr hyn, i'm tyb i, nid yw gywir. Y mae carreg mewn ochr ffenestr yn oriel yr Eglwys, â rhyw lythyrenau henaidd arni; a thybiais, pan welais hi, mai honno oedd carreg fedd Llywarch (os bu iddo garreg fedd) a'i rhoddi yno wrth adeiladu yr Eglwys. Clywais hen wr yn dywedyd amser yn ol, mai mewn cae cyfagos, a elwir *Cae'r bebyllfa*, y bu y tywysog hwnnw farw. Yn y *Myv. Arch.* Cyf. i. tu dal. 120, dywedir fod Llanfor a'r gymmydogaeth yn hyspys i Lywarch Hên; canys dywed fel hyn:

"Bugail lloi Llanvor llwybrawd."
"Ysyud Lanvor tra tra gweilgi."
"Heis Dyvyrdwy yn ei thervyn.
O Veloch hyd Traweryn.
Bugail lloi Llanvor llwybryn."

Ond ni welais un hanes iddo gael ei gladdu yno, ac nid wyf sicr a arferid bedd-feini yn nyddiau Llywarch Hên. Os geill eich Gohebydd dysgedig *G. M.* neu ryw un deallus arall, fy ngoleuo am hyn, a rhoddi hanes (od oes ganddynt y fath) am y lle bu farw, ac y claddwyd y tywysog hwnnw, mawr foddlonir eich gohebydd

GWYNFARDD.

*Dyffryn Dwyffrwd.*

# BARDDONIAETH.

## CYWYDD.

Annifyr wrth iawn ofyn
Nos a dydd yw einioes dyn:
Anafus yna hefyd
Ac anhawdd yw byw 'n y byd;
Os byw 'n hael oes bai yn hyn?
Pob gofal pawb a'i gofyn.
Os byw 'n grin mewn opiniwn,
Chwerw yw 'r hap ni cherir hwn.
Os ymladd a lladd mewn llid,
Duw cyfion, y daw gofid.
Os goddef lladd hoewradd hy,
Blaen hanes, blin yw hyny.
Os prynwr tir, myn Urien,
E dyn y byd yn ei ben.
Os gwerthydd tir, rhywir hyn,
E nodir yma 'n adyn.
Os dyn llonydd fydd y fo
Oernych a fydd pawb arno.
Os dyn blin, gerwin gariad,
Ofer lw fe 'nafai 'r wlad.
Pawb ar ei *ffens*, pybyr ffydd,
Pawb a'i goel pe bai gelwydd.

1640. T. PRYS, YSW. *Plas Iolyn.*

### *Englyn i Ieuan Tew.*

BETH weithian IFAN ai da yfed—fythol,
Gwiliwch fethu cerdded;
Gwiliwch brydnawn eich gweled
IFAN yn wr syfrdan sied.—R. PHYLIB.

### *Atteb Ifan.*

RISIART, deg ei wart, gwrtiwr—y dafarn,
Diofal gwmniwr;
Ni allaf yn ennillwr
Gerdded nag yfed â'r gwr.

IEUAN TEW.

## YR HAF.—AWDL.

CROESAW it' hawddgar iesin,
Anwylaidd a hafaidd hin.
A mawr serch it' dymmor syw,
Holl natur llawen ytyw:
Clyw o draw i'th groesawu
Dônau glwys adeiniog lu.
Holl anian mewn llawenydd,
Yn dy gu groesawu sydd.
Gwel finau gwael f' awenydd
O'r un serch a'r rheiny sydd,
Yn nodi ar iawn adeg,
Hawddamor it' dymmor teg.

Henffych duwies duwiesau,—iawndeg ir,
Yn dy gerbyd llysiau;
Taenu 'r ydwyt iawn radau,
A dil mwyn i'r dwylaw man.

Da adwedd i'n gwlad ydwyd,
Gorwychydd y gwrychoedd wyd.
Urddwyd pob craig a gwerddwisg,
Mwys a glwys eu mwswgl wisg.

Onid bellach cymwysach yw 'r meusydd,
Gerddi, neu ddilesg wiw wyrddion ddol-
ydd,
Mwyn i gerdded nag in' mewn gwawrddydd
Soddi 'n y gwely, hyn sydd yn g'wilydd;
Yr awel fwyn foreuol fydd—yn hau
Gwych a di boenau deg iechyd beunydd.

O! mor fwyn im' ar fynydd—yw eistedd
Ar ddistaw foreuddydd,
Gwel'd uwch gwlad doriad y dydd,
A holl anian yn llonydd!

Hynod orwych yw 'r dwyrain—neud ydyw
'N nodedig o gywrain,
Goreurawg yw 'r awyr gain,
Aur len fawr loew iawn firain.

Yma iesin yw 'r meusydd—a harddwych,
Dan urddiant ysplenydd,
Euraid oll ar wawr y dydd
Yw 'r mawnol dir a'r mynydd.

Yr orwech wybr aurol——deg uchod,
A gocha yn raddol;
Wele seirian liw siriol,
Ar bob bryn, dyffryn, a dôl.

Ha! wele 'r huan loew orhoewaidd
Draw yn disgleiriaw desog wawl auraidd;
Lloeydd holl anian erllen ddillynaidd;
Wiw dirion oleu pelydr anwylaidd;
Y lloer wen, a'r llu arianaidd——ffoant
Ar ddynesiant dy eurwedd hynawsaidd.

Ha! dacw 'r 'hedydd gwiwdeg cariadol
Uwch ben y frodir, chwiban hyfrydol;
Yn gyrchu y nefoedd ei gywrain nwyfol,
Heibio 'r awyr, wiw aberth boreuol,
Fy nwydau 'n gryf hynodol—sy 'n llonain
Wrth glywed ei frain sain gysonol.

A'r bronfraith oddiar brenfrig—byngcia
Iawn bencerdd y goedwig;
Iesin ber yw swn ei big
Wychaidd ddadwrdd chwyddedig.

A'r mwyalch yn dra miwail;
Blethiad in' o blith y dail;
Pob aderyn sy'n swniaw
Yn llawen dros y llwyn draw:
Erioed gôr o gerddorion;
Yn cyd-wau â'u lleisiau llon:
Blethedig chwyddedig ddawn,
Maes ganwyr, miwsig uniawn:
Cu deg yw 'r llu, cyd-gôr llon,
Syw fawr adlais hyfrydlon.

Mor ardderchog,
Clywed enwog
Gad luosog.
Yn cyd-leisio,
Cyd-gôr gwiwlon
O gerddorion,
Seiniau mwynion,
Sy'n ymuno.

Pob clogwyn a bryn mewn bro,
Hynod swn yn adseinio.

MAI, 1829.

Yn awr mae 'r rhosyn cirian
I'w wel'd y'mysg blodau mân,
Yn gwenu mewn gogoniant;
Wiw deg wedd, uwch blodau gant.

Edrychai 'n chwith a'r gwlith goleithiol,
Yn ail dagrau i'w ruddiau gwareiddiol;
Yn awr mae'r rhos ir heb ddeigr mor siriol,
O! mae 'r wedd arno 'n awr mor addurniol,
Mae o'r braidd mor bereiddiol—ei sawrdda
A *Myrr* a *Chasia* ie mor iachusol.

Arab sawyr bwysiol—fwyn iach yn
Ysgafn chwa ddeheuol;
Oddiar deg ddaiar dol,
Blodau a llysiau llesol.

O! mor fwyn yma i'r fynwes—da rin
Ydyw 'r anadl eres;
Anadl yw bair hynod les
I nychlyd egwan achles.

Mae 'r defaid diniwaid naws
Gyd â'r wyn mwyn eu moes,
A'u nwyd hoew 'n chwarau 'n y tes,
Ydyn' mwy 'n neidio 'n y maes.

Bywiogwyd, nwyfwyd yn awr,
Hoenus anian iesinwawr;
Natur sy' hwnt ar ei sedd,
Yn mirain wisg ei mawredd:
Llaw hynottaf Llyw natur,
Wnaeth y gwaith yn berffaith bur:
Heb law Duw byw, Lyw daear,
Ofer "gwaith gwrthaith ac âr."

Ei law ef lywia 'r nefoedd—wir Dduw,
A'r ddaear a'i lluoedd;
Oll sy' gyda'r lluaws oedd
Arab Awdwr y bydoedd.

Drwy ddydd 'r wy'n gwel'd, rhaid addef,
Ol llaw IOR a'i allu ef:
Ar fynydd ac ar faenol
Bys Duw, ac ar bwysi dol:
Nid eill llaw na dawn dynol
Un dyn wneud llysieuyn dol:
Gair ION wna'r ddaear grynu,
Boddi a llosgi ei llu.
Gair ION wna 'n sych afonydd;
Dyweded "BYDDED," a bydd:
Boed i ni gydnabod nerth
Yr hybarch IOR a'i aberth.

*Bala.* SIARL.

---

## *ANERCHIAD I FEIRDD MEIRION.*

FORENDDIGION Meiriouydd—gwŷr enwog,
O ran eich awenydd,
Hygar weis oll, gwŷr y sydd
Ag *Urania*'n garenydd.

Meib Awen hyd yma buoch,——dilwgr,
A'i delw a ddygasoch:
Ar gynnydd beunydd y b'och,
A'i meib addien mwy byddoch.

Enwogwch yn ffiwch hen hoff wlad—Feirion,
Ag anfarwol enwad;
Mwy fo'r son am Feirion fad,
Yn y canlyn nac unwlad.

Mewn cân, goroian gref,——lleuferau oll
A fo raid eich addef:
Twr ser y'myng nifer nef,
Gorawenydd, gywrein-nef.

Mawr syndod a chlod uchel wŷr—a Beirdd
A *bost* eich olynwyr;
Wrth sôn eich hoff-eilion, ffy 'r
Rhywael, mal llwch i'r awyr.

O na chawn win i'ch annerch—awengoeth
O wingafn iaith Gomer;
Chweg anrheg a doneg der,
Chwai ceisiwn o'i chawg hyserch.

Gwir addas gu arwyddion,—gwiw gynnydd,
A gogoniant Meirion;
Hafal am Feirdd heirdd yw hon,
I'm difyr gwmmwd Eifion.

Yn sech bo 'r afon y sydd—yn rheangddwr
Rhyngddynt hwy a'u gilydd;
A'r ddwy elo 'n un ryw ddydd,
Enwer yn Feirseifionydd.

Awen Meirion a ogonaf,——beunydd,
Heb weniaith dywedaf,
Gwerdd ei rhyw mal gardd yr haf,
Grawn per ac aeron puraf.

Am Feirdd Môn mawr sôn y sydd,—mwy a fo,
Am wiw Feirdd Meirionydd:
Mwynach, parodach Prydydd
Yma, na Bardd y'Mon, bydd.

Meddiennwch yma wiw ddinas,—dre' gadr
Ac Idris yn balas,
Awen orddoeth, iawn urddas,
Dawn lefn, ac ysnoden las.

Gawrier o'r Gader gu,—wŷs bereiddfawr,
Nes bo 'r Wyddfa 'n crynu,
I alw angylion llon yn llu,
(Ufuddent) i'ch rhyfeddu.

O daw fyth i'r adaf fau——y garreg*
A eura ddefnyddiau,
Trôf yn aur, glwysaur, yn glau,
Deg Idris hyd ei godrau.

Yn rhesi heirdd ar risiau hon—llunier
Holl enwau Beirdd Meirion;
Gwir arwydd i'w gorwyrion,
Nad lleug eu hynafiaid llon.

Y'mhen oesoedd mynweser—eich henwau,
A'ch hoenus ffrwythlonder,
A chanu da 'ch Awen dêr,
Caing hyfawl, nac anghofier.

Gan yr Ion cyfion cafwyd—yr Awen
Naws burwen syberwyd;
Rhoer o fodd, mal ei rhoddwyd,
Iddo 'n ôl y nefol nwyd.

Eich Awen boed a'i chân ber—yn delyn
Deilwng iawn i'w harfer;
Pur fawl cân nodawl i Ner,
Ar Awen a chwareuer.

Am roi sen, ymrysonwch——i rysedd
Yr oes a breswyliwch;
Y gau, hardd os gwaherddwch,
A lles pan fo'ch chwi 'n y llwch.

O rhoddais i'wch, wŷr haeddawl,—o wir ffrwst,
Air rhy ffraeth i'ch canmawl,
Neu ran rhy fechan o fawl,
Atganaf glod digonawl.

Hyn a ddelir yn ddilys,——o'm hanes
Fy mhin a'i harddengys,
Mai mal gwron llon mewn llys,*
Ym Meirion y mae——Morys.

* The philosopher's stone.

* Deimlyniligyn. . . .

---

## ENGLYNION

COFFADWRIAETH AM ROBERT WILLIAMS, CAE ASETH, LLANBEDR, SWYDD GAER-YN-ARFON, 1828.

O angau genad ingawl!—O offd!
O afar beunyddiawl!
O fradwy anhyfrydawl!
E droes y gwyll dros y gwawl.

Torwyd afallbren tiriawn,—o fodir
Ddyfradwy, a ffrwythlawn:
Pan dyfodd, fe dyfodd dawn,
Pan dorwyd, torwyd aerawn.

Ow! Robert yn †ddirybudd
Aeth o fyd yn noeth i'w fedd:
Llawer bron sy yn llwyr brudd,
O roi cyfaill i'r ceufedd.

Mae oer ubain am wr hybarch;—uthrwae,
Am Athraw uchel-barch:
Ond un ni ffy, dawn, na pharch—
A gofid angau gyfarch.

A f'ai 'n iawn a fynai ef,
Gyrai 'n glau y gau o gof,
Rhedai 'n hardd, a rhodiai 'n hyf,
A'i gamrau yn noddfau Naf.

Ar ei ol ef yr wylir,——a'i rinwedd,
Wr anwyl a goffir:
Ei enw a'i barch, hardd-barch hir,
Ddewr Rabbi, ddiarebir.

† Gan ddyrnod maen, oddiwrth ergyd pan hun y bu efe farw, yn nghloddfa Braich y Cafn, Llandegai.

Hyderwn ei fod i aros——y lle,
Na all llid ymddangos;
‡Cu anadlwr cân wiwdlos,
A'i le yn awr heb liw nos.

Lle nid oes na chroes, na chri,—nag wylo,
Na galaeth, na chyni:
Ond hardd Gôr yn clodfori
(Uniawn drefn) yr Un yn Dri.
HUGH HUGHES, *Tre 'r Garth.*

---

RHIFEDI CENEDL YR HAUL.

GAN Jacob wir achles,
'R oedd deuddeg mab cynnes,
Yn ufudd i'w proffes, mae hanes o hyn;
'R oedd deuddeg mab cannaid,
O flaen yr Israeliaid,
Gan innau fel deiliaid i'w dilyn.

Gan bob un o'r meibion,
Mae triugain o'm hwyrion,
Rhai 'n ddylion, rhai 'n dirion, rhai 'n fyrion, rhai 'n faith;
Gan bob un o'r rhei'ny
Mae deuddeg i'w henwi,
Heb oedi dirgoeli 'r dirgelwaith.

Gan bob un o'r deuddeg,
Awch odiaeth mae chwedeg,
O'm heppil ychwaneg eglurdeg yn glau;
Anfarwol, di bechod,
Yn para, ac yn darfod,
Moes wybod yn hynod eu henwau.

Y Cymro di lediaith,
Moes glywed gwybodaeth,
Rhifedi 'r Genhedlaeth, ddyn ffraeth, yn ddi ffrost:
Dy atteb yn drefnus,
Air cyflon wir cofus,
Dod imi naws gweddus os gwyddost.

ATTEB.

Y Tad yw 'r Haul hyfryd,
A'r deuddeng mis hefyd
Yw 'r plant mawr eu gwynfyd a gafwyd tan go';
A'r dyddiau cyweithas,
A'r nos i'r un pwrpas,
Sydd driugain, air addas, ŵyr iddo.

Y Cymro da 'i raddau,
Gorŵyrion yw 'r oriau,
Sydd yn y nosweithiau, a'r dyddiau, 'r un daith;
Erioed yr un foddau,
Bydd un yn ail ddechreu,
A'r llall yn diammau fyn'd ymaith.

Chwedeg yn ddiammau,
O fwyn odiaeth fynydiau,
Sy'n 'mhob un o'r oriau, da raddau, di rus;
Mae 'r rhai'n i'r Haul 'splenydd,
Fel glân oresgynydd,
O'r un enw bedydd gwybodus.

O'r meibion mae deuddeg,
Mae tri chant a chwedeg
O'r wyrion ychwaneg rai lliwdeg a llon;
Wyth mil yn ddiammau,
Ac wyth bedwar ugeiniau.
Rhifedi 'r gwir oriau 'r Gorŵyrion.

Pum canmil i'w cofio,
A dau naw mil etto,
Pedwar cant i'w rhifo a'u llunio 'n eu lle,
Yw rhif y lân helaeth,
Bedwaredd genhedlaeth,
Y rhai'n y'nt fwyn odiaeth fynydie.
*Nis gwn pwy a'i cânt.*

*O. S.* Y ganiad uchod a gafwyd mewn hen ysgrif-lyfr a ysgrifenasid tua chan mlynedd yn ol, ac a ad-ysgrifwyd i'r GWYLIEDYDD, o herwydd na welsai 'r ysgrifenydd mo honaw erioed yn argraphedig.
*C-n-m-dd.* E. O.

---

ENGLYNION,

*Myfyrdod yr Awdwr uwch bedd ei Frawd a'i ddwy Chwaer, y rhai a fuont feirw yn eu hieuengctid, ac a gladdwyd yn Monwent Gwrecsam.*

WELE dri yn ngwaelod rhych—yn gorwedd
Mewn gweryd, fu 'n llonwych:
Gyrwyd chwiorydd gorwych
I dŷ gwael at eu brawd gwych!

Betsi, ferch heinif, oedd hyna'—dorwyd
I'r daeardy yma!
Yr un oed oedd y rhai'n, Ah!
Siriol Robert a Sarah!

Ni welaf rai anwylach—na Robert,
Gwir, a Betsi mwyach,
Am ganu neb amgenach
Is awyr fu na Sarah fach.

Ah! i'engctid llawn gwrid, gwir im'—oeddych chwi;
Ddychwelwyd fel diddim!
Eich dydd iach ddarfu 'n dra-chwim,
Oll nid ych ond llai na dim!

Pob un o honoch a huna—a mi
Byth mwyach ni chlywa'
Eich cynghorion dwysion da,
Loes oer, na mwyn lais Sarah.

Pe rhown floedd ar g'oedd, a gwaeddi—arnoch
Nes crynai 'r Eryri,
Ac odiaeth grochlef gwedi
Uwchlaw â chorn, ni chlywch chwi!

---

‡ *Nid oedd neb yn fwy ymdrechgar a diwyd yn y gelfyddyd hon, sef canu mawl, nag ef; ac y mae sail i gredu y bydd ei lafur etto yn blaguro a ffrwythloni.*

Y tri enaid dwys trwy Ion da—gyrchwyd
I gaer uwch dialfa:
Fwyned ynt, fy enaid, Ha!
Yn llys Ior mae llais Sarah.

Gwelir fod i'engctid gwiwlan—yn meirw
Yn moreu 'u hoes weithian;
Felly Hu yn dra buan
O'r hen fyd aiff i'r un fan.

*Llanidloes.* HU.

---

## EMYN. [M. H. YARMOUTH.]

### "CRIST, YR UN PETH ANGENRHEIDIOL."

*(Cyfieithiad o'r Saesonaeg.)*

NID eisiau perlau 'r India bell,
Na gau ddedwyddwch daear lawr,
Sydd arnaf mwy; ond byw yn well,
I'th ddilyn, fy IACHAWDWR mawr.

Mae arnaf eisiau 'th gariad pur,
I godi 'm calon fry uwch nen;
Ac eisiau gras i oddef cur,
A'm gwisgo gyd â'r wisg sydd wen.

Mae arnaf eisiau nerth dy ras,
I gael fy llygredd oll dan draed;
A grym i ffoi rhag balchder cas,
A phrofi mwy o rin dy waed.

Mae arnaf eisiau rhoi fy mhwys,
Yn dawel ar dy fynwes lân;
A ffydd i'm codi i'r nef lwys,
I deimlo gwres dy ddwyfol dân.

Mae arnaf eisiau byw 'n y nef,
A gwisgo 'r goron (euraidd fri!)
A meddu 'r deyrnas gadarn gref;
Ni cheisiaf ddim, O CRIST! ond Ti.

ROBT. JONES, *Argraphydd.*

---

## EMYN

### *AR GLADDEDIGAETH Y MARW.*

O! Arglwydd, dysg i ni mewn pryd
I rifo hyd ein dyddiau;
Am nad oes nawdd na lle 'n y byd
I ddiengyd na ddaw angau.

Ein cyfeill roisom yn y gro
Yn farwol, O! myfyriwn;
Yn mhen ychydig yr un wedd
Ar waelod bedd y byddwn.

Mae claddu 'r marw o bryd i bryd
I'r byw o hyd yn rhybydd;
Yr einioes, darfodedig yw,
Rhaid marw, i fyw 'n dragywydd.

Daw 'r Iôr o'r nef, a'r udgorn gân,
Cwyd mawr a mân ryw fore
Ac anfarwoldeb yn eu gwedd
O'r bedd! o'r bedd! i'r frawdle.

Gwyn fyd y sawl fu 'n byw i Grist,
O! mor ddi-drist gwnai huno;
A chwyd i'r farn yn lân ei wedd
O'r bedd yn debyg iddo.

Y corph sy 'nghroth y ddaear ddu,
A'r enaid fry y'Ngwynfa
Yn canu clod y Bod sy'n ben
A'i lawen Haleliwia.

T. E.

---

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

---

## Y TYRCIAID A'R RWSSIAID.

YR ydym yn clywed o bob parth o'r Cyfandir, fod parottoad anarferol yn cael ei wneuthur gan y ddwy-blaid ryfelgar hyn tu ag at ddechreu y rhyfel-dymhor presennol, yr hwn sydd debygol o fod yn dra gwaedlyd a dinystriol. Ar ol gwneuthur cais aflwyddiannus i'w heddychu â'u gilydd gan rai o'r Cenhadon Ewropeaidd y'Nghaer Cystenyn, nid oedd dim chwaneg i'w wneuthur ond gadael iddynt benderfynu'r ddadl trwy'r cleddyf, trwy eu cyfnerthoedd eu hunain, gan nad oes dim arwydd fod yr un o lywodraethau Ewrop yn bwriadu ymyraeth, fel y mae goreu, tybygid, yn yr ymryson. Y mae y Rwssiaid yn y gauaf a'r gwanwyn diweddaf wedi llwyddo i gymmeryd, trwy anwyliadwriaeth y Tyrciaid, amryw leoedd cedyrn ar y Danube, ac ar y Môr Du, a fydd debygol o rwyddhau ymgyrch y Rwssiaid i berfedd ymerodraeth y Twrc yn Ewrop. A chan fod y Tyrciaid yn weiniaid ar y môr, a'u pen-dinas, mewn ystyr, mewn cyflwr o warchäeedigaeth, trwy waith y Rwssiaid yn rhoi gwarchae ar y Dardanelles i attal pob math o angenrheidiau rhyfel, a lluniaeth, i fyned ar hyd y môr cul sy rhwng Asia ac Ewrop i Gaer Cystennyn, nid yw yn annhebygol na ddygir y Tyrciaid i gryn radd o gyfyngder, yn neillduol pan ychwanegir at hynny y warchäeedigaeth ar borthladd Alexandria yn yr Aipht gan y Barwn Heyden, Pen-llyngesydd y Rwssiaid yn Môr y Canoldir, ar ba

un yr ydys wedi penderfynu, yn ol yr hanesion diweddaf. Dywedir fod gan y Rwssiaid wyth o longau o'r gradd mwyaf yn Môr y Caneldir, a naw o'r un rhyw yn y Môr Du, heblaw rhifedi mawr o longau o is-radd.

Yr oedd prif fyddin y Rwssiaid heb ymadael â'r Tywysogaethau Moldavia a Walachia yr 11eg o'r mis diweddaf, gan fod y tywydd wedi bod yn lyb ac oer, yn anaddas i frwydro, ac heb ddim gwellt ar y maesydd i'r ceffylau a'r ychen (dros 22,000 o rifedi) sydd i lusgo 'r cyflegrau (*cannons*), a'r ffyrdd yn ddyfnion, a bron yn anhygyrch.

Y mae'r Rwssiaid yn bwriadu agor y rhyfel-dymhor trwy roi gwarchae ar Silistria ar y Danube, un o'r amddiffynfeydd cryfaf yn Twrci; ond gwnant amryw o ymosodiadau eraill ar amryw fannau, y rhai, fel y dywedir, a wrthwynebir yn egniol gan y Tyrciaid.

Y mae hanes awdurdodig wedi cael ei gyhoeddi yn Petersburgh am fuddugoliaeth a ennillodd y Cadfaenor Paskewitsch ar y Tyrciaid yn Asia, ar oror y Môr Du, yn mha un yr oedd eu colled yn fil o wyr, pan nad oedd colled y Rwssiaid yn ddau cant, ar ol brwydr a barhaodd dros bedair awr.

Y mae llythyr o oror Moldavia yn hysbysu fod 15,000 o filwyr meirch yn Odar, gerllaw Ghiurgevo, a bod Llywydd yr amddiffynfa honno, ar ol derbyn gwys i'w rhoddi i fynu, wedi atteb fod gan Ghiurgevo a Rudschuk warchawdluoedd o 12000 yn mhob un o'r ddau le, 280 o gyflegrau, a lluniaeth dros dair blynedd; a'i fod wedi penderfynu amddiffyn ei hun at y dyn olaf. Y mae sail i ddisgwyl clywed am amryw o frwydrau gwaedlyd cyn diwedd y mis presennol.

---

## Y TYRCIAID A'R GROEGIAID.

Y MAE yn hysbys i'r rhan fwyaf o'n darllenwyr, nad oedd y Cynghreiriaid wedi addaw sicrhau dim ychwaneg i'r Groegiaid na'r Morea, a'r rhan hynny o'u hynysoedd yn Môr Ægea, a elwir y Cyclades; ond ymddengys oddiwrth yr hanesion diweddaf eu bod wedi ennill, trwy eu hadgyfnerthoedd eu hunain, y rhan fwyaf o'r hyn ag oedd gydnabyddus dan yr enwad o wlad Groeg, o Gagendor Arta, ar gyfer Corfu yn Môr Adria, hyd Gagendor Volo yn Môr Ægea; a bod Missolonghi wedi cyfyngu arni mor gaeth, fel yr oedd disgwyliad bob dydd iddi syrthio i ddwylaw y Groegiaid, ac nad oeddynt wedi anobeithio cael ynys Candia hefyd i'w meddiant.

## YR HISPAEN.

DYWEDIR fod llywodraeth y wlad hon am wneuthur cais i ennill y taleithiau yn ol yn yr America Ddeheuol ag sydd wedi taflu iau y fam-wlad. Y mae terfysgoedd ac anghydfod y gwledydd hynny wedi rhoddi annogaeth i'r meddwl am yr anturiaeth; ond tybygid nad oes fawr o debygolrwydd iddi lwyddo, os byth y cychwynant o'u porthladdoedd, o herwydd adfeiliad eu cyllidau a'u masnach cartrefol a thramor, ynghyd âg effeithiau y ddaeargryn arswydus a ddinystriodd gan mwyaf un o'i thaleithiau arforawl, sef Murcia.

Cafwyd yr hanes canlynol am y ddaeargryn ddiweddar yn Hispaen.

*Murcia.*—Nid oes yma un eglwys, nac un adeilad, heb eu hanafu yn dost; chwilfriwyd pont *Legura*, yr hon a gyssylltai y ddwy ran o'r dref, a lladdwyd llawer o'r trigolion.

*Carthagena*, a hollol ddinystriwyd.

*La Mata* sydd yn un pentwr o adfeilion. Sychwyd i fynu y ddau lyn halen trwy effeithiau y daear-gryn.

*Torre Viejo.*—Nid oes yr un tŷ yn sefyll. Y mae nifer y briwedigion, a'r lladdedigion, yn fawr iawn.

*Oribuela.*—Taflwyd i lawr rai o'r adeiladau yma. Ni chollwyd ond saith o fywydau.

*Guardamar.*—Nid yw y fan hon yn bod mwyach. Nid oes ond dwy o'r melinau gwynt yn sefyll, hollol ddiflanodd y pentref.

*Mojada*, ac amryw bentrefydd cyfagos, a ddioddefasant yn fawr.

*Rafal.*—Hollol ddifethwyd y fan hon; y mae nifer y lladdedigion yn fawr iawn.

*Aix-Garres.*—Dymchwelwyd llawer o dai yma drwy i fynydd cyfagos syrthio arnynt, a chollwyd llawer o fywydau.

*Benejusar.*—Taflwyd i lawr y rhan fwyaf o'r tai: nifer y lladdedigion ydynt 200, a'r clwyfedigion ydynt lawer iawn.

*Almoravi.*—Nid oes yma un tŷ, nac adeilad fath yn y byd yn sefyll. Cafwyd 400 o gyrph meirw eisoes o'r adfeilion, a nifer y briwedigion sydd lawer iawn.

---

## PORTUGAL.

DYWED Newyddiaduron Llundain fod Ymerawdwr y Brasil wedi penderfynu pa fodd i ymdrin â'i frawd, y trais-lywodraethwr Don Miguel. Rhoddwyd ar ddeall iddo fod yn rhaid iddo roddi i fynu ei drais-lywodraeth yn ddi oed, ac y bydd raid iddo fe a'i fam ymadael â Portugal yn union-gyrchol; ni oddefir iddynt drigo mewn un rhan o'r ynys. Ar yr ammodau iddynt ymadael yn heddychol, rhoddir

iddynt yn helaeth at eu cadwraeth. Mewn canlyniad i'r penderfyniad uchod, danfonir 10,000 o filwyr Brytanaidd i Portugal, ynghyd â llynges gref o longau rhyfel Brytanaidd a Ffrengaidd. Ar yr un pryd, yr ydym yn clywed fod y gormesydd Don Miguel, a'i bleidwyr, beunydd yn arwain rhyw un i'r dienyddle. Nid oes lle i ammau fod cyflwr y wlad goel-grefyddol hon yn adfydus iawn

—o—

## BUENOS AYRES.

Y MAE y wlad anffodus hon wedi ei dyrysu gan ryfel cartrefol, y mae drwyddi oll yn ddwy blaid, nid oes un pentref na chwm o honi nad ydyw y trigolion am ddal i fynn un o'r pleidiau.

---

## YR IWERDDON.

Y MAE yspryd anfoddlon eisoes wedi ymddangos mewn amryw barthau o'r Iwerddon, mewn perthynas i'r hyn a ddywedant a gam-enwyd yn Rhydd-ysgrif, a gellir penderfynu y myn y rhai a gafodd ychydig gael ychwaneg. Cwyna un areithydd eu bod wedi rhoddi rhyddid iddynt i eistedd yn y Senedd, er hynny yn cymmeryd oddi wrthynt y moddion i gyrhaedd yno trwy yr ysgrif am Rydd-fraint ddewisol. (*elective franchise.*)

Dydd Llun, y 27ain o'r mis diweddaf, pan yr oedd ceisbyliaid Cork yn dal dau droseddwr yn nghymydogaeth *Fair Lane*, digwyddodd cythrwfl mawr. A hwy yn gwybod am nodweddiad trigolion y lle, ceisiasant ddengwriad (*corporal*) a chwech o filwyr, i'w cynnorthwyo. Yn ol iddynt ddal y gwyr cyhuddedig, a'u dwyn tu a'r carchar, cyfarfuwyd hwynt gan luaws o bobl, y rhai a ymddangosent fel pe yr ewyllysient i ryddhau y carcharorion; un o honynt a ddiangodd pan gyntaf y gwelodd efe y dorf. Pan welodd y prif-geisbwl (Mr. Mathews) nad oedd gobaith i adgymmeryd y carcharor, rhoddodd ei holl sylw ar gadw heddwch a threfn, ac yn lle myned heibio i'r dorf, trodd i lawr drwy heol arall. Gyda hyn, y dorf a ddechreuasant luchio cerrig at y blaid, y rhai a droisant attynt: yr oeddynt yn parhau i wasgu attynt, a thaflu cerrig. Yna gorchymynwyd i'r milwyr danio dros y dorf, ond ni wnaethant sylw o hynny. Llechodd Mr. Mathews, y dengwriad, ynghyd â'r carcharor, mewn tŷ, tra yr aeth y milwyr i geisio cymmorth ychwaneg, y rhai a ddaethant yn union-gyrchol, ond nid mewn pryd i achub y tŷ; torwyd y ffenestri yn llwyr, a diammeu y buasai llofruddiaethau wedi cymmeryd lle, oni buasai i ddau Offeiriad Pabaidd, y rhai, â'u cefnau ar y drws, trwy ymdrech tost, a gadwasant ymaith y dorf. Anafwyd amryw o'r milwyr, ac yn eu plith un yn dost yn ei wyneb.

Y mae yn dda na thaflwyd agoriadau carchar Clonmel, Swydd Tipperary, Iwerddon, i'r afon Suir, fel y cynghorai Mr. D. O'Connel, oddeutu chwe mis yn ol. Cynnwys y gofrestr o garcharorion dros ddau cant o bobl, o ba rai nid oes llai na deugain am lofruddiaeth, un ar ddeg am saethu yn faleisus, pump am yspeiliad ar y ffordd, tri am halogi merched, pump ar hugain am ruthro ar dai yn y nos, a'r lleill am amrywiol fân droseddiadau!!

Yn ddiweddar, gorfu ar ŵr boneddig o'r enw Mr. John Colclough, o Clomanto, werthu ceffyl un o'i ddeiliaid er cael ei ardreth yn gyflawn. Clywyd rhai personau yn dywedyd, yn yr arwerthiad (*auction*) mai "arwerthiad Protestanaidd oedd, ac y mynnent ddial;" yn ganlynol i hyn lladdwyd pump o ddefaid Mr. C. torrwyd eu penglogau, ond ni symudwyd y celeiniau.

---

## Y SENEDD.

YN yr arddangosiad a wnaeth y Dug Wellington o gyllidau'r deyrnas, wrth agor yr hyn a elwir y *Budget* (Mai 8fed) ymddengys eu bod mewn cyflwr tra llwyddiannus, tu hwnt i ddim a glywyd, fe allai, erioed o'r blaen, gan fod y gweddill, ar ol talu pob traul yn y flwyddyn ddiweddaf, yn 5,850,000 o bunnau, y rhai a roddir i leihau dyled y deyrnas. Ac y mae 1,500,000 wedi cael eu tynnu ymaith oddiwrth draul y llywodraeth, trwy ddiwygiadau mewn amryw rannau o honi, trwy leihau nifer y milwyr, a diddymmu rhai swyddau afreidiol; ac yr ydys yn bwriadu myned y'mlaen i gwttogi'r draul ym mhob dosparth o'r llywodraeth. Ac er cymmaint yw y gwyn o herwydd y wasgfa sydd ar fasnach cartrefol a thramor, y mae y Dug yn ei araith ar yr achos yn sicrhau nad oes un wlad yn Ewrop, nac yn y byd, mor llwyddianus ei chyflwr a Phrydain yn yr amser presennol. Ni thynnir i lawr, ac ni chwanegir dim trethi newyddion yn yr eisteddfod bresennol o'r Senedd.

---

*Ysgwis i Losgi Mynachlog Westminster.*—Oddeutu un ar ddeg o'r gloch nos Lun, y 27ain o Ebrill diweddaf, pan oedd Mr. John Walmsley, o dŷ y cyffredin, yn myned dros bont Westminster, canfyddodd oleu yn un o ffenestri gogledd-ddwyreiniol y Fynachlog. Golwg mor anghyffredin a'i tarawodd â syndod, a meddyliodd fod tân wedi torri allan yn yr hybarchus adeilad; aeth yn union-gyrchol gyda rhai

o'i gyfeillion i ganu cloch y Fynachlog; yna ymgyfeiriasant tu a'r fan ag oedd ar dân, a gwelsant fod cysgod-len o fras liain *(canvass screen)* ar dân, a'r llawr wedi llosgi drwyddo, ac agos i dair modfedd o'r trawst a gynnaliai y llawr wedi llosgi; methasant gael gan y peiriannau *(engines)* i weithio ar y lle oedd ar dân, gan ei fod mor uchel; ond drwy ymdrechiadau diwyd y gwyr a berthynai iddynt yn cario y dwfr i fynu, llwyddasant i achub y Fynachlog hen a mawrwech hon rhag y cyfryw gyflafan ag a ddigwyddodd i Eglwys Gadeiriol Caerefrog, drwy y ffaglydd Martin.——Methwyd cael allan y ffaglydd; ac y mae yn ddiammeu mai nid anffawd na digwyddiad yw, ond gwaith gwirfoddol. Gwaherddir myned â thân i'r Fynachlog un amser; a chan fod y lle ag oedd ar dân mor uchel ac unig, ac anfynychder personau yn ymweled â'r fan, y mae yn ddi os mai fel y dywedwyd uchod y bu. Yn ol hir a manwl chwilio, gwelwyd ôl traed rhyw un o'r fan ag oedd ar dân i gapel Harri VII, a chafwyd yno ddrws yn agored, trwy ba un y mae 'n rhaid fod y ffaglydd wedi diangc.

---

*Tymhestl arswydus.*—Brydnawn dydd Gwener y Croglith diweddaf, ymwelwyd â thref Newark â thymhestl erchyll o fellt a tharanau. Yr oedd y mellt "fforchawg gwylltiawg yn gwau," yn annhebyg i ddim a welir un amser yn y tymhor hwnnw; a thwrf y taranau oedd yn arswydus iawn, a'r gwlaw yn disgyn yn ffiferiant. I lawer ag oedd yn yr eglwys yn coffâu am groeshoeliad eu Harglwydd, yr oedd yn dwyn i'w meddwl y digwyddiadau echryslawn a fu pan yr oedd efe yn hongian ar y groes, a llen y deml yn rhwygo yn ddwy. Pan yr oedd y Parch. W. T. Wild, Curad y plwyf, yn gorphen yr ail lith am y dydd, gwibiodd mellten drwy yr eglwys, ac a wnaeth iddi edrych fel yn un las-fflam arswydus. Ar yr un pryd dallwyd y Parch. Offeiriad; cludwyd ef allan o'r ddarllenfa, a cheisiwyd cymmorth meddygol, ond anobeithir yr adferir iddo ei olwg byth.

---

*Terfysg yn Manchester.*—Dydd Sadwrn, yr 2fed o'r mis hwn, holwyd tri ar hugain o wyr yn Manchester, ar y dybiaeth iddynt ymgeisio i godi cythrwfl; a chafwyd un ar bymtheg o honynt yn euog, a'r saith eraill a ryddhawyd. Swriadwyd aufon yr 16 i Gastell Lancaster. Dywed y Newyddiadur a elwir "*The Manchester Herald*," fel y canlyn: "Ar ddiwedd yr holiad, rhoddwyd y carcharorion dan ofal deugain o wyr yn perthyn i'r gadrad 1af o feirch-filwyr (*1st Regiment of Dragoons*) i'w cymmeryd yn ol i'r carchar, ym mhu fan y rhoddwyd hwynt dan warcheidaeth pump o filwyr traed. Wedi i'r meirch-filwyr ymadael, ymgasglodd terfysg-lu (*mob*) o gylch y carchar, a thaflasant gerrig at y milwyr. Yr oedd yn y dorf lawer o wragedd yn eu cefnogi i fyned ym mlaen. Tarawyd un o'r milwyr yn ei ben â charreg, yr hon a'i torrodd yn dost. Pan welodd y milwyr eraill hynny, taniasant bylor heb un belen uwch ben y terfysgwyr, er eu dychrynu. Yna daeth rhingyll â chwech o filwyr yn ychwaneg i'w cynnorthwyo, yr hyn oedd yn gwneuthur y nifer yn ddeuddeg. Y terfysgwyr oeddynt yn parhau i daflu cerrig, yna saethwyd peleni uwch ben y dorf. Wrth hyny saethwyd bachgen i fyd-werthyd ag oedd yn edrych drwy ffenestr uchlofft tŷ ei dad, a bu farw y boreu canlynol. Fel yr oedd y terfysgwyr yn parhau i ruthro ar y milwyr, ac yn mynegi y penderfyniad i ryddhau y carcharorion, gorfu ar y milwyr, er eu diogelwch eu hunain, a chadw y carcharorion, danio i fysg y dorf, a saethasant attynt 85 o beleni. Drwy hyn lladdwyd y gwyr canlynol yn y fan, Abraham Taylor, 35 oed (lladdwyd y dyn hwn yn y weithred o daflu cerrig, a chafwyd cerrig yn ei ddwylaw wedi ei ladd) Thomas Buckley, a dau ddyn o'r enw Scholfield, a Walton. Pan glywodd y meirch-filwyr swn y drylliau, daethant yno yn ddioed; ac wedi rhuthro ar y terfysgwyr, llwyddasant i'w gyrru i ffoi. A'r rhan arall o'r milwyr traed a ddaethant ac a ymosodasant ar y dorf â'u pidogau (*bayonets*). Heblaw y rhai a laddwyd, y mae 25 wedi eu clwyfo yn dost; rhai â pheleni, eraill â chleddyfau y meirch-filwyr, a rhai â'r pidogau. Ym mhlith y rhai'n y mae dau na ddisgwylir iddynt wellhau; un o'r enw Isaac Turner, yr hwn a saethwyd drwy ei gendod; a'r llall o'r enw Healey, mab i weddw ag oedd yn edrych arnynt, a saethwyd drwy yr ysgyfaint. Danfonwyd am adgynnorthwy o filwyr, ac y maent yn parhau i gerdded ar hyd yr heolydd i rwystro i'r bobl ymgasglu i un lle at eu gilydd. Cymmerwyd 57 yn garcharorion.

---

*Dienyddiad.*—Ym mrawdlys diweddaf Clonmel, Iwerddon, dedfrydwyd rhai i ddioddef marwolaeth am y trosedd o lofruddiaeth. Ar y dydd pennodedig i'r dienyddiad, galwodd gwladwr yn foreu ar yr Is-siryf, yr hwn a ddywedodd wrtho, ei fod yn perthyn i un o'r rhai oedd i gael eu dienyddio; ac a ofynodd, pa bryd yr oeddynt i ddioddef? "Un o'r gloch," ebe y Swyddog. "Os bydd yn bodlon eich anrhydedd," ebe *Pat*, "fe allai y cânt ddioddef ddeuddeg o'r gloch." "Beth, yr adyn annhrugarog," meddai y Siryd, "a ydych chwi yn anfoddlon i'ch perthynas fyw yr amser y mae y gyfraith yn

caniatâu iddo." "Nac ydwyf," ebe y Gwyddyl, "nid hynny yw yr achos; onid yr un cig a gwaed ydym? ac onid ydwyf yn ei garu fel brawd? Ond y mae gennyf fi bell ffordd i fyned wedi i'r cwbl fyned drosodd; ac os boddha eich anrhydedd, gadewch iddo ddioddef am ddeuddeg yn lle un o'r gloch, bydd yn gyfleusdra mawr i mi."

---

*Yspryd di-ddichell Prydeiniad.*—Cigydd yn *Commercial Road*, Llundain, rai dyddiau yn ol, a laddodd eidion, a danfonodd ran o'r cig, ac ychydig o'r gwêr, i dŷ ei fab yn nghyfraith, Gwehydd, yn Bethnal Green, yr hwn a'i crogodd mor agos i'r ffenestr fel y torodd rhyw un y gwydr, yn y nos, ac a gymmerodd y gwêr i ffordd. Yn y boreu, pan welodd y gwehydd fod y gwêr wedi ei ddwyn, ysgrifenodd yr hysbysiad canlynol, mewn yspryd gonest Prydeiniad:

"Yn gymmaint ag i ryw faint o wêr gael ei gymmeryd ymaith neithiwr o dŷ James Henry Woodford, y mae hyn i hysbysu, os ymddangosa y dyn a'i cymmerodd ymaith, a phrofi iddo wneuthur hynny drwy eisiau, rhydd y dywededig J. H. W. chwe phwys o beilliaid iddo, i wneuthur pòten *(dumpling)* gyd â'r gwêr; ond os na eill efe brofi iddo wneuthur hynny drwy eisiau, y dywededig J. H. W. a ymladda âg ef, ac y rhydd efe iddo bump swllt os curo efe ef."

---

*Hynodrwydd.*—Mewn tyddyn oddeutu pedair milltir o Ddolgellau, bu y digwyddiadau hyn ychydig amser yn ol, ac y maent cyn wired ag ydynt o ryfeddod. Daeth buwch a dau lo, a dafad a dau oen, a gwraig yr amaethydd a esgorodd ar ddau blentyn.

---

*Creulondeb at Blant.*—Yn Mrawdlys Surrey, dedfrydwyd un John Shrives, a'i wraig, i gael eu carcharu am ddwy flynedd, am eu hymddygiad creulon tu ag at blentyn y gwr o'i wraig gyntaf.—Hefyd, yn Sessiwn Lewes, cafwyd un Mrs. Philip, gwraig i oriorydd o Brighton, yn euog o gam-ymddwyn yn greulon tu ag at enethig fechan a gymmerwyd ganddi gan y plwyf i'w gwasanaeth. Ym mhlith yr amryw weithredoedd o'i chreulondeb, profwyd iddi ar y 7fed o Chwefror diweddaf ddiosg yr eneth fechan, a'i chadw hi yn noethlymun o amser ciniaw tan amser *tê* y prydnawn, a gwneud iddi wneuthur gwaith y tŷ. Dedfrydwyd y wraig annynol hon i dalu dirwy o £20; ac i gael ei charcharu am dri mis yn ngharchar Horsham, ac i gaffael meichniafon, ei hun a dau eraill am £50 bob un, i gadw yr heddwch am ddwy flynedd.

---

Cymmerodd y Dug o Norfolk, Arglwydd Clifford, ac Arglwydd Dormer, y rhai ydynt Babyddion, eu lleoedd fel aelodau o'r Senedd, yr 28ain o Ebrill.

---

Darllenodd Arglwydd Teynham tri cais-ysgrif oddiwrth yr Iuddewon yn yr Iwerddon, er symmud oddi wrthynt yr attaliadau sydd arnynt o achos eu crefydd, ac i'w hadferu i'r un breintiau ag sydd yn perthyn i ddeiliaid eraill y deyrnas hon.

---

Dywed llythyrau o Rufain, fod y Pab newydd wedi adferu i'r Iuddewon, ac i Ymneillduwyr Cristionogol oddiwrth Eglwys Rufain, y breintiau a dynnwyd oddi wrthynt gan ei ragflaenor.

---

Dedfrydwyd pedwar dyn i saith mlynedd o alltudiaeth am ddwyn ieir, yn Sir Berks. Gofynodd dau o honynt i'r Cadeirwr gyd â'r digywilydd-dra mwyaf, a wnai efe daflu i fynu (toss) pa un ai am 14 mlynedd neu ddim.

---

Amaethydd yn mhlwyf Powis a gafodd yn ddiweddar y colledion canlynol: bu farw ei ferch, ar ol dwy awr o salwch; trengodd ebol, buwch a llo, hwch a deuddeg o berchyll; a'r cwbl oll o fewn yspaid un awr.

---

Dywed yr hanesion diweddaraf o America, fod tân dinystriol wedi bod mewn lle a elwir Augusta yn Georgia, trwy yr hwn y llosgwyd mwy na dau cant o dai.

---

Dywedir i'r pen-swyddogion ymgynnulledig yn Sessiwn trimisol Caerfyrddin, benderfynu i anfon archiad at Mr. Peel, yn erbyn y cyfnewidiad a sonir sydd i gymmeryd lle yn Mrawdlysoedd Cymru.

---

## BU FARW,

Dydd Mercher, Mai 6, yn lled ddisyfyd, y Parch. James Hamer, Periglor Llanfihangel y'Ngwynfa, Swydd Drefaldwyn, yn y 71 flwyddyn o'i oed.

Dydd Iau, y 7fed o Fai, y Parchedig J. Tilley, Periglor Trefriw, gerllaw Llanrwst, yn 66 oed.

# Y GWYLIEDYDD.

## MEHEFIN, 1829.

### ORIAU YSGRYTHYROL.

AMOS iv. 1. "*Gwartheg Basan.*" —Bu pendefigion y dwyrain ym mhob oes yn hynod am eu gormes a'u traha anghyfiawn tu ag at ddynion o is-radd, ac un achos o'u hymarferion gormeslyd yw rhysedd anghymmedrol eu gwragedd, yr hwn sydd anhawdd iawn ei foddloni. Yn mannau eraill o'r Ysgrythyr cymherir ymddygiad trahaus-falch gormeswyr i nwyfusedd gwartheg pasgedig, ac yma, yn arbennig, i wartheg Basan, o herwydd fod yr ardal honno yn rhagori o barth bras-dyfiant rhyfeddol ei phorfëydd. Pechod pendefigesau Israel oedd yn sefyll yn hyn; sef, eu bod yn gofyn gan eu meistriaid y cyfryw ddanteithion costfawr a moethau, y rhai ni allent eu caffael iddynt heb orthrymmu y tlawd, ac ysigo yr anghenog. Dywed ymdeithwyr diweddar, fod pendefigesau dwyreiniol etto yn hoffi moethau, dillad gwerthfawr, ac addurniadau euraidd gymmaint, fel na's dichon i'w meistriaid eu boddloni, ac ni ystyriant ddim ar eu cyflwr, neu eu hamgylchiadau. Rhaid yn wastad ymorol am ddillad gwychion newyddion, perarogl-au gwerthfawr, a phob ryw rysedd a nwyfiant, onidê, ni's boddlonir mo honynt.

AMOS v. 19. "*Pwyso ei law ar y pared, a'i fratku o sarph.*"—Mynych yr ymguddia seirph mewn tyllau ac agennau ym muriau tai dwyreiniol. Brenhin Persia yn y ddegfed ganrif a ddacthai i ddirfawr angen arian, o herwydd ei hir afradlonedd. Digwyddodd iddo ryw ddydd rodio yn un o ystafelloedd y brenhinllys, lle y buasai un o'i elynion gynt yn preswylio, a gwelai sarph yn estyn ei phen allan o dwll yn y mur. Gorchymynodd yntau yn ebrwydd chwilio y mur, a lladd y neidr. Pan agorasant y mur, ni's gallent weled y neidr, eithr cawsant ddirgelfa lle yr oedd trysor gwerthfawr, yr hwn a osodasid yno gan ei elyn mewn llawer o goffrau.

Gadawer i ni yma ychwanegu, er na pherthyna i ymadrodd y prophwyd, mai arfer gyffredin iawn yn y dwyrain, yw claddu trysorau yn y ddaear, neu mewn tyllau yn hen adeiladau adfeiliedig, a hyn o herwydd ansicrwydd pob meddiant dan y llywodraethau tra arglwyddiaothol hynny. A chred gyffredin y bobl hefyd yw, pa le bynnag y dirgel gedwir trysorau, *bod sarph wedi ei gadael yno yn geidwad arnynt*. Dilys yw fod y cyfryw gred yn rhwystro i'r bobl hygoelus chwilio yn rhy fanylaidd am drysorau cuddiedig, megis y pâr i laweroedd ymddiried eu haur a'u meini gwerthfawr i'r cyfryw geidwaid dychrynllyd: canys nid anhawdd yw caffael y seirph, a'u

gosod p'le y mynnir yn y gwledydd hynny, lle y mae cynnifer mor gyfarwydd ar y gelfyddyd o swyno y nadroedd mwyaf gwenwynllyd.

HOS. vii. 1. "*Wele, adladd wedi lladd gwair y brenhin oedd.*"—Nid arferol yn y dwyrain yw lladd a chynhauafa gwair megis yn ein gwlad ni, a gwell fuasai cyfieithu yr ymadrodd yma, *wedi porfeydd y brenhin*. Amser *porfeydd y brenhin* oedd oddeutu mis Mawrth. Y mae yr Arabiaid yn troi eu ceffylau allan i'r porfeydd yn mis Mawrth (medd ymdeithydd diweddar) pan y mae gwellt wedi tyfu yn ddigonol; yr amser hwnnw y dygant eu ceaig at y meirch, ac ni fwyttânt na glaswellt na gwair un pryd arall yny flwyddyn, eithr haidd yn unig a ymborthant arno.

HOS. v. 8. "*Yr hwn a dywylla y dydd yn nos*"—a viii. 9. "*Gwnaf i'r haul fachludo hanner dydd, a thywyllaf y ddaear liw dydd goleu.*"—Cyfeirir yma at *ddiffygion* ar yr haul; a chrybwylla hen hanesyddion ddigwydd o ddau *ddiffyg* hynod ar yr haul oddeutu ychydig flynyddoedd wedi traethu y brophwydoliaeth hon. Parai y cyfryw ddiffygion ar yr haul, neu y lleuad, ddirfawr arswyd ym mhlith y cyfoeswyr, a daroganent bob aflwydd i ddyn oddiwrth eu hymddangosiad. Bu rhyfel caled a gwaedlyd rhwng brenhinoedd Lydia a Phersia, yr hwn a barhaodd bump o flynyddoedd heb unrhyw lwyddiant rhagorol i un o'r ddwy blaid. Yn y chweched, wedi ymdrechiadau mwy llafurus, a chasglu byddinoedd lluosoccach, gosodasant gâd* ar faes, ac ymladdasant yn ddewr; eithr yn ddisymmwth tywyllwyd y ddaear liw dydd goleu. Y cyfryw oedd dychryn yr ymladdwyr, fel y gwnaethant heddwch â'u gilydd, ac ymadael, gan gwbl gredu mai arwydd arbennig o ddigofaint eu duwiau oedd y tywyllwch. Rhagddywedasai Thales, hen philosophydd, y *diffyg* cofiadwy hwn.

OBADIAH 15. "*Dy wobr a ddychwel ar dy ben dy hun.*"—Benthycciwyd yr ymadrodd hwn, yr hwn sydd gyffredin mewn amryw ieithoedd, oddiwrth arferion hygoelus yr hen oesoedd, y rhai a hyderent yn fawr ar ddaroganau a rhag-arwyddion o amryw fath. Daroganent ddrwg neu dda oddiwrth ymddangosiad ymysgaroedd eu haberthau, oddiwrth yr olwg ar adar gwylltion, neu fwystfilod, ïe, oddiwrth ymadrodd damweiniol y sawl a ymddiddanent â hwynt. Os rhyw anifail a ddaroganai ddrwg, buddiol fyddai ei ladd yn y fan, fel y *dychwelai ei wobr*, neu ei aflwydd, *ar ei ben ei hun*. Os ymadrodd anffodiog a glywent, attebent yn ebrwydd i'r llefarwr, "*Dychweled ar dy ben dy hun.*" Pan chwiliai eu hoffeiriaid ymysgaroedd yr aberthau, a gweled golwg anffodiog arnynt, gweddïent am i'r aflwydd *ddychwelyd ar ben yr aberth ei hun*. Gellid olrhain yr ymadrodd at hen arfer Aiphtaidd, ac nid annhebyg yw hefyd i'r ddefod Israeliaidd, o osod eu holl bechodau *ar ben y bwch diangol* a ddanfonent i'r anialwch.

JONAH i. 2. "*Ninifeh.*"—"Bu fel yr oeddwn yn ymdeithio weled o honof adeiladau Mosul o'm blaen, a syll-dremiais arnynt gyda hyfrydwch nid bychan. Yr oeddwn yn awr yn tramwy ardal a soniwyd am dani yn yr Ysgrythyr, a hoff oedd genyf nesâu at weddillion Ninifeh, dinas a fuasai mor glodfawr yn yr hen oesoedd gynt. Sefyllfa y ddinas oedd mewn gwastadedd ehang ar lan yr afon Hiddekel, neu y Tigris, ar gyfer y dref bresennol, a elwir Mosul. Yma y dangosir ar fryn addoldy Mahometanaidd, lle y claddwyd y prophwyd Jonah. Claddfa Ninus a

* Medi 30, 610 cyn geni Crist.

ddangosir mewn man arall. Ychydig o weddillion mewn cymhariaeth a adawyd o ddinas mor helaeth, o adeiladau gorwych yn yr hen oesoedd."

Y cyfryw yw hanes ymdeithydd diweddar, ond prin yr hylwyr gyttunir gan ddysgedigion, pa un ai gweddill yr hen Ninifeh, neu un arall ddiweddarach, yw y gweddillion a fynegir uchod. Pa mor ryfeddol fu y distryw! Wele ddinas a fu unwaith yn perchen muriau, triugain milltir o hyd, a chwe chan mil o drigolion, wedi ei difetha mor hollol, fel na wyddis yn sicr pa le yr oedd ei sefyllfa!

MICHAH vi. 7. "*A roddaf fi fy nghyntaf-anedig dros fy anwiredd?*"—Offrymmai y cenhedloedd Paganaidd yr aberth ysgeler hwn ym mhob parth o'r byd. Hyn a wnaed gan feibion Israel, megis hefyd gan frenhin Moab, a'r cenhedloedd o amgylch gwlad Canaan. Offrymmodd Hacon brenhin Llychlyn ei fab i *Odin*, fel yr ennillai fuddugoliaeth ar ei elyn. Rhoddes Aune brenhin Sweden waed ei *naw* fab i *Odin*, fel y caffai estyniad dyddiau at ei einioes. Hen drigolion Peru ni phetrusent aberthu eu cyntafanedig i'w duwiau er gwared eu bywydau eu hunain, pan ddywedai yr offeiriad fod hynny yn angenrheidiol. Yn Fflorida aberthai yr Indiaid yn y modd canlynol:—Byddai rhyw un o'u pendefigion bob amser yn bresennol. Rhaid i'r aberth fod yn blentyn gwrryw. Byddai y fam yn gorchuddio gwyneb y plentyn, ac yn ucheneidio uwch ben y garreg, ar yr hon y lleddid ef. Byddai gwragedd eraill, ei pherthynas a'i chydnabod, yn canu ac yn dawnsio o amgylch y garreg, a; yn nesaf deuai gwraig arall ym mlaen gan ddangos i'r pendefig y plentyn a ddarparesid i'w offrymmu. Yna dechreuent ar y weithred felldigedig o dywallt y gwaed gwirion.

MICHAH vii. 19. "*Ti a defli eu holl bechodau i ddyfnderoedd y môr.*"—Y mae yn ddefod gan yr Iuddewon presennol yn yr Almaen, bob dydd Calan, ganu mewn udgyrn, a gwahodd y bobl i wrandaw yn ostyngedig ar farnedigaethau Duw, ac i ddiolch iddo am ei drugareddau yn yspaid y flwyddyn sydd newydd ddarfod. Pery y wledd hon ddau ddiwrnod, a'r holl bobl a weddïant â llais uchel, ac mewn agwedd ostyngeiddiach na chyffredin. Danfonant eu plant at y Prif-Rabbi i dderbyn ei fendith; a phan eisteddont wrth y bwrdd, cymmer gwr y tŷ dammaid o fara, ac a'i trocha mewn mêl, gan ddywedyd, bydded y flwyddyn hon yn felus a ffrwythlon. Yr unrhyw a wna y gwleddyddion oll. Anaml y peidiant osod ar y bwrdd ben dafad, yr hwn, meddant, sydd i goffhau yr hwrdd a offrymwyd yn lle Isaac. Megis y gosodai yr hen Iuddewon eu pechodau ar yr afr ddiangol, eu disgynyddion a osodant yr eiddynt hwy ar *ben pysgodyn*. Ant ar ol ciniawa a safant uwch ben pysgod-lyn, neu afon, ac ysgydwant eu dillad oddi arno gyd â'u holl egni: a'r arfer goel-grefyddol hon a gyfiawnheir ganddynt gan adrodd yr adnod hon allan o'r prophwyd Micah.

MICHAH iii. 12. "*O'ch achos chwi yr erddir Sion fel maes.*—" Buasom," medd y Dr. Clarke, "yn rhodio ar y bryn a elwir Sion, y tu dehau i Jerusalem. Os hwn yw mynydd Sion cyflawnwyd arno y bygythiad, *y cai ei aredig*, hyd y llythyren; canys yr oeddynt yn prysur-lafurio arno, ac yn ei arddu, yr amser hwnnw."

---

## PREGETH I.—YR AIL RAN.

### *Ar Ddarllen yr Ysgrythyrau.*

FE ddangoswyd yn y rhan gyntaf o'r Bregeth hon, pa mor angen-

raid a buddiol i bob dyn yw bod yn hyddysg yn yr Ysgrythyr Lân, ac mai trwy ei gwybod a'i deall y gwybyddir rhannau pwysfawroccaf ein dyledswydd tu ag at Dduw, a thu ag at ein cymmydog. Yn awr ar yr un pwngc cewch glywed yr hyn a ganlyn.

Os ydym yn addef Crist, paham nad oes cywilydd arnom fod yn anhyddysg yn ei athrawiaeth, gan mai gwarthus yw i neb fod yn anwybodus yn y ddysgeidiaeth a berthyn i'w alwad. Cywilydd yw gan unrhyw un i gael ei alw yn Fardd, ac yntau heb ddarllen llyfrau Barddas; neu yn Gyfreithiwr, neu yn Serydd, neu yn Feddyg, heb fod yn gyfarwydd yn llyfrau y gyfraith, seryddiaeth, neu feddyginiaeth. Pa fodd, ynte, y dichon neb ddywedyd yr addef Grist a'i grefydd, heb ymdrechu, hyd a allo, yn ol ei gyfleusderau, i ddarllen a gwrando, ac felly i fod yn hyddysg yn llyfrau efengyl ac athrawiaeth Crist? Er bod gwybodaethau eraill yn dda, ac i'w dysgu, etto ni all neb ammau nad hon yw y bennaf, ac y rhagoraf, yn ddifesur, ar bob gwybodaeth arall. Pa esgus, gan hynny, a allwn wneud y dydd diweddaf ger bron Crist, os yw ein bryd ar ddarllen a gwrando ar ddychymygion a thraddodiadau dynion, yn fwy nag ar ddarllen a gwrando ar ei efengyl ef: os na chymmerwn amser i wneud y peth a ddylem yn bennaf ac uwchlaw pob peth arall i'w wneuthur; os gwell gennym ddarllen pethau eraill, y rhai a ddylem adael heibio er darllen gair Duw? Cynnifer gan hynny o honom ag ydym yn arddel crefydd Crist, ac sydd gennym ffydd ac ymddiried ynddo, boed i ni ymdrechu gwybod gair Duw, trwy ei wrando a'i ddarllen yn ddyfal, mor belled ag y byddo gennym amser a chyfleusdra.

Ond y rhai ag nad oes ganddynt serch at air Duw a enwant yn gyffredin, er cuddio eu bai, ddau esgus gwag a disail. Esgusoda rhai eu hunain o herwydd eu gwendid a'u hofnau; ni feiddiant, meddynt, ddarllen yr Ysgrythyr rhag syrthio trwy anwybodaeth i gyfeiliornadau. Dywed eraill, fod yr anhawsdra o ddeall yr Ysgrythyr gymmaint fel nad cymmwys i neb ei ddarllen onid offeiriaid a gwyr dysgedig.

Mewn atteb i'r esgus cyntaf gellir dywedyd, mai anwybodaeth o air Duw yw yr achos o bob cyfeiliornad, fel y dywed Crist ei hun wrth y Saduceaid, "*Yr ydych yn cyfeiliorni, gan na wyddoch yr Ysgrythyrau.*" *Mat.* 22. 29. Pa fodd gan hynny yr ymgadwant hwy rhag cyfeiliorni, y rhai a fynnant fod byth yn anwybodus? A pha fodd y deuant hwy allan o'u hanwybodaeth, y rhai na fynnant ddarllen na gwrando yr hyn a ddichon roddi gwybodaeth iddynt? Yr hwn sydd ganddo yn awr y wybodaeth helaethaf a fu gynt yn anwybodus. Ni wnaeth beidio a darllen rhag ofn syrthio i gyfeiliorn; ond darllen yn ddyfal a wnaeth rhag aros o hono mewn anwybodaeth, a thrwy anwybodaeth mewn cyfeiliorn. Os na fynnwch wybod gwirionedd Duw, y peth mwyaf angenrheidiol i'w wybod, rhag i chwi gyfeiliorni, dylech am y cyffelyb achos orwedd ar y llawr yn wastad heb geisio cerdded un amser, rhag, os cerddwch, syrthio o honoch i'r llaid; neu beidio bwytta, rhag laru o honoch; neu beidio hau, na llafurio yn eich galwad, na thrin un masnach, rhag colli o honoch eich had, eich llafurwaith, neu eich nwyfau. Ac os felly goreu fyddai i chwi fyw yn segur, heb gymmeryd mewn llaw un gorchwyl da, rhag y digwydd i chwi ryw ddrwg.

Ond os ofni yr ydych gyfeiliorni wrth ddarllen yr Ysgrythyr, gwna ddangos i chwi pa fodd y gellwch ei darllen heb fod yn y perygl hwn

Darllenwch hi gyda chalon addfwyn a gostyngedig, er gogoneddu Duw, ac nid er derchafu eich hunain: darllenwch hi gyda gweddi feunyddiol ar Dduw i'ch cyfarwyddo i ddarllen yn ddefnyddiol: ac nac anturiwch ei deongli a'i hegluro ym mhellach nag y byddoch yn ei heglur ddeall; canys, fel ag y dywed Awstin, "Mae yr ysgrythyr yn adail fawr, helaeth, ac uchel; ond y drws sydd mor isel fel na ddichon y balch rhyfygus fyned i mewn trwyddo; a rhaid i'r hwn a elo i mewn ymddarostwng ei hun, a phlygu i lawr yn dra isel." Rhyfyg, a hunan-dyb, yw mammaeth pob cyfeiliornad. Ond ni raid i ostyngeiddrwydd byth ofni camsynied; o herwydd ni cheisia gostyngeiddrwydd ddim arall onid gwybod y gwirionedd. Gwna hi chwilio a chydmaru un man â'r llall, a phan fetho ganfod yr ystyr, hi a weddïa, a gofyn i eraill ag ydynt wybodus, heb byth ryfygu pennodi ystyr yr hyn ni ddeallo. Dichon, gan hynny, y gostyngedig chwilio yn ddiofn unrhyw wirionedd a gynnwys yr Ysgrythyr heb un perygl o gyfeiliorni. Ac os yw neb heb wybodaeth, dylai, o herwydd hynny, chwilio a darllen yr Ysgrythyr, fel y caffo wybodaeth. Nid wyf yn dywedyd nas gall gael budd trwy wrando yn unig, ond caiff fwy trwy wrando a darllen hefyd. Cymmerwch hyn yn fyr ynghylch ofni darllen y gair o herwydd anwybodaeth.

Am *anhawsdra* yr Ysgrythyr ystyriwch yr hyn a ganlyn:—Yr hwn sydd yn rhy wan i drealio bwyd cryf, a ddichon, er hynny, sugno llaeth maethol, a gadael o'r neilldu bethau eraill hyd oni chryfhao, ac y delo i fwy o wybodaeth; canys derbyniol gan Dduw y dysgedig a'r annysgedig, ni wrthoda neb, ond diduedd yw i bawb. Mae yr Ysgrythyr mor llawn o ddyffrynoedd isel, a llwybrau gwastad a hawdd i bawb i rodio ynddynt, ag yw o frynniau a mynyddoedd uchel nas gall ond ychydig eu dringo. "Pwy bynnag," medd Chrysostom, "a ymroddo ei hun yn ddiwyd ac yn ddifrifol i ddarllen yr Ysgrythyr, nid yw yn ddichonadwy iddo gael ei adael heb gymmorth; o herwydd danfona Duw iddo ryw athraw duwiol i'w ddysgu, fel y gwnaeth er hyfforddi yr ystafellydd, pendefig o Ethiopia, a thrysorydd y frenhines Candace; canys anfonodd Duw atto Phylip yr apostol, er egluro iddo ystyr gywir yr ysgrythyr; o herwydd y serch a'r dymuniad oedd ganddo i'w darllen, er nad oedd yn ei deall. Neu, os na fydd i ni gael gwr dysgedig i'n haddysgu, Duw a oleua oddi uchod ein meddyliau, a dysg i ni y pethau angenrheidiol ag na fyddom yn gwybod." Dywed Chrysostom hefyd mewn man arall:—"Na raid wrth ddoethineb neu wybodaeth ddynol ddaearol tu ag at ddeall yr Ysgrythyr, ond datguddiad yr Yspryd Glân, yr hwn a dywallt y gwir ystyr i feddyliau y rhai a chwiliant am dano yn ddyfal ac yn ostyngedig." "*Pob un sy'n gofyn, sy'n derbyn; a'r neb sy'n ceisio, sy'n cael; ac i'r hwn sy'n curo, yr agorir.*" *Mat.* 7. 8. Os darllenwn unwaith, dwywaith, neu dair gwaith, ac heb ddeall, etto na pheidiwn a'r gwaith, ond boed i ni barhau darllen, gweddïo, a gofyn i eraill; a thrwy barhau fel hyn i guro, diau yr agorir o'r diwedd y drws i ni. Yn unol â hyn y dywed Awstin, "Er y traethir amryw ddirgelion mawr mewn mannau o'r Ysgrythyr, etto nis traethir neb dirgelion mewn un lle nad ydynt yn cael eu datguddio mewn lleoedd eraill yn fwy goleu a dealladwy i'r dysgedig ac i'r annysgedig hefyd. A'r pethau hawdd i'w deall, ac angenrheidiol i iachawdwriaeth, dyled pob un yw eu dysgu, eu hargraphu ar y cof, a'u harferyd yn effeithiol. Ac mewn perthynas i ddirgelion dyrus, dylai

ymfoddlloni fod heb eu gwybod hyd oni welo Duw yn dda eu hegluro iddo. Yn y cyfamser, os bydd mewn diffyg o fedrusrwydd neu gyfleusdra, ni chyfrif Duw hynny yn ffolineb iddo. Ond etto nid gweddus yw i'r hwn a fedro ddarllen esgeuluso hynny, am fod eraill heb fedru; na chwaith beidio a darllen y cyfan, am fod rhai mannau yn anhawdd." Ac i ddiweddu yn fyr yngeiriau Awstin:—"Diwygir pawb trwy ddarllen yr Ysgrythyr; cryfheir y gweiniaid; a diddanir y cryfion." Felly yn ddiau ni all neb fod yn elyniaethol i'r gwaith o ddarllen gair Duw, ond y cyfryw ag ydynt mor anwybodus, fel na wyddant pa orchwyl defnyddiol yw; neu mor afiach, fel y casânt y feddyginiaeth oreu er eu gwellhau; neu mor annuwiol, fel yr ewyllysiant i ddynion aros byth mewn dallineb ac anwybodaeth o Dduw.

Fel hyn darfu i ni yn fyr grybwyll am ran o'r budd a ddeillia oddiwrth air sanctaidd Duw, un o'r fladau pennaf ac arbeniccaf a ryglyddwyd ac a amlygwyd i ddyn ar y ddaear. Boed i ni ddiolch i Dduw o'r galon am y rhodd fawr neillduol hon, ei gariad daionus, a'i dadol ddarbodaeth. Boed i ni dderbyn, gyda llawenydd, y rhodd werthfawr hon gan ein Tad nefol. Gwnawn wrando, darllen, a dysgu rheolau, gorchymynion, a deddfau purlan ein crefydd, yr hyn a addunedasom yn ein bedydd. Boed i ni gyd âg ofn parchus drysori y gwersi buddiol a llesfawr hyn yn ein calonnau. Gwnawn eu dwys ystyried, ac megis gnoi ein cil arnynt, fel y mwynhaom y sudd melus, y budd ysprydol, y mêr, y mêl, y enewyll, yr archwaeth, y cysur, a'r diddanwch, sydd ynddynt. Boed i ni attegu a thawelu ein calonnau trwy ddilys gredu eu sicrwydd difethadwy a'u gwirionedd. Gweddïwn ar Dduw, unig awdwr y gwirioneddau nefol hyn, ar i ni ymddiddan, myfyrio, credu, byw, a marw, yn unol â'u hathrawiaethau iachus. Ac yn y modd hyn, ni a gawn, yn y byd hwn, fwynhau amddiffyniad, hoffder, a rhad Duw, ynghyd âg annrhaethol gysur, heddwch, a thawelwch cydwybod; ac ar ol y bliufyd hwn, cawn fwynhau annherfynol ddedwyddwch a gogoniant y nef. Boed i Iesu Grist, a ddioddefodd trosom oll, ganiattâu hyn i ni oll: i'r hwn, gyd â'r Tad, a'r Yspryd Glân, y byddo yr holl anrhydedd, a'r gogoniant, yn awr ac yn dragywydd. *Amen.*

---

## SYLWADAU AR Y CREDO.

*(Parhad o du dal. 135.)*

### ERTHYGL III.

*"Yr hwn a gaed trwy yr Ysbryd Glân, a aned o Fair Forwyn."*

"*Yr hwn a gaed trwy yr Ysbryd Glan.*"—Yr wyf o'm calon yn cydsyniaw â'r gwirionedd sicr a dilyn hwn, sef i unig-anedig Fab Duw, cenedledig gan ei Dad cyn yr holl oesoedd, gwir Dduw o wir Dduw, gael ei ymddwyn a'i eni, ac felly ei wneuthur yn ddyn, gan gymmeryd ato y natur ddynol, cynnwysedig o enaid a chorff, a'i chyssylltu â'r natur ddwyfol yn undod ei Berson. Yr wyf yn llwyr gredu i'r gair gael fel hyn ei wneuthur yn gnawd; a'i luniaw yn ddiffuant a gwirioneddol yn y groth; ond nid mewn dull cyffredin, nid trwy genedliad cnawdol, nac eppiliad dynol, ond trwy weithrediad neillduol, nerthol, anweledig, ac anghyfryngol yr Ysbryd Glân; trwy yr hyn y galluogwyd gwyryf, mewn modd goruchnaturiol, i ymddwyn; ac y llwyrsanteiddiwyd ffrwyth ei bru o'i ffurfiad cyntaf. Ac yn yr ystyr hwn proffesaf fy nghred yn Iesu Grist, "*Yr hwn a gaed trwy yr Ysbryd Glan.*"

"A aned o Fair Forwyn."—Yr wyf yn credu y bu merch o'r enw Mair, a ddyweddïid â Joseph o Nazareth; yr hon, yn gystal cyn, ac ar ol ei dyweddïad, oedd forwyn bûr a dilwgr; iddi, yn ei morwyndod, trwy weithrediad digyfrwng yr Yspryd Glân, ymddwyn yn ei chroth unig-anedig Fab Duw; ac, yn ol amser naturiol gwragedd, iddi esgor ar ei mab cyntaf-anedig; gan barâu eto ar ol hyn yn Forwyn bur a dihalawg;* trwy yr hyn y ganwyd Iachawdwr y byd (o wraig o dan y ddeddf) heb un rhith o lygredd gwreiddiol, fel y rhyddäai ni oddiwrth euogrwydd pechod. Yr wyf yn credu fod y Forwyn hon o dŷ a thylwyth Dafydd, fel yr eisteddai efe ar orseddfa Dafydd, ac y teyrnasai yn dragywydd.—"*Ac felly, Credaf yn Iesu Grist, a aned o Fair Forwyn.*"

## ERTHYGL IV.

"*A ddyoddefodd dan Bontius Pilatus, a groeshoeliwyd, a fu fârw, ac a gladdwyd.*"

"A ddyoddefodd."—Yr wyf yn credu yn ddiysgog, ac yn proffesu yn ddiffuant, y gwirionedd pwysig ac ansigladwy hwn, sef, i unig-anedig Fab Duw, cenedledig gan y Tad, o'r un sylwedd â'r Tad, ddyoddef yn ddirith a gwirioneddol er iachawdwriaeth dynolryw; nid yn ei Dduwdod, yr hyn oedd anmhosibl, ond yn ei ddyndod, yr hwn yn amser ei ymiseliad oedd ddarostyngedig i'n holl ddoluriau. Ac fel y mae yn Iachawdwr perffaith yr holl ddyn, felly efe a ddyoddefodd yn yr holl ddyn: yn ei gorff, trwy anhwylderau aethus mewnol a darddent oddiar wendidau dynol, a'r doluriau poenus a berir gan friwiau allanol: yn ei enaid, trwy ofnau mawrion, trwy ofidiau anamgyffredadwy, a thrwy ing a gloesau annrhaethadwy. Ac fel hyn, "*Credaf i'n Hiachawdwr ddyoddef.*"

"A ddyoddefodd dan Bontius Pilatus."—Yr wyf yn credu ei fod yn wirionedd anwadadwy i Dduw, yn nghyflawnder yr amser, anfon ei Fab i'r byd; ac i dragywyddol Fab Duw, wedi ei anfon ganddo, ddyoddef a marw dros bechodau dynolryw, ar ol y bymthegfed flwyddyn o deyrnasiad yr Ammerawdwr Rhufeinig Tiberius, ond cyn ei farwolaeth;* a phan oedd Pontius Pilatus yn rhaglaw† ar Judea, yn Cæsarea; yr hwn, er boddio cenedl yr Iuddewon, a fwriodd i farwolaeth yr hwn a farnasai efe i'w ollwng yn rhydd; ac a'i traddododd, yn ol arfer yr amherodraeth hòno, ac er cyflawni y prophwydoliaethau, i ddyoddef marwolaeth boenus a gwaradwyddus y groes. Felly, "*Credaf yn Nghrist a ddyoddefodd dan Bontius Pilatus.*"

"A groeshoeliwyd."—Yr wyf yn credu yn hollol a diysgog i Grist Iesu, unig-anedig a thragywyddol Fab Duw, gymmeryd arno agwedd gwas, er diddymu llofysgrif yr ordinâdau, yr hon oedd i'n herbyn, a thynu oddiwrthym y felldith haeddedig; iddo, yn yr agwedd hon ymostwng dan anachwyniou yr Iuddewon, a barn anghyfiawn Pilat,

---

* Hyn oedd barn y Tadau ac Eglwysi Crist yn y cynoesoedd yn gyffredinol; ond os barna rhywun yn amgen mwynäed ei dyb.

* Nid yw pawb yn cytuno ynghylch blwyddyn y dyoddefaint; ond yr ydys yn hollol sicr, oddiwrth *Luc* 3. 1. ei bod ar ol "y 15fed flwyddyn o ymerodraeth Tiberius Cæsar;" ond eto (yr hyn a brawf lliaws o dystion) cyn ei farwolaeth.

† Neu, yn hytrach, Goraglaw, (*Procurator*) i y rhai ni pherthynai, yn gyffredin, ond yn unig edrych dros gyllidau y dalaeth neu y wlad y gosodid hwy arni o dan y Rhaglaw, fel Pilat o dan Raglaw Syria: ond i Oraglawiaid Judea rhoddid "awdurdod i groeshoelio, ac awdurdod i ollwng yn rhydd;" yn benaf, o herwydd tueddiad yr Iuddewon i derfysg a gwrthryfel: y cyfryw Oraglawiaid a elwid, *Procurator vice Præsidis.*

trwy yr hon y dedfrydwyd ef, yn ol arfer y Rhufeiniaid, i farwolaeth y groes; ac o herwydd hyny, a aeth dan gospedigaeth o'r llymder mwyaf, gan ddyoddef y poen; ac o'r anmharch mwyaf, gan ddiystyru y gwaradwydd. Ac fel hyn, "*Credaf yn Nghrist a groeshoeliwyd.*"

"*A fu farw.*"—Yr wyf yn gydsyniaw â'r gwirionedd pwysig hwn, sef, i Fab Duw, yn ein natur ni, yr hon a gymmerasai arno, ac er ein hiachawdwriaeth, farw yn wirioneddol a dirith; fel, gan rym a gerwinder y poenau a'r arteithiau a ddyoddefodd, y gwirwahanwyd ei enaid oddiwrth ei gorff; ac er na wahanwyd ei enaid na'i gorff oddiwrth ei Dduwdod, eto y corff yn amddifad o'r enaid a adawyd yn hollol ddifywyd. Ac fel hyn, "*Credaf yn Iesu Grist, a groeshoeliwyd, ac a fu farw.*"

"*A gladdwyd.*"—Yr wyf yn credu i Fab Duw, er sicrâu gwirionedd ei farwolaeth a oedd eisoes wedi cymmeryd lle, a'i adgyfodiad oddiwrth y meirw oedd yn fuan i ganlyn, gael parotôi ei gorff i'w gladdu, ei rwymo mewn llieiniau, a'i ddodi mewn peraroglau, ac, ar ol y parotöad arferedig hwn, ei roddi mewn bedd naddedig mewn craig, lle ni ddodasid dyn erioed, a thrwy dreigliad maen ar y drws ei gladdu yno. Felly, "*Credaf y claddwyd Crist.*"

ERTHYGL V.

"*A ddisgynodd i uffern; y trydydd dydd y cyfododd o feirw.*"

"*A ddisgynodd i uffern.*"—Yr wyf yn llwyr gredu fod hyn yn wirionedd sicr, na phrofodd enaid Crist farwolaeth er i'w gorff farw, pan orphenwyd ei ddyoddefiadau ar y groes, ac y gwahanwyd ei enaid a'i gorff; ond er na phrofodd farwolaeth, iddo, er hyny, fyned i sefyllfa eneidiau y meirw; a chan iddo farw yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ei enaid hefyd a aeth i'r lle y cedwir eneidiau y rhai sydd yn marw yn eu pechodau, ac felly a aeth yn hollol o dan ddeddf angau; ond o herwydd nad oedd ynddo un bai, ac iddo wneuthur iawn digonol am bechodau eraill, y rhai a gymmerasai arno ei hun; am hyny, fel na adawodd Duw i'w Sant weled llygredigaeth, felly ni adawodd efe chwaith ei enaid yn uffern; a thrwy hyny efe a roddodd lawn sicrwydd i holl eiddo Crist nad ânt byth o dan allu Satan, ac na ddyoddefant fflamau y tân a barotöwyd i ddiafol a'i angylion. Ac fel hyn, ac i'r dybenion hyn, gall pob Cristion ddywedyd i Grist "*Ddisgyn i uffern.*"

"*Y trydydd dydd cyfododd o feirw.*"—Yr wyf yn credu na fu tragywyddol Fab Duw, yr hwn a groeshoeliwyd, ac a fu farw drosom, yn hir yn ystâd marwolaeth; ond iddo, trwy ei allu anfeidrol, ymadfywio ac adgyfodi heb gyfnewidiad, trwy adgyfuniad yr enaid a wahanwyd â'r corff a gladdwyd. Yr wyf yn credu iddo wneuthur hyn y trydydd dydd ar ol ei farwolaeth; felly (gan iddo farw ddydd Gwener, y chweched dydd o'r wythnos, sef y darparwyl o flaen y Sabbath, a gorphwys yn y bedd y seithfed dydd) efe a adgyfododd y dydd cyntaf o'r wythnos; a thrwy hyny, a gyssegrodd hwnw i'w gadw yn santaidd, hyd oni ddel efe drachefn i farnu y byw a'r meirw. Ac fel hyn, "*Credaf i Grist y trydydd dydd gyfodi o feirw.*"

ERTHYGL VI.

"*A esgynodd i'r nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheulaw Duw Dad Hollalluog.*"

"*A esgynodd i'r nefoedd.*"—Yr wyf yn credu i unig-anedig a thragywyddol Fab Duw, ar ol ei adgyfodiad o feirw, esgyn o'r ddaear, lle yr oedd yn trigo, yn yr un

enaid a chorff ag yr adgyfododd, trwy symmudiad gwirioneddol; ac iddo ymgodi goruwch yr holl barthau awyrawl, a'r rhodau nefol, nes y daeth i nef y nefoedd, presennoldeb gogoneddus Mawrhydi Duw. Ac fel hyn, "*Credaf yn Iesu Grist a esgynodd i'r nefoedd.*"

"*Ac y mae yn eistedd ar ddeheulaw Duw Dad Hollalluog.*"—Yr wyf yn credu i Iesu Grist, wedi ei holl boenau a'i ddyoddefiadau er ein hiechydwriaeth, esgyn i nef y nefoedd, a gorphwysaw mewn tragywyddol ddedwyddwch; efe, yr hwn nid oedd ganddo ar y ddaear le i roi ei ben i lawr, a wnaeth yno ei drigfa wastadol, ac a eisteddodd ar orseddfainc a deheulaw Duw, yn Farnwr, ac yn Frenhin, wrth ei swydd gyfryngol hyd ddiwedd y byd, ond o herwydd ei haeddiant fel Cyfryngwr i dragywyddoldeb. Wrth ddeheulaw Duw Dad Hollalluog y deallaf, nerth anfeidrol, galluog i wneuthur pob peth heb derfyn, ond a fo yn groes i natur y pethau, neu i'w anfeidrol berffeithrwydd. Ac felly, "*Credaf yn Iesu Grist y sydd yn eistedd ar ddeheulaw Duw Dad Hollalluog.*"

## ERTHYGL VII.

"*Oddi yno y daw i farnu byw â meirw.*"

Yr wyf yn credu yn ddiysgog y daw tragywyddol Fab Duw eto eilwaith o'r nefoedd, yr hon yr aeth efe iddi, yn yr un natur ddynol ag y bu farw, yr adgyfododd, ac yr esgynodd i'r nef; ac ar ei ddyfodiad, y casgl efe ynghyd yr holl rai a fyddant yr amser hwnw yn fyw, a phawb a fuasent fyw, ond a fyddant cyn dyfodiad y dydd hwnw o dan lywodraeth angau, pan y pair iddynt oll sefyll o flaen ei frawdle, ac y barna hwynt yn ol a wnaethent yn y corff; ac wedi rhoddi ddedfryd gollfarnol ar y gwrthodedigion, ac o ryddâad ar yr holl etholedigion, efe a rydd i fynu y naill i'w poeni gyd â'r diafol a'i angylion, ac a symud y lleill idd ei deyrnas ogoneddus, ar yr hon ni fydd diwedd. Ac fel hyn, "*Credaf yn Iesu Grist yr hwn a ddaw i farnu byw a meirw.*"

(*I'w barhau.*)

---

## YMWELIAD A'R CLAF-DY.

Ychydig o amser yn ol aethum i ymweled ag un o'm plwyfolion, yr hwn oedd y pryd hyny yn Nghlâf-dŷ y Swydd, rai milldiroedd oddiwrth fy nghartref, a hyspyswyd i mi fod yno hen ŵr duwiawl yn gorwedd yn un o'r ystafelloedd cyfagos yn glâf o bydredd yn ei droed, a'r hwn a ymhyfrydai yn fawr mewn unrhyw ymddiddan ynghylch pethau ysprydawl, cyhyd ag y goddefai amser i mi aros gyd âg ef.

Arweiniwyd fi gan y weinyddes i ystafell lle y gorweddai yr hen ŵr yn ei wely. Yr oedd hybarchedd, llawenydd, boddlonrwydd, a duwioldeb, i'w gweled yn ei wynebpryd. Ei benllwydni a ddatganai ei henaint, er fod cymmaint o fywiogrwydd yn ei lygad ag yn llygad y llanc mwyaf heini.

"Pa sut yr ydych chwi, fy nghyfaill?" ebe fi.

"Yn bur iach, Syr, yn bur iach. Ni theimlais erioed yn well. Diolch i Dduw am ei holl drugareddau:" atebai y dyn mewn llais mor siriawl ag a barodd i mi ryfeddu a llawenâu.

"Yn bur iach! Pa fodd y mae hyny? Tybiais oddiwrth yr hyn a glywais am danoch eich bod mewn dirfawr boen a gwendid?" ebe fi.

"Gwir yw hyny, Syr; ond er hyny i gyd yr wyf yn bur iach. Y mae Duw mor dda wrth fy enaid, ac y mae yn darparu hefyd pob peth anghenrheidiol ar gyfer fy nghorff. Y mae pobl y tŷ yn dirion iawn wrthyf: fy nghyfeillion hefyd a

ymwelant â mi, ac a ymddiddanant, ac a weddïant gyda mi. Syr, nid oes arnaf eisiau dim, ond ychwaneg o ras i foli Duw am ei drugareddau."

"Yr ydych chwi, fy nghyfaill, yn hen bererin, a da genyf weled eich bod wedi dysgu teimlo yn ddiolchgar wrth ymdeithio drwy yr anialwch."

"Teimlo yn ddiolchgar!" atebai yn union, "naddo Syr, ni ddiolchais i erioed i'r Arglwydd, ni allais erioed ddiolch iddo: naddo, ac ni allaf ychwaith ddiolch iddo fel y dylwn, nes y cyrhaeddaf i ogoniant. A gwedi hyny, O! fel y diolchaf iddo am y cwbl a wnaeth erof fi!" Dagrau o gariad a lanwent ei lygaid tra y siaradai.

"Yr ydych yn gwasanaethu Meistr tirion iawn."

"Ydwyf, Syr, pe byddai y gwas yn debyg i'r Meistr. Ond yma yr ydwyf yn hen bechadur yn haeddu dim, er hynny yn derbyn pob peth sydd arnaf eisiau, Syr, nid oes arnaf eisiau dim, ond mwy o ras i'w wasanaethu yn well. Yr ydwyf yn gorwedd yn y gwely yma, gan ganu a gweddïo, yn y dydd ac yn y nos. Rhaid i chwi adael i mi ganu fy hymn; dechreuaf ei chanu bob dydd oddeutu pedwar o'r gloch y boreu, a cheidw fy ysprydoedd yn uchel drwy yr holl ddiwrnod."

Heb aros am fy ateb, cyfododd ei hun i fynu, ac mewn llais henaidd a methedig, ond cyffröus iawn, canodd benill neu ddau yn datgan daioni Duw tu ag ato, a'i ddymuniad ei hun i fyw er gogoniant Duw. Y symledd, y tawelwch, a'r cysur calon, gyd â'r hyn y canai yr hen ddisgybl parchus hwn, a roddasant y fath liw ar yr holl amgylchiad, a gadawsant y fath effaith ar fy meddwl, y rhai y byddai yn annichonadwy i mi eu darlunio i'r darllenydd.

Wedi iddo ganu ei hymn, dy-ld, "Na ddigiwch, Syr, o herwydd fy hyfdra; gobeithio eich bod chwithau hefyd yn caru yr Arglwydd, ac yna yr wyf yn sicr na ddigiwch chwi ddim wrth fy nghlywed yn ei foli. Ond, Syr, ymddiddenwch â mi ynghylch Iesu Grist. Yr ydych chwi yn Weinidog iddo, a danfonodd chwi heddyw i ymweled â mi, hen bechadur annheilwng, yr hwn nid yw yn haeddu y lleiaf o'i drugareddau. Ymddiddenwch â mi, os gwelwch yn dda, Syr, am Iesu Grist."

Atebais—"Ni allwch chwi na minnau ymddiddan am dano fel y dylem; ond eto pe distaw fyddem, llefai y ceryg yn y fan."

"Gwnaent: ac iawn iddynt *gri* cywilydd, cywilydd arnom os nacawn siarad am ei ddaioni:" meddai yr hen ŵr.

"Y mae Iesu Grist," ebe fi, "yn ddiogelfa sicr, ac yn gymmorth cyfamserol mewn amser trallodus."

"Da iawn, Syr, felly y mae."

"Gofalodd Iesu Grist am danoch, a gwyliodd drosoch, drwy ystod eich bywyd; ac efe fydd eich arweinydd a'ch rhan yn angau."

"Da iawn eto, Syr, bydd felly."

"Yr ydych chwi wedi bwrw eich enaid iddo i'w gadw er amser maith, onid ydych?"

"Ydwyf er dros 40 mlynedd yn ol, Syr; y mae dros 40 mlynedd bellach (pan aethum gyntaf i wrando Mr. V—— a Mr. B——) er pan ddaeth Efe i'm ceisio ac i'm cadw i, hen bechadur aflan, na haeddais ddim ond ei ddig. Ni allaf byth ei foli yn ddigonol."

"Wel, fy nghyfaill, yr un Prynwr Iesu Grist, yr hwn a garwch, ac yr ydych yn ymddiried ynddo, a fu fyw a marw drosoch. Efe a adgyfododd drosoch, ac a'ch santeiddiodd drwy ei yspryd, ac y mae yn byw yn awr i eiriol beunydd drosoch; ac wedi gwneuthur hyn oll, a dybiwch chwi y goddefa efe i chwi fyned i golledigaeth yn y diwedd?"

"Na wna, Syr," meddai yr hen

wr; "ffyddlawn yw yr hwn a addawodd, a chyflawna ei addewidion. Calon gyfnewidiol iawn, ysywaeth, ydyw fy nghalon i; ond Efe sydd anghyfnewidiol. Yr wyf yn credu iddo roddi coron gogoniant ynghadw i mi; ac er fod hen elyn eneidiau yn dywedyd wrthyf weithiau, na chaf dderbyn mo honi, eto, ymddiriedaf yn gynt yn Nghrist nag ynddo ef, a chredaf y caf hi yn y diwedd."

Gofynais, "Onid ydyw yn profi yn feunyddiol fod ei iau yn esmwyth, a'i faich yn ysgafn? Nid ydyw ei orchymynion ef yn drymion, ai ydynt?"

"Nac ydynt, Syr; nac ydynt: bwyd a diod yr hwn a garo yr Arglwydd, yw gwneuthur yr hyn a orchymyna efe."

"Pa le yr oeddych cyn dyfod i'r Clâf-dŷ hwn."

"Yn Nhŷ Tlodion plwyf S—."

"A oes genych wraig?"

"Bu farw rai blynyddau yn ol, a chyrhaeddodd ei chartref nefol o fy mlaen i.'

"A oes gennych blant?

"Oes, Syr; dau fab, y rhai ydynt yn briod, ac wedi sefydlu yn y byd gyda'u teuluoedd. Bu un o honynt yma yn ymweled â mi yn ddiweddar; ac yr wyf yn gobeithio ei fod mewn ffordd dda ar les ei enaid, ac yn dwyn ei blant i fynu yn ofn yr Arglwydd."

"A oes dim gofalon bydol ar eich meddwl?"

"*Nac oes un*, Syr. Gwelaf yn amlwg i mi ddyfod yma i orphen fy nyddiau: o herwydd dygir fi yn fuan i'r bedd gan y pydredd yma yn fy nhroed. Yr ydwyf yn fodlawn i fyned, neu aros amser da yr Arglwydd. Nid oes arnaf eisiau dim ond ychwaneg o ras i'w glodfori." Adroddodd yr hen wr y geiriau olaf yn bur fynych tra yr ymddiddenais âg ef.

"Y mae genych achos i ddiolch," ebe fi, "fod tŷ fel hwn wedi ei adeiladu lle y gall y tlawd a'r claf dderbyn lluniaeth, llèty, a defnyddiau meddyginiaethol."

"Oes, yn wir, Syr; tŷ o drugareddau i mi ydyw: a chywilydd gennyf glywed am anniolchgarwch amrai o'r cleifion am y budd a ddarparodd yr Arglwydd er eu cyfer yma. Ond, druain, nid ydynt yn ei adnabod, nac yn ei garu. Trugarâed yr Arglwydd wrthynt, a dangosed iddynt yr iawn ffordd. Ni fuaswn i erioed yn gwybod am y ffordd dda honno, Syr, oni buasai iddo ef gael trugaredd arnaf, pan nad oedd gennyf fi ddim drostof fy hun." Dagrau a dreiglent dros ei ruddiau, wrth adrodd y geiriau olaf.—Dyma, ebe fi ynof fy hun, ddyn tylawd sydd gyfoethog iawn; a dyn gwan yn gryf iawn.

Ar y pryd hwn daeth y forwyn â'i giniaw iddo.

"Gwelwch, Syr, fwy a mwy o drugareddau! Gofala yr Arglwydd am danaf, a denfyn ddigon o ymborth i'r corff gwael a llesg hwn."

"Ond, eto," ebe fi, "caiff y corff gwael a llesg hwn ei adnewyddu ryw ddydd, a'i wneuthur yn gorph gogoneddus, a chaiff fyw gyda eich enaid yn mhresennoldeb Duw am byth."

"Da iawn, Syr," meddai yr hen wr duwiawl;" felly y caiff. 'Ac er ar ol fy nghroen i bryfed ddyfetha y corph hwn, eto caf weled Duw yn fy nghnawd.' Ond deuwch, Syr," pan welodd fi yn edrych ar fy oriawr, "rhaid i chwi ddywedyd gair *wrth* eich Meistr yn gystal a *throsto* ef, os gwelwch yn dda. Rhoddaf fy nghiniaw heibio tra y byddoch yn gweddïo gyda mi."

Gwwnaethum hyny: yr hen wr yn arwyddaw ei gydsyniad â'r hyn a ddywedais trwy ei lais, ei ystum, a'i wynebpryd, mewn modd a ddatganai yn eglur fod ei galon yn cydunaw âg iaith y weddi.

Wedi darfod gweddïaw, dywedodd, "Duw fo gyda chwi, Syr;

a bendithied eich llafur er lles eneidiau tylodion. Gobeithio yr ymwelwch â mi eto cyn hir, os arbedir fy mywyd. Mor dda genyf weled dynion a ymddiddanant â mi am Iesu Grist a'i iachawdwriaeth werthfawr."

Atebais, "Bydded i Dduw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob, yr hwn a'u harweiniodd drwy holl ddyddiau eu bywyd, ac yn y diwedd a'u dygodd yn ddiogel i ddinas ag iddi sylfeini, eich dwyn chwithau yno, a bendithio yr hyn sydd yn ol o'ch taith nes y cyrhaeddoch gartref. Yr ydwyf yn bwriadu cyfarfod rhai cyfeillion duwiol heno, a byddai yn dda ganddynt glywed oddi wrthych, o herwydd eich bod mor brofiadol o drugaredd y Cyfryngwr. Pa beth a ddywedaf wrthynt?"

"Cofiwch fi atynt yn bur garedig; a dywedwch wrthynt, i chwi ymweled â hen wr tylawd ar fin marwolaeth, nad oes arno eisiau dim yn y byd hwn ond ychwaneg o ras i ogoneddu Duw."

Fel hyn y terfynodd fy ymweliad cyntaf. Ni allwn beidiaw ystyried, wrth ddychwelyd adref, gan mai dyben fy nhaith i'r Clâf-dŷ oedd dwyn addysg a chysur i'r tylawd a'r afiach; felly gwnaethpwyd y tylawd a'r afiach yn offerynawl, mewn gradd ehelaeth, i roddi addysg a chysur i fy nghalon fy hun.

Gwelais ef amrai o weithiau wedi hyn; yr oedd ei ymddiddanion o'r un natur ag y darluniais, a'i yspryd bob amser yr un—yn ddedwydd, yn amyneddgar, ac yn ddiolchgar. Yr amser olaf y gwelais ef, dywedodd wrthyf, "Syr, yr wyf yn teimlo hiraeth mawr am gyrhaedd fy nghartref nefol; ond yr wyf yn foddlon i aros yn ymdeithydd cyhyd ag y gwelo fy Arglwydd a'm Meistr yn dda."

Ychydig o amser ar ol fy ymweliad olaf âg ef, ymadawodd â'r fuchedd hon, gyd âg ymorphwysiad diysgog ar y Cyfryngwr bendigedig, a gobaith llawn am wynfyd tragywyddawl trwy ei angau Ef.

TH.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### RHEGAIN Y RHYCH.

Y MAE llawer o chwedlau yn draddodedig yn ein mysg am yr aderyn hwn. Rhai a ddywedant ei fod yn newid ei liw, os nid ei lun, a'i ddull o fyw ddwywaith neu dair bob blwyddyn; ond bid hyspys i'n darllenwyr nad yw hyn oll amgen na chwedlau disail. Yr aderyn hwn a geir yn wastad yn y gwair, yr ŷd, yr eithyn, y banadl, neu 'r rhedyn; ac nid yw un amser yn ymhoffi mewn lleoedd lleithiog. Efe a adawa y deyrnas hon cyn y gauaf, er nad yw yn ymhoffi ehedeg. Ymddengys fel un yn ymddiried mwy i'w draed nac i'w adenydd. Y cyntaf ydynt hirion iawn mewn cydmariaeth i'w faintioli, ac a grogant oddi wrtho pan y bo ar ei aden. Wedi ei gyfodi unwaith, nid hawdd gwneuthur felly drachefn. Ei liw sydd ruddgoch; ac y mae yn dda i'w fwytta. Nid oes nac amrywiaeth na melusdra yn ei gân. Rhoddir enw iddo yn y rhan amlaf o wledydd yn ddarluniadol o'i gân, neu ei *ric rac.* Denir yr adar hyn weithiau gan adarwyr i'r rhwyd, trwy efelychu eu llais—trwy dynnu cyllell dros asgwrn danneddog. Dywedir eu bod yn lluosog iawn yn Môn, lle yr ymddangosant oddeutu yr ugeinfed o Ebrill, a meddylir y deuant yno o'r Iwerddon, lle y mae digonolrwydd o honynt. Pan y deuant i'r ynys hon, y maent yn deneuon, ac ni phwysant uwch chwe *wns*, ond cyn eu hymadawiad pwysant *wyth*. Fe ddywedir gan anianyddion fod uwch ugain o rywogaethau yn perthyn i'r teulu hwn; ond nid oes uwch tri yn hyspys yn

ein gwlad ni. Y ddau ryw arall a ymhoffant yn y llynau a'r afonydd, a gelwir hwynt yn gyffredin yn *Ieir Dwr*. Nofiant yn dda, a llechant o dan genlennydd, a dringant weithiau i frig y llwyni rhag eu gelynion. Ni ehedant heb fawr angen, a phan y gwnelont hynny, nid yw ond musgrellwaith. Pan y deuir arnynt yn ddiattreg ar lyn, ymsoddant i'r gwaelod, a nofiant ymaith; ac yna hwy a ddeuant i fynu i'r wyneb, ac a estynant eu pigau uwch wyneb y dwr, ond o dan ddeilen neu ryw beth a'u cuddia. Er na wyddom ni, etto diau fod i bob creadur ei le a'i waith priodol yn y greadigaeth; ac fe allai fod graddau ym mhlith y creaduriaid, o'r creadur gogoneddusaf hyd y gwaelaf yn eu plith. Am hynny diau bod y *Rhegain* yn dyfod i'n plith ni yn yr amser hwn i ryw ddibenion da, i ragflaenu lluosogiad rhyw wybed a thrychfilod, y rhai, pe cynnyddent, a allent fod yn niweidiol i ni, yn gyfryngol neu ddigyfrwng. Pe gallem ni amgyffred yr holl greadigaeth i berffeithrwydd ar unwaith, nid ellir ammeu na welem ni nad oes gormod na rhy fach ynddi, ond bod ynddi berffeithrwydd. Os yr anwybodus a edrych i fewn i'r awrlais, fe allai y dywed fod yno lawer gormod, a rhy fach, ond y deallus a wel nad oes yno yr un o'r ddau, ac nad oes yno un peth heb ei le a'i waith priodol: felly yn y greadigaeth fawr, o'r hon yr ym ni yn rhan, y mae i bob un ei le a'i waith, ac edryched pob creadur rhesymmol am lenwi y lle, a chyflawni y gwaith hwnnw a roddwyd iddo ef i'w wneuthur. R.

---

## ORIAU LLYFRAWL.

*(Parhad o du dal. 145.)*

Oddiwrth yr hanes rhagflaenol, fe wel y darllenydd mor anhawdd oedd taenu gwybodaeth ym mhlith ein hen deidiau, o herwydd ansawdd y defnyddiau ysgrifennu. Yr oedd meini mawrion, neu ddalennau mettel, ac ystylled o goed yn rhy lwythfawr i'w trosglwyddo o'r naill dŷ ac ardal i'r llall. Os dymunai un wybod pa ar-ysgrifeniadau oedd arnynt, rhaid oedd iddo ymdeithio i'r fan y gosodasid hwynt i fynu. Ië, wedi caffael defnyddiau amgenach, megis memrwn, a'r *papyrus*, neu daflennau cwyr, nid bychain oedd y rhwystrau. Gallai taflennau cwyr wasanaethu i lythyrau neu draethodau byrrion, ond nid i lyfrau meithion. Yr oedd memrwn yn rhy gostfawr; ac yn amseroedd llëenyddiaeth Gryw a Rhufeinaidd, ychydig a wnaed o hono, oddigerth mewn un wlad. Gellid prynu y *papyrus* yn rhattach o lawer; eithr defnydd brau a darfodedig oedd hwn mewn cymmhariaeth—un yn deilliaw o un wlad yn unig; a hawdd oedd i'r trigolion, megis y gwnaeth y Saracŵniaid, attal ei anfoniad allan pryd y mynnent.

Pan gafwyd y gelfyddyd o wneuthur papur yn y modd presennol, diddymwyd llawer o'r anhawsderau o'r blaen; eithr y rhwystr mawr i ymdaeniad gwybodaeth oedd, y ffordd araf trwy yr hon yr amlheid llyfrau, sef trwy ysgrifenlaw. Oblegid hyn, hawdd y tybiwn fod nifer yr ysgrifenwyr yn lluosog iawn yn yr hen oesoedd mewn cymhariaeth â'r darllenwyr neu y llyfrau. Y pryd hynny dygid plant i fynu i ysgrifennu llyfrau, megis yn awr i argraphu yn ein hamseroedd ni: a swydd y crefftwyr hyn fyddai ad-ysgrifennu pob rhyw lyfrau, dan gyflog, naill ai i bendefigion neu lyfr-werthwyr cyhoeddus yr oes. Dygodd y rhai'n i mewn yr arfer o wneuthur talfyrriadau llythyrennol neu arwyddion yn lle geiriau, yr hyn a wnaeth lawer o hen ysgrifeniadau

yn dra anhawdd eu deall, ac a fu yn achos o'r amrywiaeth ystyr a geir mewn hen ysgrif-lyfrau. Mewn oesoedd diweddarach, ysgrifenwyr Caer Cystenyn oedd y clodforusaf o bawb oll; ac y mae llawer o'u hysgrif-lyfrau yn parhau hyd y dyddiau presennol yn gywraint hynod, a phrydferth yr olwg. Ond yr oedd y crefftwyr hyn yn lluosog hefyd ym mharthau gorllewinol Ewrop; a bu yr Eglwyswyr, ac yn enwedig y Monachod, Pabaidd yn hyn o waith yn dra chanmoladwy, o herwydd eu hymdrechiadau i gadw ac ail-ysgrifennu llyfrau gwerthfawroccaf yr hen oesoedd. Byddai ym mhob Monachlog ystafell ysgrifennu; a llawer o'r Monachod, yn enwedig yr henafgwyr a'r afiachus, a ymdreulient beunydd yn y llafur o ysgrifennu ac addurno ysgrif-lyfrau. Ym mhob tref boblog, eithr yn fwyaf lle byddai prifysgolion, byddai nifer fawr o ysgrifenwyr; a mynega hanesion fod chwech o filoedd yn ninas Paris. Costfawr iawn, o angenrheidrwydd, oedd pob llyfr a brynid ganddynt. Talwyd yn y flwyddyn 1433 nid llai na £66. 13*s*. 4*c*. am ad-ysgrifen o waith a gynnwysid mewn dau lyfr, o gyfansoddiad un Nicholas De Lyra. Yn yr amser hwn, pris y gwenith oedd 5*s*. 4*c*. y *cwarter*, neu y grynog, sef yr hyn a ddywedir ar dafien Rhifyn olaf y Gwyliedydd, fod ei bris cyfartal rhwng 66*s*. a 80*s*. neu oddeutu deuddeg gwaith cymmaint. Cyflog Aradwr yn y dyddiau hynny oedd ceiniog y dydd; eithr cyflogau Llifiwr a Naddwr Maen yn bedair ceiniog. Felly yr oedd pris y llyfrau uchod megis pe rhoddid oddeutu wyth cant o bunnau am danynt yn yr oes bresennol.

Rhagorai yr Iuddewon yn ddirfawr yn nghywreinrwydd a phrydferthwch eu llaw-lyfrau; ac anhawdd fyddai gan y sawl ni's gweloddd hwynt goelio mor gywir, a thaeclus, a dillynwych, y gwnaent yr ysgrifeniadau hyn.

Yn fwyaf cyffredin ysgrifenent yn yr hen oesoedd ar un tu yn unig o'r memrwn, neu y papur, gan gydio y llenni ynghyd, hyd oni orphenid y cwbl. Yna plygent yr ysgrifen ar fath o rôl-bren, a gelwid ef *volumen*, hynny yw, plyg-llyfr, neu *volume*. Wedi hynny gosodent belen o bren, asgwrn, neu ifori ar y tu allan, er addurniant a diogelwch. Hon oedd yr arfer gyffredin gynt o *rwymo* llyfrau, os cymmwys yr ymadrodd; a pharhaodd yn hir wedi amser Augustus Cesar. Yn Pergamus y dechreuodd yr afer o'u rhwymo yn bedwar-onglog, a dilys yw i Julius Cesar ei dwyn i mewn i Rufain hefyd. Byddai y llyfr-werthwyr yn amblygu y llyfrau â chrwyn llyfnedig; ac felly aeth y gwaith o lyfnhau a pharottôi y crwyn yn un o grefftiau yr oesoedd hynny. Lledr gwyn o grwyn defaid, yn amwisgo llen o goed, ac wedi ei gylymmu ynghyd â chroes fettelaidd, oedd y rhwymiad cyffredinaf. Eithr y rhwymiadau mwyaf costfawr a wnaed o grwyn amgenach, megis lloi, neu *ewigod*.

Yn oesoedd blodeuawg Rhufain, preswyliai llyfr-werthwyr mewn heol bennodol o'r neilltu. Bychan yw ein gwybodaeth am eu cyflwr a'u hymarferion yn yr amseroedd tywyll canlynol, a thybir mai ychydig oeddynt o barth nifer a chyfoeth. Y ffordd gyffredin o gaffael llyfrau oedd, trwy gyflogi nifer o ysgrifenwyr, yn ol yr achos a maintioli y traethodau a ewyllysid eu meddiannu. Llyfrau, er hynny, megis amryw ddefnyddiau eraill, a werthid ambell waith ym mhyrth *(porches)* yr eglwysydd, lle hefyd y cedwid cyfarfodydd cyfraith, neu lysoedd barn, y gymmydogaeth, ac y gwneid taliadau arian, fel y gellid tystio y cyfryw daliadau gan y gynnulleidfa ymgynnull-

edig.* Cynhenid oedd iddynt am yr un achos ddwyn llyfrau hefyd i'w gwerthu i'r lluaws, megis yn awr y dygir hwynt i ffeiriau. Cyffelyb arfer oedd gyffredin ym mhlith y Rhufeinwyr a'r Groegiaid, y rhai a werthent ddefnyddiau, ac a drinient negesau pwysfawr, ym mhyrth eu temlau. Ond yr oedd achos arall am werthu llyfrau ym mhyrth eglwysi; canys yno y cedwid ysgolion, ac y danfonid plant ieuaingc, hyd yn oed meibion boneddigion. Y mae y Bardd Seisnig *Shakespare* yn cyfeirio at ysgolion ym mhyrth eglwysi, neu mewn ystafell gyfagos iddi, megis y gwelir yn elusen-ysgolion plwyfol, eithr a oeddynt gynt yn ysgolion parchusaf y wlad.

Fe allai y gofyna y darllenydd, pa foddion a arferai awdwyr gynt i gyhoeddi eu llyfrau pan ewyllysient eu taenu ar led, gan nad oedd Newyddiaduron, na Chyhoeddiadau Misol, lle y gallent hyspysu eu henwau i'r wlad yn gyffredin? Cyflogi tŷ neu ystafell a wnaent, gosod meingciau, hyspysu eu cynllun, ac yn ddiweddaf, darllen eu cyfansoddiadau o flaen y gwrandawyr cynnulledig. Yn y modd hyn y gwnai ein cydwladwr Giraldus Cambrensis yn y ddeuddegfed ganrif.

Y cyfryw oedd gwerth memrwn yn yr oesoedd gynt, fel yr arferid yn gyffredin iawn ddileu yr hen ysgrifeniadau oddi arnynt, ac ysgrifennu pethau o newydd drachefn. Dyma un o'r achosion paham y collwyd rhai llyfrau clodforusaf o waith yr hen awduron Gryw a Rhufeinaidd. Soniwyd eisoes am ddirfawr brisiau ysgrif-lyfrau yn yr amseroedd hynny, a hyn a welir yn eglurach oddiwrth y rhyfeddol ofal a gymmerent wrth eu hechwyna i'r sawl a ddymunai eu benthyccio. Rhaid fyddai i'r benthycciwr yn aml ymrwymo mewn *gweithred* arbennig i ddwyn y llyfr adref; a phan osodid llyfr gwerthfawr ac anghyffredin mewn llyfr-gell monachdy neu brif-ysgol, gwnaed rheolau pennodol, na byddai i un ysgolhaig ei ddarlien dros awr neu ddwy, neu ryw amser nodedig, heb roddi i eraill gyffelyb gyfleusdra. Pan werthid llyfr o'r fath hynny, y cyfryw oedd pwysfawredd y weithred fel yr ysgrifenent goffadwriaeth am dani, ac y cynnullent amryw dystion, megis yn awr i goffhau pryniad tyddyn o dir. Byddai aml ddysgedigion yn tlodi eu hunain trwy brynu ychydig o lyfrau. Yn y nawfed ganrif aeth Esgob Seisnig bump o weithiau i Rufain i brynu llyfrau; a rhoddes y brenhin Alfred iddo, am *un* o'r llyfrau hynny, dyddyn bychan, yn wyth erw o dir. Yn 1274, gwerthwyd Bibl am £33. 6*s*. 8*c*. pan oedd pris gwenith yn 3*s*. 4*c*. y grynog; cyflog llafurwr cyffredin yn 1½*c*. y dydd; a phris gweithiwr yn y cynhauaf yn 2*c*. Y cyfryw oedd cyflogau yr hen amser gynt! Amser arall, gwerthwyd ysgrif-lyfr am £66. 13*s*. 4*c*. pan oedd cyflog pensaer yn bedair ceiniog y dydd, cyflog gweision yn 2*c*. a'r gwenith yn werth 6*s*. 8*c*. y chwarter. Gwerthwyd un llyfr o Homiliau (oddeutu 1400) am ddau cant o ddefaid, pump chwarter o wenith, pump chwarter o haidd, a phump chwarter o filed. Yn y bymthegfed ganrif, yr oedd pendefig Italaidd yn dra awyddus i feddiannu hen lyfr godidog, o waith hanesydd Rhufeinig (*Livius*) a gorfu arno werthu tyddyn o dir i gael arian ddigon i'w brynu; a'r gwerthwr drachefn, yr hwn a ad-ysgrifenasai y llyfr yn brydferth hynod, a brynodd dyddyn arall gyd âg arian y pryniad. Yn

* Pyrth y dinasoedd oeddynt ddewisol iawn gan y dwyreinwyr i drin eu negesau, ac i wneuthur eu cyfammodau mwyaf pwysfawr, o herwydd cyhoeddusrwydd y lleoedd, a nifer y tystion. Cyfeirir at hyn yn amryw fannau o'r Hen Destament.

1429 gwerthid un *Testament Newydd,* o gyfieithiad Wicliff, am £2. 16*s*. 8*c*. Y pryd hyn pris y gwenith oedd 6*s*. 8*c*. y chwarter (sef oddeutu y deuddegfed ran o'i bris presennol); gwerth eidion pasgedig yn 10*s*.; mollt yn 1*s*. 4*c*.; llo yn 2*s*. 6*c*.; tyrchyn yn 2*s*.; a chwrw yn 1¼*c*. wrth y *galwyn*. Hawdd fyddai chwanegu hanesion cyffelyb, oni bai fod arnom ofn dirboeni amynedd y darllenydd.

Bod dysgeidiaeth yn brin ryfeddol yn yr oesoedd hynny sydd yn canlyn o angenrheidrwydd. Ni byddai neb ond Brenhinoedd, Esgobion, ac Abadau, braidd yn perchen llyfrau: ac anaml y medrai hyd yn oed pendefigion ysgrifennu neu ddarllen; eithr gosod eu nodau a wnaent (megis yn awr y gwaelaf o'r werin) wrth ammodau cyfraith neu gyttundeb. Ni chaed ychwaith, yn yr oesoedd tywyllaf, ddim ysgolion, oddigerth yn llysoedd brenhinoedd, esgobdai, a monachdai; ond er y dygid yr offeiriaid i *ddarllen* y gwasanaeth Lladin, anaml y byddent yn ddigon dysgedig i *ddeall ystyr* yr hyn a ddarllenent! Sefydlwyd ysgolion grammadegol mewn treflanoedd yn y bymthegfed ganrif y tro cyntaf yn Lloegr. A'r achos o'u sefydlu oedd fel y canlyn:—Rhag ymdaenu o ddaliadau crefyddol Wicliff drwy y deyrnas, gwnaethpwyd cyfraith i wahardd pobl i osod eu plant dan ofal athrawon dirgelaidd, y rhai nid oedd ganddynt awdurdod deddfol i ddysgu; ac oblegid hynny aeth dysgeidiaeth yn brinach fyth. Felly dymunodd rhai o offeiriaid Llundain ar y Senedd roddi iddynt ganiattâd i osod i fynu ysgolion yn eu Heglwysi priodol, fel y gallent yn well wrthwynebu yr ysgolion *an*-awdurdodol eraill, a rhwystro ymdaeniad yr hyn a alwent hwy yn heresi. Hyd amser Harri IV. (sef 1399—1412) *ni feiddiai y werin ddanfon eu plant i'r ysgol*; ac ym mhell gwedi, ni's gallent ddwyn mab i fynu yn offeiriad, *heb gennad bennodol gan eu harglwyddi*.

(*I'w barhâu.*)

---

## SERYDDIAETH.

MR. GWYLIEDYDD—Ni's gall yr un o'ch darllenwyr fyned allan ym mrig yr hwyr i fyfyrio na rhodiana yn y dyddiau hyn, os edrych i fynu tu a'r de-ddwyreiniol, heb ganfod seren ysblenydd, yr hon a orchymyn ei sylw. Ond pa seren yw hi, Mr. Gwyliedydd? Dywed Cybi mai y blaned Iau yw hi; ac "y mae hi, medd seryddwyr, ynghylch 490,000,000 o filldiroedd oddiwrth yr haul, y canolbarth. Try o amgylch yr haul mewn oddeutu deuddeg o'n blynyddoedd ni, ac i wneuthur hynny, symmud yn ol 29,000 o filldiroedd yn yr awr. Hi ydyw 'r blaned fwyaf yn y rhan hon o'r greadigaeth, ac y mae ei thryfesur yn 89,000 o filldiroedd, ac yn bedwar cant ar ddeg o weithiau yn fwy na'r ddaear. Try ar ei hechel mewn naw awr ac un mynyd ar bymtheg a deugain. Os edrychir arni trwy wydr-ddrychau seryddawl gwelir ar ei hwyneb amrai resi tywyll, y rhai a eilw seryddwyr gwregysau: tri o'r rhai hyn a welir yn fwyaf cyffredin, ond gwelir rai prydiau lawer mwy; ac ymddangosant weithiau yn fwy, weithiau yn llai. Pa beth ydynt nid yw hyspys; rhai a feddyliant mai cymmylau ydynt yn amgylchu y blaned hon; eraill a feddyliant mai rhyw gyfnewidiadau anianyddol ydynt yn ac ar wyneb y blaned. Ond pa bethau bynnag ydynt, y maent yn effeithiau rhyfeddol; canys yr ydys wedi sylwi bod rhai o honynt yn fwy na *Phum Mil* o filldiroedd o led. Y mae i'r blaned Iau bedair o *leuadau*, neu loerau, yr hyn a wna 'r blaned yn wrthddrych hardd

i sylwi arni trwy wydr-ddrych seryddawl. Y mae 'r lleuad agosaf ynghylch *dau cant a deg ar hugain o filoedd* o filldiroedd oddi wrthi, ac yn myned o'i hamgylch mewn *dwy awr a deugain a hanner;* a hi a ymddengys i breswylwyr Iau bedair gwaith cymmaint ag yr ymddengys y lleuad i ni. Yr all a ymddengys iddynt o gyffelyb faintioli i'n lleuad ni. Y drydedd ychydig yn llai. A'r bedwaredd, yr hon sydd *ddeg can mil* o filldiroedd oddi wrthi, a ymddengys megis un rhan o dair o'n lleuad ni. Amgylchyna hon Iau mewn *un dydd ar bymtheg.* Y mae diffyg ar y lleuadau hyn, fel y mae ar ein lleuad ni pan y byddo yn ei thro yn myned trwy gysgod y ddaear. Wrth y diffygiau hyn y cafwyd allan gyflymdra teithiad goleuni, ac y maent o neillduol ddefnydd i gael allan hydred llawer o leoedd ar wyneb y ddaear. Pe edrychem ar Iau o'r lleuad agosaf atti, ymddangosai i ni *fil o weithiau* yn fwy nag yr ymddengys y lleuad i ni, ac ymddangosai fel y lleuad yn gylch, yn hanner cron ac yn llawn, *bob dwy awr a deugain.* Am fod echel Iau yn union syth i'w chylchdro, nid oes iddi *dymhorau.* Pe baem ni yn Iau â'r llygaid yr ym yn awr yn eu meddiannu, ni welem ni ddim o'r ddaear hon a'i lleuad; a rhaid i breswylwyr *Iau,* os gwelant ein daear ni a'i lleuad, fod wedi eu cynnysgaeddu â galluoedd i weled, llawer gwell na'r eiddom ni, os gwyddant fod y fath blaned yn bod a'n daear ni."—*Cyfieithiad o Dick's Christian Philosophy.*

R.

---

## TREFN CLADDEDIGAETH Y MEIRW.

Y MAE lleferydd natur ac ymarferion gwladol pob cenedl yn cydgyttuno i'n hannog i dalu parch dyledus i gyrph y meirwon. Yn y modd o dalu y parch hwn addefir fod amrywiaeth mawr yn amryw wledydd, eithr bwriad pob cenedl yw anrhydeddu y meirw, er y gwneir iddynt yn un man yr hyn a dybir yn ddianrhydeddus mewn mannau eraill. Ond yr unrhyw yw y bwriad, yr ymarfer yn unig sydd wahanol. Y ddefod gyntefig oedd claddu y cyrph yn y ddaear, fel y dychwelai dyn i'r ddaear o'r hon y cymmerasid ef. Arferai yr hen Aiphtiaid, fel y crybwyllwyd yn ddiweddar, bêr-arogli cyrph eu perthynas, rhag ymddattod o honynt yn hylwyr, a myned i ddim, fel na byddai wahaniaeth mwy rhyngddynt a llwch cyffredin. Arferai y patriarchiaid a'r tadau Iuddewig barottoi beddrodau gweddaidd, a chladdu y meirw yn y modd mwyaf parchuslawn, fel y gwelir yn llyfr Genesis; ie, tynghedai tadau eu plant i'w claddu hwynt yn yr un claddfaau lle y dodasid eu cyndeidiau o'r blaen. Llosgent hefyd bêraroglau gwerthfawr ar gladdedigaethau brenhinoedd a phendefigion; (Gwel 2 *Cron.* 16. 14. a 21. 19. *Jer.* 34. 5.) ac at yr arfer hon y cyfeirir, yn ol y cyfieithiad cywiraf, yn 1 *Sam.* 31. 12. ac *Amos* 6. 10. nid at losgiad y cyrph eu hunain. Eithr mwy dewisol gan y Groegiaid oedd llosgi* cyrph eu cyfeillion, yr hyn a wnaent gyda defodau crefyddol, a thywalltiad pêr-aroglau ar y tanwydd. Ym mhrif oesoedd y Rhufeiniaid claddu eu meirwon a wnaent, eithr pan helaethwyd eu terfynau, a danfon o honynt eu byddinoedd i wledydd dieithr, dygwyd i mewn yr arfer o losgi y milwyr lladdedig, oblegid gwybod o honynt y byddai y gelynion ar ol eu hymadawiad yn codi i fynu ac yn ammharchu y cyrph.

---

* Credai rhai Paganiaid hygoelus fod eneidiau y meirwon yn esgyn i'r nefoedd gyda fflammau y tân angladdawl.

Cedwid claddedigaethau Rhufeinig gyda rhwysg rhodresfawr—llefarai y perthynas nesaf araith o ganmoliaeth i'r marw, cynneuai y tanwydd coed lle y gosodasid y corph, taflai anrhegion o ddillad a phèr-aroglau ar y tân, ac wedi llosgi y cwbl, taenellid gwin ar y marwor, a chynnullid esgyrn a lludw y marw mewn arch brydferth o aur neu ariaa. Rhoddent y rhai'n mewn beddau, y rhai a fyddent bob amser y tu allan i'r dinasoedd, ac yn fwyaf aml ar fin y prif-ffyrdd.

Pan gymmerodd crefydd Crist le Paganiaeth, rhoddwyd heibio yr arfer o losgi cyrph meirw, ac yn ei lle dygwyd i mewn y ddefod o'u gosod yn gyfain mewn beddau, megis mwy cyttunol á gobaith y rhai a ddisgwylient adgyfodiad y corph, neu o herwydd mai felly y claddai y patriarchiaid a'r Iuddewon eu meirw. Pan adeiladwyd eglwysi, a neillduo* lleoedd penodedig o'u hamgylch, dechreuodd yr arfer o gladdu mewn monwentau, eithr y ddefod anweddaidd ac afiachus o gladdu tu fewn i'r eglwysydd ni chaniattaid dros oesoedd lawer. Esgobion, Abadau, neu wyr hynod am eu hymarweddiad bucheddol, a anrhydeddwyd gyntaf á chladdfa mewn eglwysydd, wedi hynny cafodd brenhinoedd a phendefigion yr un fraint, ac yn ddiweddaf oll disgynodd i'r werin hefyd. Yn ddiau, arfer yw hon a ddylid ei rhoi heibio, megis diles i'r marw, ac afiachus i'r byw.

Cynhenid i deimladau goreu ein natur yw hebrwng ein perthynas i'w cartref diweddaf gyda pharch gweddaidd: a thra gwneir hyn gyda gweddeidd-dra cymhedrol, y mae yn ganmoladwy yn hytrach na beius. Gellir cyfrif ymarfer y patriarchiaid yn hyn o weithred wedi ei gosod yn esampl i ninnau. Nid ammherthynol i'r un rheswm yw yr hyn a goffheir ynghylch claddedigaeth ein Hiachawdwr ei hun, megis enwau y sawl a ofalasant i'w gladdu, a'r canmoliaeth a roddwyd i'r wraig a dywalltodd werth tri chan ceiniog o ennaint gwerthfawr arno cyn ei gladdedigaeth. Dilys yw fod hynny yn rhoddi addysg i ninnau ynghylch y gweddeidd-dra parchus a haeddai cyrph y meirw. Pa beth yw gweddeidd-dra parchus a ymddibynna ar arferion gwlad, a sefyllfaoedd neillduol y rhai a gleddir. Ond megis yr haeddai cyrph meirwon eu parch dyledus, felly ammherffaith yw effaith pob cynhebrwng os na ddyry addysg hefyd i'r byw. Ac nid ammherffaith yn unig yr effaith, eithr niweidiol yw pob ymarfer, yr hon a dry dai galar yn dai gwledda, ac a bair i'r

---

* Y mae Cristionogion yn amrywio oddiwrth Iuddewon a Phaganiaid yn eu gwaith o gladdu y meirw yn agos i adeiladau addoliad. Canys gan yr halogid Iuddewon wrth ddynesu at gyrph meirw, gofalent am eu claddu y tu allan i'w trefi a'u dinasoedd. Hyn hefyd a wnai Cristionogion tra parhaodd cyfreithiau Rhufain Baganaidd mewn grym; a pharhaodd yr arfer hon yn Lloegr tan yr wythfed ganrif, pan y cafodd Cuthbert, Archesgob Caergaint, gennad gan y Pab i wneuthur monwentau tu mewn i drefi. Cafodd yr Ymerawdwr Cystenyn Fawr, megis braint ac anrhydedd ryfeddol, ei gladdfa ym mhorth *(porch)* yr eglwys, eithr ym mhellach i mewn ni chaniattawyd nag iddo ef na'i ddisgynyddion am oesoedd lawer eu gosod. Yn nesaf, gwyr duwiol; ac yn olaf, pawb a allent brynu yr anrhydedd, a gawsant yr un gennad. Yn ol cyfraith Loegr y mae gan bawb o'r plwyfolion hawl i'w claddu yn y fonwent, ond nid oes hawl i neb allan o'r plwyf, os ni chafodd *faculty* gan y llys esgobol, heb gennad yr Offeiriad, a thalu iddo yr hyn a welo yn dda ei ofyn. Felly nid oes hawl gan neb i'w gladdu *y tu fewn i'r eglwys*, heb yr un gennad gyfreithiol (neu *faculty*) oddiwrth y llys ysprydol, a geill yr Offeiriad naccau pryd y mynno i bawb eraill eu claddu *yn yr eglwys*. Hefyd, nid yw gyfreithlon gosod i fynu garreg coffadwriaeth yn yr eglwys, nac yn y fonwent, heb gennad Offeiriad y Plwyf.

byw esgeuluso gosod at eu calon ddifrifwch y gwrthddrych difrifbwysfawr o'u blaen. Amcan yr Eglwys Sefydledig yn ei ffurf o wasanaeth, oedd diddanu ac addysgu y byw: ac yn hyn hi a drefnodd reolau cyn nesed ag y gellid at eiddo y brif eglwys. Yn wir, ni wyddis yn ddilys a chywir,, pa sut yr oedd gwasanaeth a threfn y brif eglwys wrth gladdu. Ond ni a wyddom fod y Salmau, megis gyda ninnau, yn rhan arbennig, fel y cyd-dystia tadau yr eglwys. Bod y llith priod yn dra pherthynol i'r achos, afraid yw profi; a cheisiwn, yn yr ystyriaethau canlynol, ddangos fod y gweddïau hefyd yn hylwyr gyttunol â gair Duw, ac yn dra buddiol i gysuro ac addysgu canlynwyr y ciaddedigaeth.

(*I'w barhau.*)

---

ANSAWDD Y TARTH.

MR. GWYLIEDYDD,—Darllenais yn ddiweddar Lythyr, yn yr hwn yr oedd ei awdwr yn ceisio dangos pa faint o ddwfr a godai yr haul yn darth bob dydd; ac wele rydd gyfieithad o hono at eich gwasanaeth chwi. A.

"CYMMERASOM badellaid o ddwfr ynghylch pedair modfedd o ddwfn, ac ychydig dros saith o dryfesur, yn yr hwn y rhoddwyd gwres-fesurydd, a phoethasom y dwfr i'r un gradd o wres a'r awyr ar ddiwrnod teg o haf. Wedi hyn rhoddasom y dwfr yn un pen i'r glorian, a phwysasom y dwfr yn fanylaidd. Cadwasom y dwfr yn yr un gradd o wres, ac ym mhen ychydig, ni a gawsom y dwfr yn agos i hanner *wns troy* yn llai o bwysau, yr hyn ydoedd wedi ei godi ymaith yn darth gan y gwres. Nid oedd hyn fawr llai na chwe *wns* yn y bedair awr ar hugain o wyneb o ddwfr llai nac wyth modfedd o dryfesur. Os ydyw dwfr, gan hynny, o'r cyffelyb boethder i'r awyr ddydd gwresog yn yr haf, yn anfon ymaith yn darth un rhan o driugain o fodfedd o drwch mewn dwy awr, yna fe rydd mewn deuddeng awr un rhan o ddeg o fodfedd, a hyn a rydd ddigon o ddwfr i'r awyr roddi gwlaw a gwlith, a phorthiant i'r holl ffynnonau; ac a ddengys reswm paham y mae 'r llynoedd a'r moroedd hynny, o'r rhai ni welir dwfr yn rhedeg, er y rhed llaweriddynt, yn wastad yr un.

Yn ol y casgliad uchod, fe rydd pob pedair troedfedd *ysgwâr* bob dydd alwyn o ddwfr yn darth. Cyfyd i fynu o filldir *ysgwâr, chwe mil, naw cant a phedair ar ddeg o dunellau* o ddwfr. A barnu bod y Môr Canoldir yn ddeugain gradd o hŷd, a phedair o led, a naw milldir a thriugain y'mhob gradd, fe gynnwysa y môr hwn gant a thriugain o raddau *ysgwâr* yn arwynebol; ac yna, yn ol y cyfrif uchod, fe gyfodir yn darth o'r holl fôr hwn bob dydd gwresog yn yr haf o'r hyn lleiaf 5,280,000,000 o dunellau.—Yn awr, y mae naw o afonydd mawrion yn rhedeg yn barhaus i'r Môr Canoldir, heb sôn am y rhai bychain, a'r cornentydd. Ni a feddyliwn fod pob un o'r rhai hyn yn arllwys deg cymmaint o ddwfr i'r môr ag y mae 'r afon *Thames*, er nad oes yr un o honynt yn gwneuthur hynny. Y mae 'r *Thames* yn gan llath o led, a thair o ddwfn yn agos i Bont *Kingston*, yr hyn a wna dri chan llath o ddwfr, a hyn wedi ei luosogi â 84,480, rhifedi y llathenau mewn wyth milldir a deugain; rhifedi y milldiroedd o ddwfr a red heibio yn y pedair awr ar hugain, a barnu y rhed y dwfr ddwy filldir bob awr, a rydd 25,344,000 o llathenau *solid* o ddwfr, neu 20,300,000 o dunellau bob dydd o ddwfr. Os yw pob un o'r naw prif afon, y rhai a redant i'r Môr Canoldir, yn arllwys iddo bob dydd *ddeg* cymmaint ag

y mae 'r afon *Thames*, fe arllwys pob un o honynt 20,300,000 o dunellau bob dydd, a gwnant ynghyd 1,827,000,000 o dunellau; ac nid yw hyn fawr dros un rhan o dair o'r hyn a gyfyd y gwres o'r Môr Canoldir mewn deuddeg awr."—*Clarke's Readings in Natural Philosophy.*

---

## BRUT Y TYWYSOGION.

(*Parhad o du dal.* 151.)

Oed Crist 777, y symudwyd y pasc yn Neheubarth, ac y bu farw Ferinol fab Eidwar, ac achaws hynny y bu ryfel teisban rwng y Deheuwyr au Brenin a dinistraw mawr arnynt ganthaw, oni orfu arnynt ladd y Brenin am hynny yn amser Hâf, am hynny y gelwir yr haf hwnnw yr haf gwaedlyd, ac ni rodded fyth wedi hynny i Frenin y Deheuwyr ei air yn air ar y wlad.

Oed Crist 784, y diffeithiwyd y Mers gan y Cymry, ac Offa a wnaeth glawdd yr ail waith yn nes attaw, a gadael lle Gwlad rwng Gwy a Hafren lle mae Llwyth Elystan Glodrydd lle ydd aethant yn un o bum Brenhinllwyth Cymry.

Oed Crist 795, y daeth y Paganiaid duon gyntaf i ynys Prydain o Wlad Denmarc, ac a wnaethant ddrygau mawr yn Lloegr, wedi hynny daethant i Forganwg, ac yno lladd a llosgi llawer, ond o'r diwedd gorfu 'r Cymry arnynt au gyrru i'r mor gwedi lladd llawer iawn o honynt, ac yna myned i'r Werddon lle y diffeithiasant Rechreyn a lleoedd eraill.

Yr ail flwyddyn y bu gwaith Rhuddlan lle y lladdwyd Meredydd Brenin Dyfed, a Charadawc ab Gwyn ab Collwyn Brenin Gwynedd.

Oed Crist 804, y bu farw Arthen Brenin Ceredigiawn, a Rhydderch Brenin Dyfed, a Chadell Brenin Teyrnllwg, a elwir yr awr honn Powys.

Oed Crist 809, y bu farw Elfod Archescob Gwynedd, ac y bu diffyg ar yr haul, ac y bu Terfysg mawr ym mhlith y Gwyr Eglwysig achaws y Pasc, canys ni fynnai Escobion Llandaf a mynyw ymroddi dan Archescob Gwynedd lle yr oeddynt eu hunain yn Archescobion hŷn o Fraint.

Oed Crist 810, duawdd y lleuad ddyw nadolic ac y llosges y Saeson Mynyw, ac y llosged Teganwy gan dan llychaid gwylltion, ac y bu farwolaeth ddirfawr ar yr anifeiliaid hyd holl ynys Prydain ac y tlododd Brenhiniaeth Vôn a Brenhiniaeth Dyfed oblegyd Rhyfel a fu rwng Hywel Fychan a Chynan ei frawd, a gorfu Hywel ynys Fôn.

Oed Crist 814, bu Taranau a lluched ofnadwy dros benn yn torri a llosgi Tai a choedydd yn aruthr, ac y bu farw Gruffydd ab Cynan achaws Brad Elisle ei frawd.

Yr un flwyddyn y bu ryfel yr ail waith rhwng Hywel a'i frawd Cynan, ac a laddes lawer o'i wyr ef, ac yna Cynan a gynhulles attaw Gad niferawg dros benn, ac am benn ei frawd Hywel y rhuthres, ai yrru o Fôn hyd ym Manaw. Ymhen ychydic wedy hynny bu farw Cynan Tindaethwy Brenin Cymry oll. A merch oedd etifeddes iddaw a briodes y Gwr Pendefig ai enw Merfryn Frych; ei Fam ef Nest ferch Cadell Deyrnllwg fab Brochwel Ysgithrawc.

Oed Crist 815, y llas Griffri ab Cyngen ab Cadell Deyrnllwg.

Oed Crist 818, y dechreues Merfyn Frych ac Essyllt ei wraig wladych Gwynedd a Phowys, a'r flwyddyn honno y bu waith Llanfaes ym Môn.

Oed Crist 819, y drygwyd Dyfed yn ddirfawr gan Genwlf Brenin Mers.

Oed Crist 823, y diffeithwyd Gwlad Bowys gan y Saeson, gan ddwyn y meibion bychain i gyd oddiar eu mammau a'u meithrin yn

Saeson, canys arferid hynny gan y Saeson, a'r un flwyddyn y llosgasant Deganwy.

Oed Crist 829, y dug Egbert Brenin Caerwynt y danaw Bernwlf Brenin y Mers drwy ymladd drydlew, ac yn ebrwydd gwedi hynny y dug efe y danaw y saith Brenhiniaeth Seisnig, a galw Gwlad Loegr yn Inglont, a galw 'r Iaith Ingles.

Oed Crist 830, y bu diffyg ar y lleuad yr wythfed dydd o Fis Rhagfyrr, a'r un diwarnod y bu farw Morydd ab Llywarch Llwyd Brenin Ceredigion.

Oed Crist 831, y daeth Saeson y Mers ar hyd nos yn ddiarwybod, ac a losgasant Fonachdy Senghenydd, ydd oedd hwnnw yn y man y mae y Castell yn awr, ac oddiyno y daethant hyd yngNghastell Treoda ac ai llosgasant: a dianc oddiyno dros For Hafren a llawer ganddynt yn lledrad, lle ydd oedd llw cyngrair y pryd hynny rwng Gwyr Morganwg a Gwent a Saeson y Mers.

Oed Crist 833, y daeth y Paganiaid o Ddenmarc i Loegr, ac a ddifeithiasant lawer o fannau yn yr ynys, ac yn mhen tair blynedd myned i Gymru, ac yn un a'r Cymry ymosod ar y Saeson lle y gorfu 'r Saeson arnynt.

Oed Crist 835, bu farw Cadwallon, yr oedd efe 'n wr pendefig mawr ei barch a'i ddoethineb.

Oed Crist 838, Gwaith Cyfeiliawc lle bu ymladd tra thost rhwng y Cymry a Berthwryd Brenin Mers; ac yno y lladdwyd Merfyn Frych Brenin y Bryttaniaid: ac yn amser Merfyn y gorfu ar y Bryttaniaid ac oedd yn Lloegr yn byw ymroddi yn Saeson neu adael eu Gwlad a'u cartrefoedd ym mhen tri Mis. Yr un flwyddyn y bu waith Fferyllwg rwng Gwy a Hafren lle bu law ucha 'r Cymry.

Oed Crist 840, y bu farw Escob Mynyw, ac y bu ail waith Fferyllwg lle lladdwyd llawer o bob tu, fal nas gallid barnu 'r llaw uchaf nac i'r un na'r llall o honynt.

Oed Crist 843, Rhodri Mawr ab Merfyn Frych a ddechreuwys wladychu ar y Cymry a gorfod ymddifadu ar Bryttaniaid ac oeddynt yn byw yn Lloegr, a myned yn un a'r Saeson a wnaethant hwy. A rhyfel mynych a mawr a fu rwng Rhodri a Berthwryd Brenin Mers. Yr hwn Ferthwryd a fynnwys gynhorthwy gan Ithelwlf ei frawd ac a ddaeth a llu dirfawr i Fôn gan ddiffeithiaw Gwlad y ffordd y cerddynt, fal y gwnai 'r Paganiaid di grèd a bedydd. Myned a wnaeth Rhodri yn eu herbyn a llu dewisawl o'r Cymry gydag ef; ac yn gynhorthwy iddaw y daeth Meuryg ab Hywel Brenin Morganwg a Llu cadarn, a'r Meuryg hwnnw a laddwyd yn y frwydr honno, eithr gyrru ffo ar y Saeson yn y diwedd, gwedi ymladd tost a chreulawn. Ac yna gwnaethpwyd Ithel ab Hywel yn Frenin ar Forganwg a Gwent yn lle ei frawd, ac efe yn myned a Llu cadarn gydag ef i Wynedd yng nghyfnerth Rhodri y gosodasant gwyr Brecheiniawc arnaw ac ai lladdasant yn iawn i Ferthwryd am fil o wartheg yspail a gawsant ganthaw am hynny o alanas, ac o hynny y dechreuwys y ddiarheb Bradwyr Brycheiniawc.

Oed Crist 850, y bu Gwaith Ffinant ac y llas Cyngen ab Cadell Deyrnllwg yn Rhufain gan ei wyr ei hun.

Oed Crist 860, bu Cad Wythen lle lladded llawer o Gymry a Saeson fal nas galled y llaw uchaf nac i'r naill na'r llall o honynt, a'r un flwyddyn y daeth y Paganiaid duon i Dir Gwyr ac a'u gyrrwyd ymaith gyda galanasdra mawr.

Oed Crist 865, y lladded Cynan nawdd nifer, y dewraf a'r ardderchoccaf yn ei ddydd o Ryfelwyr Cymru.

Oed Crist 868, y bu gwaith

Brynnonpen, ac y daeth y Paganiaid duon lawer gwaith yn yr un flwyddyn i Gymru a Lloegr, a chael y gwaethaf y'mhob Gossawd.

Oed Crist 870, y torres y Paganiaid duon Gaer Alclud, ac a ddifethasant Lundain a Gwlad y Mers o'i bronn.

Yr un flwyddyn y bu waith Llangollen a lladdfa fawr yno.

Yn yr un flwyddyn y boddes Gwgan ab Morydd ab Llywarch Llwyd Brenin Ceredigion yn morio dros afon Llychwr yng Ngwyr er gyrru'r Paganiaid duon o'r Wlad honno.

Yn yr un flwyddyn y bu waith Bangor lle y lladdwyd y Saeson wrth y niferoedd a cherrig a dreiglwyd arnynt oddiar y Bryniau, ac ym mhlith y rhai hynny Escob Bangor.

Oed Crist 871, bu farw Einion Fonheddig Escob Mynyw, ac y gwnaethpwyd Hubert Sais yn escob yn ei le ef.

Oed Crist 872, y bu Waith Bangolau ym Môn, lle gorfu Rhodri a'r Cymry ar y Paganiaid duon mewn Brwydr galed: a gwedi hynny yr un flwyddyn Gwaith Manegid ym Môn, lle difethwyd y Paganiaid duon.

*(I'w barhâu.)*

---

## DULL O GYFARCHIAD Y'MHLITH AMRYW GENHEDLOEDD.

Nid oes gan drigolion *Greenland* yr un dull o annerch y naill y llall, a chwarddant pan ddywedir wrthynt bod neb yn uwch ei radd na'r llall.

Y trigolion yn ynysoedd *Philippi*, sydd yn gafaelyd yn llaw neu droed y neb y maent yn ei annerch, ac yn ei rwbio ar draws eu gwyneb.

Trigolion *Lapland* a arferant bwyso eu trwynau yn drwm yn erbyn y sawl a gyfarchant.

Yn *Gini Newydd*, hwy a roddant ddail ar bennau y rhai y maent yn eu hannerch.

Yn y fan a elwir *Straits of the Sound*, cyfodant droed chwith y neb y maent yn ei gyfarch, gan ei groesi ar draws y goes ddehau, ac yna ar draws y gwyneb.

Trigolion *Ethiopia* a gymmerant fantell y rhai y byddont yn eu hannerch, ac a'u cylymant o'u deutu, gan adael eu cyfaill bron yn noeth.

Trigolion *Japan* a dynnant un esgid, a thrigolion *Arracan* eu sandalau, yn yr heol, a'u hosanau yn y tŷ, wrth annerch eu cyfeillion.

Brenhinoedd duon ar làn môr *Affrica* sydd yn cleccian eu canolfys dair gwaith wrth annerch.

Trigolion *Caramania*, pan fyddont yn dangos arwyddion cryfion o'u hoffder, a agorant un o'u gwythenau, a chyflwynant y gwaed i'w cyfeillion i yfed.

Pan gyfarfyddai trigolion *China*, ar ol hir ysgariad oddiwrth eu gilydd, byddent yn syrthio ar eu gliniau, gan blygu eu gwynebau tu a'r ddaear ddwy neu dair o weithiau, gyd âg amryw arferion eraill. Y mae gan y Chineaid hefyd lawer iawn o foes-gyfarchiadau i fyned trwyddynt ar rai achlysuron. A bydd raid i genhadon teyrnasoedd eraill aros ddeugain niwrnod i ddysgu yr holl foes-gyfarchiadau hyn, cyn y gallont ymddangos yn llys yr Ymerawdwr.

Yr annerchiad mwyaf cyffredin ym mhlith y werin yn neheudir *China* yw hyn, "*Ya fan?*" hynny yw, "A fwyttasoch chwi eich *rice* heddyw?"

Yr *Isellmyn*, y rhai a ystyrir fel bwyttâwyr mawr, wrth gyfarch eu gilydd y boreuau, a ddywedant, "*Snaalkelyk eeten;*" hynny yw, "Bydded i chwi chwant da i'ch ciniaw."

Yr annerchiad cyffredin yn *Cairo*, yn yr Aipht, yw, "Pa fodd yr

ydych chwi yn chwysu?" gan fod croen sych a phoeth yn arwydd sicr iddynt o glefyd.

Yn *Otaheite* y maent yn rhwbio eu trwynau yn eu gilydd wrth gyfarch y naill y llall.

Dywed yr ymdeithydd Park, i langces ddyfod atto yn Affrica, gan ddwyn ychydig ddwfr mewn ysten; a chan ostwng ar ei gliniau o'i flaen, dymunodd arno olchi ei ddwylaw ynddo. Wedi iddo wneud hynny, y llangces, â'i llygaid yn gwreichioni gan orfoledd, a yfodd y dwfr: a dywedir mai hyn oedd y prawf eithaf a allai hi ddangos o'i ffyddlondeb tu ag atto.

P.

---

## BYDDARIAID HYNOD.

Yn Rhif. 312 o'r "*Philosophical Transactions*," dywed Mr. Waller am ddyn a'i chwaer, oddeutu 50 oed, yn byw yn yr un dref ag ef, heb glywed dim; ac etto oddiwrth symmudiad y gwefusau deallent bob peth a ddywedid wrthynt, ac a roddent attebion cymmwys i bob gofyniad. Ymddengys eu bod yn medru clywed a siarad pan oeddynt yn blant; ond collasant eu clyw wedi hynny, er iddynt gadw eu parabl; yr hwn, er ei fod yn aflafar, oedd yn lled ddealladwy.

Cyffelyb esiampl a geir mewn merch i'r Parchedig Mr. Goddy, gweinidog Geneva, ac a adroddir gan yr Esgob Burnet. "Pan yr oedd hi oddeutu dwy flwydd oed, gwybuwyd ei bod wedi colli ei chlyw; ac o'r amser hwnnw, er ei bod yn gallu clywed swn trwstfawr, etto nid ydyw hi yn clywed dim a a ddywedir wrthi; ond wrth iddi sylwi yn fanwl ar eneuau a gwefusau eraill, ffurfiodd lawer iawn o eiriau, o ba rai y mae wedi llunio rhyw fath o iaith iddi ei hun, yn yr hon yr ymddiddana trwy 'r dydd â'r rhai sydd yn ei deall hi. Nid ydyw hi yn deall dim a ddywedir wrtbi, os na bydd hi yn gweled symmudiad gwefusau y sawl a fo yn siarad â hi. Un peth rhyfedda o'r cwbl; y mae ganddi chwaer, gyd â'r hon y cymmerodd lawer o boen i ddysgu ei hiaith iddi; a phan fyddant eill dwy yn y gwely yn y nos, wrth roddi ei llaw ar wefusau ei chwaer, hi a ddealla yr hyn a ddywed wrthi, ac felly gallant ymddiddan â'u gilydd yn y nos.

Y mae yn beth i sylwi arno, fod pobl fudion, a rhai pobl eraill trwm eu clyw, yn clywed yn well ac yn haws, os gwneir sŵn uchel pan y bo rhyw un yn siarad â hwynt; oblegid, yn ddiammeu, fod *drwm* y glust ar fwy o estyniad yr amser hwnnw. Y mae y Dr. Waller yn sôn am wraig fud, yr hon os byddai tabwrdd yn cael ei ruo yn yr ystafell, a fedrai glywed pob peth yn eglur; am hynny cyflogodd ei gwr dabyrddwr yn was; fel hynny gallai ymddiddan â'i wraig. Y mae yr un gwr yn sôn am ddyn arall yn byw yn agos i'r clochdy, a fedrai glywed yn dda pan y byddai dwy neu dair o'r clychau yn canu, ond nid un amser arall.

---

## ATTEB I'R HOLIAD YNGHYLCH MONWENTYDD.

*(Rhifyn am Ebrill 1829.)*

Y mae llysoedd barn wedi penderfynu y gellir cadw i fynu lwybrau trwy fonwentydd, lle y byddont tu hwnt i goffadwriaeth dyn, ac yn *hylwyr angenrheidiol*. Pan fyddo y darluniad hwn yn perthyn iddynt, y maent yn gyffelyb i facsydd a thiroedd eraill, lle nis gellir troi ymaith hen lwybr neu ffordd, ymarfer â'r hon sydd anhepgorol i'r lles cyffredin. Ond megis y gellir trwy orchymyn hedd-ynadon ddiddymmu neu droi heibio hen ffordd drwy diroedd cyffredin, pan fyddis wedi agoryd llwybr newydd am-

genach, neu pan fyddo unrhyw achos digonol arall yn cyfiawnhau yr archiad, y mae yn ddilys y gellir cau i fynu lwybr drwy fonwentydd, os nid oes achos anhepgor am dano. Mewn hen amseroedd bu esgeulusdra anweddaidd ynghylch cau i fynu fonwentydd, a gadawyd llwybrau drwyddynt. Ond yn yr oes bresennol, pan y mae y teimladau yn fwy bywiog tu ag at weddeidd-dra mewn pethau crefyddol, barnwyd yn gymmwys mewn llawer iawn o fannau gau i fynu y lleoedd a neillduasid i wasanaeth crefyddol, a chartrefau y meirwon, fel nad ammherchid hwynt gan wag chwareuon, a thramwy-lwybrau diles. Ac yn wir y mae cymmaint cymmwysder yn y newidiad, fel na rwgnachai neb bucheddol o'i herwydd; a'r un pryd nid oes le i ammeu y gellid caffael archiad hedd-ynadon i gau y ffyrdd i fynu, os na phrofid drwy resymmau anorchfygol fod eu parhad *yn hylwyr angenrheidiol.* Lle nid oes cymmaint angenrheidrwydd barnwn yn hollol mai gweddaidd a chanmoladwy yw gwaith y gwarcheidwaid plwyfol yn newid y llwybrau a soniwyd am danynt.

Γ.

---

SYLW AR OFYNIAD A.

SYR—Yn eich Cyhoeddiad am Ionawr, 1829, Rhifyn 77, canfyddais ofyniad o eiddo eich Gohebydd *A.* yn deisyf eglurhâd ar yr ymadroddion hynny a arferir yn dra mynych y'mhlith gwerinos Cymru, "*Proffesu, proffesu crefydd, bod gyda chrefydd, bod yn grefyddwr,*" *&c.* Mae 'n angenrheidiol hyspysu i Mr. *A.* gan nad yw hyspys o arferion a defodau y genedl, fod gan yr amrywiol *sectau* yn y Dywysogaeth gyfarfodydd wythnosol, y rhai a elwir yn gyffredin *seiat,* nid annhebyg i'r *classes* ym mysg yr Arminiaid, a'r Cymdeithasau er dadleu a gynnelir yn Lloegr. Yn awr, wrth *broffesu, bod yn grefyddwr, &c.* y meddylir bod yn aelod o'r cymdeithasau hyn, neu, i lefaru yn iaith y werin, bod yn y *sosciati.* Ym mhellach nid af, gan nad wyf alluog i farnu gyda pha deilyngdod y priodolir y geiriau i'r cyfryw rai; ar yr un pryd, byddai yn hynod o dda gennyf weled rhai o'ch Gohebwyr galluog i'r gorchwyl, yn cymmeryd y matter mewn llaw. Mae proffesu crefydd Crist mewn gwirionedd yn bwngc o anfeidrol ganlyniad; gan hynny, nid dibwys a all fod y gofyniad ym mha beth y mae gwir broffes o hono yn gynnwysedig, neu pa beth sy'n angenrheidiol tu ag at wneuthur proffes ddiffuant o'i enw.—Yr eiddoch &c.

B.

---

GOFYNIAD.

HYBARCH WYLIEDYDD,—Os ydwyt heb fod yn rhy brysur yn dy wyliadwriaeth gyda phethau mwy pwysig, da fyddai gennyf gael dy sylw ar yr hyn a ganlyn:—Yr oeddwn yn ddiweddar yn gwrando ar ŵr parchedig a dysgedig, yn pregethu ar y gair—"Heddyw y byddi gyda mi ym mharadwys."—Dywedodd nad aeth enaid Crist, nac enaid y lleidr, ddim i'r nefoedd oddiar y groes: dywedodd hefyd, nad â eneidiau y cyfiawnion i'r nefoedd, nac eneidiau 'r anghyfiawnion i uffern, pan ymadawant â'r fuchedd hon; a'i fod yn casglu oddiwrth yr ieithoedd gwreiddiol, eu bod yn myned i ryw le mawr, a gagendor i fod rhyngddynt, ac i aros yno hyd ddydd y farn: yna yr â pawb i'w le tragywyddol, y rhai da i'r nef, a'r rhai drwg i uffern. Hyn a barodd ddyryswch y'meddyliau llawer. Cael dy farn di ar y matter a foddlonai fwy nag un

CYMRO.

# BARDDONIAETH.

## COFION BARDDONOL.

Mr. Gwyliedydd,—Os derbyniol genych yr ychydig hyn etto o weddillion cyfansoddiadau ein hynafiaid, dymunaf arnoch roddi iddo ryw gongl yn eich Cyhoeddiad destlus, gan obeithio y gwna Beirdd doniawl yr oes oleu hon fyned heibio i wallau cynghaneddol y cyfansoddiad hwn, a'i dderbyn o ran ei hynafiaeth yn unig.——Ydwyf, yr eiddoch, &c.

J— Ph—.

### ENGLYNION,

*Gweddi o blaid y Trefi y bu 'r pla ynddynt, sef, y Dref Newydd, Llanidloes, a Machynllaith, yn y flwyddyn* 1637.

Duw Tad ein Ceidwad, Ion cadarn--ydwyt,
Oeda dy gyfiawn-farn;
Ger dy fron mewn digllon-farn,
Na ddwg ni fyth i ddygn farn.

Pâr ini d' ofni bob dydd,—a'th gyraedd,
A'th garu 'n dragywydd;
Tro 'n lew ni i fuchedd newydd,
Mewn praff edifeirwch prudd.

Os dy blâg dinag a deni—i'n plith,
A rhoi pläau i'n cospi,
Drwy gynyrch ein drygioni,
Deallus doed d 'w'llys di.

Tair Trefsy'n dioddef diweddiad--chwerw,
Y chwaren ddideimlad,
Yn ddi gêl o'th ymweliad,
Erwin loes, yn yr un wlad.

I'r *Dref Newydd* brudd briw aeth,—llin waedlyd,
A *Llanidloes* helaeth,
*Machynllaith* eilwaith alaeth,
Y sydd yn dwyn cystudd caeth.

Dyma 'r tair un air mae 'n irad—eu ffwyl,
Heb na ffair na marchnad;
Lle mae cwyn ac achwyniad,
Llu oer a gloes llawer gwlad.

Arglwydd Dad yn rhad er anrhydedd,—y groes,
Ac er grym dy fawredd;
Er dy Fab a ro'wd i'w fedd,
Datro gur dod drugaredd.

Maddau i'r rhai'n druain draw waith—eu camwedd,
Cymmod â hwynt eilwaith;
A bydd Feddyg, diddig daith,
A chanllaw i *Fachynllaith.*

Er dy chwŷs di lŷs, er dy loesion—briw,
Ac er brath dy waewffon;
O'th waredd drugareddion,
Iachâ draw, helpa 'r dre' hon.

O dy fodd (yn rhodd lle 'r haeddwn—dwyn gwarth)
Er gwyrthiau dy bassiwn;
Tynn o'n plith ni'th fendithiwn,
Glo haint y ffiaidd-glwy' hwn.

Esmwythâ, treia eu trwch—gaethiwed,
A thywys hwy i'th heddwch,
A galw bridd, lludw, a llwch,
Drud fâr drwy edifeirwch.

Ymwel â hwynt fel yn fwyn—ymwelaist
A miloedd wrth achwyn;
Mam gwraig Pedr hyfedr-fwyn,
A gwas y cadben wiw gwyn.

Gorchymyn, Duw gwyn digyno--doething,
I'th angel orphwyso;
Teilwng genyd, trymfyd tro,
Fwyn gywreindad fo'n gwrando.

It' Ion cu foddion cyfaddef,—llwyr raid,
Lle 'r ydym yn dioddef;
Yn deg wiwdrefn dwg adref,
Ein marchnad a'n trâd i'n tref.

Tynn o'n mysg haint llysg holl asgendadiad,
Trwm 'mweliad trom wialen;
Briw a chur, *fever* brech wen,
Sydd chwiorydd i'r chwaren.

Er briw dy ddwyfron, er braint—da wyrthiau,
Dy werthfawr waed cywraint;
Er gloes dy gref ddioddefaint,
Ysgafnhâ asgen eu haint.

Er dy frad a rhad mawrhydi—Arglwydd,
Erglyw swm fy ngweddi;
Down i'th ras Un Duw a Thri,
A'n casbeth paid a'n cospi.

Cofia nerth drudwerth dy radau—cenfydd
Cynfyd drugareddau;
O t'rewaist haint i'n tristau,
Dan un gwared, Duw, ninnau.

Iachâ, Duw nithia, di'n iaith—goel wiwdeg,
Ein gwledydd ar unwaith;
Tynn dy ddialedd, mwygledd maith,
A chynllwyn o *Fachynllaith.*

Mehefin, 1829.

Y

Gwedi it' ladd ein gladd enwog lain,—dôn mawl,
Y deng mil a'r trugain;
Maddau draw eu modd druain,
Maddau yn rhodd moddion y rhai'n.

Gwared ni, Duw Tri, rhag tri hen—adwyth,
Nodau haint a chwaren;
Hyfedr wyf hy fudr awen,
A mil a ddywed Amen.

JAMES WRITT *a'i cânt, vel Heydest.*

---

## ENGLYNION MEWN MYNWENT.

FEIRWON, Blwyfolion filoedd—mae yr oes,
A'r ymryson bobloedd?
Y gŵyn a'r achwyn mawr oedd,
A siarad Ofersiroedd?

Ai ofer genych fawr gwynion,—a oliam,
A chymaint helbulon?
Och waedd hir y fuchedd hon!
Ai oferedd yw feirwon?

Ai nid yw 'r dreth yn difetha—difrod,
Ofer, esgeulusdra?
Ai 'n deg a chyfrifon da,
Gwir onest pawb geir yna?

Feirwon, dda ddynion ymddiddenwch—mawr,
Yma yw'r dyrysweh!
Och! unwaith pa'm na chwynwch,
O dŷ llawr, aerod y llwch?

Ow! fudion gwaelion, gwelwyd—ar ddynion
Radd unwaith o'ch arswyd;
Y gwr mawr, unawr enwyd,
Y penna' oedd, pa un wyd?

Deuwch yn wŷr diduedd,—mewn bywyd
Ni buoch yw 'r gwiredd;
Rhowch yn awr, rhowch i fawredd,
Y blaen tan faen y tŷn fedd.

Dydi y gwan d'wed y gwir—diduedd,
Dywed heddyw 'n gywir:
Nid y ffol a ganmolir,
Yma 'n hwy, dan y maen hir.

Ai cydradd pob gradd mewn gro—diystyr,
A distaw 'n gorphwyso?
Ai dinerth, didrafferth dro?
Hynod yw pawb yn huno!

Gwagedd oferedd feirwon,—yw 'n terfysg,
Ein twrf a'n hymryson?
Ein gorthrech, a'n hymdrech hon?
Ein cynwrf, a'n hamcanion?

Dedwydd ydych diodid!—heb chwennych
Ychwaneg o ryddid;
Heb gynnen (fall hen) na llid,
Heb gyfoeth heb y gofid!

Cysgwch yn y llwch yn llu,—y bywyd,
Bawaidd hwn a ddarfu;
Ei ddiwerth ymdrafferthu,
Nid yw boen, ennyd y bu.

Minnau a wnaf am ennyd,—wir ddidwyll,
Rwydd adrodd hynt bywyd;
Yna i'r bedd minnau o'r byd,
I'r unfan a ryw ynfyd.

CYNHAIARN.

---

## MYFYRDOD. [8. LLIN. 8.]

PWY rodd i'r haul ei ddysglaer wên?
Pwy wnaeth i'r lloer lewyrchu 'n hwyr?
Pa law fu 'n britho 'r nefol lèn
A sêr dirif fel peli aur?
Pwy sy'n rheoli cwrs y gwynt?
Yn llywio 'r môr gan lanw a thrai?
Yn rhoi i ddydd a nos eu hynt?
A ffals dymhorau olwyn chwai?

All dyn olygu 'r dyben mawr?
A chwyldroi peiriant hardd y nef?
Ac erchi i ganwyllau 'r wawr
Gylch redeg ar y sidyll* gref?
A fedr dyn greu 'r gwelltyn hardd
Sy'n tyfu ar y werddlas wig?
A galw i fod holl flodau 'r ardd?
Creu enaid, gïau, esgyrn, cig?

Duw roddodd fod i'r cread cry',
Cywreiniodd ein daearfyd syw;
Anadlodd ym mhob peth y sy,
Bortreiad hardd o *enaid byw:*
Plygwch i'ch Duw, breswylwyr llawr,
I'w fri rhowch anthem fythol, glir,
Fe luniodd â'i ddeheulaw fawr,
Haul, Lloer, a sêr, a môr, a thir!

Pe rhifem deg belydrau 'r dydd,
Sêr, gwlith, a gwellt, hâd, dail, a rhôs,
Y tywod mân, a'r cyfan sydd
Yn eigion nef a daear dlos;
Er bod eu rhif yn ddirfawr iawn,
Amlach bendithion angau loes;
O'r ffynon goch y tardd dob dawn,
Yn llanw pur o oes i oes!

ROBT. JONES, *Argraphydd.*

---

## "Y DDU FFYNON."

*(Attebiad i'r Englyn ar amlen y* GWYLIEDYDD *am Ebrill.)*

GWYBYDD di WYLIEDYDD tirion.
Mai llawn neithdar yw 'r "*DDU FFYNON*;"
Ac y rhêd o honi ofer,
Sydd yn awr mewn bri gan lawer.

---

* *Y peiriant asurol nodedig hwnw a arddengys yrfaoedd a chylch-lwybrau y llu nefol, sef, yr haul, y planedau, &c.* (Orrery.)

Mae ei dyfroedd mor felusion,
Yn well na gwin i lòni 'r galon;
Nid yn gas fel dyfroedd Mara,
Ond yn hoff fel dwfr Siloa.

Mae ynddi lawnder i ddigoni
Y nifer mawr a ŷf o honi;
Dan fendith Duw boed pob costrelaid
Bach o'i dwr i bechaduriaid.

Gresyn na dda'i 'r dwfr rhinweddawl,
I dy Wylfa hoff yn fisawl;
Mal y gellit ei ddosparthu
I'th gyfeillion i'w diddanu.

Er mor lleied yw 'th anrhegion,
O ddwfr blasus y "*Duw Ffynon*,"
Llai o lawer gai Wyliedydd,
O Lyn Tegid a Geirionydd.

Gair ab Geirion.

---

## SAMSON A'R PHILISTIAID YN NHY DAGON.

Arglwyddi 'r Philistiaid a'ent i Deml Dagon,
I ddiolch am gaffael ymwared o Samson;
Ac yn eu difyrwch rhoent fonllef gyffredin,—
"Anfonwn am dano i beri i ni chwerthin.

"Ein Duw ni a roddes ein gelyn mewn dalfa,
"Trwy weniaith gyfrwysgall yr hawddgar Ddalila;
"Ni gawsom o'r diwedd y gormesdeyrn creulon,
"Yn rhwym yn y gadwyn, O! diolch i Dagon!"

Ei wallt oll a eilliwyd yn llwyr pan yr hunai,
Ac erbyn dihuno ei nerth a ddiflanai;
Hwynt hwy a'i daliasent, ac yn eu cynddaredd,
Gauasent i fynu ffenestri ei annedd.

Yr ydoedd tra cadwodd ei ben heb ei eillio,
Yn drech na'r *Philistiaid*, a'i nerth heb ddiffygio;
Ond pan y troseddodd orchymyn *Jehofa*,
Ei nerth aeth yn wendid ar liniau *Dalila*.

Crochfloeddient—"Ni gawsom ein gelyn i'n dwylo,
"Er maint oedd ei gryfder, er maint wnai ddinystrio;
"Prysurwch, gosodwch ef rhwng y colofnau,
"Mal gallwn ni weled pa fath yw ei gampau."

Y gwr gariodd ddrysau porth *Gaza* i *Hebron*,
Yn ddinerth yn ngharchar tan ŵg ei elynion;
Ië, hwnnw a laddodd y mil â gên asyn,
Yn cym'ryd ei dywys gan eiddil fachgenyn.

Ei ddwyn o'r carchardy i'w osod yn watwor,
Heb feddwl mai Duw oedd ei nerth ac ei flaenor;
Hwy nid ystyrient fod ei wallt er ei dòri,
Mal cynt wedi tyfu i'w gyflawn faintioli.

Yno yr hen wron ddaeth rhwng y pileri,
Heb weled o'i amgylch un dim ond tywyllni;
Na chanfod ystumiau y dyrfa foethus-bryd,
Ond clywai! ond clywai! eu llefain gwatworllyd.

Cynnullai gryn deir-mil ar nen Temyl Dagon,
Yn wyr ac yn wragedd, i edrych ar Samson;
Ei dywys o gwmpas, a'i wawdio 'n ddirmygus,
A'u llefau ddirdynai ei enaid yn boenus.

Ac yno dyrchafodd ei lef at yr Arglwydd,
Am gael ei gynnorthwy i ddial y gw'radwydd;
A thalu yn driphlyg y pwyth i'r Philistiaid,
Y rhai hyny 'n greulon dynnasent ei lygaid.

Ac yn y cyfyngder griddfanodd ei enaid,—
" Bydded farw fy einioes ym mhlith y Philistiaid;
" Dod imi 'th gynnorthwy, O! Arglwydd Goruchaf,
" Mal arnynt dialwyf yn awr y tro olaf."

Ac wrth y bachgenyn yr hwn a'i harweiniodd,
Pan yn y caledi yn ddystaw dywedodd—
" O! gad imi orphwys o'm lludded a'm helynt,
" Ar y colofnau mae 'r tŷ 'n sefyll arnynt."

Ac ynddynt ymaflodd, ymgrymodd â'i egni,
Ac ebrwydd y siglodd y mawrion bileri;
Dymchwelodd y Demyl, a'i chwymp fu aruthrol,
Ucheldrwst disymmwth fal taran arswydol.

Meddyliaf y clywaf yr athrist riddfanau,
A'r Och! annymunol yn cwrddyd fy nghlustiau;
Meddyliaf y gwelaf y dinystr a'r cyffro!
Y llu 'n archolledig, a'u gwaed yn pistyllio!

Ah! nen Temyl Dagon ymrwygodd yn yfflon,
Ac 'r dorf bendramwnwgl i lawr yn ysgyrion;
A'r gwyr gorfonheddig ferthyrwyd yn ebrwydd,
Gan ddyrnod grymusawl cadarnwas yr Arglwydd.

Efallai y glynai y baban anwylgu,
Wrth fron ei fam dyner, a hithau yn trengu;
Yn ofer disgwyliai wrth y fron am gynhaliaeth,
Yn ofer y llechai yn nghesail ei fammaeth.

Arglwyddi 'r Philistiaid pan yn eu llawenydd,
Yn ngafael yr angau heb fynyd o rybydd;
Yno yn blith draphlith y gwerin a'r pennaeth,
A wnaethpwyd yn sicr yn nghyffion marwolaeth.

Y chwerthin a'r bloddest derfynodd mewn mynyd,
Ac 'r grechwen ysmala yn wae fwhwmanllyd;
Y dorf uchelfrydig ymwingent yn nistryw,
Heb un yn diengyd, a Dagon yn chwilfriw.

Y galon ddychlamawl a beidiodd a churo,
Y bochau rhôs cochion eu gwrid chwap yn gwywo,
Y llygaid edrychent ar Samson yn chwarau,
Byth mwyach gan ffedod ni syfl eu hamrantau.

A thafod siaradus y mwyaf gwatwarllyd,
Yn rhwym yn y genau heb allu ymsymud;
A'r corph a oblygai i ddiolch i Dagon,
Yn farwol a gwyrgam ym mysg yr adfeilion.

A'r hoff Nazaread, y gwron cadarn-gryf,
A laddai 'r Philistiaid heb biccell na chleddyf,
A laddwyd ei hunan ar gwymp Temyl Dagon,
Heb gymmaint a dyrnod gan un o'i elynion.

Ei frodyr, ei geraint, a'i anwyl gyfeillion,
O blith y Philistiaid gymmerent gorph *Samson*;
A hwy a'i claddasant rhwng *Sora* ac *Estäol*,
Ym meddrod *Manoa* ei dad yn barchusol.

Ac felly terfynodd ei yrfa filwrus,
Ac ar ei elynion yn fuddugoliaethus:
Ei fywyd o'i ddechreu i'w ddiwedd oedd gysgod
O Grist yr Iachawdwr ym mhob peth ond pechod.

T. E. *Caledfryn.*

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Y TYRCIAID A'R RWSSIAID.

SYLWYD yn fynych fod rhifedi y milwyr gan bleidiau rhyfelgar yn fwy ar bapur nag a ddygir i'r maes; felly yr oedd yn rhyfel Gwerin-lywodraeth Ffraingc, ac felly y mae yn y rhyfel presennol rhwng y Tyrciaid a'r Rwssiaid. Gallesid meddwl oddiwrth yr aneirif luoedd o Rwssiaid ag oedd, yn ol y Newyddiaduron, yn cyrchu yn erbyn Twrci, y buasent yn ei llyngcu i fynu cyn hyn er cymmaint ydyw. Ond nid oes, yn ol yr hanesion diweddaf, ond rhyw fân frwydrau wedi cymmeryd lle, heb fawr o ganlyniadau tra niweidiol i un o'r ddwy blaid. Ac y mae'n gofyn bod yn ochelgar i goelio pob hanes a glywir, gan fod yn hyspys, bron i bawb, fod hanesion celwyddog yn cael ei ffug-lunio er mwyn codi neu ostwng trosglwydd-drysor y gwledydd *(funds)*. Cyffelyb i hyn, tybygid, oedd y newydd a ymddangosodd yn Newyddiadur Nuremberg, yn Germani, o'r 25ain o Fai, yn hyspysu fod y Tyrciaid wedi cymmeryd Varna yn ol oddiar y Rwssiaid, ar ol brwydr a ymladdwyd gyda ffyrnigrwydd anghydmarol. Ond gan nad oes dim cadarnhâd iddo o un man arall, bernir mai ffug-chwedl ydoedd, a luniwyd, tybygid, am ryw gau ddibenion. Y mae'n debygol fod gwell sail i gredu yr hanes am frwydr rhwng y ddwy blaid a ymladdwyd gerllaw Silistria, ar y Danube, ym mlia un, yn ol llythyrau o Vienna, o'r 23ain o Fai, y collodd y Rwssiaid, yn lladdedig a chlwyfedig, 3,000 o wyr; ym mhlith pa rai yr oedd amryw o swyddogion milwraidd, ac nid oedd y frwydr i'w hystyried yn fawr lai na buddugoliaeth o ochr y Tyrciaid, gan eu bod wedi llwyddo, tra parhaodd poethder y frwydr, i daflu angenrheidiau i Silistria, ynghyd â 1,500 o wartheg corniog at wasanaeth y gwarchawdlu. O'r ochr arall, y mae Newyddiadur y llywodraeth yn Berlin yn rhoi y fuddugoliaeth i'r Rwssiaid, gan ei bod yn anadlu o'u plaid, fel y mae yr eiddo Vienna o blaid y Tyrciaid. Pa fodd bynnag, fe ymddengys nad yw y Rwssiaid yn debygol o gymmeryd Silistria heb fawr ymdrech, gan fod y Tyrciaid yn ymladd gyda gradd anarferol o wallgofrwydd a gorphwylldra crefyddol a gynhyrfir gan yr offeiriaid Mahometanaidd, y rhai sydd yn myned gyda hwynt i'r frwydr dan ganu emynau o fawl i Mahomet, a'r enwogion o'i ganlynwyr yn yr oesoedd a aeth heibio.

Y mae'r Tyrciaid, yn yr amgylchiadau presennol, wedi llaesu yn eu gwrthwynebrwydd i Iuddewon a Christionogion, ac y maent yn mwynhau mwy o lonyddwch a thawelwch yn Nghaer Cystenyn a'r taleithiau nag y buont.

Y mae'r Sultan, neu yr Ymerawdwr, yn rhoi siampl o ymlyniad diysgog wrth y grefydd Fahometanaidd, gan fyned yn ddyfal i'r addoliad cyhoeddus bob dydd Gwener, yr hwn yw dydd Sabbath y Mahometaniaid, fel y mae dydd Sadwrn i'r Iuddewon.

Dywedwyd ychydig yn ol y byddai yn rhaid i'r Rwssiaid godi gwarchae y Dardanelles o herwydd cwyn Lloegr a Ffraingc am y rhwystr ag oedd yn beri i'w masnach; ond nid yw yn ymddangos fod hynny wedi cymmeryd lle etto. Pa fodd bynnag, nid yw hyd yn hyn wedi bod yn effeithiol i atteb y diben, gan fod, yn ol pob hanes diweddar, helaethrwydd o bob angenrheidiau bywyd yn Nghaer Cystenyn.

Llofruddiwyd Cenadwr Rwssia ar ei ffordd i Persia yn ddiweddar, ac yr ydys yn tybio y gweithreda yr alanas honno er lles i'r Tyrciaid, trwy alw sylw llywodraeth Rwssia i ddial y sarhâd ar y Persiaid.

---

## FFRAINGC.

Y MAE hanesion cysurus wedi cyrhaedd attom o'r wlad hon am gynnydd Protestaniaeth, yr hyn nid yw ein terfynau cynnwys yn caniattau i ni adrodd yn bresennol. Y mae Mr. Gobat, Cennadwr yn perthyn i Gymdeithas Genhadol yr Eglwys, yn ysgrifennu o Alexandria, yn yr Aipht, ac yn hyspysu fod yno saith o wyr dysgedig wedi cael eu hanfon yno gan lywodraeth Ffraingc, i'r diben o adysgrifennu ac eglurhau yr arwydd-luniau *(hieroglyphicks)* sydd etto i'w gweled yn adfeiliau yr hen demlau a mannau eraill. Y pennaf o honynt yw yr enwog Champolion, yr hwn sydd yn medru eu darllen mor rwydd ag iaith ei wlad, ac y mae'n dywedyd ei fod wedi cael allan, trwy yr arwydd-luniau, y cwbl ag y mae'r Bibl yn adrodd am yr Aipht. Rhydd hyn ergyd dwys i anghredinwyr dysgedig Ewrop. Dywedodd M. Champolion, mewn ymddiddan â Mr. Gobat, "fod teimlad crefyddol dwys ar gynnydd ym mhlith goreuon Paris, ac yn gyffredin yn Ffraingc, a fyddai yn sicr o arwain at ganlyniadau pwysig, ac y byddai raid i ddiwygiad trwyadl gymmeryd lle yn yr eglwys Babaidd, neu i Ffraingc i gyd fod yn Brotestaniaid. Y mae eisiau y Bibl ar y bobl!"

## YR IWERDDON.

Y MAE Cymdeithas wedi cael ei sefydlu yn ddiweddar yn Dulyn, i'r diben o ddarparu i bob teulu Pabaidd tlawd yn yr Iwerddon lyfrgell o lyfrau crefyddol, ac ar destynau buddiol eraill. Y mae pedwar o arch-esgobion, 26 o esgobion, a rhifedi mawr o offeiriaid Pabaidd, eisoes wedi ymuno â hi. Yr ydys yn gobeithio y galluogir hi i ddosparthu trwy y wlad gan mil o lyfrau crefyddol cyn pen y tri mis nesaf, ac y bydd yr un haelioni yn cael ei barhau i alluogi y Gymdeithas i ddosparthu yr un rhifedi bob chwarter rhag llaw. Ac yn Lloegr hefyd y mae pregeth ar "Ffydd, Gobaith, a Chariad" (ym mha un y mae Pabyddiaeth wedi cael ei gosod allan yn y lliwiau mwyaf dengar) wedi cael ei thaenu yn helaeth. Y mae hyn yn dangos yn eglur fod corph y Pabyddion yn dechreu ofni am eu Dagon, ac yn wir nid heb achos, gan fod gwawr goleuni yr efengyl yn ymdaenu i raddau helaeth yn yr Iwerddon, trwy lafur yr amrywiol Gymdeithasau ag sydd, er's blynyddau, wedi bod yn ymdrechu i oleuo y wlad dywyll honno gyda llwyddiant cynnyddol, fel yr ymddengys oddiwrth yr Adroddiadau a'r areithiau a wnawd yn y mis diweddaf yn Llundain.

---

Y SENEDD.—Yn Nhŷ y Cyffredin barnwyd fod Mr. O'Connell yn annerbyniadwy i gael eisteddfa yn y Tŷ hwnnw, oblegid na chymmerai efe y llw arferol o'i gymmeryd ar yr achos, sef, yr "Addefiad o Oruchafiaeth ein Brenhin," yr hwn a elwir "*The Oath of Supremacy*." Etholwyd Mr. O'Connell yn gynddrychiolwr dros Swydd Clare, yn yr Iwerddon, cyn i'r ysgrif i rydd-freinio y Pabyddion gymmeryd lle; am hynny yr oedd yn ofynol iddo gymmeryd y llw hwnnw, yn lle yr un a osodwyd gan y gyfraith i Babyddion i'w gymmeryd yn ol y weithred ddiweddar (gwel ein Rhifyn am Mawrth diweddaf). Aeth Mr. O'Connell yn ol i'r Iwerddon i gael ei ail ethol; ond y mae rhai yn ammeu y llwydda efe yn ei ymdrech, o herwydd y gyfraith newydd mewn perthynas i'r rhyddfraint ddewisol (*Elective franchise*) sef, nad oes i un uchelwr gael pleidlais yn etholiad cynddrychiolwyr i'r Senedd ag sydd yn perchen tir o lai gwerth na deg punt yn y flwyddyn. Os bydd iddo gael ei ail ethol, ni bydd dim rhwystr yn ei ffordd i gymmeryd ei eisteddle yn Senedd Brydain.

Cafodd y cynnygiad arferol yn y Senedd, o ganiattau y swm flynyddol o £8,928, tu ag at gynnal Coleg Maynooth, yn yr Iwerddon, er dwyn i fynu offeiriaid Pabaidd, ei wrthwynebu gan amrai o'r aelodau; ond llawer lluosoccach oedd y nifer o'i blaid. Yr ydym o'r farn mai madws yw i'r llywodraeth chwilio ychydig i mewn i'r maithle hwnnw o fradwriaeth ac eilunaddoliaeth, yr hwn a ddarfu i ni, er's cyhyd o amser bellach, mor bechadurus ac ynfyd ei gynnal.

Cafodd yr ysgrif a ddygwyd ger bron y Senedd, dan yr enw, "Ysgrif i wneuthur yn gyfreithlon werthiant cyrph y tlodion amddifaid," ei gwrthod yn Nhŷ yr Arglwyddi. Y mae yr archiad a ddanfonwyd i'r Senedd yn erbyn yr ysgrif, gan aelodau Coleg Frenhinol y Llaw-feddygon, yn ddigon i ddangos i bawb, nad oedd diben yr ysgrif ddim amgen nag i wasanaethu er lles y rhai ag oedd yn meddwl gwneuthur masnach ennillfawr wrth werthu cyrph eu cyd-greaduriaid, er iddi gael ei ffug-lunio megis er hwylusdod a rhwyddineb dysgeidiaeth ym mhlith ysgolheigion ac astudwyr ein hysgolion difyniadawl (*anatomical schools*). Dywedodd yr Iarll Malmesbury yn wresog yn ei herbyn, gan ei galw hi yn "ysgrif arswydus i ddynoliaeth, ac yn groes i gyfiawnder." Gosodir allan, yn yr archiad yn erbyn yr ysgrif, amryw orchymynion allan o'r ysgrythyrau mewn perthynas i gladdu y meirw; ac y mae yn myned ym mlaen, ac yn dywedyd—"Os caniatteir i gyrph y tlodion gael eu gwerthu, a'u torri i fynu yn ddarnau, heb wneuthur dim niwed i'n ffydd, ein gobaith, a'n teimladau crefyddol—os diangenrhaid yw gwasanaeth claddedigaeth y marw ar y cyfryw bobl dlodion—ac os dywedir felly i'r cyffredin, amlwg yw, na byddant yn hir cyn barnu o honynt nad ydyw gwasanaeth y claddu yn angenrheidiol i neb pwy bynnag; ac ym mhen ychydig, barnant fod y rhannau eraill o wasanaeth yr eglwys yn hollol ddiangenrhaid; o herwydd, fel y mae eich eirchiaid yn tybio, nid oes dim sail i gredu am yr angenrheidrwydd o un ffurf neu ddefod mwy nag am y llall, ac felly, o ganlyniad, os gellir hebgor gwasanaeth y claddu, gellir hebgor hefyd y ddefod o fedydd, conffirmasiwn, priodi, a sacrament Swpper yr Arglwydd."

---

*Damwain.*—Dydd Gwener y 29ain o'r mis diweddaf, aeth y Gwir Anrhydeddus Henry Leeson, brawd i'r Iarll Miltown, gyd â'i frawd, a boneddigion eraill, ar lyn Belvidere, yn agos i Mullingar, i bysgotta, ac wrth iddo droi yn lled sydyn, dymchwelodd y cwch bychan yr oeddynt ynddo, a thaflwyd ef, a dau eraill o'i gymdeithion, i'r llyn. Achubwyd ei gymdeithion trwy eu gwaith yn glynu wrth y cwch; ond soddodd Mr. Leeson i'r gwaelod, byth i gyfodi mwyach yn fyw. Nid oedd ond 27 mlwydd oed.

*Yr Hin.*—Dywedir mewn Newyddiadur o'r Alban, na welwyd yn y wlad honno erioed bron olwg mwy hyfryd a gobeithiol ar y cnydau yn niwedd mis Mai nag sydd i'w weled yn bresennol. Y mae hyn, wrth ei gymharu â'r wlad hon, yn dangos cyferbyniad tra gwahanol, lle nid oes neb braidd yn cofio erioed weled gwanwyn mwy diweddar. Y sychder sydd wedi bod er's llawer o wythnosau a gadwodd yn ol hydyfiant y meusydd a'r gerddi, fel nad ydyw ein dolydd a'n dyffrynoedd yn gwisgo eu gwyrddlesni arferol ar yr amser yma o'r flwyddyn. Yr ydys yn ofni hefyd y bydd ein gweirgloddiau yn brinion o roddi eu cnydau; ac ni bydd yr ydau fawr gwell; os na bydd i'r Hwn sydd â chostrelau y nefoedd wrth ei orchymyn, beri i gafodydd helaeth o wlaw ddisgyn yn fuan ar ein daear.——Yr ydym yn canfod hefyd yn Newyddiaduron yr Amerig, fod y gwanwyn yn y wlad honno yn anarferol o ddiweddar. Dywed Newyddiadur o Gaerefrog Newydd, o'r 1af o Fai, fod hydyfiant y tymmor o leiaf fis yn ddiweddarach eleni.

---

*Hunan-leiddiad alaethus.*—Gwraig i saer priddfeini o'r enw Horton, yr hwn oedd yn byw yn Nghaermangon (*Manchester*) a roddodd derfyn i'w heinioes, ychydig ddyddiau yn ol, tan yr amgylchiadau mwyaf gofidus. Bu dros ryw yspaid o amser yn teimlo poenau esgor; ond gan nad oedd ei chymmydogesau yn disgwyl y genid y plentyn am oriau, hwy droisant eu cefnau dros ychydig. Pan ddychwelasant, cawsant y wraig druan yn gorwedd yn ei gwaed ar y llawr, a'i gwddf wedi ei dorri trwodd, a'r ellyn yn gorwedd yn ei hymyl. Ymddengys ei bod ychydig o'r blaen yn lled isel ei hysprydoedd, a phan y ceisiai ei chymmydogesau ei chefnogi, dywedai wrthynt, ei bod yn gwybod o'r goreu na ddeuai hi byth trwy yr amgylchiad ag oedd o'i blaen hi.

---

Meddiannwyd meddwl y cyffredin yn ddiweddar gan adfydus a dyryslyd gyflwr y parthau hynny o'r deyrnas lle y mae'r gweithfaoedd gwlân, cotwm, a sidan, yn cael eu carrio ym mlaen, o herwydd y marweidd-dra sydd wedi cymmeryd lle yn y masnach o'r nwyddau hynny. Y mae ystordai y marsiandwyr yn llawn, ac, yn ganlynol, gorfu arnynt ostwng yn eu prisiau, ac felly analluogwyd hwynt i roddi yr un cyflog i'w gweithwyr ag o'r blaen; ac, yn ddifatter iawn, am roddi iddynt ddim gwaith ar unrhyw gyflog. Mewn canlyniad i hyn, bu gwasgfa a chaledi mawr ym mhlith y gweithwyr. Llawer o deuluoedd a ddioddefasant newyn i raddau mawr iawn. Ymgasglodd lliaws o weithwyr mewn rhai mannau at eu gilydd, a chawsant eu cam arwain i wneuthur terfysg a chythrwfl, yr hyn, o anenrhaid, oedd yn chwanegu eu cyfyngder a'u trueni. Yn Rochdale, fel y soniwyd yn ein Rhifyn am y mis diweddaf, gwnawd ymgais gan y terfysglu i ryddhau rhyw garcharorion o gadwraeth y milwyr, a chollwyd o fywydau a fu y canlyniad. Cafodd chwech o bersonau, dau o ba rai oeddynt yn hollol ddieuog, eu lladd trwy daniad y milwyr. Oddiwrth yr hanes diweddaraf, yr ydys yn deall fod y cythrwfl yn awr wedi ei ostegu i raddau mawr iawn, a gobeithir y bydd i dawelwch a gweithgarwch lywodraethu yn y parthau lle bu terfysg ac ymryson yn porthraw ac arswyd yn mynwesau llawer.

---

*Rhybydd i Rieni.*—Ychydig ddyddiau yn ol, syrthiodd bachgen bychan, oddeutu tair blwydd a hanner oed, trwy ffenestr, tair uchder llofft, ac a laddwyd yn y fan. Gadawsid y bachgen hwn gan ei rieni i chwareu gyd â'i frawd bychan, iau nag ef, mewn ystafell, ffenestr yr hon, yn dra esgeulus, a adawsid yn agored. Bu rhaithchwiliad ar yr achos, a barn y rheithwyr oedd, "angau damweiniol."

---

*Treth Cwrw.*—Swm arian y dreth ar gwrw, brâg, a phensag (*hops*) y flwyddyn ddiweddaf oedd oddeutu saith miliwn o bunnau! Y rhan fwyaf o lawer o'r swm hwn sydd yn disgyn, yn fwyaf uniongyrchol, ar y cyffredin, sef ar weithwyr a llafurwyr; gan ei fod yn ymddangos oddiwrth y cyfrifon a osodwyd allan gan y Senedd, fod mesur y brâg a wnawd y llynedd o fewn y deyrnas hon yn 29,617,207 o lestri (*bushels*). O'r mesur hwn cafodd 22,566,634 o lestri eu treulio gan ddarllawyr a thafarnwyr, a dim ond 7,051,207 at achosion eraill.

---

*Ysgerbwd Corder.*—Dywedir fod esgyrn y llofrudd hwn (gwel ein Rhifyn am Mai, 1828) wedi cael eu dodi at eu gilydd, a bod yr ysgerbwd yn cael ei gadw yn Yspytty Cyffredinol Suffolk. Cafodd darn mawr o'i groen ei gyffeithio, ac y mae gwr boneddig ag sydd yn perthyn i'r Yspytty, yn bwriadu cael hanes bywyd y llofrudd, a'i holiad, wedi ei rwymo ynddo. Y mae calon y llofrudd yn cael ei chadw mewn gwirodau (*spirits*).

---

*Er diogelwch Masnach.*—Danfonwyd yn ddiweddar gylch-lythyr at holl arianwyr (*Bankers*) Lloegr, i'w cynghori hwynt, er ychwaneg o ddiogelwch i fasnach, i fynnu

ar bolythyr cyfnewid (*bill of exchange*) nid ynig *enw* y tynwr (*drawer*) a'r cefn-ysgrifwr (*endorser*) ond hefyd ei *alwedigaeth, lle ei breswylfod*, a hynny i fod yn yr *un llaw-ysgrifen* a'r enw.

---

*Dial trwy Hunan-laddiad.*—Gwr, mewn gh o oedran, o'r enw Coy, yn byw yn os i Helpringham, gerllaw Boston, yr un hefyd oedd wedi dyfod i bwyso ar plwyf, er's ychydig o amser yn ol, a dybid fod y swyddogion plwyfol yn ymddwyn yn galed tu ag atto, a gofleidiodd lychymmyg tra chyfeiliornus a ffol, os llawnir y weithred o hunanladdiad tumewn i Eglwys, y byddai yn rhaid i'r adeilad honno gael ei chau i fynu dros yspaid dydd a blwyddyn. Efe a haerodd ynghoeddus y gwnai efe yn sicr ddial ei gam ar yr awdurdodau plwyfol, trwy ei waith yn ymgrogi tu mewn i'r eglwys, er mwyn iddi gael ei chau i fynu. Yn ganlynol i'w fwriad, dewisodd nifer o ddynion i gario ei gorph, ac a dalodd i eilliwr am eillio cyn ei gladdu. I'r diben i rwystro y dyn gorphwyllus hwn yn ei amcan, gorchymynodd gweinidog y plwyf i byrth a drysau yr eglwys gael eu cau i fynu yn dra gofalus bob tro. Ond nid oedd y dyn am gael ei siommi; canys un noswaith, dringodd dros byrth yr eglwys, ac a grogodd ei hun yn y porth, lle y cafwyd ef boreu dranoeth yn gorphyn oer. Cynnaliwyd chwil-ymofyniad arno, a'r rheithfarn o hunan-leiddiad bwriadol a gyhoeddwyd ar yr achos, a chladdwyd ef rhwng naw a deg o'r gloch y nos, fel y mae 'r gyfraith yn gorchymyn ar y fath farwolaeth, heb ddarllen dim o wasanaeth y claddedigaeth ar yr achos.

---

*Gwirionedd nodedig.*—Yr hyn a ganlyn, er mor hynod y mae'n ymddangos, a ddigwyddodd ychydig yn ol, mewn tyddyn yn agos i Newbury, Swydd Berks. Oddeutu pedwar mis yn ol, bwriodd caseg ei llwdn, ac ni feddyliodd ei pherchenog, na neb, fod ganddi un arall. Ond ar ddydd Sul, y 24ain o'r mis diweddaf, er syndod i bawb, hi a ddaeth ag un arall, yn berffaith yn ei holl rannau, ac yn debyg i fyw a chynnyddu.

---

Papuryn lled hynod a osodwyd i fynu ar rai o'r gwaliau yn ninas Caer Baddon (*Bath*) yn ddiweddar, sef i'r perwyl canlynol.—"At yr Iuddewon oll:—Newyddion da.—Daeth y Messiah!—Darllenwch y 10fed adnod o'r 49 pennod o Lyfr Genesis." Wedi hynny y mae amryw o eiriau yn yr iaith Hebraeg mewn llythyrenau breision yn canlyn.

---

Ychydig ddyddiau yn ol, daeth llong a elwir *Sarah* i mewn i longborth St. Katherine, Llundain, o Sincapore, yn yr India Ddwyreiniol â llwyth o werth 250,000 o bunnau! a gellir chwanegu gwerth y llong ei hun yn 20,000 o bunnau! Dywedir mai hwn yw y llwyth mwyaf gwerthfawr o ran arian a ddaeth erioed i un llongborth yn Ewrop.

---

Daliwyd, mewn gleisiadeg, ysgadenyn, neu benweigyn, yn y fan lle mae yr afonydd Tay ac Earne, yn yr Alban, yn cyfarfod, yr hwn a bwysodd o fewn ychydig i saith bwys.——O'r Newyddiadur a elwir y *Perth Courier*.

---

Ychydig ddyddiau yn ol saethwyd brândyddyn gan Mr. Legh, yn Lyme Park, yr hon sydd yn hollol wen. Y mae i gael ei thyn-lenwi (*stuffed*) a'i rhoddi mewn *ffram*, a'i chadw, ynghyd âg un arall, o liw hufen, a laddwyd yn yr un Park.

---

Cynnygiodd yr Arglwydd Vernon wobr i'w ddeiliaid am y cnwd goreu o ŷd India, o'u magwraeth eu hunain.

---

Cafodd un Mary Ransom ei thraddodi i garchar *Lincolns* am lofruddio ei phlentyn, yr hwn oedd yn fastardd. Dywedir ei bod yn fwy na 40 mlwydd oed.

---

Y mae gan wr o'r enw Thomas Chamberlain, yr hwn sydd yn byw yn agos i *Norwich*, hwch, yr hon a ddaeth a dim llai na 112 o berchyll mewn pump o dorllwythi!

---

Dywedir na fwynhaodd ein Brenin tirion well iechyd nag yn bresennol er's dros yspaid o ddeuddeng mlynedd.

---

Nifer y carcharorion yn amrywiol garcharau yr Iwerddon, o'r flwyddyn 1822 i 1828, oeddynt 112,898, o ba rai y dienyddiwyd 332!

---

Dydd Llun, yr wythfed o'r mis hwn, esgorodd gwraig i lafurwr, yn byw yn Nhre Rhiwaedog, gerllaw y Bala, ar dair o enethod, y rhai, ynghyd â'u mam, sydd yn fyw ac yn iach.

# Y GWYLIEDYDD.

## MAWRTH, 1830.

### YMDDIDDAN RHWNG DINASYDD A'R GWYLIEDYDD.

*Ar ei ail ymddangosiad ar Fore Dydd Gwyl Dewi, sef Mawrth 1af, B. A.* 1830.

DINASYDD.

CROESAW adref, Wyliedydd hybarch, y mae yn dda genyf dy weled unwaith etto yn dy le priodol ar y bore nodedig hwn!

GWYLIEDYDD.

Diolch it', Ddinasydd, am fy nghyfarch mor garedig.

DIN.—Pwy na'th gyfarchai yn llawen? am danaf fy hun, gallaf ddywedyd, fy mod yn hiraethu am dy weled, o herwydd fy mod yn wastad yn cyfrif dy warcheidwad yn llesol iawn i'r lle.

GWYL.—Da, yn wir, genyf dy glywed yn dywedyd hyn, oblegid ni wyddwn pa fath dderbyniad a gafwn yn eich plith ar fy ail ddyfodiad.

DIN.—Er dy ymadawiad gwelsom yr angenrheidrwydd o Wyliedydd i'n dinas; ac yr wyf o'r farn y byddi o hyn allan yn fwy derbyniol genym nag o'r blaen.

GWYL.—"Amen, fy nghyfaill, boed felly y bo."

DIN.—Gan, ynte, ein bod wedi ymgyfarfod ar ammodau mor heddychlon, dyro im' ryw gyfrif o honot dy hun—paham yr ymadewaist â nyni mor ddisymmwth? pa le y buost? a pha beth a fuaist yn ei wneuthur?

GWYL.—Rhoddaf atteb it' yn ewyllysgar, ïe, yn wir, y mae yn dda genyf gael y cyfleusdra hwn i gyfiawnhau fy hun; oblegid yr oedd llaweroedd, yn ddiammau, yn barod i feio arnaf am gymmeryd fy nghennad oddi wrthych (fel y dywedwn) mor ddisymmwth, a gadael y ddinas a'i thrigolion yn ddiwarchod!

DIN.—Rhaid addef bod rhai yn gogann yn dy erbyn—nad ymddygaist yn hardd tu ag attynt. Ond yn awr gad im' glywed dy hanes—pa le y buaist?

GWYL.—Mewn byr eiriau, bu'm yn cysgu am ryw ennyd, fel y caffai fy aelodau, y rhai oedd yn llesgâu, eu cynnefin nerth drachefn.

DIN.—Llesgâu! a ydwyt ti yn sôn am lesgedd, a thithau yn Wyliedydd!

GWYL.—Pa fodd na lesgâwn? A ddichon unrhyw greadur barhau yn ei gyflawn nerth, ac yntau heb ymborth?

DIN.—Ymborth! A gyfeiri di yr ymadrodd attom ni? a defli di wrth hyn y cyhuddiad yn ein gwynebau ni, na roisom ymborth it'?

GWYL.—Gwnaf, yn ddiofn. Er nad oedd fy ngwasanaeth unrhyw elw im' fy hun—er nad oedd fy ymgais a'm bwriad ond sicrhau eich diogelwch chwi yn unig, ac er na cheisiais fawr dâl am fy holl drafferth, etto, gwedi fy holl ofal a'm

lludded, blinasoch o'r diwedd roddi ychydig luniaeth i'm cadw yn fyw!

DIN.—Ow, Ow! Wyliedydd anwyl, pa le mae 'r dyn na addefai dy wasanaeth? pwy ydyw 'r costogyn anniolchgar na roddai it' addas daledigaeth am dy wasanaeth, a phob cefnogiad it' yn dy orchwyl clodwiw?

GWYL.—"Tydi yw y gwr!!

DIN.—Myfi!! Gad im' edrych i mewn i fy "adgofion"—mi welaf, wrth fy nghofrestr, fod dy gyhuddiad yn gywir! ac yr wyf yn rhoddi it' fy ngair, y danfonaf o dro i dro rywfaint o seigiau i ti (er gwaeled y bo) i'th gefnogi o hyn allan. Ond, dywed, pa fodd y mae dy fod yn edrych cystal, a'th aelodau mor heini? A wyliaist ti dros ryw ddinasyddion eraill yn y cyfamser, y rhai a'th wobrwyent am dy wasanaeth yn well na nyni?

GWYL.—Dinasoedd eraill nid rhaid iddynt wrth fy ngwasanaeth; oblegid effro a gwyliadwrus oeddynt i gyd! ond fy ninas fy hun (dros yr hon y gwyliais gynt, megis y gwyliai tad dros ei blentyn a fo'n cysgu) a'm diystyrodd! ac o herwydd anniolchgarwch ei thrigolion, gorfu i mi ymadael â hi dros ennyd, er mwyn dangos iddi ei thlodi, ei noethni, a'i pherygl!

DIN.—Yr wyt yn dywedyd ein bod yn ddifraw o honot, os felly, pa fodd y dychwelaist attom drachefn?

GWYL.—Hyn a'm cymhellodd—yn fy nghwsg gwelais freuddwyd tra hynod, yr hwn a barodd i mi neidio yn ol i'm lle, megis ag y gwna gwybyddiaeth o frâd dirgelaidd yn y gwersyll i'r milwr lluddedig neidio at ei arfau a osodasai heibio.

DIN.—Os ydyw yn gyfleus it', chwennychwn glywed dy freuddwyd.

GWYL.—Gwelais ddinas odidog iawn (nid annhebyg i'ch dinas chwi) yr hon oedd "a'i sail ar y mynyddoedd sanctaidd," a'i chaerau oeddynt yn esgyn i fynu hyd y nefoedd. Y ddinas hon ydoedd harddwch yr holl wledydd, ac yn rhyfeddod i'r holl bobloedd; etto, er ei holl wychder a'i harddwch allanol, ni welais i un Gwyliedydd o flaen ei phorth i gyhoeddi dyfodiad ei gelynion, nac ychwaith i'w hamddiffyn: oddi amgylch iddi gwelais amryw ddinasoedd anghystadl, a phob un o honynt â'u gwyliedyddion a'u hyspïwyr yn eu lle, yn barod i estyn bysedd atti, a dywedyd, "*Pa le y mae ei Gwyliedydd!*" Wrth hyn nesëais atti i edrych ansawdd y lle, a gwelais, nid yn unig nad oedd gwyliedydd ganddi, ond deallais, er fy mawr alar, fod rhyw ymrysonau ac ymbleidiau gwedi codi rhwng y dinasyddion *oddi mewn*. Clywais rai yn haeru bod y ddinas o honi ei hun yn ddiogel ac hunan-ymddiffynol—rhai a ddalient fod yr amseroedd yn *enbyd*, a gweddus fyddai gosod gwyliadwriaeth—a rhai eraill a fynnent fod yr *hen arfau* yn anaddas ac annigonol i amddiffyn y lle, a bod yn angenrhaid er ei diogelwch cael *arfau newyddion*. Wrth weled yr anghydfod hwn ym mhlith y dinasyddion, y trefydd anghystadl oddi amgylch a godasant eu gwaedd, a chyd âg ymffrost gwatwarus, a ddywedasant, "Ai hon yw y ddinas ag sydd yn bennaeth y byd—pa le y mae ei grymmusder, ei harddwchowgrwydd, a'i Gwyliedydd!" Wrth y brathiad hwn, mi a ddeffroais, ac a ddywedais, "Wele fi." A dyma, fy nghyfaill, yr hyn yn fwyaf neillduol a'm cymhellodd i ymweled â chwi unwaith etto.

DIN.—Pa beth wyt ti yn gasglu oddiwrth y breuddwyd yma?

GWYL.—Yn y modd hyn yr wyf fi yn ei ddeongli—y ddinas yw 'r Eglwys—a'r dinasyddion ei haelodau.

DIN.—Wel, megis aelod o'r Eglwys honno, yr wyt bron a'm han-

foddloni wrth yr ymadrodd hwn. Pa beth sydd genyt i ddywedyd yn erbyn y ddinas, neu 'r Eglwys?

Gwyl.—Nid oes genyf ddim i ddywedyd er anglod iddi—"Ei sail sydd ar y mynyddoedd sancteiddd—ac y mae hi yn goron yn llaw yr Arglwydd;" ac er bod llawer, fe allai, yn chwennych ei chodwm, ynghyd â'i hordinhadau, ei ffurfiau, a'i hegwyddorion, etto, tra parhao ei gweinidogion yn ffyddlon i addef Crist fel ei phen, a phregethu ei aberth fel unig sail ei gobaith, y mae genym air y digelwyddog Dduw, "na orchfyga pyrth uffern mo honi." Ond cadw hyn mewn côf, "Teyrnas gwedi ymrannu yn ei herbyn ei hun (er cryfed y bo) ni saif."

Din.—Rhaid addef, yn wir, bod rhyw ymbleidiau Anghrist'nogaidd yn torri allan weithiau yn ein plith, mewn perthynas i bethau nad ydynt angenrheidiol er iechydwriaeth.—Ond mynega im' pa beth wyt yn dybied wrth yr "*arfau newyddion*" a welaist yn dy freuddwyd?

Gwyl.—Clywaist, fe allai, yn ddiweddar ryw ddadwrdd nid bychan ynghylch y *llythyraeg newydd*—ei bod yn rhagori ar yr *hen*: cymmaint fu yr ymdynnu ynghylch hyn o beth, nes yr wyf bron o'r farn iddo fod yn foddion i ryw raddau i amddifadu y ddinas o'i Gwyliedydd; ac o ychydig i lawer, daeth y dinasyddion i lettya rhagfarn yn eu calonnau, yn lle dwyn ym mlaen les ac addysg cyffredinol y wladwriaeth.

Din.—Rhy wir, ysywaeth, ydyw yr ymadrodd, er ei fod yn galed! Bum innau yn chwythu, cyn hyn, fygythiadau a chelanedd yn erbyn yr "arfau newyddion," heb wybod, fe allai, yn iawn y rhagoroldeb rhwng yr *hen* a'r *newydd:* ond o hyn allan yr wyf yn penderfynu bwrw heibio bob rhagfarn, a gwneuthur fy ngoreu i ymladd o blaid y Gwyliedydd gyda rhyw arfau, pa un bynnag ai *hen* ai *newydd* y b'ont; oblegid profasoch yn eglur y dylai barn unigol roddi lle i les cyffredinol, am hynny fy arwyddnôd (*motto*) a fydd o hyn allan—"NID BARN UNIGOL, OND LLES CYFFREDINOL."

Civis.

---

# DUWINYDDIAETH.

---

LLYFR GENESIS.

Pan safom ar fryn uchel, a sylldremu, y tro cyntaf, ar wastadedd helaeth, poblog, a chyfoethog, yn gorwedd o'n blaen, y mae y meddwl oll yn ymlonni wrth ganfod prydferthwch anian, ffrwythlondeb rhagorol y tir, golud y trigolion, ac ardderchawgrwydd eu hadeiladau mawrwych. Ond ni ddichon i un adfyfyriad lai na gwneuthur attaliaeth anfelus i'n llawenydd. Perthyna yr holl ffrwythlondeb, y golud, a'r mawrwychder hyn i eraill, nid i'n hunain, ac nid oes i ni, ysgatfydd, obaith am y rhan leiaf o honynt.

Cyffelyb i hyn yw ein diddanwch cyntaf, a'n siomedigaeth canlynol, wrth ddarllen hanesion gwledydd estronol, ac olrhain ffrydlif cenhedlaethau yr hen oesoedd gynt. Yr ydym yn canmol ffraethineb yr ysgrifenydd, a difyrwch gennym yw dilyn tadogaeth y genedl hon a'r llall, a pha fodd y daeth preswylyddion pob gwlad i feddiannu eu trigfa bresennol. Ond wedi cau dalenau yr hanesydd, ac adfyfyrio ar yr oll a ddarllenasom, braidd na ddywedwn, "gwagedd yw y cwbl." Beth wyf fi well er yr holl gyfnewidiadau gwladol? Y bwthyn gwaelaidd hwn yn Arfon, y lletty tymhestlog hwn ym Môn, yw y cwbl a allaf fi byth ei feddiannu.

Ond y mae Llyfr, yr hwn a amrywia yn fawr oddiwrth bob llyfr arall—Llyfr a ddylai pawb ei

berchen a'i ddarllen—yr hwn a ddatgan i ni y pethau mwyaf diddan a rhyfeddol, ïe, er seiliad cyntaf y ddaearen, newidiadau hynodfawr ein cyndeidiau ein hunain, a hanes am etifeddiaeth a theyrnas ogoneddus y rhai a berthynant i bawb o honom. Wrth fanwl-chwilio hanesion ac addewidion haelwych y Llyfr hwn, gall y truan-ddyn mwyaf isel-radd ddywedyd, "Cynnwysa yr ysgrifeniad hwn hanes am fy nhadau i, cystal a mawrion pennaf y byd; y mae i mi, fel hwythau, ran yn ei annrhaethol drysorau, presennol a dyfodol, a thrwy gynnorthwy Duw mi a allaf eu meddiannu."

Pa lyfr ynte sy gyffelyb i'r Bibl, yr hwn a berthyna i bawb, a ddiddana bawb, ac a gyfoethoga bawb? Gwna hwn y gwirion yn ddoeth, a doethion y byd yn gall i fywyd tragywyddol. Rhydd hwn olud i'r tlawd, ac i gyfoethogion y ddaear olud anllygredig y nefoedd. Da y gelwir hwn "Y LLYFR:" canys y mae yn rhagori ar bob llyfr arall. Dengys pob dalen o hono ardderchawgrwydd ei ddechreuad, ei oruchel waedoliaeth, a'i gymmwysder doethlawn i'r dibenion yr amcanwyd ef erddynt. Pwy a'i ysgrifenodd? Gwyr sanctaidd. Gan bwy y cynhyrfid ac y rhoddid hwynt ar waith? Gan yr Yspryd Glân. Beth yw amcan y cwbl? Athrawiaethu, argyhoeddi, ceryddu, hyfforddi mewn cyfiawnder, fel y byddo dyn Duw yn berffaith, ac y caffo, trwy haeddedigaethau Crist, fywyd anfarwol yn y nefolion leoedd.

Yn nechreuad y Llyfr hwn cyfarfyddwn, gyd âg eithaf cymmwysder, y dosparth cyntaf o ysgrifeniadau Moses, yr hwn a elwir *Genesis* oddiwrth air Groeg, gan ei fod yn mynegi i ni *genhedlaeth*, neu gyfansoddiad cyntaf pob peth. Dosparthesid ysgrifeniadau Moses yn foreuol iawn i bump o rannau, tybygir, gan awdwyr y cyfieithiad Groegaidd, neu y *Septuagint*, yr hwn a wnaed rhwng 285 a 177 o flynyddoedd cyn geni Crist, nid ar unwaith, yn ol y chwedl gyffredin, eithr yn raddol, ac mewn yspaid oddeutu can mlynedd. Y mae achos da i feddwl mai yn yr anialwch, wedi y mynediad allan o'r Aipht, yr ysgrifenodd Moses hwn, megis ei lyfrau eraill, oblegid ni chynnysgaethasid ef âg yspryd prophwydoliaeth cyn y galwad a fynegir yn *Exod.* 3. ac nid oedd angenrheidrwydd digonol yn galw arno gyfansoddi y cyfryw hanesiad yn ei ieuengctid. Eithr pan etholasid ef yn Llywydd ac yn Ddeddfwr i bobl yr Arglwydd, rhoddwyd iddo ddoethineb amgenach, a dawn prophwydoliaeth. Ysprydolwyd ef, nid yn unig i ddatgan ewyllys yr Arglwydd o ddydd i ddydd i blant Israel, eithr hefyd i ysgrifennu, er eu haddysg a'u diddanwch, helynt yr hen oesoedd o'r blaen, cystal a chyfreithiau parhaus i'r cenhedlaethau i ddyfod. Yn llyfr *Genesis* gwelir dau amcan amlwg yn yr ysgrifenydd. Un oedd, traethu hanes amserol y byd er boreuddydd amser; a'r ail, mynegi dechreuad eglwys Dduw. Buddiol, wrth ddarllen yr hanes, fyddai cadw mewn golwg y ddau amcan hwn. Y mae y cyntaf yn is-raddol i'r ail, a mynegir y blaenaf cyn belled, a chyn belled yn unig, ag sydd angenrheidiol er amgyffred y llall. Amryw bethau a chwennychai cig a gwaed, a chwant i wag wybodaeth, eu clywed; megis hanes cawri a dewrion cynddiluwaidd, neu ryfelwyr a dysgedigion wedi amseroedd Noah, a adewir heibio heb eu mynegi. Eithr bod y Duw holl-ddoeth wedi creu y nefoedd a'r ddaear o ddiddim defnydd—a gwneuthur dyn ar ei ddelw sanctaidd ei hun, yn ddihalog a dedwydd—iddo, wedi syrthio y dyn hwn o'i ddiniweidrwydd cyntaf, osod ffordd o adferiad prynedigol—iddo, tra yr ymrysonai ei

Ysprŷd â chalon-galedwch dynol o amser i amser, gadw golwg gwastadol ar y diben caredig hwn, a gwneuthur i gyfnewidiadau daearol gydweithio er dwyn ym mlaen waith prynedigaeth—dyma y pethau a amcenir ac a osodir allan gan yr ysgrifenydd. Er amgyffred hyn yn eglurach, troed y darllenydd ei feddyliau at gyflwr y byd yn amser Moses. Gwel y byd wedi ymroddi i eilun-addoliaeth tra gwrthun, yr hwn a ddeilliasai, gan mwyaf, oddiwrth athrawiaethau gwir-grefyddol a gam-ddeallasid, neu a ŵyrdroasid ac a lygrasid ganddynt. Crybwyllai traddodiad pob gwlad mai gwaith dwyfol oedd creadigaeth y byd; ond cyfrifid yr anrhydedd nid i'r Creawdwr mawr, eithr gan bob cenedl i'w gau-dduwiau priodol. Aethai Awdwr tragywyddol a Hollwneuthurwr pob peth ar angof, ac i waith ei ddwylaw y telid yr anrhydedd, ac y llosgid yr aberth. Dechreuodd Moses, gan hynny, ei hanes gyda dywediad pennodol, mai Duw, y gwir a'r unig Dduw, yn y dechreuad a greodd y nefoedd a'r ddaear. Wel, ynte, os Duw Holl-ddoeth, Holl-dda, a greodd y byd, pa fodd y gwelir ynddo arwyddion cymmaint o ammherffeithrwydd a llygredigaeth? a holiad oedd hwn a ddyrysai hen ddysgedigion a philosophyddion Paganaidd yn ddirfawr, ac amryw ddyfeisiau ofergoelus a roddent yn atteb iddo. Eithr dattododd Moses y cwlwm mewn ychydig eiriau. Dywedodd mai da iawn a pherffaith oedd y byd ar ei wneuthuriad cyntaf—mai union a dedwydd oedd y dyn a osodasid ynddo, ac na pherthynai iddo na marwolaeth, nac afiechyd, na gofid. Beth a barodd y cyfnewidiad? Dyn ei hunan; dyn, trwy droseddu gorchymyn pennodol yr Arglwydd, a yrwyd allan o baradwys, ac a wnaethpwyd yn ddarostyngedig i bechod, ac, yn ganlynol, i ofid a marwolaeth. Y ddaear hefyd a felldithiwyd o'i blegid, ac a ddug ddrain a mieri, a llysiau dinystriol. Yn hyn i gyd cyfiawn a da oedd Duw; oddiwrth ddyn yn unig y deilliasai yr holl lygredigaeth, a phob drwg. "Wel, ynte," meddai yr ymofynydd Paganaidd, "a siomwyd amcanion y Duw holl-ddoeth, hollalluog hwn, ac a aeth yspryd drygioni yn drech nag Ysprŷd daioni, gan ennill iddo ei hun holl eppil Adda yn ysglyfaeth? Nid felly ddim, attebai Moses, rhoddes Duw addewid o Adferwr a Gwaredwr, trwy yr hwn yr ysigir gallu ac y dattodir gweithredoedd y gelyn. A beth ond tystion a chysgodau o hwn yw yr aberthau, y rhai yr ydych chwi yn eu haberthu heb wybod eu hamcan? Felly, er i bechod a thrueni dyn amlhau yn fawr, gras a daioni Duw a amlhant yn llawer mwy.—Drachefn, gofynai hen Baganiaid tywyll, pa beth a feddyliwn ni wrth arwyddion a hanesion diluw cyffredinol? Ai gwir yw i Dduw ddinystrio y ddaear a greasai, a fendithiasai, ac a ddywedasai mai da iawn oedd? Eithr paham? Attebai Moses, O herwydd pechod cyffredinol dynion, a bod llygredigaeth pob cnawd wedi blino ei gyfiawnder. Ond cafodd trugaredd hefyd ei lle, a chadwyd yn ddiogel eglwys Dduw a chyn-deidiau y Prynwr, yn y distryw cyffredinol. Pan ail ymlygrodd y ddaear o flaen yr Arglwydd, nid aeth ei amcanion yn ddirym, na'i fwriadau graslawn yn angof. Dewiswyd un teulu i gadw i fynu wybodaeth y gwir Dduw, ac addewid y Prynwr mawr, o oes i oes. Dyma yr achos paham y neillduwyd teulu Abraham, ac a'u gwnaethpwyd yn bobl briodol i'r Arglwydd, nid er eu daioni eu hunain, ond o herwydd mai hwy a ddewisasid yn offerynau i ddwyn ym mlaen waith prynedigaeth. A phaham y gadewir heibio hanesion Nimrod a brenhin-

oedd eraill, a rhyfelwyr gwaedlyd, ac enwogion yr hen oesoedd, pryd y manwl draethir hanes teulu bychan, pennaeth yr hwn ni feddai gymmaint a lled troed o etifeddiaeth, ond a grwydrai o fan i fan trwy ardaloedd Canaan? Oblegid mai y teulu bychan hwn oedd eglwys weledig Duw ar y ddaear—oblegid mai eiddynt hwy oedd y mabwysiad a'r addewidion—mai o honynt hwy yr hanai Crist yn ol y cnawd—ac mai hwynt-hwy, megis ceidwaid gwir grefydd, oedd y *lefain*, yr hwn a lefeiniai yr holl fyd yng nghyflawnder amser.—Tywyll yn wir oedd y darluniad cyntaf, ac ammherffaith fyddai amgyffred y cyn-oesoedd ynghylch y GWAREDWR; er yr ymddengys yn hylwyr amlwg, fod y disgwyliad am dano wedi argraphu disgwyliad a gobaith cyffredin trwy wledydd y dwyrain. Hyn sydd yn eglurhau amryw hanesion a dywediadau, a fyddai hebddo yn anhawdd eu deall. Beth amgen a barodd i Efa lefain allan, "Cefais ŵr—*yr Arglwydd*," sef yr *Arglwydd*, y *Gwaredwr?* Gellir olrhain i'r disgwyliad hwn ymlosgach merched Lot, ac anfoddlondeb Sarah o herwydd eu hammhlantadrwydd, eiddigedd Ismael ac Isaac, a Rahel a Leah. Yn gymmaint ag mai i Abraham, Isaac, a Jacob, y rhoddwyd addewid bennodol y Messiah, oddiwrth hyn y daeth yr arfer o alw ar yr Arglwydd wrth enw y tri phatriarch hynny, ac nid megis Duw Lot, Esau, neu Ismael.

Gellir rhoddi achos arall paham y traethir yn arbennig hanesion y patriarchiaid duwiol, sef bod llawer o honynt yn gysgodau i'r Messiah, ac yn rhag-barottoi mewn rhyw fesur feddyliau dynion erbyn ei ddyfodiad; megis Abel, Enoch, Melchisedec, Abraham, Isaac, Joseph, &c. Yr hyn a ddywedwyd uchod am Genesis, a ellir yn gyflawnaf ei fynegi am holl lyfrau eraill y Bibl; hanesion ydynt yn agor i ni y cynllun dwyfol a osodwyd yn nirgel gynghorion y Goruchaf i gyflawni *prynedigaeth* dynol. Yn y golwg hwn, mor ardderchog, mor ddoethlawn, mor ddidorr, yw y ddyfais nefol, yn cyrhaedd o foreuddydd amser, trwy genhedlaethau olynol! Moliannus nifer y prophwydi, yr hen batrieirch duwiol, amdreiglhadau oesoedd, a newidiadau teyrnasoedd ac ymerodraethau, a drefnwyd oll yn ngolwg holl-dremiog yr Hollalluog, megis cynnifer o offerynau, i rag-barottoi teyrnas y Messiah.

Ni chyttunai â byrder angenrheidiol y sylwiadau presennol ymhelaethu o honom ar ardderchawgrwydd Moses, megis prif hanesydd y byd. Hebddo ef ni's gallem wybod tadogaeth cenhedloedd y prif oesoedd, llai o lawer hanes y greadigaeth a'r diluw. Po mwyaf y chwilir hanesion *parchusaf* hen genhedloedd, mwyaf cyttun y cydnabyddir hwynt â hybarch ysgrifeniadau Moses. Ië, y tystiolaethau i'w wirionedd, megis ysgrifenydd, ydynt yn ychwanegu yn hytrach nag yn lleihau. Y'mhlith y cenhedloedd pellenig, y rhai yr ymwelodd ein llongwyr eonwych â hwynt yn yr oes ddiweddaf, ym mhlith pobl, y rhai ni wyddem o'r blaen braidd am eu henwau, yr ydys yn caffael rhyw gadarnhad newydd i'r hanesydd Iuddewig. Nid yw trigolion *New Zealand* ond gwylltion ac afrywiog, a'u gwlad hwynt sydd agos yn wrth-droediog i Frydain. Rhyfedd yw yr hanes a roddant am y greadigaeth a gwneuthuriad dyn. Dywedant mai gan dri o dduwiau, eithr yn fwyaf gan y *Taid*, y gwnaethpwyd y byd a'r dyn cyntaf; a chael y wraig gyntaf ei gwneuthur o un o asenau y dyn; a'r hyn sydd ryfeddach fyth, eu gair hwynt am *asgwrn* yw *Hevee*, yr hwn a swnia megis pe buasai enw llygredig ein hen fam

gyntaf. Argoelion y diluw a welir ym mhob goror ddaearol, ac a gyddystiolaethant mai gwir yw y farnedigaeth a roddes Duw ar y ddaear, megis y pregethant i bob cenhedlaeth olynol y canlyniadau echrydus o ddilyn pechod, a thrwy hir galongaledwch flino Yspryd Sanctaïdd y Goruchaf.

Αλφα.

---

ORIAU YSGRYTHYROL.

AMOS iv. 10. "*Haint megis yn ffordd yr Aipht.*"—Wedi lleihau llif-ddyfroedd afon yr Aipht, gadawant aml weithiau sawr tra niweidiol a marwol, ac at hwn y cyfeirir yma gan y prophwyd.

AMOS v. 26. "*Dygasoch babell eich Moloch a Chïwn, eich delwau, seren eich Duw.*"—Yn yr adnod o'r blaen y mae y pwyslais ar y geiriau *i mi*—"A offrymmasoch chwi *i mi* aberthau?" Na ddo, yw yr atteb: ond chwi a ddygasoch greirgell a delw neu lun Moloch ynddi. Arferai y Paganiaid ddwyn o amgylch ddelwau eu duwiau (temlau arian y gelwir hwynt yn *Act.* xix.) a thalu yn gyhoeddus fawr anrhydedd iddynt. Deilliasai yr arfer hon oddiwrth yr Aiphtiaid. Dygid ganddynt ddelw un o'u duwiau mewn cerbyd pedair-olwynog, a llusgid ef gan yr offeiriaid. Waith arall dygent o amgylch ddau gi aur, gwalch, a'r aderyn Aiphtaidd *Ibis.* Dro arall dygent ddelw Jupiter Ammon mewn cwch bychan, wrth yr hwn y crogasid dalenau arian, yn ol swn y rhai y barnent ewyllys y duwdod, ac felly rhoddent atteb i'r sawl a ymgynghorai â hwynt. Felly hefyd ein ceraint ninnau, hen drigolion Paganaidd Ffraingc, a ddygent ddelwau eu duwiau i'r meusydd, ac a roddent attebion dwyfol (neu *oraclau*) yn ol swn y cerbydau. Sonia yr ysgrifenydd godidog *Tacitus* am dduwies *anhyspys*, yr hon a breswyliai un o ynysoedd y môr. "Cadwant iddi," medd efe, "gerbyd gorchuddiedig, yr hwn ni feiddia neb nesâu atto, oddigerth yr offeiriad; a phan ddywed efe fod y dduwies wedi esgyn y cerbyd, tecclir dwy anner wrtho, y rhai a lusgant y cerbyd lle y mynnont, ac yna dygant ef adref i'w llwyn hi. Golchant y cerbyd a'r llenni a'i gorchuddiai, ac yna boddant y caethweision a roisant i'r gwaith hwnnw.

AMOS vi. 4. "*Bwytta yr ŵyn o'r praidd.*"—Aml y sonia yr ysgrythyrau am ŵyn megis danteithion tra dewisol; a dywed ymdeithwyr fod rhaid i ni brofi ŵyn a mynn dwyreiniol, cyn y gellir amgyffred mor dra rhagorol o dda a bras yw y danteith-fwyd hwn. Nid hoff gan y dwyreinwyr helwriaeth gwyllt, ac adar, a physgod, ac felly oen neu fynn gafr yw eu danteithion goreu. Oblegid hyn y darllenwn am rai a'u dygent yn anrhegion, *Barn.* 15. 1. 1 *Sam.* 16. 20. "A mêr ac â brasder y digonir fy enaid," medd y Salmydd, *Ps.* 63. 3.

Yn yr adnodau 4, 5, 6, yr ydys yn darlunio y cam-arferiad a wna dynion goludog o'u mawr gyfoeth, gan arferyd bendithion Duw yn anghymmedrol. Ond dalier sylw, nad yw gwin, a cherddoriaeth, a dillad gwychion, a danteithion bwrdd, yn ddrwg ynddynt eu hunain, ac mai eu harferyd yn anghymmedrol a gwastraffus a fernir arno yma. Yn ei arferiad o'r pethau hyn barned pob un ei hun yn ol ei amgylchiadau priod a'i sefyllfa, gan ofalu na wnelo yr hyn sydd feius, neu debyg o *rwystro* eraill.

AMOS vi. 11. "*Efe a dery y tŷ mawr âg agennau, a'r tŷ bychan â holltau.*"—Cawodydd trymion iawn sydd yn y gwledydd dwyreiniol, y rhai pan ddisgynant ar y cabau-dai gwaelion a'r muriau o glai, a'u holltant yn agennau, ac a'u distrywiant oll yn fuan. Gwel *Ezec.*

13. 11. lle y gosodir allan yr arfer o adeiladu drwy glai a phridd.

AMOS vii. 14. "*Casglydd ffigys gwylltion.*"—*Dumez* yr Aipht sydd fath o ffigys-bren gwyllt, a'i ffrwyth a elwir gan Ewropiaid, *ffigys Pharaoh.* Ffigys bychain sydd arno, eithr cyffelyb i ffigys eraill, ac nid drwg eu blas, os trinir hwynt yn gelfyddgar: canys y mae math o ddwfr yn casglu ar un pen iddynt, yr hwn sydd raid ei ollwng allan, onid ê, nid addfeda ddim. O goed y pren hwn y gwnaent eirch yr hen Aiphtiaid, ac ynddynt y gosodent y cyrph pêr-arogledig. "Distrywiodd eu sycamorwydd â rhew," medd y Salmydd.

AMOS viii. 3. "*Bwrir hwynt allan yn ddistaw.*"—Grym y bygythiad ni ddeellir heb olygu arferion claddedigaethol yr Iuddewon. Un o'u defodau oedd dwyn cyrph meirw at y bedd gyda chaniadau. O herwydd hynny y cyflogent alar-wragedd, megis yr arferir hyd heddyw ym mhlith y Gwyddelod; ac y mae cyfeiriadau lawer at y ddefod hon yn yr ysgrythyr. Mawr fyddai ochain y cyfryw, a phoenus i'r golwg fyddai agweddiad eu cyrph. Pery cyffelyb arferion ym mhlith yr Iuddewon dwyreiniol ac Affricanaidd. Mewn rhai mannau canant y 49ain Psalm. Anrhydeddus i'r marw, a chysurus i'r perthynas byw, y cyfrifid y cyfryw gladdedigaethau rhwysgfawr a galarus; ond pan fwrid y celaneddau i'r bedd yn ddistaw, heb ochain, na pherthynas, na galar-wragedd, na cherddoriaeth, ychwanegai hyn yn fawr at fesur eu gofidiau, a dangos-[illegible] ymmaint oedd y cyfyngder y [illegible]sai y genedl iddo.

[illegible]s ix. 3. "*Y'ngwaelod y* [illegible]*ddi yno y gorchymynaf i'r* [illegible]*u brathu hwynt.*"—Tyb pob [illegible]r, fod mewn rhai moroedd [illegible]ion rhyfeddol. Dy- [illegible] o'r fath ymddangos [illegible]r America; a dilys bod hen haneswyr yn tystio weled o longwyr seirph o faintioli anghredadwy ar lennydd môr yr India. Neu fe allai mai rhyw bysgodyn ysglyfaethgar a feddylir yma.

AMOS ix. 13. "*Goddiwes yr arddwr y medelwr.*"—Tywyll yn ddiau yr ymddengys yr adnod hon heb i'r ddarllenydd ddeall cyflyrau annedwydd y trigolion dwyreiniol, yn enwedig y sawl a breswylient ar gyffiniau meibion Ismael. Hyfryd gan yr Arabiaid bob rhyw ledrad, a chlodfawr yn eu plith yw y sawl a ladrattao yn fwyaf cyfrwys a llwyddiannus. Nid diogel i'r hauwr fyned allan i hau heb arfau i amddiffyn ei hun a'i had; etto mynych yr yspeilir ef, ac y cipia lladron ymaith y cwbl sydd ganddo. Dygant ymaith holl ffrwythau y coed cyn iddynt aeddfedu. Dywed ymdeithiwr diweddar fod gwin presennol yr Aipht wedi gwaethygu, o herwydd eu gormod prysurdeb i gasglu y grawnwin, fel na chaffo yr Arabiaid gyfleusdra i'w hyspeilio. I'w cadw rhagddynt, heliant hwynt cyn aeddfedu. At yr amgylchiadau annedwydd, ac ansicrwydd meddiannau, cyffelyb i'r rhai uchod, y cyfeirir gan y prophwyd. Wedi adferu pabell Dafydd, a'i hadeiladu megis yn y dyddiau gynt, "Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, y goddiwes yr arddwr y medelwr, a sathrydd y grawnwin yr hauwr had; a'r mynyddoedd a ddefnynnant felyswin, a'r holl fryniau a doddant:" hynny yw, y dyddiau a ddaw pryd na chesglir mwy y grawnwin mewn cyflwr anaeddfed (rhag ofn yr Arabiaid, neu yspeilwyr cyffelyb) eithr gadewir y ffrwyth ar y prennau tan amser aredig; mor gyflawn fydd diogelwch yr amseroedd hynny. Neu os cyfieithir yr adnod fel hyn, "Y *cyferfydd* yr arddwr y medelwr," dylid deall mai y cyfryw fydd cynnyrch y ddaear, fel y bydd angenrhaid dechreu aredig cyn gynted ag

y gorphenir medi, yr hyn a wneir yn y wlad honno yn mis Mai neu Fehefin. Y cyfryw hefyd fydd cynnyrch y gwinwydd, fel y pery y cynhauaf gwin o ddechreu Awst hyd fis Tachwedd, pryd yr arferir hau yr had. "Y mynyddoedd hefyd a'r bryniau a doddant," hynny yw, a fyddant mor ffrwythlon fel y gellid dywedyd eu bod yn llifeirio o win; canys mynyddoedd a bryniau oedd priod leoedd y gwinllannoedd.

---

## SYLWADAU AR Y CREDO.

(*Parhad o du dal.* 169.)

### ERTHYGL VIII.

" *Credaf yn yr Yspryd Glân.*"

Yr ydwyf yn credu yn ddiysgog a ffyddlawn, fod (heblaw pawb eraill a elwir, neu a ellir eu galw, *ysprydion*) un Yspryd neillduol a phennodol; yr hwn sydd Berson gwir a phriodol, ac o sylwedd gwirioneddol; yn Berson, nid gwneuthuredig namyn digrëedig; ac felly y gwir a'r un tragywyddol Dduw: ond, er hynny, nid efe yw y Tad na'r Mab, ond Yspryd y Tad a'r Mab, y trydydd Person yn y Drindod fendigedig, deilliedig o'r Tad a'r Mab. Yr wyf yn credu fod yr Yspryd anfeidrol a thragywyddol hwn, nid yn unig yn perchen sancteiddrwydd perffaith ac anffaeladwy ynddo ei hunan, ond hefyd yn gynhyrfiol ac unig achos o sancteiddrwydd ynom ni; trwy ddatguddio i ni ewyllys pur a dihalog Duw; trwy ysprydoli yr apostolion sanctaidd, a'u galluogi i osod sylfeini eglwys Crist, ac i ddwyn ym mlaen, trwy ddilyniad didorr, adeiladaeth yr eglwys honno; trwy oleuo deall personau neillduol, unioni eu hewyllysiau a'u serchiadau, adnewyddu eu natur, eu huno â Christ, eu sicrhau o fabwysiad plant, eu harwain yn eu gweithredoedd, eu cyfarwyddo yn eu mawl a'u gweddïau, a phuro a sancteiddio eu heneidiau a'u cyrph drwy bob modd, nes y byddant yn llwyr a thragywyddol gymmeradwy yn ngolwg Duw. Hwn yw Yspryd tragywyddol Duw: ac am hyn y gelwir yr Yspryd hwnnw yn Lân a Sanctaidd. Ac felly, " CREDAF YN YR YSPRYD GLAN."

### ERTHYGL IX.

" *Yr Eglwys Lân Gatholig; Cymmun y Saint.*"

" YR EGLWYS LAN GATHOLIG." —Yr wyf yn credu yn ddiymmod, i Grist, trwy bregethiad ei apostolion, gasglu iddo ei hun eglwys, yn cynnwys miloedd o ffyddloniaid, a chynnulleidfaoedd aml; at y rhai y chwanegodd efe beunydd y rhai a fyddant gadwedig, ac at y rhai y chwanega efe hefyd yn olynol a beunyddiol hyd ddiwedd y byd. Ac y mae yn sicr gennyf, o herwydd nerth a rhinwedd ei addewid holldigonol, y bu gan Grist hyd yma, y fod yn awr, ac y bydd hefyd wedi hyn, cyhyd ag y pery haul a lleuad, eglwys, yr hon sydd un a digyfnewid. Yr wyf yn credu fod yr eglwys hon yn sanctaidd—*yn gyffredinol, gyda golwg ar ei hawdwr, ei diben, a'i gweinyddiad;—yn neillduol, yn ei haelodau; yn y rhai yr wyf yn addef ei bod yn y byd hwn yn wirioneddol sanctaidd, ond yn y byd a ddaw bydd yn berffaith lân. Yr wyf yn golygu hon, nid, fel yr eglwys Iuddewig, yn perthyn i un wlad neu un genedl yn unig; ond ei bod, trwy osodiad a gorchymyn Crist, a thrwy rinwedd ei allu cynnorthwyol, i'w sefydlu ym mhlith yr holl genhedloedd, i gyrhaeddyd i bob lle, a'i chadw i fynu trwy yr holl oesoedd; ei bod i gynnwys ynddi yr

* *Yn gyffredinol*, sef gyda golwg ar yr *holl* Gristionogion; *yn neillduol*, ar y *gwir* Gristionogion.

holl wirioneddau angenrheidiol i'w gwybod; i ofyn ufudd-dod cyflawn gan bob dyn i orchymynion Crist; ac i'n cynnysgaeddu â'r holl radau angenrhaid i wneuthur ein personau a'n gweithredoedd yn gymmeradwy ger bron Duw. Ac felly, "*Credaf yn yr Eglwys Lan Gatholig.*"

"*Cymmun y Saint.*"—Yr wyf yn llwyr gredu fod gan wir a sanctaidd eglwys Crist, pan yn byw ym mhlith cenhedlaethau trofäus dynion, ac yn ymdrechu yn erbyn adfyd y byd, gymdeithas â Duw Dad, Duw Fab, a Duw Yspryd Glân, y rhai sydd yn trigo gyda hwynt, ac yn cartrefu ynddynt; eu bod yn cyfrannogi o ofal a charedigrwydd yr angylion sanctaidd, y rhai sy'n ymhyfrydu yn gwasanaethu er eu lles: ac, heblaw eu cymmundeb allanol yn y gair a'r sacramentau gyda holl aelodau yr eglwys, fod ganddynt undeb a chyssylltiad agos â'r holl saint ar y ddaear fel aelodau bywiol Crist; a'r undeb hwn ni thorrir gan angau, ond fel mai Crist, yn yr hwn y maent yn byw, yw yr Oen a laddwyd er cyn seiliad y byd, felly y mae ganddynt hwythau gymmundeb â'r holl saint, y rhai, er dyddiau Abel, a ymadawsant yn ngwir ffydd ac ofn Duw, ac ydynt yn awr yn mwynhau presennoldeb y Tad, ac yn dilyn yr Oen pa le bynnag yr elo. Ac fel hyn, "*Credaf Gymmun y Saint.*"

## ERTHYGL X.

"*Maddeuant Pechodau.*"

Yr wyf yn rhwydd addef, a chyda chysur annhraethadwy yn coledd, y gwirionedd angenrheidiol ac anwadadwy hwn. Er fod pob pechod yn drosedd o ddeddf Duw, a bod, ar ol pob troseddiad, euogrwydd yn aros ar y troseddwr, yr hwn euogrwydd sydd yn ei rwymo i ddyoddef cosp dragywyddol, nes yw pob dyn, gan ein bod wedi ein cau dan bechod, yn rhwym i ddyoddef poenau yr ail farwolaeth;—ddarfod i Dduw weled yn dda roddi ei Fab, a'r Mab roddi ei hun, yn Feichiau am ein dyled, a'n rhyddhau o'r rhwymiad hwn: a chan nad oes faddeuant heb ollwng gwaed, iddo roddi ei einioes yn aberth dros bechod, a'i dodi i lawr yn bridwerth drosom, ac hyd yn oed ei werthfawr waed fel prid, er taliad ac iawn i ewyllys a chyfiawnder Duw; a thrwy y cymmod hwn, Duw, yr hwn a ddigiwyd drwy ein pechodau, a heddychwyd; ac, wedi ei heddychu, a dynnodd ymaith yr hyn a'n rhwymai i ddyoddef cosp dragywyddol, sef, euogrwydd ein pechodau; ac a osododd yn eglwys Crist y Sacrament o Fedydd, fel llwybr y maddeuant cyntaf, ac Edifeirwch, er gwastadol faddeuant o bob trosedd rhagllaw. Ac felly, "*Credaf Faddeuant Pechodau.*"

## ERTHYGL XI.

"*Adgyfodiad y Cnawd.*"

Yr wyf yn credu yn ddiffuant y gosodwyd i bob dyn farw unwaith, ac y pennodwyd i bawb adgyfodi o farwolaeth; fod yr eneidiau a wahanwyd oddiwrth eu cyrph yn nwylaw yr Ior yn fyw; y bydd i'r cyrph, er malurio yn llwch, neu eu chwalu yn lludw, gael etto eu cydgasglu a'u huno â'u heneidiau; yr adfywheir yr un cnawd ag a fu fyw o'r blaen; y bydd yr adfywhad hwn yn gyffredinol, heb eisiau un dyn, nac un cnawd ei adael yn y bedd; y bydd yr holl gyfiawnion yn cyfodi i adgyfodiad bywyd, a'r holl anghyfiawnion i adgyfodiad barn; ac y gwneir hyn oll pan gano'r udgorn yn y dydd diweddaf. Ac felly, "*Credaf Adgyfodiad y Cnawd.*"

## ERTHYGL XII.

"*A'r Bywyd tragywyddol.*"

Yr wyf yn hollol gredu y gwirionedd sicr hwn; sef, y bydd yr

anghyfiawnion, ar ol eu hadgyfodiad a'u coll-farniad, yn cael eu poeni am eu pechodau yn uffern; ac y byddant felly mewn poenau yn dragywyddol, gan na wna cyfiawnder Duw byth beidio eu cospi; ac na ddihanfodir hwy byth, ond y dyoddefant y poenau hynny yn oes oesoedd. Yr wyf hefyd yn credu y caiff y cyfiawnion, wedi eu hadgyfodiad a'u rhyddhad, fel bendigedigion y Tad, etifeddu y deyrnas; ac, fel gweision Duw, fyned i mewn i lawenydd eu Harglwydd; wedi eu llwyr-ryddhau o holl allu marwolaeth, pechod, a phoen; wedi eu llenwi â phob digonolrwydd llawenydd, a ellir ac na ellir ei amgyffred; a'u sefydlu mewn diogel sicrwydd o fwynhad tragywyddol; ac felly, byddant gyda Duw a'r Oen yn oes oesoedd. Ac fel hyn, "*CARDAF Y BYWYD TRAGYWYDDOL.*"

J. D—MUS.

---

## GOFAL RHAGLUNIAETHOL DUW

### DROS

### *ANIFEILIAID YN Y GAUAF.*

MILIWNAU o greaduriaid rhesymol, y rhai ydynt yn wasgaredig drwy amryfal genhedloedd y ddaear, a feddiannant bob peth angenrheidiol er diwallu eu heisiau, ac er ychwanegu eu cysuron. Ond ni chyfyngwyd daioni Duw i ddynion yn unig; gwelir ef drwy ehangder y greedigaeth; a'r creaduriaid a gyfrannogant o hono ydynt yn anfeidrol lluosocach na meibion Adda. Er mor rhyfeddol yw cadwraeth dynolryw; etto, dengys Duw fwy o ddoethineb a nerth yn y gofal a amlyga dros yr anifeiliaid direswm. Nid yw gymmaint rhyfeddod fod y rhiwiau dirif o anifeiliaid y ddaear yn cael lluniaeth a chysgodfa yn ystod yr haf, gan fod holl anian doreithiog yn gweinyddu at y dyben hwn; ond fod rhifedi mor lluosog o greaduriaid, adar, pedwarcarnolion, trychfilod, ymlusgiaid, a physgod, yn parâu i fyw yn y tymhor hwn, sy beth mor rhyfedd ag i beri syndod gorfawr yn mynwes pob dyn. Cynnysgaeddodd anian y rhan fwyaf o greaduriaid â gorchudd i'w hamddiffyn rhag oerni y gauaf yn gystal a rhag gwres yr haf. Y bwystfilod gwylltion a breswyliant yn yr anial-diroedd a'r diffeithwch ydynt wedi eu llunio mor gywrain ag y dechreu eu blew ddisgyn oddiar eu crwyn ar ymddangosiad yr haf, a thrachefn, ar nesâad y gauaf, efe a dyf mor dew ag y dichon eu hymogelu rhag gerwindeb y tymhor.

Pan y gwna yr oerni ddiogelfa yn angenrheidiol, rhywogaethau eraill o anifeiliaid a geisiant lochesau, rhai dan risglau coed, rhai mewn adeiladau adfeiledig, ac eraill yn holltiadau creigiau, ac yn nghilfachau mynyddoedd. Yno y maent yn byw, naill ai trwy ymborthi ar y lluniaeth a ddysgasai anian iddynt ddarparu, neu ar y gwêr a barottöisant o'r blaen, neu ynte treuliant dymhor y gauaf mewn "marweidd-dra swrth," pob un yn ol arfer ei rywogaeth. Ar ymddangosiad y gauaf, yr adar a ddychwelant i leoedd cysgodol; a rhai o honynt a feddiannant reddf a'u cymhellant i ymadael o fröydd rhewedig y gogledd, ac i ehedeg yn gyflym i wledydd cynesach.

Yr anifeiliaid nad ydynt yn cyfnewid eu trigfan yn y gauaf, a feithrinir mewn amryw fodd. Yr adar a ymborthant ar y trychfilod y maent yn bigo allan o'r mwswgl, neu o'r tyllau yn rhisgl coedydd; amrai o greaduriaid a gynhelir yn fyw gan y lluniaeth a barottöisant yn eu llochesau yn yr haf; eraill a gloddiant am ymborth tan y rhew a'r eira. Er bod llawer math o ddrychfilod a physgod wedi eu cyfyngu mewn lleoedd gwlyb ag ydynt yn glöedig gan iâ, neu mewn afonydd

gwynebau y rhai ydynt wydredig gan rew, etto, yn ngwyneb, y cwbl cynhaliant eu bywyd.

Bydded i ni, gan hyny, gyduno i anrhydeddu y Creawdydd Hollalluog a haelionus, yr hwn sydd

"Yn oll o'i waith yn berffaith ac yn bur;
"Yn llywio 'r cyfan drwy ddoethineb gwych,
"Mewn nerth yn gadarn—o dosturi 'n llawn;"

a mawredd ac ardderchawgrwydd yr hwn sy dros holl greaduriaid y ddaear; y rhai, o'r cawrfil mwyaf hyd at y gwybedyn gwanaf a lleiaf, a dderbyniasant oddi wrtho ef eu bywyd, eu trigfan, a'u cynhaliaeth. Lle yr ymddengys anian yn hollol anffrwythlon, efe, er hyny, a'i gwna hi yn ddefnyddiol i ryw ddyben. Bydded i'r syniadau hyn gryfâu ein hymddiried yn Nuw, a gwasgaru o'n meddwl bob amheuaeth y parâ efe i'n cadw a'n cynnal drwy oerni y tymhor hwn.

Y Duw sydd yn darparu gwisg i anifeiliaid, ac yn dangos iddynt lochesau diogel yn agenau mynyddoedd, a ŵyr hefyd pa fodd i'th wisgo di, O ddyn! Ac efe, yr hwn a'u diwalla hwynt âg ymborth a chynhesrwydd, hyd yn nod o dan yr iâ a'r eira, a fydd yn gynhalydd i ti am bob amser, a chyraeddi borthladd dymunol, lle y treulir dy ddyddiau mewn hedd a thangnefedd, yn ddiogel rhag pob tymhestl a chynnwrf. Bydded i adfyfyriadau fel hyn enynu yn dy fynwes ddymuniad i efelychu, hyd eithaf dy allu, haelionus ofal rhagluniaeth, drwy weinyddu at gynhaliaeth a dedwyddwch dy gyd-greaduriaid, heb anghofio yr anifeiliaid direswm.

"Chwi, sy'n ymbesgi ar ddanteithion bras,
"Yn cael i'w yfed y pereiddiaf win,
"A chael ymorphwys yn y nos yn glyd
"Ar dwym welyau têg o fanaf bluf,
"Yn llwyr ddideimlad o'r cawodydd chwyrn,
"O wlaw a chesair ar y tô a glywch
"Yn enbyd guro, cofiwch—cofiwch chwi,
"Nad yw yn eiddo pawb y breiniau hyn,
"Mae rhai yn gorfod gyda chylla gwag,
"Ar wely gwellt a dillad carpiog llwm,
"Rhoi'i lawr eu pwys, gan oddef llymdra 'r hin,
"A llymdra newyn ag sydd etto 'n waeth.
"O'ch llawnder rhoddwch yn barodwych ran,
"I attal cwynion y trueiniaid hyn:
"A chwi cyd-frodyr y'nt—yr un eu Tad
"A'r eiddo chwithau, ac nid prawf o'i ddig
"Bob pryd yw anfon cystudd ar ei weis.
"Anolrheinadwy yn ei ffyrdd yw Ef:
"Ond hyn sydd *eglur*—gwir o'r nefoedd yw,
"Mai 'r hyn a roddoch i gysuro 'r tlawd,
"A rowch ar fenthyg i'r cyfoethog Dduw;
"A ph'le, er chwilio 'n faith, y gallwch gael
"Trysorwr sicrach, a thaliedydd gwell?

## EFFAITH OERNI AR IECHYD.

NID yw yn beth anghyffredin clywed rhai dynion, yn misoedd oeraidd y Gauaf, yn rhoddi canmoliaeth mawr i hyfrydwch tymhorau eraill y flwyddyn. Tra yr ydym yn mwynâu bendithion y Gwanwyn, yr Haf, a'r Hydref, nid ydym yn meddwl ond ychydig am danynt; ond pan na allwn mwyach dderbyn budd oddi wrthynt, yr ydym yn arferol o'u canmol dros fesur. Peth cyffredin gyda dynion yw diystyru y bendithion a fwynânt, ac ni ddechreuant gydnabod eu gwerth nes yr ymddifader hwy o honynt. Ond ai gwir yw mai y tri tymhor uchod yn unig a feddiannant bob peth buddiol? A ydyw y Gauaf ynte yn gymmaint trueni ag y darlunia rhai ef? Gofyniadau pwysig yw y rhai hyn, gan eu bod yn effeithio yn fawr ar ein boddlonrwydd a'n llonyddwch.

Y cyfnewidiad mawr a disyfyd a ddigwydd yn naws yr awyr, ynghyd âg amlder clefydau ymdaenol, sydd weithiau yn peri i'r Gwanwyn a Hydref fod yn beryglus: a chymmaint yw poethder gwres yr Haf fel yr achosa yn fynych amryfal ddoluriau a gwendidau. Ni theimlir un o'r pethau annymunol hyn yn y Gauaf; yr iechyd sydd yn well; y corph yn fwy heinif; a'r ysbryd-

oedd yn llawenach. Pan y byddwn yn yr Haf bron a suddo dan wres pelydr yr haul, gymmaint yr ydym yn hiraethu am gilfa gysgodol, ac awel brydnawnol, i adfywio ein cyrph lluddedig; ond heinif a bywiog ydym yn nhymhor y Gauaf; ac anaml y bydd gerwindeb yr oerni mor ddirfawr ag i beri pob ymdrech er cadw ein hunain mewn cynhesrwydd fod yn ofer.

"Os wyneb daear ac afonydd glân
"Gan rew sy nghlo; ac os o borfa'r ddol
"Yr hyn adaw-wyd sydd yn grin a sych,
"I ddyn mae'n iachus, os yw'n oer yr hin,
"I rodio allan dan yr awel gref,
"A ddyry nerthyd trwy holl ranau'r corph."

Fel hyn y dichon i'r Gauaf weinyddu at ein hiechyd a'n diddanwch. Darparodd y Creawdydd gyferbyn a'n heisiau yn y tymhor hwn yn gystal ag yn y tymhorau eraill; os ydym yn anfoddlon os nad ydym yn mwynâu cystal iechyd, tebyg yw mai ein bai ein hunain ydyw yr achos. Efallai ein bod yn treulio ein hamser mewn diogi a seguryd, ac yn trigianu mewn ystafell gyfyng a phoeth, a thrwy hyny nid ydym yn anadlu awyr bur, nac yn myned i rodianna hyd y meusydd yn y dyddiau hyny ag ydynt yn deg ac yn gynhes. Neu efallai ein bod yn ysglyfaeth i bryderwch ac anhyder yn nghylch yr amser i ddyfod; a'n bod yn treulio ein dyddiau a'n nosweithiau mewn galarnadau difudd; neu, hwyrach, fod ein annghymmedrolder yn halogi ein moesau, ac yn anafu ein hiechyd a llonyddwch ein meddwl. Dedwydded y gallai dyn fyw, a chryfed ei iechyd, pe na byddai iddo droseddu deddfau natur, na myned dros derfynau cymmedrolder! pe cymmerai orphwys yn olynol â gwaith, a phleser a'i orchwylion. Bydded i ni, gan hyny, ymdrechu yn wastad, hyd eithaf ein gallu, i gyflawni dybenion mawr ein Creawdydd tu ag atom; yna meddwl heddychlyd, a chalon lawen, a bâr i'n dyddiau fod yn gysurus; a rhinwedd a dirwest a wna ein tymhorau yn addfwyn, a'n hiechyd yn gryf.

STURM.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### YR HEBOG.

Y MAE amryw fath o'r rhyw Hebogaidd: a rhydd y Dr. Pughe yn ei Eiriadur rhagorol enwau neillduol rhai o honynt. Hebog Chwyldro *(Gerfalcon)*; Hebog Dramor *(Peregrine Falcon)*; Hebog Wlanog *(the Lanner)*; Hebog Marthin *(the Goshawk)*; Hebog yr Ehedydd *(the Hobby Hawk)*. Yr Hebog ydoedd mewn mawr gymmeriad yn y wlad hon yn y dyddiau gynt. Fe ddywedir i wr bonheddig o'r enw Syr Thomas Monson, Barwnig, roddi *Mil o Bunnau* am nythed o Hebogiaid yn amser Iago y cyntaf. Yn nheyrnasiad Edward y trydydd yr oedd torri wyau yr Hebog yn gwneuthur un yn agored i gael ei garcharu am un dydd a blwyddyn, er fod y nyth ar ei dir ei hun. Yr oedd yr aderyn hwn mewn parch a bri nid bychan ym mhlith yr hen Gymry ym mhell cyn dyfodiad y Saeson i'w gwlad, na chlywed son am eu henw: canys yr oeddynt yn fedrus yn y gelfyddyd o Hebocca cyn dyfodiad y Rhufeiniaid i'r ynys hon; a thebyg yw mai gan y Cymry y dysgodd y Rhufeiniaid y dull hwn o hely adar: canys nid oedd o'r braidd yn hyspys iddynt yn nyddiau yr Ymerawdwr Vespasian, er ei ddwyn i'w plith yn fuan wedi hyny. Yr Hebog sydd aderyn ysglyfaethus; ac y mae yn perthyn i'r teulu hwn lawer mwy na chant o amrywiaeth. Y maent oll yn cyttuno yn newder eu hyspryd, bachogrwydd eu pig, teryll-dra eu llygaid, chwimdra eu hediad, a chryfdwr eu haden a'u hysbagau; er eu bod yn amrywio o

ran lliw, brithni, a maintioli. Yr Hebog Chwyldro yw y mwyaf. Ei goppa sydd wastad a llwydliw; ei big sydd ferr, gref, fochog, a glasaidd ei lliw. Nid oes arno ofn un aderyn o'r Eryr i lawr; ac eheda yn gyffredin ar ol adar mawrion, megis y Crëyr, yr Aran, a'r Ciconia. Y nesaf o ran maintioli i hwn yw yr Hebog Dramor, yr hwn sydd o faintioli cyffelyb i'r Gigfran; ei liw sydd lwydwyn, brithedig â manau duon. Y nesaf at hwn o ran maintioli yw yr Hebog Wlanog, yna yr Hebog Marthin, a'r Hebog Ehedydd, ac i lawr hyd y Llymysten a'r Cudyll Coch. Y lleiaf o'r Hebogiaid nid yw fawr fwy na'r Fronfraith, etto y mae mor wrol, fel y mae yn ofnadwy i adar deg cymmaint âg ef ei hun. Tery Betrisen neu Sofliar â'i aden yn farw ar un dyrnod. Y mae dewder yr Hebogiaid y cyfryw, fel na wna un aderyn heb fod yn fwy o lawer iawn na hwynt eu dychrynu; a'u chwimdra hefyd ar eu haden sydd gyfryw, fel o'r braidd y dianc un aderyn oddi arnynt. Y mae y rhai uchod hefyd o duedd mor athrylithgar, fel y dysgant ufuddhau, nid yn unig i orchymyn eu perchennog, ond i'w amneidiau. Nid yw yr holl amrywiaeth i'w cael yn y deyrnas unedig hon. Y mae yr holl amrywiaeth a ddefnyddid yn fwyaf cyffredin i Hebocca yn yr ynys hon i'w cael yn y deyrnas unedig. Yr Hebog Dramor a nytha yn nghreigiau Arfon. Yr Hebog Chwyldro a Marthin, ac eraill, a nythant yn ucheldiroedd yr Alban, a'r Hebog Wlanog yn yr Iwerddon. Y mwyaf dychrynllyd i'r adar yw yr Hebog Chwyldro; canys pan fo hwn yn ehedeg yn uchel yn yr awyr ym mhell yn uwch nag y cenfydd llygaid dyn, ehed yr adar gwyllt a gwâr yma ac accw mewn ofn a dychryn rhagddo. Dysg yr Hebogwr ei aderyn i ddal a lladd adar eraill yn y modd canlynol, neu y cyffelyb. Fe ddechreu gan roddi careiau am ei goesau, wrth y rhai y rhwyma fodrwy â'i enw arni, fel y gwybydder eiddo pwy ydyw, pe digwyddid ei golli: rhoddir clychau bychain wrth y careiau i nodi allan pa le y bydd os collir ef wrth hela. Cymmer yr Hebogwr lawer o drafferth i ddysgu ei aderyn i ddisgyn ac eistedd ar ei law, neu ei arddwrn. I'r dyben hwn dwg yr Hebogwr ef ar ei law am gryn lawer o amser yn y dechreu; a chan ei daflu i lawr yn awr ac yn y man, efe a ymdrecha i'w addysgu i ehedeg, a disgyn ar ei law drachefn a thrachefn wrth ei chwibaniad a'i amneidiau. Os bydd yn ystyfnig, cedwir ef ddydd a nos yn ddiorphwys heb gwsg nac ymborth am ddeuddydd neu dri; a rhoddir am yr amser hwn fwgwd am ei lygaid, a thrwy ddisgyblaeth chwerw fel hyn dros ychydig ddyddiau fe ddofir yr aderyn. Barna ei berchennog ei fod wedi ei ddofi yn ddigonol pan y goddefo roddi y mwgwd am ei lygaid heb wrthwynebiad, a phan ymbortho yn ewyllysgar ar y bwyd a osoder o'i flaen ar ol tynnu ymaith y mwgwd. Ar ol hyn dysgir ef i ehedeg a disgyn ar fwyd darparedig. I wneuthur hyn ar y dechreu cylymir wrth ei droed linyn, o driugain llath neu fwy o hŷd, i'w rwystro i ehedeg ymaith, ac ni thynnir ymaith y llinyn nes y bo'r Hebog yn ehedeg ac yn disgyn ar y bwyd wrth lais ac amnaid yr Hebogwr. Denir ef i wneuthur hyn trwy hûd. Yr hûd a wneir trwy rwymo neu hoelio pig a thraed ac edyn rhyw aderyn ar ddernyn o ryw beth coch, a rhoddir wrth y rhai hyn ddernyn o'r cig â'r hwn y porthir yr Hebog. Pan y chwennycho yr Hebogwr alw yn ol ei Hebog, efe a deifl yr hûd, a phan welo'r aderyn ei hoff fwyd, a chlywed llais ei berchennog, efe a ddychwel ac a ddisgyn ar yr hûd. Ym mhen ychydig y mae llais ei

berchennog yn unig yn ddigon. Gwisgir yr hûd âg amryw fath o blu, yn ol yr adar yr ewyllysio yr Hebogwr i'w aderyn ehedeg ar eu hol, a'u dal. Pan yr ewyllysiont iddo ehedeg ar ol Garan neu Betrisen, neu Iar y coed, gwisgant yr hûd â phlu yr adar hyn, a rhoddant o dan lun yr aderyn felusfwyd o'r fath a gâr yr Hebog; ac wedi ei arfer fel hyn am dro, efe a hed gyda chyflymdra ar ol yr aderyn byw pan y dangoser ef iddo. Treulir mis neu ychwaneg o ddyddiau yn arfer yr aderyn fel uchod; yna wedi hyny cymmerir ef i'r maes â'r mwgwd am ei lygaid, fel na welo ond yr aderyn y bo i ehedeg ar ei ol. Yna wedi i'r ci ei godi, neu gyfeirio atto, tynnir ymaith y mwgwd, a chodir yr aderyn, a gollyngir yr Hebog ar ei ol. Edrych arno yn chwyldroi wrth ehedeg i fynu i'r entrych weithiau allan o olwg ei berchennog, ac yna yn disgyn fel pe buasid yn ei saethu o'r entrych ar ei aderyn, a rydd lawer o ddifyrwch i'r edrychwyr. Anian, y mae yn debyg, a'i dysg, yn lle ehedeg ar ol ei aderyn, i ehedeg i fynu i'r awyr, gan gadw ei olwg ar ei aderyn, ac yna wedi iddo fyned mor uchel a bod yr aderyn yn ddiofal, y mae yn disgyn arno yn ddiattreg, ac yn ei ddal a'i ddwyn i'w arglwydd ar ei alwad. Nid esgeulusa 'r Hebogwr am y troion cyntaf roddi i'r Hebog y pen a'r gwddf a'r colyddion. Yr anrhegion hyn a'r ganmoliaeth a roddir iddo gan yr Hebogwr, a'i calonnoga at y cyffelyb orchwyl drachefn, a cheidw ddewder ei yspryd, a diogela ef rhag ehedeg ymaith, a dwyn ei ysglyfaeth. Pan yr ewyllysio yr Hebogwr arfer ei Hebog i erlyn Cwningod neu Ysgyfarnogod yn gystal ag adar, efe a leinw groen Ysgyfarnog â gwellt neu wair, a rhwyma wrtho ddernyn o gig a fo hoff gan yr Hebog, a rhydd linyn hir wrtho, a rhwyma y llinyn wrth gengl ceffyl. Yna marchoga rhyw un y march, a'r croen a grychneidia ar ei ol wrth y llinyn; a dangosir ef i'r Hebog, a theflir ef ar ei ol; yntau, gan dybied mai creadur byw ydyw, a ehed atto, ac a ddisgyn arno; ac fel hyn y dysgir ef i adnabod ei ysglyfaeth. Dysgwyd Hebogiaid i ehedeg ar ol yr Iwrch, y Baedd gwyllt, a'r Blaidd. Dysgir yr adar hyn trwy arferiad fel hyn i erlyn unrhyw greadur helyaidd. Y creaduriaid a rydd fwyaf o elw i'r Hebogwr ynt yr Ysgyfarnogod, y Petris, y Soflieir, a'r Ieir coed; a'r rhai a rydd fwyaf o ddifyrwch iddo ydynt y Crëyr, y Barcud, a'r Uch-hedydd; canys y rhai hyn a ehedant i fynu i'r awyr: a difyrwch nid bychan a rydd i'r edrychwyr sylwi ar ymgais yr Hebog i ynnill arnynt, ac i fyned yn uwch no hwynt, fel y gallo ddisgyn arnynt. Ac fel hyn yn fynych yr ehedant mor uchel, fel na's gallo 'r edrychwyr eu canfod am dro; yna gwelir hwynt yn disgyn gan ymdrechu am yr oruchafiaeth: ond nid hir yr erys yn ammheus; canys yr Hebog a ennill y dydd, a'r aderyn arall a syrth yn ysglyfaeth i'r Hebog, neu i'w berchennog. Eheda Hebog cryf yn gyflym iawn. Y mae coffadwriaeth am un a ehedodd *wyth ugain milltir* mewn *un diwrnod*; a dywedir am un arall iddo ehedeg ar ol Cyffylog *ddeng milltir ar hugain* mewn *awr*. Y mae traed Hebog yn cael eu cadw yn Mostyn, Swydd Fflint, wrth y rhai y mae clychau bychain. Yr Hebog uchod a ddiangodd foreu y pedwerydd dydd ar hugain o fis Medi, 1772, oddiar ei berchennog, gwr bonheddig yn Swydd Angus yn yr Alban, ac a laddwyd yn agos i Fostyn foreu y chweched ar hugain o'r un mis. Ond ni wyddis pa bryd y daeth i'r ardal, am hyny ni's gellir dywedyd pa un ai cynt ai arafach yr ehedodd na'r Hebogiaid eraill. Hebogiaid Ynys yr Iâ

yw y rhai mwyaf cymmeradwy; canys fe ddywedir y parhânt i adara am ddeg neu ddeuddeng mlynedd, pan nad yw y rhai eraill, meddir, yn alluog i'r gwaith am fwy na thair neu bedair blynedd. Dywedir y dygir i'r ynys uchod, trwy werthu Hebogiaid, oddeutu Pum Cant o Bunnau bob blwyddyn. Delir hwynt gan y preswylwyr mewn rhwydau, a dofir hwynt, a gwerthant hwynt am bris uchel. Bernir Hebog Chwyldro, os bydd yn berffaith wyn, ac wedi ei ddysgu yn dda, yn werth *Tair a Chweigain*, neu fwy.

Nid oes fawr o'r adar gwylltion yn wylltach na'r Hebogiaid, etto ni a welwn eu dofi, ac y dofir hwynt "gan y natur ddynol," ac y dygir hwynt i fod yn dra gwasanaethgar i'r dyn. Fe allai, pe caem ni bwyll ac amynedd, y gallem etto ddwyn llawer o'r creaduriaid gwylltaf i fod yn ufudd ac yn wasanaethgar i ni. Ni fyddai ryfeddach ym mlaen llaw glywed son am ddofi 'r llew a'i wneuthur yn ddefnyddiol, na dofi 'r Hebog a'i wneuthur yn wasanaethgar; etto hyn a wnaethpwyd.

R.

---

LLYTHYR PERERIN.

Wyliedydd Effro—Ni's gwn yn iawn, ac ni's gwaeth i chwithau, pa un ai mewn gweledigaeth y bum neithiwr, ai breuddwydio wnaethym, ai ynte dychymmygu yr wyf; ond pa fodd bynag am hyny, fel hyn y bu, a dyma 'r cwbl i chwi, a gwnewch y fynoch a fo.

Teithiais yn feddylgar, a phwy nid yw felly y dyddiau hyn, dros fryniau a moelydd, a thrwy aml anialwch dyrys, a rhai dyffrynoedd têg a ffrwythlawn; a phe buasai i mi gartref yma, ysgatfydd, y dywedaswn yn un o honynt, Wele 'r man i mi osod fy mhabell: ond nid oes gorphwysfa i mi nac i chwithau, yn nghwsg nac yn effro, mewn breuddwyd na gweledigaeth, am hyny ym mlaen ym mlaen yr aethym, hyd nes gwelais wastadedd mawr a helaeth. Nid wyf yn cofio ei enw, os clywais. Yma y gwelais amrywiaeth rhyfedd o bethau—rhai o honynt ni fedrwn eu darlunio pe ceisiwn, eraill pe medrwn ni wnawn, oblegid difudd fyddai. Yn agos i ganol y gwastadedd, wrth sylwi, myfi a welwn ryw adeilad mawr ardderchog. Yr wyf yn cofio, pan welais ef gyntaf, fy mod yn rhyfeddu wrth ei harddwch, ac ni chlywais neb a wyddai wahaniaeth rhwng llys a bwthyn, yn dywedyd gair ond o'i blaid. Nid wyf pan yn effro yn ddigon hysbys yn nulliau adeiladaeth i ddywedyd pa un ai yn ol dull Corinth, ai yn ol dull Ionic neu Doric, Gothaidd neu Saesonaidd, yr oedd wedi ei adeiladu. Rhai a ddywedent mai Saesonaidd oedd—ymofyned y cywrain am hyn. Yr oedd yn llys mawr crwn, fel Bwrdd Arthur, ac yn y canol yr oedd tŵr yn cyrhaedd i'r nef uchod; o amgylch ogylch i'r tŵr hwn yr oedd ystafelloedd, ond yn taflu allan ryw ychydig o gylch y tŵr, ryw beth yn debyg fel pe buasai Eglwysydd wedi eu hadeiladu o amgylch ogylch, a chloch-dŷ yn eu canol, ond yn gyssylltiedig â phob un. Ac o'r ystafelloedd, a llefaru yn gyffredin, yr oedd, fel y deallais wedi hyn, risiau yn arwain i risiau y tŵr, y rhai a arweinient y dringyddion i entrych nef. Wedi clywed, neu ddychymmygu fel hyn am y llys, myfi a benderfynais, os dichonadwy, ei weled a myned drwyddo o ben i'w gilydd: ac felly aethym i fynu ato, a buan y darllenais arno y geiriau hyn *Llys Gwrthdystiaeth* mewn llythyrenau mawrion, y rhai y gallai rhedegwyr eu darllen. Aethym yn nes, a gwelais uwch ben y drws cyffredin, fel hyn, "*Y Bibl, yr Holl Fibl, a dim ond y Bibl yw*

*Crefydd y Gwrthdystion.* *Rhagorol iawn,* ebe fi, yn nghwsg neu yn effro, y mae hyn wrth fy modd, âf i mewn a llettyaf o leiaf, ac os caf cartrefaf yma. Erbyn hyn, wele fi wrth y drws, a phan yr oeddwn yn meddwl am guro, gwelwn yn argraphedig arno fel hyn, *Rhyddid a Chroesaw.* Aethym trwyddo, ac wele fi mewn rhyw neuadd fawr, lle y gwelais lawer o segurwyr yn myned ac yn dyfod. Edrychais o amgylch, a chanfyddais lawer o ddrysau, yn arwain i ystafelloedd helaeth, yn agored. Penderfynais fyned i mewn i'r hon a ymddangosai hynaf yn gyntaf; ac ar ol myned i mewn, sylwais yn gyntaf ar ddull yr ystafell, yna ar y rhai ag oedd ynddi, ac yn olaf ar eu hagwedd. Yr ystafell oedd ehang a hardd, a llawer o hen ddefnyddiau ynddi—pethau, yn ddiammeu, a welsent wasanaeth yn y dyddiau gynt, ym mlynyddoedd yr hen oesoedd. Yn wir, yr oedd dull yr ystafell, o ran y rhan amlaf o bethau, yn ol yr hen *bortreiadau.* Yr oedd i'r ystafell bedair o ffenestri; un yn edrych allan o'ch blaen, pan y deuech drwy 'r drws, un arall ym mhob ystlys i'r ystafell, yn edrych i'r ystafelloedd eraill ar bob llaw, a'r bedwaredd uwch ben, wedi ei gosod yn y cyfryw le a modd, fel y gwelid yr haul drwyddi, ac y pelydrai yntau ei oleuni a'i wres, yn neillduol ar y grisiau a arweinient i'r Tŵr, ac ar y lleoedd ynghylch y grisiau. Sylwais ar y grisiau eu bod yn fân iawn, y cyfryw ag y gallai y gwanaf eu dringo—yr oeddynt yn gulion. Uwch ben drws y grisiau yr oedd yn ysgrifenedig, *O, bawb sydd yn flinderog a llwythog, ac yn hiraethu am esmwythder, dringwch i fynu yma!* Yr oedd ffordd rydd o bob rhan o'r ystafell at y grisiau. Yr ystafellyddion oeddynt lawen ac amryw iawn—llawer yn ieuangc, a llawer yn hen—llawer yn dlawd, a llawer yn gyfoethog—llawer yn ddysgedig, a llawer yn annysgedig—llawer o rai gwael a dienw, a llawer o rai anrhydeddus ac enwog. Wrth sylwi, gwelais eu bod wedi eu rhanu yn ddosbarthiadau, rhai yn fwy a rhai yn llai o ran rhifedi; ac er eu bod wedi eu rhanu fel hyn, etto yr oedd y cyfryw berthynas rhwng pob dosbarth a'u gilydd, fel nad oeddynt ond megis un teulu. Yr oedd agos i bob dosbarth un, ac i rai ddau neu dri, i edrych ar eu hol i'w harwain ac i'w haddysgu ynghylch yr haul uwch y grisiau, y grisiau a'r pethau ysgrifenedig uwch eu penau, ac i'w hannog i fyned i fynu ar hyd-ddynt; ac yr oedd yno eraill hefyd i edrych a oedd y rhai hyn yn cyflawni eu dyledswydd, ac i ymofyn pa gynnydd yr oedd yr ieuaingc yn ei wneuthur yn y pethau hyn; ac eraill i edrych ar ol pethau eraill, ac i annog y naill y llall i'r gwaith elusengar hwn. Yr agwedd ar yr ystafellyddion oedd amryw iawn—yr oedd rhai yn y dosbarthiadau, a rhai o'u harweinyddion a'u harolygwyr yn edrych allan drwy 'r ffenestr ym mhen draw yr ystafell, ac yn gweiddi allan, *Perffeithrwydd tegwch—nid oes frycheuyn, nac oes un —i gyd oll yn ogoneddus—nid oes na hoel na phin, na dodrefnyn, na dosbarth, na dim arall o'i le: nid oes yn amgen ond bod yn y cyfryw ystafell i fod yn ddedwydd yma ac oddi yma.* Edrychais, wrth glywed hyn, a sylwais, a gwelais ryw fodd mai gwydr o liw gwyn oedd ar y ffenestr, a bod pob peth yn ymddangos yn *wyn,* lliw perffaith, i bawb a edrychai drwyddo. Gwelwn eraill o bob gradd yn edrych drwy 'r ffenestri yn yr ystlys, a chlywn hwynt yn dywedyd, *Y mae mor ddu ag uffern, mor dywyll a'r fagddu—y mae pob peth sydd yn perthyn i'r ystafelloedd gwahanol oddi wrthym ni i gyd yn ddu—nid oes obaith i'r rhai sydd ynddynt, canys nid oes addewid*

*iddynt—y maent tu allan i'r cyfammod, ac am hynny, gwelwch mor ddu, mor druenus, mor* ——. Tawlais gip golwg ar y ffenestri hyn, a gwelais ryw fodd neu gilydd mai gwydr o *liw du* oedd arnynt, ac yr oedd y cwbl yn ymddangos, i'r rhai a dreulient eu hamser yn edrych drwyddynt, yn ddu erchyll. Och, ebe fi, onid yw y bobl hyn yn treulio eu hamser yn ofer iawn. Dyben y cwbl yn yr ystafell, ïe, yr ystafell ei hunan, yw arwain y bobl i'r grisiau, a'r tŵr, a'r nef. Gwelwn eraill, yn nghanol y cwbl, yn ddiwyd yn annog eu praidd, a llawer o honynt hwythau yn gwasgu ym mlaen tu a'r grisiau, ac eraill wrthynt, ac eraill arnynt, ac yn myned i fynu, a'r haul yn pelydru yn hyfryd arnynt. Gwelais eraill yn codi o'r dosbarth hwn ac arall, o herwydd rhyw beth neu gilydd, ac yn myned allan, un i'w faes, ac arall i'w fasnach, ac eraill i ryw ystafell arall. Ar ol sylwi fel hyn am dro, aethym innau allan, ac ym mhen ychydig troais i mewn i ystafell arall—yr oedd yn amrywio rhyw ychydig o ran ei llun a'i dodrefn oddi wrth yr un gyntaf. Nid oedd y pethau yn ymddangos mor hen—yr oedd y grisiau a'r ffenestri yr un, a'r dosbarthiadau i ryw raddau felly hefyd—yr oedd un i edrych ar ol pob dosbarth agos, ac yr oedd rhyw rifedi o barchedig henafwyr i oruwch-lywodraethu y cwbl. Wrth edrych ar yr haul o rai o'r dosbarthiadau yn yr ystafell hon, nid oedd yn edrych yn amgen na lleuad; canys nid oedd fawr, os dim, ond goleuni a gwres benthyciol i'w ddisgwyl oddi wrtho, meddent. Yr oedd rhai wrth y ffenestr wen yn yr ystafell hon, ac yr oedd pob peth wrth fodd eu calon, ac yn berffaith ddigon; ac eraill wrth ffenestri yr ystlysau, ac yn edrych drwyddynt, ac yn croch floeddio, Y mae pawb tu allan i'r ystafell hon yn ddu, yn anferth, ac yn felldigedig—nid oes na goleuni, na gwres, na ffrwyth, na dim prydferthwch yn perthyn iddynt. Pa fodd y maent yn gallu aros am y mynydyn lleiaf yn y fath le? O drueiniaid tlodion! deillion ydynt, ac yn y tywyllwch; nid oes obaith iddynt. Och, o'r gwydr du, ebe fi; ni's gwn a glywsant ai peidio. Etto, er hyn, gwelais yno lawer yn edrych tu a'r haul, ac yn diwyd lafurio i arwain eu dosbarthiadau tu a'r grisiau, a llawer oedd, trwy fendith Duw, yn ymgais tu a'r grisiau, a llawer arnynt yn myned i fynu, dan ganu yn llewyrch yr haul ysplenydd. Gwelais lawer hefyd yn codi, ac yn myned allan oddi yma i'r neuadd ac i ystafelloedd eraill.

Yna wedi i mi ystyried ychydig ar yr hyn a welswn; myfi a droais tu a'r drws, ac aethym allan i'r neuadd, a sefais ychydig i ystyried i ba ystafell yr awn nesaf. Pa fodd bynnag, myfi a droais ar un llaw, ac aethym i mewn i ystafell ehang a hardd. Gwelais yn ddioed fod yr ystafell wedi ei had-gyweirio a'i diwygio yn y cyfryw fodd, fel o'r braidd y gallai neb ddywedyd fod tebygolrwydd rhyngddi a'r hyn ydoedd yn ol hanes ar y dechreu. Yr oedd gweddusdra a threfn ar bob rhan o honi yn awr, ac ar bob peth gan mwyaf ynddi. Yr oedd er hyn yn ddwy ran. Ymofyned yr hwn a feddianno amser i chwilio pethau fel hyn beth oedd neu yw yr achos o hyny. Yr oedd yr ystafell, o ran y grisiau a'r ffenestri, yr un gan mwyaf a'r rhai a enwyd. Yr ystafellyddion oeddynt lawer, ac yn ddosbarthiadau, a rhai wedi eu dewis i weinyddu iddynt. Yn llun y dosbarthiadau yr oedd y gwahaniaeth mwyaf rhwng ystafell ac ystafell. Taerai yr ystafellyddion yma agos i gyd, fod yn rhaid trochi pob dyn mewn oed cyn y gallai fyned i fynu 'r grisiau; ac nad oedd neb ond yr hwn a fedrai

atteb dsosto ei hun i fyned dan arwydd cyfammod Brenin y nef. Gwelais yma yn fuan, er fy ngofid, bod llawer, yn enwedig o'r rhai ieuaingc ym mhlith yr ystafellyddion, yn edrych gormod drwy ffenestr y pen draw a ffenestri 'r ystlys, ac yn ganlynol yr oeddynt yn canmol eu hunain, ac yn diystyru eraill, fel y gwnai eu cyffelyb yn yr ystafelloedd eraill. Parai swn am, a therfysg ynghylch pethau fel hyn yn yr ystafelloedd, i lawer o ddynion betruso ynghylch cychwyn tu a'r grisiau, ac i eraill arafu, ac i rai edrych yn ol, a rhedeg i weled rhyfeddodau 'r ffenestr, yn lle myned i fynu 'r grisiau. Ac yn wir, a dywedyd y gwir, yr wyf yn ofni bod rhyfeddodau 'r ffenestr wedi dileu pob meddwl am y grisiau o feddwl llawer un ym mhob un o'r ystafelloedd; etto yr oedd yn yr ystafell hon dyrfaoedd o bobl yn wynebu tu a'r grisiau, a llawer arnynt, ac yn myned i fynu ar hyd-ddynt yn llawen ac amyneddgar, gan edrych ar yr haul disglaer uwch ben, a thynu tu ag atto. Symmudais oddiyma, ac aethym i mewn i ystafell fawrwych arall. Yma yr oedd pobl ddigon, fychain a mawrion. Nid llawer o amrywiaeth oedd yn ymddangosiad yr ystafell oddiwrth y lleill. Edrychais yn gyntaf a oedd yr haul yn llewyrchu drwy 'r ffenestri uwch ben y grisiau, a gwelais ei fod, a bod llwybr rhydd o bob congl i'r ystafell tu a'r grisiau. Gwelais hefyd fod y ffenestri eraill yno. Yr oedd y dosbarthiadau yn amrywio oddiwrth y rhai yn yr ystafelloedd eraill; canys nid oedd berthynas rhyngddynt a'u gilydd. Yr oedd pob un mor anymddibynol oddiwrth y llall a phe na buasai ond yr un hwnw yn unig yn yr ystafell. Pe buasai yn digwydd i bethau fyned o chwith mewn dosbarth, nid oedd a fynai eraill i ymyraeth âg ef, os na ofynid iddynt; ond er hyn llawenychais, pan ystyriais fod perthynas rhwng pob dosbarth a'r grisiau, er nad oedd perthynas rhyngddynt a'u gilydd. Yr oedd pobl ffenestri 'r ystlysau a'r talcen yn rhy fynych yn gwneuthur terfysg yma, fel yn yr ystafelloedd eraill, ac felly yn taflu tramgwyddiadau yn ffordd pobl y grisiau, ac yn difyru segurwyr â'u rhyfeddodau i yspryd trwmgwsg a dinystr; canys ni waeth pa un ai dyn ai diawl a gadwo ddynion oddiwrth y grisiau, yr un fydd y canlyniad, os eu cadw oddi wrthynt a wneir. Gwelais un o'r ystafellyddion hyn yn codi o herwydd rhyw beth, ac yn myned at y ffenestri: edrychodd yn gyntaf i ffenestr y talcen, a gwelodd bob peth yn wyn ragorol. Yr oedd fel paradwys, a phob peth dymunol a daionus ynddi, ac nid oedd ynddi, mwy na'r Iwerddon, beth gwenwynllyd o fath yn y byd. Edrychodd wedi hyny trwy un o ffenestri 'r ystlys, a rhyfedd mor erchyll yr ymddangosai y cwbl iddo. Nid oedd y cwbl tu arall ond Anghristaidd, anysgrythyrol, ac erlidigaethus. Tywyllwch dudew fel tywyllwch yr Aipht oedd yn amgylchynu holl drigolion yr ystafell, tu arall i'r gwydr; a pha ryfedd eu bod mor dywyll a meddwl mai teyrnas ddaearol yw teyrnas Iesu Grist. Aroswch, eb efe, gadewch i *mi* fyned i ben y gadair, a myfi a waeddaf â'm holl egni hyd nes clywo yr holl dŷ, *Nid yw Brenhiniaeth Crist o'r byd hwn, Nid yw Brenhiniaeth Crist o'r byd hwn;* ac os meddwl, ac os dywed neb ei bod hi, Anghrist yw; ac y mae llawer o ganlyniadau ofnadwy a dychrynllyd, cableddus a dinystriol, yn deilliaw o'r fath ddaliadau a hyn. Ac aroswch, ŵr ieuangc, ebe rhyw un yno, a oes rhyw un, neu ryw rai, yn rhyw le, yn dal bod teyrnas Crist o'r byd hwn? neu, mai Brenin daearol yw Iesu Grist? canys chwi a wyddoch mai *dau beth tra gwahanol yw, bod*

*dynion yn dal hyn, a'ch bod chwi yn meddwl eu bod yn eu dal hwynt.* Peidiwch a chodi twr, a gosod eich cyflegrau mawrion i saethu gwr gwellt o'ch gwaith eich hunan. Aroswch, aroswch, ebe 'r gwr ieuangc, edrychwch drwy y ffenestr yma, nid all fod ammheuaeth nad yw 'r pethau fel y dywedais. Y maent yn ymddangos i mi felly, a'r canlyniadau yn anocheladwy. Fe allai hyny, ebe rhyw un wrtho, etto myfi a welaf nad ydych ond ieuangc; edrychwch drwy hon, eb efe, gan dynu ei *spectol* oddi am ei drwyn, a'i rhoddi i'r gwr ieuangc. Yna efe a ofynodd iddo, pa liw oedd ar yr ystafell, a pha liw oedd ar ei groen ef ei hun, a pha liw oedd ar ei gymmydog? Attebai yn eon, *gwyrdd yw y cwbl yn ymddangos i mi.* Ai gwyrdd ydynt, ebai perchen y gwydrau? Y maent yn ymddangos felly, er y gwn nad gwyrdd ydynt. Felly, ebai y gwr hwn wrth y dyn ieuangc, fe all fod y gwydr yn y ffenestr yna yn ddu, ac felly fe ymddengys pob peth a welir trwyddi yn ddu. Peidiwch a threulio nerth ac amser yn curo yr awyr; ac nid yw 'r pethau yna a waeddasoch yn groch yn beth newydd; y mae wedi ei ddywedyd a'i wrthddywedyd ganwaith cyn eich geni chwi, ac nid wyf yn meddwl y buasech byth yn meddwl am y fath beth oni buasai i ryw un ei sibrwd yn eich clust: y mae lediaith arno. Taw, da machgen, a dos at dy waith: ymdrecha hyd y mae ynot i arwain dynion i *weled yr haul, ac i fyned i fynu 'r grisiau.* Hawdd iawn i'w codi rhwystrau a denu dynion at y ffenestri, ond anhawdd yw eu harwain a'u denu at, ac i fynu 'r grisiau. Nid yw o fawr bwys pa un ai crwn ai onglog, ai hir ai pedairongl, fo llun y dosbarthiadau, os ydynt yn llewyrch yr haul, ac yn arwain dynion i'r grisiau, ac i fynu 'r twr hyd y nef. Ni's gwn tros ba hyd y bu 'r ymddiddan; canys nid oedd hamdden i'm wrando yn hwy. Aethym oddi yno i ystafell arall. Gwelais bod y ffenestri yno, ond nid oedd yno oddieithr goleuni lloer, oblegid yr oeddynt yn cau allan ogoniant yr haul, ac nid oedd yn eglur i mi fod yno risiau. Yr oedd yn rhy oer im' aros yno, ac am hyny aethym allan ac i ystafell fawr arall. Yma yr oedd gwres ddigonedd, a dynion blith dra phlith yn gwasgu at y grisiau, a dynion yn myned yn barhaus o amgylch, yn gweiddi, Ffowch, ffowch am eich bywyd, y mae 'r diluw bron a'ch dal! Ewch i fynu 'r grisiau, ac onid è fe a'r diawl a chwi i'r tân anniffoddadwy! Rhyfedd y sobrwydd a lynai yn y gwrandawyr wrth y pethau hyn. Gwelwn yma etto rai yn dechreu ymyraeth â'r ffenestri, ac yn dechreu croch lefain, Nid oes neb fel nyni—ni yw 'r dynion—ein corph ni yw 'r gwir gorph—y mae fel hyn ac fel hyn ym mhawb arall, &c.—deillion yw pawb eraill ond nyni. Och, och, ebe fi, y mae pla 'r ffenestri yma etto; a chan ofid a dolur, myfi a redais allan i ganol y neuadd, ac a waeddais, fel â llais udgorn, ar holl breswylwyr y llys, O frodyr, naill ai torwch y ffenestri duon ym mhob ystafell, neu ynte nac edrychwch trwyddynt. Byd o brofiad yw hwn, ebe rhyw un, am hyny y mae 'r ffenestri yn rheidiol i'n profi. Ac ar hyn myfi a ddaethym attaf fy hun, a gwelais mai PERERIN wyf.

---

BRWYDR FAWR WATERLOO.

SYR—Y mae yn awr yn agos i bymtheng mlynedd er pan y mae duwies eirionaidd heddwch wedi estyn ei hadenydd tawel dros gan mwyaf o wledydd Ewrob. Y mae y tymhestlau dychrynllyd a fu yn ymgasglu, yn ymdorri, ac yn ymdywallt am eu penau, yn bresen-

nol wedi myned heibio; a heulyd tangnefedd yn disglaer dywynnu. Y mae yr amrywiol ffrydiau o anghydfod ag oedd yn torri allan y'mhob rhyw gyrrion, gan orlifo yr holl Gyfandir, wedi sychu i fynu. Y mae y meusydd, y rhai ar y pryd a ordöed â'r galanastra, yn awr yn cael ei braenaru â chwlltwr yr arddwr, ac yn dwyn ffrwythau cynnyrchiol i gryman y medelwr; ac y mae y dinasoedd a ddifrodid gan y rhyferthwy arswydus, heb na rhuthro i mewn, na myned allan, na gwaedd yn eu heolydd. Hefyd y mae y dynsawd rhyfedd, yr hwn, fel Iau gynt, a lywiai yr ystorom, ac a ergydiai folltau ei tharanau, wedi disgyn i ystafelloedd tawel y bedd, a'i gleddyf durfin o dan ei ben. Y mae y llef, yr hon, o'i chlywed, a barai i benau coronawg grynu, wedi myned i lawr i ddystawrwydd; a'r llaw, yr hon a chwyfiai ei theyrnwialen dros dair rhan Ewrob, yn malurio yn y pridd: ac yn awr y mae yr helyg pendrymawl yn estyn eu brigau irfeinion dros ei fedd, gan gynnwys rhwng eu goblygiau lwch yr hwn unwaith a dybiai y byd cyfan yn rhy fechan ymerodraeth iddo.

Tawel a hafaidd yw ein dyddiau ni yn awr, Mr. Gwyliedydd; y mae y rhuthr ofnadwy wedi ein gadael, ac nid ydym yn bresennol ond fel yn clywed ei swn, ail i daranau oddi draw, yn cael ei dreiglo i ni, naill ai trwy gyfrwng hanesyddiaeth, neu adroddiad llygad-dystion. Po agosaf y dynesom o ran ein meddyliau i gymmeryd golwg ar holl effeithiau dychrynllyd rhyfel ac ymladd, mwyaf diolchgar y teimlwn i Awdwr pob daioni am wasgaru y rhai oedd dda ganddynt ryfel, a mwyaf taer yr unwn yn yr eirchiau erfyngar am heddwch a thangnefedd a gynhwysir y'ngweddïau yr Eglwys Sefydlędig.

Gan dybio mai nid cwbl annifyrol i'r Cymro uniaith a fyddai cael hanes y frwydr waedlyd, yr hon a ddug ryddid a hedd i Ewrob, yr wyf yn anfon i chwi y llythyrau canlynol. Y mae y llythyr cyntaf fel arloesydd, yn cael ei anfon yn flaenorol, er hyrwyddo ein ffordd, a'n dwyn yn fwy uniongyrch i faes aerawg a gwyarllyd Waterloo. Y mae genyf ddarlun *(map)* o'r lle yn cael ei barotoi, yr hwn a ddengys i'r Cymro y modd y trefnid y ddwy fyddin fawr o flaen yr ymladdfa, eu hamrywiol sefyllfaoedd, y modd y rhuthrynt ar eu gilydd, y lle y safai Wellington o un tu, a Buonaparte o'r tu arall, &c. &c. Anfonir y darlun gyd â'r llythyr a gynnwysa hanes yr ymdrech; os gwelaf, drwy eich gwaith, Mr. Gwyliedydd, yn cymmeradwyo y blaen-ffrwyth, y bydd y gweddill dderbyniol genych.——Yr eiddoch, yn ddiffuant,

ITHEL.

### LLYTHYR I.

Nid hir y bu Buonaparte yn ei alltudiaeth yn Elba, heb fod yn alluog i drefnu moddion i ddychwelyd i Ffraingc, er esgyn yr orsedd, oddiar yr hon y gwthid ef, ychydig fisoedd yn ol, drwy ymdrechiadau cydunol y lluoedd cyngreiriol. Efe a laniai yn Elba y 5ed o Fai, 1814, ac a'i gadawai y 27ain o Chwefror, y flwyddyn ganlynol (1815). Ac ar y cyntaf o Fawrth efe a diriai yn Ffraingc, yn yr un a'r unrhyw lannerch o'r hon yr hwyliasai ddeng mis yn ol. Yr oedd yn ei ganlyn ychydig filwyr, o wyr traed a meirch; ac yn ddioed ar ol iddynt oll ddyfod i dir, hwyliasant eu ffordd tu a'r brif ddinas. Y mae yn ddiammeu fod cyfathrach dirgelaidd yn cael ei ddwyn y'mlaen rhwng Buonaparte, tra yn Elba, a rhai o'r gwyr mwyaf yn y wladwriaeth a'r fyddin dros holl derfynau Ffraingc; ac yr oedd hyn,

mewn mesur mawr, wedi rhwyddhau ei ffordd. Er nad oedd gyd âg ef pan y glaniai ond megys dyrnaid bychan o filwyr, yr oedd yn gwbl hyderus y byddai iddo, ar ei daith drwy y wlad ennill digon o bleidwyr, a throi yr holl ryfelwyr o'i du. Ac felly y digwyddodd. Caid y sawdwyr, y'mhob man, ar yr olwg gyntaf ar eu hen Flaenor, yn torri allan mewn bonllefau anwydaidd, "Byw fyddo'r Ymerawdwr!" a rhedent am y cyntaf i ymuno â'i fyddin: ac nid meithion oedd y milltiroedd a deithiasai, nad oedd ei faner yn chwifio dros bigion rhyfelwyr Ffraingc. Ac yn ystod ei daith trwy y wlad, o *Cannes* i *Paris*, yr oedd ei fyddin yn chwanegu mewn grym a rhifedi, yn debyg i eira ar ei dreigliad, fel mai ofer oedd i'r brenhin Louis, a'i bleidwyr, feddwl eu gwrthwynebu, nac attal y Gormesdeyrn i ddyfod i mewn i'r brif ddinas. Mewn braw a byrbwylldra y gorfu ar Louis ddiangc oddiar yr orsedd, yr hon ni chawsai ond prin amser i'w chynnesu ar ol ei esgyniad; ac ar yr 20fed o Fawrth daeth Buonaparte i mewn, ac esgynodd yr unrhyw orsedd, wedi absennoldeb o ychydig fisoedd.

Nid cynt y daeth i glustiau amrywiol Unbenau Ewrob y newydd o'i ffoedigaeth, a'i esgyniad yr ail waith i orsedd y Bourboniaid, nag y penderfynasant o un fryd wneuthur pob parotoadau tu ag attal ei rwysg, a'i ddwyn drachefn dan iau darostyngiad. O'r holl wledydd, yn eu darpariadau milwraidd, i wrthwynebu y Gormesydd, nid neb mwy blaenllaw na Brydain Fawr. Yn mhen ychydig o fisoedd yr oedd ganddi fyddin luosog yn barod i droi i'r maes; yr hon a ymddiriedwyd dan ofal yr anfarwol Wellington. Yr hen wron Prussiaidd hefyd, yr enwog Blucher, a ymdrechodd drwy nerth egni pob gewyn, i gasglu ei hen fyddin yn nghyd, er cael mesur cledd unwaith yn rhagor, gyd â'r hwn, o bawb dan haul y nefoedd, a gasäai yn bennaf. Byddinoedd y ddwy wlad hon, sef Prydain a Phrussia, oedd y rhai cyntaf mewn arfau. Buan y cafodd Buonaparte le i gasglu na oddefid iddo, mewn tangnefedd, wisgo y goron; yr hon, mor ddiweddar, a dreisiasai oddiar ben Louis. Gwelai y'mharotöadau egnïol a helaeth y Cyngreirwyr fod torch den i dynu am dani, ac nad oedd namyn grym ei gledd a'i galluogai i barhau yn ben coronawg. Gan hyny, nid rhyfedd ei ymdrechiadau llwyddiannus yn crynhoi milwyr, ac yn darparu pob angenrheidiau rhyfelgar. Y'mhen ychydig o amser yr oedd ganddo fyddin dra lluosog, yr hon oedd mor ragorol o ran dewrder, dysgyblaeth, a diofrydiad i'w Blaenor, ag un fyddin erioed a wisgodd arfau. Yr oedd yn gynnwysedig, gan mwyaf, o hen filwyr profiadol, y rhai oedd wedi bod yn gweini dano drwy ystod amrywiol ryfel-dymhorau, ac fel wedi ymgynnefino â gwaed a chyflafan. Blaenorid y rhai hyn hefyd gan eu hen Gadfridogion, y rhai oeddynt ryfelwyr o'u mebyd,. ac fel hen ddwylaw, yn troi at yr unig waith yn yr hwn yr ymddangosent yn eu helfen, ac â'r hwn yn unig y proffasent eu hunain yn gyfarwydd. Heblaw hyn oll, yr oedd y fyddin hon wedi ei harfogi yn y modd mwyaf effeithiol; y meirch goreu—mewn gair, yr oedd pob rhan a dosparth wedi eu cyflenwi â phob angenrheidiau, yn y modd mwyaf perffaith: ac ni ddanfonodd Ffraingc erioed y'mlodau'i dyddiau, ragorach byddin i'r maes. Troes allan ei lluosocach, ond erioed ni throes allan ei gwrolach. A phan chwanegom ei bod i gael ei llywio gan un o'r Cadfridogion enwocaf yn y byd, yr oedd yn ammhosibl i'w wrthwynebwyr beidio a chrynu wrth ystyried y canlyniadau. I

wrthsefyll y fyddin hon, penderfynodd y Cyngreirwyr y byddai i'w lluoedd cyfunol gyfarfod â'u gilydd yn yr Iseldiroedd *(Netherlands.)* Fel y crybwyllwyd eisoes, byddinoedd Prydain a Phrussia oedd y rhai cyntaf i ymgynnull, yn cael eu blaenori gan eu henwog Faeslywyddion, Wellington a Blucher. Gwersyllai y Dug Wellington yn *Brussels*, prif ddinas yr Iseldiroedd; a gwersyllai Blucher yn y pentrefi sydd ar hyd lan yr afonydd Sambre a Meuse, sef *Charleroi*, *Namur*, *Givet*, a *Liege*. Yr oedd y ddwy fyddin, sef Prydain a Phrussia, o fewn oddeutu 35 milltir i'w gilydd, ac wedi eu trefnu yn y fath fodd ag i fod yn abl i gydweithredu po gynted ag y deuai taro ar y naill neu y llall. Yr oedd y gweddill o'r Cyngreirwyr heb ymuno â hwynt, a bychan a feddyliasant, mai cyn i'w hamrywiol luoedd gyd-gyfarfod, y byddai i'r ymdrech dost a sefydlodd hedd i Ewrob gael ei therfynu heb iddynt hwy gael rhan yn y glod a'r anrhydedd.

---

## LLYTHYR CYMRO IEUANGC.

Mr. Gwyliedydd,—Yr oedd fy mwriad i'ch cyfarch âg ychydig linellau er ys tro bellach, ond a'm lluddiodd hyd yma ofer crybwyll.—Llyma i chwi fy helynt, os gwiw genych etto ei adgoffa mewn rhyw gwrr o'ch Cylchgrawn clodwiw, neu gwnewch a fynoch.

Yn ddiweddar, fel ag yr oeddwn i yn ymweled âg amryw leoedd yn Nehenbarth Cymru, cyfarfyddais âg amryw a llawer math o bobl, rhai o'm cydnabod, ac eraill na welswn erioed, moesol ac anfoesol, fel y gellir gweled yn gyffredin. Yn sicr, yr oeddynt oll yn dra charedig wrthyf, gan weini imi bob cysur a dyddanwch a allent. Yr oeddynt, yn ammeu, wrth fy iaith, fy mod yn dyfod o'r Gogledd; ac mai perthynas agos i chwi, Mr. Gwyliedydd, oeddwn; ac yr oedd yn rhydd i minnau feddwl a fynwyf am danynt hwythau. Eu hagweddiad a dystiai yn eglur eu bod yn hanu o ryw lwyth brenhinawl, oblegid yr oeddynt yn foneddigeiddiach na llawer a welswn yn y rhan hòno o'r wlad. Eu dull a'u bywiogrwydd oedd yn fy nhueddu i feddwl mai o'r Atheniaid yr hanasant, am na chymmerent hamdden i ddim ond i weled a chlywed rhyw newydd. Wedi i mi ymddiddan am bethau âg amryw, gwelwn ryw langc ysgoewedd yn edrych ar hwn, ac yn cammu ei lygad ar un arall, ac yn gofyn i minnau, "Ai gwir fod arwyl Mr. Gwyliedydd wedi ei phenderfynu ——?" I hyn ni feddwn atteb yn amgen na chlywswn air. "Iё, iё," attebodd ei gyfaill, "mae yn ddigon gwir. Myfi a glywais oddiwrtho yn ddiweddar, ac yr oedd efe y pryd hyny yn erfyn yn daer am gynnorthwy oddi wrthyf fi a'm cyfeillion, o leiaf ein gair da, rhag, yn y llŷs nesaf, iddo gael ei ddedfrydu i'w alltudio dros ei oes." "Ond pa beth a allasem ddisgwyl yn amgen," attebodd un arall, "onid ydych yn cofio fel yr ysgrifenodd *Cymru*, hanes a barnau ei phlant ei hun, yn Rhifyn Gorphenaf 1825, tu dal. 209, am a feddyliais i, mewn perthynas i'r Gwyliedydd er pan ddechreuodd ymddangos gyntaf erioed, nad oedd olwg iddo barhau yn hir. Mae ei Olygwyr yn cymmeryd arnynt fod beunydd mor brysur, nad oes ganddynt hamdden i ddim ond eu gorchwyl rhwymedig eu hunain, ac ni welais i ond ychydig o Ohebwyr ganddo er pan cyntaf yr ymddangosodd, er, yn wir, mai cyhoeddiad da ydyw y Gwyliedydd; ond mi feddyliwn fod y daioni a chynnorthwyon a all ei Ohebwyr hebgor ar —— a ——."

Felly, eu daroganau fel twrf dyfroedd lawer a orchfygasant bob cynnyg a feddwn i'w roddi er cad-

arnhau yn amgen; ac, yn wir, yr oedd yn ddrwg hynod genyf na buaswn yn feddiannol ar ddoniau mwy hyawdl i areithio wrthynt hyd oni buasent yn gwar-grymmu gan gywilydd, am anturio o honynt erioed ynganyd gair am eich difodiad chwi Mr. Gwyliedydd. Pa fodd bynag, ymadewais â'r giwed hyny braidd yn ddigofus, a'm teimladau yn lled ddolurus, gan adfyfyrio drachefn ar yr ymddiddan, ac yn ammeu pa un ai yn ol arwyddion, neu yn ol eu dymuniad, yr oeddynt yn prophwydo am gwymp y Gwyliedydd ffyddlawn.

Os gwir, pa beth a ettyb y Gohebwyr enwog gynt? pa fodd y maent wedi llaesu dwylaw? Mae yn wir fod eu Gohebiaethau fel yn myned rhagddynt, heb neb yn meiddio agor eu safnau yn eu herbyn. A ddarfu y testynau o ddiffyg ymrysonwyr? neu a ddaeth yspryd trymgwsg arnoch oll? A hunodd *Caradog* a *Charnhuanawc?* Bu *Garmon*, *Caerfallwch*, a *Ioan Arenig*, yn ysgrifenwyr hyawdl. Pa le y mae *Llywelyn Powys*, *Cymro Dilediaith*, a *Cymro Diymwad?* Mae yn debyg iddo ef ei hun orphwys gwedi iddo roddi piccell i *I. Y. Alun*, *Ieuan Glan Geirionydd*, ac *Eurgain Callestr*. Ond, tybygwn, nad beius iawn fyddai eu symbylu etto, rhag i'w cwsg fod yn ormodol, ac y bydd esgeiriau Mr. Gwyliedydd wedi cael eu torri gan ddyhirwyr cyn iddynt agor eu llygaid. Ai holl ymgais *Godrech Lwyd* ydoedd heddychu brwydr Tal y Cafn? neu a lethwyd ef yn yr ymrysonfa ddiweddaf yn Ninbych, a byth er hyny yn ymorphwys â'i bwys ar ei gadair arianaidd?

Pa beth a ddaeth o'r Boneddigesau a addurnwyd yn Ofyddesau; ni ymddangosodd yr un o honynt ar y maes er's talm o blaid eu hiaith a'u cenedl ond *Miss A. Llwyd?* Pa beth a ddaeth o'r golofn gadarn a ymddangosodd unwaith, *Miss Mair Rhisiart?* a llawer mwy a allwn enwi, na welwyd eu Gohebiaethau ond anfynych yn y Gwyliedydd, sydd yn awr fel wedi ymguddio rhag y dymhestl, ac, ysgatfydd, y goddefant gladdu Gwyliedydd Israel heb iddynt gyffwrdd â'i elor: ond deled a ddelo, tra caffwyf fi hwyl a hamdden (os bydd fy ysgrifau yn dderbyniol) rhoddaf iddo bob clod a chynnorthwy a fedrwyf. Ond, efallai mai rhaid boddloni, ac ystyried yr hyn a ddywed y dwyfol wirionedd, "Mai o flaen drygfyd y cymmerir y cyfiawn ymaith."——Byddwch wych yw gwir ddymuniad eich diffuant gyfaill,

CYMRO IEUANGC.

---

## YMOSTYNGIAD I EWYLLYS DUW.

DYWED un duwinydd fel hyn: 'Nid wyf yn cofio im' erioed glywed am esiampl mwy hynod a nodedig o ymostyngiad i ewyllys Duw na'r un a adroddir am Fenelon, Archesgob Cambray. Pan oedd ei ddisgybl ardderchog (y Duc o Burgundy) yn gorwedd yn ei arch, a phendefigion ei lys yn sefyll o'i amgylch ac yn wylo yn ddistaw, daeth yr Arch-esgob i mewn i'r ystafell: ac wedi iddo syllu ar y corph am yspaid o amser, torodd allan mewn ymadroddion fel hyn— Dyma lle y gorwedd fy anwyl dywysog! a'm serch tu ag atto oedd gymmaint a'r cariad cryfaf a allai y rhïeni tyneraf deimlo. Ac ni chollwyd fy serch, oblegid fe'm carodd inau gyd âg awyddfryd mab. Dyma y man y mae efe yn gorwedd, a'm holl ddedwyddwch daearol inau a orwedda yna gyd âg ef; ond pe gallai trôad gwelltyn ei adfywio, ni fynwn er deng mil o fydoedd droi y gwelltyn hwnw yn wrthwyneb i ewyllys Duw.'

D. C.

# BARDDONIAETH.

### DAU ENGLYN

*O Gyfarchiad i'r* GWYLIEDYDD *ar ei adymddangosiad ar Wyl Ddewi*, 1830.

TIA'D ar led graff WYLIEDYDD,—ac etto,
Nac attal dy gynnydd,
O fryniau hen Feirionydd,
Yn heini' ar *Ddewi ddydd.*

Hawddammor Borthor bach,—da yw genyf
Dy ganfod yn holliach;
Henffych well iti bellach,
O wewyr oer i awyr iach.

H. ERFYL.

### MAN-GOFION BARDDONOL.

Y diweddar Dafydd Ddu, wrth ysgrifenu at ei gyfaill J. Thomas, o Bentre 'r Foelas, a ddiweddai ei lythyr fel hyn,

Mae Dafydd brydydd mewn brys.

J. T. yn ei ateb iddo a derfynai fel y canlyn,

"Mae Dafydd brydydd mewn brys,"—a Sioni a'i
Asenau 'n ddolurus;
Fy ochyr sydd afiachus,
Dwl yw 'r modd dolur o'm mys.

*Englyn Difyfyr wrth weled y Fedd-ysgrif* "Memento mori."

Er hawl i ddynawl feddiannau—aur melyn,
Er miloedd o ddoniau;
Ni roddant i'r mwyniant mau,
Nawdd o ing yn nydd angau.

J. T. *Hiraethog.*

### ENGLYNION

*I GARIAD GWLADAWL.*

GWLADAWL rhagorawl gariad—yn berffaith
Drwy burffurf ymlyniad,
Mewn bri fo'n gorlenwi 'r wlad,
O gwr i gwr modd gwiwrad.

Cariad sy'n gorlenwi cyrion—Brydain,
Brodir gwir gyfeillion:
Pa oror a'i thrysorion,
Drwy 'r byd mor hyfryd a hon?

Cariad sy'n dal brad o Brydain—beunydd,
Heb boenus wylofain;
Cariadus cysurus sain,
Heb achos i neb ochain.

MAWRTH, 1830.

O serch i'w Gwlad bu 'n Tadau—yn ymladd,
Mae 'n amlwg, eu brwydrau;
SEISYLLT, EINION, ddewrion ddau,
A GLYNDWR, glew iawnderau.

O serch Gwlad bu 'n Tad TUDUR,—a MERDDIN,
Am arddel bro 'u cysur;
CARADOG, rhuddfäog fur,
Gwir nerth, a'r gwron ARTHUR.

Gwnaed hyn i'r gelyn gilio—o'n goror;
Iawn gariad fo 'n llwyddo;
Na foed i ddig fyth drigo,
I ennyn brad yn ein bro.

Cadernid cu y deyrnas—yw cariad,
Rhag cur a galanas;
Gwir gynneddf pob greddf a gras,
Dethol rwymyn cymdeithas.

Y manau câs annymunawl,—nad oes
Ond dig yn arosawl;
Boed i bur gariad gwladawl,
Drigfa yn ngorseddfa 'r sawl.

Undeb rhwyddineb anwyl,—dan goron
Dyngarwch a'i breswyl,
Mawrygwn, dyma 'r egwyl,
Mewn serchus gysurus hwyl.

Cariad aed i bob cyrion—efengyl
Gyfyngo 'r ymryson;
A'i phur ddi dòr gynghorion,
Chwai ar led eheded hon.

Gwalia a'i thêg wehelyth,—O! cared,
Ein coron a'i thylwyth;
A dalied undeb dilyth,
Lloegyr lwyd* heb arswyd byth.

Cynnydded mâd Gariad Gwladawl,—wir barch,
Drwy 'r byd cyffredinawl;
Hael ddaioni 'r hil ddynawl,
Cysur dyn a dychryn diawl.

STEPHAN DAVIES, *Dyserth.*

———o———

### "LLONG-DDRYLLIAD."

*Cân Arobryn Eisteddfod Newmarket*, 1829.

RHWNG tir y Werddon, fawr ei brad,
A Chymru wlad fynyddawg,
Unigawl Long oedd ar ei hynt,
O flaen y gwynt tymhestlawg.

* "Llwyd pob hên." *Diar. Cym.*

A minnau oeddwn ar fy nhro,
Yn môr-ymdeithio ynddi;
A chyda bywyd ar y traeth,
Yn unig ddaeth o honi!!

Y nos oedd dywell:—lloer na sêr,
O'r uchder ni ddisgleiriant;
Ond tònau 'r môr ar fawr wahân,
Fal byd o dân dywynent.

Ac ambell fellten, er ein braw,
Y creigiau draw amlygai;
Y rhai adseinient yn y man,
I'r daran a'i canlynai.

Y cenllysg oeddynt ddarnau iâ,
Ac eira o flaen y gyrwynt:
Y rhai a daenent fantell gau,
Ar Fôr a'i dònau danynt!!

Yn uwch, yn uwch, cyfodai 'r gwynt,
Oer helynt oedd i'r hwyliau;
Y Llong heb Lyw na Llywydd âi,
A syrthio wnai 'r hwylbrenau.

Ar grib y dòn y treigla 'n awr,
I'r eigion lawr y syrthia;
A thòn ar dòn, yn nyfnder nos,
Yn agos a'i gorchuddia.

Er garwed ydoedd ym mysg Mŷr,
Hen Forwyr wrth arferiad;
Llesgâu yr oeddynt hwythau 'n awr,
Gan ofni 'n fawr *Llong-ddrylliad.*

Ymdrechiad rhai a haeddai glod,
Rhai feiddient fod yn feddwon!
Ac ambell weddi oedd i'w mysg,
Y'nghyd â chymmysg lwon.

Ond pwy a draetha gymmaint braw,
Rhai 'n môr-ymdeithiaw oeddynt?
Y tad, y fam, a'u plentyn bach,
Anwylach yno welynt!!

Llesmeiriai 'r fam, gwallgofai 'r tad,
Fal anfad am ei deulu;
Y baban oedd, heb wybod pa'm,
Ar fronau 'i fam yn cysgu!

Fal hyn, diofnau yw ym mysg
Pob terfysg Diniweidrwydd:
Ac felly bydd pan elo 'r nef,
A'r ddaear gref i dramgwydd!

Meddyliai rhai am gartref cu,
Lle 'r oedd eu teulu tirion;
Y rhai yn llawen allent fod,
Heb wybod eu peryglon.

Y naill ar ol y llall o'u plant,
A alwant wrth eu henwau;
Y rhai 'n ymddifaid gwelant hwy,
Mewn gofid, clwy', ac eisiau.

Ond llais marwolaeth yn y gwynt,
A roddai iddynt atteb;
" O'ch rhai anwylaf, tra fo chwyth,
" Ni welwch fyth un gwyneb."

Caed eraill yn ymbarottoi
I geisio 'sgoi marwolaeth;
Ac achub hefyd, er di fael,
Eu trysor gwael, ysywaeth!

Ond rhai oedd barod, fal mewn bedd,
I orwedd yn y dyfnder;
Gan lwyr obeithio, trwy 'r Mab rhâd,
Gwell hynt i wlad uchelder.

Ar hyn glâs-lewyrch welid draw,
Goleuaw mae—diflannu!
" Ai canwyll corph, neu oleu 'r byw,
" Er rhybudd yw o Gymru?"

" Ah! rhyw ddrychiolaeth yw, er gwae,
" Ymneidio mae o'r creigiau,
" I'r lle 'r ymddengys môr yn wyn,
" Gan dwrf ac ewyn tònau."

A buan iawn y clywyd cri,
A gweddi groch marwolaeth;
Ar graig suddedig gyda hyn,
Ca'i 'r Llong fawr gryn, ysywaeth.

Hi ar y graig a gurai 'n fawr,
Y môr a'r llawr a'i drylliodd;
A'r naill ar ol y llall y dòn
I'r eigion a ysgubodd.

Ar ddarnau 'r Llong y gwelid rhai,
Y môr ymdreiglai danynt:
Ac oedd yn agor ac yn cau,
Fal megis beddau iddynt.

Ac ambell Farch oedd yno 'n bod,
Ymddattod wnai o'i rwymau;
Gan chwythu 'n ffrom, a chwalu 'i fwng,
Ymdrechai rhwng y tònau.

Myfi fy hun o ddistryw môr,
Is goror ddyrchafedig,
Fal un o lewyg ddaeth i'r làn,
Hyn oedd fy rhan i 'n unig!

Ond o'm cyfeillion nid oedd un,
Ni welais lun mewn bywyd;
Na llais ni chlywais—dim ond twrf,
Y môr mewn cynnwrf enbyd.

Gwrandewais ennyd—codais floedd,
Ond neb nid oedd attebai;
Ond draw o'r creigiau, Ow, paham?
Yr adsain a'm gwatwarai.

Yn wlyb, yn oer, briwedig, cla',
Sychedig, a newynawg,
Y gwyliais yno lawer awr,
Nes torri 'r wawr wybrenawg.

Ond, O fy Nuw! ar dòriad dydd,
Pa olwg brudd a welais!
Ac er mor hyfryd oedd cael byw,
Pa faint, fy Nuw, a wylais!

O'r Llong, fy nghartref lawer dydd,
Ar Werydd Fôr a *Bisci*,
Nid oedd ond darnau—ac un rhan
Oedd ar y làn o honi!

A gwychder India, a phob bro,
Oedd yno'n wasgaredig;
A'i phêr-aroglau, a phob maeth,
A foddiai 'r archwaeth flysig.

Fy hen gyfeillion ar bob hynt,
Hwy oeddynt gelaneddau;
A'u cyrph chwyddedig ar y làn,
A rhai oedd dan y tònau.

Y wraig ym mreichiau 'i gwr y'nglŷn,
A'i phlentyn ar ei bronau,
Oedd yno hefyd—megis rhai
Na lwyr wahanai 'r angau.

A gwelais yno 'n farw 'r march,
Fu 'n un dihafarch hefyd;
A'i lygaid oerion ar wahân,
Fu gynt fel tân yn fflamllyd.

Marwolaeth yma y'mhob rhyw lun,
A'i furf ei hun a welid;
Dinystriad eiddo, dinystr dyn,
I'w ganlyn a phob gofid!

Ond, ha! rhyw drwst a glywais draw,
A d'wedais—"Daw cynnorthwy;"
A thybiais ddyfod llu o'r wlad,
A'u bwriad yn glodadwy.

"Ymg'leddu meirw, cadw i'r byw
"Eu heiddo yw eu bwriad;
"Ac (meddwn) ni chais Cymry les,
"Na mantes o *Long-ddrylliad*."

Ond, ah! os yno ambell fam,
A wyddai am dosturio;
Rhyw luaws mawr a ddaethai y'nghyd,
A'u bryd ar *Long-yspeilio!*

O! Gymro, attal, ac na âd
Fod yn dy wlad fradwriaeth;
Ond dysg, a theimla 'r hyn, fal dyn,
A berthyn i ddynoliaeth.

A chofia (er mor fawr oedd twrf,
A chynnwrf i'n dinystrio,
Y nerthawl wynt, a thònau 'r môr,
Gerllaw dy oror, Gymro)

Daw etto ddiwrnod llawer mwy
Ofnadwy, pan yn siglo
Bydd nerthoedd nef, a'r ddaear frau,
A'r môr a'i dònau 'n rhuo!

Y diwrnod hwnw, cariad cu,
Medd Iesu, fydd anrhydedd;
Ac i'r trugarawg, o bob rhyw,
Y dengys Duw drugaredd.

YR UNIG ACHUBAWL.

---

PENNILLION.

*"Y Cyfaill a lŷn yn well na Brawd."*

PAN byddo blin dymhestloedd byd,
Yn curo 'r Cristion gwan,
Mae ganddo Gyfaill pur o hyd,
A ddeil ei ben i'r làn.

Geill aml gyfaill deimlo'n gryf
Dros anffawd neu ryw goll;
Ac mewn peryglon fod yn hyf,
I'w hachub rhagddynt oll.

Ond pan ddel dyrnod angau du,
Rhai'n oll i'n gado sydd;
Ond gwn am un, sef Iesu cu,
I'w harwain yno fydd.

Am hyny arno rho'wn ein pwys,
Mewn pob peryglon blin;
Fel nad eill byd a'i droion dwys,
Wneud in' anghofio 'r un.

SIARL.

---

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## CARTREFOL.

### Y SENEDD.

DYDD Iau, Chwefror 4, 1830, agorwyd Senedd y Deyrnas Gyfunol trwy Orchymyn Breninol. Wedi i'r Dirprwywyr gymmeryd eu lleoedd dan yr orsedd, ac i'r Cyffredin ymddangos yn y Bar, yr Arglwydd Canghellor a ddarllenodd yr Araith ganlynol o eiddo ei Fawrhydi:

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,

"Gorchymynir i ni gan ei Fawrhydi hyspysu i chwi ei fod yn derbyn oddiwrth yr holl Lywodraethau Tramor y sicrwydd cadarnaf o'u dymuniad i gadw a chynnal heddwch a chyfeillach â'r deyrnas hon.

"Dywenydd yw gan ei Fawrhydi weled fod y rhyfel rhwng y Rwssiaid a'r Tyrciaid wedi terfynu.

"Y mae ymdrechiadau ei Fawrhydi i gynnal prif ddibenion y cyttundeb cyngreiriol a sefydlwyd Gorph. 6, 1827, wedi bod yn ddibaid.

"Mae ei Fawrhydi yn ddiweddar wedi llunio ynghyd â'i gynghreiriaid foddion er heddychu a sefydlu achosion gwlad Groeg

ac y mae yn hyderu y gall osod ger eich bron yn fuan y moddion hynny, ynghyd â dangosiad o'r llwybr a gymmerodd yn holl yspaid yr ymrafael.

"Mae 'n ddrwg gan ei Fawrhydi na's gall hyspysu i chwi fod tebygolrwydd i gymmod gymmeryd lle rhwng Tywysogion Tŷ Braganza.

"Nid yw ei Fawrhydi wedi gweled etto y buddioldeb o adsefydlu y berthynas gyntefig rhwng y Deyrnas hon a Phortugal, er bod y dyryswch sydd yn deilliaw oddiwrth attaliad y berthynas honno yn tueddu ei Fawrhydi yn fawr i geisio rhoddi terfyn ar yr anffawd.

"Foneddigion Tŷ y Cyffredin,

"Y mae ei Fawrhydi wedi peri gosod ger eich bron amcan-gyfrif o draul y flwyddyn bresennol. Lluniwyd hi yn y modd mwyaf cynnil; a da fydd gennych ganfod y gall ei Fawrhydi ysgafnhau i gryn raddau faich y Deyrnas heb wanychu effeithioldeb ei filwyr ar fôr ac ar dir.

"Gorchymynir i ni hyspysu i chwi nad yw cyllid y deyrnas am y llynedd, er ei bod yn fyrr o ryw faint o'r hyn a dybid, yn rhoddi un achos i ammeu ei llwyddiant rhagllaw.

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,

"Gorchymynodd ei Fawrhydi i ni hyspysu i chwi, iddo gyfeirio ei ystyriaeth manylaf yn ddiweddar at y ffordd debyccaf o ddiwygio gweinyddiad cyffredinol y gyfraith.

"Gosodir o'ch blaen ar fyrr y moddion a ymddangosant i'w Fawrhydi yn fwyaf tebygol i rwyddhau dibenion y gyfraith mewn amryw fannau o'r Deyrnas, yn gystal ag yn y llysoedd goruchel.

"Mae ei Fawrhydi yn hyderus y bydd i chwi ystyried a chynnorthwyo moddion o gymmaint pwys a pharhad er llwyddiant y llywodraeth.

"Parodd ei Fawrhydi i ni sicrhau i chwi fod trosglwyddiad nwyfau o Brydain y llynedd yn fwy na'r blynyddoedd aeth heibio.

"Mae 'n ddrwg gan ei Fawrhydi, er yr arwyddion hyn o lwyddiant gwladol, fod cyfyngder ym mysg amaethwyr ac eraill yn amryw fannau o'r Deyrnas.

"Hyfryd iawn fyddai gan deimladau tadol ei Fawrhydi allu gosod o'ch blaen ryw ddyfais a allai symmud y cyfyngder hwn heb niweidio lles cyffredinol a pharhaus ei ddeiliaid.

"Hydera ei Fawrhydi y cydwelwch âg ef, fod gan dymhorau anfanteisiol, ac achosion goruwch-naturiol eraill, gryn law yn y cyfyngder presennol.

"Yn olaf oll, hydera ei Fawrhydi na wna cyfyngder amserol beri i chwi laesu eich penderfyniad i gynnal parch cyffredinol y Deyrnas yn ddilwgr."

Nid oes dim matterion o bwys hyd yn hyn wedi penderfynu arnynt yn y Senedd. Llawer o ddadleuon a gymmerodd le ar y cynnygiad arferol o annerch ei Fawrhydi y Brenhin mewn perthynas i'w Araith. Dywedai un blaid fod y cyfyngder a deimlir yn bresennol yn gyffredinol trwy bob parth o'r deyrnas, tra yr oedd y blaid arall yn ei gyfyngu i rai parthau yn unig; ac wedi ymrannu, er bod y nifer lluosoccaf o ochr y cynnygiad, yr oedd y blaid arall yn gref iawn.

Cyflwynwyd eisoes amryw eirchiadau i'r Senedd i alw eu hystyriaeth at gyflwr gwasgedig y wlad, mewn perthynas i amaethyddiaeth a masnach, ac i erfyn arnynt yn eu doethineb i drefnu rhyw foddion at ei wellhau.

Hefyd, danfonwyd eirchiadau i dynnu ymaith y dreth oddiar frag a chwrw; ac amryw eirchiadau yn erbyn cyfyngu masnach yr India ddwyreiniol i'r Cwmpeini hynny yn unig, trwy beidio adnewyddu iddynt y fraint sy ganddynt yn bresennol.

---

Nid oes nemmawr o newyddion tramor o bwys i'w dodi o flaen ein darllenwyr. Dywedir fod cynnadliad brysur yn myned y'mlaen gan lywodraethau Prydain Fawr, Unol Daleithiau America, yr Hispaen, ac America Ddeheuol, i'r diben o roddi terfyn, dros ryw yspaid o leiaf, i'r amrafael sydd rhwng Hispaen, a Deheu America.

---

## CYMDEITHAS LEENYDDAWL CYMRU.

Cofia ein darllenwyr i Gymdeithas dan yr enw uchod gael ei sefydlu yn Ninbych, pan gynhaliwyd yr Eisteddfod yno yn y flwyddyn 1828; ac yn yr hanes a roisom o'r Eisteddfod yn ein Rhifyn am Hydref, 1828, ceir gweled y penderfyniadau a gyttunwyd arnynt yr amser hwnnw; etto ni bydd efallai yn hollol afreidiol pe gosodem hwynt ar lawr yma, fel y deallo pawb amcanion clodwiw y Gymdeithas.

"Penderfynwyd, ar gynnygiad y Parch. R. Newcome, a gefnogwyd gan y Parch. George Strong,—

"1. Sefydlu Cymdeithas dan yr enw 'Cymdeithas Leenyddawl Cymru,' i'r dyben o gasglu arian i'w treulio yn hollol i wybrwyo doniau Llëenyddawl, ac i gynnorthwyo Cyhoeddiadau teilwng mewn perthynas i'r Dywysogaeth.

"2. Y byddai un a gyfranai 10s. yn Aelod o'r Gymdeithas; ond y derbynir rhoddion llai.

"3. I ddewis Cyfeisteddwyr, i gyflawni bwriadau y Gymdeithas, yn gynnwysedig

o amryw o Foneddigion, gyd âg awdurdod i luosogi eu nifer, ac y bydd tri o honynt yn gyfaddas i weithredu.

"4. I'r Parch. R. Newcome, Rhuthin, fod yn Drysorydd; a'r Parch. R. Richards, o Gaerwys, yn Gofiadur, i'r Gymdeithas.

"5. I'r Cofiadur ohebu gyd â'r Gymdeithasau Cymmrodorion, a Gwyneddigion, yn Nghaerludd, Cymdeithasau Cymreigyddawl Dyfed a Gwent, Gwynedd a Phowys, ac hefyd gyd âg amryw o ddynion ag ydynt yn noddwyr Llëenyddiaeth Gymreig, gan ddymuno arnynt sefydlu cangenawl-ddirprwywyr i gyd-weithredu â'r Gymdeithas hon.

"6. I ddechreu casgliad, ac i ddymuno ar y Cyfeisteddwyr ymdrechu, hyd eithaf eu gallu, i gael i'r Gymdeithas nodded a chynnaliaeth y Cyffredin."

Er i'r Ysgrifenydd, yn unol â'r 4ydd penderfyniad ohebu â Dirprwywyr y Cymdeithasau a enwyd, etto ni bu modd hyd yn hyn i'r Gymdeithas fyned y'mlaen gyd â'i dybenion pwysfawr. Nid oedd hyn yn deillio oddiwrth anniofalwch neu esgeulusdod ei Dirprwywyr, nac ychwaith oblegid bod eu dwylaw yn llaesu, a'u calonnau yn oeri yn y gwaith: ond amgylchiadau annisgwyliadwy yn unig a'u rhwystrasant. Y mae yr anhawsderau mwyaf wedi eu symmud, ac o hyn allan gobeithir yr â achosion y Gymdeithas y'mlaen yn llwyddiannus. Y cyfarfod diweddaf a gynhaliwyd yn Ninbych ar y 26ain o Ionawr, pan oedd amrai o Offeiriaid a Boneddigion yn wyddfodol. Derbyniwyd llythyr oddiwrth Ysgrifenydd y Cymmrodorion yn Llundain yn datgan eu hollol barodrwydd i gyd-ymegnio â'r Gymdeithas hon i ddwyn y'mlaen ei bwriad canmoladwy o argraffu, neu hylwyddo argraffiad, y cyfansoddiadau lluosog a gwerthfawr hyny ag ydynt yn awr wedi eu cyfyngu drwy eu pris uchel i lyfr-gelloedd y cyfoethogion. Penderfynwyd yn unfryd mai gweithred gyntaf y Gymdeithas fyddai cynnorthwyo yr hybarch a'r dysgedig Dr. W. O. Pughe i gyhoeddi argraffiad o'r Mabinogion: ac yn gyttunol â hyn rhoddir hwynt yn y Wasg yn ddioed. Wedi cyflawni y gorchwyl dymunol hwn, bwriada y Gymdeithas gyhoeddi argraffiad newydd o'r *Archaiology*, sef gwaith y cynfeirdd: a chlywsom fod rhai o brif ddysgedigion y dywysogaeth wedi addaw eu harolygu yn fanylaidd, fel y byddo 'r argraffiad mor berffaith ag sy modd.

Ymddengys fod yn agos i 30ain mlynedd er pan barottodd y Dr. Pughe y Mabinogion; ond o ddiffyg annogaeth gan ei gydwladwyr, gommeddwyd iddo eu cyhoeddi hyd yn hyn, yr hyn sy ddigon i beri i bob Cymro wrido gan gywilydd. Pa bryd y derfydd y marweidd-dra a'r anniofalwch gwrthun am waith ein cyn-dadau, sydd wedi ammharchu ein cenedl y'ngolwg dieithriaid? Nid oes dim o hyn ym mhlith ein cymmydogion y Saeson. Y maent hwythau hefyd yn awyddus i weled argraffiad o'r Mabinogion. Ysgrifeniadau tra gwerthfawr ydynt, o herwydd eu hynafiaeth. Llawer o'r amgylchiadau ynddynt a fynegir gan Taliesin a'r cynfeirdd, yn gystal a'r Trioedd Hanesyddol. Ac er mwyn dangos eu hynafiaeth a'u gwirdeb, ac nad ydynt yn gwbl hygoel, gellir dyfynu yr hyn a ddywed Syr R. C. Hoare, gynt o Fachddeiliog, yn agos i'r Bala, a'i gyfaill R. Fenton, Ysw. o Swydd Benfro, gwyr gwybodus yn hen hanesion ein gwlad, mewn perthynas i Fedd Bronwen. Ychydig o flynyddoedd yn ol yr oedd ar Amaethydd a breswyliai ar lân yr afon Alaw, yn Môn, eisiau cerrig i godi adeilad; ac ar le gwastad cyfagos i'r afon gwelodd garreg neu ddwy yn ymddangos uwch y ddaear, yr hyn a'i cymhellodd i chwilio yn ddyfnach; a chafodd garnedd neu swrn o gerrig, ac ynddi hi daeth hyd i gist o lechau. Symmudodd y gorchudd oddiar y gist, a chafodd ynddi ystên neu wrn yn cynnwys lludw a mân esgyrn. Buan yr ymledaenodd y swn ar hyd y wlad, a daeth i glustiau rhai o foneddigion y gymmydogaeth, y rhai oeddynt yn hyspys o hen hanesion Cymru. Cofiasant yn union yr hyn a ddywedir yn y Mabinogion: "Bedd petrual a wnaed i Fronwen ferch Llyr ar lân Alaw, ac yno y claddwyd hi." Gellir ychwanegu, mai Ynys Bronwen y gelwir y lle y cafwyd yr ystên, yr hon sydd o 12 i 14 modfedd o uchder, ac yn awr yn meddiant yr Hynafiaethydd enwog a gwladgarol Mr. R. Llwyd o Gaerlleon.

Pe byddai i'r Gymdeithas ymfoddloni ar anrhegu ein gwlad âg argraffiad o'r Mabinogion yn unig, teilyngai ddiolch a chymmeradwyaeth pob Cymro a deimla awydd dros Lëenyddiaeth y dywysogaeth. Ac hwyrach na chyfeiliornid pe haerid y dylai pob un sy mewn amgylchiadau cysurus gof-restru ei enw ym mhlith Aelodau y Gymdeithas hon, fel y gallo gyflawni ei hamcanion i argraffu pob llyfr teilwng perthynol i Hanesiaeth a Llëenyddiaeth y dywysogaeth. Cofied hefyd ei fod wrth fwyhau cyllidau y Gymdeithas yn gwneuthur lles mawr i'w gydwladwyr yn gyffredinol—yn wir anhawdd fyddai dirnad gymmaint o fuddioldeb a ddeillia oddiwrth weithrediadau y Gymdeithas hon.

Bydd dalenau y Gwyliedydd yn agored i unrhyw ohebiaeth mewn perthynas iddi; a bydd yn ddywenydd gan Gyhoeddwr y Gwyliedydd dderbyn enwau y sawl a ddymunant gefnogi y Gymdeithas, a gofala eu trosglwyddo yn ddyfal i'r Ysgrifenydd.

Eisteddfod Dinbych.—Bydd dywenydd gan ein darllenyddion athrylithgar glywed fod obaith o gael gweled mewn argraph y defnyddiau gwerthfawr a anfonwyd i'r Eisteddfod uchod, y rhai sydd yn awr yn y wasg gan Mr. T. Gruffydd o Gaerlleon, ac yr amcenir iddynt ymddangos ar fyrder ym mhlith y Cymry, dan yr enw Gwyneddion.



*Bedydd trwy Drochiad.*—Yn nechreu mis Ionawr, bedyddiwyd merch ieuangc, o'r enw Prosser, yn Eglwys St. Martin, Llundain, trwy drochiad. Teimlasai ddymuniad cryf i gyfrannogi o'r Cymmun: ond gan na fedyddiwyd hi o'r blaen, ni ymfoddlonai i dderbyn bedydd yn ol yr arfer gyffredin o daenellu, am ei bod yn ystyried yr arfer yma yn groes i eiriau yr efengyl, ac i'r ffurf a osodir allan yn Llyfr Gweddi Gyffredin. Wedi cael caniattâd Esgob Llundain, dilynwyd y fenyw i'r Eglwys gan luaws mawr o'i chyfeillion; ac yno, yn ngwydd yr holl gynnulleidfa, trochwyd hi "yn ddiesgeulus ac yn ddarbodus" gan yr Offeiriad, mewn llestr hir wedi ei lenwi â dwfr oer.—Yn ystod yr hâf diweddaf, cafodd un o wrandawyr y diweddar Barch. Mr. Vaughan, o Leicester, ei fedyddio yn yr un modd, drwy ganiattâd Esgob Lincoln.

---

Ychydig o amser yn ol daeth un o'r "giwaid felynddu gelwyddog honno," a elwir *Sipsiwns*, i dŷ, yn yr hwn yr oedd amryw ferched ieuaingc, a dywedodd wrthynt, os rhoddent iddi ddau swllt, y dangosai iddynt, mewn ystenaid o ddwfr, wynebau eu gwyr. Dygwyd y dwfr yno; ac wedi i'r merched dalu yr arian, edrychasant yn y dwfr; ond buan y gwaeddasant, "Nid ydym ni yn gweled gwynebau neb ond ein gwynebau ein hunain." "Wel," ebe 'r hen wraig, "onid gwynebau eich gwyr fydd eich rhai chwi ar ol i chwi gael eich priodi?"

---

Yn ddiweddar collwyd tri o fywydau, mewn modd arswydus ac anghyffredin. Oddeutu deg o'r gloch Nos Wener y 5ed o'r mis diweddaf, clywid gwaeddi am gynnorthwy ar y traeth, yn agos i Stencross; yr hyn, gwedi parhau am ychydig, a beidiodd, ac ni sylwyd yn rhagor ar yr amgylchiad. Boreu drannoeth, oddeutu 9 o'r gloch, gwelwyd rhywbeth anarferol yn ymddangos oddeutu hanner milltir o'r lân. Cafwyd cychod yn ddioed, i'r diben o wybod pa beth a allai fod; ac wedi dyfod atto, cawsant gerbyd (*chaise*) a dau geffyl, wedi suddo. Ar hyn dechreuasant ryddhau 'r cerbyd; ac wedi agor y cauadlen (*blind*) pa rai oeddynt i gyd i fynu, brawychwyd hwynt yn fawr, wrth ganfod cyrph dau ddyn, wedi eu gwisgo yn drefnus. Yr oedd yn rhaid eu bod yr amser hwnnw yn y dwfr er's deuddeng awr; gan hynny, nid oedd gobaith i'w hachub, as nid oedd dim i'w wneud ond eu dwyn i dir, yr hyn yn ganlynol, gyd â'r cerbyd, a wnawd. Yn fuan gwedi hynny, llusgwyd y ceffylau i dir. Yr olwg arnynt oedd, fe allai, y fwyaf alaethus a welwyd erioed. Ni chafwyd y gyrrwr etto: y mae yn debygol iddo gael ei lusgo allan i'r môr. Y dynion anffodiog hyn ydynt, un Mr. Lipscombe, a pherthynas iddo, Mr. John Ponsford; yr oedd y cyntaf oddeutu 45 oed, a'r llall yn ddyn ieuangc oddeutu 18 oed. Tybir fod y gyrwr (yr hwn oedd, fel y dywedid, yn sobr) yn cysgu, a bod y rhai oddi fewn hefyd yn cysgu, gan fod y gauadlen i fynu; a darfod i'r ceffylau, yn lle myned rhag blaen ar y llaw ddehau, droi tu a'r môr; a chan ei bod yn drai yn y cyfamser, ni chawsant ddim i'w rhwystro nes dyfod at un o rychau (*channels*) yr afon, pa le, gan fod y geulan yn llechweddu yn union-serth, y collodd y ceffylau eu traed, ac a'u taflwyd i ddyfn-ddwr. Gadawodd Mr. Lipscombe wraig, a chwech o blant, i alaru ar ei ol.

---

Nid ydym yn cofio erioed ddarllen am gynnifer o lofruddiaethau echryslon ag a ddigwyddasant yn y wlad hon er's ychydig o fisoedd yn ol. Ym mhlith y rhai mwyaf hynod rhoddwn le i'r hanes canlynol:—

## LLOFRUDDIO LLOFRUDD!

### LLOFRUDDIAETHAU YM MHLWYF ODDINGLEY, SIR GAER WRANGON.

Yr hanes a ganlyn sydd yn un o'r pethau mwyaf anghyffredin, ac a barodd gryn gynnwrf yn y wlad:—Y Parch. Mr. Parker oedd o gryn gymmeriad gyd â'r diweddar Duc Norfolk, a dywedir, yn rhai o'r Newyddiaduron, ei fod yn ordderch iddo; pa fodd bynnag, trwyddo ef y cafodd Mr. Parker Berigloriaeth Oddingley, yr hon sydd yn rhoddiad Arglwydd Foley. Cyfododd ymrafael annymunol rhyngddo ef â'r plwyfolion ynghylch y degwm. Plwyf Oddingley a gynnwys ynghylch mil o gyfeiriau, dosparthedig, pan ddaeth Mr. P. i'r plwyf, i saith o dyddynod. Arferasai y Gweinidog o'i flaen gymmeryd £85 gan y plwyfolion yn lle y degwm; ond Mr. P. gan farnu hyny yn rhy fychan, a geisiodd ei godi i £50. Un Cadben Evans a annogodd y tyddynwyr eraill i wrthsefyll y cynnygiad; a Mr. P. o ganlyniad, a gasglodd y degwm oll. Wedi gwneuthur o hono hyn am ddwy flynedd gwelodd y plwyfolion eu cam-

synied, ac a gynnygiasant iddo y swm a ofynasai. Attebodd Mr. P. ei fod etto yn ewyllysgar i dderbyn £50; ond gan iddo wario £150 at adeiladu ysgubor, a phethau angenrheidiol eraill i gasglu y degwm, disgwyliai iddynt ei ddigolledu. Y cynnyg hwn a wrthodwyd; a Mr. P. a barhaodd i gasglu y degwm, er ei rybuddio i gymmeryd gofal am ei fywyd. Ar brydnawn y 24ain o fis Gorphenaf, 1806, saethwyd ef trwy lwyn, ac yna dibenwyd ef. Mae agos yn ddiddadl mai un Richard Hemming, Saer, oedd y llofrudd, am wobr o £50 a gynnygiwyd iddo gan y tyddynwyr. Ond y peth mwyaf rhyfedd yn yr hanes yw, i Richard Hemming ei hun, yr hwn a welsid o amgylch y fan yn fuan ar ol y llofruddiaeth uchod, gael ei ladd; a chafwyd, yn ddiweddar, ei esgyrn, ei ddwy droedfedd a arferai gario, ei esgidiau, &c. mewn ysgubor oedd y pryd hyny yn meddiant un Mr. Thomas Clewes.

Cynhaliwyd celain-ymholiad ar ysgerbwd Hemming am bum niwrnod, dros fwy na deng awr bob dydd, a therfynodd ar y pedwerydd dydd o'r mis hwn (Chwefror). Ymddengys nad oedd y bwriad o saethu Mr. P. yn ddirgelwch yn y gymmydogaeth. Clywodd amryw o'r tystion a holwyd son am dano: a'r hyn sydd yn dra hynod, Cadben Evans, a fuasai yn Ustus Heddwch dros ddeugain mlynedd, a'r hwn a fu farw yn mis Mai diweddaf, yn 94 mlwydd oed, oedd y mwyaf croch o'r holl dyddynwyr yn bygwth bywyd Mr. P. Dywedir mai dyn o ychydig ddysg oedd Cadben Evans, gwladaidd o ymddygiad, ac o dymmer greulon a ffyrnig. Pa fodd bynnag, bu mor ffodus a chael ei ddyrchafu o fod yn filwr cyffredin i fod yn gadben; ac wedi casglu ychydig arian ymadawodd â'r milwyr, ar ddiwedd rhyfel America, ar hanner cyflog, ac a drigodd yn Droitwich, lle y gwnaed ef yn Ustus Bwrdeisiol. Nis gwnaed ef erioed yn Ustus Swyddol, ac nid ymddengys i foneddigion y gymmydogaeth ymgyfeillachu nemawr âg ef. Wedi byw yn Droitwich am rai blynyddoedd cymmerodd dyddyn bychan yn mhlwyf Oddingley, lle y preswyliodd hyd ynghylch y flwyddyn 1810, pryd yr ymadawodd â'i dyddyn a'i anifeiliaid, &c. ac a ddychwelodd i Droitwich drachefn; ac yma y trigodd hyd ddydd ei farwolaeth yn Mai diweddaf. Dywedir ei fod yn arfer cadw ei hun yn ddarn feddw yn barhaus, ac yn yfed ynghylch pottelaid o *Frandy* yn feunyddiol. Ei farwolaeth oedd o'r fath echrysaf; bu mewn dirfawr boen ac ammhwylldra mawr am bythefnos cyn ei farw.

Yn ystod yr ymholiad tueddwyd y rheithwyr i gredu fod gan y rhag-ddywededig Mr. Thomas Clewes, Tyddynwr, yn Oddingley, yr hwn a dorrasai i fynu ychydig wedi llofruddiaeth Mr. P. law yn y gorchwyl. Yn ganlynol anfonwyd am dano, a holwyd ef. Ymddangosodd yn hollol ddi gynnwrf pan yr holwyd ef; ond er nad oedd yr un sicrwydd ei fod yn euog, anfonwyd ef i garchar y Sir, er mwyn ei ddwyn dan ail holiad. Drannoeth efe a gyfaddefodd ei fod ef, Cadben Evans, Mr. George Banks, Taylor, Meddyg Anifeiliaid, yr hwn sydd wedi marw, a Mr. John Barnett, Tyddynwr, yn Oddingley, o berchen gryn eiddo, yn euog o'r ddau lofruddiaeth. Ymddengys iddynt hudo Hemming, wedi iddo ladd Mr. Parker, i ysgubor. Dywed Clewes, yn ei gyffes, na wyddai efe i ba ddiben yr hudwyd ef i'r ysgubor. Cadben Evans a ofynodd a ddeuai efe yno, ac efe a aeth. Aeth Clewes, Cadben Evans, Taylor, a Banks (hyd y mae yn gofio) ynghyd i'r ysgubor. Pan aethant i mewn, Cadben Evans, a chanddo lusern, a lefodd, "Cyfod, Hemming, mae gennyf fwyd i ti." Yr oedd Hemming wedi ei orchuddio â gwellt; a phan ydoedd yn cyfodi, Taylor a'i curodd ar ei ben â llaw-ffon nes ei ladd. Yna y Cadben a Taylor a lusgasant ei gelain ar draws llawr yr ysgubor, ac a'i gosodasant mewn twll a gloddiasai Taylor. Dywed Clewes na fu ganddo ef un llaw yn y gorchwyl gwaedlyd hwn. Drannoeth daeth Barnett atto yn ffair *Pershore*, a Banks a roddodd iddo £26 neu £27, gan ddywedyd, "Paid ag ymrannu," (torri y gyfrinach).

Cadarnhawyd cyffes Clewes gan amryw o'r tystion, a'r rheithfarn yw, "Llofruddiaeth yn erbyn T. Clewes a George Banks, ac yn erbyn John Barnett fel cyfranogwr cyn gwneuthur y weithred." Y mae y tri hyn, o ganlyniad, yn rhwym i ymddangos yn y Sessiwn nesaf i dderbyn eu dedfryd. Bu Taylor farw ynghylch pedair blynedd ar ddeg yn ol, yn ddyn â gair drwg iawn iddo; ynghylch deugain mlynedd yn ol bu o flaen y faingc am gyssegr-ledrad, sef lledratta llestri cymmun o Eglwys Hampton Lovett; ac er iddo ddiangc trwy gyfrwys-dro cyfraith, ni ddiangodd rhag y llysenw "Warden Hampton Lovett," tra fu byw.

Peth arall nodedig yn yr hanesyn hwn yw, i T. Clewes, ar y pummed dydd o Ragfyr diweddaf, ond braidd ddiangc rhag boddi. Wedi galw o hono yn Nhafarn y Forwyn, yn agos i Gaer Wrangon, ar ei daith i Oddingley, gyda dyn o'r enw Footman; pan ymadawsant o'r dafarn nid oedd yr un o honynt yn feddw; ond pan gyrhaeddasant ddyfr-ffos Caer Wrangon a Birmingham, llithrodd troed Clewes, ac efe a syrthiodd i'r dwfr, lle bu agos iddo a boddi; eithr Footman, yr hwn oedd yn nofiwr da, a'i dug ef allan, ac a dderbyniodd ei wobr, ar yr eilfed dydd o Ionawr

diweddaf, gan Gymdeithas ddyngarawl Caer Wrangon. Achubiaeth bywyd Clewes yn y fath berygl, ac mor agos i amser ei gyffes, sydd amgylchiad arall perthynol i'r hanes uchod, a ellir ei gyfrif yn rhaglunïaethol.

---

Dydd Llun, y 25ain o mis diweddaf, gwas i un Mr. Anderson, Amaethydd, o Long-Sutton, a roddodd ryw gymmaint o eurlliw (*arsenic*) i un o geffylau ei feistr, a'r boreu drannoeth cafwyd yr anifail wedi marw. Y dydd Iau canlynol dygwyd y dyn o flaen yr Hedd-ynadon, a thraddodwyd ef i garchar, at waith caled, dros dri mis. Amddiffyniad yr ynfyd-ddyn drosto ei hun oedd, iddo glywed rhyw un yn dywedyd, fod rhoddi eurlliw i geffyl yn rhagorol i wneud i'w flewyn ymddangos yn hynod o lyfn a dymunol; ac nid oedd un ammheuaeth gan yr Ynadon nad yn ei wirioneb y gwnaethai hynny, pe amgen cawsai ei ddanfon i frawd-lys Lincoln i'w brofi. Bernid y ceffyl yn werth Triugain Punt.

---

Ychydig ddyddiau yn ol gwelsom lythyr o Gaer Efrog Newydd yn yr America, yn hyspysu fod Cymdeithas Gymreigyddawl wedi ei ffurfio yn y ddinas honno yn ystod yr haf diweddaf; yr hon, er pob anfantais, sydd yn cynnyddu yn raddol.

---

## SIRYDDION CYMRU, 1830.

### *GWYNEDD.*

MON—Thomas Williams, Ysw. Glan'rafon.
ARFON—John Williams, Ysw. Bryntirion.
MEIRION—Jones Panton, Ysw. Llwyn y Gwern.
TREFALDWYN—Henry Adolphus Proctor, Ysw. Plas Aberhafesp.
DINBYCH—William Hanmer, Ysw. Bodnant.
FFLINT—Syr Henry Brown, Bronhwylfa.

### *DEHAU.*

CEREDIGION—Thomas Hugh Jones, Ysw. Neuadd.
PENFRO—Anthony A. Gower, Ysw. Cilderwen.
CAERFYRDDIN—Rees Goring Thomas, Ysw Llanon.
MAESYFED—Thomas Bell Price, Ysw. Downfield, Hen Faesyfed
BRYCHEINIOG—Williams Lewis Hopkins, Ysw. Aberanell.
MORGANWG—William Williams, Ysw. Aberpergwin.

Y Cadpen Beauliew, swyddog Ffrengig yn ngwasanaeth Pasha yr Aipht, ychydig amser yn ol, a ddanfonodd i un o'i gyfeillion yn Ffraingc, gasgliad o Hynafiaethau, ac y'mhlith pethau eraill yr ydoedd wyau crocodil. Yn ystod y fordaith, neu yn yr amser yr oeddynt ar y deugain nydd prawf (*Quarantine*) dëorodd yr wyau, a phan agorasant y gist yn y dollfa, rhedodd allan dri chrocodil bychain. Yr oeddynt wedi bwytta amryw roliau o *bapyrus*, a llieiniau, a chorph yr aderyn *Ibis*, o ba un nid oedd dim ar ol ond y traed, a pheth o'r plu. Y mae gofal mawr yn cael ei gymmeryd o'r anifeiliaid hyn, ac y mae gobaith y cyrhaeddant Paris yn fyw.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Chwefror 1af, cyflwynodd Esgob Bangor y Parchedig Richard Thomas, A. C. Pen-feistr Ysgol Rad, Beaumaris, i Bersoniaeth Llanfairfechan, yr hon oedd wag trwy farwolaeth y Parch. Evan Herbert.

Chwef. 9fed, cennadodd Esgob Bangor y Parch. John Williams, A. C. Aelod o Goleg Iesu, Rhydychain, i Guradiaeth Barhaus Llanfaes a Pen-mon, yn Swydd Fôn, yr hon oedd wag trwy ymadawiad y Parch. Richard Thomas. Tadog—Richard Bulkeley Williams Bulkeley, Ysw. Baron Hill.

Y Parchedig R. H. Jelf, G. D. Athraw i'w Frenhinol Fawrhydi y Tywysog George o Cumberland, ac Aelod o Goleg Oriel, Rhydychen, a ddyrchafwyd i Ganoniaeth Christ Church, yn yr un Athrofa, yn wag trwy farwolaeth y Parch. Dr. Hay.

Dywedir fod y Dr. Carey, Esgob Exeter, i gael ei symmud i Esgobaeth Llanelwy, ac Esgob Caerloyw i Exeter, a bod y Dr. Monk, Deon Peterborough, i gael ei wneud yn Esgob Caerloyw.

---

## BU FARW,

Ionawr 21ain, yn Llanelwy, y Gwir Barch. John Luxmore, D. D. Arglwydd Esgob Llanelwy, yn 74 oed. Bu yn Esgob am 23ain mlynedd. Yn y flwyddyn 1807 y cyssegrwyd ef yn Esgob Bristol; yn y flwyddyn ganlynol symmudwyd ef i Esgobaeth Hereford, ac yn 1815 i Lanelwy. Diau y bydd ei farwolaeth yn achos o alar dwys a pharhaus yn y gymmydogaeth, ac yn wir trwy yr holl Esgobaeth yn gyffredinol.

Ionawr 22ain, er mawr alar i'w blwyfolion, ym mhlith pa rai y treuliodd efe yr 28ain mlynedd diweddaf o'i oes, y Parch. Evan Herbert, Person Llanfairfechan, yn Swydd Gaernarfon, yn 83 oed.

# Y GWYLIEDYDD.

## EBRILL, 1830.

### Y PASG.

Ym mhlith amryw ragoriaethau ereill yn Llyfr Gweddi Gyffredin Eglwys Loegr, ag sydd yn eglur ddangos duwioldeb a zel yr hen ddiwygwyr doeth a da, y mae yn dra haeddiannol o'n sylw fod pob gwasanaeth yn y llyfr hwn wedi ei addasu yn hynod at y dydd neillduol, i goffhâu pa un y cafodd ei ysgrifenu, fel y byddai i'r digwyddiadau mawr a gymmerasant le ar y dyddiau hyn gael eu cofio yn well, ac fel y byddai i'r annhraethol leshâd sydd yn tarddu oddi wrthynt wneuthur mwy o argraff ar ein meddyliau, a chael mwy o effaith ar ein calonau a'n bucheddau. O'r holl wyliau a ordeiniodd Moses, trwy orchymyn yr Hollalluog, y Pasg oedd y fwyaf ardderchog a gogoneddus, o gymmaint a'i bod yn coffhâu y waredigaeth dymhorol fwyaf hynod a glywyd sôn am dani erioed; ac hefyd, o herwydd ei bod yn gysgod o'r waredigaeth ysprydol ogoneddus a thrugarog hòno a bwrcaswyd i ni trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr wyl hon a ordeiniwyd er mwyn coffhâu gwaredigaeth plant Israel o wlad yr Aipht, a rhyfedd ddaioni Duw yn arbed eu cyntafanedig hwy, pan y lladdodd bob cyntaf-anedig ym mhlith yr Aiphtiaid. Eithr er fod y waredigaeth hon yn fwy rhyfeddol nag un a ddigwyddasai erioed o'r blaen, a hyny o'r caethiwed mwyaf gorthrymus ac ofnadwy; etto, os ystyriwn y moddion trwy ba rai y dygwyd hi i ben, cawn lawer mwy o achos i ryfeddu, gyda syndod a diolchgarwch, fawrion ac annhraethol weithredoedd Duw.

Ar ol amryw esamplau dychrynllyd o'i farnedigaethau trymion ar yr Aiphtiaid, megys cosp am eu creulondeb tu ag at yr Iuddewon, y rhai a gaethiwedasant ac a ammharchasant yn fawr, trwy eu gorthrymmu â gwasanaeth caled; y rhai hefyd a fwriadodd Pharaoh eu diddymu oddiar wyneb y ddaear, trwy orchymyn i fyd-wragedd yr Hebrëesau ladd pob gwryw, gan ei fwrw i'r afon; a hyn oll yn lle talu iddynt y parch a'r anrhydedd oedd ddyledus i frodyr a chenedl y patriarch Joseph, yr hwn a fu yn foddion i'w cadw yn fyw tra y bu y newyn caled yn yr holl wlad, dros yspaid saith mlynedd. Er mwyn dangos iddynt eu pechod trwy eu cosp, Duw, ar ol mynych rybyddio Pharaoh, trwy enau ei was Moses, a dywedyd, y byddai iddo ladd pob cyntaf-anedig yn yr Aipht, os gwrthodai efe ollwng Israel ymaith i wasanaethu eu Harglwydd, a gyflawnodd ei fygythiad, gan ladd pob un "o gyntaf-anedig Pharaoh, yr hwn a eisteddai ar ei frenin-faingc, hyd

gyntaf-anedig y gaethes oedd yn y carchardŷ."

Ac fel y byddai i'r Israeliaid ochelyd y farn ddychrynllyd a syrthiodd mor ddisymmwth ar eu cymmydogion, gorchymynwyd iddynt "ladd oen yn ol eu teuluoedd, oen i bob teulu; eithr os byddai y teulu yn rhy fychan, yr oeddynt i'w ranu gyd â'u cymmydog nesaf, a thaenellu o'r gwaed ar gapan y drws, ac ar y ddau ystlysbost, dan addewid y byddai i'r dinystrydd fyned heibio i bob tŷ, ar ba un y byddai yr arwydd hwn yn weledig, ac achub y teulu pan y tramwyai yr Arglwydd trwy y wlad i daro yr Aiphtiaid.

Mawr, yn ddiau, oedd galar a thrallod y bobl galon-galed hyn, wrth weled y dinystr ofnadwy a dynasent ar eu penau eu hunain, trwy eu cyndynrwydd a'u hanghrediniaeth yn ngwyneb yr holl farnedigaethau â pha rai y bu Duw mor drugarog a'u rhybuddio: eithr, os ystyriwn fod y bobl hyn, fel y dywed hanesyddion, yn ymroddi eu hunain yn fwy i alar dygn a gwallgofus nag unrhyw genedl ar y ddaear, gallwn ddirnad yn hawdd "fod gwaeddi mawr trwy holl wlad yr Aipht, yr hwn ni bu ei fath, ac ni bydd mwyach ei gyffelyb." Etto, er trymed oedd cospedigaeth yr Aiphtiaid, ni's gallwn lai na gweled, hyd yn oed yn y barnedigaethau hyn, fawr drugaredd yr Hollalluog; canys nid yw yn eu suddo i'r trueni mwyaf ar unwaith, eithr y mae yn rhoddi lle i edifeirwch, trwy fyned ym mlaen yn raddol o un pla i bla arall sydd drymach, nes yw yn y diwedd yn eu boddi yn y Môr Coch.

Oddiwrth yr hanes uchod, gwelwn yn eglur fod rhwymedigaeth yr Israeliaid i gadw Gwyl y Pasg yn fawr, o herwydd ei bod yn coffhâu gwaredigaeth mor ryfeddol o'r caethiwed caled â pha un y cawsant eu gorthrymu yn ngwlad yr Aipht: eithr os bydd i ni ystyried fod oen y Pasg, megys cysgod, yn cyfeirio mewn modd neillduol at fywyd a marwolaeth ein Harglwydd Iesu Grist, cawn weled fod llawer mwy o rwymedigaeth arnom ni i gadw yr wyl hon, yn y dyddiau presenol, er mwyn coffhâu anfeidrol gariad Duw yn danfon ei unig-anedig Fab, "yr hwn," fel y dywed St. Paul, "yw ein Pasg ni," i gymeryd arno y natur ddynol, ac i ddyoddef angau ar y groes.

Mewn amrywiol fanau y mae oen, yn enwedig oen y Pasg, yn rhagddangos ein Harglwydd bendigedig, ac yn cael ei osod megys cysgod o hono, o herwydd eu haddasrwydd i'w gilydd, a'r tebygoliaeth sydd rhwng y naill a'r llall. Nid oes un creadur, efallai, ym mhlith yr holl greaduriaid direswm, yn fwy llonydd ac amyneddgar nag oen; am ba achos y mae yn cael ei osod megys arwydd cymmwys o ostyngeiddrwydd ac addfwynder ein Harglwydd, ac o'i ymddygiad diniweid tra ar y ddaear; canys, fel y dywed St. Petr, "Oen difeius a difrycheulyd oedd efe, â gwerthfawr waed yr hwn y'n prynwyd:" ac hefyd, o'i amynedd a'i ymddarostyngiad i ewyllys ei Dad dan ei holl ddyoddefiadau; canys, er ei orthrymu a'i gystuddio, nid agorodd ei enau. Trwy ei awdurdod dwyfol, gallai wared ei hun o ddwylaw ei elynion, fel y gwnaeth ar amrywiol achosion o'r blaen, megys, pan ymguddiodd, ac yr aeth allan o'r deml, gan fyned trwy ganol y bobl a godasant gerig i'w taflu ato ef; ac hefyd, pan ei dygasant ef hyd ar ael y bryn, yr hwn yr oedd eu dinas wedi ei hadeiladu arno, ar fedr ei fwrw bendramwnwgl i lawr. Eithr yma, er mwyn dwyn i ben brynedigaeth y byd, yr ydym yn gweled y Llew o lwyth Judah wedi ei gyfnewid i Oen, trwy ei ufudd-dod i ewyllys ei Dad, a'i dosturi tu ag at eneidiau dynion.

Y mae hefyd rai amgylchiadau perthynol i oen y Pasg yn ei wneuthur yn neillduol gymmwys megys cysgod o Grist: gorchymynwyd iddo fod yn berffeith-gwbl, heb un math o ddiffyg; a'i gymeryd allan o'r praidd; fel y rhagddangosai yn fwy eglur y Cyfryngwr mawr, yr hwn, i'r dyben o wneuthur cymmod dros bechodau y bobl, a wnaethpwyd yn gyfranog o gig a gwaed, fel y byddai ym mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr. Yr oedd yn rhaid i oen y Pasg hefyd fod yn wryw, ac yn llwdn blwydd, pan y mae y enawd yn fwyaf cymmwys er ymborth, i'r dyben o ddangos rhagoroldeb yr aberth yr oedd Crist i'w offrymu drosom ni ar ol treulio ychydig flynyddoedd yn ein plith. Yr oedd hefyd yn rhaid i holl gynnulleidfa Israel ladd yr oen; ac felly y darfu holl dyrfa yr Iuddewon, yr offeiriaid, yr ysgrifenyddion, a'r holl bobl yn gyffredin, ymgynghori ynghyd yn erbyn Crist, i'w roddi i farwolaeth. Yr oedd yn rhaid i oen y Pasg gael ei ladd trwy dywallt gwaed, i'r dyben o ddangos y modd ym mha un y byddai Crist farw, sef, trwy dywalltiad ei waed ar y groes.

Gwelwn hefyd gyffelybrwydd neillduol rhwng y cysgod a Christ, os ystyriwn yr amser ar ba un y cafodd y ddau eu hoffrymu. Dyoddefodd Crist ei loesau chwerwon y prydnawn hyny, pan oedd gwyl y Pasg yn cael ei chadw; a bu farw ar y dydd nesaf, ynghylch tri o'r gloch, yn y cyfnos, hyny yw, yn ol yr Hebraeg, rhwng y ddau brydnawn, pan oedd oen y Pasg yn cael ei offrymu. Fel hyn, nid all un dyn lai na gweled pa mor eglur y mae oen y Pasg yn cyfeirio at y Person gogoneddus hwnw ag y mae Ioan Fedyddiwr yn ei ddangos i'r bobl, megys "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd."

Ym mhellach, y mae amryw amgylchiadau yn y Pasg yn haeddiannol o'n sylw, o herwydd ei fod yn arwyddocâu y modd ym mha un yr ydym ni yn cael ein gwneuthur yn gyfranogion o ffrwythau gwynfydedig aberth Crist. Yr oedd yn rhaid iddynt "rostio yr oen yn gyfan, a'i fwyta i gyd, heb adael dim o hono yn ngweddill erbyn y boreu;" yr hyn a arwyddocâ fod yn rhaid i ni, os ydym yn ewyllysio derbyn lleshâd oddiwrth aberth Crist, ei dderbyn ac ymddiried ynddo yn ei holl swyddau, fel ein Prophwyd, ein Hoffeiriad, a'n Brenin.

Yr oedd y Pasg hefyd i gael ei fwyta gyda dail surion; yr hyn, heblaw ei fod yn goffadwriaeth o flinder ac helbul yr Israeliaid yn yr Aipht, a ddichon arwyddocâu fod yn rhaid i edifeirwch am bechod ganlyn ffydd yn Nghrist; ac hefyd fod yn rhaid i ni ddysgwyl ac ymfoddloni bod yn gyfranogion o ddyoddefaint Crist, os ydym yn chwennych cyfranogi o'r bendithion sydd yn deilliaw oddi wrthynt: yr hyn yw meddwl yr apostol pan y mae yn sôn am "gymdeithas ei ddyoddefaint ef;" ac hefyd, pan y mae yn dywedyd, "Os dyoddefwn, ni a deyrnaswn gyd âg ef; os gwadwn ef, yntau hefyd a'n gwad ninau."

Gorchymynwyd i'r Israeliaid fwyta oen y Pasg heb dori asgwrn o hono, yr hyn beth a ragddangys yn eglur yr amgylchiad a gymerodd le pan welodd y milwyr fod Iesu wedi marw eisoes; canys "ni thorasant ei esgeiriau ef, fel y cyflawnid yr ysgrythyr, Ni thorir asgwrn o hono." Yr oeddynt i'w fwyta gyda bara croyw, i'r dyben o goffhâu y caledi a ddyoddefasant yn yr Aipht; ac hefyd y brys, â pha un yr ymadawsant, yr hwn oedd gymmaint fel na chawsant amser i lefeinio eu bara; canys "gwthiasid hwynt o'r Aipht, ac ni

allasent aros, ac ni pharotoisant iddynt eu hun luniaeth." Meddylia rhai fod y gair *lefain* i'w ddeall mewn ystyr ysprydol, ac mai dyben yr ysgrifenydd sanctaidd oedd, cynghori yr Israeliaid i lanhâu eu meddyliau oddiwrth genfigen, rhagrith, a phob bwriad drwg, sef oddiwrth lefain yr Aipht, yr un modd ag y mae St. Paul yn cynghori y Corinthiaid "i garthu allan yr hen lefain, fel y byddont does newydd. Canys," fel y dywed efe, "Crist ein pasg ni a aberthwyd drosom ni. Am hyny cadwn wyl, nid â hen lefain, nac â lefain malais a drygioni; ond â bara croyw purdeb a gwirionedd."

Yn ddiweddaf, y mae yn haeddiannol o'n sylw, fod yr Israeliaid i fwyta y Pasg cyntaf, megys pobl ar eu taith; yr hyn, mewn ystyr ysprydol, a ddichon arwyddocâu, fod yn rhaid i bawb a'r a wnant gyfammod â Christ, benderfynu a bod yn barod i gyflawni pob dyledswydd a ofyno efe ganddynt. Nid ydynt i ystyried y byd hwn megys eu cartref; eithr, gan gofio eu bod yn teithio tu a'r nefoedd, y mae yn rhaid iddynt osod eu serchiadau ar y pethau sydd uchod, a bod yn ddiwyd i "weithio allan eu hiechydwriaeth eu hunain trwy ofn a dychryn." I ba ddyben, fe'n cynghorir i "sefyll, wedi amgylch wregysu ein lwynau â gwirionedd," ac, "megys dyeithriaid a phererinion, i ymgadw oddiwrth chwantau pechadurus, y rhai sydd yn rhyfela yn erbyn yr enaid," gan edrych am drigfanau wedi eu parotoi i ni yn y nefoedd, nid fel trigfanau ansicr y byd hwn, eithr "dinas ag iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw."

D.

---

LLYFR EXODUS.

Enw y Llyfr hwn, sef *Mynediad Allan*, a ddarlunia hefyd y rhan fwyaf hwysfawr o'i gynnwysiadau; sef mynediad yr Israeliaid allan o dŷ eu caethiwed yn yr Aipht. Yn y Llyfr o'r blaen crybwyllasai Moses ynghylch creadigaeth y byd, tadogaeth cenhedloedd, a dechreuad yr eglwys; eithr yn y Llyfr hwn mynegir hanes a chyflwr yr eglwys, wedi ei chasglu ynghyd a'i huno yn un corph gwladol, pen yr hwn oedd Jehofah. Y cyfryw hanesion a dygwyddiadau lleyg ag oedd angenrheidiol i eglurhau helynt a chynnydd yr eglwys a draethir gyda manylrwydd digonol; a gwelir yn y cwbl arwyddion diammheuol o ddoethineb a gallu Duw yn trefnu damweiniau bydol er hwylio ym mlaen les ysprydol ei bobl ei hun, a'i ddybenion prynedigol tu ag at yr holl fyd yn nghyflawnder amser.

Buddiol iawn i bob darllenydd ysgrythyrol gadw yn ei gôf nad yw un Llyfr o'r Bibl i'w esponio ar ei ben ei hun, eithr megys rhan o amryw Lyfrau ereill, cysson a pherffeith-gwbl. Dichon i bethau ymddangos yn ddiles, yn wrthun, neu yn annealladwy ar eu penau eu hunain, y rhai a geir yn angenrheidiol, yn brydferth, ac eglur, megys rhanau o'r cynllun cynnwysfawr dwyfol, yn cyrhaedd trwy filoedd o genhedlaethau. Llawer o bethau, a fynegir am danynt yn y Llyfr hwn, oeddynt gysgodau i bethau efengylaidd; a gwelir fod y gwrth-gysgodau yn eglurhâu y cyntaf, megys yn ddiau y benthyciant hwythau oleuni gan y lleill. Cyflwr amserol yr Israeliaid, eu cystuddiau, a'u gwaredigaethau, oeddynt yn ddiammeu rag-gysgodau i bethau cyffelyb a ddygwyddai i'r eglwys dan y weinidogaeth efengylaidd. Yn y modd hyn eglurheir cyssondeb y cynllun dwyfol yn y ddwy weinidogaeth, a pherir i'r naill brydferth-gyfateb i'r llall. Yn nghaethiwed yr Israeliaid, rhagddarlunir dyoddefiadau yr eglwys.

Yn y waredigaeth o'r Aipht, rhagddangosir ei phrynedigaeth; a'r ymdeithiau drwy yr anialwch a gysgodent bererindod y Cristion, trwy helbulon y byd presenol i wlad nefol yr addewid. Tybir fod llawer o'r hen dduwiolion hybarch dan y ddeddf felly yn deall eu caethiwed a'u gwaredigaethau amserol, ac y mae Zacharïas (*Luc* 1. 68, 79.) yn cymmwyso yn arbenig eiriau y waredigaeth amserol at yr un ysbrydol. Heb ymhelaethu yn rhy fanylaidd ar bwngc sydd hyspys i lawer o'n darllenwyr, digon fydd adgofio iddynt fod y manna, yr hwn a fwytaodd yr Israeliaid; y graig, o'r hon yr yfasant; y sarph brês, trwy yr hon yr iachâwyd eu cleifion; bob un yn rhag-gysgodi pethau a gyfatebant iddynt dan yr efengyl. A beth oedd yr aberthau a'r defodau a orchymynwyd i'r Iuddewon dan y ddeddf, ond rhag-gysgodau* o'r addoliad ysbrydol a fyddai dan y weinidogaeth efengylaidd?

Daliwn sylw ym mhellach, os dymunir gwybod rheswm a bwriad llawer o'r defodau a orchymynir yn y Llyfr hwn, rhaid yw cofio mai amcan Rhagluniaeth oedd cadw yr Israeliaid yn bobl wahanol, ac attal cyweithas a chyfeillach rhyngddynt hwy a chenhedloedd eraill. Wrth ymgyfeillachu â chenhedloedd eilun-addolgar, byddai mwy tueddiad i ddilyn eu harferion anfoesol a chyfeiliornus. Gwaherddid hefyd i'r Israeliaid rai pethau, y rhai nid oeddynt ddrwg ynddynt eu hunain, ond a arferid gan y Cenhedloedd yn eu haddoliad gau; ac felly cymmwys oedd i bobl Dduw ymogelyd y cyfryw arferion. *Lef.* 19. 19, 27, 28. Yn gymmaint hefyd a bod y Messias i darddu o hiliogaeth Abraham, rhaid oedd gofalu, gyd âg eithaf diwydrwydd, rhag ymgymmysgu o blant Israel mewn priodasau â'r Cenhedloedd, ac felly gwneuthur cyflawniad y prophwydoliaethau yn ammheuol. Gan fod y llwyth a'r teulu, o'r hwn yr hanai y Messias, wedi ei hyspysu, cymmwys hefyd oedd cadw eu hachau yn ofalus. Yn y modd hyn y gwnaethpwyd i bob llwyth a theulu edrych yn eiddigeddus ar y cofrestr achau, rhag ymlithro iddynt unrhyw gyfeiliorni. I'r un perwyl y perthynai y cyfreithiau ynghylch morwyndod gwyryfon, a'r cospedigaethau llymion yn erbyn godineb. Rhai pethau ni fedrwn ddim eu heglurhâu, oblegid ein bod yn rhy anwybodus o hen arferion yr Hebreaid, a'u cymmydogion; eithr, cyn belled ag yr ydym yn eu deall hwynt, gwelwn achos i ganmol eu doethineb a'u cwbl gymmwysder at angenrheidiau priodol yr hen oesoedd hyny, cystal a'r cynllun dwyfol yn gwahanu teulu Jacob yn bobl benodol i'r Arglwydd.

Rhai pethau a fynegir yn Exodus, oblegid eu bod yn cyflawni prophwydoliaethau a roddasid i'r Patriarchiaid; megys, dirfawr liosogrwydd hiliogaeth Abraham—eu cystuddiau mewn gwlad ddyeithr—a'u mynediad allan yn y bedwaredd genhedlaeth, gyda chyfoeth mawr. Cyflawniad y prophwydoliaethau gynt a wnai gyfoeswyr Moses yn barotach i wrandaw ar ei eiriau, i ufuddhau i'w ddeddfau, ac i hyderu ar yr addewidion dwyfol mewn perthynas i etifeddiaeth Canaan.

Buddiol hefyd fyddai ystyried cyflwr yr Israeliaid yn yr Aipht, o'u sefydliad cyntaf ynddi hyd eu mynediad allan â llaw gadarn ac â braich estynedig. Ychydig oeddynt o nifer ar eu sefydliad cyntaf,

* Heblaw y cysgodau uchod, gellir ychwanegu, *Y Môr Coch*, *yr Anialwch*, *yr Iorddonen*, *Oen y Pasg*, *y Drugareddfa*, *y Babell*, *Moses*, ac *Aaron*. Adeiladol iawn i bob darllenydd ysgrythyrol fyddai myfyrio ar y cysgodau a'r gwrth-gysgodau hyn. Yn enwedig, trwy astudio cyfryngdod Moses, fe ddeallir yn llawer amgenach gyfryngdod Iesu Grist.

sef oddeutu deuddeg enaid a thriugain, a gosodasid hwynt yn ngwlad Gosen, yn wahanol oddiwrth genedl yr Aiphtiaid. Fe allai y rhyfedda llawer pa fodd yr oedd y rhandir hono o'r wlad, y fro ffrwythlawn hono, "y man goreu," heb drigolion yn preswylio yno, fel y caed lle yn wag i'r Israeliaid. Er eglurhau hyn yr ydys yn casglu bod gwlad yr Aipht, cyn amser Joseph, wedi ei goresgyn gan genedl estronaidd o fugeiliaid (tybir mai Philistiaid oeddynt) dros flynyddoedd lawer, a chwerw iawn oedd y gorthrymder â'r hwn y blinent y priodorion. Traddodiad Iuddewaidd yw, mai trwy ddoethineb a gwroldeb Joseph, megys Penswyddog yr Aipht, y gyrwyd ymaith yr estroniaid gorthrymus hyn yn hylwyr, ac mai rhandir Gosen oedd y dalaeth olaf a fuasent hwy yn ei pherchenogi. Felly canlyniad digyfrwng buddugoliaeth Joseph oedd fod y rhan ffrwythlon hono o'r wlad heb breswylyddion ynddi; a buddiol i Pharaoh, megys brenin, oedd caffael trigolion a deiliaid newyddion i'w chyfanneddu, megys hefyd yr oedd yn gytun âg amcanion Duw gadw ei bobl ei hun yn wahanol. Oddiwrth eu gorthrymder gynt, aethai *pob bugail defaid yn ffieidd-dra* gan yr Aiphtiaid; a byddai llai tueddiad ynddynt hwythau i ymgyfeillachu â'r cyfryw. Felly, yn einioes Joseph, llonydd a nodded yn ddiau a gafodd plant Israel, ac amlhau yn ddirfawr a wnaethant. Eithr pan aeth eu rhifedi yn fawr iawn, enynodd eiddigedd yr Aiphtiaid, ac ofnasant rhag i'r bugeil-ddynion hyn drachefn fyned yn drech na hwynt. Hyn oedd gwreiddyn y cenfigen a'r creulonder, â'r rhai yr ymddug Pharaoh tu ag at y bobl. Arferodd efe y cyfryw foddion anghyfiawn ag a farnai dyhiryn gwaedlyd, yr hwn ni pharchai na Duw na dyn, yn oreu i attal cynnydd y bobl. Ond yr oedd efe yn gwrthsefyll amcanion Un oedd drech na dyn; ac felly po mwyaf y cystuddiai ac y blinai efe y bobl, mwyaf yr amlhaent.

Amlwg yw fod yr Aiphtiaid wedi ymlygru erbyn hyn i radd resynus iawn mewn daliadau a defodau crefyddol. Rhai o'u harferion a fynegir wrth sôn am y pläau a osodwyd arnynt; amcan a chymmwysder y rhai nid ydynt ddealladwy heb olygu ar addoliad priodol y bobl gyfeiliornus hyn. Tebyg yw fod eu gweision, yr Israeliaid hefyd, wedi ymlygru yn ddrwg iawn; eu bod, trwy hir gaethiwed, wedi myned o barth moesau yn afrywiog, ac o barth gwybodaeth a dysg yn dywyll; ac yr un pryd wedi colli i radd mawr, os nid yn hollol, eu hadnabyddiaeth o'r gwir Dduw. Dengys yr ystyriaethau hyn yr achos, mewn rhan o leiaf, paham yr oedd cyfoeswyr Moses mor hwyrdrwm eu deall, mor anewyllysgar i ymadael â'u caethiwed, ac i goffeidio rhyddid: mor wargaled a llygredig eu moesau, a pharod i addoli y llo aur yn lle y gwir Dduw. Dengys hyn hefyd, er mai cosp eu pechod priodol eu hunain oedd eu hymdeithiau dros ddeugain mlynedd yn y diffaethwch, fod y cyfryw ddysgyblaeth yn angenrheidiol iddynt, gan nad oeddynt mor gymmwys i fwynhâu a defnyddio breintiau gwyr rhyddion wedi treulio eu holl fywyd o'r blaen megys caethion.

Tra rhyfeddol, yn ddiau, yr ymddengys i bob darllenydd hanes y pläau a ddanfonwyd i gospi yr Aiphtiaid; eithr eu cymmwysder arbenig, mewn perthynas i'r Israeliaid a'r Aiphtiaid hefyd, ni ddeallir ond gan ychydig. Barnwyd, gan hyny, yn weddus eu heglurhâu hwynt ar fyr yn ol deongliad synwyrgall y dysgedig **Mr. Bryant.**

Eithr ystyriwn yn flaenaf amgylchiadau y cyfarfod cyntaf rhwng Aaron a'r swynwyr Aiphtaidd.

Pan fwriodd Aaron ei wialen o flaen Pharaoh a myned o honi yn sarph, y brenin a alwodd am y doethion a'r hudolion, a hwythau a wnaethant felly trwy eu swynion. Cred ofergoelus dynion cyffredin yw, mai trwy nerth dirgel ysprydion drwg y gwnaeth yr hudolion hyn, a chlywir ambell un yn adrodd yr hanes er profi gallu swynwyr i wneuthur gwyrthiau trwy gymmorth y diafol: ond dichon i'r geiriau "gwnaethant felly" feddwl yn unig iddynt amcanu y weithred, nid ei gwneuthur mewn gwirionedd, megys *Pen.* 8. 18. "y swynwyr a wnaethant felly, trwy eu swynion, i ddwyn llau allan, ond ni allasant." Eithr cymmwys ddigon y gellid cyfieithu y gwreiddair am "swynion" yn *hud-gastiau llaw-ysgafn*; trwy ba rai y bydd dynion yn lledrithio llygaid golygwyr. Byddai yr hen Aiphtiaid yn rhagori mewn castiau llaw-ysgafn, ac megis eu disgynyddion presenol yn medru hudo a dofi seirph. Gan fod y swynwyr yn gwybod ym mlaen llaw pa fath arwydd a ddysgwylid ganddynt, hawdd oedd iddynt barotoi seirph i'r achos, a lled-rithio llygaid yn y cyfryw fodd megys pe buasent yn troi y gwiail yn seirph. Er i sarph Aaron lyngcu y seirph ereill, gan ddangos rhagoroldeb y gwyrth gwirioneddol ar yr ymddangosiad gau o hono, gallai y brenin calon-galed dybied nad oedd Moses ac Aaron ddim ond swynwyr cyfrwysach na Jannes a Jambres eu gwrthwynebwyr. Yr un pryd, annegaeth nid bechan i'r Israeliaid oedd gweled yr amrywiaeth rhwng Moses, yr hwn a weithredai trwy fys Duw, a'r swynwyr, y rhai a weithredent trwy allu dynol; a byddent, o hyny allan, yn llai tueddol i gredu mewn rhith o wyrthiau a wnaed i'w dean oddiwrth addoliad y gwir Dduw.

Y pla cyntaf â'r hwn y cospwyd yr Aiphtiaid oedd troedigaeth dyfroedd yr afon yn waed. Yn yr Aipht ni ffrwythlonir wyneb y tir gan gawodydd gwlaw, eithr gan ddiluwiau blynyddol yr afon, yr hon a orchuddia yr holl wlad, a chan ei gwrteithio â llaid a'i gwna yn gymmwys i ddwyn cnydiau gyd âg amldra rhyfeddol. Hyderai yr hen Aiphtiaid, gan hyny, ar eu hafon megys Duw am ffrwythau y tir; ac felly cysson âg eiddigedd JEHOFAH oedd cospi dynion ym mlaenaf yn yr hyn a osodent hwy i fynu yn lle Duw. Dangosai eu cospedigaeth iddynt waeledd yr elfenau a barchent hwy â pharch dwyfol, ac annigonolrwydd y duwiau yr ymddiriedent hwy ynddynt. Beth a allai fod yn fwy buddiol i'r Israeliaid na phrofi iddynt mor hollol ddisail oedd hawl yr afon i addoliad, gan y gellid ei llygru a'i gwneuthur yn anghymmwys i ddyn ac anifail, pan welai Brenin y nefoedd yn dda? Beth a allai fod debycach i'w diddyfnu hwynt oddiwrth y cyfryw eilun-addoliaeth, ac i'w hylwyr ffieiddio? Mor annhraethol, o'r tu arall, fyddai syndod a braw yr Aiphtiaid, pan welent eu Hafon—*eu Duw*—wedi ei llygru a'i difrio gymmaint, ïe, yn hollol ddrewllyd. Ac nid yr afon yn unig, eithr eu ffrydiau hefyd, a phob pwll a llyn dyfroedd; trowyd y cwbl oll yn waed. A phaham, medd y darllenydd, yn *waed* yn hytrach na rhyw sylwedd drwg a drewllyd arall? Oblegid bod yr Aiphtiaid oll, ond yn enwedig eu hoffeiriaid, yn dra glanwaith a dillynaidd yn eu hymddygiad a'u defodau; a dim dan haul ni ffieiddient gymmaint a gwaed. Anaml yr offrymment aberthau gwaedlyd; a thybient eu hunain yn halogedig gan y brycheuyn lleiaf o waed. Annyoddefadwy iawn, gan hyny, y cyfrifent y cystudd hwn—— "Gwaed oedd trwy holl wlad yr Aipht." Ië, y "pysgod, y rhai oeddynt yn yr afon, a fuant feirw,

a'r afon a ddrewodd." Paham y mynegir hyn? Gwnai dryg-sawr cyffredinol y dyfroedd y cystudd yn llawer tostach, o herwydd puredd yr Aiphtiaid, a'u casineb i bob llygredd. Enwir hefyd y pysgod yn bendant, o herwydd y cyfrifid, nid yr afon yn unig, ond hefyd ei holl breswylyddion, yn sanctaidd, ïe, ambell waith, addolent hyd yn oed y pysgod.* Golwg tra arswydus a dychrynfawr oedd iddynt weled eu holl afon yn waedlyd, pob llyn dwfr wedi ei halogi, a hwythau eu hunain wedi agos eu gwenwyno gan eu duwiau drewllyd. Cyrhaeddodd y pla hwn hyd wlad Gosen, canys llesol i'r Israeliaid weled angenrheidrwydd ymwrthod âg addoliad dyfroedd, yr hyn oedd gyffredin, nid yn yr Aipht yn unig, ond mewn gwledydd ereill.

Hyd yr oes bresenol parcha yr Aiphtiaid eu hafon â math o barch crefyddol, er nad addolant mo honi. Galwant hi yn sanctaidd a bendigedig, ac ar ymddangosiad cyntaf y diluw blynyddol, mamau a brysur drochant eu plant bychain ynddynt, oblegyd y credant fod yn perthyn i'r dyfroedd ryw rinwedd dwyfol, y cyfryw ag a gyfrifai hen Baganiaid i bob afon.

*(I'w barhâu.)*

---

## SYLWADAU AR MAT. xxvi. 41.

"Gwyliwch a gweddïwch, fel nad eloch i brofedigaeth."

Cyflwr o berygl ydyw cyflwr o brofedigaeth bob amser. Aflwydd ydyw, nid yn unig i'w wrthsefyll, eithr, os bydd dichonadwy, i'w ochelyd hefyd. Yr Ysgrythyrau Sanctaidd a'n dysgant, mai effeithiau profedigaeth ydynt yr holl ofidiau a welwn ac a deimlwn. Ysbryd syrthiedig a hudodd ein rhieni cyntaf i droseddu gorchymyn Duw; ac hudoliaethau yr un bôd dryg-ionus, yr hwn a ddeil elyniaeth anghymmodadwy tu ag at ddynolryw, ydynt yn parhâu byth er hyny. I'r llwyddiant a gafodd, hanesiaeth a phrofiad a roddant dystiolaeth alarus. Ond nid yr ysbryd dryg-ionus hwn yw 'r unig elyn sydd genym i ymrafaelio âg ef yn awr. Un o ganlyniadau niweidiol y trosedd gwreiddiol ydyw, bod dau elyn yn ychwaneg wedi cyfodi, mor arswydol, os nid mwy felly: y rhai hyn ydynt y byd a'r enawd. Tra mae y tri gelyn nerthol hyn yn cyd-ymgyssylltu yn eu hymdrechiadau yn ein herbyn, a allwn ni ryfeddu fod profedigaeth yn beth peryglus. Llawer siampl o'i effeithiau erchyll a welir yn y Bibl. Arweiniodd Abraham i dwyll—gwthiodd Dafydd i'r pechodau echrydus o odineb a llofruddiaeth—hudodd Solomon i eilun-addoliaeth, y pechod mwyaf afresymol ac ysgeler—cymhellodd Judas i fradychu ei feistr, ac i gyflawni y weithred farwol o hunan-leiddiad—parodd i Pedr wadu yr Iachawdwr hwnw a garai, ac wedi hyny i gadarnhâu y celwydd a ddywedasai trwy lwon a rhegfeydd halogedig.

Ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a "wyddai beth oedd mewn dyn," a rag-nododd ddwy feddyginiaeth yn erbyn y drwg hwn—gwyliadwriaeth a gweddi. Os ewyllysiwn ochelyd y drwg hwn, rhaid i ni ddefnyddio meddyginiaethau cymmwys. Perygl profedigaeth a ymddengys mewn modd neillduol oddiwrth yr ystyriaethau hyn; 1. Cyfrwysdra a grym ein gelynion.—2. Ein hanallu ninau i'w gwrthsefyll hwynt. Megys diogelwch yn erbyn y cyntaf o'

---

* Rhai o weria yr Aipht a fwytant y pysgod oedd yn y dyfroedd, eithr ni archwaethai yr offeiriaid mo honynt un amser. Cospedigaeth nid bychan i'r rhai cyntaf oedd colli haner eu cynnaliaeth trwy beri i'r holl bysgod ddrewi, a bod yn anghymmwys i ymborthi arnynt.

rhai hyn, gorchymynir i ni *wylied.* Fel meddyginiaeth yn erbyn yr ail, gorchymynir i ni *weddio.* Tra yr ydym yn y byd hwn, dylem ystyried ein hunain megys mewn gwlad elynol, ac o herwydd hyny yn anniogel bob amser. Pan na wyddom pa bryd, neu y'mha ddull y rhuthrir arnom, amlwg ydyw, na ddylem fod un amser heb wylied. Yn awr y dysgwyliad parhaus hwn o ymosodiad; y gochelgarwch hwn—y gwyliadwriaeth hwn, a ddichon yn unig ein diogelu rhag rhuthriad disymwth. Ond gan y dylem ystyried ein hadgyfnerthoedd ein hunain cystal ag ystrywiau y gelyn, rhoddodd ein Harglwydd i ni ddau hyfforddiad, pob un o ba rai sydd angenrheidiol er ein diogelwch. Rhaid i ni *wylied,* oddi ar ofn gwyliadwriaeth a chryfder ein gwrthwynebwr. Rhaid i ni *weddio,* oddi ar deimlad o'n gwendid ein hunain. Gwyliadwriaeth a'n ceidw bob amser yn deimladwy o'n perygl. Gweddi a'n ceidw bob amser yn ofalus ym mha le y trig ein nerth.

Os esgeuluswn un o'r gorchymynion hyn, hyd yn oed pan yr ufuddhâom i'r llall, gorchfygir ni yn ddiau gan brofedigaeth. Gwelwn, ynte, fod ymegnïad yn angenrheidiol, yr hyn a arwyddoceir oddi wrth y gair gwyliadwriaeth. Teimlad gostyngedig o'n gwendid ein hunain sydd angenrheidiol ar yr un pryd, yr hyn a ddeallir oddiwrth y gair gweddi. Ond ym mha fforadd mae y dyledswyddau hyn yn gweithredu i'n diogelu rhag niwed profedigaeth, nid oes achos ymofyn yn bresenol. Digon i ni ydyw gwybod pwy a'n gorchymynodd, ac eu bod o awdurdod cyfartal. Yr hwn a orchymynodd i ni *wylied,* a orchymynodd i ni *weddio;* a'r hwn a orchymynodd i ni *weddio,* a orchymynodd i ni *wylied.* N. G.

## HIN ANHYFRYD.

Y MAE anian yn parhâu o hyd yn edwinol; anial ac erchyll yw 'r olwg arni, wedi iddi golli ei harddwch; yr awyr a dywyllir gan gymylau, a'r nwyfre* sydd yn llawn o darth. Yr haul a guddir yn y boreu gan niwl tew—gwan yw ei wres: ac anaml y gwelir llysieuyn yma ac acw yn dyrchafu ei ben; swrth, a difywyd, ac anhyfryd yw y cwbl. Bydd rhai yn barod i ymofyn, Pa bryd y gwelir y Gwanwyn tirion etto? Pa bryd y daw y dyddiau hyfryd hyny, pan y gwahodda ymddangosiad y blodau cyntaf ni i rodiana yn ein gerddi ac ar hyd y meusydd? Ond cofiwn mai angenrheidiol yw hin anhyfryd y Gauaf cyn y gallwn fwynhâu hyfrydedd y Gwanwyn: a'r cyfryw yw trefn anian, fel y diflanai pob gobaith am ddychweliad yr haf, oni byddai i'r hin anghysurus hyn ddyfod yn gyntaf. Tymhestloedd ydynt yn fuddiol, a thuedda y rhew i wneuthur y ddaear, yn fwy ffrwythlawn. Pe bai 'r awyr yn dynerach nag y mae, magai hyny filoedd o drychfilod er niweid i'r had a hauwyd, ac i'r planhigion a ydynt yn barod i ymagor. Pe byddai yr hin yn hyfryd yn yr amser yma, ac i lysiau flodeuo, derbynient niweid mawr os teimlant drachefn oerni a rhew.

Etto y cyfryw ydyw ein cildynrwydd ag y grwgnachwn yn erbyn Duw, pan y dylem ei foliannu a'i fendithio; ac yr ydym yn cyfrif fel ammherffaith y peth a ddylai ein cymhell ni i gyffesu doethineb a daioni ein Creawdwr. Yn fyr, ni wyddom pa beth a ofynwn, na pha beth a ddeisyfwn: a byddai caniatâd o'n holl weddiau yn ddigon o gospedigaeth i ni. Dilyna y Gwanwyn y Gauaf yn raddol, er y dybenion doethaf. Diw-

* Atmosphere.

eddir y Gauaf yn gyffredin â thywydd afrywiog a thymhestlog Mawrth; yr hyn a'n parotöa ni i fwynhâu dyddiau tecach, a'r hyn a ragflaena y gwyrddlesni hyfryd a daena y Gwanwyn ar ein meusydd. Am hyny parhâu a wnaf i'th foliannu a'th fawrygu, O fy Nuw! Yn y dyddiau ystormllyd hyn, cadarnheir fy marn, mai doeth yw dy lywodraeth, ac mai cyfiawn a llesol yw dy ffyrdd! a sicrach fydd fy nghred dy fod di yn Dad, yn Gynhalydd, ac yn Gyfranwr bendithion i mi ym mhob amser a thymhor, mewn tymhestloedd ac mewn tegwch!

"————————— gwelaf law
Yr hwn sydd uwch na'r uwchaf, enfyn Ef
Dymhorau wrth 'i ewyllys, ac a wna
Eu newid oll, ac estyn neu fyrâu
Y naill neu 'r llall, heb nerth ond nerth ei air.
Rhyfeddaf Ef mewn oer fel gwresog hin;
Mewn ód, mewn ia, mewn llif, mewn awel gref."

STURM.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### LLYGOD FFRENGIG (*Rats*).

Y MAE mawr amrywiaeth ym mhlith y Llygod, a rhenir hwynt gan anianyddion i bump o brif deuluoedd, ac y mae yn perthyn i bob teulu gryn lawer o amrywiaeth: er hyn ni bydd i mi y tro hwn ysgrifenu ond am y Llygod a elwir yn gyffredin y *Llygod Ffrengig*; ac hefyd ni ddywedwn oddieithr am dri math o'r rhai hyn.

Yn gyntaf, gosodwn ger bron ychydig am y Llygod Ffrengig a ellid eu galw y Llygod mawr llwydion. Y mae y rhai hyn oddi arnynt yn llwydion, ac oddi tanynt yn llwyd-wynion; eu cynffonau sy hirion, yn ddiflew, ond yn genog; eu pen a'u corph sydd ynghylch naw modfedd o hŷd, a'u cynffon oddeutu saith modfedd; eu barf sy fel barf cath; eu llygaid ydynt fawrion, a duon. Nid oes fawr, os dim, dros gan mlynedd er pan y daethant gyntaf i'r Ynys hon, er eu bod yn awr y mwyaf cyffredin yn yr Ynys, ac mewn rhai ardaloedd yr unig Lygod mawrion adnabyddus. Lliosogant yn rhyfedd mewn ychydig amser; canys gwyddis y dygant i'r byd ar un tro ddeuddeg, pymtheg, neu ddeunaw, o rai bychain. Y mae yr wryw yn fwy, yn gryfach, a barusach, na'r fenyw. Trigant mewn tyllau, y rhai a wnant yn ngheulanau ffosydd ac afonydd. Cyrchant hefyd i drefydd a phentrefydd, a llechant mewn tai, marchdai, ysguboriau, &c. &c. Nofiant, a soddant i waelod y dwfr, gyda llawer o ddeheudra. Ymborthant ar rai llysiau, ŷd, ffrwythau, ac adar. Casglant ffrwythau coed, megys mês; a ffrwythau gerddi, megys ffa, &c. a diogelant hwynt erbyn y gauaf yn eu tyllau. Yn y tyllau hyn y treulia yr wryw y rhan fwyaf o'r gauaf. Y fanyw a'i rhai bach a dreuliant yr amser hwnw yn yr ysguboriau, &c. Eppiliant deirgwaith bob blwyddyn, ac felly nid peth anghyffredin yw i un fanyw fyned yn ddeugain neu ychwaneg mewn yspaid blwyddyn. Brathant yn egr, ac nid yn fuan y gwella y briw ar eu hol. Enciliant o un man i'r llall weithiau yn lluoedd; ac y maent mor wrol fel y troant at yr hwn a'u dilyno, a chnoant y llaw neu 'r ffon â'r hon y tarewir hwynt. Y mae 'r Llygod hyn mewn llawer o'u harferion yn debyg i Lygod y dwfr; canys, er nad oes o'r braidd un math o le na chartrefant, etto eu harosfeydd anwylaf sydd gyfagos i ddwfr: a phan erlidir hwynt gan gŵn neu ddynion, a bod dau le i ffoi o'u blaen, un ar y tir, a'r llall yn y dwfr, dewisant yr olaf; neidiant i'r dwfr yn ddiofn, a nofiant gyda hwylusdra rhyfedd. Hyn

ddygwydd amlaf pan nad allont ddychwelyd i'w tyllau. Sylwyd yn fynych bod y Llygod mân yn gadael yr ysguboriau, &c. lle y cymmer y rhai hyn eu cartref; ac nid yw y Llygod Mawr Duon mor aml, wedi dyfodiad y Llygod o dansylw, ag oeddynt o'r blaen. Y cŵn, y cathod, a'r ffured, ydynt dra gelynol i'r Llygod hyn.

Yn nesaf, dywedwn ychydig am y Llygod Ffrengig Duon. Y rhai hyn yw yr hen Lygod Ffrengig. Y maent oddi arnynt yn llwyd-dduon, ac oddi tanynt yn llwydwyn tywyll. Eu cynffon sydd fain a diflew, a chenog; y mae yn wyth modfedd o hŷd, ac y mae ynddi ddau gant a deg a deugain o gymmalau. Nid ynt o'u trwyn hyd eu cynffon fwy na saith modfedd o hŷd. Nid oes fawr o ranau o'r byd nad yw y rhai hyn ynddynt, oddieithr rhanau oerion y gogledd. Lleihasant yn ddirfawr yn y rhanau hyn o'r byd wedi dyfodiad y Llygod mawrion y buom eisoes yn son am danynt; canys y mae y rhai llwydion yn lladd ac yn dyfetha y rhai duon; ond nid ym yn ennill fawr, os dim, drwy y cyfnewidiad hwn; oblegyd y mae y rhai duon yn farus a dinystriol ddigon. Gellid dywedyd fod pob peth agos mewn tŷ yn flasus-fwyd i'r rhai hyn, pa un bynag ai cig, ai ymenyn, ai caws, ai bara, ai ŷd, ai dillad, ai dodrefn; lladd a bwyty y rhai hyn ieir, a chywion gwyllt a gwâr. Cartrefant gan mwyaf mewn tai, ysguboriau, &c. Rhoddwyd iddynt ddannedd blaen o'r fath lymdra a nerth, fel y gweithiant eu ffordd trwy 'r peth caletaf agos, oddieithr cerig. Gwnant eu llochesau, a'u nyth i'w rhai bach, mor agos ag y gallont i'r tânle, er mwyn y gwres. Gwlan, a chadachau, a gwair neu wellt sych, ydyw defnydd eu nyth. Llechant hefyd yn y gwaglëoedd rhwng y naill ystafell a'r llall. Oddi yma y crwydrant am fwyd, ac yma y dygant eu hysglyfaeth, pa beth bynag fyddo, hyd y gallont; a rhyfedd faint a rhif y pethau a gyfleant fel hyn o dro i dro i'w llochesau, yn enwedig pan y bo iddynt rai bychain i ddarparu ar eu medr. Y mae deg o dethau i'r fanyw, ac y mae 'n dwyn rhai bychain yn fynych yn yr haf, pump neu chwech ar y tro. Ac er gwenwyn cathod, a llawer o bethau a gelynion ereill, etto hwy a liosogant yn fynych i'r fath radd, fel ag i beri mawr golled a dinystr. Mewn hen dai lle y cedwid ŷd, a lle y byddai llochesau diogel i ffoi iddynt, lliosogant weithiau mor fawr, fel ag i yrru preswylwyr y lle ymaith i le arall. Fe ddygwydd yn dra mynych mewn amgylchiad fel hyn, iddynt syrthio y naill i ladd y llall; canys hyn a wnant yn eofn pan y gwesgir gan angen ac eisieu. Pan y bo gormod o honynt yn yr un lle, a bod yr ymborth yn pallu, dechreu y cryf y rhyfel, a lleddir y gweiniaid. Bwytânt yr ymenydd yn gyntaf, yna yr holl gorph, a mawr yw y dinystr a wneir yn eu plith mewn ychydig amser yn y modd hwn. Hyn yn fynych yw 'r achos o'u hymadawiad disymmwth o leoedd, heb ddychwelyd am hir amser. Eu rhai bach a ddysgir yn fuan i ymborthi; a phan ddechreuant ddyfod allan o'u nythod, gwylia yr hen drostynt, ac ymladdant â'r cathod er eu hamddiffyn; ac os na bydd y gath yn gref, galonog, a medrus, un i fil na ddiangc y fam a'i rhai bychain. Yr hen Lygoden a ddefnyddia ei dannedd blaen, y rhai ydynt gryfion a llymion; a'r gath a ddefnyddia gan mwyaf ei hewinedd, ac felly y mae arni eisiau nerth ac arferiad cyn y gallo orchfygu. Y wenci, er ei bod yn llai o faintioli na'r gath, sydd elyn llawer mwy ofnadwy i'r Llygod hyn na'r cathod; canys pan yr ymaflo y wenci unwaith, nid ar ychydig y gollwng ei gafael; ac wedi ymafly-

a thori 'r croen, y mae yn sugno gwaed ei gelyn, ac felly yn ei wanychu ac yn ei ladd. Cyflewyd mewn llong o Ewrop yn y flwyddyn 1544 y Llygod hyn i America, ac y maent yn awr yn bla a gofid i'r holl gyfandir ehang hwnw.

Yn olaf, ysgrifenwn ychydig am Lygod Mawr y Dwfr. Y mae y rhai hyn o ran maint yn lled debyg i'r rhai y soniasom ddiweddaf am danynt; ond, o ran tuedd ac ymarferiad, y maent yn debycach i'r dyfrgi nag iddynt hwy. Fel y dyfrgi, anfynych y ceir hwynt oddieithr yn ngheulenydd afonydd, nentydd, a llynau. Eu hoff ymborth yw pysgod hen ac ieuangc, er y bwytant frogaid a thrychfilod y dwfr, a gwreiddiau rhai math o lysiau. Nofiant yn rhwydd ar wyneb yn gystal ag yn y dwfr. Y mae pen y rhai hyn yn fyrach na Llygod Mawr y Tir, a'u trwyn yn lletach, a'u cynffonau yn hwy o lawer. Fel y dyfrgi, hwy a ymadawant âg afonydd, a nentydd, os bydd llawer o gyrchu atynt; ac ni cheir hwynt un amser mewn tai, nac ysguboriau. Meddylir, er na wyddis yn sicr, bod y Llygod hyn yn mynych eppilio. Bwyteir hwynt, ar y Cyfandir, gan rai o aelodau Eglwys Rufain, yn y Garawys; ac felly y gwnant â'r dyfrgi hefyd. Y maent yn greulon, a brathant yn egr. Y fenyw yw y leiaf, ac y mae yn fwy melynaidd ei lliw. Dywedir bod iddi wyth o dethau, a'i bod yn dwyn tua chanol Ebrill wyth o rai bychain; ond am hyn nid oes sicrwydd.

Diweddwn yr hanes hwn â hyfforddiad pa fodd y dyfethir Llygod Ffrengig, pan y bernir yn angenrheidiol gwneuthur hyny, gan rai dynion. Gwneir hyny drwy eu harwain i le cyfleus i'w dal a'u lladd. Arweinir hwynt i'r lle hwnw trwy eu hudo â phethau dymunol ganddynt. Pan y byddont yn bwriadu eu hudo fel hyn, llusgant dderuyn o gaws pobedig, neu benweigyn coch wedi ei rostio, o'r lle i'w dal at eu tyllau a'u rhodfeydd, yn ac o amgylch y tŷ a'r tai allan; a rhoddir yma ac acw ar y llwybr hwn bethau blasus i'w harchwaeth; a gwneir fel hyn am noswaith, neu ddwy, neu dair. Wrth wneuthur, rhaid i'r Llygotwr ofalu am arogli ei draed â rhyw arogl benthyciol, fel na aroglo y Llygod arogl traed dynol. Gwneir hyn trwy iro y traed ag ychydig *asafœtida*, a'r cyffelyb. Defnyddir i hyn weithiau ychydig o olew rhodium (ychydig o herwydd ei ddrudaniaeth.) At hyn gellir defnyddio ychydig o'r olew hwn, i'w denu i'r lladdfa; canys y maent yn mawr hoffi sawyr yr olew hwn. Wedi eu denu a'u gwledda fel hyn am dro, heb ymgais i'w niweidio, yna, wedi hyny, pan y delont ynghyd i'r ystafell, neu y gist, neu ryw beth arall, yr oeddid yn eu denu iddo, dechreuir eu dinystrio, trwy gau arnynt. Neu, fe gymmysgir â'u danteithfwyd fwy neu lai o *cocculus indicus*, yr hwn a'u meddwa; neu *nux vomica*, yr hwn a'u clafycha: ac yna gellir eu dal, a gwneuthur fel y mynoch â hwynt. Y mae rhai dynion wedi dysgu eu dynwared mor gywir fel y galwant hwynt allan o'u tyllau, ac i le cyfleus i'w dyfetha.

Ond, O ddarllenydd, ystyria—am un creadur i'th ofidio a'th flino, y mae deg yn gweini i ti; am hyny bydd ddiolchgar.

R.

---

## BRWYDR FAWR WATERLOO.

### LLYTHYR II.

YN fy llythyr diweddaf, gadewais y lluoedd Prydeinaidd, dan y Dug Wellington, yn gwersyllu yn Brussels a'i chyffiniau; a lluoedd Prussia, dan y Tywysog Blucher yn gwersyllu yn y pentrefi, ar hy-

lan yr afonydd Sambre a Meuse, sef *Charleroi*, *Namur*, *Givet*, a *Liege*. Yn awr, bydded i ni droi i gymmeryd golwg ar ysgogiadau Buonaparte, ac ystyried pa ddefnydd y mae efe yn debyg o wneuthur o'r darpariadau pwysig y caid ef er's misoedd bellach yn eu gwneuthur er eu gwrthwynebu.——Nid oedd dim yn fwy nodedig, drwy ystod hynt filwraidd Napoleon, na'i gyflymdra yn trefnu, a'i eofndra yn dwyn i ben, ei amrywiol gynlluniau. Y mae llawer yn priodoli ei lwyddiant, gan mwyaf, i hyn. Drwy ei ysgogiadau anturiol a dirybydd, byddai yn dyfod ar warthaf ei elynion pan fyddent leiaf yn ei ddysgwyl, a phryd y byddent ammharotaf i'w dderbyn; a byddai ef wedi sicrhâu y fuddugoliaeth cyn i'w elynion iawn ymdrefnu i'w wrthwynebu. Dywedid am dano, mai "tra byddai ereill yn *synfyfyrio* pa beth i'w wneuthur, y byddai efe *wedi* ei wneuthur." Mewn perffaith gydgordiad â'r drefn uchod, yr agorodd efe y rhyfel dymhor y waith hon. Y mae efe yn crynhoi, trwy fawr fedrusrwydd a chywreindeb, amrywiol ranau ei fyddin, y rhai oedd mewn gwahanol wersyllfaoedd ar led y wlad, ac y'mhell oddiwrth eu gilydd: ar yr un dydd, ac ar yr un awr o'r dydd, y mae yr amrywiol ddosparthiadau hyn yn cydgyfarfod yn *Beaumont*, dinas fechan yn yr Iseldiroedd (*Netherlands.*) Ar yr 11eg o Fehefin, gadawodd Paris, gan ddatgan, fel yr oedd yn myned i'w gerbyd, ei fod yn myned i dynu torch â Wellington; yr hyn a droes allan, fel y gwelir yn rhy gyffredin, fod y peth yn haws ei ddweyd na'i gyflawni. Ar y 14eg o'r un mis, cyrhaeddodd ei fyddin yn Beaumont; yr hyn a'i dygodd ar unwaith o fewn oddeutu 35ain milltir i wersyllfa y Prussiaid. Yma adolygodd ei fyddin, ac yn y cyfamser, traddododd iddynt araith hynod o chwyddedig ac ymffrostgar. Dygodd ar gof iddynt, mai y dwthwn hwnw oedd cylchwyl brwydrau *Marengo* a *Friedland*; a dibenodd drwy ddywedyd, fod yr awr wedi dynesu, yn yr hon y byddai raid i bob Ffrengcyn drechu neu drengu. Tybid, yn gyffredinol, mai *Brussels* oedd ei brif nôd i'w gyrhaeddyd; ond ni's gwyddid yn iawn ar hyd pa un o'r tair prif-ffordd yr oedd efe yn bwriadu ymladd ei daith iddi; pa un ai drwy *Namur*, *Charleroi*, ai *Mons*: ond nid cynt y cyfododd gwawr y 15fed, nag y profodd Buonaparte, drwy weithrediad, pa ryw hynt yr oedd efe ar gymmeryd. Ar laesiad y dydd, y mae efe yn rhoddi ei fyddin mewn hwyl, ac y mae rhan o honi yn ymosod ar ragosgeirdd y Prussiaid, y rhai oedd yn gwersyllu ar finiau gorllewinol y Sambre, ac yn eu curo yn ol, gan eu herlid hyd at Charleroi. Y maent yn ymosod ar y pentref hwn, ac yn cymmell y Prussiaid, y rhai oedd yn ei amddiffyn, i gilio yn ol i dref fechan o'r enw Fleurus, oddeutu wyth milltir oddiwrth Charleroi.——Parodd yr ymosodiad byrbwyll ac annysgwyliadwy hwn fawr syndod y'mysg y Prussiaid; a buan y lledaenodd y dychryn drwy yr holl fyddin. Ond nid hir y bu yr hen Blucher yn ysgwyd ymaith ei syrthni, i osod ei luoedd ar waith i wrthsefyll ei elyn penaf. Ar brydnawn y 15fed, y mae efe yn eu crynhoi ynghyd, gerllaw Fleurus, y dref a enwyd uchod, ac yn eu gosod mewn trefn filwraidd, gyd âg ystyfnig ymroddiad i'w wrthwynebu â'i holl nerth, ar gyfodiad yr haul dranoeth. Yr oedd lluoedd y Prussiaid, yn y fangre hon, mewn sefyllfa hynod o gadarn. Yr oedd y fyddin yn estyn o bentref a elwir *St. Amond* hyd at lan afon Sambre. Yr oedd yr aden ddehenol, yn *St. Amond*, ei chanol mewn pentref arall o'r enw *Ligny*, a'r aden aswy

yn taro ar yr afon a grybwyllwyd. Bernir fod ei fyddin yn gynnwysedig o oddeutu 90,000 o filwyr. Yr oedd un dosparth o honi, dan ofal y Cadfridog Bulow, yn gwersyllu yn rhy bell i allu ymuno âg ef. Y mae llawer yn barnu mai un o ddybenion Napoleon, yn ymosod mor ddisymmwth ar Blucher oedd, fel y byddai iddo ei orchfygu, a tharfu ei wyr, cyn iddo allu eu crynhoi ynghyd; ond yr oedd yr hen wron yn rhy wyliadwrus.—— O du y Ffrangcod yr oedd eu byddin yn cynnwys oddeutu 100,000 o wyr. Yr oedd 30,000 o honynt wedi cael eu didoli i gael eu harwain dan olygiad yr enwog Lywydd Ney, i ymosod ar luoedd Prydain, (fel y cawn achos i sôn etto) y rhai oedd yn prysuro o *Brussels*, i ddyfod i roddi help llaw i'r Prussiaid. Gan hyny, yr oedd y ddwy fyddin yn lled gyfartal o ran rhifedi. Yr oeddynt hefyd yn gystadl o ran eu dewrder a'u ffyrnigrwydd, ac o ran eu gelyniaeth anghymmodlawn y naill at y llall. Yr oedd y Prussiaid, o'u hochr hwy, yn cofio yn dda yr afrifed droion yr oedd y Ffrangcod wedi difrodi eu gwlad. Y modd yr oedd eu hanneddau tawel yn cael eu hyspeilio, y gwyr yn cael eu llofruddio, a'r benywod eu treisio, oedd y chwedlau a adroddai y milwyr o amgylch eu coelcerthau, pan ar eu gwyliadwriaeth nosawl. Yr oedd y swyddogion hefyd, a gwyr o uwch radd, yn dal yn eu cof y modd yr oedd y Prussiaid, fel cenedl, wedi gorfod ymostwng i iau galed Ffraingc; eu brenhines wedi cael ei merthyru megys drwy barhaus sarhâd a dirmyg; a'u brenin ond prin cael ei oddef i arfer yr enw Penadur, er mwyhâu ei warth fel caethwas. Yr oedd llochesu y cyfryw adolygion yn llenwi eu mynwesau âg yspryd ymddial, ac yn ennyn ynddynt ddigofaint annhyhuddadwy. Yr oeddynt, yn swyddogion a chyffredin, wedi gwisgo eu harfau fel rhai dan ddiofryd na byddai iddynt eu dioeg nes eu trochi hyd at y carn y'ngwaed eu gelynion.——Yr oedd y Ffrangcod hefyd, o'u tu hwythau, yn llawn o ddygasedd ac awydd i ymddïal. Nid oedd y flwyddyn ond prin wedi rhedeg ei chylch er pan oedd y Prussiaid wedi rhuthro i mewn i'w gwlad, eu gorthrechu ar eu tir eu hunain, a bod yn benaf foddion i gymmeryd eu prif ddinas, a thrwy hyny dwyn cwmwl dros ogoniant milwraidd Ffraingc. Yr oedd y fyddin hon hefyd yn cael eu llywio gan Blucher, hen elyn mileinig y Ffrangcod; ac oddieithr ei battal, anturiai yr ail waith i'w gwlad, a sengai o newydd ar ucheldarau eu prif ddinas. Yr oedd yr holl ystyriaethau hyn yn taeddu i greuloni y milwyr, ac i'w lleawi âg awydd i ad-dalu hyd yr eithaf am y sarhad. Dywedir fod eu hymread i ddïal gymmaint fel y codasant, ar agoriad y rhyfel, lumman du i fynu, er dangos nad arbedent y carcharorion a gymmeront yn y frwydr, ond eu llofruddio yn ddiwahaniaeth, ac heb ddim trugaredd.—— Yn llawn eiddigedd creulon o'r fath yma y cyfarfu y ddwy fyddin fawr hon, ac y rhuthrasant i'r gad.

Dechreuodd y frwydr oddeutu tri o'r gloch yn y prydnawn drwy darandwrf magnelau o du y Ffrangcod, dan gysgod yr hwn yr ymosododd y trydydd dosparth o'u byddin, dan y Cadfridog *Vandamme*, ar bentref *St. Amand*. Derbyniwyd hwy gan y Prussiaid gyd â'r dewder mwyaf; ond er gwaethaf eu holl ymdrechiadau llwyddasant yn cymmeryd y dreflan, a gwthiasant y Prussiaid o'r lle â blaenau eu pigodau (*bayonets*). Tost a gwaedlyd o du y Prussiaid a fu eu hymdrech er adennill y pentref. Yr hen Flucher ei hun a gymmerodd flaenoriaeth rhan o'i fyddin yn bersonol, ac a'i hyrddiodd ar y Ffrangcod

gyd â'r fath rym, fel y cymmerasant drachefn ran o'r pentref. Y Ffrangcod o'r tu arall wedi eu cyfnerthu â milwyr newydd, a ailrathrasant i'r lle, ac a yrasant y Prussiaid allan. Hwythau yn eu tro a gyfnerthid, ac a ruthrent yn ffyrnigwyllt i'w adennill. Drachefn a thrachefn y cymmerwyd ac yr adgymmerwyd y drefian hon. Yr oedd pob milwr yn ymladd mor ystyfnig a mileinig a phe buasai yn dial ei lid personol ei hun. Mor ddychrynllyd oedd y gyflafan, fel yr oedd cyrph y lladdedigion yn cau i fynu yr heolydd. Pan fyddai y Ffrangcod yn feddiannol o'r lle, byddai magnelau y Prussiaid, oddiar y bryn uwchlaw, yn tywallt o'u ffroenau tanllyd eu holl gynnwysiad ar y drefian. O'r ochr arall, pan fyddai y Prussiaid yno, tröid ffroenau magnelau Ffraingc yn ei herbyn. Pan gyfarfyddai y milwyr gelynol yn y drefian, byddent rhwng eu heolydd culion yn ymladd law yn llaw, a chledd yn nghledd, gyd â'r ystyfnigrwydd a'r creulonder mwyaf. A phan ystyriom fod y cyfryw gigyddiad dychrynllyd yn cael ei ddwyn y'mlaen dros yspaid pum awr, pwy a all lai na throi 'n welw uwch ben y fath alanastra! Er holl ymgais y Prussiaid, arfau gwyr Ffraingc a orfuasant. Yr oedd pen Napoleon yn rhy ddoeth, a'i ysgogiadau yn rhy chwimmwth iddynt. Y'mhentref *Ligny* hefyd, coronwyd eu harfau â llwyddiant. Daethant yn feddiannol o'r ddwy drefian, sef *St. Amond* a *Ligny*. Gyrasant y Prussiaid ar encil; ac ar fachludiad haul, y 15fed, yr oeddynt yn gorfoleddu ar uchel-fanau y maes, a'u baneran yn chwifio i'r gwynt wedi eu gwrido â buddugoliaeth a choncwest. Yn ystod y frwydr hon, bu agos i'r anhywaith Flucher syrthio i ddwylaw y Ffrangcod. Efe a arweiniodd yn erbyn y gelynion fintai o wyr meirch, ac a flaenorodd y rhuthr ei hun, yr hwn a droes allan yn aflwyddiannus. Bu raid iddynt encilio, ac yn yr enciliad, saethwyd march yr hen wron, fel y cwympasant ill deuoedd, march a marchogydd, gan fod yn sathrfa i'w filwyr ei hun, a'r rhai oedd yn eu herlid. Un o'i swyddogion, pan welodd ei Flaenor yn cwympo, a ymdaflodd oddiar ei geffyl, ac a orweddodd wrth ei ystlys, deued iddo yr hyn a ddelai. Yr oedd y codwm wedi syfrdanu yr hen wr, a'r mynyd cyntaf y daeth ato ei hun, ac i weled ei sefyllfa, tynghedodd y swyddog i'w saethu yn gelain farw yn y fan, yn hytrach na gadael iddo syrthio yn fyw i ddwylaw y gelynion. Yn y cyfamser, adfyddinodd y Prussiaid, a throisant ar y Ffrangcod, gan eu curo hwythau yn ol eilwaith, ac erlidiasant hwynt tu hwnt i'r lle yr oedd yr hen Flucher yn gorwedd, wedi ei orchuddio â mantell ei swyddog. Wedi i'r encilwyr a'r erlidwyr garlamu drosto, cyfododd ei swyddog ffyddlawn, a dolefodd ar ol y Prussiaid, "Dyma eich Blaenor chwi." Yna dychwelasant, a chyfododd yr hen wr o'i sefyllfa beryglus, a chymmerodd mewn llaw reoli eu henciliad, yr hwn, yn awr, oedd wedi dyfod yn gyffredinol.

O herwydd fod magnelau y Prussiaid wedi eu cyfleu yn y fath fodd nad oedd yn hawdd iddynt eu cludo gyda hwynt, syrthiodd oddeutu 40 o honynt i feddiant y Ffrangcod. Ond fe enciliodd y milwyr yn y fath fodd rheolaidd a threfnus, fel nad allai gwyr meirch y gelynion fenu arnynt. Nid oes dim yn dangos doethineb milwraidd maeslywydd yn fwy, na'i waith yn rheoli enciliad gyd â'r fath fedrusrwydd na all yr erlidwyr gael unrhyw fantais arno. Parhaodd y Prussiaid eu taith ar hyd y nos, nes dyfod i bentref *Wavre.* Collodd y Prussiaid yn y frwydr oddeutu 15,000 o wyr: ac

er nad oedd colled y Ffrangcod yn llawn gymmaint, etto rhaid ei bod yn fawr.

Y newydd annysgwyliadwy o ymgynnulliad lluoedd Ffrainge, a'u hymosodiad, dan eu clodfawr Flaenor, ar y Prussiaid, a draddodwyd i'r Dug Wellington yn Brussels, y 15fed dydd, yn yr hwyr. Yr oedd y Dug, ynghyd â phrif swyddogion ei fyddin, wedi myned i ddawnsfa *(ball)* a roddid gan Dduges Richmond i'r Uchgadbeniaid. Daeth y brys-negesydd oddiwrth Blucher, ac a draddododd y llythyrau oedd yn cynnwys y newydd i law y Dug Wellington yn yr ystafell ddawns. Buan y dygodd hyn gwmwl ar eu digrifwch a'u llawenydd. Yn hytrach na gwrandaw ar sain cerddorion, rhuad magnelau, adsain udgyrn, a churiad tabyrddau, a glywid mwy yn treiddio drwy holl awyrgylch Brussels. Y mae yn ammhossibl darlunio y braw a'r cyffro a barodd y fath ymweliad annysgwyliadwy yn y ddinas a'i hamgylchoedd. Yr oedd y milwyr wedi bod yn gwersyllu yno yn awr er's talm o amser, ac wedi dyfod yn hynod o gariadus. Yr oedd eu hymddygiadau hynaws a rheolaidd wedi dwyn mawr-serch y dinasyddion, ac edrychid arnynt fel rhai wedi ymgorpholi â hwynt. Nid anfynych y gwelid y milwyr yn meithrin eu plant, yn gwarchod eu hanneddau yn eu habsennoldeb, ac ar rai troion ymddiriedid yr Albaniaid yn enwedig â gofal eu nwyddau masnachol. Nid rhyfedd gan hyny iddynt achosi cymmaint o bryder, a chael cymmaint i gydymdeimlo â hwynt, pan ar droi eu cefnau ar eu dinas, lawer o honynt, yn ol pob argoelion, na ddychwelent iddi byth mwy. Yn ystod eu parotoadau, tra yr oeddynt yn casglu ynghyd eu hamrywiol angenrheidiau, cerid y dinasyddion gyda hwynt, wedi gadael eu gwelyau yn nyfnder nos, ar haner gwisgo am danynt, yn canu yn iach iddynt, ac yn traddodi eu goreu fendith ar eu penau. Yr oedd cymmysg ofn am eu diogelwch eu hunain a'u hamddiffynwyr dewrion, a'r perygl oedd yn ymgasglu oddeutu y ddinas, yn gweithredu mor drwm arnynt, fel na's gwyddent yn iawn pa beth i wneud, na pha le i droi eu hwynebau. Yr oedd wedi dyfod i'w clustiau fod Buonaparte yn bygythio rhoddi eu dinas yn sathrfa ac ysglyfaeth i'w filwyr, os byddai yn fuddugoliaethus, ac y mae llawer o le i ofni fod gormod o wir yn hyn.——Ar foreu yr 16eg y mae yr amrywiol gatrodau yn troi allan o Brussels, yn cael eu blaenori gan eu priodol Gadfridogion. Y'mysg y rhai blaenaf i wynebu y maes, caed dwy gatrawd Albanaidd, y 42ain a'r 92ain. Yn hoyw a llawen yr ymadawent â'r ddinas, gan seinio eu pibroch, a dangos pob arwyddion o ddewrder ac eofndra. Yr oeddynt yn gwneathur i fynu ran o ddosparth yr enwog Syr Thomas Picton, yr hwn oedd newydd ddyfod i Brussels y nos o'r blaen o Brydain. Mor fyrbwyll a dirybydd y bu rai i'n byddinoedd dewrion droi allan i gyfarfod â'u gelynion!

---

## YR AWYRGYLCH.

Fel y mae yr holl greadigae[th] yn datgan mawredd, gallu, doet[h]ineb, a daioni yr hwn a'i gwnaet[h], felly hefyd y mae pob rhan o ho[nynt,] megys y dwr, y tân, y coed, y c[...] ig, yr haul, y ser, a'r holl blane[d]au—y goleuni, a'r awyrgylch, dr[wy] yr hwn y teithia atom.

Yr awyrgylch sydd ychwan[eg]iad hollol angenrheidiol at y bl[an]ed hon, ar yr hon yr ydym ni [yn] byw, ac yn symmud, ac a ddeng[ys] ryfedd ddaioni, doethineb, a g[allu] y Creawdwr. Wrth yr awyrgy[lch] y meddyliwn yr holl awyr a [am]gylcha y ddaear. Pwysa yr [...]

awyr hyn at y ddaear fel ei ganolbarth, ac y mae yn ymdroi gyda hi bob dydd, ac y mae yn myned gyda hi ynghylch yr haul bob blwyddyn. Bernir ei fod yn gylch oddeutu *pum milltir a deugain* o drwch o amgylch yr holl ddaear; a phwysa yn gyfatebol i'w sylwedd a'i drwch ar wyneb yr holl ddaear. Cafwyd allan trwy brofion boddlongar, y pwysa gymmaint a *phymtheg pwys ar bob modfedd arwynebol o'r ddaear:* ac felly y mae pwysau y rhan hòno o'r awyrgylch a saif o gylch dyn, yn cyfateb i *ddeuddeng mîl ar hugain o bwysau,* neu *bedair tunell ar ddeg.* Y mae yn wir na ellid dyoddef y pwysau hyn, pe na buasai yn pwyso yn gyfatebol ar bob rhan, a phe na buasai yn cael cymmorth gan ymchwyddiad yr awyr oddi mewn i ni. Dywedir fod pwysau yr holl awyrgylch ar y ddaear gymmaint a phwysau pelen o blwm o *dringain milltir* o dryfesuriad; neu 5,000,000,000,000,000 o dunellau, neu *bum mil o filiwnau o filiwnau* o dunellau. Y mae 'r holl bwysau hyn er hyny yn hollol angenrheidiol, yn ol trefn pethau, i ni a phob creadur byw ar y ddaear. Y mae yn lluddias i'r haul gyfnewid y dwr, a phob gwlybwr arall ar wyneb y ddaear, i darth ac agerdd, a cheidw ein gwythienau a'n rhedweliau rhag ymrwygo; canys pe na buasai yr awyrgylch fel hyn yn pwyso arnom, buasai y gwaed a phethau ereill hedegog yn ein cyrph yn rhwygo y llestri, yn y rhai a thrwy y rhai y rhedant yn awr o ran i ran, ac o aelod i aelod, o amgylch ogylch yr holl gorph; a pharai hyn boen a marwolaeth. Cafwyd allan gan ddysgyddion, mai sylwedd cyfansoddedig yw 'r awyrgylch o ddau fath o awyr, y naill a elwir *oxygen,* a'r llall *nitrogen.* Bernir fod ym mhob can rhan o'r awyr, *un rhan ar hugain* o *oxygen, a phedair ar bymtheg a thriugain* o *nitrogen.* Y math cyntaf yw achos a chynnaliydd pob llosgiad a chyflëydd gwres, ac y mae yn hollol angenrheidiol i gynnal bywyd y corph. Y math arall sydd elynol a dinystriol i wres a bywyd. Pe anadlem y cyntaf heb ddim o'r ail, codai ein hysbrydoedd mor uchel, a rhedai ein gwaed, &c. mor gyflym, fel na allem fyw ond tros ychydig. Pe tynid ymaith o'r awyr yr holl *nitrogen,* llosgai nid yn unig y pethau llosgadwy, megys coed, glo, &c. ond hefyd yr haiarn, a'r plwm, a'r eerig; a hyny nid yn raddol, fel y gwna pethau yn awr, ond gyd â'r fath gyflymdra a barai ddinystr buan i holl anian. Canlyniadau echryslon a ddilynai, pe cyfnewidid ychydig ar un o'r ddau fath awyr yn nghyfansoddiad yr awyrgylch. Pe lleiheid yr *oxygen,* collai y tân ei rym, ni roddai y canwyllau ond ychydig oleuni, a chyflawnai pob anifail weithrediadau bywyd mewn anhawsdra mawr a phoen. O'r ochr arall, pe lleiheid y *nitrogen,* yr awyr a anadlem a barai y fath fywyd yn noddau y corph, a ddygai ddinystr tra buan arno. Pe cymmerid yr holl *oxygen* o'r awyr, darfyddai 'r fflam a'r tân, a dinystr a ddilynai trwy 'r byd llysieuog ac anifeilaidd; canys ni chynneuai canwyllau am y mymryn lleiaf yn y rhan *nitrogenaidd* o'r awyr. A phe rhoddid anifail i anadlu ynddo, mygai yn ddiattreg. Heblaw hyn, pe cyfnewidid, nid yn unig y graddau o'r naill neu 'r llall yn nghyfansoddiad yr awyrgylch, ond pe cyfnewidid ychydig ym mhwysau y naill neu 'r llall o honynt, fe ddilynai canlyniadau ofnadwy. Yn awr y mae y *nitrogen* ychydig ysgafnach na'r *oxygen,* yr hyn a bair i'r cyntaf ehedeg i fynu tua rhanau uchaf yr awyrgylch. Pan y bom yn anadlu, *nitrogen* gan mwyaf yw yr hyn a ddaw allan o'r ysgyfaint, ac nid yw gymmwys i'w anadlu drachefn; a chan ei fod yn

ysgafnach na'r rhan arall, y mae yn ehedeg i fynu, ac felly yn diangc o gyrhaedd y tyniad nesaf o anadl i mewn. Pe na buasai fel hyn, buasai y rhan oddi amgylch i ni o'r awyr mor llawn o *nitrogen*, fel na chawsem na maeth, na chysur, na chynnaliaeth bywyd, wrth anadlu ynddo. Unwaith etto, pe buasai i'r awyrgylch ryw liw neillduol, neu pe buasai ei ronynau yn fwy o ychydig o ran maintioli, ni allasem ni gael iawn welediad a chywir amgyffred am bethau, trwy edrych arnynt. Pe buasai lliw arno, a ninau yn edrych trwyddo, buasai yn rhoddi ei liw ei hun ar bob peth, fel y gwna dernyn o wydr coch wrth edrych trwyddo: a phe buasai ei ronynau o faintioli gweledig, buasai y gronynau hyny yn cysgodi y gwrthddrych oddi wrthym, yn ol graddau eu maintioli. Pe buasai ei ranau yn sefydlog, a'i ronynau yn ansigledig, buasai canlyniadau dychrynllyd yn dilyn; canys y tarth a gyfyd yr haul o'r ddaear a'r môr, ac a wnant y cymylau, a arosasai byth yn yr un man, a'r haul yn ganlynol a losgasai rai manau ag a guddiasid gan y cymylau ansymudadwy hyn oddiwrth fanau ereill am dragywyddoldeb. A phe buasai yn ansigledig ei ranau, neu yn anhawdd ei siglo, buasai clust a thafod yn ddiddefnydd i ni, a buasai siarad yn llafurus a phoenus i ni. Trwy offeryniant yr awyr y mae y tafod yn gwneuthur ein meddwl yn hysbys; a thrwy ei offeryniant ef y mae 'r glust yn clywed—y llygaid yn gweled—y ffroenau yn arogli—a'r tafod a'r genau yn archwaethu. Pe cymmerid ymaith yr awyrgylch, neu pe cyfnewidid ond ychydig ar ei gymmysgiad cyfansoddawl, neu ar un neu rai o'i gynneddfau, byddai y ddaear hon yn hollol anaddas i ni yn ein cyflwr gwyddfodol i fyw ynddi. Pe na buasai awyrgylch, ni buasai na gwawr-ddydd na chyfnos, ond buasai y cyfnewidiad o dydd i nos, ac o nos i ddydd yn ddiattreg. Yn ol fel y mae pethau, yr ydym yn gweled ynddynt ddoethineb a gallu, gofal a daioni, Duw tu ag atom. Y mae 'r awyrgylch y cyfryw ag y sydd yn parhâus weini i'n maeth, a'n cysur, a'n dyddanwch ni; ac y mae ein galluoedd ninau y cyfryw ag y sydd yn addas a chymmwys i ddefnyddio yr awyrgylch.——Rhydd gyfieithiad o *Dick's Christian Philosophy*.

R. G. C.

---

## DYDDIAU DIWEDDAF YR ANGHREDADYN THOMAS PAINE.

*Yr hwn a fu farw yn yr America, Mehefin 9, 1809, yn 72 mlwydd oed.*

DYWED Mr. Cheetham, o Gaer Efrog Newydd (*New York*) awdwr hanes bywyd Thomas Paine, yr hwn hefyd a gafodd yr hanes oddiwrth y rhai y treuliodd Paine lawer o'i amser gyda hwynt, fel y canlyn:

"Cyrhaeddodd T. Paine Baltimore Hydref 13eg, 1802, gyda gwraig o'r enw *Bonneville*, yr hon a ddenasai efe oddiwrth ei gwr, ac a ymddygasai yn hynod o greulon tu ag ati ar ol hyny. Yn y tafarn cyntaf yr aethai efe iddo, ymwelodd âg ef lawer o'r gradd iselaf o bobl, y rhai a dramwyasant o Loegr a manau eraill; ond nid oedd un *gwr parchus* a ddenai i'w gyfyl. Yr oedd yn yfed pwtwm (*grog*) yn yr ystafell gyda phawb; ac fel hyn, fe fyddai bob dydd, oddigerth chwech wythnos cyn ei farwolaeth, yn feddw gywilyddus *ddwywaith yn y dydd*. Tu ag amser diweddaf ei einioes, ni fynai efe fod ar ei ben ei hun, nos na dydd. Nid oedd efe ddim yn unig yn *mynu* cael rhyw un gyd âg ef, ond yr oedd yn rhaid iddo *weled* ei fod. Ni oddefai i'w len-gwely fod yn gauedig; ac os un amser y canfyddai ei bod felly, ysgrechian a wnai yn hynod o arswydus, nes i ryw un ddyfod ato.

Pan fyddai rhywfaint o esmwythdra o'i boen yn caniatâu, edrychai yn syn ac yn feddylgar; ei lygaid wedi eu hanner cau, a'i ddwylaw wedi eu plethu ar ei ddwyfron. Yr oedd rhyw beth hynod arbenig a nodweddawl yn ei ymddygiad tu a'r amser yma, pythefnos cyn ei farwolaeth; yn enwedig pan ystyriom fod Paine yn awdwr yr "*Age of Reason.*" Efe a lefai yn y cyfyngder a'r wasgfa mwyaf helbulus, heb agos ddim gosteg—"O Dduw, cynnorthwya fi! O Arglwydd, dyro gymmorth! Iesu Grist, cymmorth fi!" gyd â'r fath lais ag oedd ddigon i doddi calonau pawb ag oedd yn y tŷ. Tueddwyd fi i gredu wrth hyn (medd Mr. Cheetham) ei fod wedi llwyr newid ei ddaliadau cyntaf; ac yr oeddwn yn fwy ewyllysgar i feddwl hyny, pan glywais gan y wraig oedd yn edrych ar ei ol (yr hon oedd wraig dduwiol a bucheddol) ei fod weithiau yn gofyn iddi, pa lyfr yr oedd hi yn ei ddarllen; a phan atebwyd, *Hobart's Companion to the Altar;* ac y gofynwyd iddo, a allai hi ei ddarllen yn ei glyw; dywedai, 'Ië, gwnewch,' ac a roddai wrandawiad neillduol iddi. Cymmerodd Mr. Cheetham achlysur yn y nos, Mehefin 6ed, i brofi sail a chryfder ei ddaliadau ynghylch dwyfol ddatguddiad. Ymwelodd âg ef yn o hwyr, megis yr amser goreu a mwyaf cytun â'i gennadwri bwysfawr; yr oedd hi rhwng deuddeg ac un o'r gloch, a phob dim yn arswydus ddystaw, ond Paine ei hun yn griddfan dan golyn cydwybod euog, ac mewn cyfyngder trallodus yn llefain yn groch, a'r ystafell yn diaspedain gan ei oerlais treiddiawl, yn galw yn uchel ac yn daer ar Iesu Grist i'w gymmorth. Ar ol gwneuthur dechreuad cymmwys, llefarodd Mr. Cheetham wrtho yn y modd yma:—"Mr. Paine, gan lawer rhoddwyd dwys ystyriaeth parchus i'ch daliadau; nid ydych yn arferedig o ddywedyd pethau yn fyrbwyll a diystyr, ni ymroddasoch un amser i dyngu a rhegi yn anfoesgar, ni's gellwch ond gwybod ein bod yn hysbys â'ch daliadau crefyddol, megys y cyhoeddir hwynt i'r byd. Beth sydd i ni gasglu oddiwrth eich ymddygiad presenol? paham yr ydych yn galw ar Iesu Grist i'ch cynnorthwyo? A ydych chwi yn credu fod ganddo allu i roddi cymmorth i chwi? A ydych chwi yn credu yn Nuwdod Iesu Grist? Deuwch yn awr, atebwch fi yn ddidwyll; yr wyf yn gofyn am ateb oddiwrth wefusau dyn trengawl; canys yn ddiau nid wyf yn credu y byddwch byw bedair awr ar hugain! Gorphwysais tua diwedd pob gofyniad; ni roddodd efe ddim ateb, ond a beidiodd a llefain yn y modd uchod. Etto, cyferchais ef, Mr. Paine, nid ydych wedi ateb fy ngofynion—A wnewch chwi fy ateb? Caniatewch i mi ofyn etto, A ydych chwi yn credu, neu yn *ewyllysio* credu, bod Iesu Grist yn Fab Duw? Wedi myned heibio rai mynydau, cyfrwng arswydus! efe a atebodd, 'Nid oes genyf ewyllys i gredu ar y pwngc yma!' Yna gadewais ef; ac nid wyf yn gwybod iddo ar ol hyn ddywedyd dim wrth neb ar un pwngc, er iddo ddal yn fyw hyd fore yr 9fed." Dyma ni yn ei gael ar ei wely angeu, yn galw yn daer ar y Duw yr oedd efe bob amser yn gwadu ei allu, ar yr Iachawdwr hwnw, Bôd yr hwn nid oedd efe yn ei gyfaddef, ïe, yn ofnus o'i gysgod ei hun. Y cyfnewidiad ofnadwy, yr hwn yr oedd efe yn gweled ac yn teimlo ei fod yn dyfod, a ddynoethodd i'w olwg beth oedd yn dangos iddo wirionedd y pethau, i wadu y rhai y trafferthodd efe gymmaint yn ofer. Yr achos na atebodd efe y gofyniadau manwl a roddwyd iddo sydd eglur: ni wnai balchder ei galon oddef iddo fynegi yn syml ac yn ddidwyll

fod ei ddaliadau gynt yn hollol gyfeiliornus; ond y geiriau eu hunain, y rhai a ddaethant yn anewyllysgar o'i enau, ydynt ddigonol; darlunient weithrediadau ei galon yn eglurach nag un hysbysiad a fedrai efe wneuthur; a gobeithir eu bod wedi bod yn llesol i lonyddu meddyliau cyffrous y rhai a gythryblodd efe, ac i yru ar encil lawer o wenwyn anghrediniaeth allan o'r wlad. Mewn pob golwg y mae ei nodweddiad ffuannawl yn amlwg. Yn Lloegr byddai pob math o urddas yn ddygasedd iddo; yr oedd efe yn boeth am wneuthur pob gradd o ddynion yn ogyfuwch â'u gilydd, mewn pob peth perthynol i freintiau dinasaidd. Yn yr America, cyn y chwyldroad yn Ffraingc, canfyddwn ei fod yn traws-arddelwi iddo ei hun yn ei lyfr gwarthus "*Rights of Man*," yr enw Cofiadur i Senedd yr Unol Daleithiau, pan nad oedd efe ond y peth a alwant hwy *Copying Clerk:* a'r swydd yma yn wir efe a gollodd trwy gam-ymddygiad gwaradwyddus mewn perthynas i'r ymddiried a roisid ynddo, yr hyn sydd yn profi ei fod yn chwennych iddo ei hun, yr hyn na fynai efe weled yn ereill.

Wele, Gymro hynaws, effeithiau diweddaf anghrediniaeth, ac anghysondeb y fath ofer ddaliadau. O pe byddai i'r adyn gwrthnysig hwn ganiatad i ddyfod ar y ddaear etto, mor hollol groes a fyddai ei ymddygiad i'w hen arferion! mor daer y darbwyllai efe ei frodyr mewn drygioni, fel y tystiolaethai efe iddynt, "rhag dyfod o honynt hwythau i'r lle poenus!" Ond gan na's geill hyn fod, cymmerwn rybydd oddiwrth fywyd annuwiol, a marwolaeth resynus, y cyfryw rai. "Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw."

C——.

GAIR BYRBWYLL.

Diammeu fod pob hanes anwadadwy am farn Duw yn disgyn yn ddisymmwth ar droseddwyr rhyfygus deddfau y nef, yn dystiolaeth werthfawr, er yn ofnadwy, fod yr Arglwydd yn ei ragluniaeth yn gwylio yn fanwl dros weithrediadau dynion. Rhydd ein Creawdydd brofiadau eglur, ei fod weithiau yn ymweled â'i greaduriaid yn ei ddigllonedd: a sicrhâ y rhai hyn "fod Duw a farna y ddaear," yn fwy effeithiol na phe byddai i gospedigaeth oddiweddyd pob troseddwr yn ebrwydd wedi cyflawni unrhyw bechod ysgeler. Amlyga Duw ei berffeithrwydd ardderchog, mewn cyssondeb hawddgar, yn y modd y llywodraetha achosion y bydysawd. Tra y mae "cyfiawnder a barn yn drigfa ei orseddfaingc, trugaredd a gwirionedd a ragflaenant ei wyneb," am iddo gael ei lwyr foddloni gan iawn ei Fab. Er iddo dosturio wrth ei greaduriaid euog, ac er iddo beidio eu dystrywio yn ei ddigofaint; etto, nid yw yn sylwi arnynt yn llai manwl, nac ychwaith yn teimlo llai o atgasrwydd tu ag at eu hanwireddau. Y mae dull cyffredin ei lywodraeth ragluniaethol yn llefaru wrth obeithion ac ofnau, wrth galonau a chydwybodau dynolryw. "A wyt ti yn diystyru golud ei ddaioni ef, a'i ddyoddefgarwch, a'i ymaros, heb wybod fod daioni Duw yn dy dywys di i edifeirwch? Eithr yn ol dy galedrwydd a'th galon ddiedifeiriol, wyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint erbyn dydd y digofaint a datguddiad cyfiawn farn Duw, yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd." Ond mynych y llefara yr Arglwydd yn gyhoeddus wrthym drwy ei rybuddion, ac y dwg ar gof i ni yr hyn a ddywedodd yn ei air, "Nid ymrysona fy Yspryd i â dyn yn dragywydd." Efe a ddatguddia, ar brydiau, ei gyfiawn-

der, ei nerth, a'i ddigofaint sanctaidd.

Pan ddechreuais fy ngweinidogaeth yn Llan ——, darfu fy nghyfaill caruaidd, a fu yn Weinidog yn y Plwyf cyn i mi fyned yno, fy arwain ar ryw brydnawn i lawer bwthyn, lle y preswyliai teuluoedd, am lwyddiant ysbrydol a thymhorol y rhai y teimlai awyddfryd mwy nag ychydig. Un o'r rhai hyn oedd Mari merch Siôn ——. Yr oedd yn wraig oedranus: a'r tro cyntaf y gwelais hi, yr oedd yn eistedd mewn congl yn agos i'r tân. Dechreuasom ymddyddan â hi, a derbyniasom o'i genau ei hun sicrhâd o wirionedd yr amgylchiadau a adroddir isod; ac yn eu cylch y mynych ymofynais gwedi hyny, gyda mwy o fanylrwydd. Byddai Mari yn arfer myned i dŷ amaethydd yn y gymmydogaeth fel golchyddes. Dygwyddodd iddynt un diwrnod golli rhywbeth o'r tŷ, a gofynasant iddi hi yn ei gylch, er nad oeddynt yn drwg-dybio ei gonestrwydd yn y radd leiaf. Ond cyffrowyd ei digllonrwydd hi gymmaint, am iddynt sôn ynghylch y peth wrthi hi, fel y gwaeddodd, "Bydded i fy mraich bydru, os golchaf yma yn rhagor." Cadwodd ei phenderfyniad am ysbaid o amser; ond, o'r diwedd, rhoddodd i fynu i erfyniadau gwraig yr amaethydd, ac ail-ddechreuodd i fyned yno fel o'r blaen. Tra yr oedd ar ryw foreu yn brysur ar ei gorchwyl, llawer o waed a ffrydiodd allan o'i braich. Rhwymasant ei braich yn ofalus, gan ddysgwyl y byddai yn well mewn ychydig o amser: ond, er y cwbl, ni ddaeth ei braich byth yn iach. Rhyw ddolur, a ymddangosai yn hollol fel pydriad, a ymsefydlodd yn yr aelod; ac er holl gywreinrwydd y meddygon, methwyd ei feddyginiaethu. Dechreuodd ei hiechyd adfeilio, a gwendid ei chorph gynnyddu o radd i radd: etto bu ei saldra yn faith, a chefais lawer cyfleusdra i ymweled â hi. Yr oedd ei gwynebpryd a'i braich bydredig yn peri poen a galar i bob un a edrychai arni. Croesawai fi yn wastad i'w phreswylfa isel, ac ymddangosai bob amser yn awyddus i mi weddïo gyda hi. Yr oedd yn teimlo (a mynych y cyfaddefai) mai "y geiriau rhyfygus hyny," a ddywedasai yn ei gwylltineb, oedd achos ei hafiechyd; ac, yn ei ffordd syml ei hun, erfyniai yn daer am faddeuant. Pan na byddai neb o'i pherthynasau yn agos, ymgrymai ar ei gliniau i attolygu am i'r Arglwydd ddileu ei bai ysgeler. Ond i mi yr oedd ei meddwl yn ymddangos bob amser fel pe buasai anobaith wedi ymsefydlu yno. Nid wyf yn cofio i mi erioed weled gwên ar ei gruddiau. Rhyw brudd-der tebyg i wallgofrwydd a döai ei gwynebpryd; a phob gwedd arni a ymddangosai fel pe dywedai, "Tosturiwch wrthyf, tosturiwch wrthyf, fy nghyfeillion; oblegid llaw Duw a gyffyrddodd â mi. Saethau yr Hollalluog ydynt o'm mewn: eu gwenwyn sydd yn ysu fy ysbryd: dychryniadau y Goruchaf a ymosodasant yn fy erbyn.

'Anobaith, tristwch, dychryn dwys,
A syrth yn fawr-bwys erthwch;
Y lloer y nos, na'r haul y dydd,
I mi ni rydd ddyddanwch.'"

Os darfu i'r radd leiaf o obaith, a thangnefedd sydd yn deilliaw oddiar ffydd ym Mab Duw, lewyrchu ar ei henaid, yr oedd hyn yn fwy nag a ganfyddais i. O'r diwedd aeth ei nychdod yn rhy drech i'w natur, a daeth angeu i roddi terfyn ar ei phoenau corphorol. Rhagflaenais ei chorph i'w ddodi yn ystafelloedd tawel y bedd, gyd â'r teimladau mwyaf prudd a difrif, wrth gofio hanes ei bywyd gresynus.

Y mae mewn dynion ryw duedd-iad neillduol i ddywedyd geiriau byrbwyll, ac i wneyd haeriadau tebyg i haeriad y wraig anffodus

hon, i'r dyben o leihâu neu guddio celwydd. Nid oedd dim tystiolaeth mai i'r cyfryw ddyben y gwnaethpwyd ei haeriad hi: ond hyn a wnaeth yn ei gwylltineb; a hyn, yn ol pob tebygolrwydd, a dynodd arni wg a digofaint noeth ac ofnadwy Barnydd yr holl ddaear.

Ddarllenwyr y Gwyliedydd—cymmerwch rybydd oddiwrth yr hanesyn uchod, a gochelwch bob amser rhag bod yn euog o'r un bai.

CYFAILL W. H. H.

---

### DYWEDIAD DIARHEBAWL.

YSGRIFENYDD hyglod a ddywed, "Gofalwch am y mynydau, a'r oriau a ofalant am danynt eu hunain."

Sylw da ragorol yw hwn, a dylem yn ol pob rheswm ei gofio pan y dechreuom ddiogi yn gwneuthur daioni, wrth ystyried fod genym lawer i'w wneuthur. Y mynyd gwyddfodol yw 'r cwbl o amser y sydd i ni ymwneud âg ef. Y mae y rhan a aeth heibio yn anghaeladwy, a'r hyn sydd i ddyfod yn ansicr; ac nid yw yn deg beichio un mynyd â baich y mynyd arall; digon i bob mynyd ei faich ei hun. Pe baem i gerdded can milltir, ni roddem ond un cam ar y tro; a hyn trwy ddyfal bara a'n dygem yn anffaeledig i ben ein taith. Blinder yn gyffredin a ddechreu, ac yn wastad a chwanegir, wrth gyfrif i'r mynyd waith yr oriau.

Fel hyn, wrth edrych ym mlaen, cofiwn nad ydym i ddwyn holl lafur bywyd, na myned drwy ei holl ddyoddefiadau, nac ymdrech â'i holl groesau, *ar unwaith*. Y mae un mynydyn yn dwyn ei faich o flinderau, ac yna yn ffoi; a dilynir ef gan un arall, yr hwn a ddwg ei faich, ac nid yw drymach na'r llall; am hyny, os awd trwy un, fe ellir myned trwy 'r llall.

Llewyga yr ysbryd bron weithiau wrth edrych y'mlaen ar ddyledswyddau, llafur, a phrofedigaethau, un diwrnod; etto beth yw hyn ond rhoddi beichiau llawer mil o fynydau ar ysgwydd un.

Penderfyned pob dyn wneuthur yr uniawn *yn awr*, gan adael *yn y man* i wneuthur fel y gallo; a phe byddent byw cyhyd a Methusalem, ni wnaent anwiredd. Y camgymmeriad cyffredin yw, penderfynu gwneuthur yr *uniawn ar ol boreufwyd*, neu *ar ol ciniaw*, neu *y fory*, neu *yn y man*, a'r *tro nesaf;* ond yn awr, yr amser hwn, a'r tro hwn, yr ym i fyned yn y blaen, fel arferol. Y mae yn hawdd i'r dyn mwyaf gwaedwyllt benderfynu na cha ei nwyd y llaw uchaf arno y tro nesaf y profir ef; ond gorchfygu *y tro hwn* yw ennill y frwydr. Pe byddai i ni yn wastad, yn lle edrych ar feichiau yr amser i ddyfod, ymdrech i gyflawni gwaith yr awr wyddfodol yn ei bryd; er na byddai, mewn ystyr, ond ychydig un amser i'w gyflawni, etto, yn y modd hwn, fe gyflawnid y cwbl. Y mae gwneuthur yn iawn y fory, neu ryw bryd i ddyfod, yn ymddangos yn hawddach i ni, o herwydd ein bod yn anghofio y bydd y fory, pan *y delo*, yn amser gwyddfodol, ac *yn awr*. Ac fel hyn y treulir bywyd llawer yn *penderfynu* gwneuthur yn iawn yn yr amser i ddyfod, yr hyn nid yw yr amser gwyddfodol byth yn ei gyflawni.

Nid yw hi fel hyn gyd â'r rhai hyny, "y rhai, trwy barhâu yn gwneuthur daioni, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth:" ond dydd yn ei ddydd, a mynyd yn ei fynyd, y cyflawnant hwy y gwaith gosodedig, i'r hwn y rhoddir amser a nerth cyfaddas. Ac fel hyn, wedi gweithio tra y mae yn ddydd, y maent yn gorphwys oddiwrth eu llafur, a'u gwaith sydd yn eu canlyn." Gan hyny, bydded i ni, pa beth bynag a gaiff

ein llaw i'w wneuthur, ei wneuthur â'n holl egni, gan gofio mai *yn awr, yr awr hon*, yw yr amser cymmeradwy.

R. *Cyfieithiad.*

---

PWY YW Y MEISTR?

PAN welir ci yn canlyn dau ddyn ni wyddis yn iawn i ba un o honynt y perthyna tra byddont yn rhodio ynghyd; ond deuant i groesffordd, ac aed y naill y ffordd yma, a'r llall ffordd arall, yna ceir gweled pa un yw ei feistr. Felly weithiau y mae crefydd a'r byd yn myned law yn llaw. Tra y medro dyn gael y byd, a phroffes grefyddol hefyd, ni's gwyddis pa un yw ei feistr, ai Duw, ynte y byd: ond arhoser nes delo y dyn at groesffordd; y mae Duw yn ei alw y ffordd yma, a'r byd yn ei alw y ffordd acw. Wel, os Duw yw ei feistr, y mae efe yn canlyn crefydd, ac yn gadael y byd; ond os y byd yw ei feistr, yna y mae efe yn canlyn y byd a'i chwantau, ac yn gadael Duw, cydwybod, a chrefydd.

H. R. T.

---

YMDDIDDAN Y'NGHYLCH CADW Y SABBOTH,

*Rhwng y diweddar Esgob Porteus â'n Brenin (y pryd hyny Tywysog Cymru.)*

PAN oedd y diweddar Barchedig Esgob Porteus y'mron gorphen ei yrfa yn y byd hwn, teimlodd na fedrai ymadael mewn tangnefedd cyn datgan ei anfoddlonrwydd i'r arfer oedd mor gyffredin yn ei Esgobaeth o halogi dydd yr Arglwydd. "Darllenaswn," medd efe, "mewn amryw o'r Newyddiaduron hanes cyfarfod, yn gynnwysedig yn benaf o foneddigion milwraidd, yr hwn a gynhelid bob yn ail Sul yn wastad am dymhor y gauaf mewn tafarndy yn y parth gorllewinol o'r ddinas (Llundain). Ymddangosai hyny i mi yn halogiad afreidiol o'r Sabboth Cristionogol, yr hwn sydd ddydd wedi ei neilltuo trwy gyfreithiau Duw a dyn i ddybenion cwbl wahanol, a beiwyd ar yr Esgobion a'r Offeiriaid am oddef y fath gamarferiad gwaradwyddus o'r diwrnod cyssegredig hwnw yn ddigerydd. Penderfynais na oddefwn hyny yn hwy; ac felly bernais yn oreu fyned at y gwr uchaf a mwyaf ei awdurdod yn y cyfarfod, sef Tywysog Cymru. (Dywedir iddo gael ei ddwyn i balas y Tywysog wedi ei amwisgo mewn gwlanen.) Yn ganlynol deisyfais yr anrhydedd o gael ymddyddan personol âg ef ar y mater. Yn rasusol efe a'i caniatâodd; a chefais yr anrhydedd o ymddyddan â'i Fawrhydi am fwy na hanner awr. Cydsyniodd â mi yn fuan, a chyfaddefodd nad oedd yn gweled un achos i gynnal y cyfarfod ar y Sul mwy nag ar ryw ddiwrnod arall o'r wythnos; ac (er clod i'n Brenin poed ei goffhâu) efe o'i wirfodd a gynnygiodd ei newid o ddydd Sul i ddydd Sadwrn, a dywedodd y rhoddai orchymyn i'r dyben hwnw yn ddioed."

G. C.

---

ENWOGION CYMRU.

MR. GWYLIEDYDD—Wedi derbyn o honof eich Rhifyn diweddaf (Mai, 1829) teflais olwg ar yr amlen ym mlaen ac yn ol, i gael gweled beth a dderbyniasoch yn ystod y mis, yn gystal a chynnwysiad eich Rhifyn; gwelwn ar darawiad amrant "Hanes Enwogion Cymru:" ato a mi yn ddioed, a pheth oedd hwn ond Llythyr *Ab Cilydd*, yn rhoddi hanes am Fuch-draethiad Cymreig sydd yn cael ei barotoi gan Jeffrey Jones, Llanymddyfri. Wel, mi synais unwaith

etto, gan na chlywswn na siw na miw o fod neb yn meddwl am y fath lyfr hyd ddydd brawd am a wyddwn i; a hyny a barodd i mi ysgrifenu yn Rhifyn Ionawr. Wedi synu o honof ychydig, gwelwn yr wyneb ddalen a'r darlun o'r Buchdraethiad o fy mlaen; a mawr oedd fy mhryder rhag mai rhyw un am y "geiniog" oedd yn myned i'w gyhoeddi: ond codais fy ngolwg, a gwelwn Lythyr *Ab Cilydd* gyferbyn yn dweyd, "Nid rhaid i neb amheuaw na ddugir y gwaith ym mlaen yn drevnus." Go ddrwg dybus ydwyf fi neu mi gredaswn yn ddioed!

Sicr iawn, tybygwn (fel y crybwylla *Ab Cilydd)* y dylai Gwent a Dyfed, Gwynedd a Phowys, roddi pob annogaeth i'r fath orchwyl; ond pa fodd y ceir hyny, ni's gwn. Beth pe cymmerai rhyw un ym mhob Sir y gorchwyl arno o gasglu enwogion ei Swydd? P. B. W. yn Arfon, Garmon yn Nhrefaldwyn, &c. &c. a'u crynhoi ynghyd i ryw *un* i'w cyhoeddi: nage, nid felly, eithr wedi cael llyfr Jeffrey, chwilio ym mhob Sir faint o nifer ei henwogion a adawyd allan o hono, yna cyhoeddi un cymmaint arall. Tarawodd i'm côf y mynyd hwn pa gymmaint a fu yn y cwmmwd yr wyf fi yn aros. Dyma rai o honynt—y *Blaidd Rhudd,* o'r *Gest; Syr Hywel y Fwyall,* o *Fron y Foel; Syr Sion Owen,* o'r *Clenenney; Syr Sion Wynne,* o'r *Gesail Gyfarch,* ac o *Wydir; Madog ap Owen Gwynedd,* o *Gefn y Fan; Rhys* o *Chwilog;* yr *Esgob Humphreys,* o'r *Gesail Gyfarch;* yr *Esgob Fychan,* o *Dalhenbont;* yr *Esgob Evans,* o *Hendrefeinws;* (Plas du) *John Owen,* yr *Englyniedydd,* o'r *Plas Du; Cadwaladyr, Cesail y Prydydd; Owen Gryffudd, Prydydd, Llanystumdwy; Dafydd y Garreg Wen,* y *Telynor;* y Parchedigion *John* a *Richard Thomas,* o *Du hwnt i'r Bwlch, Achwyr* a *Beirniaid;* y Parchedig *Dafydd Ellis, Person Criccierth, Bardd* a *Beirniad.* Mi welaf fod yn rhyhwyr rhoddi heibio un cwmmwd, rhag gwneud y Gwyliedydd yn Fuch-draethiedydd:—rhwydd hynt i'r Llyfryn, a diolch i *Ab Cilydd;* rhoddwch fy enw am hanner dwsin, Mr. Gwyliedydd, tra byddwyf yn

AWYDDUS.

BRON PRYDER,
Mai 30, 1829.

---

## GOFYNIADAU.

MR. GWYLIEDYDD,—Tybir gan mwyaf fod yr Iuddewon y'nghaethiwed Babilon wedi llwyr adael eu hysbryd eilunaddolgar, ac mai dyben Duw yn danfon y cystudd yma arnynt oedd dwyn i ben y cyfryw gyfnewidiad: ond gan na chefais brawf o hyn i'm boddloni, byddwn dra diolchgar i ryw un o'ch Gohebwyr dysgedig pe crybwyllai yr awdwyr sydd yn dal hyny, ac hefyd os oes rhyw rai wedi ysgrifenu yn benodol ar y pwngc hwn. Hyn a fyddai yn fuddiol, ac a foddhai eich ffyddlon ddarllenreg,

M. MYFYR.

---

MR. GWYLIEDYDD,—Dymunwn gael ateb i'r gofyniad canlynol, os rhyngir bodd i chwi ei ddodi yn eich Cylchgrawn buddiol.

Gan ystyried y cyfeillach oedd rhwng mam yr Iesu a mam Ioan Fedyddiwr, paham nad oedd yr Iesu a Ioan Fedyddiwr yn adwaen eu gilydd pan fedyddiwyd Crist? yn enwedig pan gaed hwy ill dau mewn modd tra rhyfeddol, a pham oedd ganddynt achlysur i adnabod eu gilydd, pan gyfarfyddent yn y gwyliau blynyddol yn Jerusalem? "Ac myfi nid adwaenwn ef." *Ioan* 1. 31.

C——.

# BARDDONIAETH.

## CYFIEITHIAD

O "THOMSON'S HYMN ON THE SEASONS."

***Testyn Eisteddfod Newmarket*, 1829.**

"These, as they change, Almighty Father, these
"Are but the varied God." &c.

Y RHAI'N i'w cylch, anfeidrol IOR, y rhai'n
Nid ydynt ond yr un amryddull Dduw!
Y flwyddyn ar ei chwyl o honot ti
Sydd lawn. Y Gwanwyn hoff, dy harddwch di,
Dy gariad a dy rad, drwy 'r maesydd cain
A rodiant law-law; yr awel hyfryd yw;
Cyd-leisia 'r bryniau oll; y wig a chwardd;
Pob teimlad a phob calon lawenhâ.
Yr Hâf, â allan dy ogoniant têr
Gan wawl a gwres ddisgleiria; a gyr dy haul
Ei berffaith ynni drwy y chwyddawg fyd.
Dy lais a glywir yn y daran groch:
A phan ar foreu, nawn, neu hwyr, y bo
Y ddistaw chwa yn sio rhwng y gwydd.
Yn y Cynhauaf, dy haelionus law
Ger bron pob byw daen gyffredinawl wledd.
Y Gauaf, ti ofnadwy wyt! dy wisg
Cymmylau duon nef; dy gerbyd yw
Y corwynt cau; ac ar y dymmestl flong,
Drwy 'r gwyll mawryddig, y marchogi 'nawr.
O'r gogledd oer ymrwysgant wyntoedd certh,
Ac anian oll arswyda ger dy fron!
Dirgelaidd gylch! amlygir yn y rhai'n
Y dwyfawl allu, a'r doethineb tau.
Dilynant oll olynol wrth dy arch,
Mewn rhyfedd gymmysg, ac mewn gorwech drefn
O gydbleth harddwch a daioni ynghyd.
O ryfedd undeb! y gwrthbleidiau hyn
Mewn cynghan hardd wnant un gyfandrefn wemp,
Hen ar ei rhawd a'n lleiaw â gorhoen!
Ond mynych, fal anifail gwag ei drem,
Dyn, ti nis gwel, nac yr alluog law
I'w rhodau taw sy'n llywio 'r bydoedd fry;
Yn gweithio yn y dyfnder cudd, o groth
Yr hwn y gyr ei faethlawn wlith dros faes
Y byd gorlwythog yn y Gwanwyn pefr;
O'r tanllyd haul sy'n lluchio 'r fflamawg ddydd;
Yn porthi pob creadur byw; ac odd
Ei charchar caeth yn hyrddio 'r dymmestl flin:
A thrwy yr holl gyfnewidiadau hyn
A nwyfus hoen yn llanw holl gyrrau nawd!
Doed anian oll, pob perchen enaid doed,
Is llachar nen ei eirian deml ef,
Yr awyr gain, âg un soniarus lef
I'w foli Ef! Awelon llafar, mwyth
Anadlwch iddo Ef; can ynddo chwi
Anadla ei adfywiol Ysbryd Ef:
Ai yn y goedwig dawel, molwch Ef;
Ai lle mae 'r ddâr o goppa 'r clogwyn certh
A braw yn llenwi y wasgodfa lwys.
A chwi a glywir mewn eofnach sain,
Ac a ysgydwch holl golofnau 'r byd
Brawychus, hyd y nef dyrchefwch chwi
Eich nerthol lef o fawl i'ch Perydd mawr!
Ei foliant Ef datgenwch ebyr cain;
A'r enaid mau ymafled yn y gân.
Chwi groch genllifoedd, ar eich rhwysgfawr gyrch,
A chwi afonydd, trwy 'r dyffrynoedd heirdd
A fwyn ymdeithiwch ar eich troellawg hynt,
A thithau 'r eigion dwfn, yr hwn o'th fewn
Gynnwysi fyrdd o ryfeddodau cêl,
Cyd-leisiwch oll ei fawl dihafal Ef;
Wrth gadarn air yr hwn yn rymmus derch,
Neu y gostega twrf eich anferth rû!
Chwi lysiau, ffrwythau, blodau ceinion wedd,
Heirdd, emawg ddelwau ei greadigawl law,
Byth iddo Ef eich peraroglion fry
Esgynant, yn ddiball gymmylawg darth.
Goedwigoedd bàn, aur-gnydiawg faesydd, chwi
Cyd chwyfiwch iddo Ef; a'ch distaw gân
Gorlòned enaid y medelwr gwiw
Tra adreu 'n dod wrth oleu 'r lloer wen gàn.
Chwi seirian rodau, effro wylwyr nen
Tra y'nghwsg ein daear ni; hyd wyneb hon
Dyhidlwch effaith eich tirionaf naws,
Tra bo eich engyl glwys ar beraidd gân
A'u telyn aur yn seinio i Bor y byd.
Ti, enaid mawr y dydd, O! eirian haul,
A'i oreu gynllun Ef; tra 'n gyrru maes
O'th araul fonwes dy adfywiol wres
O fyd i fyd; ei enw sanctaidd Ef,
O noda di a'th holl belydron têr!
Tarana 'nawr:—distawed anian oll,
Tra rhed ei fawl drwy 'r wyllt gymmylawg nen.
Fynyddau, chwi dadseiniwch oll y gân;
Trwy 'r creigiau aed gwrdd sain ei foliant ef;
Ei orwych fawl, ddyffrynoedd, seiniwch chwi;
Teyrnasa 'r Bugail mawr; *a'i deyrnas wiw,*
*Ei deyrnas ansigladwy, a neshâ!*
O'r effro wig a'r goedfron aed ei fawl:
A phan y bo 'r edwiol ddydd ar drangc,
A rhwym y'nghwsg eu seingar luoedd hwynt
I syn gysgodion nos, yr Eos fwyn
Dysg di ei fawl. Yn benaf chwi, er pwy
Y gwisga natur ei siriolaf wên:
Arglwyddi y greadigaeth wemp, y gân
Coronwch chwi; ai yn y ddinas lawn,
Ai 'r gaerog dref; â'r organ bêr ei sain

Eich lleisiau unwch mewn un gydgerdd lon
Trwy holl amrywiaeth melus leisiau mawl;
A thra yn esgyn sain gorfoledd, fry
Esgynwch chwi ar fysg adenydd serch.
Neu os yw 'n hoffach tawel rodfa 'r glyn,
A mwyn gysgodion llwyni glwysion wawr;
Oddi yno 'r bugail mewn hoffusawl sain,
A'r forwyn bur a'i pheraidd hoyw gaingc,
Ac mewn seraphaidd hwyl O! doed y bardd
A'i delyn bêr, i seinio i Lywydd mawr
Yr heirdd dymmorau ar eu cylchawl rêd!
Mi, os anghofio wnaf yr hyfryd bwngc,
Ai pan fo 'r blodau 'n gwenu ar y twyn;
Ai gwres yr haul yn euro cnwd y maes;
Ai 'r llawn Gynhauaf yn ei aeddfed rym;
Ai 'r Gauaf oer fo ar ei gorsedd wyll;
Fy nhafawd i boed mud, fy awen mud;
A'm calon lesg anghofied guro mwy!
Pe gyrrid fi i bell eithafion byd,
Ac anwar fröydd eithriawl i sain cân;
I'r man y mae 'r boreuawl haul yn hardd
Oreuro bryniau 'r India; ai i'r man,
Dros eigion yr Atlantic, yn yr hwyr
Y mae yn anfon ei arianaidd byst,
Ni'm dawr; can's ytyw Ef i'm cylch; ai yn
Y gwag ddiffaethwch, ai yn y ddinas lawn;
A gwynfa yw lle byw anadla Efe.
A phan i'm geilw yr olaf, sobr awr,
I'm rhyfedd hynt, i fryniau 'r bythawl fyd,
Yn llawen âf, ac ar nefolach gân
Caf seinio 'th fawrion ryfeddodau di.
I fan nad yw 'th ddiderfyn gariad di
O'm cylch yn gwenu mi nis gallaf fyn'd;
Ti yw cynheilydd yr holl fydoedd fry,
A'u lluoedd hwynt; o wrth yn peri mâd;
Daioni ar ddaioni yn llifo byth!
Ond gan ei fawredd pall fy nerthoedd i;
Arswydus fawredd ei ddisgleirdeb Ef!
Mewn taw am hyn myfyriaw byth ei fawl!

Aneurin.

---

## ENGLYNION

"AR GWYMP Y CADBEN MORGAN WRTH LYN HELYG, YN NHEGEINGL, PAN YMLADDAI O BLAID EI FRENIN YN ERBYN BYDDINOEDD CROMWEL."

*Testyn Eisteddfod Newmarket*, 1829.

Yn y goedfro gauadfrig—wele fi
Wrth wael fedd tra unig;
Mewn gwyll* trwch, man gwael lle trig
Hen Sawdwr dewisedig.

Ei oer lwch fy neigr a wlychodd,—yno
Fy enaid lesmeiriodd
Yn hwyrdrwm, yn gwag trwm trodd,
I radd od, fi freuddwydiodd.

Gwelais y Cadben gwiwlon—yn hydrwych
Foreu y frwydr greulon;
Areithiai wrth y Brython,
Wŷr di fraw, oedd gred ei fron.

"Dinam tra bo gwaed ynoch,—O deliwch!
"Dilwfr yr ymladdoch;
"Yn ddi ball heddyw y boch,
"Neud ornest tra gnawd arnoch.

"Y Goron a'm Gwlad garaf,—yr einioes
"O du 'r Brenin roddaf:"
Atebodd pob un, tybiaf,
"Amen yn wir, minau wnaf."

Hybwyll fyddin wynebol,—orwych wŷr,
Ar ochr Cromwel wrol;
Iawn Sawdwyr mabwysiadol,
A'u Llywiwr glwys gerllaw 'r Glol.

Cynnwrf udgyrn yn canu,—rhoi galwad
I'r gâlon o'r deutu,
Mawr osod ac ymresu,
I frwd aer y difrod du.

Pelau wrth nerth y pylor—a hidlwyd
Yn edlym drwy 'r osor;
Môr-waed dwfn a marw di dòr,
Yn fynwent ae 'r hen faenor.

Gwaedu o dyllau 'r ergydion,—y caed
Cudeg Gadfridogion;
Ergyd gwyw roes ein Llyw llon
I lawr dan drwm ddolurion!!

Llefodd—"yn ddi nag ewch rhagoch—fy ngwŷr,
"Fy ngair olaf wrthoch,
"Yn bur a dewrion y boch,
"Y waith hon tra nerth ynoch."

Cwympai 'r dewr Ben Campwr y dydd—ingawl,
Ar Degeingl fynydd;
Yn y Hanerch yn llonydd,
Hyd wŷs barn da was y bydd.

Aeon henwas cynhwynol,—yr hanes
Ar huniad breuddwydiol:
O! fy Nuw, dwg fi yn ol
Heno i'm bŵth trigianol.

Meudwy.

---

## "Y GWANWYN."

*Testyn Eisteddfod Rhosllanerchrugog*, 1829.

Er i gawod oer y Gauaf—edwi
Holl adwedd Cynhauaf,
Deuai *Gwanwyn*, nôd geiniaf,
Lonwedd hin, rhagflaenydd Haf.

Nesu mae 'r haul hynawswedd—o'r deau,
Gawr diwyd, i'r gogledd;
Hirnos dywell gadarnwedd,
O'n tud raid symmud ei sedd.

Gwel mor ffraeth mae 'r amaethydd—llafurus,
A'i holl fwriad beunydd,
Byw was doeth dan bwys y dydd,
Yn dilys arddu 'r dolydd.

---

* *Shade.*

Yn yr âr lwysâr heb lysu,—rhwydd gred,
 Rhydd y grawn i bydru;
 Ond gallu 'r Iôn cyfion cu,
 A'i nodded sy'n cynnyddu.

Gwenu mae rhywiog anian,—y ddaear
 Oedd dduwedd sydd eirian;
 Hygain a merth egin mân,
 Darddellynt drwyddi allan.

Meirw lysiau, O! mor lwysion,—a hygar,
 Eu hagwedd pêr maethlon;
 Tra heini' yw 'r lili lon,
 Araul yw 'r llwyni irion.

Telaid ŵyn defaid dofion—wych eres,
 Sy'n chwarae 'n hyfrydlon;
 Hydded a myned mwynion,
 A geir fry ar gŵr y fron.

Mor gynes yma 'r *Gwanwyn*—yw clywed
 Clau Awen bereiddfwyn;
 Dewra llu adar y llwyn,
 Boreu-glod ar y briglwyn.

Eglur sŵn Turtur sain teg—wycha cerdd,
 A'i chwc-cŵ peraidd-deg;
 Trwy 'r maesydd, coedydd cudeg,
 Arllwys ei chân eurlais chweg.

Yn lle nâd Dylluan nos—â'i hoerlais,
 Ceir eurlef yr Eos;
 Wybren rydd, pob bryn a rhôs,
 Fynegant fod Hâf 'n agos.

Daeth mâd estyniad naws dydd,—doeth wiwlon,
 Daeth eilwaith ysplenydd;
 Odiaeth awr gain daeth i'r gŵydd,
 Dan awyr ddillad newydd.

Urddwyd yn ei thrwsiad harddaf—wyneb
 Anian wech brydferthaf,
 I groesawi gwrês hoywaf,
 Cywrain hin sef *Coron Haf*.

DEWI BACH.

---

## ANGHYFNEWIDIOLDEB DUW.

Mor ddysclaer ydyw 'r haulwen
 Belydrawg oleu fry,
A wisgwyd acw 'n harddwych,
 A gwychder boreu cu;
Ac anian fel i gyfarch
 Y gogoneddus un,
A gwyd o'i thrymder nosawl,
 A'i hepian maith a'i hûn.

Y cyfan a â heibio,
 Nid erys dim yn hir,
Llusernau 'r nef ddiffoddant,
 Ni cheir o'u goleu clir:
Y ddaear deg addurnawl
 Droir i adfeiliad hyll,
I olwg trwm anialawg,
 A diffenodig wyll.

Y blodau wyneb ledant
 Yn hardd ar doriad dydd,
A syrthiant i ddifodiad,
 Ac anffrwythlondeb prudd:
Yr ednod gwiw a ganent
 Mewn paradwysawl wig,
Y lle y pêr emynent
 Dystawrwydd mawr a drig.

Ond ti, O Dduw y duwiau!
 Tydi wyt un o hyd,
Yn Arglwydd digyfnewid,
 Cyn creadigaeth byd;
Er's oesoedd trag'wyddoldeb,
 Cyn rhoi ei ddeddf i'r môr,
A chyn sylfaenu 'r bryniau,
 Yr un wyt ti, O IOR!

Pan gesglir meibion Adda
 Wrth gawr archangel Duw,
O eigion môr a daear,
 O flaen ei orsedd wiw;
Pan d'ryso troell naturiaeth,
 Pan ddettyd anian gref,
Ti, Arglwydd, a breswyli
 Dros byth yn nef y nef.

A. o B.

---

## CAN Y TAIR NWYD.

### *LLAWENYDD, GALAR, A CHARIAD.*

Y DON—"Y DDERWEN."

PAN fo pur *Lawenydd* yn llenwi fy mron,
Mae 'm hyspryd yn uchel a'm calon yn llon;
Mae 'r awel mor bêr; mae'r meusydd mor fwyn;
A'r oriau yn 'hedeg fal niwl dros y llwyn.
Am hyny, gyfeillion, boem lawen a doeth;
Dymunach Llawenydd, a gwell no'r aur coeth;
A dedwydd y teulu lle mae hwn i'w gael,
Rhydd gysur i fonwes yr uchel a'r gwael.

Mor groes ydyw *Galar*—mae hwn yn prudd-hâu
Fy yspryd a'm calon, na's medraf fwynhâu
Un dyddan gyfeillach, na gair yn ei bryd,
Na'r awel, na'r meusydd, na dim yn y byd.
Am hyny, gyfeillion, aed Galar o'n bron,
Ac ynddi llettyed Llawenydd yn llon;
A'r awel fydd bêr, ac y meusydd yn fwyn;
A'r oriau a 'hedant fal niwl dros y llwyn.

I gynnal Llawenydd doed *Cariad* â'i wên,
Ac yna môr ddedwydd fydd ieuanc a hên;
Cartrefont o hyd yn y fonwes lân bur;
Gadawant yr enawg;—ni hoffant y sur.
Am hyny, gyfeillion, dechreuwn mewn pryd
I garu ein gilydd yn gywir i gyd:
Ac yna môr felus fydd oriau ein hoes,
Er 'hedeg yn gyflym, hwy 'hedant heb loes.

*Rhydychain.* TEGID.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

NID oes dim hanesion Tramor o bwys wedi eu derbyn yn ystod y mis diweddaf.—Y mae y parotoadau yn Ffraingc i ymosod ar Algiers yn cael eu dwyn y'mlaen yn dra phrysur.

Ymddengys fod yn benderfynedig i'r Tywysog Leopold, o Saxe Coburg (gwr y diweddar Dywysoges Charlotte) fod yn Frenin ar dir Groeg. Cydsyniodd Ymerawdwr Twrci i Batriarch Pabaidd gael ei sefydlu yn Nghaer Cystenyn. Dygwyd y goddefiad hwn i ben trwy daer erfyniad llywodraeth Ffraingc. O hyn allan bydd i ddeiliaid Pabaidd y *Grand Seignior* Esgob o'r eiddynt eu hunain i ofalu dros eu breintiau dan nodded Ffraingc.

Yn ol Papurau yr America, Delw y Cadfridog Washington, yr hon sydd yn aruthrol ei maintioli, ar y 25ain o Dachwedd diweddaf, a osodwyd ar ei gwadn-golofn yn Baltimore. Yr olygfa ryfeddol hon a ddenodd sylw tyrfaoedd anghyffredin o bobl, yn feibion a merched o bob gradd ac oedran. Y ddelw ei hun sydd yn 36,050 o bwysau.

PORTUGAL.—Dywedir fod Don Pedro wedi cyhoeddi ei fwriad penderfynol i amddiffyn hawl ei ferch i goron Portugal.

YR INDIA DDWYREINIOL.—Yn ol Newyddiaduron Calcutta, hyspysir i ni fod yr arfer dra chreulon o losgi gweddwon yn fyw gyda chyrph meirw eu gwyr i gael ei diddymu yn ddioed trwy holl ymerodraeth yr India ag sydd yn perthynu i lywodraeth Prydain Fawr.

## CARTREFOL.

### Y SENEDD.

CYFLWYNIR eirchiadau bob dydd i ddau dŷ y Senedd, yn cwyno o herwydd y cyfyngder a deimlir yn y wlad yn gyffredinol, gan ddeisyf arnynt drefnu rhyw ffordd o ymwared; y'mhlith y rhai yr oedd un o Sir Fflint, un o blwyf Treffynon, ac un arall o Sir Ddinbych. Cyflwynwyd y ddau gyntaf gan Syr E. P. Llwyd, yr hwn a ddygodd ei dystiolaeth o barth parchusrwydd yr eirchiaid, cyffredinolrwydd y cyfyngder a deimlir, a'i hollol gydsyniad â hwynt yn eu herfyniadau.

Prydnawn dydd Llun, y 15fed o'r mis hwn, hyspysodd Canghellwr y Trysorlys drefniadau a bwriadau y llywodraeth mewn perthynas i gyllidau y deyrnas am y flwyddyn bresennol. Ar ol rhagymadroddi yn hed faith, sylwodd yn y modd egluraf a mwyaf trefnus ar amryw fath o drethiad, a phaham y tybiwyd yn oreu i ddal rhai, a diddymu eraill. Yna amlygodd ei fwriad i leihâu y swm o £3,390,000 yn y trethi, fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Treth ar Gwrw (nid Brag) | 3,000,000 |
| Treth ar Ledr .... ........ | 340,000 |
| Treth ar *Cider* ............ | 50,000 |

a'i fod yn hyderu trwy y lleihad hwn yr arbedir, wrth gyfrif y gost o'u casglu, oddeutu 5,000,000 o Bunnau i'r deyrnas.

Y mae diddymiad y trethi ar *Gwrw* a *Cider* i gymmeryd lle y 10fed o Hydref nesaf; ac ar *Ledr* y 5ed o Orphenaf.

Bydd rhyddid i bawb i werthu Cwrw, gan y diddymir y dull presennol o roddi Braint-lythyrau *(Licenses)*

### CYMDEITHAS TRAETHODAU CREFYDDOL.

AT yr amryw Gymdeithasau clodwiw a defnyddiol ag sydd eisoes mewn gweithrediad bywiog yn Nghymru, clywsom am un a ffurfiwyd yn ddiweddar yn Nhreffynon; yr hon, yn ddiau, sy deilwng o nodded a chymmeradwyaeth pawb a ddymuna lwyddiant gwir grefydd a moesoldeb, sef, "CYMDEITHAS TRAETHODAU CREFYDDOL CYMRAEG A SAESONAEG, CYSSYLLTIEDIG AG EGLWYS LOEGR."

Dywenydd genym roddi lle i'r Anerchiad canlynol, yr hwn sydd yn eglurhâu natur a dyben y Gymdeithas odidog hon.

"Pan y mae yspryd ymofyngar, a syched am wybodaeth, wedi ymledaenu drwy bob gradd o ddynion; pan, fel y dywedwyd gyda phriodoldeb, y mae yr ysgolhaig yn sathru ar sawdl ei athraw, ac ni ymfoddlona dynion i aros yn hwy mewn anwybodaeth; pan y mae cyfansoddiadau anysgrythyrol a chyfeiliornus wedi cael eu taenu i radd ofnadwy, a didduwiaeth ei hun yn ddyblyg beryglus drwy iddi ymwisgo mewn gwisg deg a rhith, rhinweddol ben-rhyddid yr amserau hyn; ymddengys mai dyledswydd amlwg pob dyn, a gydnebydd yn gywir werth ei freintiau Cristionogol, ydyw sefyll yn yr adwy, trwy yr hon y daw y gelyn i mewn megys ffrwd; ac i ddyrchafu baner y groes yn erbyn pawb a ymegniant yn union-gyrchiol, neu yn wyr-gyrchiol, i ddarguddio y gwirionedd, i daenu cyfeiliornad, a thrwy grefydd foesol, dwyllodrus, a niweidiol, i gloddio tan sylfaen gwir grefydd.

"Pe ymorphwysai Cymdeithasau Traethodau Cymraeg a Saesonaeg ar y tir hwn yn unig, gallant, yn ddiogel, ddysgwyl

cael cymeradwyaeth pob un sydd yn caru yr Arglwydd Iesu mewn gwirionedd. Gallai, gyda rheswm, eu cynghori i daflu ymaith eu crach-eiddigedd, ac i gydym-egnio i gyflawni y dybenion sy gan y Sefydliad hwn mewn golwg. Ymddibyna yn wir ar sail safadwy gwirioneddau tragywyddol yr efengyl; a than fendith Duw (ac wrth bwyso ar hwn yn unig y teimla ei Dirprwywyr hyder i fyned ym mlaen gyd â'u gwaith) bwriedir i'w holl gyhoeddiadau ddatgan holl ewyllys Duw, heb eu gwyro gan blaid na rhagfarn, nac ofn dyn; yr hyn sydd yn wastad yn dwyn gyd âg ef fagl a phrofedigaeth.

"Ond meddylir y dichon i'r Gymdeithas hon fod mewn modd arall yn fuddiol iawn. Pob Gweinidog yr efengyl, yr hwn sydd yn wir deimladol o bwys y gorchwyl a gymerodd mewn llaw, ac yn crynu ynghylch iachawdwriaeth yr eneidiau a ymddiriedwyd i'w ofal, ac yn llafurio yn ddyfal a diflino yn ngwasanaeth ei Feistr, a wyr yn dda, drwy brofiad, am effeithioldeb a gwerth Traethodau Crefyddol ac Ysgrythyrol, wedi eu hysgrifenu mewn modd dealladwy i'r werinos. Pan, o angenrhaid, ni bydd modd i lais y Gweinidog gael ei glywed, hwy yn aml a lefarant wrth y galon, a mynych y buont hwy yn foddion i alw yn ol y pechadur colledig i deimlad o'i anwiredd, ac i adnabyddiad achubol o'i Brynwr a'i Dduw. Er cryfhâu gwirionedd y dywediad hwn, crybwyllir am Weinidog llafurus diweddar, iddo gael, cyn ei ymadawiad i dragywyddoldeb, y llawenydd o glywed fod un o'i Draethodau, a elwir "MERCH Y LLAETHWR," wedi bod yn foddion i argyhoeddi 30 o'i gydgreaduriaid.

"Nid oes dim bwriad i ymyraeth â Sefydliadau ereill. Cyhoeddwyd eisoes gan y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Cristionogol, a'r amrywiol Gymdeithasau Traethodau Crefyddol, gyfansoddiadau tra buddiol, er hyny, ychydig yw eu nifer. Ond tybir fod y Gweinidogion hyny a breswyliant yn eu plwyfydd yn gwybod yn oreu pa fath o Draethodau sy debyg o fod yn fuddiol i'w gwahanol braidd; a bernir hefyd fod y Dywysogaeth yn abl i gynnal Cymdeithas, gwrthddrych yr hon fydd cyhoeddi, yn y modd rhataf, y cyfryw Draethodau ag a gydunant yn hollol âg athrawiaeth, Erthyglau, a Homiliau yr Eglwys Sefydledig.

"Tra y taer erfynia Cyfeisteddwyr y Gymdeithas hon am gynnorthwy pob dyn rhinweddol, y maent yn bwrw eu bara ar wyneb y dyfroedd mewn symledd calon; bydded iddynt ei gael ar ol llawer o ddyddiau! Gobeithiant, ac mewn yspryd ffydd hyderant, y bydd i'r hyn a gyhoeddant fod er gogoniant i Dduw, a lles ysprydol eu cydwladwyr; ac y bendithir eu Traethodau cyn belled a hyn, y byddant yn foddion i wneuthur 'i'r rhai cyfeiliornus o yspryd ddysgu deall, a'r grwgnachwyr ddysgu addysg.'"

Yr ydym yn dysgwyl y galluogir ni i roddi, yn ein Rhifyn nesaf, Rheolau y Gymdeithas uchod, ynghyd âg enwau ei Swyddogion, &c.

---

## CYMDEITHASAU DIRWESTAWL.*

*(Temperance Societies.)*

YN un o gyfarfodydd y Cymdeithasau hyn, a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Nghaer Efrog Newydd, America, dygodd un o'r areithwyr amryw resymau i brofi fod yr arferiad o yfed gwirodau, nid yn unig yn afreidiol, ond hefyd yn dra niweidiol. Soniodd am yr ysgolion sydd yn Lloegr i feithrin camp-ymladdwyr *(prize-fighters)* lle y gwaharddant bob math o wirodau, a phrin iawn y caniatânt iddynt ychydig o gwrw, o herwydd tybiant ei fod yn tueddu i wanhâu cryfder y dysgyblion. Yn y carcharau hyny lle y gwaherddid gwirodau, y dynion ag yr ammharwyd eu hiechyd yn ddirfawr trwy eu hanghymmedroldeb a gawsant eu hadferu a'u cryfhâu. Y milwr Rhufeinig, yr hwn a wrol ymladdai brwydrau ei wlad mewn arfog-wisg cyn drymed fel mai prin y safai yfwr gwirodau ein hoes ni dani, nid yfai ddiod gryfach na gwinegr a dwfr. Hefyd, yr amaethwyr, a'r llafurwyr, a'r crefftwyr, y rhai sydd yn agored i bob math o hin annhymherus wrth ddilyn eu galwedigaethau, ar ol iddynt wneuthur prawf o ymatal oddiwrth ddyfroedd poethion, yn unllais a addefasant eu bod yn enillwyr ym mhob rhyw fodd."

Dywedir fod oddeutu 600 o'r Cymdeithasau hyn wedi eu ffurfio eisoes o fewn Unol Daleithiau yr America. Yn y rhan isaf o Sir Middlesex, Connecticut, cytunodd 612 o ddynion, er mis Medi diweddaf, i ymatal oddiwrth wirodau. Mewn llawer o fanau diddymwyd agos yn hollol yr arferiad niweidiol hwn. Mewn un dref, lle yr oedd naw o dai yn gwerthu gwirodau *(Gin Shops)* y flwyddyn ddiweddaf, dywedir nad oes yno yn bresenol yr un; a bod mwy na 1,500 wedi rhoddi heibio eu gwerthu mewn manau eraill o'r wlad.

Yr ydym yn deall fod amryw o'r Cymdeithasau canmoladwy hyn newydd eu sefydlu yn yr Alban, ac hefyd yn Llundain.

---

* *Y mae aelodau y Cymdeithasau hyn yn ymrwymo eu hunain i ymwrthod â'r arferiad o yfed gwirodau, oddieithr pan y bydd hyny yn angenrheidiol fel meddyginiaeth.*

*Copi cywir o brisiau cyflogau Crefftwyr a Llafurwyr, a gytunwyd arnynt yn Sessiwn Chwarterol y Bala, Sir Feirionydd, Mai 25ain*, 1601.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| I Oruchwyliwr Amaethyddawl, dros y flwyddyn, gyd â'i fwyd a'i ddiod ........ | 1 | 6 | 8 |
| I Saer am wneuthur aradr, gyd â'i fwyd a'i ddiod ........ | 0 | 0 | 4 |
| I Laddwr Gwair, wrth y dydd, gyd â'i fwyd a'i ddiod .... | 0 | 0 | 4 |
| I'r unrhyw ar ei fwyd ei hun .. | 0 | 0 | 6 |
| I Fedelwr, wrth y dydd, gyd â'i fwyd a'i ddiod ........ | 0 | 0 | 2 |
| I'r unrhyw ar ei fwyd ei hun .. | 0 | 0 | 6 |
| Am Fedi Cyrch, wrth yr Erw, gyda bwyd a diod ........ | 0 | 0 | 5 |
| ——— ar ei fwyd ei hun .... | 0 | 1 | 0 |
| Am Fedi Rhyg, neu Wenith, wrth yr Erw, gyda bwyd a diod .................... | 0 | 0 | 6 |
| ——— ar ei fwyd ei hun .... | 0 | 1 | 0 |
| Am Fedi Haidd, wrth yr Erw, gyda bwyd a diod ........ | 0 | 0 | 7 |
| ——— ar ei fwyd ei hun .... | 0 | 0 | 11 |
| I Lafurwr cyffredin wrth y dydd, o Wyl Mihangel hyd Galanmai, gyda bwyd a diod ........................ | 0 | 0 | 1 |
| I'r unrhyw o Galanmai hyd Wyl Mihangel, gyda bwyd a diod........................ | 0 | 0 | 2 |
| ——— ar ei fwyd ei hun .... | 0 | 0 | 4 |
| I Ben Morwyn mewn teulu, dros y flwyddyn ........ | 0 | 10 | 0 |
| I Forwynion eraill .............. | 0 | 6 | 8 |
| I Saer Maen celfydd, wrth y dydd, gyda bwyd a diod .. | 0 | 0 | 6 |
| I'r unrhyw ar ei fwyd ei hun .. | 0 | 1 | 2 |
| I Saer Maen cyffredin, gyda bwyd a diod ................ | 0 | 0 | 4 |
| I'r unrhyw ar ei fwyd ei hun .. | 0 | 0 | 8 |
| I Saer Coed cyffredin, wrth y dydd, gyda bwyd a diod .. | 0 | 0 | 4 |
| I Lifiwr, gyd â'i lif ei hun, wrth y dydd, gyda bwyd a diod ........................ | 0 | 0 | 4 |
| Am Wau Brethyn garw, llathen o led ................ | 0 | 0 | 1* |
| ——— yn fwy na llathen o led | 0 | 0 | 1½ |
| Am Nyddu a Chribo gwlân wrth y pwys (5 pwys Dolgellau)................ | 0 | 0 | 5 |

* Ymddengys fod y pris am Wau, fel ag y mae i lawr yma, yn gamsyniol; y mae yn ormod o lawer am lathen yn y flwyddyn 1601, ac yn gymmaint rhy fychan wrth y darn. Rhaid i ni ddeall wrth y pris yma, gan hyny, y llathen gyfelin, sef mesur o naw troedfedd. Rhai blynyddoedd yn ol yr oeddynt yn gwau gwlaneni yn Sir Drefaldwyn wrth y cyffelyb fesur o naw troedfedd, a elwid Pared.

*Hir-hoedledd.*—Gymmerwyd y gofrestr ganlynol o bobl hir-hoedlog allan o'r Cylchgrawn Ewropeaidd am 1786.

| | |
|---|---|
| Thomas Parre, Sir Amwythig ...... | 152 |
| Henry Jenkins, Sir Gaerefrog ...... | 169 |
| Robert Montgomery, Do. ........... | 126 |
| James Sands, Sir Stafford ........... | 140 |
| Ei wraig ............................ | 120 |
| Iarlles Desmond, Iwerddon ......... | 140 |
| Iarlles Ecleston, Do. ............... | 143 |
| J. Sagar, Sir Lancaster............. | 112 |
| J. Laurence, Alban ................. | 140 |
| Simon Sack, Trionia ............... | 141 |
| Milwriad Thos. Winslow, Iwerddon | 146 |
| Francis Conlist, Sir Gaerefrog ...... | 150 |
| Christopher Drakenberg, Norway .. | 146 |
| Margaret Forster, Cumberland ...... | 136 |
| Ei Merch ............................ | 104 |
| Francis Bons, Ffraingc ............ | 121 |
| John Brookey, Sir Devon .......... | 134 |
| James Bowels, Killingworth ...... | 152 |
| John Tice, Sir Gaer Wrangon ...... | 125 |
| John Mount, Alban ................. | 136 |
| A. Goldsmith, Ffraingc ............ | 140 |
| Mary Yates, Sir Amwythig ........ | 128 |
| John Bales, Northampton ........... | 126 |
| William Ellis, Lle'rpwll .......... | 130 |
| Louisa Truxo, Dynes ddu, Tucomea, Dehau America ............... | 175 |
| Margaret Patten, Paisley .......... | 138 |
| Janet Taylor, Fintray, Alban ...... | 108 |
| Richard Lloyd, Sir Drefaldwyn .... | 133 |
| Susannah Hilliar, Sir Northampton | 100 |
| James Hayley, Sir Gaer ........... | 112 |
| Ann Cockbolt, Sir Northampton .... | 105 |

---

*Y Llofruddiaethau yn Oddingley.*—Yn ein Rhifyn diweddaf rhoddwyd hanes lled helaeth am y modd y cyflawnwyd yr echryswaith uchod, yn ol cyfaddefiad T. Clewes. —Dydd Iau, yr 11eg o'r mis hwn, dygwyd y tri charcharor, sef Thomas Clewes, George Banks, a John Barnet, ger bron y brawd-lys yn Nghaerwrangon i gael eu barnu. Yr oedd ganddynt rai o'r Cynghorwyr enwocaf o'u hochr; dros Clewes yr oedd Mr. Sergeant Ludlow, a Mr. Lee; dros Banks, Mr. Campbell, Mr. Russel, a Mr. Richards; dros Barnet, Mr. Taunton, Mr. Shutt, a Mr. Holroyd. Yr oedd yr ysgrif-gyhuddol yn rhoddi yn eu herbyn eu bod yn gyfranog o lofruddiaeth Mr. Parker yn flaenorol i'r weithred. Ond gan fod y prif-lofrudd *(Hemming)* wedi marw, cynghorwyd hwynt i beidio ag ateb pan ofynwyd iddynt, Pa un ai euog ai dieuog oeddynt. Addefodd y Prif-farnwr fod hyny yn gyfreithlon iddynt, a bod ar eu dewisiad hwynt i gael eu profi ai peidio. Yna symmudwyd Banks a Barnet oddi ger bron y faingc, a galwyd ar Clewes i sefyll ei brawf fel un o'r prif-weithredwyr yn llofruddio Hemming. Wedi holi amryw dystion, a darllen y cyffesiad a wnaeth-

ai y carcharor ar ol ei gymmeryd i fynu, gadawyd y mater i farn y rheithwyr; y rhai wedi ymneillduo dros ychydig a ddygasant y rheithfarn, ei fod yn euog o fod yn gyfranog o'r llofruddiaeth ar ol cyflawni y weithred: ond ni dderbyniai y Barnwr y cyfryw reithfarn, gan gyfeirio y rheithwyr at yr hyn y cyhuddid y carcharor o hono, sef, ei fod yn gyfranog *yn* y llofruddiaeth, ac nid *wedi* cyflawni y weithred. Yna cyhoeddasant ef yn ddieuog.—Gorchymynodd y Barnwr fyned â'r tri yn ol i'r carchar hyd fore drannoeth, fel y caffai y Barnwyr amser i benderfynu ar y dull o'u rhyddhâu, yr hyn oedd fel y canlyn: "Thomas Clewes, John Barnet, a George Banks, a gyhuddid o fod yn gyfranog mewn llofruddiaeth; ac yn gymmaint a bod y llofrudd ei hun heb gael ei brofi, ond yn awr wedi marw, a'r carcharorion yn nacâu ateb i'r cyhuddiad, y maent yn cael eu rhyddhâu." Ymddengys oddiwrth hyn, fod yr amgylchiadau a barodd eu rhyddhâd yn dra neillduol. Y mae y cyhuddiad etto mewn grym, a gellid eu galw hwynt o flaen y frawdle y pryd a fynir, os ewyllysiant hwy ddyfod y'mlaen i amddiffyn eu hunain yn wyneb y cyhuddiad, trwy ddadleu eu bod yn ddieuog; ond hyn mae'n debyg ni wnant byth; ac hyd oni wnant hyny byddant dan nodded rheolau y gyfraith.

---

*Tân dinystriol yn y Bryn Coch, yn agos i'r Wyddgrug.*—Oddeutu hanner awr wedi saith o'r gloch prydnawn ddydd Gwener, y 19eg o'r mis diweddaf (Chwefror) canfuwyd fod yr adeiladau yn perthyn i Bryn Coch, ym meddiant Edward Shone, ar dân. Y cyfryw oedd buandra ymledaeniad anwrthwynebol y fflamau fel y llosgwyd yr ysgubor, dau feudŷ, a marchdŷ hyd y llawr, mewn ychydig mwy nag awr. Trwy ymegniad cyflym ychydig o bersonau ag oedd yno, tynwyd y ceffylau allan; ond, alaethus yw adrodd, llosgwyd deg o wartheg (y rhai a gafodd megys eu *rhostio* yn fyw). Llosgwyd hefyd lawer o haidd, gwellt, a gwair, ynghyd âg amrywiol offerynau amaethyddawl. Drwg-dybiwyd un Humphrey Jones (mab y'nghyfraith i Edward Shone) o fod yn euog o roddi y lle ar dân; a danfonwyd ef i garchar Fflint i gael ei brofi yn y brawd-lys nesaf. Trwy ymdrechiadau bywiog a diflino y cymmydogion ac eraill, achubwyd y tŷ annedd rhag cael ei ddyfetha gan y fflamau cynddeiriogwyllt. Drwg genym glywed nad oedd na'r perchenog na'r deiliad wedi eu diogelu (*insured*).

---

*Masnach Haiarn yn Lloegr a'r Alban.*—Dywedir fod yr hanesion o Loegr a Chymru, mewn perthynas i'r masnach haiarn, yn dra gobeithiol. Yn *Staffordshire*, lle y tybir fod oddeutu 80 o ffwrneisiau yn awr ar waith, nid yw pris yr haiarn goreu, cyn ei weithio, ddim mwy na £3 15*s*. y dunell. Ac yn Neheudir Cymru, lle y mae oddeutu 90 o ffwrneisiau ar waith, nid yw pris yr unrhyw ond £3 17*s*. 6*c*. y dunell. Er dechreuad y flwyddyn bresenol y mae oddeutu 40 o ffwrneisiau wedi rhoi i fynu gweithio; ac yr ydys yn dysgwyl y bydd i gryn nifer etto yn sefyll yn fuan. Nid yw mor ddrwg yn yr Alban. Pris yr haiarn goreu yno sydd o £5 i £5 5*s*. y dunell; ac y mae cryn alw am dano. Tua diwedd y flwyddyn 1823 yr oedd haiarn o'r un fath yn cael ei werthu am £5 10*s*. y dunell; a chyn diwedd y flwyddyn 1824 cododd y pris mor uchel a £12; ac yr ydoedd wedi myned mor brin, fel nad oedd gan y masnachwyr ddigon i ateb i'r alwad oedd am dano.

---

*Hanes lled anghyffelyb.*——Ychydig o ddyddiau yn ol, derbyniodd gwr bonheddig, yn byw yn nghymmydogaeth Caer Efrog, lythyr yn hysbysu iddo, os deuai i Farchnad y Ceirch, yn y ddinas hono, ac ar y diwrnod a benodwyd, y cai glywed gan yr ysgrifenydd ryw beth a fyddai yn fanteisiol iddo. Ufuddhâodd y gwr bonheddig i'r gorchymyn a gynnwysid yn y llythyr, a daeth ato ŵr o ymddygiad ac ymddangosiad pur drefnus, ac a ddeisyfodd arno ddyfod gyd âg ef i'r gwestdy. Aeth y gwr bonheddig gyd âg ef; ac wedi iddynt eistedd i lawr wrth y bwrdd, cynnygiodd y dieithr-ddyn i'r gwr bonheddig £60, gan ddywedyd, mai ei eiddo ef oeddynt. Ond ni dderbyniai y gwr bonheddig yr arian nes iddo gael rhyw eglurhâd pa fodd yr oeddynt yn perthyn iddo. Yna tynodd y dieithr-ddyn £60 eraill, gan addef mai efe biau y rhai hyny hefyd, fel llôg i'r triugain punt cyntaf (llôg ar lôg) am yr amser y bu yr arian yn ei feddiant. Yna efe a adroddodd yr hanes fel y canlyn—"Ychydig mwy nag ugain mlynedd yn ol, yr oedd genych ewythr, eiddo yr hwn yr ydych chwi yn awr yn eu meddiannu. O herwydd henaint a'i aml wendidau, yr oedd yn angenrheidiol iddo gadw gweinidoges i edrych ar ol ei dŷ. Fy chwaer innau oedd y weinidoges hono. Ym mhen rhyw amser ar ol marwolaeth ei meistr, cafodd £60 wedi eu rhwymo i fynu tu mewn i un o'i chistiau, y rhai a gredodd oedd yn perthyn i'w meistr yr amser y bu efe farw. Danfonodd am danaf, ac a roddodd yr arian i mi, gan ddeisyf arnaf eu dwyn i chwi fel y perchenog cyfiawn o honynt. Addewais i ufuddhâu i'w deisyfiad, ond gan fy mod yr amser hwnw yn lled ddyryslyd yn fy amgylchiadau, def-

nyddiais hwynt at fy angenrheidiau fy hun. Treiglodd llawer blwyddyn heibio er yr amser hyny, a llwyddais yn fy masnach gymmaint, nes yr ydwyf yn awr yn alluog i ad-dalu hyd yr eithaf, yr hyn yr ydwyf yn ei wneud gyd â'r pleser mwyaf; a gwybyddwch, Syr, fod y weithred hon yn ysgafnhâu fy meddwl oddiwrth y dirfawr faich yr oeddwn yn ei deimlo arno." Yna daeth amryw amgylchiadau i gôf y gwr bonheddig, ag oedd yn peri iddo feddwl fod yr hyn a glywsai gan y gwr dieithr yn wir.—*York Courier.*

---

*Dienyddiad.*—Dydd Gwener, Mawrth 12, dienyddiwyd un Michael Toll, am lofruddio Ann Cook, ei orddérch. Oddeutu hanner dydd dygwyd ef allan o'r carchar i'r dienydd-le o flaen y carchar. Offeiriad Pabaidd oedd gyd âg ef yn ei fynydau olaf, i'r hwn y cyfaddefodd gyfiawnder ei ddedfryd, a'i edifeirwch am y weithred yr oedd i ddyoddef o'i herwydd. Dywedodd iddo fod yn dra thrallodus ei feddwl er's amser yn ol, ond na chyfaddefodd i neb ond i'w offeiriad. Cerddodd at y crogbren yn ddiysgog, gan edrych ar y parotoadau arswydus o'i flaen yn hollol ddigyffro; a bu farw yn mhen ychydig iawn o amser heb yr arwydd lleiaf o boen.

---

*Anffawd tra gofidus.*—Ychydig ddyddiau yn ol digwyddodd yr anffawd gofidus a ganlyn i unig fab Mr. Roberts, o Abingdon, Sir Berks. Y plentyn hwn, yr hwn ydoedd oddeutu dwy flwydd oed, a ddodwyd yn y gwely ganol dydd i gysgu; a rhyw fodd cafodd ei ben mewn dolen o'r llen-gwely, yr hwn ydoedd yn lled hir, ac a roddwyd ar y gobenydd, ac wrth iddo droi o gwmpas llithrodd dros y gwely, ac a lindagwyd gan y ddolen, yr hon a'i cadwodd ef yn grogedig â'i draed o fewn ychydig o fodfeddi i'r llawr. Cafwyd ef yn y dull hwn gan y fammaeth; ac er iddynt arfer pob moddion i'w adferu bu y cwbl yn ofer. Hawddach ydyw dirnad teimladau y rhieni na'u darlunio.

---

*Marwolaeth alaethus Plentyn.*——Dydd Llun, yr 8fed o'r mis hwn, cynnaliwyd Celain-ymholiad, yn y *Strand*, Llundain, ar gorph Cordelia Sutton, genethig landeg saith mlwydd oed, merch i un Mr. Sutton, Cyfreithiwr, yr hon a fu farw dan yr amgylchiadau canlynol.—Tarawodd y trengedig un o'i chwiorydd, ac er cospedigaeth am y trosedd, gorchymynwyd iddi fyned i fynu i'r llofft, ac i aros yno nes y gelwid am dani. Yr oedd ei mam hefyd wedi ei bwgwth y cai y ceisbyliaid ddyfod i'w cheisio hi; a'r dyb yw, i'r plentyn druan ddringo at y ffenestr i edrych a oeddynt yn dyfod yn ol y bygythiad ai peidio, a syrthio trwyddi ar y cledrau haiarn o flaen y tŷ, trwy 'r hwn y torwyd amryw o'i hasenau. Tra 'r oeddynt yn ei chario hi at y llaw-feddyg, crefodd yn aml ar y ffordd, iddynt beidio gadael i'r ceisbyliaid ei chael hi. Tra yr ydoedd dan law y meddyg, ymbiliodd arno beidio ei thori na'i haflonyddu, gan ei bod yn dra esmwyth a chysurus.—Rheithfarn, Marwolaeth Anffodawl.

---

Yn Sessiwn Ennis (Iwerddon) cafwyd un Peter Comyn, Ysw. yn euog o roddi ei dŷ ei hun ar dân, ar y 6ed o Ragfyr diweddaf. Bwriwyd ef i gael ei grogi ar y 1af o Ebrill nesaf. Perthyna y gwr bonheddig hwn i rai o'r teuluoedd mwyaf cyfrifol yn Siroedd Clare a Galway. Yr oedd yn Ustus Heddwch am dair o Siroedd yn yr Iwerddon ychydig amser yn ol.

---

*Creulondeb digyffelyb.*—Yn yr un Sessiwn (Ennis) cafodd tri dyn, sef Timothy M'Grath, Michael Crune, a Martin Sullivan, eu bwrw i'w colli am y creulondeb angenfilaidd o dori ymaith dafodau dau frawd o'r enw Doyle, y rhai oeddynt fugeiliaid a gyrwyr anifeiliaid i un Mr. Westropp, gwr bonheddig o'r un Sir (Ennis). Yr oedd y tystiolaethau yn eu herbyn o'r natur mwyaf gwrthun a chigyddlyd. Ymddengys i'r carcharorion, ynghyd âg amryw eraill (ar nos Wener, y 18fed o Ragfyr diweddaf) ymosod ar y tŷ lle yr oedd y ddau frawd yn byw, a thori y drws. Wrth glywed y sŵn, neidiodd un o'r Doyles o'i wely, i oleu canwyll, pan y tarawyd ef ar ei ben i'r llawr, gan T. M'Grath â dryll; ac ar hyn rhuthrodd y lleill i mewn i'r tŷ, ac a'i llusgasant ef, heb ddim dillad am dano, a'r noswaith yn chwerw-oer a rhewllyd, i gae ag oedd yn gyfagos: ac yna, ar ol iddynt ei fflangellu yn dra chreulon, pwysodd un o'r diriaid â'i liniau ar ddwyfron y dyn anffodus, gan wasgu ei wddf nes iddo agos ei lindagu, a thrwy hyny gwthiwyd ei dafod allan o'i geg, yna cymmerodd un o'r lleill afael ynddo, ac a'i torodd ymaith â'i gyllell, cyn belled ag y gallai. A gwnaethant yr un fath i'r brawd arall.

---

GWALLAU yn Rhif. 82, tu dal. 122, col. 2, llin. 6, o'r gwaelod, yn lle *eirionaidd* dar. *eiriunaidd.*—Yr un tu dal. llin. 3, o'r gwaelod, yn lle *tymhestlau* dar. *tymhestloedd.*—Tu dal. 123, col. 1, llin. 8, yn lle *ordöed* dar. *ordoid:* llin. 20. yn lle *goblygiau* dar. *goblygion.* -Tu dal. 124, col. 1, llin. 11, yn lle *bonllefau* dar. *banllefau:* col. 2, llin. 13, yn lle "*torch dynu*" dar. "*torch dàn i'w thynu.*"

# Y GWYLIEDYDD.

## MAI, 1830.

### ORIAU YSGRYTHYROL.

JONAH i. 4, 5. "*Cyfododd gwynt mawr yn y môr.... yna y morwyr a ofnasant, ac a lefasant bob un ar ei dduw.*"—Yma y canlyn hanes môr-ymdaith a ddigwyddodd i ymdeithiwr diweddar, Mr. Buckingham, wrth forio rhwng Canaan a'r Aipht, a pha foddion a arferodd y llongwyr i ddiogelu eu hunain trwy eu hymdrechiadau, ac hefyd gweddïau ar eu saint.

"Peidiasai y gwynt croes dwyreiniol a chwythu yn yspaid y nos, a daethai yn y boreu dawelwch mawr. Y morwyr, gan ddysgwyl i'r gwynt newid o'u hochr, a ddaethant i lawr i'r *caban*, ac a ddechreuasant weddïo yn dra gostyngedig, a phenlinio o flaen *lamp*, yr hwn a losgid ganddynt yno yn wastad i St. Sior, yr hwn oedd eu noddwr priodol. Tra y gweddïent, offrwment arogl-darth o flaen yr allor; ac ar godiad haul dygwyd thuserau o amgylch y llong, fel y pêr-aroglid pawb â'r arogl sanctaidd, &c.

"Lleihasai y gwynt drachefn yn y nos, ac yr oedd tawelwch ar doriad y wawr. Diffoddasai lamp y caban, trwy esgeulusdra y bachgen, dyledswydd yr hwn oedd edrych ato; a chyfrifodd y morwyr y gwynt croes a'r tawelwch i bechod echrydus y bachgen yn gadael i'r lamp sanctaidd ddiffoddi. Bu yn y fan gythrwfl ac ymdaeru trystfawr pan wybuwyd y cyfryw anffawd gofidus; a barnai rhai ddeilliaw o hono oddiwrth fy mhresennoldeb i, yr hwn oedd heretic diffaeth (canys perthynai y morwyr i'r eglwys Roegaidd) a thybiais mai goreu i mi oedd ymddangos megys pe byddwn heb eu deall. Dychwelasant drachefn bob un at eu gweddïau, ac ail oleuwyd y lamp, a gosododd y Cadpen yn ei ymyl ef lun St. Sior yn lladd y ddraig, megys ychwanegiad at y rhinwedd. Aberthwyd arogl-darth lawer o'i flaen, a llanwyd y caban oll â mwg, fel yr aeth yn anhawdd i'r addolwyr barhau i weddïo yno, ie, gyd â llawer o besychu mynych. Etto parhâu a wnaeth y gwynt croes, ac ychwanegu hefyd, fel yr aeth digofaint a siomedigaeth y morwyr yn drech i'w duwioldeb; a chymmerasant y bachgen druan, ac wedi ei rwymo, fflangellasant ef yn dost. Pob un o'r dwylaw, gan dybied ei hun yn gwbl ddieuog, a brysurai i daro yr ergyd cyntaf; ac felly fflangellu a wnaethant yn drwm, bawb yn ei drefn, hyd oni ddaeth ceginwr *(cook)* y llong ym mlaen i orphen y gospedigaeth. Pan gododd efe ei fraich i fynu, dywedodd y bachgen wrtho, "Os tarewch fi, mi a'ch bradychaf chwi." Ymattaliodd y ceginwr yn ebrwydd, etto, drwy gymhelliad y lleill, taro y bachgen a wnaeth yn y diwedd.

Pan ollyngasid y bachgen yn rhydd, taer-ofynodd pawb arno eglurhâu meddwl ei fygythiad. Hyn a wnaeth, i'w dirfawr ddychryn hwynt. Dyddiau ympryd caeth oedd y dyddiau hyny gan yr eglwys Roeg, pryd y cyfrifir yn dra phechadurus, nid yn unig archwaethu dim cig, ond hyd yn nôd arogli ei sawr. Tra y parotoai fy ngwas giw i mi y noswaith o'r blaen, arferasai, yn ddifeddwl, yn y bwyd-driniaeth, lwy bren oedd yn perthyn i'r llong. Y ceginwr drachefn, yn ddiwybod, a gymmerasai y llwy, pan oedd brâs-nôdd y cig arni, i droi cwynos y morwyr, yr hwn oedd yn berwi mewn crochan ar y tân. Canfuasai y bachgen y weithred, a brawychasai yn fawr wrth y golwg; eithr, ar ddeisyfiad a bygythiad y ceginwr, celu a wnaeth; ac felly arweiniwyd yr holl ddwylaw, yn ddifeddwl, i wneuthur pechod tra ysgeler; hyny yw, bwyta dysglaid o ŷd berwedig, yr hwn a droisid gan lwy ireiddlyd, yn yspaid un o ben-ymprydiau eu heglwys. Trosedd oedd hwn gwaeth fyth na diffoddiad y lamp, a thebycach i ennyn digofaint dwyfol: ond yn gymmaint a'u bod hwy oll yn gyd-gyfranogion o'r un ysgelerder, gostyngasant eu penau mewn gofid a rhith o edifeirwch; a'r cyfryw oedd eu cywilydd, bob un drosto ei hun, fel y gadawsant y ceginwr yn ddigosp, &c.

"Gadawsai yr awel ni drachefn, a daethai tawelwch annymunol. Edrychai pawb, gyd â mawr dristwch calon, tu a'r cwr y deisyfent i'r gwynt chwythu o hono. Gweddïent yn fwy gwresoglawn a diwyd nag o'r blaen; ac ni feiddiai neb na bwyta nac yfed, nac ymaflyd mewn rhaff neu yn y llyw, heb yn gyntaf groesi ei hun, a chyfeirio at bum archoll y Messïah yn ei gorph ei hun. Llawer hefyd a gusanent luniau y saint wrth weddïo o'u blaen; a llenwid pob rhan o'r llong âg arogl-darth. Aethant ym mlaen i gasglu arian gan bawb yn y llong, Mahometaniaid, Hereticiaid, a Groegwyr union-gred, er rhyw eluseni pan elent i dir: ac yna crogasant yr arian i fynu mewn pwrs, er caffael y gwynt dymunol trwy gyfryngdod y saint.

"Aeth y diwrnod hwn heibio, ond parhâu a wnaeth y tawelwch, er maint yr ychwanegent eu gweddïau, a'r arogl-darthiad o flaen y lluniau sanctaidd. Pan oedd pob calon erbyn hyn yn ddiobaith, taflodd y Cadpen hesg-we drosodd i'r môr, a chinyniach hesg-we arall arni, y rhai a roddwyd ar dân, fel y gallent farnu, oddiwrth eu dull yn llosgi, pa un a wrandawai Duw ai peidio ar eu gweddïau. Digwyddodd i'r fflam losgi yn loyw, a mawr oedd eu llawenydd yn ei gweled. Yn yspaid awr chwythodd awel ddymunol, codwyd i fynu yr hwyliau, a dechreuodd y llong nofio tu a'i phorthladd yn eithaf hoywych.

"Eithr byd helbulus yw hwn, ac ansicr yw eu holl ddedwyddwch. Cododd i fynu wynt croes mewn ychydig amser, daeth cyffro mawr yn y môr, a thymhestl enbyd, fel y tybygwyd y drylliai y llong. Daeth yr ymdeithwyr oll, Tyrciaid, dynion duon, a Christionogion i'r caban, lle y gorweddent y naill ar y llall, ac agos a mygu ynghyd. Taflasom i'r môr yr holl ddodrefn, a'r marsiandiaeth, y rhan fwyaf o'r lluniaeth, megys ŷd a reise, er ysgafnhâu y llong. Ni arbedwyd dim gwerthfawr, os pwysig oedd, heb ei daflu i'r môr."

Diwedd yr hanes yw, iddynt y boreu nesaf weled y tir, a chyrhaedd y porthladd yn ddiangol.—Gweled y darllenydd i'r morwyr hyn, megys cymdeithion Jonah, gyfrif y dymhestl i drosedd rhyw un o'r ymdeithwyr, ac yn eu gwaith o ymddiogelu rhag ymgyrch y gwyntoedd, nid anghyffelyb oedd-

ynt yn eu harferion. Gweled hefyd waeled yw crefydd y Groegiaid, a chydnabyddod, gyda diolchgarwch, ei ragor-freintiau ysprydol ei hun.

ADN. 17. "*Bu Jonah ym mol y pysgodyn dri diwrnod a thair nos.*"—Yr hyn a ddigwyddodd gynt i'r eglwys, yn gyffredinol, a ddigwyddodd iddi er esampl i bob eglwys neu gynnulleidfa Gristionogol. Felly, yr hyn a fu i'r prophwydi gynt, a ddilynwyd gan Grist ei hun, fel yr eglurid ef yn Fab Duw, trwy ei gymharu ef â'r sawl fuasai hynotaf yn yr eglwys o'i flaen. Dengys hyn i ni y rheswm am lawer o bethau rhyfedd ac annysgwyliadwy a fynegir yn yr Hen Destament. Ym mhob hanes arall, rhyfeddem yn fawr wrth glywed am ddyn a fuasai mewn bol pysgodyn, ac a fwriasid allan yn fyw; eithr, os edrychwn ar yr hyn a ddigwyddodd i Jonah, megys cysgod o ddychweliad Iesu Grist o feirw, er iechydwriaeth y byd, ymddengys ei hanes yn gymmwys a rhesymol; canys gweddus oedd i beth mor bwysfawr ag adgyfodiad Crist ymddangos megys gweithred a ragluniasid yn nghynghorion Duw, ac, yn ganlynol, byddai dynion yn barotach i'w gredu. Nid er ei fwyn ei hun yr achubwyd Jonah, ond er arwydd i bobl Dduw, fel y dysgent y gwir, a'r moddion a rag-drefnasid i hwylio ym mlaen fuddugoliaeth Mab Duw ar angau a'r bedd.

PEN. iii. 7. "*Dyn ac anifail, eidion a dafad, na phrofant ddim.*"—Trwy ymarbed oddiwrth ymborth, yr ydys yn arwyddo ein bod, dan ymsyniad o ddigofaint Duw, yn cyfaddef ein hunain yn annheilwng o'n lluniaeth beunyddiol. Yn amryw wledydd parent i'w hanifeiliaid gadw yr un ymarbediad ar achosion anghyffredin.* Felly, y'mhlith y Persiaid, pan laddwyd un o'u pen-capteiniaid, eilliwyd y ceffylau a'r mulod cystal a dynion eu hunain. Yn y *Canaries* a *Peru*, yn amseroedd sychder mawr, cauent i fynu eu defaid a'u geifr, heb roddi iddynt ddim ymborth, gan hyderu y gwnai eu brefiadau uchel gyrhaedd y nefoedd, a pheri i Dduw roddi gwlaw i ddyfrhâu wyneb y ddaear.

PEN. iv. 7. "*Cicaion.*"—Ni chytunir pa blanhigyn a feddylir yma. Dywed rhai mai un a elwir yn awr El-kheroah, neu *Palma Christi;* yr hwn, ar lan dyfroedd, a dwf wyth droedfedd mewn pum mis. Eithr traddodiad Iuddewon a Christionogion yn Niniveh yw, mai planhigyn arall, El-kerra, oedd Cicaion Jonah. Y mae gan hwn ddail mawrion, a ffrwythau helaeth, a'i barhâd sydd am oddeutu pedwar mis. Tyfiad cyffredin hwn sydd agos i bedair modfedd mewn pedair awr ar hugain. Tebyg yw, fod tyfiad Cicaion Jonah yn wyrthiol, trwy drefniad goruchel Duw: ond rhaid addef fod rhai planhigion, mewn gwledydd poethlyd dwyreiniol, yn enwedig ar lan dyfroedd, mor fuan eu tyfiad, fel y cyfrifid yr hanes am danynt yn anghredadwy genym ni.

---

## LLYFR EXODUS.

(*Parhad o du dal.* 138.)

GWNAETH hen awdwr Iuddewig ddau o sylwiadau synwyrgall a chlodfawr iawn ar blâau yr Aipht. "Gofyna rhai (eb efe) paham y cospodd Duw yr Aiphtiaid trwy offerynau cyn waeled a llyffaint,

---

* Hysbys i'n darllenyddion dysgedig, yw y modd y darlunia *Virgil* y galar cyffredinol ar farwolaeth Julius Cæsar.

Non ulli pastos illis egere diebus
Frigida, Daphni, boves ad flumina, nulla neque amnem
Libavit quadrupes, nec graminis attigit herbam.

llau, a gwybed, ac nid trwy ddanfon bwystfilod cadarn-gryfion, megys llewod ac arthod, i'w difa. Ond gwybydded y gwrthwynebydd mai ewyllys Duw oedd ceryddu a diwygio, nid llwyr ddyfetha y trigolion; a phe chwennychasai eu dinystrio yn hollol, hawdd fuasai iddo ddanfon arnynt, nid bwystfilod, eithr newyn a haint.—Drachefn, ystyried efe, mai arfer dynion yw dewis y cynnorthwywyr mwyaf nerthol yn eu rhyfeloedd; eithr nid oes ar Dduw Hollalluog eisieu dim cymmorth wrth ymdrin â'i elynion, ac os ymostwng efe i arferu moddion i geryddu, nid y cryfaf a ddewisa efe, o herwydd eu mawr rymusder, eithr y gwaelaf a'r mwyaf dirmygedig, ac efe a rydd i'r pethau dirmygus hyn allu i ddarostwng i'r llwch y balchaf o'r sawl a droseddant yn ei erbyn."

Daeth pla y llyffaint, megys y cyntaf allan o'r afon ddwyfol, yr hon yr hyderent hwy arni megys ffrwd sanctaidd, a haeddiannol o addoliad. Llygrwyd ei dyfroedd eilwaith er mawr anghlod i'w duwiau a'u hoffeiriaid. Halogwyd yr holl wlad, tai pendefigion, a themlau y duwiau, gan greaduriaid oedd atgas yn eu golwg, a'r rhai a'u hanghymmwysent hwynt hefyd i bob gwasanaeth crefyddol. Pa un a fyddai yr hen Aiphtiaid yn addoli llyffaint nid yw yn gwbl eglur; eithr nid anghytun â defodau Paganaidd oedd addoli yr hyn a gasaent neu a ofnent, cystal a'r hyn a garent. Peth cwbl gyffredin oedd addoli y pethau mwyaf drwg a ffiaidd rhag eu hofn, neu o herwydd mai atgas oeddynt. Dilys yw yr argreffid llun llyffaint ar golofnau cyssegredig i'r haul. Edrychid hefyd ar lyffant megys arwydd-lun o'r sawl a gynnysgaeddasid âg ysbryd prophwydoliaeth. Chwyddiad y llyffant a ddarluniai iddynt hwy y sawl a chwyddid gan ysbryd prophwydoliaeth. Tybygir fod cyfeiriad at yr ofer-dyb cyffredinol hon yn y Datguddiad. Gwelodd St. Ioan "*dri ysbryd aflan, tebyg i lyffaint.*" Os oedd llyffaint gan hyny yn barchus gan yr Aiphtiaid, ac yn arwyddluniau dirgeledigaethau crefyddol, mwy cymmwys o lawer oedd eu gwneuthur yn offerynau cospedigaeth.

Pla y llau oedd yn fwy annyoddefol i'r Aiphtiaid, o herwydd eu mawr lanweith-dra, a'r puredigaeth allanol a arferent hwy yn eu cyrph a'u dillad. Tra mawr y gofalent na byddai dim llau yn eu dillad, o herwydd fod y cyfryw yn halogi eu temlau. Ni wisgai eu hoffeiriaid ddim dillad oddigerth o liain, a gofalent am olchi y rhai'n yn fynych, a'u cadw bob amser yn eithaf glân. Gwisgai y werin, neu y bobl leyg, ddillad o wlân ar y rhai lliain, eithr gadawent heibio y rhai cyntaf pan elent i mewn i'w temlau, ac hefyd ar gladdedigaethau. Dywed hen hanesydd yr eilliai yr offeiriaid eu penau a'u cyrph bob trydydd dydd, rhag i leuen, neu bryfyn o'r fath, eu hanghymmwyso i aberthu i'w duwiau. Da iawn a fuasai, pe buasai eu haddoliad oll yn cyfateb i'r un allanol; eithr, ysywaeth, nid oedd defodau crefyddol un genedl mor aflan a dirmygedig ag eiddo yr Aiphtiaid. Y glanweithdra allanol oedd ddim amgen na chochl i guddio y bryntni mwyaf bwystfilaidd. Cymmwys iawn, ynte, y gosodwyd arnynt gospedigaethau o'r fath hyn, o herwydd eu bod yn cyfrif grym duwioldeb i lendid allanol, pryd yr esgeulusent bethau gwir bwysig. Y cyfryw oedd cymmwysder, a thoster hefyd, y pla, fel nad allai y swynwyr gammgymmeryd ei amcan. Rhag-grybwyllasid i Pharaoh fod y plâau o'r blaen yn dyfod arno, ac *am ba achos;* eithr ni rybuddiwyd mo hono ynghylch hwn. Gwybu y swynwyr er hyny ei achos, ac o

ba le y tarddai, a llefasant allan, "Bys Duw yw hyn."

Gorchymynwyd i Moses ragfynegu i Pharaoh bla y gwybed, pan oedd yn boreu rodio ar lan yr afon, ac, ysgatfydd, yn rhoddi iddi y pryd hwnw ei addoliad beunyddiol. Dygwyd y gwybed hyn dros yr holl wlad, yn lliosog iawn eu nifer, ac yn annyoddefol eu brathiad. Arferai yr Aiphtiaid addoli rhai duwiau, o herwydd mai eu swydd hwynt oedd gyru ymaith y gwybed sydd bob blwyddyn yn blino y trigolion. Rhag i'r duwiau hyn gyflawni eu swydd yn ammherffaith, addolent hyd yn nod y gwybed hefyd. Ymwasgarodd yr addoliad hwn i wledydd gorllewinol, lle y gwasanaethai pobl anwybodol y *duw gwybedyn*, ac ar *lun gwybedyn*. Os y cyfryw oedd addoliad yr Aiphtiaid, pa foddion cymmwysach a allesid eu harferu i'w cospi na'r gwrthddrychau a anrhydeddid ganddynt â pharch crefyddol. Er fod ganddynt dduwiau, duwiau penodol i'r swydd arbenig hon, ni fedrent eu gwaredu, ac aethai rhinwedd pob swyn, a gallu pob gau dduw, yn ddirym o flaen JEHOFAH.

Dalier sylw, er fod gwybed yn lliosog iawn, ac yn fath o bla blynyddol yn yr Aipht, mai nid ar y rhan hon o'r flwyddyn y deuent yn gyffredin, a bod eu hymddangosiad y tro hwn yn gwbl wyrthiol. A threfnwyd hefyd y pryd hwn eu terfynau, y rhai a gadwant (medd ymdeithwyr) hyd y dydd presennol. Syrthiasai y plâau ereill ar yr Israeliaid cystal a'r Aiphtiaid: ond nid oeddynt cyn dosted a'r rhai a'u dilynodd. Yr oeddynt yn ddigon trwm i ddangos i blant Israel, mai nid lledrithiog oedd y gweithrediadau hynodfawr hyn; ac oni buasai iddynt eu teimlo, prin y credasent mai gwirioneddol oeddynt. Gallasai Pharaoh a'i weision, o'r tu arall, dybied nad oedd y barnedigaethau hyny wedi eu danfon arnynt hwy yn neillduol, gan fod pobl Dduw, Israel eu hunain, yn gyfranog o'r unrhyw. Felly gosodwyd o hyn allan wahaniaeth rhwng y ddau bobl. Byddai yr Israeliaid fel hyn yn fwy diolchgar am eu gwaredigaeth, a gwelai yr Aiphtiaid yn eglurach pwy yn arbenig a fynai Duw eu ceryddu; ac mai yr unrhyw Ben-Llywydd Dwyfol, yn ol ei ewyllys ei hun, oedd yn cospi ac yn cadw. Buasai y gwybed hyn hefyd yn fwy annyoddefol i blant Israel, o herwydd eu bod hwy yn perchen mwy o anifeiliaid, gwarthog, &c. na'r Aiphtiaid. Un peth a wnai eu harbediad yn fwy hynodfawr, sef bod eu trigfa hwy, yn Gosen, yn ddernyn main o dir yn rhedeg rhwng preswylfeydd yr Aiphtiaid, ac felly mwy annhebyg yn ngolwg dynol oedd eu gwaredigaeth hwynt rhag y pla. Ond er hyny gwelwyd mai dichonadwy i'r BOD Hollalluog, yr hwn a'u danfonasai, oedd eu cadw yn gwbl yn y trigfeydd, lle y dymunai gospi y preswylyddion. Rhyfedd yw, mai gwlad Gosen hyd y dydd hwn yw diogelfa gwartheg yr Aipht yn nhymmor blynyddol y gwybed, ac yma y ciliant pan fyddo eu cartref cyffredin yn rhy annyoddefadwy ganddynt.

Ymddengys, fe allai, yn rhyfedd i ambell un fod pla gwybed mor anhawdd ei ddyoddef. Anghredadwy y tybir gan lawer Cymro mor dost yw brathiad gwybed mewn rhai gwledydd poethlyd dyeithrol. Rhydd ysgrifenyddion hanes am bobl a orfu arnynt ymadael â'u gwlad enedigol o herwydd gwybed, a myned ymaith yn un haid i geisio cartref arall. Gorfu i *Trajan*, Ymerawdwr tra milwraidd, ymadael â dinas o Arabia, y buasai yn hir warchae arni, yn unig o herwydd y blinid y milwyr gan wybed mewn modd anoddefadwy.

Dywedir i fordwywyr yr *Helandiaid* gyrhaedd ynys bellenig, lle y rhuthrwyd arnynt gan gyfryw heidiau o wybed, fel y gorchuddiwyd hwynt ganddynt yn y fan, o wadn y troed hyd y coryn. Ymddangosai eu holl ddillad megys yn fyw. Pob un a brysurai i amddiffyn ei ddwylaw, ei wyneb, a'i lygaid, a braidd y medrent fwyta neu yfed heb lyngcu hefyd rai o'r gwybed. Hawdd fyddai adrodd allan o ysgrifeniadau ereill, hanes y gwybed a elwir y *mosquitos*, y rhai ni adawant i ddynion orphwys liw nos, o herwydd eu brathiad tost iawn, a'r archollion parhaus a wnant ar gyrph y truain-ddynion, y rhai yr ysglyfaethant arnynt.

*(I'w barhâu.)*

---

## Y CWPPAN ERCHYLL.

*(Cup of Trembling.)*

Hyspysir i ni, gan awduron Iuddewaidd, pan fyddai drwgweithredwyr yn cael eu dienyddio, yr oeddid yn arferol o roddi iddynt ychydig thus mewn cwppanaid o win i'r dyben o leihâu eu poenau, a marwoli teimlad eu gloesion; a rhoddwyd i'r cymmysgedd hwn yr enw "*cwppan erchyll,*" efallai am y cymmerid ef â llaw grynedig a chalon lorf. Cyfeirir at y ddefod hon pan y dywed yr Hollalluog, mewn trugaredd i bobl wrthryfelgar Jerusalem, "Wele, cymmerais o'th law y cwppan erchyll." *Esa.* 51. 22. Yr hyn a arwyddoccâ arbedu o'r Arglwydd hwynt ym mawredd ei drugaredd, pan yr oedd barn gyfiawn Duw yn barod i ddial arnynt am eu pechodau. Canfyddwn hefyd fod y "*cwppan erchyll*" wedi ei roddi i'n Hiachawdwr cyn ei groeshoelio. "Ac a roisant iddo i'w yfed win myrllyd; eithr efe nis cymmerth." Wrth nacau ei yfed, dangosodd Crist ei lawn fwriad i beidio a chyffwrdd â dim a allasai bylu ei deimladau naturiol; ond penderfynodd ymweled âg angau yn ei holl ddychrynfeydd, ac felly amlygu ei lyniad diysgog at y gwirionedd, dros yr hwn yr oedd efe i ddyoddef. C—.

---

## ARDDERCHOG LU Y MERTHYRON.

Bod llawer iawn o bobl, yn yr oes a'r wlad hon, yn dwyn mawr zel i grefydd nis gellir ei wadu; ond ni fedraf lai na chanfod un arwydd annymunol ar y rhan fwyaf, sef eu diystyrwch o'r sawl a fu yn hynod o barth ffyddlondeb Cristionogol, a'r dystiolaeth dda a ddygasant yn y dyddiau gynt. Enwau miloedd o'r cyfryw ni chofir mwy, oddigerth yn *llyfr y bywyd.* Yno yn wir, mewn llythyrenau annileadwy, y cedwir eu henwau, ac y cyhoeddir gyda chanmoliaeth yn nydd mawr y gwobrwy. Eithr hanesion eraill o honynt a draethir yn fwy neu lai mewn ysgrifeniadau; a buddiol fyddai i ni eu darllen, a myfyrio arnynt megys esamplau. Dyma yr addysg a fwriadodd yr Eglwys Sefydledig i ni ei gasglu pan osododd wyliau penodol er coffhâu yr Apostolion a Merthyron eraill; nid er eu haddoli, megys y mae arfer y Papistiaid. Anhawdd, yn wir, yw darllen y fath hanesion heb fuddioldeb, a derbyn i'n hunain ryw faint o'r gwres crefyddol a oedd mor hynod ynddynt hwy. Darllener, yn ail lyfr y Maccabeaid, hanes y Fam* a'r saith o feibion ffyddlonwych yn marw dros eu crefydd yn y poenau mwyaf gofidus; ac ni ddichon i neb, tybygwn, lai na chanmol eu dewrder duwiol, a moliannu gras Duw, yr hwn a alluogodd gig a gwaed i oresgyn y cyfryw arteithiau. Darllened, o'r tu arall, hanes marwolaeth yr erlidiwr Antiochus, a gwelir mai y Fam a'i

---

* *Salmona* y gelwir hi gan Josephus.

meibion a ddewisodd y rhan dda, ac mai diwedd annymunol a drwg yw diwedd yr erlidiwr. Bu farw, fel Herod ar ei ol, yn cael ei fwytta gan bryfed, ac yn ffiaidd yn ngolwg Duw a dyn.

Felly Prophwydi, a duwiolion ereill dan y ddeddf, a ddyoddefasant ferthyrdod; at y rhai y cyfeiria St. Paul yn dra anrhydeddus yn ei Epistol at yr Hebreaid. Eithr ychwanegwyd cynhauaf y Merthyron yn dra mawr dan yr efengyl. Yn ngweddi olaf Stephan dros ei elynion, a'i hûn dawel yn yr Arglwydd, gwelwn ysbryd maddeugar yr efengyl, a'i haddasrwydd i ddyddanu dyn mewn bywyd ac angau, a bod ganddi yn wir addewidion y bywyd hwn a'r bywyd sydd i ddyfod.

Y rhan fwyaf o'r apostolion a seliasant yn olynol wirionedd eu tystiolaeth gyd â'u bywydau. Rhoddir hanesyn rhyfeddol am farwolaeth St. Iago. Ei gyhuddwr oedd ddyn penboeth ffyrnigaidd, a chanlynodd ef i'w ddienyddiad: eithr pan welodd yr apostol yn ymddwyn mor llariaidd a gwrol, goleuwyd ei feddyliau yn y fan, ac efe a syrthiodd wrth draed yr apostol gan ddeisyf ei faddeuant. "Tangnefedd i ti," eb St. Iago, gan ei godi i fynu; cyfaddefodd y dyn ei hun yn Gristion, a dienyddiwyd ef gyd â'r apostol.

Rhagfynegasai Crist yn bendant na ffynai pyrth uffern yn erbyn ei eglwys; ac felly ni a'i gwelwn yn ffynu trwy dân, a chleddyf, ac erlidigaeth, a phob gwrthwyneb pendefigion daearol. Ardderchog yn wir oedd yr achos; ond pwy a alluogodd y tystion hyn i ddyoddef y cyfryw boenau? Yr Ysbryd Glân: ie, rhoddodd iddynt nerth i ddyoddef gyda pharodrwydd a sirioldeb, gan lawenychu o herwydd y cyfrifid hwynt yn deilwng i ddyoddef er mwyn enw Crist. Gwragedd, ie, plant, a ddyoddefasant angerdd y tân heb un waedd; yn siriol yn y fflamau, ac yn diystyru y gwaradwydd, y gwres, yr arteithglwyd, a'r bwystfilod gwylltion.

Gofidus yw hyd yn nôd darllen hanes eu dyoddefiadau ar rai amseroedd. Cynnullid ynghyd bawb a arddelwent eu hunain yn Gristionogion yn y fro hono. Gosodid poenau araf i farwolaeth ar rai; lleddid tyrfaoedd ynghyd ar dro arall; gwnaed coelcerthau mawrion, i'r rhai y taflent filoedd o Gristionogion; neu rhwyment gerig wrth eu gyddfau a bwrient hwy i'r môr. Yn amryw fanau, deuai gwragedd ym mlaen yn wirfoddol at y barnwyr; ac wedi proffesu eu hunain yn Gristionogion, safent yn agwedd gweddïo o flaen y frawdle yn ddi gadwyni; ac ymostyngasant i'r tân, a'r cleddyf, a'r bwystfilod. Un gwr ieuangc, dan ugain mlwydd oed, a safodd i'w ddryllio gan fwystfilod, y rhai nis gellid braidd eu hannog i ymosod arno. Wedi llidio o'r erlidwyr darw gwyllt â haiarn poeth, a'i yru tu a'r gwr ieuangc, trodd y tarw yn ddisymwth arnynt eu hunain, ac a'u harchollodd a'i gyrn.

Mynega haneswyr amryw wyrthiau rhyfeddol y rhai a wnaethpwyd yn yr amseroedd blindost hyn. Ond pa wyrthiau rhagorach a allai fod na'r cynnorthwy dwyfol, trwy yr hwn y nerthwyd y merthyron hyn i ddyoddef y cyfryw ddygn ofidiau? Rhyfedd hefyd, ie gwyrthiol mewn un golwg, oedd y newidiad a wnelsid ar y merthyron eu hunain. Pwy a welwn ni fel hyn, yn lân eu calon, ac yn sanctaidd eu hymarweddiad, yn dyoddef yn amyneddgar, ac yn maddeu, ac yn gweddïo, dros eu llofruddwyr? Llawer a fuasent gynt yn rhagori ar ereill mewn ffyrnigrwydd a chreulonder, yn nawswyllt, a dialgar, ac aflan. Beth a barasai y newidiad? Ysbryd Crist. Yr Ysbryd hwn a wnaethai yr aflan yn sanctaidd, y

nawswyllt yn heddychlon, y ffyrnigaidd yn faddeugar a charedig hyd yn nôd i'w elynion. Ni fedrai eu herlidwyr gwaedwyllt athrodgar lai na synu wrth y golwg; a chan ryfeddu wrthynt, llefent allan, "Gwelwch fel y mae y Cristionogion hyn yn caru eu gilydd!"

Pan oedd ffyddlon ddysgyblion Crist yn myned ar hyd eu ffordd ddiweddaf yn llawen, argraffwyd, amryw weithiau, y cyfryw nodau o ddwyfol ddigofaint ar eu herlidwyr, fel nad allai neb eu cam-gymmeryd. Un o'r erlidwyr mwyaf creulon-wyllt oedd yr Ymerawdwr *Maximin*; a pharhâu a wnaeth yn ei yrfa felldigedig hyd oni attaliwyd ef gan law yr Hollalluog. Ei afiechyd diweddaf oedd yn gyfryw fel na fedrai dim meddyginiaeth ei iachâu. Gwywodd ei gnawd arno, a dyferodd yn ddarnau oddiar ei esgyrn, megys pe rhostiasid ef wrth dân araf; neidiodd ei lygaid o'i ben gan wir boen; ac o'r diwedd cydnabyddodd law oruchel Duw arno, a llefai allan yn ei ing, "*Nid myfi ond eraill a'i gwnaeth.*" Gorfu, o'r diwedd, iddo addef ei euogrwydd, a deisyf nodded yr Iesu hwnw, yr hwn, cyn hired, a erlidiasai, a chrefydd yr hwn a geisiasai ei dileu oddiar y ddaear.

(*I'w barhau.*)

---

## Y CABLWR.

Pan oeddwn unwaith yn marchogaeth mewn parth o'r wlad, ym mhell o'm trigfan cartrefol, canfyddais ddyn yn tramwy yn ol ac ym mlaen ar hyd y brif-ffordd mewn modd gwallgofus, gan blethu ei ddwylaw, a chan wylo yn chwerw. Amrai o'i gymmydogion oeddynt wedi ymgyrchu i edrych arno ef, a mynegasant i mi fod rhyw amgylchiad a ddygwyddasai y diwrnod o'r blaen, wedi cyffroi ei nwydau i'r fath radd nes y torodd allan i gablu mor ofnadwy fel y parodd i'r rhai caletaf o'r edrychwyr ofni a brawychu yn ddirfawr. Yn nghanol ei gabledd tarawyd ef yn fud; ac er iddo wedi hyny ymegnïo â'i holl nerth i daflu allan regfeydd a llwon yr oedd ei lais wedi pallu; a phan welais i ef yr oedd heb ei adferu iddo. Dynesais at y truan, a gofynais ai gwir yr hanes a roddwyd i mi gan ei gymmydogion, a chefais ateb cadarnhâol drwy arwyddion. Dymunais arno fy arwain i'w dŷ, yr hyn a wnaeth, ac yno gwelais ei wraig a'i blant yn y gofid mwyaf. Cadarnhasant wirionedd yr hyn a glywais, a dangosasant amlygiadau eglur o'r cyfyngder yr oeddynt ynddo, oblegyd y farnedigaeth a oddiweddasai y gwr a'r tad. Cyfarchais yr adyn yn fyr ar ysgelerder y pechod a enynasai ddigllonedd yr Hollallnog; ac ymdrechais i ddangos iddynt oll y pechadurusrwydd o fyw heb ofn Duw, gan fod amryw amgylchiadau yn rhoddi sail rhy gadarn i gredu eu bod wedi gwneuthur felly hyd yn hyn. Annogais hwynt i gydymgrymu â mi wrth orseddfainc gras, tra y cydnebais drostynt hwy gyfiawnder yr ymweliad hwn, ac erfyniais am faddeuant a chymmorth i'r cablwr. Wedi ymgodi oddiar ein gliniau, cynghorais yr adyn cableddus i ddyrchafu ei galon yn ddibaid at Dduw, i ymbil am ddilëad o'i gamwedd yn ymarfer yn wastad â chablu a thyngu, ac am iddo Ef roddi tystiolaeth ei fod wedi maddeu iddo drwy adferu ei allu i lefaru. Gorchymynais iddo hefyd, os gwelai Duw yn dda roddi rhyddhâd iddo, gyfaddef yn ostyngedig ei bechod, a mawrygu trugarowgrwydd y Bod hwnw a ddigiwyd gymmaint drwy ei gablau ef. Wedi hyny, gadewais hwynt; a thranoeth, pan ddychwelais drwy y Llan, lle yr oedd y dyn hwn yn preswylio, daeth genethig fechan ataf, a gwaeddodd, gyda gwedd siriol, "Syr, gall fy nhad siarad

heddyw. A welwch chwi yn dda ddyfod i'w weled?" Derbyniais ei gwahoddiad yn ebrwydd, a dilynais hi tu a thŷ ei thad mewn syndod difrifol. Ni leihâwyd fy syndod pan aethum i'r tŷ, a'm croesawu gan y dyn ei hun. Dechreuais ymddyddan âg ef, a dywedodd wrthyf, fod ei feddwl mewn trallod ac aflonyddwch annirnadwy o herwydd y braw yr oedd ynddo am gael ei daro yn fud, ac am fod y sylwadau a wneuthum i y diwrnod o'r blaen wedi ei gyffroi i ystyried yn neillduol echryslonrwydd ei bechod. Pan ddaeth y nos, ni weinyddodd na chysur nac esmwythdra iddo. Treuliodd oriau y tywyllwch mewn wylofain, ac erfyniadau taer am drugaredd; a phan yn ei wely nid oedd ond anesmwythdra iddo, gan ei fod yn ymdaflu o'r naill ochr i'r llall yn y cyfyngder dyfnaf. Mynych, ond ofer, oedd ei ymegnïad i siarad, nes y teimlai yn ddisymmwth fod yr attaliad wedi ei symud ymaith, fod ei dafod wedi ei ryddhâu. Neidiodd o'i wely, ymgrymodd wrth yr erchwyn, a defnyddiodd yr aelod a adferwyd i gyflawni gorchwyl na wnaethai erioed o'r blaen. Diau iddo ddatgan ei ddiolchgarwch yn hyawdl ac yn wresog, ac erfyn am nerth i ddiwygio yn ei ymarweddiad o hyny allan. Ni oddefais i'r cyfleusdra yma fyned heibio heb roddi iddo annogaethau ac hyfforddiadau cyfaddas. Cydymgrymais â hwynt drachefn o flaen Duw, ac offrymais aberth o foliant a diolch am y fath drugaredd anghyffredin ac anhaeddiannol. Pa un a fu cyfnewidiad ym muchedd y dyn ai peidio wedi i'r effaith cyntaf gael ei leihâu, ni chefais gyfleusdra i wybod, o herwydd gorfu arnaf adael yr ardal hòno, a dychwelyd i'm cartref fy hun."

Onid ydyw yr hanesyn uchod yn brawf eglur fod y Goruchaf weithiau yn gofwyo pechodau gwrthun ac erchyll â chospedigaeth ddisymmwth? Adroddwyd ef i mi gan weinidog ffyddlon yn yr Eglwys Sefydledig, yr hwn oedd berthynas i mi, ond yr hwn sydd wedi gorphwys oddiwrth ei lafur a'i ludded er's amser maith. Nid oes genyf yr ammheuaeth lleiaf am wirionedd yr hyn a fynegir, gan fod fy mherthynas hybarch yn wr geirwir, ac yn cashâu pob peth a dueddai at anwiredd. Mor ogoneddus yr ymddengys hwyrddigter Duw, pan ystyriwn fod cynnifer mil o'i greaduriaid beunydd yn cyffroi ei gynddaredd drwy eu cabledd, yr hwn efallai sydd erchylled a chabledd yr ysprydion colledig, a'i fod ef nid yn unig yn peidio eu hymchwel ar unwaith i'r tân annifloddadwy, ond hefyd yn eu diwallu â bendithion helaeth, ac yn gwylio drostynt â gofal mawr ei ragluniaeth. Un o'r beiau mwyaf gwrthun a dychrynllyd y'mhlith dynion ydyw y pechod o dyngu; yn erbyn yr hwn y cyhoeddir barn Duw yn ofnadwy. Etto preswylwyr moesog Ewrop, y rhai a ymarferant addoli yn nhemlau y Duw a gablant ac a ddianrhydeddant, ydynt euog o'r bai hwn yn gystal a thrigolion creulon-wyllt ynysoedd pellaf y ddaear, y rhai ydynt ar un pryd yn addoli delwau o waith eu dwylaw, a phryd arall yn eu distrywio.

Os dygwyddaf fyned dan gronglwyd tad doeth a haelionus, a chanfod y darpariadau helaethaf er diwallu, ymborthi, a gweinyddu, dedwyddwch i'w deulu, byddaf yn naturiol yn dysgwyl canfod yn ymarweddiad ei blant pob arwydd o anrhydedd, o gariad, ac ufudd-dod. Gwrandawaf yn ddyfal ar eu hymddyddanion er clywed pob amlygiad o edmygedd mabol a chariad serchogaidd. Fy llygaid a dremia ar eu gwynebpryd i weled gwên o hoff anwyldeb, ac edrycha am iddynt gydsynio yn siriol ac yn ebrwydd âg ewyllys eu tad. Gymmaint fy

ngofid pan y cyfarfyddaf âg ymddygiad hollol groes i hyn! Pan y canfyddaf blentyn yn ddystaw sarug, yn ateb yn ddirmygus, yn gwneuthur esgusodion disail, ac yn anufuddhâu gorchymynion ei dad, meddyliaf mai

Yr olwg gasaf ar y ddaear
Yw gweled plentyn anniolchgar;
O ddydd i ddydd mae'n ceisio tori
Calon dyner ei rïeni.

Mor drallodus fy nheimladau pan orfydd arnaf i fod yn dyst o'r anfoddlonrwydd, o'r anniolchgarwch grwgnachlyd, a'r llwyr ddideimladrwydd â pha rai y mwynhâ llaweroedd o'i blant fendithion haelionus eu tad cymmwynasgar: a phan y methaf eu clywed yn gwneuthur un coffhâd parchus o'i enw. Ond os y'mhellach y syfrdanir fy nghlustiau gan regfeydd dychrynllyd, a dywediadau dirmygus a chableddus, â pha rai yr ammharchant ef, ciliaf yn ol dros y trothwy mewn syndod a braw! Etto hyn, a gwaeth na hyn, a glywaf wrth rodio ym mysg y teulu i'r hwn y mae yr Hollalluog yn Dad. Pwy all ddirnad mor ddoeth y rhagddarbodaeth, mor gariadus y parch a'r ystyriaeth, mor amryfal a diddarfod y darpariadau, â pha rai y lluniodd ac y cynnysgaeddodd efe y drigfa ehang lle y preswylia cynnifer myrdd o'i blant a ymddibynant yn hollol arno ef! Etto disylw yw ei ddoethineb gan nifer lliosog o ddynion; yr haelioni â pha un y diwalla pob creadur â digonedd, a fwynheir gan yr anniolchgar, ac a wastraffir gan yr afradlon! Yr unig ad-daliad a dderbynia efe am ei gariad ydyw casineb neu esgeulusdra! A phrawf o hyn yw y sylw mai annichonadwy yw ymdeithio drwy na llan na phentref heb glywed enw sanctaidd y JEHOFAH yn cael ei arferyd gyda gwamalrwydd gan rai, a'i gablu a'i ddiystyru gan ereill. Parod er hyny yw pob troseddwr o'r trydydd gorchymyn i chwilio am esgusodion er lleihâu y bai gwaradwyddus o dyngu: ac er y dichon i'r cyfryw esgusodion lonyddu cydwybod dynion ag ydynt yn awyddus i gelu eu bryntni dan bob gorchudd, y maent yn gwbl ddisail ac anymddiffynadwy yn meddwl pawb a addysgwyd i wahaniaethu rhwng moesoldeb ac anfoesoldeb; ac nid allant lai na pheri braw ym mhob gwir Gristion. Pan y gwysir y cyfryw drueiniaid ger bron brawdle Crist, gwna eu hesgusodion fwyhâu yn hytrach na lleihâu trymder eu dedfryd ddyfarnol. "Mab a anrhydedda ei dad, a gweinidog ei feistr: ac os ydwyf fi dad, pa le y mae fy anrhydedd? oc os ydwyf fi feistr, pa le y mae fy ofn? medd Arglwydd y lluoedd wrthych chwi, *y rhai ydych yn dirmygu fy enw:* a chwi a ddywedwch, Ym mha beth y dirmygasom dy enw di?" Yr esgus yma o anwybodaeth, neu arferiad, a ddygir ym mlaen gan bob tyngwr—o'r "tyngwr sanctaidd," yr hwn a fritha ei ymddyddanion âg ambell i "Yn enw'r Mawredd — Yn enw'r Tad—Y Tad anwyl," &c. hyd at y cablwr gwrthun, yr hwn o'r braidd a dreulia awr heb daflu allan o'i enau melldigedig lwon a rhegfeydd uffernol. Ond y mae gwrthddrych, ystyriaeth o'r hwn a darawai dafod y cablwr yn fud, ac a'i gollyngai wedi hyny i glodfori ac i ganu mawl i Dduw. Y mae ffrwd a ddichon olchi yn llwyr hyd yn nod yr euogrwydd a lyna wrth y tyngwyr. Y gwrthddrych hwn yw Crist wedi ei groeshoelio, wedi dyoddef arteithiau annhraethadwy er darparu iawn dros bechodau yr holl fyd. Y ffrwd hon ydyw y gwaed a ddylifodd o'i ystlys sanctaidd ef. O dyngwr! gwel, a dysg i ochelyd rhag cablu mwy! Tyred, ymolch, a bydd lân. Ond gwylia rhag diystyru y gwahoddiad, a'th ddinystrio yn dragywydd.

*Cyfaill* W. H. H.

## Y MILDRAETHODYDD.

---

### Y TWRCI.

Y Twrci, yn ddiau, sydd adnabyddus, os nid i bob un o'n cydwladwyr, o'r hyn lleiaf i holl ddarllenwyr y Gwyliedydd. Dywed yr anianyddion diweddaraf, nad oes amrywiaeth yn nheulu y Twrci, oddieithr mewn maint a lliw eu plyf. Rhestrwyd unwaith yn y teulu hwn bedwar neu bump o amrywiaeth; ond gan na wneir hyny mwy, ni pherthyn i ni ysgrifenu y tro hwn oddieithr am y Twrci yn unig. Ni chydunir yn gwbl o ba wlad y daeth y Twrci. Y meddwl mwyaf cyffredin yw, mai o'r America y daethant. Dygwyd hwy gyntaf i Loegr, yn nheyrnasiad Harri VIII. o Mexico, yn Neheubarth America, fel y tybir, ar ol y flwyddyn 1521. Gwelir lluoedd o honynt ynghyd, yn wylltion, yn Ngogledd America hyd heddyw: a dywedir nad oes, fe allai, yr un aderyn gwyllt mor gyffredin a'r Twrci ar y cyfandir ehang hwnw. Cyrchant y dydd i'r coedwigoedd, ac yno ymborthant ar eu ffrwythau yn eu tymmor. Helir hwy gan yr Indiaid â chŵn. Canys, er y rhed y Twrci yn gyflymach na'r ci am dro, etto, y ci a barhâ i ymlid ar eu hol hyd nes y blinont; ac yna hwy a ehedant i fynu 'i bren, a goddefant i'r heliwr eu saethu, neu eu taro â phastwm, o un i un i'r ddaear yn farw. Nid yw yn angenrheidiol rhoddi darluniad manwl o'r Twrci: canys y mae noethni ei ben, tagellau ei ên, twrwlif ei lais, codiad ei gynffon, a llusgiad ei adenydd hyd y ddaear yn awr ac yn y man yn amser caru a magu, yn hysbys agos i bob un. Er ei fod yn codi ei blu, ac yn dwrdio llawer, ac yn ymddangos fel rhyfelwr; etto, nid yw ond ofnus a digalon: canys, os try plentyn arno, efe a ffy rhagddo. Nid oes fawr o bethau, os dim, yn cyffroi nwydau y Twrci yn fwy na dangos rhyw gadach neu ddilledyn coch iddo. Y mae cryn wahaniaeth yn lliw y Twrciod. Gwelir rhai yn ddu, fel y fran—ereill yn wynion—ereill yn felyn-goch—ereill yn llwydion—ac ereill yn frychion, a brithion. Yr iar a ddechreu ddodwy yn gynnar yn y gwanwyn, a dodwa lawer o wyau. Yr wyau ydynt wynion, a brychau duon yma ac acw ar hyddynt. Eistedd ar yr wyau, i'w deor, yn dda a chyson iawn; ac nid anfynych y deora bymtheg neu ddeunaw o wyau. Cywion y Twrciod, dros gryn dro, yn ein gwlad ni, ydynt y tyneraf o'r cywion; ac ni allant oddef gwlaw nac oerfel, er eu bod yn gallu byw yn nhgoedwigoedd Canada, y rhai a orchuddir âg eira am dair rhan o'r flwyddyn. Nid eisteddant, yn gyffredin, fwy nag unwaith yn y flwyddyn, er y denir hwy weithiau i wneuthur hyny ddwywaith. Clywais fod yn ddigon i'r Twrci sathru'r iar unwaith yn y tymmor i ffrwythloni yr holl wyau: ai gwir hyn, ni's gwn; mŷned yr ymofyngar wybod. Dengys y rhan amlaf o weithredoedd y Twrci nad yw gyfrwys na deallgar. Y mae yn hunanol a chynhenus. Gŵyr y rhan amlaf o'n cyd-wladwyr am ei gasineb at liw coch. Y mae modd arall i gyffroi eu holl nwydau drwg y naill tu ag at y llall. Canys os irir pen un o'r Twrciod â rhyw fudredd, yr holl Dwrciod ereill a ddechreuant ddangos llid a chreulondeb nid bychan tu ag ato, gan ei guro a'i faeddu hyd y gallont. Ac os irir pen dau geiliog Twrci, fel uchod, hwy a ymladdant hyd nes bont barod i syrthio i'r llawr, gan ddigofaint, diffyg anadl, a blinder.

Porthir y cywion ieuaingc gan rai â chawsion, a dail tafol wedi eu tori yn fan; ereill a ddefnyddiant y gardd lysieuyn a elwir *sives*. Megir llawer o honynt yn llawer o

Swyddau gogleddol Lloegr; a gyrir hwynt yn lluoedd, o lawer o gannoedd, i fynu i Lundain i'w gwerthu tua diwedd yr Hydref. Megir lluoedd o honynt ym mwthdai y llafurwyr a'r tlodion, yn Swyddau Norfolk a Suffolk, a'r rhai cymmydogaethol. Defnyddia y rhai a yrant y Twrciod i fynu i'r marchnadoedd wialen hir, à chadechyn coch wrth ei phen, i'w gyru; a hwn, oblegid eu casineb at liw coch, a bair iddynt weithredu yn ol dymuniad y gyrwr, yn gyffelyb fel y gwna fflangell i'r anifeiliaid pedwar carnol. Dywedir mai rhai Norfolk yw y rhai mwyaf yn y deyrnas hon, a phwysant o ugain i ddeg ar hugain o bwysau. Ymdeithwyr a ddywedant, y pwysant mewn rhai ardaloedd yn yr India Ddwyreiniol gymmaint a thriugain pwys.

R.

---

## RHEDEG AM FYWYD.

Digwyddodd, ychydig amser yn ol, fod mintai led liosog, o dan olygiad Meistriaid Lewis a Chlarke, yn mordwyo i fynu yr afon Missouri, y'Ngogledd America, er olrhain ei tharddiad, a rhoddi darluniad o'r wlad yn taro ar ei glanau. Un o'r fintai, o'r enw Colter, wrth ganfod minion yr afon yn llawn o dreigl Afancod, a ofynodd gennad i aros i'w hela, yr hyn a ganiatawyd iddo ef, ac un arall o'r enw Potts. Yn ystod eu mordwyaeth i fynu yr afon, digwyddodd i ymrafael gymmeryd lle rhwng Lewis a'i blaid, a llwyth o'r Indiaid a elwid troed-ddu, ac yn y canlyniad lladdwyd un o'r Indiaid gan Lewis. Nid oes unrhyw greaduriaid dan haul yn fwy llawn o ysbryd ymddial na'r Indiaid. Er ad-dalu eu sarhad, nid arbedant na thraul na llafur, wynebant y peryglon mwyaf; ac wedi cael i'w gafael wrthddrych eu dialedd, dygn-boenydiant ef â'r arteithiau tostaf a chreulonaf a all dyfais calon dyn ddychymmygu. Yr oedd Colter a Potts yn gwybod yn burion am lid yr Indiaid troed-ddu tu ag at eu plaid; am hyny hwy a osodent eu trapiau yn y nos, ac a'u cyfodent ar ben bore y dydd canlynol, ac am y gweddill o'r dydd hwy a ymguddient mewn gwrysg-goed oedd oddeutu glanau yr afon. Un diwrnod, mal yr oeddynt yn edrych y trapiau, mewn cilfach, oddeutu chwe' milltir oddiwrth y gangen hono o'r Missouri a elwir Jefferson's Fork, ac yn rhwyfo i fynu yr afon yn eu cwrwgl, clywent drwst mawr, tebyg i ddamsang anifeiliaid; ond yr oedd yn amhosibl iddynt wybod yn iawn beth oedd, o herwydd fod ceulenydd yr afon, o bob ochr, yn hynod o uchel, ac yn attal iddynt weled dim ar y lan. Mynai Colter mai trwst yr Indiaid oedd, ac mai gwell oedd iddynt droi yn ol, a ffoi am eu bywyd; ond cyhuddid ef gan ei gyfaill o fod yn ofnus, a haerai ef mai eidionau gwylltion oedd yr achos o'r swn: felly rhwyfasant y'mlaen. Y'mhen ychydig o funudau, fodd bynnag, symudwyd eu hamheuon, drwy ganfod heidiau o'r Indiaid troed-ddu yn amgylchynu y gilfach, y rhai a amneidient arnynt i rwyfo i'r lan. Yr oedd pob drws o ddiangfa yn awr wedi cau, a throes Colter ben y cwch tu a'r lan; a'r munud y daethant yn agos i dir, ysgubodd un o'r Indiaid y gwn oedd yn llaw Potts; ond Colter, am ei fod yn wr cadarn nerthol, a'i dygodd oddi arno, ac a'i dychwelodd i Potts, yr hwn, wedi ei gaffael, a wthiodd yn ol i'r dwfn. Yn uniongyrchol ar ol iddo ymollwng oddiwrth y lan, un o'r Indiaid a dynodd mewn bwa ac a'i saethodd: ar hyn y mae efe yn troi at ei gyfaill, ac yn dywedyd, "Colter, fe'm clwyfwyd." Yna dechreuodd Colter ei berswadio ef i beidio ffyrnigo

yr Indiaid, drwy ymryson â hwy, nad oedd iddynt y gobaith lleiaf o ymwared, ac mai gwell oedd iddynt ymroddi i'w tynged, na'u cyffroi i ymarfer tu ag atynt fwy o greulonderau nag a fyddai raid. "Syrthio i'w dwylaw sydd raid i ni," ebai efe, "a pha ham yr awchlymwn arfau eu dialedd?" Ei gyfaill Potts, yn hytrach na gwrandaw arno, a annelodd ei wn, ac a saethodd un o'r Indiaid yn farwol yn y fan. Gellai y cyfryw ymddygiad i rai ymddangos yn radd o wallgofrwydd; ond y mae yn ddiammeu i Potts wneuthur hyn yn fwriadol, fel y byddai iddo gynhyrfu gwŷn yr Indiaid i'w ddybenu ar unwaith, yn hytrach na dyoddef eu harteithiau nychlyd a hiroddefawl. Cafodd ei ddymuniad; y maent yn ddiatreg yn ei drywanu âg afrifed saethau, nes ei wneuthur, i arferyd geiriau Colter, fel rhidyll. Yna y maent yn dal Colter, yn ei ddynoethi, ac yn dechreu ymgynghori mewn perthynas i'r dull a'r modd i'w roddi i farwolaeth. Yr oeddynt ar y cyntaf yn meddwl ei osod fel nôd i saethu ato; ond daeth eu Penaeth y'mlaen, gan daro ei law ar ei ysgwydd, a gofyn iddo, a oedd efe yn rhedwr da? Yr oedd Colter wedi bod dros ryw gymmaint o amser yn trigo gyda llwyth arall o Indiaid, y rhai oedd yn byw nid yn nepell oddiwrth yr Indiaid troed-ddu, ac yn medru ychydig o'u hiaith; ac yr oedd yn lled gyfarwydd yn eu harferion. Gwyddai yn awr fod cyfle i ymdrechu am ei fywyd ar gael ei gynnyg iddo; ond digalonid ef yn fawr pan ystyriai mor annheg oedd y cynnygiad; llawer o gannoedd y'mhen un, a phob un o honynt yn arfog. Gan hyny efe a atebodd, yn ddichellgar, nad oedd efe ond rhedegydd gwael iawn (er y cyfrifid ef y'mhlith yr Indiaid, y'mysg y rhai y preswyliasai o'r blaen, yn hynod o fuan.) Yna y gorchymmynodd y Penaeth i'r holl liaws sefyll, a pheidio syflyd o'u hunfan, tra byddai ef yn arwain Colter oddeutu pedwar cant o latheni oddi wrthynt; yna efe a'i rhyddhaodd, ac a archodd iddo wneuthur y goreu o'i ffordd. Ar y moment y cychwynai ei redegfa bwysig, y swniai yn ei glustiau gad-gri yr Indiaid, y rhai oeddynt yn awr i olrhain yr adyn truan fel cynnifer o helgwn mileinig yn croch-ddilyn yr ysgyfarnog ddiniweid. Yr ystyriaeth o fod gobaith iddo i achub ei fywyd a adchwanegai nerth i bob gewyn: efe a redai gyda 'r fath gyflymdra ag oedd braidd yn anhygoel iddo ei hun. Efe a gyfeiriodd tu a Jefferson's Fork, ac yr oedd iddo i groesi gwastadedd oddeutu chwe' milltir o led, yr hwn oedd yn llawn o ddrain pigog, ar y rhai y sangai yn barhaus gyda 'i draed noethion. Efe a redai oddeutu hanner ffordd ar draws y gwastadedd cyn iddo feiddio edrych o'i ol; ond pan edrychodd drach ei gefn, efe a ganfu fod yr Indiaid ar faith wasgar, a'i fod wedi ennill yn fawr ar y rhan fwyaf o honynt, ond fod un Indiad, yr hwn a gariai waywffon, y'mhell o flaen y lleill, ac o fewn oddeutu can llath iddo. Yn awr ymddangosai fod diangfa yn ddichonadwy, a bod llewyrch lled wan o obaith achubiaeth einioes iddo: hyn a fagai awydd ac ymegniad adnewyddol ynddo, a chyfryw ydoedd ei ymdrechiadau fel yr oedd y gwaed yn ffrydio o'i ffroenau, ac yn llifo dros ei holl gorph. Yr oedd erbyn hyn wedi dyfod o fewn oddeutu milltir i'r afon, pan y clywai swn traed un o'r Indiaid y tu ol iddo, a dysgwyliai bob moment ei deimlo yn ei drywanu â'r waywffon a gludai. O'r diwedd, efe a anturiodd droi ei ben, a chanfyddai yr anwarddyn o fewn ychydig latheni iddo. Ni's gwyddai bellach beth i'w wneuthur. Yr oedd yn gwybod, os parhäai i

redeg, y goddiweddid ef gan ei erlidiwr, ac y brathid ef yn angeuol â'i bicell. Gan hyny efe a feddyliodd am ffordd i osgoi yr ergyd. Efe a safodd, ac a drodd yn ddisymwth at yr Indiad, ac a ledodd ei freichiau i'w dderbyn. Wrth ganfod Colter yn sefyll, ac yn troi ato mor fyrbwyll, y mae yr Indiad yn rhyfeddu, ac yn ceisio ymattal yn ei redfa; ond o herwydd ei fod bron wedi rhedeg ei hun i lawr, y mae efe yn myned heibio i Colter, ar ei hwrdd, gan geisio ei drywanu ef â'r bicell, yr hon a ochelodd efe trwy neidio o'r neilldu. Oblegyd methu ei ergyd y mae yr Indiad yn syrthio ar ei hyd ar y llawr, ac y mae ei bicell yn ymblanu yn y ddaear, ac yn tori yn ddeuddarn. Yna y mae Colter yn cipio y darn blaenllym, ac yn ei thrywanu drwy yr Indiad, gan ei gwthio drwyddo i'r llawr, a'i sicrhau yn ddiogel wrth y ddaear, ac yn gwneud y goreu o'i ffordd. Wedi dyfod yr Indiaid mwyaf blaenllaw yn y rhedegfa i'r lle, arosasant am y lleill; a phan ddaethant oll y'nghyd, y maent yn udo ac yn ysgrechu yn wylofus uwch ben ei gelain. Rhoddodd hyn ychydig o fantais i Colter i ennill arnynt: ac o'r diwedd y mae efe yn cyrhaeddyd glan yr afon, ar gyfer Jefferson's Fork, ac yn ddiatreg yn neidio i'r dwfr. Ychydig islaw yr oedd ynys fechan, ac wrth benucha yr ynys yr oedd yn rhwym gludeiriad mawr o goed, y rhai a ddygid yno ar hyd yr afon. Efe a nofiodd i lawr gyda'r ffrwd nes cyrhaeddyd yr ynys, ac a ymlusgodd yn lladradaidd i'r gluder goed, ac a ymwthiodd rhwng y prenau, gan gelu ei hun oreu gallai rhag yr Indiaid mileinig. Gwyddai, os anturiai nofio ar draws yr afon, y byddent yn finteioedd ar ei glan cyn iddo gyrhaeddyd yr ochr draw, ac y byddai cynnifer o saethau yn ei drywanu ag oedd o wallt ar ei ben. Yr hyn oedd wir; canys wedi iddo yn brin ymlechu yn y gluder, y mae yr Indiaid yn gorfritho y lan, ac yn udo a chrochleisio, y'ngeiriau Colter, fel uffern-gwn. Neidiai niferoedd o honynt hwythau hefyd i'r afon, a nofient i'r ynys; a bu amryw o honynt yn ystod y dydd ar y gluder yn chwilio, ac yn gwthio eu picellau, rhwng yr agenau, i edrych a oedd Colter yn llechu rhyngddynt. O'r diwedd, wedi blino yn chwilio, a chan dybio, mae'n debyg, ei fod wedi nofio yr afon cyn iddynt hwy allu dyfod at ei glan, y maent yn cryn-hoi ynghyd, ac yn penderfynu dychwelyd i'w cartrefi; a Cholter, pan na chlywai swn eu dadwrdd mwy, a ymlusgai o'i ymguddfa. Wedi ei dyfod yn nos, y mae efe yn nofio ar draws yr afon, ac yn cyrhaeddyd y lan draw yn ddiangol, y'mhell o swn yr Indiaid dialgar, a thu hwnt i gyrhaeddiad eu hechryduus greulonderau.

ITHEL.

---

SERYDDIAETH.

WYLIEDYDD HYBARCH,—Os bernwch yr hyn a ganlyn yn deilwng o le yn eich Cylchgrawn, argreffwch, ac os amgen, y bernwch, teflwch i blith eich llythyrau anghymmeradwy, a llosgwch yn ulw Nos Galan Gauaf nesaf, os byw fyddwch. Gan ddymuno eich llwyddiant, y gorphwysa yr eiddoch hyd angeu.

N.

NID all neb ystyriol, ar noswaith rewlyd digwmwl, edrych i fynu i'r nef, heb weled yno lawer o ryfeddodau. Yno y gwel ser tu hwnt i rif yn ei feddwl—rhai mwy a rhai llai, o ran eu goleuni a'u hymddangosiad. Os edrych yn graff arnynt, a nodi eu maint, o ran goleuni, eu sefyllfa yn y nefoedd, eu pellder oddiwrth eu gilydd, neu

eu hagosrwydd y naill i'r llall, y naill fis ar ol eu gilydd, fe wel yn eglur nad yr un ser sydd i'w gweled bob nos o'r flwyddyn, yr hyn a brawf tu hwnt i ddadleuaeth, bod naill ai hwy ai nyni yn symud. Ond nid hyn yw 'r peth yr oeddwn yn cyfeirio ato. Seryddion a ddosbarthant y ser i dri math, y rhai a alwant y Ser Sefydlog, y Ser Cynffonog, a'r Ser Gwib, neu 'r Planedau.* Am y rhai olaf hyn yr wyf yn bwriadu anfon atoch lythyr neu ddau. Ym mhlith y Planedau y rhifir yr Haul, y Ddaear, a'r Lloer; ac felly y maent yn gwneuthur tair ar ddeg o Blanedau adnabyddus i ni yn y dosbarth hwn o'r greadigaeth. Gelwir hwy fel hyn, gan ddechreu gyd â'r canolfod, ynghylch yr hwn y try y lleill oll yn eu cylchoedd a'u hamserau eu hunain. 1. Yr Haul, neu *Sol*, yn Lladin, oddiwrth yr hwn y daeth Sul—2. Mercury, oddiwrth yr hwn y daeth Mercher—3. Venus, oddiwrth yr hwn air y daeth Gwener—4. y Ddaear—5. y Lloer—6. Mars, oddiwrth yr hwn y daeth Mawrth—7. Vesta—8. Juno—9. Ceres—10. Pallas—11. Jupiter, oddiwrth yr hwn y daeth Iau—12. Saturn, oddiwrth yr hwn y daeth Sadwrn—13. Uranus, neu Georgium Sidus, neu Seren Sior. Rhestrwyd hwy yma yn ol eu trefn, yn eu pelldra oddiwrth yr Haul, yr hwn a weinydda iddynt oleuni a gwres, ac ynghylch yr hwn yr ymdroant hwythau. Yr Haul yw canolfod y dosbarth hwn o'r greadigaeth, ac efe yw 'r mwyaf ei faintioli. Y mae yn fwy na'r Ddaear o *dri chan milwaith ar ddeg*, neu pe rhoddid tri chan mil ar ddeg o fydoedd o faintioli gogymmaint a'r Ddaear ynghyd, ni wnai y cwbl ynghyd fyd mwy na'r Haul. Dywedir fod ei dryfesur yn *wyth gant a dwy a phedwar ugain o filoedd dau cant a thriugain a deg o filltiroedd.* Fe dry o amgylch heb symud o'i le, fel pe troai ar begwn, mewn pum diwrnod ar hugain a hanner, neu ynghylch hyny. Y modd y cafwyd hyn allan ydoedd trwy sylwi bod y brychau ar wyneb yr Haul, a welir trwy wydr-ddrychau, yn ymddangos gyntaf ar ochr ddwyreiniol yr Haul, ac yna ym mhen oddeutu deuddeg diwrnod a thri darn yn myned o'r golwg ar yr ochr orllewinol, ac wedi hyny, ym mhen oddeutu yr un amser, yn ymddangos drachefn ar yr ymyl ddwyreinol.—Ni ddywedaf ychwaneg am yr Haul y tro hwn.

Y blaned agosaf i'r Haul yw Mercher. Y mae hon yn rhy agos i'r Haul i'w gweled â llygad noeth, ond anfynych iawn. Yr oedd yn weledig ychydig ar ol machlud haul brydnawn y seithfed ar hugain o Ionawr diweddaf, pe buasai heb gymylau. Bydd felly hefyd ychydig ar ol machlud haul yr unfed ar hugain o Fai, a'r seithfed ar hugain o Fedi nesaf, os bydd yr wybr yn ddigwmwl. Pelldra cyffredin y blaned hon oddiwrth yr Haul sydd ynghylch *un miliwn ar bymtheg ar hugain* o filltiroedd. Ei thryfesuriad sydd ynghylch tair mil un cant a thair ar hugain o filltiroedd, ac y mae yn cyflawni ei thaith o amgylch yr Haul mewn saith diwrnod a phedwar ugain a thair awr ar hugain. Ac i gyflawni y daith hon yn yr amser uchod, y mae yn rhaid iddi symud bob *mynyd* un mil saith gant a deg a deugain o filltiroedd, yr hyn sydd ddau cant o weithiau yn gyflymach na mynediad *bwlet canon.*

Y blaned nesaf yw Venus, neu Gwener; ac nid all neb yn ein gwlad edrych i fynu i'r nef tu a'r de-orllewin yn y dyddiau hyn (Chwefror 26) ar fin nos, heb sylwi ar gryfdwr a sirioldeb ei goleuni.

---

* Gair Groeg, yn arwyddocâu gwibio, crwydro, &c.

Y mae etto yn seren hwyrol, a bydd felly hyd y seithfed o Fawrth nesaf,* yna hi a fydd yn seren foreuol hyd Rhagfyr yr unfed ar hugain. Pelldra cyffredin Gwener oddiwrth yr Haul ydyw oddeutu wyth a thriugain o filiynau o filltiroedd. Y mae yn myned o amgylch yr Haul mewn dau cant a phedwar ar hugain o ddyddiau ac un awr ar bymtheg. Ac i gyflawni y daith hon o fewn yr amser gosodedig, y mae yn rhaid iddi symud yn ol ynghylch un mil ar bymtheg a thriugain o filltiroedd bob awr. Ei thryfesur sydd ynghylch saith mil saith gant a dwy o filltiroedd, yn bur agos o'r un maintioli a'r Ddaear. Try o amgylch megys ar begynau mewn tair awr ar hugain ac ychydig dros ugain mynyd. Hon yw 'r seren oleuaf a ymddengys i ni. Pan y bo agosaf atom y mae ynghylch saith miliwn ar hugain o filltiroedd oddi wrthym; a phan y bo bellaf oddi wrthym, y mae dros gant a thriugain a thri o filiynau o filltiroedd oddiwrth y ddaear. Pan yr edrychir arni trwy wydr-ddrychau seryddol y mae yn ymddangos yn gorniog fel y Lloer, pan yn bum neu chwech diwrnod oed. Dywed un Seryddwr iddo weled trwy ei wydr-ddrych amryw fynyddoedd yn y blaned hon; a dywed bod uchder un yn ddeng milltir, a'r llall un milltir ar ddeg, a'r llall yn ddwy ar hugain. Ymddengys Gwener ddwywaith ym mhob can mlynedd fel pelen ddu ar wyneb yr Haul: a hyn a elwir traws-fynediad Gwener. Hyn a fydd pan y bo hi yn ei thaith o gylch yr Haul yn myned rhyngom ni âg ef. Bu hyn y tro diweddaf ar y 3ydd o Fehefin, 1769; y nesaf a ddygwydd Rhagfyr 8fed, 1874, ond bydd yn anweledig yn Ewrop; a'r nesaf wedi hwn a ddygwydd y 6ed o Ragfyr, 1882, a bydd o ran yn weledig yn Ynys Brydain.

Y blaned nesaf yn y rhestr, wrth eu hystyried olynol yn ol eu pelldra oddiwrth yr Haul, yw y Ddaear. Cyflawna ei thaith o amgylch yr Haul mewn tri chant a thriugain a phump o ddyddiau a phum awr ac agos i naw mynyd a deugain; ac y mae yn rhaid iddi symud, i gyflawni y daith hon, wyth mil a thriugain o filltiroedd bob awr. Y symudiad hwn sydd yn gwneuthur blwyddyn. Y mae symudiad arall i'r Ddaear, yr hwn a gyflawna mewn tair awr ar hugain ac ychydig dros un mynyd ar bymtheg a deugain—pair y symudiad hwn ddydd a nos i ni. Dychymmyged y darllenydd iddo ei hun fod rhyw bawl mawr, yn cyrhaedd o begwn y gogledd, neu y seren yn nghynffon yr arth bach, a elwir Seren y Gogledd, trwy 'r Ddaear i begwn y deheu, a meddylied bod y Ddaear yn troi ar y pawl, neu yr echel hwn, fel y try dernyn o fwyd ar y bêr o flaen y tân. Fel y mae gwres a goleuni 'r tân ar y tu agosaf iddo o'r bwyd, felly y mae yr Haul â'i wres a'i oleuni ar y wyneb hwnw o'r Ddaear a fyddo megys o'i flaen o bryd i bryd yn yr ymdroad hwn o'r Ddaear; ac am nad all yr Haul belydru ei wres a'i oleuni i'r tu arall, y mae yn nos yno. Bernir bod y Ddaear ynghylch pymtheg miliwn a phedwar ugain o filltiroedd oddiwrth yr Haul, yr hwn a weinydda iddi yn barhâus oleuni a gwres. Tryfesuriad y Ddaear sydd yn saith mil naw cant ac un ar bymtheg o filltiroedd. Am lun y Ddaear, meddyliwn nad oes neb agos yn ein gwlad heb addef ei bod yn belen hirgronaidd, fel y dengys ei chysgod, pan y disgyn ar y Lleuad i beri diffyg arni. Ni pherthyn i ni y tro hwn sôn am ei moroedd, ei hafonydd, na'i mynyddoedd, na

* Dealled ein darllenwyr, mai ym mis Chwefror diweddaf yr ysgrifenwyd y papyryn hwn.—Gol.

dim arall perthynol iddi, oddieithr ei Lleuad.

Y Lleuad, neu 'r Lloer, yw y rhyfeddaf o'r bydoedd wybrenol, oddieithr yr Haul, i edrychwyr arnynt â llygad noeth. Gellir ei galw hi yn gydymaith gwastadol i'r Ddaear, ynghylch yr hon y try hi mewn saith niwrnod ar hugain ac wyth awr. Ei mis, neu hyd yr amser o newid i newid, neu o lawn i lawn, yw naw diwrnod ar hugain a haner. Y Lleuad yw 'r agosaf atom o'r holl fydoedd wybrenol; canys nid yw ond ynghylch dau cant a deugain mil o filltiroedd oddiwrth y Ddaear. Y mae yn llawer llai na'r Ddaear, oblegid nid yw ei thryfesur ond dwy fil a chant a phedwar ugain o filltiroedd. Pan edrychir ar y Lleuad trwy wydrau seryddol, gwelir yn amlwg anwastadrwydd ar ei gwyneb megys mynyddoedd a dyffrynoedd. Canfyddir mewn rhai manau megys tyllau dyfnion, neu bantleoedd iselach na'r lleoedd o amgylch iddynt: ac ymddengys fel pe buasai y pantleoedd hyny wedi eu hamgylchu â mynyddoedd uchel; canys fe welir yn amlwg eu bod yn taflu cysgodau am encyd o ffordd. Gwelir weithiau ben mynydd yn y goleuni yn hir o amser cyn y bo goleuni yn llewyrchu ar ei waelod. A phan y bo yn bedwar neu bum diwrnod oed, gellir rai prydiau, os bydd yr wybr yn eglur, weled dernyn goleu ychydig oddiwrth y rhan oleu o'r Lleuad, yr hwn nid all fod ddim amgen na phen un o'r mynyddoedd yn y rhan dywyll o'r Lleuad yn dyfod i'r goleu, neu i olwg yr Haul, yr hwn sydd yn ei goleuo. Yr un wyneb i'r Lleuad sydd bob amser tu ag atom ni, yr hyn a brawf ei bod yn troi ar ei hechel ei hun yn yr un amser ag y try o amgylch y Ddaear. Oddiwrth yr Haul y mae yn derbyn ei goleuni; canys y mae yr ochr bellaf oddiwrth yr Haul yn wastad yn dywyll. Pan y bo hi rhyngom ni a'r Haul, y mae oll yn dywyll i ni; ac os bydd yn union rhyngom ni ac ef, heb fod yn rhy isel na rhy uchel, y mae yn peri diffyg ar yr Haul, neu y mae yn cuddio darn o'i wyneb oddi wrthym. Pan y bo ar gyfer yr Haul yr ochr arall i ni, y mae yn llawn; ac os bydd y Ddaear yn union rhwng y Lleuad a'r Haul, heb fod na rhy uchel na rhy isel, y mae 'r Ddaear yn peri diffyg ar y Lleuad, neu gysgod y Ddaear yn cuddio darn o wyneb y Lleuad rhag yr Haul, ac, yn ganlynol, y mae y rhan hono o honi yn edrych yn dywyll. Pe baem ni yn y Lleuad, ymddangosai y Ddaear i ni yn bur debyg fel yr ymddengys y Lloer i ni ar y Ddaear, oddieithr ei bod lawer mwy.

Y blaned nesaf y deuem ati, ar ol ymadael â'r Lleuad, pe teithiem o blaned i blaned o'r Haul i Seren Sior, yw Mars, neu Mawrth. Nid yw hon i'w gweled yn awr hyd o bedwar i bump yn y boreu. Ei phellder oddiwrth yr Haul, yr hwn a'i diwalla â goleuni, sydd ynghylch saith ugain a phump o filiynau o filltiroedd; a thry o amgylch yr Haul mewn ychydig oriau dros ddau fis ar hugain. Ei thryfesur sydd ynghylch pedair mil a dau cant o filltiroedd. Y mae 'r olwg arni i'r llygad noeth yn ymddangos ychydig gochach na'r ser o amgylch iddi. Gwelir trwy wydr-ddrychau cryfion lawer o frychau ar wyneb y blaned hon; ac wrth sylwi ar symudiad y brychau, neu y manau tywyll hyn, y cafwyd allan ei bod yn troi ar ei hechel ei hun, yr hyn a wna mewn pedair awr ar hugain a deugain mynyd. Pan y mae agosaf i'r Ddaear y mae ynghylch hanner can miliwn o filltiroedd oddi wrthym, a phan y bo bellaf oddi wrthym, y mae ynghylch dau cant a deugain o filiynau o filltiroedd oddi

wrthym; ac yn ganlynol, y mae yn ymddangos i ni lawer llai pan yn y pellder mwyaf oddi wrthym, na phan y bo agosaf atom. Ymddengys y Ddaear i breswylwyr Mawrth, os oes yno rai, yn debyg fel y gwna Gwener i ninnau—weithiau yn seren foreu, ac weithiau yn seren hwyr; ac ymddengys y Ddaear iddynt o dan holl ymddangosiadau y Lleuad i ni. Y mae y blaned hon yn teithio o gylch yr Haul yn ol pymtheg mil a deugain o filltiroedd bob awr.

Vesta, yr hon a welwyd gyntaf gan y Dr. Olbers o Bremen, yn Germani, y nawfed ar hugain o Fawrth, 1807, yw y blaned nesaf. Gellir ei gweled weithiau â'r llygad noeth. Y mae yn ymddangos yn wynach o ran lliw na'r un o'r tair ereill a gawd allan yn y canrif hwn: y mae ynghylch dau cant a phump ar hugain o filiynau o filltiroedd oddiwrth yr Haul, ac y mae yn troi o'i amgylch mewn tair blynedd a dau cant a deugain o ddyddiau. Nid ydys sicr etto am ei thryfesuriad, ond bernir oddiwrth ei goleuni, &c. ei fod yn fwy nag yr un o'r tair ereill.

Juno y galwyd y nesaf, yr hon a welwyd gyntaf gan un Mr. Harding o'r lle dywededig, ar y Cyfandir, Medi 1, 1804. Ei phelldra cyffredin oddiwrth yr Haul sydd ynghylch dau cant a thri ar ddeg a deugain o filiynau o filltiroedd, ac y mae yn troi o'i amgylch mewn ysbaid pedair blynedd a chant a deg ar hugain o ddyddiau. Ei thryfesur, fel y tybir, sydd ynghylch un mil pedwar cant a phump ar hugain o filltiroedd.

Y blaned nesaf yw Ceres. Gwelwyd hon gyntaf gan un Piazzi yn Ynys Sicili, ar y dydd cyntaf o'r canrif yr ydym yn byw ynddi. Ni welir hi â llygad noeth. Ei lliw sydd ruddgoch. Meddylir ei bod ynghylch un mil chwe chant a phedwar ar hugain o filltiroedd o dryfesur, a'i bod ynghylch dau cant a thriugain o filiynau o filltiroedd oddiwrth yr Haul, ynghylch yr hwn y try mewn pedair blynedd a saith mis.

Pallas yw y nesaf, yr hon a welwyd gyntaf Medi 28, 1802, gan y Dr. Olbers ar y Cyfandir. Meddylir ei bod ynghylch dwy fil o filltiroedd o dryfesur, neu yn agos o'r un maintioli a'r Lloer. Try o amgylch yr Haul mewn pedair blynedd a saith mis; ac y mae, fel y bernir, ddau cant a thriugain a chwech o filiynau o filltiroedd oddiwrth yr Haul. Y mae iddi, fel y meddylir, awyrgylch o bedwar can milltir o uchder.

*(I'w barhâu.)*

---

FFUG-HANES Y SAITH GYSGADUR.

YN oesoedd tywyll y grefydd Gristionogol adroddid llawer iawn o chwedlau disail, y rhai a gredid yn hylwyr gan bobl ofer-goelus, er na haeddant na pharch na sylw yn yr amser goleulawn presennol. Eithr y mae hanes y *Saith Gysgadur* yn rhagori ar y chwedlau ereill o barth prydferthwch dychymmyg, ac ardderchawgrwydd addysg. Pan oedd yr Ymerawdwr Decias yn erlid disgyblion Crist gyd â chreulonder rhyfeddol, digwyddodd i saith o bendefigion ieuaingc, y rhai a berthynent i ddinas Ephesus, ffoi i ogof yn y gymmydogaeth; a'r cyfryw oedd ffyrnigrwydd eu gelynion, fel y caeasant yn y fan wyneb yr ogof â magwyr gref, fel y cleddid hwynt yn fyw, ac y trengent yn araf deg o newyn. Yno y rhyngodd bodd i Dduw beri i drym-gwsg syrthio arnynt, fel y cysgasant, medd y ffug-chwedl, am saith a phedwar ugain a chant o flynyddoedd. Y pryd hwnw damweiniodd rhyw weithwyr ddryllio y mur, a phan lewyrchodd yr haul yn yr ogof, fe ddihunodd yn y fan y cysgadurion. Yn y cyfamser

buasai cyfnewidiad dirfawr yn y byd, a'r rhan fwyaf o genhedloedd y ddaear a dderbyniasent ffydd yr efengyl. Crefydd Crist, yr hon y dywedid o'r blaen ym mhob man yn ei herbyn, oedd crefydd brenhinoedd a mawrion y byd. Er y tybiai y cysgadurion mai dros ychydig oriau yn unig y parhausai eu cwsg, teimlasant chwant bwyd ar eu deffroad, a chytunasant i geisio lluniaeth yn y ddinas, eithr yn ddirgelaidd rhag ofn eu gelynion. Ni ddygwyddasai dim cyfnewidiad iddynt eu hunain, eithr yr olwg arnynt oedd yr unrhyw a phan orweddasant i lawr i gysgu y waith gyntaf. Ond pan ymwelasant â'r ddinas, eu dinas anedigol, gwelent olwg newydd ar yr adeiladau, dynion estronol yn rhodio yr heolydd, dilladau ac addurniadau ac ymddangosiadau newydd ym mhob man. Gwelent groes fawr wedi ei hadeiladu uwch ben prif borth y ddinas, a thai mawrwych o ddull anghyffredin megys temlau addoliad. O'u hen berthynas a'u cyfeillion eu hunain ni chyfarfyddent â chymmaint ag un. O'r diwedd anturiodd un o honynt ofyn yn arafaidd, "A oes dim Cristionogion yn y ddinas hon?" "Cristionogion, (atebwyd iddynt) Cristionogion! yr ydym ni oll yn Gristionogion yma. A welwch chwi yr adeilad mawrwych gerllaw? Teml ydyw a adeiladwyd er anrhydedd ac addoliad ein Meistr croeshoeliedig; a'r tŷ arall gogyfer, sydd mor hardd-dlws a dillynaidd, ysgoldy yw a ddarparwyd er dysgu ynddo athrawiaethau yr efengyl. Gellwch weled temlau ac ysgoldai cyffelyb ym mhob parth o'n dinas fawr boblogaidd. Eithr pwy ydych chwi sydd yn gofyn y cyfryw bethau? Ai ymdeithyddion yn unig ydych yn Ephesus, pryd yr ydych yn ymofyn ynghylch pyngciau mor hysbys i bawb o'r trigolion?" Ni allai y pendefigion ieuaingc (os gweddus yr ymadrodd am wyr oeddynt yn fwy na dau cant o oedran) ymattal mwy, eithr adroddasant yn hyfaidd hanes eu ffoedigaeth, a'u hymwared rhyfeddol yn yr ogof. Ymgynnullodd yn y fan holl bobl y ddinas, gwerin a boneddigaidd, eglwysig a lleyg, ac hyd yn nod yr Ymerawdwr Theodosius ei hun, i ymddyddan â hwynt, ac i gyfarch gwell iddynt. A thra mawr oedd llawenydd y dieithriaid newydd pan fynegwyd iddynt nad oedd disgyblion Crist mwy mewn perygl ffangellau, carcharau, bwystfilod gwylltion, neu y cleddyf; a bod holl awdurdod a golud yr ymerodraeth, yn y dwyrain a'r gorllewin, yn cyduno i ddiogelu a chyfoethogi crefydd yr efengyl.

Os mawr oedd eu llawenydd cyntaf wrth glywed y fath newyddion, cyfartal hefyd oedd eu syndod a'u gofid wedi holi ym mhellach a manwl-sylwi ar fucheddau y dinasyddion. Clywsant fod y rhan fwyaf o'r sawl a alwent eu hunain yn Gristionogion yn hylwyr ddiystyr ynghylch y bendithion a brynasai Crist i'w ddisgyblion, cystal a'r deddfau a osodasai efe iddynt. Megys yr aethai y byd yn Gristionogaidd o ran proffes, aethai crefydd Crist yn fydol o ran sylwedd, a'i dilynwyr yn debyg i Baganiaid. Felly yn ofidus eu meddyliau hwy a daer attolygasant ar Dduw adferyd eu cwsg iddynt drachefn, gan lefain allan yn groch wrth y bobl, "Chwi a ddangosasoch i ni lawer o Baganiaid a roisant heibio eu hen eilun-addoliaeth heb gaffael dim gwell yn ei le—llawer heb ddim crefydd yn y byd—llawer, i'r rhai nid yw eu crefydd ddim amgen na chochl rhagrith; eithr *pa le*, attolwg, *pa le y mae y Cristionogion?*" Felly dychwelyd a wnaethant yn y fan i'w hogof, a Duw o'i fawr drugaredd a dosturiodd wrthynt, ac a'u cymmerodd allan o'r byd pechadurus at enoidiau eu cyf-

oeswyr gynt, ac ardderchog lu y merthyron yn y byd anweledig.

Caniataed y darllenydd i ni yma ddychymmygu i ryw Ddiwygiwr ffyddlon a gwresoglawn, yr hwn a giliasai i ogof, ac a gysgasai yno yn amser y frenines Mari, ymddeffroi yn ddiweddar ac ymweled âg amryw barthau o Loegr a Chymru, faint fyddai ei lawenydd ar y cyntaf, a faint hefyd, ysywaeth, fyddai ei siomedigaeth yn y diwedd. Mor hyfryd i'w galon fyddai clywed nad oes mwy erlidigaeth o achos crefydd; nad yw cadw Bibl yn ei dŷ, a'i ddysgu i'w dylwyth, yn achos o farwolaeth; nad yw y gwasanaeth eglwysig mewn iaith ddieithr; nad yw pobl mwy yn gweddio neu yn hyderu ar saint meirw, a chreiriau, a llun y groes, a delwau mudion; ac mai crefydd y Diwygiad yw crefydd sefydledig y deyrnas. Gwelai Fiblau agos ym mhob tŷ, ysgoldai ym mhob plwyf, enwau llawer o Gristionogion yn cydymdrechu i athrawiaethu eu cymmydogion, ac i ddanfon cenadon efengylaidd i barthau pellenig y ddaearen.

Eithr os holai a manwl-chwiliai ym mhellach, efe a wybyddai fod cnwd toreithiog o annuwioldeb yn tyfu ym mhob congl o'r wlad; fod llawer o barth ymddygiad yn debyg i Baganiaid a Phabyddion; fod llawer yn meddiannu Biblau, eithr heb wneuthur dim defnydd o honynt; yn ymffrostio yn eu haddoliadau yn iaith gyffredin y wlad, eithr yn esgeuluso cyrchu i'r addoliadau hyny; neu yn mynych wrando ar amryw bregethwyr yr oes heb lesâu mymryn wrth eu cynghorion. Holed lawer o Brotestaniaid pa beth a feddyliant hwy am y grefydd Babaidd, yr hon a wrthwynebodd eu hynafiaid hyd at waed, a hwy a'i hatebant yn ebrwydd, mai nid crefydd ddrwg yw Pabyddiaeth, ïe, bod ynddi lawer o byngciau canmoladwy. Dywed ambell eglwyswr brwdfrydig, os rhaid fydd iddo newid ei grefydd, mai cynt y try at Babyddiaeth nag at Ymneillduaeth neu Fethodistiaeth. Dywed o'r tu arall ambell Ymneillduwr neu Fethodist gwresog, na wel efe yn wir nemawr neu ddim rhagoriaeth rhwng Pabyddiaeth a chrefydd yr Eglwys Sefydledig. "A beth," medd efe, gyda llais goruchafiaeth, "beth yw y Llyfr Gweddi Gyffredin ond Llyfr yr Offeren wedi ei droi i iaith gyffredin y wlad?" Os tramwya y dieithr deffroedig ardaloedd Cymru, cyferfydd âg un William Owen yn cyrchu o Gaernarfon i Fynwy, ac o Fynwy i Dreffynon, yn gwerthu llyfryn a eilw efe, Y Drych Ysgrythyrol, ac yn barod i haeru, *ie, yn Nghaerfyrddin ei hun*, na ferthyrwyd neb erioed yn Lloegr na Chymru o achos crefydd gan y Papistiaid. Os ymwel â'r brifddinas, clyw bendefigion a boneddigion y deyrnas yn datgan gyda mawr hyawdledd, mai cyfartal o ran buddioldeb yw pob crefydd, Protestanaidd a Phabyddaidd; ac os bu y cawr Pabyddiaeth unwaith yn lled ffyrnigaidd, fod ei ewinedd yn awr wedi eu tori, a'i ysbryd wedi ei larieiddio, a dyfod o amser cyflawniad y brophwydoliaeth, i'r llew orwedd i lawr gyd â'r oen.

Ond fe allai gyrhaedd o hono ryw dreflan yn Sir Fflint neu Ddinbych, a bwriadu gorphwys yno ar y Sabboth, yn ol y gorchymyn. "Sul mawr," medd y trigolion wrtho, "yw y dydd canlynol—amser parchuslawn a lletteugar—Sul penaf y flwyddyn—dydd ein Gwyl-mab-sant." "*Gwylmabsant!*" atebai y dieithr yn arafaidd, a cham anghredu ei glustiau ei hun, "onid Protestaniaid ydych chwi oll? ac a fyddwch chwi er hyny yn cadw gwyliau y saint, ac yn gweddio arnynt, fel y Pabyddion?" "Och, ni!" medd y bobl, "pwy erioed a glywodd son am Brotestaniaid yn

gweddïo ar y saint?" "Wel," medd yntau, "fe allai mai penderfynu amser a wnaethoch i fyfyrio ar fuchedd y sant, yr hyn oedd dyben cyntaf y gwyliau hyn, a thaer-ddeisyfu mewn addoliad cyffredin ar Dduw roddi i chwi ras i ddilyn ei esampl dduwiol. Gwych fydd genyf gyd-ymgynnull gyda chwi y foru yn y cyfryw waith canmoladwy." Boreu dranoeth, gwelaf y dieithr yn prysur-gyrchu tu ag at eglwys y plwyf; a dywedir wrtho fod y gynnulleidfa yn fwy lliosog na chyffredin gan faint yw nifer y dieithriaid. "Arwydd da yw hyn," medd yntau wrtho ei hun; ond wedi holi yn fanylach, dechreua yr *holl wir* lewyrchu arno. Clyw mai nid Sul o weddïau difrifach nag arferol, eithr amser o wledda ac yfed anghyffredin yw Sul y Gwylmab-sant; mai defod y wlad o'r naill genhedlaeth i'r llall yw i bob penaeth tŷ arlwyo yn ol ei foddion fwyd a diod helaeth, cig, pwdingau a phasteiod; ac mai dyledswydd pob ceraint a chydnabod, pell ac agos, yn Nghaerlleon, Manchester, a Lerpwl, cystal a'r oror oddi amgylch, y rhai a fedrant naill ai ennill neu fenthycio ychydig sylltau, ydyw cyrchu yn rheolaidd a charedigol i ddifrodi yr holl arlwyad a barotoisid iddynt ar dymhor y Gwyl-mab-sant. Clyw hefyd, os lliosog y cynnulleidfaoedd yn yr eglwysi a'r capel-dai, fod y tafarnau yn y prydnawn yn rhagori arnynt oll o ran nifer a gwresawgrwydd y cyd-ddrychiolion. Clyw fod ar y nos Sabboth hòno fwy o loddesta a thrythyllwch ac anniweirdeb nag ar un nos Sabboth arall yn y flwyddyn: nid wyf yn dywedyd er anrhydedd y sant, canys mewn gwirionedd ni feddylia y rhan fwyaf am ddim amgen na'u boliau eu hunain. Eithr dechreu afreolusrwydd yw hyn. Dydd Llun rhaid hwylio ym mlaen *yr Wyl* yn yr un modd ag y dechreuwyd ar y Sabboth. Y mae wrth un dafarn darw i'w faeddu, ac arth wrth un arall, a choeg-chwarae (*Interlude*) wrth y trydydd, a diweddir y cwbl gyda ffiaidd feddwdod hyd berfedd y nos. Adnewyddir yr un ofergampau a drygioni yn fwy neu lai ar y dyddiau canlynol, er mawr elw i'r tafarnwyr, a thlodi nid bychan i deuluoedd ereill. Wedi hir-sylwi gyda gofidus ddifrifwch ar y pethau, clywn y dieithr-ddyn yn dwysrybuddio y trigolion, gan ddywedyd, "Os Protestaniaid ydych wrth enw, Pabyddion ydych o ran ymarferion, eithr yn fwy eich euogrwydd. Cyffelyb fyddai eu hafreolusrwydd hwynt yn yr hen ddyddiau pan gadwent wyliau eu Meib-saint, eithr nid cyffelyb eu gwybodaeth. Os rhoddasoch heibio enw Pabyddion, rhoddwch heibio hefyd eu hymarferion. Nid ydych, meddwch, yn Babyddion; pa le, meddaf finnau, y mae y Protestaniaid a'r Diwygwyr?"

(*I'w barhau.*)

---

GWYDDFA MYFYR.

GAN fod nifer o gydwladwŷr y diweddar haedd-barch MR. OWEN JONES, *alias* OWAIN MYFYR, wedi cael ar eu meddyliau gyfodi rhyw Gôf-arwydd eglurlawn o fewn cylchfur Castell Dinbych,* tu ag at drosglwyddo i'r oesoedd a ddêl ddiolchus goffadwriaeth o ŵr mor deilwng o fynwesbarch ei genedl; i'r cyfryw ddyben canmoladwy yr ydys yn cynnull cydroddion gwirfoddol ewyllyswŷr da y bwriad crybwylledig, ac yn gwahodd pawb sydd yn meddu calon a llogell agored tu ag at y fath orchwyl, i ddyfod y'mlaen yn frŵd-frydig â'u cynnorthwyon.

* Rhai a farnant mai colofn ar ben un o fynyddoedd Swydd Ddinbych a fyddai oreu i'r perwyl; ond diddadl mai gwell o lawer a fyddai côf-arwydd gweledig lle byddo amlaf cyrchfa pobloedd, megys yn Nhref Dinbych, fel y crybwyllwyd uchod.

Pa'd angenrheidiol fyddai hysbysu, neu adgoffa, i neb restr o haeddfawr rinweddau Mr. O. Jones, hawdd o ran defnydd, ond anhawdd o ran lluosogrwydd, fyddai hyny.

Mab ydoedd efe i Uchelwr cyfrifol yn Llanfihangel-Glyn-y-Myfyr, yn Swydd Ddinbych, yn deilliaw o hiliogaeth *Marchweithian*, sylfaenwr un o bymtheg llwyth Gwynedd; tiriogaeth yr hwn ydoedd uchel-diroedd *Hiraethog*, a'i arf-bais yn dwyn arwydd "y llew gwyn yn prangcio yn y maes coch;" at yr hyn y chwanegai Mr. Jones yr arwydd-air tra phriodol iddo ef ei hun, "*Nid difudd y diwyd.*" O'r un gwehelyth y deilliai Prysiaid y Rhiwlas, Wynniaid Sychtyn, a'r Foel-lâs, Pantwniaid Môn, a Rhys Fawr ab Meredydd o'r Bryngwyn yn Ysbyttŷ, dewraidd fanerwr Harri VII. y'mrwydr Bosworth gynt.

Yn ieuangc aeth Mr. O. Jones i breswylio i Lundain, a thrwy ddiwydrwydd, a doeth gyfarchwyliaeth, efe a lwyddodd mewn masnach, nes dyfod yn berchen cryn helaethrwydd o eiddo, o'r hyn y bu dra haelionus tu ag at ddyddanwch ac adeiladaeth ei genedl y Cymry; treuliodd oddwy i dair mil o bunnau yn eu gwasanaeth, trwy goleddu athrylith, taenu gwybodaeth, rhagflaenu difancoll dysgeidiaeth ei hynafiaid a'i gyd-oeswŷr; argraffu barddoniaeth, hanesiaeth, ac amryfal lênyddiaeth y genedl. O'r cyfryw ddefnyddiau, dygodd drwy yr argraffwasg dri o lyfrau cynnwysfawrion dan yr enw *Archaiology of Wales*. Aeth hefyd i'r gôst o argraffu Gwaith Barddonawl Dafydd ab Gwilym, Dyhewyd y Cristion, &c. Am y cyfryw gymmwynasau darfu Cymdeithas Gymröaidd Llundain dalu cydnabyddiaeth o ddiolchgarwch cyhoeddus iddo ym mis Medi 1802. Efe hefyd oedd tad a sylfaenwr Cymdeithas y Gwyneddigion.

Os cafodd amddiffynwŷr ac amgeleddwŷr dysgeidiaeth, a dysgawdwŷr y cynoesoedd, rai i gadw diolchus goffadwriaeth am danynt mewn *anfarwol eiriau*—os tra-chanmolid ereill am fod yn haelionus i gefnogi gwybodaeth, ac i wobrwyo athrylith â'r cyfoeth na chostiasai iddynt na llafur na gofal i'w gasglu; pa faint mwy canmoladwy oedd efe, yr hwn a gyfranodd mor haelionus tu ag at gadwraeth a helaethiad dysgeidiaeth ei genedl, a hyny o'r moddion y llafuriasai efe â'i ddwylaw ei hun i'w casglu? pa gynnifer milwaith mwy teilwng yw y cyfryw un i gael tragywyddoli ei enw mewn barddonawl gyfansoddiadau, ac ar farmoraidd gôf-feini, mewn llythyrenau annilëadwy?

Y mae eisoes amryw foneddigion wedi dangos eu parodrwydd i gyfranu tu ag at gynnorthwyo y bwriad uchod; a dysgwylir y bydd llawer yn ychwaneg yn awyddus i ddilyn eu hesiampl, yr hyn a allant ei wneuthur trwy gyfarwyddo eu hysbysiadau at un o'r boneddigion canlynol, y Dr. Owen Pughe, Dinbych; y Parch. H. Parry, Llanasa; Mr. R. Llwyd, Caerlleon; &c.——*Cyfieithwyd o ddefnyddiau* Mr. R. Llwyd, *o Caerlleon, gan* Erfyl.

---

CLORON (*Potatoes.*)

EU HANES HWYNT.

Bod amlhâd rhyfeddol wedi dygwydd i drigolion Lloegr yn ysbaid y deugain neu y triugain mlynedd diweddaf, sydd wirionedd anwadadwy. Pob tro y rhifir trigolion y deyrnas, gwelir amlhâd dirfawr ynddynt, er y rhifedi o'r blaen. Tybir fod dau o achosion arbenig yn dwyn ym mlaen y lliosogiad hwn. Y cyntaf yw y gelfyddyd a gafwyd i impio y frech wen a brech y gwartheg, yr hyn sydd yn achub, fe allai, nid llai na'r chweched o bobl y tir, naill ai trwy ochelyd y frech wen ei hunan, neu yr afiech-

yd a fyddai yn deilliaw oddi wrthi. Yr ail yw yr amlder rhagorol o luniaeth a godir yn awr trwy wellhâu tir-driniaeth. Gwyddis yn sicr pa le bynag y byddis yn amlhâu yr ymborth i gadw dynion, y bydd dynion yn sicr hefyd o amlhâu. Ym mhlith yr amryw achosion sydd yn peri yr amlhâd o ymborth, cyfrifir yn gyfiawn driniaeth Cloron yn un o'r penaf.

Daeth math o gloron melus i gyfandir Ewrop yn foreuol iawn, a'r hanesion gyntaf sydd yn crybwyll am y cloron, a gyfeiriant at y *rhyw* hwnw yn unig. *Convolvulus batatus* yw yr enw a rydd dysgedigion arno. Eithr y cloron cyffredin *(solanum tuberosum)* sydd briodor Americanaidd. Sonir am dano yn 1588, gan un *Clusius*, Allmynwr dysgedig, yr hwn a draetha am dano megys planhigyn anghyffredin iawn. Y llysieuwr cyntaf Seisnig a sonia am dano yw Gerard, yn y flwyddyn 1597; ond y mae achos da i gredu fod Syr Walter Raleigh wedi ei ddwyn i mewn, a'i blanu yn yr Iwerddon, oddeutu 1584. Ychydig iawn a wyddid am dano, ie, yn yr Iwerddon, yn 1610. Dros lawer o flynyddoedd wedi yr amser hyny, cyfrifai y trigolion gloron yn fwyd annymunol, ac ychydig a'u harferent megys ymborth. Cloron cyffredin yr oesoedd hyny oeddynt fychain o faintioli, a thybir hefyd yn ddrwg eu blas, os nid yn afiachus. Y ffordd o'u parotoi oedd eu tafellu, a'u rhostio, a'u bwyta yn flasus-fwyd *cymmysgedig â gwin a siwgwr!* Pedwar ugain mlynedd yn ol, dywed ysgrifenydd Seisnig, mai ymborth oedd cloron a ddiystyrid gan y cyfoethogion, ac un oedd gymmwys i dlodion yn unig. Yn rhai manau, megys *Lancashire*,* yr oeddynt eisoes yn fwyd lled gyffredin, ond yn neheudir Lloegr ni thrinient gloron ond mewn gerddi bychain, a gwelyau bychain yn amseroedd diweddarach. Tebyg yw i'r Cymry eu derbyn yn lled foreuol o'r Iwerddon, neu *Lancashire*, lle y triniwyd hwynt gyntaf yn Lloegr i radd helaeth. Gellir meddwl fod y ffrwyth, trwy driniaeth anghelfyddgar, yn waeth ei flas a llai iachus yn yr oesoedd gynt. Ni a wyddom fod hir driniaeth yn newid ansawdd* llysiau ereill, a phaham hefyd na newidia y ffrwyth hwn, yr hwn, yn ol rhaniad llysieuwyr dysgedig, a berthyna i deulu y mochlys, y rhai sydd wenwyn marwol.

Y cloron yw y ffrwyth gwerthfawrocaf a dderbyniodd Ewrop o gyfandir America; ac y maent yn awr wedi eu priodori yn India hefyd, lle y cyfrifir y wybodaeth o honynt yn lleshâd neillduol. Un math arall o lysiau a ddygwyd i ni o'r America, y rhai a arferir yn gyffredin iawn, sef y *myglys*. Nid ydyw y ddau er hyny i'w cymharu o barth gwerth, a'u hangenrheidrwydd cyffredinol. Gall y myglys ddyhuddo gofid ambell waith, ond yn fynych iawn gwell fyddai i drueiniaid ymwrthod â'r arferiad o hono. Eithr y cloron sydd fendith dymhorol i'r tlawd, pryd y maent yn flasus i archwaeth y cyfoethog. Po mwyaf yr helaethir eu triniaeth gan y rhai isel-radd, mwyaf fyth yw y llawnder a'r hawddfyd iddynt hwy a'u teuluoedd.

C——.

* Dywedwyd eisoes, yn un o'n hen Rifynau, pa fodd y daeth cloron i *Lancashire* trwy long-ddrylliad llong Wyddelig. O Virginia y daethant i'r Iwerddon, a rhyfedd yw i Virginia, mewn oes ddiweddarach, gael ei hachub rhag newyn trwy gymmorth helaeth o gloron a ddanfonwyd yno o'r Iwerddon.

* Y mae dail *bysedd cochion* yn dra meddyginiaethol mewn rhai clefydau, eithr enbyd yw i'r anghelfydd eu harferu. Cafwyd yn ddiweddar mai dail y llysiau yn tyfu yn *wylltion* sydd yn unig

## LLOFFION.

Yn yr hen oesoedd da gynt, y rhai y mae llawer o bobl yn eu canmol, ac yn hiraethu am danynt, y cyfryw fyddai prinder tanwydd yn rhai ardaloedd o'r deyrnas hon, fel y byddai tir-driniwyr yn hela tail eu gwartheg i'w losgi yn eu tai. Arfer ddrwg oedd hon, nid anghyffredin ym Môn, a rhai parthau ereill o Gymru. Eithr yn rhai manau o Loegr helient dail y gwartheg yn domenydd, ac yna curent a gweithient y cwbl yn raddol trwy ddwfr, gan ei dylino â'u traed, a'i wneuthur mewn cynllun yn llun pridd-feini. Perthynai y gwaith hwn i grefft benodol, a'r crefftwyr a elwid *Clatters.* Wedi hyny sychid y *tail*-feini (os cymmwys y gair) ac adeiladid hwynt fel mawn yn ddeisi. Mis Mawrth sych oedd werthfawr iawn i waith y *Clatters (Cloddders).* Gwasanaethai y tail-fawn hyn i amryw achosion, lle y byddai tân araf yn ddigonol. Ond yn yr oes bresennol, wedi gwneuthur cafnffosydd helaeth a chryfleus drwy gynnifer o barthau, y mae yr hen ddefod yn anarferol, a chedwir y tail i wobrwyo a helaethu ffrwythlonder y ddaear.

LLOFFWR.

---

BYDDID yn arferol amser yn ol, mewn claddedigaethau, i'r cyfeillion a ganlynent y corph ddwyn yn eu dwylaw bingcyn o *ros-mari*, yr hwn a daflai pob un i'r bedd ar yr arch gyd â bod yr offeiriad yn diweddu y Gwasanaeth. Gwelais wneuthur hyn unwaith neu ddwy fy hun mewn angladd ar gyffiniau Cymru. Yr oedd yr un arfer, mewn rhan, gan y Cenhedloedd cyn cred; oddieithr mai cypreswydden a daflent hwy i'r bedd; a dewisasant y pren hwnw, gan na wyddent hwy ddim am yr adgyfodiad, a'u bod yn credu mai yn y bedd yr arhosai y corph byth; o herwydd dywedir am y cypreswydden, os torir hi unwaith, nad ail dyf mwyach, ond marw a wna yn hollol. Eithr am y *ros-mari*, ei fod bob amser yn wyrdd, ac, er amled bynag y torir ef, yr adfywia ac y blodeua fwyfwy; ac os rhoir o hono y dernyn lleiaf mewn daear, y mae yn tori allan, ac yn dyfod yn fuan yn bren gwych. O herwydd hyn y cymmerai y Cristionogion bingcynau o hono, yn lle y cypreswydden, i arwyddo eu ffydd a'u gobaith y cyfodai corph eu cyfaill ryw ddydd o'r bedd, ac yr adunir ef drachefn â'r enaid. Arfer nid annhebyg hefyd a fyddai ym mhlith yr Iuddewon ar yr un achos. Wrth ddilyn y corph i'r bedd, tynent bob un lonaid llaw o welltglas ar y ffordd, er dangos mai cyffelyb oedd cyflwr eu brawd; felly y torwyd ef ymaith, ac felly y tyfai drachefn yn ei briodol dymhor. Nid drwg, gan hyny, pob arfer, fel y bernir yn rhy gyffredin, am ei bod yn hen.

ANON.

---

## HYNAFIAETH.

Ym mynwent y Pennant gwelir careg, â llun dyn mewn llawn arfogaeth wedi ei gerfio ynddi, yr hon unwaith a ddefnyddiwyd i dôi gweddillion etifedd Owen Gwynedd, *Iorwerth Drwyndwn*, yr hwn a fwriwyd o'i etifeddiaeth o herwydd ei anaf. Efe a ffôdd yma am noddfa rhag cynddaredd ei frawd, Dafydd ab Owen Gwynedd: bu 'r lle hwn unwaith yn un o'r prif noddfëydd. Ar ei darian y mae yn gerfiedig, "*Hic jacet Etwart.*" Traddodiad a ddywed iddo gael ei ladd nid nepell oddi yma, mewn lle a elwir *Bwlch Croes Iorwerth.*

---

yn feddyginiaethol; a'u bod hwy, wrth eu *hir-drin* mewn gerddi, yn colli eu rhinwedd priodol.

# BARDDONIAETH.

## COFION BARDDONOL.

WYLIEDYDD HYBARCH.—Wrth edrych dros fy llaw-ysgrifiau Cymreig ryw ddiwrnod, denwyd fy sylw ar y llinellau canlynol. Yr achlysur o honynt, ac amgylchiadau eu hawdwr pan ysgrifenodd hwynt, ynghyd â'r serch tu ag at ei wlad y mae yn ei ddangos ynddynt, nis dichon lai na bod yn ddefnydd dywenydd i bob Cymro gwladgarawl, yn enwedig trigolion *Arfon*. Gwelir ddarfod eu hysgrifenu gan Syr* John Gruffydd, pan ydoedd efe yn Fflanders yn Gaplan i Wiliam Tomas, Yswain, o deulu *Aber*, wedi hyny o *Goed Helen* yn Swydd Gaernarfon. Y gwr boneddig yma (yr hwn y mae ei llin-ach yn tarddu o *Elystan Glodrydd*, Arglwydd y *Fferlys*, yn y *Dehendir*) ydoedd yn dal swyddogaeth filwrol yn rhyfel yr Isel-diroedd (*Netherlands*) yn nheyrnasiad y Frenhines Elisabeth. Os gwelaf fod y fath ddefnyddiau yn gymmeradwy genych, ysgatfydd y gellwch ddysgwyl rhyw hysbysiadau ym mhellach ym mherthynas i deulu nodedig *Coed Helen*, gerllaw *Caernarfon*, anwylfan Syr John Gruffydd.

R. LLWYD.

Dyn wy'n byw drwy nerth y Tad,
Y'mhell o'm gwlad yn estron;
Wyf ofalus (a phaham?)
O hiraeth am *Gaernarfon*.

Athrist oedd hen Adda lwys,
O'i wlad Baradwys dirion;
Unwedd athrist wyf ar g'oedd,
Paradwys oedd *Caernarfon*.

Joseph ydwyf (Duw ro bwyth!)
A'i dylwyth yn eithafion;
Yn anghofio 'mod yn fyw,
Gan belled yw *Caernarfon*.

Hoff yw genyf henwi 'mro
Caiff filoedd o anerchion;
Anwyl ydoedd yn rhyw ddydd,
Ac etto fydd *Caernarfon*.

Can hawddfyd i'm cynneddfau 'n iawn,
Gan Dad pob dawn a dynion;
Er cystal ydyw *Fflanders* wlad,
Mwy ydyw rhad *Caernarfon*.

Nid all fod yn rhyfedd iawn
Fy mod yn llawn och'neidion;
Rhaid im' berchi 'nhad a mâm,
Wrth feddwl am *Gaernarfon*.

Am fy mrodyr, dolur aeth,
A galar caeth i'm calon,
A'm chwiorydd,—y mae 'n hir,
Sy'n tario 'n Sir *Gaernarfon*.

O Landwrog (mawr yw mriw)
A throedle gwiw *Glyn-Llifon*;
Yno 'n fynych mynwn fod—
Tydi biau 'r clod, *Caernarfon*.

Ceraint im', gwehelyth pêr,
A llawer o gymdeithion;
Yr oeddych megys mil o saint
Yn harddu braint *Caernarfon*.

Cymmerwch hyn o anerch pell,
O eisieu gwell i'w ddanfon;
Pe ddfawn yn berchen perl maen ffluwch,
Mi a'i rhoddwn uwch *Caernarfon*.

SYR SION GRUFFYDD ym mhob Sir,
Y'm gelwir heb orchestion;
Cydnabyddus hynod wyf
Y'mhob Plwyf yn *Nghaernarfon*.

Un o'i wlad mewn gweddi wyf
Ar Grist, er clwyf ei ddwyfron;
Am roi ei ddoniau ym mhob rhith,
A'i fendith yn *Nghaernarfon*.

Ewch yn iach dan un i gyd,
Nes del fy ngwynfyd weithion,
O drugaredd y Mab rhad,
A gweled gwlad *Caernarfon*.

Yn iach eilwaith un a dau,
Gan wylo dagrau gloywon;
Yn iach ganwaith, fawr a bach,
Ac etto 'n iach *Gaernarfon*.

SYR SION GRUFFYDD,
*Siaplen Mr. Wiliam Tomas,*
*pan oedd yn Fflanders.*

* *Mynych iawn y cyferchid Gwŷr Eglwysig wrth y titl* SYR *yn y dyddiau uchod, a chan mlynedd ar ol hyny.*

## ENGLYNION I GOR SILIN,

GAN Y DIWEDDAR BARCH. *D. RICHARDS*, PERIGLOR LLANSILIN.

Nos dydd Iau yn glau mwyn glod,—a seinio
Yn soniarus hynod;
Pob offer, pob cêr, pob côd,
Yn berffaith, pawb yn barod.

Ond y Sul rhy gul y gwelir—mewn sŵn,
A mwyn seiniau cywir;
Ammharod iawn glod mae 'n glir,
A'u doniau ni adwaenir.

Ai felly, hoff Gyfeillion—adolwyn,
Y dylai Crist'nogion,
Bob dydd Iau a lleisiau llon
Iawn fâd, a'r Sul yn fudion?

---

## ENGLYNION

COFFADWRIAETH AM *DEWI SILIN*.

Gloyw wiw Sant yn Eglwys Ion—Offeiriad
Ac hyfforddwr ffyddlon;
Gwas Ior oedd megys Aaron,
O frŵd serch, mae 'n hyfryd sôn.

Dybryd gwynofain dibrin,—am Dewi
Amdöa Blwyf Silin:
Geiriau ei enau oedd win,
Eu hathraw er eu meithrin.

Ac nid Silin* o'i rinwedd—ga'i golled;
Trig gwyll ar holl Wynedd:
Appolo a'i eppiledd—alarant,
Dir a gofiant, ei droi i geufedd.

E. R. *Llansilin.*

---

## ENGLYNION

O GYRCH-GYMMERIAD, A GYFANSODDWYD ER CROESAWIAD PRIODAS *WALTER JONES*, YSW, CEFN RUG, A *MISS AMELIA CLOUGH*, HYDREF, 1829.

Enyd llawenfyd llonfawr—yw heddyw,
A haeddai hawddamawr;
Pêr gerddi nes lloni 'r llawr,
A phelydr tân a phylawr.

Pylawr gan erfawr gynhyrfiad—yn un,
Enyno sain caniad
I'r ddau iesin urddasiad,
Un fron Briod llon bryd llad.

Pryd llad dedwyddiad dyddiau,—cyfan rad,
Yn *Cefn Rûg* a'i gaerau,
I frig fawledig flodau,
Unedig urddedig ddau.

Dau ffyddlon galon â gwaelod—heulteg,
Walter Jones a'i Briod
Amelia Clough, mawl y clod
Llwyr eglur i'r lloer hyglod.

Hyglod o benod bonedd—yw 'r Fanon,
Wir fynwes deg fuchedd;
A'i Phriod a fawrglod fedd,
Eirian ran yr un rinwedd.

Rhinwedd anrhydedd yn rhediad—i'w byd,
A'u bod mewn derchafiad,
A mawredd pob cymmeriad,
Lles o lwydd yw llais y wlad.

Llais y wlad rad-fad redfa—gwir esyd,
Groesaw i'r ddau yma,
Ac erfyn llwydd i'w gyrfa,
A'u lles doeth o 'wyllys da.

'Wyllys da mawrdda pob moes—i'r ddeu-ddyn,
Heirdd addas ac eirioes;
I'w cysurol unol oes,
Da rhaned Duw hir einioes.

Hir einioes oriau hinon—Duw rhaned
I'w Rhïeni tirion,
Caed ei Thad a'i Mam lad lon
O'u Haeres wel'd eu hwyrion.

Eu Hwyrion i'w llon wellhâu,—trwy gyn-nydd,
Trigiannol hir ddyddiau,
Y priodol ddethol ddau,
Glân eu taith gwelont hwythau.

Hwythau, brig lwythau 'n bro glyd—fan parchus,
Fo 'n perchen pob gwynfyd;
Llawn llwyddo byddo eu byd,
Ar gynnydd awr ac Enyd.

Robert Davies.

---

## PENNILLION

*I gyfarch y "Gwyliedydd" ar ei ad-ymweliad yn y flwyddyn* 1830.

Croesaw iti wych Wyliedydd,
De'st yn ufudd atom ni;
Adymwelaist â'th gyfeillion,
O mor dirion ydwyt ti!

Wedi llechu y'mysg y creigiau,
A'r mynyddau nos a dydd,
Am naw mis heb yngan bwriad
Dy ymguddiad anfad prudd.

Llawer calon fu yn gerain,
Ac yn ochain am dy ludd,
Eisiau gweled dy bryd hawddgar,
Cymmwynasgar yn dy ddydd.

Colli darllen iaith odidog,
Hardd, ddihalog, Gomer gain;
A barddoniaeth enwog ddynion,
Dinasyddion mwyn eu sain.

Na fydd bellach byth ar balliant
Roddi mwyniant in' a mael,
Mewn athrawiaeth ddoeth iachusol,
Angenrheidiol yw ei chael.

Yn yr oes gableddus yma,
Pan fradycha llawer un
Wlad ac Eglwys er mwyn elw;
O mor salw yw eu llun!

---

* *Sef, Plwyf Llansilin.*

Ymdrech am gael mwy oefnogaeth
Y'ngwyliadwriaeth muriau Duw;
Pa'm na roddai pob gwir Gristion,
Etto foddion it' i fyw?

Pe meddiannwn ddoniau helaeth,
Ca'it ohebiaeth ar bob hynt;
Ac ymroddwn i'th hyrwyddo
At a'th garo megys gynt.

Pob Eglwyswr ddylai 'th gynnal;
Ond maent yn aml gwelwn ni,
Yn rhy glaear a chybyddlyd,
I roi 'u goglud arnat ti.

Doed Offeiriaid a goreuon,
Yna 'n gyson at y gwaith,
Gyd â'u doniau a'u meddiannau,
Dèlir dithau ar dy daith.

GWILYM EDWEN.

LLUNDAIN,
*Mawrth* 17, 1830.

---

## ATEB I BENNILLION,

*Ar yr un mesur, oddiwrth Fardd (GWILYM EDWEN) a aned yn Arfon; yr hwn, wrth gyfeirio at hen Enwogion Môn, a gwynai na fuasai wedi cael ei eni yn yr un wlad.*

ANWYL iawn yw llais y delyn,
Ar hyd y nos;
A difyrwch cael diferyn,
Ar hyd y nos;
Llawer mwynach ydyw Awen,
Gwiwlan odiaeth *Gwilym Edwen*,
I wneud Sionyn Llwyd yn llawen,
Ar hyd y nos.

Fe fu gynt yn nyddiau 'n Tadau, &c.
Son am *Fôn* yn amryw fanau, &c.
Yno gwelwyd enwog Feirddion,
Gyd â'r tànau wych gantorion,
A thra gwiwlwys hen drigolion, &c.

O mor hyfryd oedd yr Awen! &c.
Tŷ a thân a theulu llawen, &c.
Merched glândeg yn pèr byngcio,
Heb ofalon byd i'w blino,
A'u rhieni 'n dyddan wrando, &c.

(Ond)
P'le mae 'r awen fwyn nefolaidd, &c.
Wnaeth Môn a'i Beirdd gynt mor beraidd? &c.
Dros y moroedd dyrys mawrion,
Ar ol G'RONWY wrol galon,
'Hedodd draw a'i haden dirion, &c.

Mwy ym Môn ni chlywyd mo'ni, &c.
Yn y Llan nac yn y llwyni, &c.
Er mae gwlad y ganed G'RONWY,
Ni wiw son am dani heddyw,
A thrwm fyddai im' ei thramwy, &c.

Clodfawr hyfryd yw gwlad *Arfon*, &c.
Hardd a doethwych glân gymdeithion, &c.
Beirddion hefyd ddirifedi,
Gyd â'r wawr a gwyd o'r '*Ryri*,
A phob llanerch maent yn lloni, &c.

Pe ehedwn gyd â'r Wennol, &c.
Draw i wledydd tra hyfrydol, &c.
Lle cawn feib fel Llangciau Arfón,
A mor anwyl ei Morwynion,
'Ganu gyd â'r tànau tirion? &c.

Yno gwelir y'mhell o'r eigion, &c.
*Geiri* mawr a phenau gwynion, &c.
Brenhin holl fynyddoedd Cymru,
Wnaeth i lawer Sais hyll synu,
Sy yno 'n codi 'i ben i fynu, &c.

Felly, gyfaill, bydd lon galon, &c.
Gael dy fagu yn ngwlad Arfon, &c.
Gwlad yn llawn o bob llawenydd,
Pawb yn ddiwyd, pawb yn ddedwydd,
Pawb o'i fodd o fôr i fynydd, &c.

EINION MON.

---

## EMYN SABBOTHAWL.

WEL dyma hyfryd ddydd i'r saint,
O rodd ein Brenin er ein braint;
I adael byd a'i boen a'i bla,
Ynddo fy enaid llawenhâ.

Dydd i gael gorphwys ar ein taith,
Oddiwrth ein holl ddaearol waith,
A rhagofalon o bob rhyw,
A nesu 'n dawel at ein Duw.

Dydd i gael taflu 'n beichiau 'lawr,
A melus gofio 'n Meichiau mawr,
Yn dod o Edom yn ei rym,
A'i wisg yn goch a'i gledd yn llym.

Dydd, seiniwn gongcwest yn y gwaed,
Caed ein gelynion tan ei draed;
Daw 'r lleiaf oll o'r llwythau 'n llon,
Adre 'n freiniol ger ei fron.

Dydd i neshâu i Sion wiw,
I dy addoli di, O Dduw:
A gwledda 'n dawel yn dy dŷ,
Ar felus win y nefoedd fry.

Dydd in' gael golwg ar y wlad,
A roddwyd ini gan ein Tad,
I orphwys fry heb unrhyw fraw,
Yn ddedwydd oll ryw ddydd a ddaw.

Boed genym sanctaidd buraidd barch,
I Dduw a'i ddydd, ei waith a'i arch;
Ei wir addoli ar ei ddydd,
Trwy nerth ei Ysbryd a thrwy ffydd.

Mawrhâu a moli 'r Tad ar gân,
Clodfori 'r Mab a'r Ysbryd Glân,
I'r Drindod fendigedig Fod,
Cyd-seinied nef a daear glod.

E. AB RHISIARD.

*Conwy*,

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

NID yw yr hanesion tramor yn cynnwys ond ychydig, neu ddim, newyddion o bwys. Ymddengys nad ydyw y parotoadau mawrion yn Ffraingc i ymosod ar Algiers wedi ea cwblhâu etto, er fod pob prysurdeb yn cael eu harfer at hyny. Dywedir fod llywodraeth Ffraingc wedi cyttuno â rhyw Gymdeithas o Farsiandwyr yn Llundain am nifer o agerdd-longau i'w cynnorthwyo yn y rhuthr-gyrch y maent ar fedr wneuthur ar y ddinas o ochr y môr, tra bydd y milwyr yn ymosod arni ar y tir.

---

ANGHYFANNEDD-DRA Y MOREA.—Derbyniwyd y llythyr canlynol oddiwrth ŵr bonheddig oedd yn byw yn ddiweddar yn Lloegr:—

PATRAS, *Mawrth* 4, 1830.

"Yr hanesion oeddwn wedi eu derbyn mewn perthynas i hollol ddinystr y lle yma a'm gadawodd yn ammharod am yr anghyfannedd-dra cyffredinol a welais. Yn ddiau, cyflawnwyd hyd yr eithaf fygythiadau llymdost yr hen brophwydi. Cynniweiriodd y tân a'r cleddyf trwy y cwbl o'r fro yma. Nid oes gareg ar gareg yn sefyll. Y ffigysbren, y pomgranad, y winwydden, &c. ag oeddynt unwaith yn gwisgo y bryniau a'r gwastadedd, ydynt yn awr wedi eu dinystrio wreiddyn a changen. Yn ysbaid yr wyth mlynedd, tra yr oedd y Tyrciaid mewn meddiant o'r Castell, arferent fyned allan yn finteioedd, a diwreiddio bob brigyn o goed i gael tanwydd i boethi eu ffyrnau. Nid oes un rhan o dir Groeg wedi cael ei anrheithio mor hollol a'r rhan hon; ond y mae y trigolion yn awr yn dechreu dychwelyd, a chyfrifir eu nifer oddeutu 6,000, ac y maent yn cyfodi tai o goed, a phriddfeini heb eu llosgi, y cyfryw ag yr oedd meibion Israel yn gorfod eu gwneuthur i freninoedd yr Aipht. Nid oes dim eiddo yn y wlad, megys arian, adeiladau cyhoeddus, palasau gwyr mawr, na phrif-ffyrdd, &c. Y mae pob peth i gael ei wneuthur o newydd; ond y mae y penaf peth, sef arian, ar ol. Y mae y tiroedd goreu yn aros heb eu llafurio o ddiffyg moddion i'w trin. Cefais gynnyg ar dir, oddeutu pedair milltir o'r dref hon, am oddeutu tair punt yr erw; yr hwn, cyn y chwyldröad, a osodid am yr un swm agos wrth y flwyddyn. Y mae 'n rhaid i'r bobl werthu un rhan o'u tir i alluogi eu hunain i drin y rhan arall. Cafodd y Rhaglaw yma orchwyl anhawdd iawn i'w gyflawni. Clywais ei fod i roddi heibio y Rhaglawiaeth i wneud lle i Frenin. Gwelais amryw o benaethiaid y wlad; ac y maent yn ymddangos yn dra boddlawn i dderbyn oddiwrth y Cynghreiriaid Frenin o'u dewisiad hwynt."

---

GIBRALTAR.—Dywed llythyrau a dderbyniwyd oddi yno, wedi eu dyddio Mawrth 18fed, i ystorm ddychrynllyd gyfodi yno ar y 13eg, ac i amryw longau gael eu dryllio, a'r holl ddwylaw ar fwrdd un o honynt fyned i'r dyfnder. Llong a elwid y *Theresa*, o Ffraingc, yn llwythog o *frandi*, yn rhwym o Cette i Rouen, a gollodd ei hwylbreni gyferbyn ag Estinopa. Gorfu i drigolion *Catalan Bay*, pentref rhwng y graig a'r môr, ffoi i'r creigiau cyfagos i achub eu bywydau. Offeiriad Pabaidd y pentref, yn ei wisgoedd offeiriadol, a dreuliodd y noswaith hono ar y creigiau, âg ysgubell fechan yn ei law, wedi ei throchi mewn cawg o ddwfr sanctaidd, gan alw ar y môr a'r dymhestl i lonyddu eu cynddeiriogrwydd; a chyn gynted ag y llonyddodd y dymhestl, ciliodd y môr. Pe cyfarfyddai llynges y Ffrangcod, ar eu ffordd i Algiers, âg un o'r cyfryw ystormydd gerwinol, gwnai y fath ddinystr ym mhlith eu llestri, ag na allai holl ddyfroedd sanctaidd yr Eglwysi Cadeiriol, a Chapeli, o fewn teyrnas ei Fawrhydi Cristionogol ei rwystro.

---

DEHEUDARTH CYMRU NEWYDD.—Daeth llythyr yn y llong sydd newydd ddyfod o Ddeheubarth Cymru Newydd (*New South Wales*) wedi ei gyfarwyddo at Gofiadur Tref Sheffield, oddiwrth ddyn o'r enw Cooper, gynt o'r dref hono; yr hwn, oddeutu 25 mlynedd yn ol, a gafodd ei ddedfrydu i alltudiaeth cyn iddo ond yn brin gyrhaeddyd i oedran gwr. Ar ol cyfarfod â llawer o ddamweiniau, megys ei ffoedigaeth o'r llong-garcharau (*Hulks*) ac wedi hyny ei ddiangfa, ynghyd â phump ereill o garcharorion, allan o Gastell Caerlleon; cafodd ei gymmeryd y drydedd waith, a'i anfon yn ddiogel i *New South Wales*. Yma, trwy ei ddoniau naturiol, tynodd sylw rhai o benaethiaid y lle, a chan iddo ddiwygio yn ei fuchedd, ennillodd gryn radd o barch. Oddeutu wyth mlynedd yn ol derbyniodd ei gyflawn ryddhâd oddiwrth awdurdodau

llywodraethol y Sefydliad, ac a ddechreuodd gasglu ychydig eiddo. Dywed, yn y llythyr a soniwyd uchod, fod ei feddiannau oddeutu 500 o bunnau yn y flwyddyn, a'i fod yn dra anesmwyth o eisiau cael gwybod am ferch iddo, yr hon a adawodd efe yn Sheffield yn ei mabandod, fel y gallo ei chynnysgaeddu â chyfrau o'i eiddo. Enwir yn y llythyr amryw o foneddigion, ag sydd yn awr yn fyw yn Sheffield, i gynnorthwyo y Cofiadur yn ei waith o ymorol am ei ferch. Llwyddodd yn ei ymgeisiadau; a chafodd allan ei bod wedi priodi, ac yn byw yn bresennol gyd â'i gwr yn Llundain, mewn amgylchiadau lled isel.

---

## CARTREFOL.

### Y SENEDD.

Yr ydys yn parhâu i ddanfon Eirchiadau i'r Senedd, i geisio tynu ymaith y dreth oddiar Frâg, ac i beidio cyfyngu masnach yr India i'r Cwmpeini; ond hyd yn hyn nid oes dim wedi dyfod i benderfyniad.

### Rhydd-freiniad yr Iuddewon.

Dydd Llun, y 5ed o Ebrill, daeth Mr. R. Grant â'i ysgrif ym mlaen "er diddymu pob rhwystr i fwynhâu breintiau gwladol oddiar ddeiliaid Brytanaidd yn proffesu y grefydd Iuddewaidd." Areithiodd Mr. G. yn hyawdl o blaid yr ysgrif; prif ddyben yr hon oedd i ganiatâu i'r Iuddewon yr un breintiau ag a ganiatâwyd i'r Pabyddion y llynedd.

Gwrthwynebwyd y cynnyg gan Syr Robert Inglis, Mr. H. Battley, Canghellwr y Trysorlys, Mr. Perceval, a'r *Solicitor-General;* ond cefnogwyd ef gan Mr. Macauley, Syr J. Mackintosh, y Dr. Lushington, Arglwydd Morpeth, a Mr. William Smith.

Yr oedd y ddadleuaeth ar yr achos yn dra difrifol a difyr, yn enwedig areithiau y rhai ag oedd yn gwrthwynebu y cynnyg. Ac er i'r cynnyg gael ei wrthwynebu gan Weinidogion y Brenin, etto, wedi i'r tŷ ymranu yr oedd 18 mwy o ochr y cynnyg nag yn ei erbyn, sef,

| | |
|---|---|
| Dros y Cynnyg ................ | 115 |
| Yn ei erbyn ................... | 97 |
| Y nifer luosoccaf........ | 18 |

Yn ganlynol dygodd Mr. Grant yr ysgrif i mewn yn ddioed, a gorchymynwyd iddi gael ei hail-ddarllen ddydd Llun, y 26ain o Ebrill.

### Gwaith i'r Tlodion.

Arglwydd Nugent, ar ol cyflwyno Eirchiad oddiwrth amryw lafurwyr mewn cantref yn Sir Buckingham, yn cwyno o achos y cyfyngdra yr oeddynt yn ei ddyoddef, ac yn cyfrif rhan fawr o'u dyoddefiadau i'r modd niweidiol o weinyddu y cyfreithiau mewn perthynas i'r tlodion, a ofynodd genad i ddwyn ysgrif i mewn i alluogi plwyfydd i wellhâu y dull o roddi gwaith i'r tlodion. Areithiodd ei Arglwyddiaeth yn dra chall a synwyrlawn, ac a gafodd ganiatâd i ddwyn ei ysgrif ger bron.

---

Yr Iwerddon.—Dienyddiwyd M'Carthy Launey, a'i ganlynwraig Ellen Connell, yn Tralee, Iwerddon, am lofruddio gwr yr olaf. Yr oedd saith o blant bychain y ddynes anffodus yn sefyll wrth y crogbren.

Dienyddiwyd y tri dyn yn Ennis, yn yr Iwerddon, am dòri ymaith dafodau y ddau frawd o'r enw Doyles, y rhai y rhoddasom hanes am danynt yn ein Rhifyn diweddaf.

---

### LLONG-DDRYLLIAD!

Y llong *Newry*, 500 tunnell, a hwyliodd allan ddydd Mercher, y 14eg o Ebrill o *Warren Point*, yn agos i *Newry*, Iwerddon, yn rhwym i *Quebec*, ac ynddi oddeutu 480 o Wyddelod, y rhan fwyaf o honynt yn llafurwyr, crefftwyr, ac amaethyddion bychain, gyd â'u teuluoedd. Y dydd canlynol, sef dydd Iau. dechreuodd y gwynt gryfhâu, ac oddeutu 11 o'r gloch ddydd Gwener troisant ben y llong, gan gyfeirio tu a'r deheu-ddwyrain, ac a barhâusant ar y rhediad hwnw tan 10 o'r gloch o'r nos; y gwynt yn chwythu yn enbyd trwy y dydd, a'r niwl mor dew, fel nad ellid gweled na thir, na goleuni, wrth neshâu at oror Cymru. I hyn yr ydys yn cyfrif yr anffawd galarus a ganlynodd; canys oddeutu 10 o'r gloch, tarawodd y llong yn erbyn craig, yn agos iawn i gyfandir Sir Gaernarfon, ac oddeutu pedair milltir o Ynys Enlli. Gan fod pob ymdrech i'w symud ymaith wedi myned yn ofer, torasant yr hwylbren, yr hwn a syrthiodd ar graig, yr hyn a alluogodd rai o'r dwylaw i fyned â rhaff allan o'r llong i'r lan, a thrwy y moddion hyn, a'r egni mwyaf peryglus a blin, llwyddasant i gael agos i 300 o'r môrdeithwyr yn ddiogel i'r lan. Yr oedd yr holl ymdeithwyr yn eu gwelyau, a'r rhan fwyaf o honynt yn glaf o glefyd y môr, pan darawodd y llong wrth y graig. Pan wybuant am y perygl yr oeddynt ynddo, yr oedd y cynnwrf a'r dychryn a gymmerodd le yn eu plith yn arswydus dros ben. Rhuthrasant oll agos ar y bwrdd, heb ddim am danynt ond eu crysau; gan nad oedd ond ychydig iawn o honynt wedi cymmeryd hamdden i droi eu hunain yn y

gwrthban ag yr oeddynt yn cysgu ynddo. Yn y cyfiwr hwn o ddychryn, ar noswaith oer, wlawog, dywell, ac ystormus, yr arosasant hyd nes dygwyd hwynt, bawb yn ei dro, i'r làn gan y morwyr, oddieithr dau neu dri o langciau cryfion ac heini, y rhai a ddringasant ar hyd yr hwylbren. Gan i amryw gam-achwyniadau gael eu taenu ar led y wlad am ymddygiad y dwylaw ar fwrdd y *Newry*, yr ydym yn teimlo dyledswydd arnom i ddywedyd, fod eu hymddygiad o'r dechreu i'r diwedd wedi bod yn hollol gyfatebol i'r eofndra a'r ddynoliaeth hyny, ag sydd bob amser yn cael ei ystyried fel nodweddiad morwr Brytanaidd, mewn awr o berygl a chaledfyd. Mewn amgylchiadau tra pheryglus, a'u nerth ar ddarfod, parhausant yn eu hymdrechiadau ar fwrdd y llong, ac ar y lan, i achub bywydau eu hymdeithwyr hyd bedwar o'r gloch y bore, pan ddaeth Dafydd Griffith, morwr yn byw yn Plas Bodafon, i'w cynnorthwyo. Aeth y gwr hwn yn ddioed ar fwrdd y llong, ac wedi dyfod un Owen James o Blasminffordd, a dau ereill o'r gymmydogaeth, y rhai a arosasant ar y lan, efe a lwyddodd i achub rhwng 40 a 50 o wyr, gwragedd, a phlant, o'r cyflwr peryglus yr oeddynt ynddo; a dygwyd yr olaf o'r rhai hyn i'r lan oddeutu 10 o'r gloch y bore. Y mae yn anhawdd iawn etto i wybod pa nifer a gollasant eu bywydau, ond yr ydys yn tybied eu bod o 40 i 50. Ond y mae hyn yn dra sicr, y buasai nifer y rhai a foddwyd yn llawer mwy, oni buasai dyfodiad prydlon Dafydd Griffith a'r lleill; canys yr oedd nerth pob un o ddwylaw 'r llong wedi darfod, trwy eu llafur caled ac hirfaith. Gobeithio yr ydym y caiff y dynion hyn, yn enwedig Dafydd Griffith, eu gwobrwyo yn gyfatebol i'r hyn a haeddant.

Aeth y llong yn ddrylliau y dydd Sul canlynol, a gwerthwyd yr hyn a adawyd o honi ar gyhoedd ddydd Llun. Cafwyd 14 o gyrph meirwon ym mhlith darnau coed y llong, ac ar y creigiau, y rhai a gladdwyd yn weddus.

Soniwyd uchod fod y rhan fwyaf o lawer o'r rhai achubol heb ddim dillad, ond eu crysau, i guddio eu noethni, pan ddygwyd hwy i'r lan. Yn y cyflwr hwn derbyniwyd hwynt i'r bythod agosaf, lle y cawsant bob ymgeledd a allasai y trigolion tlodion weini iddynt. Dywedir i rai o honynt losgi darnau o'u dodrefn, i'r dyben o gael sychu a thwymno aelodau fferllyd y gwragedd a'r plant. Fel yr oedd y trueiniaid ar hyd y ffordd i Gaernarfon, daeth pob gradd o'r trigolion i'w cyfarfod, gan roddi iddynt fwyd, a dillad, ac arian. Ac ar ddyfodiad y rhai blaenaf o honynt i'r dref, dywed y Gadpen Boileau, gwr bonheddig o'r Iwerddon, ag sydd yn byw yn Nghaernarfon, i gyfarfod gyhoeddus gael ei gynnal, a chasgliad ei wneuthur, i'r dyben i ddiwallu eu hangenion, oddiwrth yr hwn y derbyniodd pob un bryd digonol o fwyd, a phedwar swllt o arian, heblaw cymmorth meddygol i'r cleifion, cagen i ganio y gweiniaid a'r briwedig, a dillad i'r sawl ag oedd mewn eisieu. "Ni fu erioed," medd y Cadpen Boileau, "alwad mwy union-gyrchol ar deimladau neb, ac erioed ni atebwyd hi mor barodol ac effeithiol na chan drigolion tref Caernarfon ar yr achlysur hwn." Dymunai y gwr bonheddig hwn, ar ran ei gydwladwyr y Gwyddelod, gydnabod ei ddiolchgarwch i'r Cymry am yr holl dirionded a dderbyniasant oddi wrthynt. Dywed pawb o honynt, o'r amser y gadawsant y llong hyd eu dyfodiad i Gaernarfon, fod pob drws yn agored iddynt, a phob llaw yn estynedig allan à rhyw beth i'w gynnyg iddynt.

Y dydd Llun a'r dydd Mawrth canlynol, dilynwyd siampl glodadwy pobl tref Gaernarfon gan drigolion dinas Bangor. Mewn ychydig oriau, casglwyd yno, gan Mr. Holford, a boneddigion eraill, £20 8s. 2d. a rhanwyd hwynt ym mhlith y trueiniaid wrth iddynt fyned trwodd ar eu ffordd i Gaergybi, ac yr ydys yn dysgwyl na fydd trigolion y fro hono ddim yn ol o gyfranu tu ag at ddiwallu eu mawr angenion.

Nis gallwn ddiweddu hyn o hanes heb ychwanegu un gair o glod i ymddygiad y Gwyddelod, y rhai a daflwyd yn noeth ac yn newynog ar ein cyffiniau ni y'Nghymru. Yn amddifad fel yr oeddynt o bob peth, teithiasant dros 50 o filltiroedd trwy ein gwlad, heb wneuthur o honynt un weithred o drais nac anonestrwydd, ond yn derbyn yn ddiolchgar yr hyn a roddwyd iddynt, ac yn bendithio y rhoddwyr.

---

*Tarandwrf arswydus*.—Rhwng tri a phedwar o'r gloch prydnawn ddydd Iau, yr wythfed o Ebrill, ymwelwyd à thref *Manchester* â tharandwrf dra dychrynllyd. Mewn cae yn agos i'r dref, lladdwyd pedair o ddefaid a dau oen; ac ar yr un pryd torodd dwy dderwen fawr yn ddarnau, er eu bod encyd o ffordd oddiwrth eu gilydd. Diangodd un oen ag oedd yn gorwedd yn ymyl ei fam heb dderbyn dim niweid, ond y fam a laddwyd. Disgynodd y mellt gyda grym dinystriol mewn amryw fanau yn *Broughton*. Fel ag yr oedd dau o weision y Meistriaid Samuel ac Ashton yn llwytho mèn â thywod ar làn yr afon, tynwyd y fellten gan yr haiarn ag oedd o amgylch yr olwyn, a tharawyd un o'r dynion ag oedd yn sefyll yn agos i'r fèn i'r llawr mewn cyflwr o ddideimladrwydd. Ym mhen oddeutu pedwar mynyd, pan ddaeth ato ei hun, cafodd ei hun yn gor-

wedd oddeutu chwe llath o'r fan lle yr oedd yn sefyll cyn ei daro. Trowyd y fèn a'r ceffyl oddi amgylch. Taflwyd y ceffyl ar ei liniau, ac wedi dyfod ato ei hun rhedodd â'r fèn ymaith mewn dychryn. Ni niweidiwyd dim ar y dyn arall; ac efe a ddywed, pan ddisgynodd y fellten, fod rhyw fflam danbaid o amgylch yr olwyn. Oddeutu yr un amser, disgynodd y mellt i lawr simne tŷ newydd; ond yr unig niweid a wnaethpwyd oedd tori ychydig o ffenestri yr ystafell. At y damweiniau hyn, y mae 'n ddrwg genym orfod chwanegu fod un wraig wedi colli ei golwg trwy danbeidrwydd annyoddefol y mellt.

---

*Rhybudd i Feddwon.*—Ychydig o ddyddiau yn ol, llongwr, wedi meddwi, a ddringodd i ben un o'r cerbydau ag oedd ar y ffordd i Chatham, a dywedodd ei fod yn myned i'w long yn Greenhithe. Dywedodd hefyd i'r ymdeithwyr nad oedd wedi rhoddi ei droed ar dir Lloegr er's pedair mlynedd ar bymtheg o'r blaen; ac wedi tirio o hono yn Lloegr, cyfarfu âg un ferch ieuangc ag oedd yn gydnabyddus iawn â'i deulu, a'i fod yn bur debygol o'i phriodi. Arosodd y cerbyd i newid y ceffylau yn agos i'r fan a elwir *Shooter's Hill*, a disgynodd y llongwr i ymofyn ychwaneg o grog, ac yna aeth ar y cerbyd drachefn: nid aeth y cerbyd ond prin gan llath cyn iddo syrthio drosto, yn wysg ei gefn, gan ddisgyn ar ei ben. Aeth un o'r olwynion dros ei foch ddehau, yr hon a rwygwyd bron ymaith. Gweinyddwyd pob cynnorthwy ag a ellid gan yr ymdeithwyr, a chludwyd ef i dafarndŷ, lle y gadawsant ef mewn cyflwr tra pheryglus.

*Arall.*—Ar nos Fawrth, y 6fed o Ebrill, syrthiodd dyn o'r enw White, pan yn feddw, i'r afon yn agos i Bont Waterloo, Llundain, Prysurodd rhai dynion i'w gynnorthwyo, a buont yn llwyddiannus i'w gael ef allan; ond yr oedd yn ymddangos fel pe buasai yn hollol farw. Cludwyd ef i dŷ cyfagos, ym mha le y gosodwyd ef mewn gwlaneni wedi eu twymno, a chymmwyswyd y feddyginiaeth arferol ar y fath achos. Gosodwyd pedwar o ddynion i rwbio ei gorph; ac yr ydoedd meddyg gerllaw i weini iddo bob angenrheidiau. Mewn oddeutu hanner awr, dangosodd arwyddion o fywyd, ac ychydig wedi hyny barnwyd ef allan o berygl.

---

*Adferiad Gwyrthiol un Byddar a Mud.*—Ychydig ddyddiau yn ol dygwyd un James Williams, *alias* Patrick Callaghan, o flaen hedd-swyddogion tref Cheltenham, ar yr achwyniad o *ddywedyd tesni;* neu, yn hytrach, am iddo fynegi ei wybodaeth ddewinyddawl trwy offerynoldeb benyw wyneb-felen, yr hon a wasanaethodd fel swynyddes yn ogof neu letty y dewin, gan ei fod yn fyddar a mud. Dywedwyd i'r swyddogion mai ei arfer oedd tynu llinellau gwynion ar fwrdd mewn dull tra difrifol; ac wedi hyny, megys mewn myfyr dwys, y safai dros ychydig fynydau, tra y tybiwyd gan ei ymofynwyr ei fod, yr amser hwnw, yn ymddyddan â'r ysbrydion anweledig; yna galwid ar y fenyw i ddeongli iddynt guddiedig bethau yr amser i ddyfod. Cafodd y swyddogion gryn drafferth yn nechreuad yr holiad, gan nad oedd un atebiad i'w gael oddiwrth y cyhuddedig James Williams. Treuliwyd cryn amser fel hyn, heb ddyfod i ddim penderfyniad. Dygwyddodd i un o'r boneddigion ei alw ef yn ddisymwth wrth ei ail enw, Pat Callaghan; ac wele wyrth! trodd y dyn byddar ei ben, ac atebodd i'r alwad! Ar ol i'r swyn gael ei thòri aeth yr holiad ym mlaen; a dywedodd y carcharor, yn ei amddiffyniad, gan fod llawer iawn o foneddigesau, a merched ieuaingc, yn arferol o gyrchu ato, ac yntau yn eu cael bob amser yn dra hael o'u harian, wrth addaw iddynt wyr, a llawer o blant, &c. ei fod bob amser yn rhagfynegi iddynt hyd eithaf eu dymuniad; ac wrth iddo gael y fath gefnogrwydd yn y gelfyddyd hòno, nad oedd yn ei dybied yn ddim drwg iddo gadw i fynu yr enwogrwydd ag oedd wedi ennill iddo ei hun yn ei alwedigaeth. Ond yr oedd yr heddswyddogion o wahanol feddwl i'r carcharor; a hwy a'i hanfonasant ef i'r carchar am dri mis.

---

*Hygoeledd a Ffolineb.*—Dydd Iau, y 25ain o Fawrth, gwnaethpwyd achwyniad go anghyffredin yn y dyddiau hyn wrth yr Hedd-ynadon a ymgyfarfyddant yn Nhref Llanfyllin, sef bod Amaethydd ieuangc yn euog o ymgyrch anghyfreithlon yn erbyn hen wraig yn y gymmydogaeth.—Achwynai yr hen wraig ei cham-driniaeth yn y modd canlynol:—"Daeth yr amddiffyn-blaid i'm tŷ, a chymhellodd fi ar fy ngwaethaf i gyd fyned âg ef adref; ac yno, ar fy ngliniau o flaen ei fuddai, i ddywedyd, 'Rhad Duw ar y llaeth.' Yn yr ymryson rhyngddom, efe a bwyodd hoel yn fy llaw, hyd onid oedd y gwaed* yn llifo o'r archoll," gan ddangos yr ôl yn ei llaw friwedig. Gofynwyd i'r Amaethydd beth oedd ei amddiffyniad; ac yntau a atebodd, "Methu corddi yr oeddym. Buasai hyn o anffawd arnom er ys talm mawr o amser: ac felly, bernais yn gymmwys ddwyn ym mlaen y wraig i fendithio y llaeth. Ni wn i fod neb yn waeth er dywedyd o flaen y

---

* *Barn hen bobl hygoelus gynt oedd, fod tynu gwaed Dewinesau yn dra rhinweddol i ddad-wneuthur neu wrthsefyll eu swynau.*—Cyh.

fuddai, 'Rhad Duw ar y llaeth.'" Dywedodd yr Hedd-ynadon nad oedd ryddid iddo ef, na neb arall, dynu gwaed hen wragedd o herwydd y cyfryw feddyliau disail; neu eu cymhell, ar eu gwaethaf, i fenditbio eu llaeth neu eu buddai; ac nad oedd, mewn gwirionedd, y cyfryw allu mewn un ddewines i rwystro ei chymmydogion gorddi. Fel yr argreffid y geiriau hyn yn ddyfnach ar ei gôf gosodasant ddirwy arno; a danfonir yr hanes at y Gwyliedydd fel na ryfygo ereill ddilyn ei siampl ef.

*Dygwyddiad tra ffodus.*—Ychydig yn ol, fel yr oedd llangces ieuangc yn tòri i fynu hen garpiau ym Melin Bapur Whitehall, Chapel-en-le-Frith, ym mhlith llawer o ddarnau ereill cafodd bâr o hen lodrau (*trowsers*) i'w tòri. Meddyliodd y lodes am chwilio llogellau y llodrau, ac a gafodd sypyn o bapur wedi ei rolio, yr hwn, wedi iddi ei agor, oedd yn cynnwys nifer o bapurau punnoedd. Yn ebrwydd, hi a aeth â hwynt at ei meistr, Mr. Ibbotson, yr hwn, gyd â'r boneddigeiddrwydd a'r haelioni mwyaf, a naccâodd eu derbyn, ond a barodd i'r llangces eu cadw hwynt iddi ei hun.

*Haelioni Canmoladwy.*—Clywsom fod Archesgob Caerefrog, yr hwn a feddianna dir yn Holderness, wedi ymddwyn mewn modd tra chanmoladwy tu ag at yr Amaethydd sydd yn dal y tyddyn; a da fyddai pe canlynid ei esiampl gan holl etifeddwyr tiroedd yn y deyrnas. Yn ystod y blynyddau diweddaf, y rhai a fuant mor niweidiol i'r amaethyddion, arfer yr Archesgob oedd adferu yn ol i'r Amaethydd rhyw gyfran o'i *rent*. Ond eleni tybiai yr Archesgob fod ansawdd isel amaethyddiaeth yn gofyn am annogaeth mwy i'r Amaethydd na rhodd flynyddol ac anwadal; a phan welodd ei denant dywedodd wrtho, iddo ostwng ei *rent* ef 100 punt yn y flwyddyn! Afreidiol fyddai ymhelaethu ar weithred ardderchog a haelionus yr Archesgob.—*Leeds Intelligencer.*

Cincinnati.—Hon yw un o brif drefi talaeth Ohio, yn Unol Daleithiau yr Amerig, lle y mae nifer mawr o'r Cymry wedi traws-fudo ar wahanol amserau. Mor gyflym yw ei chynnydd mewn rhifedi trigolion, fel y mae yr adroddiad yn werth ei hysbysu. Yn y flwyddyn 1802 nid oedd ei phreswylwyr ddim uwchlaw 800; ond yn bresennol y maent yn ychwaneg na 25,000. Yn y tair blynedd diweddaf cynnyddodd y trigolion tu ag *wyth mil* o eneidiau!

Ychydig amser yn ol, cafwyd corph Rachel Cressley mewn pwll glo, yn agos i *Huddersfield*, Swydd Gaer Efrog, dan amgylchiadau a barasant i'r Rheithwyr gredu iddi gael ei lladd gan ei chariad, William Shaw. Rhoddwyd Shaw yn ngharchar; a'r pummed o'r mis hwn, crogwyd ef am y weithred ysgeler; y diwrnod o flaen ei ddienyddiad cyfaddefodd fod ei ddedfryd yn un gyfiawn. Tra yr oeddid yn rhwymo y cortyn am ei wddf, ac yn cuddio ei lygaid, efe a lefodd allan, "Cadw fi, O Arglwydd." O na chymmerai ieuengctid rybudd oddiwrth ganlyniadau o'r fath yma!

Y Brenin.—Sonir, yn y Newyddiaduron diweddaraf, fod iechyd ei Fawrhydi wedi gwaethygu yn ddiweddar i'r fath radd ag i beri ofnau am ei einioes. Dywed un papur, "fod yr anhwyl presennol ag sydd ar ei Fawrhydi, ag iddo argoelion llawer mwy peryglus na'i afiechyd arferol, y droedwst."

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y mae y Dr. Christopher Bethel, Esgob Caerloyw, i fod yn Esgob Exeter, yn lle y Dr. William Carey, yr hwn a drosglwyddwyd i Esgobaeth Llan Elwy.

Y Parchedig William Ellis i fod yn Beriglor Llanaelhaiarn, Sir Gaernarfon; rhydd trwy farwolaeth y Parch. W. Williams; tadog, Arglwydd Esgob Bangor.

Y Parchedig J. Hughes i Bersonoliaeth Rhiw, Sir Gaernarfon; rhydd trwy ymadawiad y Parch. William Ellis; tadog, Arglwydd Esgob Bangor.

## BU FARW,

Dydd Mercher, y 7fed o Ebrill, yn 24 oed, er galar mawr i'w deulu a'i gydnabod, Mr. John Thomas, mab hynaf Mr. Lewis Thomas o Lanrwst. Gwr ieuangc oedd Mr. T. o athrylith a doniau, ag oedd yn rhoddi lle i ddysgwyl y buasai cyn hir yn addurn i'r Eglwys Sefydledig, i weinidogaeth yr hon yr oedd yn ymbarotoi, ac hefyd i'w wlad. Aeth trwy ei holiad cyntaf yn Rhydychain gyda chanmoliaeth; ac yr ydys yn barnu mai trwy ei astudrwydd dwys i ymbarotoi erbyn yr ail holiad yr achlysurwyd yr afiechyd a ddiweddodd ei yrfa. Trwy ei farwolaeth ef, collodd y Gwyliedydd Ohebwr ffyddlon a doniol.—Fe allai y rhoddwn hanes helaethach am dano etto.

# Y GWYLIEDYDD.

## MEHEFIN, 1830.

### ORIAU YSGRYTHYROL.

ACTAU iii. 19, 20, 21. "*Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd; ac yr anfono efe Iesu Grist, yr hwn a bregethwyd o'r blaen i chwi: yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, hyd amseroedd adferiad pob peth, y rhai a ddywedodd Duw trwy enau ei holl sanctaidd brophwydi, erioed.*"—Dygpwyd yr adnodau uchod flynyddoedd lawer yn ol i ystyriaeth yr ysgrifenydd, pan oedd ieuangc yn y weinidogaeth, gan holiad un o'i blwyfolion, Beth a feddylir wrth yr amseroedd i orphwys *o olwg* yr Arglwydd? Pa rai yw amseroedd adferiad pob peth? Fe allai fod yr ymadroddion etto yn parhâu yn anhawdd eu deall gan lawer o ddarllenwyr yr Ysgrythyrau, ac yn ganlynol mai nid annerbyniol fyddai esboniad manylaidd arnynt.

Y mae anhawsderau yr adnodau hyn yn deilliaw oddiwrth gyfieithiad anghywir, neu anfedrus, ar dri o eiriau, sef *gorphwys*, *o olwg*, ac *adferiad.* Prin yn wir y medrwn enwi un rhan o'r Testament Cymraeg, lle y mae yr ymadrodd yn ein hiaith briodol yn darlunio mor drwsgl feddwl y gwreidd-eiriau.

Ystyriwn yn gyntaf y gair *gorphwys*, yr hwn yn y Saesonaeg yw *refreshing*—amseroedd i orphwys, *times of refreshing.* Os rhoddir yma ystyr cywir y gwreidd-air yn Saesonaeg, ni cheir yn ddiau mo hono yn Gymraeg. Arwyddocâd y gair Αναψυξις yw addoeriad—y cyfryw adfywiad neu ddiddanwch ag a ddeilliaw ar dywydd poethlyd i ddyn llesg oddiwrth addoeriad awel *an*-wresog. Cymmwys iawn y dywedir fod yr awel yn dwyn adfywiad neu adloniad, eithr nid gorphwysdra i'r lluddiedig. Oblegid hyn, amseroedd adfywiad, neu adloniad, neu ddiddanwch, a feddylir wrth yr ymadrodd. Hawdd genym arferu yr ymadrodd "poethder erlidigaethau," wrth sôn am orthrymderau oblegid y gair. Onid cynhenid yn yr un modd yw darlunio diddanwch dwyfol dan yr erlidigaethau hyny, megys addoeriad neu adfywiad? Ac oddiwrth bwy, neu o ba le y mae y cyfryw adfywiad a chysur yn deilliaw? Oddiwrth Dduw yn ddiau—oddiwrth ei wyneb neu ei ŵydd ef, yr hwn yw ffynnon pob daioni. Yn y wreiddiaith, arwyddocâd llythyrenol y geiriau yw, *oddiwrth wyneb*, hyny yw, oddiwrth yr Arglwydd. Wyneb yr Arglwydd sydd ymadrodd cyffredin yn yr Ysgrythyr, yn arwyddocâu, mewn priodiaith ddwyreiniol, yr Arglwydd ei hun—"Wyneb yr Arglwydd sydd yn erbyn y rhai a wnant ddrwg." *Ps.* 34. 16. 1 *Pedr* 3. 12. Ymddengys yr ymadrodd hwn yn y

cyfieithiad Saesonaeg mewn llawer mwy o fanau nag yn y Cymraeg, fel y gwel y sawl a edrycho Ddangoseg Ysgrythyrol. "O flaen wyneb yr Arglwydd;" *Luc* 1. 76. yw yr un peth a phe dywedasid o flaen yr Arglwydd. Yr un gwreidd-air sydd am *wyneb* yn Luc ac yn yr Actau, a'r unig wahaniaeth yw, fod y rhagddodiad yn amrywio yn ol ystyr y llefarwr. Felly, amseroedd adfywiad neu ddiddanwch oddiwrth yr Arglwydd yw ystyr yr ymadrodd yn y rhan hon o'r adnodau.

"Iesu Grist—yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, hyd amseroedd adferiad pob peth, y rhai a ddywedodd Duw trwy enau ei holl sanctaidd brophwydi." Pa sut y gellir *ad*-feru pob peth a ddywedodd Duw trwy y prophwydi, anhawdd yw deall; eithr eglur yw y gellir eu *cyflawni*, a hyn a ddylem ei ddysgwyl, os credu yr ydym yr Ysgrythyrau. Y cyfryw oedd yr ystyr y deellid y gair ynddo gan hen dadau y brif eglwys. *Cyflawniad*, neu *drefniad diweddaf* pob peth, oedd yr hyn a ddeallent hwy wrtho. Y mae yr ystyr hwn yn gyttun â hen gyfieithiadau Syriaeg ac Arabaeg, ac os cyfieithir yr adnod felly, bydd meddwl yr apostol yn eglur:—"Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau, *fel y delo* amseroedd adfywiad *oddiwrth wyneb* yr Arglwydd; *ac fel y danfono* Iesu Grist, yr hwn a bregethwyd o'r blaen i chwi: yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, *hyd gyflawniad* pob peth;" hyny yw, hyd ddiwedd y byd, pan ddychwel efe drachefn i farnu y byw a'r meirw.

Z.

---

## RHAI CYFARWYDDIADAU I ADDOLI DUW YN GYHOEDDUS.

PAN ddywed St. Paul (1 *Cor.* 14. 40.) "Gwneler pob peth yn weddaidd, ac mewn trefn;" y peth mwyaf neillduol y geilw ein hystyriaeth ato, ydyw addoliad Duw yn yr Eglwys. Y mae gwasanaethu 'r JEHOFAH yn orchwyl o'r pwys mwyaf, ïe, o dragywyddol ganlyniad; am hyny, ammhossibl yw i ni fod yn rhy ochelgar rhag myned yn ei gylch mewn modd anaddas. Ym mhlith yr ychydig gyfarwyddiadau a amcanaf osod i lawr i hyfforddi dynion yn y gwaith pwysig hwn,

Y peth cyntaf a grybwyllaf yw, y dylai pawb, a ddymunant addoli Duw yn iawn, *ochelyd bod yn rhy ddiweddar i ddyfod i'w dŷ.* Arwydd eglur fod dynion yn ddideimlad o'u hangen ysbrydol, ac nad oes syched ynddynt am y Duw byw, yw eu bod yn esgeuluso dyfod mewn pryd i'r Eglwys; ïe, nôd diammheuol yw, nad oes ganddynt na pharch i Dduw nac i'w wasanaeth. Byddai well i'r gynnulleidfa pe na ddeuai 'r cyfryw byth i'w plith. Pa faint o ofid iddynt yw i gael eu terfysgu gan sŵn agoriad y drysau, a thrwst cerddediad i amryw fanau o'u hamgylch, pan yr ymdrechant â'u holl egni i addoli Duw? Creulondeb mawr ydyw eu haflonyddu wrth y fath waith. Gobeithiaf y bydd i ystyriaeth o hyn geryddu y rhai a arferent fod yn ddiweddar yn dyfod i'r Eglwys, fel y gofidiont am eu hymddygiad anaddas hyd yn hyn, ac y cywilyddiont fod yn euog o'r fath arfer mwy.

Priodol yw sylwi yn nesaf, y dylai 'r gynnulleidfa, wedi dyrchafu erfyniau dirgel, ar i'r nefoedd eu bendithio, *gyd-uno mewn bywiogrwydd meddwl gyd â'r gweinidog* yn yr holl wasanaeth, yn *enwedig yn y rhan flaenaf* o hono. Cyfarwyddir ni yn yr Eglwys Sefydledig i ddechreu 'r addoliad gyda chyfaddefiad dwys o'n pechodau, a thaer weddi am i'r Arglwydd gymmeryd "trugaredd arnom ddrwg

weithredwyr truain." Ac yna y datgenir gollyngdod a maddeuant i ni gan y gweinidog, yn enw Crist, os ydym yn "wir edifeiriol, ac yn ddiffuant yn credu i'w sancteiddiol Efengyl ef." Craffwn, arweiniad i mewn i addoliad Duw, ydyw cyffaddefiad edifeiriol o'n pechodau. Nid oes addoliad cymmeradwy heb hyn. Heb gyfaddefiad, nid oes edifeirwch; heb edifeirwch, nid oes maddeuant: ac os ydym heb faddeuant, y mae ein holl addoliad, os teilwng yw o'r enw, yn wrthodedig gan Dduw. "Os fy mhobl, y rhai y gelwir fy enw arnynt, a *ymostyngant*, (mewn edifeirwch, gan gyfaddef eu pechod) ac a *weddïant*, (am faddeuant) ac a geisiant fy wyneb, ac a droant o'u ffyrdd drygionus: yna y gwrandawaf o'r nefoedd, ac y *maddeuaf* iddynt eu pechodau.—Yn awr fy *llygaid* a fyddant yn *agored*, a'm *clustiau* yn *ymwrando* ar y weddi a wneir yn y fan hon," sef yn y deml. (2 *Cron*. 7. 14, 15) Fel pe dywedasai Duw, "Os nad ymostyngant mewn edifeirwch o fy mlaen, ni chânt faddeuant; ac os na chânt faddeuant, ni wel fy llygaid, ac ni chlyw fy nghlustiau, ddim o'u haddoliad yn y lle hwn: bydd y cwbl yn ffiaidd genyf." "O herwydd paham (cynghoraf i'r holl gynnulleidfa ddymuno yn *nechreu* 'r addoliad) atolygwn ni iddo ganiatâu i ni wir *edifeirwch* a'i Ysbryd Glân, fel y byddo *boddlon* ganddo y pethau yr ydym y pryd hwn yn eu gwneuthur."

Peth arall haeddiannol o'n sylw, yw y *dull y gweddai ein cyrph fod ynddo yn amryw rannau 'r gwasanaeth*. Fel y dysgwylir ein bod o *un galon* ac *un meddwl* gyd â'r gwaith, dymunol yw hefyd ein bod yn *yr un agwedd corphorol*.

Wrth *weddïo*, dylem, yn ddiammeu, *ymostwng ar ein gliniau*. Pan yr offrymwn ein diolch i'r goruchel Dduw am ei anhaeddiannol roddion gwerthfawr i'n cyrph a'n heneidiau yr amser a aeth heibio, ac yr erfyniwn arno am barhâd o'r unrhyw yr amser sydd i ddyfod, oni ddywed rheswm wrthym y dylem fod yn wir ostyngedig? A thrwy ba agwedd y gallwn arwyddo ein gostyngeiddrwydd yn well na thrwy ymgrymu ar liniau ein cyrph o'i flaen? Ond y rheswm cadarnaf, mai yn yr agwedd hon y dylem weddïo Duw, yw esamplau y duwiolion crybwylledig yn y Bibl. Dyma ddull Solomon, Ezra, Daniel, Stephan, Pedr, a Phaul, wrth weddïo: ïe, dyma ddull ein Harglwydd bendigedig ei hun. (2 *Cron*. 6. 13. *Ezra* 9. 5. *Dan*. 6. 10. *Act*. 7. 60. a 9. 40. a 20. 36. *Mat*. 26. 39. *Luc* 22. 41.) Dymunir i'r rhai a eisteddant, a safant, neu a hanner orweddant yn yr Eglwys (neu yn un man arall) ar amser gweddïo, gofio fod y cyfryw ymddygiad yn cael ei farnu yn anaddas, nid yn unig gan "Lyfr y Weddi Gyffredin," ond hefyd gan LYFR DUW.

Awn rhagom i sylwi yn nesaf, ar *yr agwedd y dylem fod ynddo wrth ganu mawl i Dduw*. Bod canu yn rhan o ddwyfol addoliad, sydd amlwg ddigon oddiwrth yr Ysgrythyrau. Gosododd Dafydd, *peraidd ganiadydd* Israel, y Lefiaid yn gantorion wrth eu swydd, yn nhŷ yr Arglwydd. (1 *Cron*. 6. 31, 32.) A byddai eu nefol beroriaeth yn cael ei felysu â chynghanedd lleisiau, a chyd-sain pob rhyw offer cerdd. (*Ps*. 81. 2. a 150. 3, 4, 5.) Crist hefyd a'r apostolion ar ol y swpper diweddaf, a *ganasant hymn*, ac a aethant allan i fynydd yr Olew-wydd. *Mat*. 26. 30. Afreidiol yw crybwyll ychwaneg o'r ysgrythyrau i brofi mai "deddf yw hyn (canu mawl) i Israel, a defod i Dduw Jacob." (*Ps*. 81. 4.) Fel y profa yr ysgrythyrau uchod fod canu yn rhan o addoliad, dengys yr adnodau canlynol pwy a ddylai

ganu, ac ym mha agwedd. "A'r offeiriaid oedd yn sefyll yn eu gorucliwyliaeth; a'r Lefiaid âg offercerdd yr Arglwydd, y rhai a wnaethai Dafydd y brenin i gyffesu i'r Arglwydd, o herwydd yn dragywydd y mae ei drugaredd ef, pan oedd Dafydd yn moliannu Duw trwyddynt hwy: a'r offeiriaid oedd yn udganu ar eu cyfer hwynt, *a holl Israel oedd yn sefyll.*" (2 *Cron.* 7. 6.) "A'r Lefiaid, Jesua, a Cadmiel, &c. a ddywedasant, *Cyfodwch*, bendithiwch yr Arglwydd eich Duw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." (*Neh.* 9. 5.) Ystyried y bobl hyny a eisteddant yn yr Eglwys pan yr esgyn caniadau o fawl i'r Arglwydd oddiwrth ei bobl, fod yr adnodau uchod yn condemnio eu hymddygiad, fel nôd o ammharch i addoliad eu Creawdwr, ac fel eglur arwydd nad yw eu harfer yn y rhan hyn o wasanaeth yn cytuno âg eiddo 'r duwiolion; oblegid "*holl Israel* oedd yn *sefyll*," a diammeu yn cydgordio yn y gwaith o foli. A'r holl Eglwys yn y gogoniant, wedi dechreu canu ar y llawr, a *safant* ger bron gorsedd-faingc yr Oen, ac a ganant ei glod heb dewi yn oes oesoedd. (*Dat.* 7. 9, 10.)

---

BYR-DRAETHAWD

AR Y MODDION GOREU I GYRHAEDDYD CYMMWYSDER I'R WEINIDOGAETH, A'R DULL GOREU O GYFLAWNI EI DYLEDSWYDDAU.

Swydd Gweinidog yr Efengyl yw y fwyaf pwysig ar wyneb y ddaear. Swydd yw hon a gyfrifai yr angelion yn anrhydedd ei chynnal. Swydd a dderchafwyd i'r radd eithaf gan Arglwydd a Brenin yr angelion, trwy ymddarostwng i'w chyflawni yn ei berson ei hun. Mae pregethwr yr Efengyl fel yn sefyll rhwng y byw a'r meirw; a bwriadir ei weinyddiadau er derchafu Duw ar y ddaear, a dwyn ym mlaen les amserol a bythol ei gydgreaduriaid. Yn ol fel y llwyddir ei ymdrechiadau, y mae ei gymmydogion yn ateb dyben eu gwneuthuriad, ac yn cael eu haddasu i fwynhâu pur, hyfryd, a thragywyddol lawenydd y nef. Dengys yr ystyriaethau hyn (a gellir yn hawdd chwanegu ereill atynt) bwysfawrogrwydd y pwngc mewn llaw, a'i deilyngdod o sylw pawb a ewyllysiant fod yn wylwyr ffyddlon, bod yn ddieuog o waed eu pobl, a chael eu hannerch gan "Ben mawr yr Eglwys," ar y dydd diweddaf, yn y geiriau hyfryd hyn, "Da, was da a ffyddlon, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."

Cynnwysa y pwngc hwn ddwy ran:

I. Y moddion goreu i'w hystyried er bod yn alluog i gyflawni dyledswyddau y weinidogaeth.

II. A pha fodd i ddefnyddio y gallu hwnw, er diogelu gwrthddrychau goruchel y swydd hono.

I. *Y moddion goreu i'w harferyd er bod yn alluog i gyflawni dyledswyddau y weinidogaeth.*

1. Y peth cyntaf i'w ddilyn fel moddion grymus i ennill cymmwysder i'r swydd hon ydyw, *rhodiad agos gyda Duw.*

Lle y mae y gweinidog yn byw mewn cymmundeb â'r nefoedd, mae ganddo le i ddysgwyl bendith ddwyfol ar ei ymdrechiadau. Gan fod ei ddybenion yn gyfreithlon (o herwydd lle nid ydynt, mae Duw yn wastadol yn naccâu gwedd ei wyneb) gall, yn hyderus, edrych am ryw fesur o lwyddiant ar ei lafur. Mae addewid rasol y Jehofah yn sylfaen i'r cyfryw ddysgwyliad; canys dywedir, pan fyddo dyn "â'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio ynddi ddydd a nos, (ymadroddion a gynnwysant gymdeithas â Duw) beth bynag a wnel y bydd iddo lwyddo." Ond gan adael heibio yr ystyriaeth hon, yr hwn nid yw yn *uniongyrchol* yn

perthyn i'r mater mewn llaw, sylwaf bod rhodiad beunyddiol gyda Duw yn rhoddi addasrwydd personol i swydd y weinidogaeth. Po agosaf y mae dyn yn rhodio gyd â'i Waredwr, a pho mwyaf o bresennoldeb Duw a fwynhâ yn ei fynwes, egluraf oll y cenfydd wirioneddau y gair, a dyfnaf oll y bydd yr argraph a wneir ganddynt ar wahanol alluoedd ei enaid. Trwy hyn dygir ef i'w rhyfeddu ac i orfoleddu ynddynt. Yn awr, po eglurafy byddo golygiadau gweinidog o'r dwyfol wirionedd, a pho mwyaf yr effeithia ei fawredd a'i bwysfawrogrwydd ar ei galon, mwyaf addas ydyw i drin y gwirionedd hwn yn llwyddiannus yn ei weinidogaeth. Tra hysbys ydyw y gwahanol ddull a'r teimlad y sonir am ryw ddygwyddiad pwysig gan wahanol ddynion. Os sonia dyn am dano, yr hwn nid oedd y dygwyddiad yn perthyn iddo, ni ddengys fod unrhyw gyffröad neillduol ar ei deimladau. Nid yw iddo ef ond fel damwain gyffredinol, a sylwa arno gyd â'r pwyll a'r tawelwch mwyaf. Ond arall, yr hwn yr effeithiodd y dygwyddiad yn drom arno, a sieryd yn ei gylch mewn modd llwyr wahanol. Mae ei deimladau wedi eu cyffroi; mae hyd yn nod ei lais wedi colli ei arferol sain; mae ei wynebpryd yn llawn araethyddiaeth, ac yn dywedyd yn groyw fod rhyw gynhyrfiadau nerthol o'i fewn. Fel hyn y mae 'r un dygwyddiad, fel y gŵyr pawb, yn gwneuthur ar y gwrandawyr wahanol argraphiadau, yn ol gwahanol amgylchiadau y sawl a'u hadroddant. Pan chwedleua un am dano, ni chyffrôir y neb sydd yn gwrando: a phan fyddo arall yn chwedleua am dano, cynhyrfir teimladau o'n mewn cyfatebol i natur y peth. Ar yr un sail, gellir haeru y bydd i'r gweinidog, yr hwn sydd yn canfod fod pethau Duw yn dwyn perthynas agosaf â'i gyflwr, greu gwrandawiad mwy astud, a dwysach teimladau, nag un arall sydd yn amddifad o'r olwg eglur hon. Mae y gweddïau yn mynegi angenion y mae yn deimlo; gan hyny â ei galon allan ynddynt at Dduw. Mae yr erfyniadau a draethir ganddo ynghylch bendithion a ŵyr ei fod ef a'i wrandawyr yn sefyll yn yr angen mwyaf o honynt; gan hyny ni all ffurfioldeb a marweidd-dra deyrnasu arno wrth eu cyflwyno i Dduw. Bydd syml —bydd ddefosiynol—bydd daer—bydd ei weddïau yn ymdrechiadau grymus am iachawdwriaeth—a bydd ei bregethau yn ffyddlon, diduedd, a charedig. Ei weddïau ymdrechgar, a'i bregethau pwysig hyn, a effeithiant ar ei gynnulleidfa. Llefara gyd âg awdurdod; pâr i'r bobl dystio ei fod gyda Christ; canmola ei hun wrth eu cydwybodau fel dysgawdwr anfonedig gan Dduw. Gan ddirnad, yn ngoleuni yr Yspryd Glân, lygredd a thwyll ei galon ei hun, medr fyned i mewn i galonau ereill, gan eu dangos iddynt eu hunain, nodi allan eu tueddiadau a'u gobaith, a pha mor halogedig ac enbyd ydynt ger bron Duw. Pan ymsudda y gweinidog fel hyn i ddyfnderoedd y fynwes, gan ddwyn eu drygau cuddiedig i'r goleu; a dysgrifio mor gywir farn, ewyllys, gobaith, a hyfrydwch yr enaid diadgenedledig, nes y byddo y pechadur yn gorfod dywedyd, *Myfi yw y gwr*, mae tebygolrwydd mawr y bydd, trwy fendith y Goruchaf, yn offeryn "i'w droi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw." Trwy y fath weinidogaeth a hon, trwy ba un, o herwydd ei brofiad ei hun, y mae gwas yr Arglwydd yn myned i mewn i fynwesau ei wrandawyr, "y gwneir dirgelion calonau dynion yn amlwg; ac felly, gan syrthio ar eu hwynebau hwy a addolant Dduw, gan ddywedyd, fod Duw yn wir ynddo." 1 *Cor*. 14. 25.

2. Peth arall tueddol i gymmwyso Gweinidog y gair i'w lafur-

cyhoeddus ydyw, *coffadwriaeth ymarferiadol o bresennoldeb Duw.*

Ni all presennoldeb Duw, lle bynag yr iawn ystyrir ef, lai na pheri braw yn nghalon dyn. Yn wir, nid diachos yw y cyfryw fraw; canys y mae'r Bod anfeidrol sanctaidd hwn yn bresennol ym mhob man, nid fel sylwr diofal o'n ffyrdd, ond craffa ar ein symmudiadau gyd â'r astudrwydd mwyaf, i'r dyben o'n trin yn ol llaw, "yn ol yr hyn oll a wneir yn y corph, pa un bynag ai da ai drwg." Chwilia ein calonau, olrheinia weithrediadau ein meddwl, a phwysa ein gweithredoedd, i roddi barn arnom ar ddydd cyfrif, ac i sefydlu ein tynged yn dragywydd. Diau y dylai presennoldeb y fath edrychwr greu symlrwydd ym mhob meddwl, a chryndod ym mhob mynwes. Ond o herwydd llwgr eu hanian, mae gweinidogion, yn gystal ag ereill, yn agored i anghofio eu bod dan eang olygon y nef; ac y mae yr anghof hwn, i'r radd yr hanfoda, o angenrheidrwydd yn magu ynddynt ragrith a rhyfyg, ac yn rhy fynych agwedd ysgafn a di anrhydeddus. Iawn ystyriaeth o wyddfod Duw a greai yr un teimladau yn y Gweinidog ag a greodd yn y Patriarch gynt, "Diau fod yr Arglwydd yn y lle hwn, ac nis gwyddwn i; ac efe a *ofnodd,* ac a ddywedodd, *mor ofnadwy yw y lle hwn.*" *Gen.* 28. 16, 17. Y mae yr ystyriaeth o bresennoldeb y JEHOFAH yn effeithio yn fawr ar yr angelion, ac yn peri y gostyngeiddrwydd mwyaf yn yr ysprydion difrycheulyd hyny. Pe myfyrid yn ddyladwy arno, effeithiai yn yr un modd ar greaduriaid dynol. Cawn i bresennoldeb angel orlenwi apostol duwiol a sanctaidd â syndod ac ofn, "Ac mi a syrthiais wrth ei draed ef i'w addoli ef." *Dat.* 19. 10. Yn awr, os achosodd presennoldeb un o weision y Goruchaf y weithred eilun-addolgar hon yn Ioan, pa ddwfn barch, pa ofn sanctaidd, pa symlrwydd y dylai y gwirionedd bod Duw, y Bod gogoneddus, i'r hwn y cynnyg yr angelion eu hunain eu haddoliadau tanllyd, yn bresennol beri yn ein calonau! Myfyrdodau dwys ar y gwirionedd rhyfeddol hwn a effeithiai yn fawr ar bob Gweinidog, ac a barai i ddifrifwch redeg trwy ei holl lafur gweinidogaethol, yr hwn a ymdaenai dros y gynnulleidfa oll. Pe dwfn-ystyriai mai "daear sanctaidd" mae yn sefyll arni "dyosgai ei esgidiau oddi am ei draed." Ni chrwydrai ei feddwl oddiwrth un gwrthddrych daearol at un arall; ni chanfyddid ysgafnder ac ysmaldod yn ei agwedd; ond cyflawnai ei orchwyl pwysig mewn dull gostyngedig a pharchus, ac yn y cyfryw fodd ag i dueddu i gyrhaedd a chynhyrfu calonau ei wrandawyr. "Na fydd ry brysur â'th enau, ac na frysied dy galon i draethu dim ger bron Duw." *Preg.* 5. 2. Byddai sylwedd y gofynion hyn yn cael ei amlygu yn y gweinidog, pe llafariai am y coffadwriaeth gwastadol hwnw o bresennoldeb y Goruchaf ag a ganmolir wrtho yn y llinellau hyn.

3. Fel *trydydd* modd, er cyrhaedd y ddawn o iawn weinyddu yn nhŷ yr Arglwydd, cynghorir y gweinidog i *fyfyrio yn aml a difrifol ar y lle a benir iddo y'ngwasanaeth y cysegr.* Mae pob swyddog mewn sefyllfa o bwys. Mae ar hwnw sydd yn gweithredu dros ereill, yn gystal a throsto ei hun, angen mawr am ddoethineb, pryder, diwydrwydd, ynghyd âg amryw niweidiau ereill; o herwydd mae ymddygiad yn cynnyddu mewn pwysfawrogrwydd ac mewn buddioldeb, neu niweidrwydd, yn ol cyhoeddusrwydd ei sefyllfa—a nifer a maintioli y gorchwylion a ymddiriedwyd i'w ofal. Os cwymp, ni chwymp yn unigol: os saif, saif torf gyd âg ef. Mae lluoedd yn cael lles oddiwrth ei wroldeb. Os ymddug swyddog mewn

rhyfel yn annoeth, mae yr holl fyddin sydd dano yn profi chwerwder ei annoethineb. Os bydd gweithrediadau llywydd teyrnas yn ffol ac anwadal, mae y wladwriaeth o'r bron yn dyoddef adfyd, mae cenedl gyfan yn suddo i ddyryswch a thrallod. Ond o bob swydd gyhoeddus nid oes un i'w chystadlu â'r hon a lenwir gan Weinidog yr Efengyl. Mae ffrwyth ei ymddygiad yn rhagori cymmaint ar eiddo cadpen neu frenin daearol, ag yw sylweddau diddarfod y byd nesaf yn rhagori ar wrthddrychau diflanedig—ar wag gysgodau y byd hwn. Mewn un rhan o'r gwasanaeth, mae, os goddefir yr ymadrodd, yn enau'r bobl i Dduw—yn y llall, genau Duw i'r bobl ydyw. Mae mewn sefyllfa hanner-ffordd rhwng y Creawdwr a'r creaduriaid; cyfrwng yn llaw yr Yspryd Glân rhwng nefoedd a daear: yn awr yn beiriant, trwy ba un yr esgyn llais dynion at Dduw; yn awr yn offeryn, trwy ba un yr amlygir meddwl Duw i ddynion. Pan feddylia'r Gweinidog gyd â difrifwch am hyn, bydd ei feddyliau yn dra effeithiol er ei osod mewn agwedd ffafriol i gyflawni ei swydd. Pan gofia fod lles tragywyddol y bodau anfarwol sydd dan ei ofal mor gyssylltedig â'i ddull yn gweini yn nhŷ yr Arglwydd, difrifoldeb ac ofn sanctaidd a lywodraetha yn ei fynwes; taerineb a defosiwn fydd yn dra gweledig yn ei waith. Pan fyfyria ar y bygythion echryslon a gyhoeddwyd uwch ben y gau brophwydi gynt, y rhai a wnaethant i Israel bechu (*Jer* 23.) a'r taerineb â pha un mae yr apostol yn annog Gweinidogion i fod yn ffyddlon a llafurus i borthi praidd Duw, yr hwn a brynodd â'i brïod waed; ofna rhag peri i'r bobl gyfeiliorni; ofna rhag iddo, trwy anystyriaeth yn y gweddïau, gefnogi y diofal yn ei ddiofalwch, a blino y syml ei feddwl, yr hwn a gyrcha i'r cysegr, gan obeithio gweled gogoniant a gallu Duw yn ei gynteddau. Ac yn ei *bregethau*, cryna wrth y meddwl o roddi gau heddwch i'r anedifeiriol—o barhâu tywyllwch yr anwybodus—o feithrin balchder yn yr hunan-gyfiawn—ac o gadw dyddanwch rhag y cystuddiedig. Wrth ganfod fel hyn bwysfawrogrwydd ei sefyllfa, fel blaenor llu yr Arglwydd, ni's gall lai na hiraethu am fod yn rhydd oddiwrth waed pawb; i gyflwyno ei bobl "fel morwyn bur i Grist;" a "thrwy wylio arno ei hun, a'i athrawiaeth, aros ynddynt, ei gadw ei hun, a'r rhai a wrandawant arno."

(*I'w barhau.*)

---

ARDDERCHOG LU Y MERTHYRON.

(*Parhad o du dal.* 172.)

MEGYS y dengys yr hen ferthyron yr esamplau hynotaf o ddyoddefaint, a'r annogaethau cadarnaf i'r bywion ddilyn eu glanaf fuchedd hwynt; felly ni a welwn yn eraill gynlluniau o galedi, llafur, anhawsderau, a hunan-ymwadiad anghyffredin. Gellid dywedyd eu bod yn marw beunydd, a'u llafur dibaid yn pregethu yr efengyl, ac ennill pechaduriaid i grefydd Crist, ni adawai iddynt nac esmwythder na seibiant. Pan gymmerodd Sant Gregorius feddiant o esgobaeth Neocesarea, cafodd yr ardal oll yn llawn o anffyddloniaid, eilun-addolwyr, a hereticiaid, heb gymmaint a lle addoliad yn ei holl esgobaeth, a chyn y gallai bregethu mewn eglwys, gorfu arno adeiladu un. Yn y maes hwn, a ymddangosai mor anffrwythlon ar y golwg cyntaf, llafurio er hyny a wnaeth yn eithaf diwyd, a chanlyniad ei lafuriau dros chwe blynedd ar hugain oedd yn hynod iawn, a dylid eu coffhâu er annogaeth i weinidogion yr

engyl ym mhob oes. Ar ei wely angeu, dywedodd y geiriau cofiadwy hyn—"Da fuasai genyf pe gwelsai Duw yn dda fy arbed ychydig yn ychwaneg, fel y gorphenaswn fy ngwaith; etto yr wyf yn diolch iddo am yr hyn y galluogodd fi i'w wneuthur. Pan ddaethym gyntaf i'r esgobaeth fawr hon, ni chefais ynddi ond dau ar bymtheg o Gristionogion; ac yr wyf yn awr yn ei gadael, pan (i Dduw y byddo y diolch) nid oes ynddi ond dau ar bymtheg, y rhai nid ydynt yn Gristionogion."

Pan ddarllenom hanes y merthyron, cofiwn, megys y profwyd hwynt drwy greulonderau anghyffredin, ac y cafwyd drwy ras nefol yn fwy na buddugoliaethol, fod profedigaethau o ryw fath wedi eu gosod i bawb o honom ninnau. Nid arteithiau dygn-boenus ac angeu a fygythir arnom, eithr rhaid i ninnau aml weithiau *ddyoddef;* a'n dyledswydd ydyw dyoddef gyd âg amynedd ac ymostyngiad, gan ymwadu â ni ein hunain, a chymmeryd y groes a'i ddilyn Ef, yr hwn a adawodd i ni yr esampl berffeithiaf o ddyoddefaint, pan osodwyd arno gan bechaduriaid. Os nacâwn ddyoddef yn amyneddgar ychydig groesau y dyddiau presennol, pa wedd y gallwn fod yn ddilynwyr y prif ddisgyblion, y rhai trwy ffydd ac amynedd mor ryfeddol a etifeddasant yr addewidion?

Gofidus yw genym ddarllen am y poenau dygn-gystuddiol y rhai a roddwyd ar y prif Gristionogion. Tor calonus fyddai genym feddwl am neb o'n perthynas yn dyoddef y cyfryw arteithiau; ond pa beth a feddyliwn am danynt hwy, neu am danom ein hunain, yn dyoddef y mil-gwaith mwy poenau, y rhai a ddysgwyliant y pechaduriaid anedifeiriol yn y byd tragywyddol? O yatyriaeth echrydus! tragywyddol fydd y poenau, anfarwol hefyd fydd ein bywydau ninnau yn eu dyoddef, ac wedi treulio miloedd o oesoedd, bydd y gofidiau cyn belled oddiwrth eu terfyn a'r mynyd cyntaf o'u dechreuad. Och! ni, pwy a drig gyda thân ysol? pwy a orwedd i lawr mewn llosgfeydd tragywyddol?

Dywedir i un o'r prif Gristionogion gael ei ddygn-boeni dros hir amser gan offdiau a ymddangosai yn annyoddefadwy gan gig a gwaed, ac iddo ddyoddef y cwbl oll gyd âg amynedd, ie, sirioldeb rhyfeddol. Wedi i'w elynion flino yn ei boeni, gollyngasant ef yn rhydd, ac yna ei gyfeillion, y rhai, cystal a'i elynion, a synasent wrth ei amynedd anghyffredin, a ofynasant iddo, Pa sut y gallai ddyoddef y cyfryw arteithiau blin-dost? "O (eb efe) safai angel disgleirwych wrth fy ymyl drwy yr holl amser, a chyfeiriai yn siriolwych fy ngolygon tu a'r nefoedd." Tydi, Gristion, yr hwn a oddefir gan brofedigaethau a blinderau, cofia mai byr yw yr amser, a bod taledigaeth y gwobrwy yn nesâu. Dychymmyga yn dy feddwl fod angeu yn sefyll yn weledig yn dy ymyl, ei fod yn cyfeirio at y farn fawr ddiweddaf, ac at yr etifeddiaeth a barotôwyd i ffyddlon blant yr Arglwydd. Clyw ef yn dywedyd wrthyt, "Yr holl ogoniant hwn, eiddo y ffyddloniaid yw—y goron anniflanedig draw a wisgir ganddynt yn oes oesoedd—byddant yn debyg i Grist, ac yn cyd-deyrnasu gyd âg ef byth ac yn dragywydd." Gwna hyn, meddaf, a diffoddir angerdd profedigaeth, a throir heibio ymgyrch y gelyn. Ti a ddiystyri drwy ffydd y dyoddefaint presennol, ac a brofi fod angeu, nid mwy yn frenin y dychryniadau, eithr yn gyfaill caredigol, ac, fel yr angel dysgleirwyn i'r merthyr, yn cyfeirio yn siriolwych dy olygon tu a'r nefoedd.

ALPHA.

## ISAIAH, PEN. LIII.

1 Pwy á gredodd ein hymadrawdd;
Ac i bwy y datguddiwyd braich IEHOFAH?
2 Canys tyfodd megis y blaguryn yn ei wydd ef;
Ac megis y gwreiddyn o dir sychedig:
Heb bryd ac heb degwch iddo: a phan y gwelom ef,
Nid oes olygiad, mâl y dymunem ef.
3 Bu efe yn ddirmyg a diystyraf o wŷr;
Gwr y gofidion ac hynod drwy flinder;
Ac megis yn cuddio ei wyneb rhagom:
Dirmyg oedd, ac ni wnaethom gyfrif o honaw.
4 Diau ein gwendidau ni á gymerodd efe arno;
Ac ein gofidion ni, dygodd hwynt:
Etto cyfrifasom ni ef wedi ei archolli;
Gwedi ei daraw gan Dduw, ac ei gystuddiaw.
5 Ond efe á wanwyd am ein troseddau ni;
Ac á friwwyd am ein camweddau ni:
Y gosb er ein heddwch ni fu arno ef;
A thrwy ei gleisiau ef y daeth iachâad i ni.
6 Nyni oll fàl defaid á grwydrasom;
Troisom àr neilltu, pawb i'w ffordd ei hun;
Ac IEHOFAH á wnaeth i ddisgyn arno ef ein camweddau ni oll:
7 Mynid tâl; ac yntau á ddaeth yn atebawl, ac nid agorodd ei enau;
Mâl yr oen á arweinir i'r lladdfa,
Ac fàl dafad o flaen ei chneifiwr yn fud;
Efelly nid agorodd yntau ei enau.
8 Trwy farn orthrymus y cymerwyd ef ymaith;
Ac am ei fuchedd, pwy á draethai?
Canys torwyd ef ymaith ó dir y byw;
Am drosedd fy mhobl y bu y dyrnawd arno ef.
9 Er y trefnid ei feddrawd gyda drygionusion,
Etto gyda chyfoethogion yr oedd yn ei farwolaeth,
Am na wnaethai gam,
Ac nad oedd twyll yn ei enau.
10 Ond mynai IEHOFAH ei friwaw ef: parai ef offdiaw [gan ddywedyd]
Os gosoda efe ei enaid yn bech-aberth,
Efe á wela had; estyna ddyddiau;
Ac ewyllys IEHOFAH á lwydda yn ei law.
11 O lafur ei enaid y gwela efe ac y boddlonir:
Trwy ei wybodaeth y cyfiawnha fy ngwas cyfiawn laweroedd;
Canys eu camweddau hwynt efe á ddyga.
12 Am hyny dosparthaf iddo laweroedd;
A chedeirn yn anrhaith á ddosparthaf efe;
Am iddo dywalltu ei enaid i farwolaeth;
Ac efe á gyfrifwyd gyda throseddwyr;
Ac á ddygodd bechodau llaweroedd;
Ac á eiriolodd dros y troseddwyr. TEGID.

RHYDYCHAIN.

D. S. Yr ydys yn deall y cyhoeddir cyfieithiad newydd o Brophwydoliaeth Isaiah, o'r iaith wreiddiol, yn Gymraeg a Saesoneg—a bod y cyfieithiad Saesoneg yn awr yn y wasg, ac a gyhoeddir cyn diwedd yr haf hwn.——GOL.

## SYLWADAU YSGRYTHYROL.

### PSALM lix. 14.

"A dychwelant gyd â'r hwyr, a chyfarthant fel cwn, ac amgylchant y ddinas."

DYWED Calmet y cyfrifid ei yn anifail aflan, ac a ddirmygid yn fawr gan y gyfraith Iuddewaidd. (1 *Sam.* 24. 14.) Mae 'r apostol yn dywedyd, "Gochelwch gwn;" wrth yr hyn y meddylir, proffeswyr haerllug, rheibus, a brwnt: a Phedr a gymhara bechaduriaid, yn llithro beunydd i bechod, i gwn yn ymchwelyd at eu chwydiad eu hun.

Yr oedd cwn yn lliosog yn ninasoedd yr Iuddewon. Ni chauent hwynt i fynu yn eu tai, nac yn eu cynteddau, ond ceisient eu bwyd trwy grwydro yma ac acw, lle y gallent ei gael, ac weithiau udent yn groch; "cyfarthent fel cwn," yn enwedig, pan fyddai arnynt eisieu bwyd. "Barna 'r Tyreiaid (medd Russell) gi yn greadur aflan a halogedig, ac o achos hyny gyrant ef allan o'u tai; a'r creaduriaid yma ydynt yn y wlad hono yn dra chyffredin, heb neb neillduol yn eu perchenogi—rhai a warchadwant yr heolydd a'r ardaloedd, yn hytrach na rhyw dŷ priodol, a'u bwyd yw y gweddillion a deflir ymaith." Y cyfryw anifeiliaid a gyfeirir atynt yn 1 *Bren*. 21. 24. "Y cwn a fwyty yr hwn a fyddo marw o'r eiddo Ahab yn y ddinas;" ac yn 2 *Bren*. 9. 35, 36.

Wrth y geiriau, "dychwelant gyd â'r hwyr," y meddylir, dychweliad y cwn i'r ddinas, o'r pentrefi, a lleoedd ereill, o chwilio am ysglyfaeth.

### BARNWYR xi. 31.

"Yna yr hwn a ddelo allan o ddrysau fy nhŷ i'm cyfarfod, pan ddychwelwyf mewn heddwch oddiwrth feibion Ammon, a fydd eiddo yr Arglwydd, a mi a'i hoffrymaf ef yn boeth-offrwm."

"MAE dwy ran," medd Mr. Parkhurst, "yn adduned Jephthah, 1. Mai pwy bynag a'i cyfarfyddai a fyddai eiddo yr Arglwydd; hyny yw, y cyssegrid ef i'w wasanaeth byth, megys ag y cyflwynodd Hannah Samuel cyn ei eni.—2. Ffiaidd oedd gan JEHOVAH anifeiliaid aflan, a llawer mwy aberthau dynol; am hyny ni allai Jephthah feddwl am addunedu un o'r rhai'n; ac os darfu, dilys yw, na offrymai 'r offeiriaid mo honynt. Byddai 'r fath adduned, o'r gradd lleiaf, yn wrthun a drwg, ac agos yn ammhosibl i'w chyflawni." Sylwa Mr. Parkhurst ym mhellach, y gellid cyfieithu 'r geiriau fel hyn—"A mi a'i hoffrymaf iddo ef," sef i JEHOFAH, yr hyn sydd yn gyfatebol i lawer o ymadroddion o'r Ysgrythyr.

AB THOMAS.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### IAR GUINEA.

IAR GUINEA, a elwir felly oddiwrth enw y rhan hono o Affrica, o'r hon y dygwyd hi i'r wlad hon, fel y tybir. Wrth edrych ar noethni ei phen, gellir casglu fod rhyw berthynas rhyngddi â'r *Twrci;* ond pan sylwer ar lun y corph, gwelir tebygolrwydd ynddi i'r *Petris.* Y mae ychydig yn fwy na'r ieir cyffredin, a'i choesau yn hirach, ac felly yn sefyll yn uwch, ac yn ymddangos yn fwy o lawer. Eu lliw sydd lwyd tywyll, wedi ei fritho yn dewfrith â manau gwynion—y mae cylch du o amgylch y gwddf. Y mae iddynt fochau neu gernau a thagellau cochion. Yn eu gwlad enedigol cyd-drigant yn heidiau, a magant eu cywion yn gyffredin—yr ieir yn gofalu am gywion ereill, yn gystal a'u rhai eu hunain. Ymdeithwyr a ddywedant, y bydd weithiau mewn haid o honynt o ddau i dri chant o rifedi. Cysgant ar frigau y coed, ac ymborthant ar

lyngyr y ddaear, gwybed, a cheilliogod y gwair, &c. Eu cig sydd dyner, blasus, a gwyn, yn gyffredin, er ei fod weithiau yn dda. Ni wyddis yn sicr gan bwy na pha bryd y dygwyd hwy i'r Ynys hon. Yr anianydd clodwiw, a'n cydwladwr dysgedig Mr. Pennant, a feddwl eu dwyn i'r Ynys hon cyn y flwyddyn 1277.

## YR IAR GOED, NEU Y PHEASANT.

Yr Iar Goed, neu y Pheasant, a ddygwyd i Ewrop o Asia, o lenydd yr afon Phasis, oddiwrth yr hon y cymmerant yr enw Pheasant. Pa bryd y dygwyd hwynt i Ewrop ni ddywedir yn sicr—rhai a ddywedant eu dwyn gan Jason yn ei long *Argo*, pan y mordwyodd ef, a gwroniaid ereill, i Colchis, yn Asia Leiaf, tu a'r flwyddyn 1263 cyn Crist. Yn nesaf i'r Paen, y Pheasant yw yr harddaf o holl adar ein gwlad. Eu llun sydd hardd, a lliw eu plu sydd orwych a rhagorol. Nid ellir â geiriau na lliw eu darlunio. Dywedir i Crœsus, brenin Lydia yn Asia, ofyn i Solon, un o ddoethion Groeg, unwaith, pan yr oedd wedi ei wisgo yn ei ragorol freninol wisgoedd, a welsai efe un peth erioed o'r blaen mor hardd? Y doethgarwr yn ddigyffro, a atebodd, gan ddywedyd, "Wedi gweled y Pheasant, nid allaf ryfeddu un harddwch arall." Yr adar hyn ydynt mor dda a blasus yn fwyd ag ydynt hardd a godidog i edrych arnynt. A phan y llefarai yr hen feddygon am ymborth iachus, cydmarent y cwbl â chig y Pheasant. Er cymmaint sydd yn y Pheasant i ddenu'r dyn i'w ddal a'i ddyfetha, etto y mae yn mawr liosogi. Yn eu cyflwr gwyllt yn y coed, dodwa'r iar o ddeuddeg i ugain o wyau, er na wna pan y dofir fwy na deg. Mâg ei chywion yn y coed gyda gofal a diwydrwydd nid bychan, er na wna mae eistedd ar yr wyau na magu y cywion yn dda pan yn ddof. Gwelir yn eglur, wrth sylwi ar ei gwahanol ymddygiad yn wyllt â dôf, mai gwell yw ei gadael yn ei chyflwr genedigol. Felly hi yn fuan a lenwa 'r goedwig âg adar, y rhai â'i harddant hi â'u plu amryliw godidog, a'u cig fydd lawer iawn fwy blasus i'r archwaeth. Pan y dalier hwynt yn gywion ieuaingc, gwneir hwynt mor ddôf a chywion yr ieir dofion. A phan y bwriedir eu cadw i fagu, gadewir hwynt yn rhyddion o amgylch y tŷ, a cheiliog i bob pum iar. Yr ieir pan yn wylltion a wnant eu nyth o ddail a gwellt sych; a dylid darparu y pethau hyn iddynt pan yn ddofion. Os na wna 'r iar eistedd ar ei hwyau, rhaid eu rhoddi o dan iar ddof, a hi a'u deora. Anhawdd iawn yw magu y cywion. Yr ymborth goreu iddynt yw wyau mywion neu forgrug. Cymmysgir y rhai hyn, er eu helaethu, â chawsion, a phethau ereill. Rhaid gofalu am yr amser a'r cyfran i roddi iddynt. Bwytânt amryw drychfil, megys pryf clust, llau 'r coed, &c. Dylid cadw eu nyth yn hynod lân, ac ni ddylid eu gollwng allan nes codi 'r gwlith, a rhaid eu casglu cyn y dechreuo wlitho yn yr hwyr. Wedi y cryfhâont, gallant wneuthur drostynt eu hunain. Hoffant haidd a cheirch yn fawr. Y Pheasant pan yn hen a ymbortha agos ar bob peth a ddelo yn ei ffordd. Dywed rhyw Ffrengcyn, fod un o adarwyr y brenin yn saethu at frain, y rhai oeddynt wedi disgyn ar ysgerbwd marw, ac yn ymborthi arno, ac mai mawr oedd ei syndod pan y daeth at yr ysgerbwd, a gweled ei fod wedi saethu cynnifer o *Pheasants* ag o frain. Pan y bo llawer o honynt yn yr un lle, a bod ún yn glaf, y lleill a ddechreuant ei guro a'i faeddu, ac wedi ei ladd, hwy a'i bwytânt. Yn y gwanwyn, ac amser dodwy, y ceiliogod Pheasant a ymladdant fel ceiliogod y domen.

Arferir llawer dull a modd mewn amryw ardaloedd i ddal yr adar o dan sylw. Rhai dynion a fedrant eu dynwared â llais, fel ag i'w twyllo, a'u dwyn i'w rhwyd. Deuant allan deirgwaith yn y dydd i ymborthi: y tro cyntaf yn fuan ar ol codi haul, yr ail dro tua hanner dydd, a'r tro olaf yn yr hwyr. Llïosogant yn gyflym iawn mewn ardaloedd coediog. Canys, ddeg neu bymtheg mlynedd yn ol, nid oedd yn nghymmydogaeth yr ysgrifenydd ond ychydig, a'r rhai hyny gan amlaf yn gadwedig mewn tisdai adeiliedig i'w magu; ond yn awr y maent yn amlach o lawer na'r ieir dofion, a gellir yn fynych weled ugeiniau a honynt ar faes yma ac acw yn yr ardal. Ac er cynnifer a laddwyd, ac a leddir bob blwyddyn, yn gyfreithlon ac yn anghyfreithlon; etto, y mae cannoedd lawer o honynt yn aros i fagu yn y coedwigoedd anianol a phlanedig. Er bod etto rai ardaloedd yn ein gwlad heb yr adar heirdd hyn; etto yn afrwydd y dymunem iddynt fyned yno—nid o herwydd na ddymunem i'n cydwladwyr weled yn eu cymmydogaeth eu hun un o'r adar harddaf yn y byd; ond o herwydd y bydd raid iddo dalu yn ddrud am eu gweled. Gwir yw y dymunai llawer amaethydd, er holl brydferthwch yr aderyn, iddo ef, a'i holl ryw, fyned yn ol i faesydd Asia, ac ardaloedd Phasis.

Byd y profiad yw hwn; ac nid oes fawr o bethau, os dim, a'r ni all fod yn brofedigaeth i ni. A hyn heibio. Caffed amynedd ei pherffaith waith.

R.

---

## BRWYDR FAWR WATERLOO.

### LLYTHYR III.

Yn fy llythyr diweddaf gadawais luoedd Prydain yn prysuro o Brussels i ymuno â lluoedd y Tywysog Blucher, i gydweithredu âg ef yn erbyn y Ffrangcod, y rhai oeddynt yn awr yn ymosod arno gyd âg ymroddiad digyffelyb. Yr oedd Buonaparte wedi rhagweled hyn, ac wedi dethol 30,000 o filwyr, a'u hymddiried dan ofal y dewr a'r gwrol Dywysog Ney, fel y crybwyllwyd eisoes. Cyfarfu y rhai mwyaf blaenllaw o luoedd Brydain â'r rhai hyn mewn Pentref a elwir Quatre Bras, yr hwn a enwir felly oblegyd fod y ffordd o Charleroi i Brussels yn croesi y ffordd o Nivelles i Namur yn agos i'r Pentref, ac yn llunio pedair croesffordd. Yr oedd milwyr Ffraingc yno o flaen y Prydeiniaid. Yr oedd yn ammhossibl i holl fyddin y Dug Wellington ddyfod i fynu yn gryno gyd â'i gilydd, o herwydd fod iddynt waith parotoi, a bod rhai o honynt yn gwersyllu y'mhellach na'u gilydd oddiwrth Quatre Bras. Ychydig gatrodau, ac yn enwedig yr Albaniaid, yn gwneuthur i fynu ran o ddosparth yr enwog a'r dewr Gadfridog Picton, oedd y rhai cyntaf i ddyfod i olwg y gelynion. Nid oeddynt ond megys dyrnaid bychan o wyr, mewn cydmariaeth i rifedi eu gwrthwynebwyr; er hyn oll, ni ruasant am un mynydyn eu gwrthwynebu, a chynnal holl bwys yr ymdrech eu hunain. Rhyfedd yw meddwl i'r dewrion teilwng hyn attal y gelyn yn ei rwysg, nes iddynt gael eu cyfnerthu gan filwyr eraill, y rhai o hyd oedd yn dyfod i fynu o Brussels a'i chyffiniau. Tost a gwaedlyd iawn a fu ymdrechiadau y dydd hwn, o herwydd anghyfartalwch ein milwyr ni mewn cydmariaeth â'r Ffrangcod; er hyny safasant eu tir heb encilio trwch y blewyn; a chafodd yr haul, ar ei fachludiad, weled baneri Prydain yn chwifio uwch ben yr un llanerch ag yr oedd wedi bod yn tywynu arnynt trwy gydol y prydnawn. Ond er iddynt hwy allu dal eu






EGLURHAD

A. Sefylla'r Prydeiniaid.
B. Sefyllfa'r Ffrangcod.
C. Hynt Blucher i ymuno â lluoedd Brydain.
D. Dyfodiad y Prussiaid dan y Cadfridog Bulow.
E. Dyfodiad a rhuthr y Prussiaid dan Gad. Ziethens tua diwedd y Frwydr.
F. Rhuthr y Prussiaid ar ystlys ddehau y Ffrangcod.
G. Symudiad byddin gefn y Ffrangcod i wrthwynebu y Prussiaid.
H. Sefyllfa y Dug Wellington y' nechreu y Frwydr.
I. Sefyllfa Buonaparte.

ffordd, yr oedd yn ammhossibl iddynt beidio a theimlo mawr anesmwythdra mewn perthynas i ddiweddglo y frwydr rhwng Buonaparte a Blucher, canys yr oeddynt ar hyd y dydd yn clywed swn eu magnelau. Yr oedd yr haul wedi codi ar y ddaear fore yr 17eg, pan dderbyniodd y Dug Wellington y newydd gofidus o orthrechiad yr hen wron, a'i fod, ar y pryd, yn encilio. Yr oedd y ddau Gadfridog, sef Blucher a Wellington, wedi cytuno o'r blaen, mai os gorchfygid ef, sef Blucher, y byddai iddo gilio yn ol, i dreflan a elwid Wafre, ac y byddai iddo yntau, sef y Dug Wellington, syrthio yn ol i'r cyfryw sefyllfa ag a'i gwna yn gyfleus iddynt gydweithredu erbyn y deuai ailddaro. Mewn cydgordiad â'r drefn uchod, enciliodd y Tywysog, fel y crybwyllais yn fy llythyr diweddaf, i Wafre; ac yn ddioed, wedi derbyn y newydd o hyn, gorchymmynodd y Dug Wellington i'w holl fyddin adael eu sefyllfa bresennol, a hwylio eu ffordd yn ol tua Brussels. Erbyn oddeutu 11eg o'r gloch, ar fore yr 17eg, yr oedd eu hamrywiol sefyllfaoedd yn Quatre Bras yn wag, a'r holl fyddin ar ei hymdaith, oddieithr ychydig o olosgyrdd, y rhai a drefnid yno er atal y Ffrangcod i ddyfod ar ol y fyddin, i'w haflonyddu ar ei henciliad. Yr oedd hi yn ddiwrnod hynod o wlybyrog, a'r ffyrdd wedi cael eu cafnio gan y llifogydd a'r magnelau, fel yr oedd braidd yn ammhossibl eu trafaelio, ac yn enwedig i'r gwageni a'r cadgelfi. Wedi taith o ychydig oriau, ac oddeutu saith milltir o bellder, cyrhaeddasant faes nodedig a bythgofiadwy Waterloo. Yma gorchymmynodd y Dug i'r holl fyddin orphwyso, gan arwyddo ei fod yn bwriadu gwrthsefyll y gelynion yn y lle hwn. Dywedir fod y Dug pan oedd yn ymdaith drwy yr Iseldiroedd, ac yn myned heibio y llanerch hon, wedi sylwi arni, a dywedyd, mai os byth y deuai i'w ran ef ymddiffyn Brussels y dewisai y fan hono fel ei sefyllfa filwraidd.

Yr wyf yn bwriadu yn awr, Mr. Gwyliedydd, drwy gymmorth y darlun a dderbyniwch gyda y llythyr hwn, roddi bras-eglurhad o faes yr ymladdfa, a sefyllfaoedd y ddwy fyddin. Yr wyf yn meddwl mai y ffordd oreu, tu ag at roddi rhyw syniad i'r Cymro o'r lle, a fydd ei gyfeirio i lunio iddo ei hun ddyffryn tebyg iddo yn ei fro enedigol. Bydded iddo, gan hynny, ddychymygu dyffryn oddeutu tri chwarter milltir o led, ac ychydig dros ddwy o hyd, yn rhedeg o'r deau orllewin i'r gogledd ddwyrain, a llechweddi lled uchel o bob ochr. Wrth sefyll yn y pen deheuol, ac edrych tu a'r gogledd ddwyrain, efe a genfydd fyddin Prydain ar yr aswy iddo, a byddin Ffraingc ar y ddeau. Yr oedd cadres Brydain wedi cael ei threfnu yn debyg i be baech yn tori cylch crwn yn ei hanner, ac yn troi y camedd at y Ffrangcod, ac yn gosod rhes o wyr ar hyd yr ochr allanol iddo: felly byddai bob pen yn tynu i fewn ychydig, a'r canol yn fwy y'mlaen, fel hyn, ): Yr oeddynt yn ddwy res. Yr oedd y rhes gyntaf wedi cael ei gosod ar war trum, oddeutu hanner ffordd i fynu y llechwedd, y tu ol i hen glawdd lled rwyllog, a ffos ag oedd yn rhedeg o dreflan Mynydd St. Jean, tua phentref Ohain. (Gwel y darlun.) Yr oedd yr ail res wedi ei chyfleu mewn pant, tu ol i'r drum, ac i ryw raddau yn cael ei gysgodi rhag ergydion y gelynion. Y mae y llechwedd oddeutu La Haye, yn lled goediog, ac yn bur agenog, ac hyd yma y cyrhaeddai pen eithaf cadres Brydain, ar yr aswy. Y mae ffordd yn myned o La Haye i Ohain a St. Lambert, ac ar hyd hon yr oedd Wellington yn dysgwyl yr hen Flucher i'w gynnorthwyo. Yr oedd

canolbwynt byddin Brydain ar gyfer pentref Mynydd St. Jean, oddeutu canol y bryn, yn agos i'r llanerch ag y mae y ffordd fawr o Brussels yn fforchi'n ddwy, un yn arwain i Nivelles, a'r llall i Charleroi. Yr oedd pen eithaf y fyddin, ar y ddehau,* yn terfynu yn Merke Braine. Yn y darlun, tua phen deheuol y fyddin, y'mhell y tu blaen, y gwelir lle o'r enw Hougoumount. Tŷ gwr bonheddig oedd hwn, yn cael ei gylchynu o un tu â thai allan, ac o'r tu arall â gardd eang, yn llawn o rodfeydd. Yr oedd yr ardd hon yn cael ei chau allan â gwal uchel, a thu allan i'r wal yr oedd clawdd a ffos. Yn amgylchu y cyfan yr oedd tyrrau o goed talgryffion yn gorchuddio y'nghylch pedair erw o dir. Yr oedd y llanerch hon o'r pwys mwyaf i'n milwyr ni. Yr oedd y lle ynddo ei hun fel rhyw gaer fechan, a thra safai y'meddiant y Prydeiniaid, yr oedd bron yn ammhossibl i'r Ffrangcod lwyddo yn erbyn pen deheuol y fyddin. O'r tu arall, pe syrthiasai i ddwylaw y gelynion, buasai y Prydeiniaid yn cael eu caethiwo i'r llechweddi, a'u hysgogiadau yn cael eu cyfyngu i lawer llai o gwmpas. Rhoddasai fantais i Buonaparte i blanu ei fagnelau yno, ac anrheithio ein byddin, a'i maeddu, drwy saethu ar hyd y gadres. Rhoddwyd amddiffyniad y lle hwn i ofal dosparth o'r Gosgorddion o La Haye Sainte, yr hwn a welir ar gyfer canolbwynt y fyddin, oedd yn cynnwys tŷ annedd, ac ychydig dai allan, ac ymddiriedwyd y lle hwn i'r Hanoveriaid. Y tu ol i'r clawdd, ar hyd y ffordd a grybwyllwyd, sy'n rhedeg o La Haye Sainte i La Haye, y trefnid dosparth ein cydwladwr Syr Thomas Picton. Dysgwylid mawr daro ar y lle hwn, o herwydd mai yma yr edrychid am fyddin Blucher i ddyfod i gyduno â'r Prydeiniaid. Y mae y mân-nodau (-I-) y tu blaen i'r ddwy fyddin, yn dangos y modd y trefnid y magnelau. Nid oes dim yn hynod yn sefyllfa y Ffrangcod, namyn mai llechwedd oedd, lled debyg i'r ochr ar yr hon y safai y fyddin wrthwynebol. Yr oedd y dyffryn rhyngddynt yn hollol agored, heb ei rannu yn gacau, na'i ddosparthu â chloddiau. Mewn rhai manau yn gulach na'i gilydd. Nid yw yn gwbl wastad, ond y mae ar hyd-ddo amrywiol bonciau a phantiau. Ar y dydd nodedig hwn yr oedd yn cael ei orchuddio âg ŷd, bron yn barod i'r cryman, ac yn tyfu can uched ag ysgwyddau yr amrafaelwyr. Drwy gymmorth graddau y milltiroedd yn y darlun gall y darllenydd, gyd â'i gwmpawd, fesuro yr amrywiol bellderau. Yr oedd dyfodiad y Prydeiniaid i'r lle yn gynharol y dydd o'r blaen, sef yr 17eg, yn fantais fawr iddynt. Cafodd y gwyr amser i orphwyso, i lanhau eu harfau, ac i'w cynnysgaeddu eu hunain â phob angenrheidiau anhepgorol. Cafodd y Dug Wellington hefyd amser i drefnu ei fyddin, ac i gadarnhau pob lle yn y modd goreu. Yn hyn cynnorthwyid ef yn fawr gan ddau beirianwyr enwog, y rhai oeddynt hynod o gyfarwydd yn y gelfyddyd o drefnu a hwylio y magnelau. Dywedir fod y Dug Wellington wedi gorchymmyn i ddarlun o'r fan gael ei dynu, pan ymwelodd â'r lle dre yn ol, fel y senniwyd, ac iddo alw am hwnw yn awr, er ei gynnorthwyo i drefnu ei barotoadau amddiffynol. Wedi gorphen y cyfan, efe a neilltuodd i bentref Waterloo, ynghyd âg amryw o'r prif Gadfridogion, lle y lletyodd am y noson. Gorphwysai y milwyr yn y lle, â'u pwys ar eu harfau. Ac yr oedd lluoedd Ffraingc yn dyfod i fynu ar hyd y nos, i fod ar y bryn

---

* Sylwer yma, mai aswy a dehau y milwyr a feddylir pan fyddont yn wynebu eu gelynion.

gerllaw iddynt. Yr oedd y tywydd yn hynod o dymhestlog ar hyd y nos, yn goleuo mellt ac yn taranu yn y fath fodd na chanfu ein milwyr na'u blaenoriaid erioed ei gyfryw. Yr oedd y gwlaw yn ymdywallt yn genllifoedd, a hwythau heb unrhyw gysgod. Yr oedd y taranau a'r mellt fel pe buasent yn ymryson yn eu ffyrnigrwydd â'r hyn oedd i gymmeryd lle y dydd dranoeth.

Cynnwysai byddin Prydain mor agos ag y gellir barnu, ynghylch 82,000, ac a wneid i fynu fel y canlyn:—Prydeiniaid, 38,000;—Lleng Ellmynaidd, 8,000;—Hanoveriaid, 14,000;—Lluoedd y Dug Brunswick a'r Belgiaid, 22,000.—O wyr traed, 62,000;—Gwyr meirch, 15,000;—Magnelwyr a pheirianwyr, 5,000. Cynnwysai byddin Ffrainge ynghylch 90,000. Lletyai Buonaparte mewn treflan fechan a elwir Planchenoit, yr hwn a welir yn y darlun, y tu cefn i'w fyddin. Noswyl arbenig oedd hon, i'r milwyr a'u Cadfridogion o bob ochr: a chyda dysgwyliad pryderus am gyflafan erchyll, yr hon y byddai iddi y canlyniadau mwyaf pwysig, yr arosasant am wawriad y 18fed o Fehefin.

---

## DARLITH AR DDAEARYDDIAETH, YNGHYD A SYLWADAU RHAGDDODAWL AR WYBODAETH, &c.

*A draddodwyd ger gwydd Cymreigyddion Caerludd, gan Mr.* GRIFFITH DAVIES, *Ebrill* 1, 1830.

MR. LLYWYDD,—Mae yn adnabyddus i chwi mai coleddu yr iaith Gymraeg, a meithrin gwybodaeth ddefnyddiol ym mhlith ein cyd-genedl ydynt brif amcanion y Gymdeithas hon: ac wrth ystyried undeb a brawdgarwch, boneddigeiddrwydd a gweddeidd-dra ymddygiad y rhai ydynt yn arferyd cyfarfod, a sylwi ar yr awydd am wybodaeth a welir ym mysg yr aelodau yn gyffredinol, ynghyd â rhagoroldeb ac amrywiaeth y darlithiau a glywsom ynddi y flwyddyn ddiweddaf, amlwg yw fod llwyddiant nid bychan ar ei hymgais; ac nad oes eisieu ond cyd-ymdrechiad i'w gwneuthur yn adnabyddus er sicrhau iddi gefnogiad boneddigion a dysgedigion ein gwlad, ac i'w chyfodi yn un o'r sefydliadau mwyaf anrhydeddus ym mhlith ein cydwladwyr.

Clywsom yma yn barod rai o'r areithiau mwyaf hyawdl, mewn Cymraeg loyw, a draethwyd erioed yn nglywedigaeth yr un o honom; rhai hefyd megis y ddarlith ym mis Chwefror, yn profi nad oes diffyg doniau na medr celfyddawl ar ein cydwladwyr dan yr anfanteision mwyaf; ac eraill, megis yr hon a glywsom y mis diweddaf, yn arddangos nad yw cywir edygiad am ryddid etto wedi colli o'n mysg, ac yn cynnwys mewn ychydig ymadroddion fwy o resymau anwrthwynebol nag a welir weithiau mewn cynnifer o lyfrau.

Ni's gallaf lai na llawenhâu wrth weled y cyfryw arwyddion o gynnydd yn llafur aelodau y Gymdeithas, a chanfod yn eu mysg fechgyn mewn oedran, yn hen mewn *myfyrdod*;* er hyny nid yw ystyriaeth o'r hyn a glywsoch gan eraill ond peri i mi fod yn fwy petrusgar nag o'r blaen i anturio dyfod etto ger eich gwydd; ac wrth weled cynnifer o foneddigion parchus a dysgedig yn fy amgylchu, rhaid i mi yn ddiweniaith, gyfaddef fod yn ddrwg genyf na buaswn wedi cael mwy o amser i drefnu fy syniadau, ac, er parch a dyddanwch iddynt, yn fwy hyddysg yn iaith fy mam, ac yn fwy hyawdl yn fy ymadrodd.

Ond rhag difa eich amser i ymesgusodi, gofynaf, Pa Gymro, a

* Cyfeiriad at Ddarlith ragorol ar *Fyfyrdod*, a roddwyd gan ddyn ieuangc ger gwydd y Gymdeithas.

haeddai yr enw, a all barhâu yn ddigyffro i edrych ar ein cymmydogion gogleddol, yn heidio i lenwi y sefyllfaoedd mwyaf parchus o'r naill ben o'r ynys hyd y llall, a gweled ei gydwladwyr, megys caethweision, yn ennill eu bywioliaeth gyd â'r galwedigaethau iselaf? Diammeu nad un rhagoriaeth mewn nerth corphorol, na galluoedd rhesymawl ychwaith, sydd wedi rhoi i'r genedl yr wyf yn cyfeirio ati yr oruchafiaeth ar ein cenedl ein hunain; ond un o'r prif achosion o'r gwahaniaeth rhyngddynt hwy a ninau yw, eu bod hwy wedi blaenori mewn meithriniad gwybodaeth gyffredinol. Ac os addefwch mai dyma yr achos sydd wedi rhoddi y tir uchaf yn ein dyddiau ni i genedl, yr hon y bu ein hynafiaid am oesoedd yn rhagori arni mewn gwybodaeth a gallu, ac yn ei chadw o fewn terfynau, onid ydym yn gwaradwyddo ein hunain wrth orphwys mewn syrthni i edrych ar hiliogaeth yr un genedl yn rhanu yr yspail, ac yn dwyn ymaith y blaen-ddanteithion ger gwydd ein llygaid?

Wrth sylwi hefyd ar gynnydd ymdrechiadau er lledaenu gwybodaeth gyffredinol ym mysg ein cydddeiliaid o wahanol iaith, heb anghofio mai yn ystafell y Cymreigyddion yr wyf, honaf yn ddibetrusder y dylem, yn lle coleddu yr iaith Gymraeg, â'n holl egni ymdrechu i'w difodi o'n gwlad, fel na byddo yn rhwystr i'n cydwladwyr i ddefnyddio moddion gwybodaeth mewn iaith arall; neu, ynte, ymwroli i ddyfod â'r cyffelyb foddion o fewn cyrhaedd ein cydgenedl yn eu hiaith eu hunain. Ail-adroddaf hefyd yr un gofyniad ag o'r blaen, er yr addefir genym oll mai pethau crefyddol ydynt fwyaf eu pwys a diraf eu canlyniadau—Pa Gymro, a haeddai yr enw, ac yn meddu barn ddiduedd, a all edrych, heb gyffroi, ar ymdrechiadau chwillysawl rhai o hil Gomer am gyfyngu gwybodaeth ein cydwladwyr at bethau crefyddol yn unig? Y rhai hyn a ddangosant ysfa am ddifodi, pe medrent, yr ychydig Gyhoeddiadau Cymreig a ymdrinant â gwybodaeth gyffredinol, ac am rwystro, hyd y gallont, i neb hyfforddi ei gydgenedl, na gwrando hyfforddiadau gan eraill, oddieithr mewn addoldai, neu ynte mewn estroniaith!

Na ddigalonwn er hyny; canys y mae yr Ysgolion Sabbothol, a Chyhoeddiadau Crefyddol, wedi tori y wawr er ys talm ar ein gwlad; Seren Gomer er ys amser yn cyhoeddi fod ein dydd yn agoshâu; Lleuad yr Oes yn amlwg ddangos fod yr haul ar godi arnom; yr hen Wyliedydd wedi ail ddangos ei wynebpryd siriol i'n rhybuddio fod yr amser i ni ddeffroi; a'r Cymro, er mai ieuangc a bychan ydyw, yn cyhoeddi nad yw hil Gomer yn Llundain yn anghofio eu gwlad, na'u hiaith eu hunain, nac ychwaith yn edrychwyr disylw ar ymdrechiadau eu cydfrodyr o fewn terfynau y dywysogaeth. Oni welwn hefyd yn yr ystafell hon nifer o wylwyr yn dysgwyl am y bore; a thorf o weithwyr yn gloywi eu harfau i fyned i'r maes yn erbyn coelgrefydd, anwybodaeth, rhagfarn, a gormes; ac yn adnewyddu eu hymdrech am ddwyn y celfyddydau a changhenau gwyddoriaeth o fewn cyrhaedd eu cydgenedl yn eu hiaith eu hunain.

Er dychwelyd at un o brif amcanion y Gymdeithas, sef meithriniad gwybodaeth ddefnyddiol, sylwaf, nad oes genym etto offerynau angenrheidiol i'r dyben o addysgu ein gilydd mewn Celfyddydau a Phrawddoniaeth; er y byddai eu cael yn dra dymunol, ac, hwyrach, yn alluadwy i ni ym mhen ychydig, gallwn yn y cyfamser ymdrin â phethau yn tueddu i ehangu meddyliau ein gilydd, a chreu awydd a

chymmwysderau ynddynt i ddefnyddio llyfrau ac offerynau erbyn yr ymddengys y cyfryw yn ein plith.

Am mai meddwl dyn, gan hyny, yw y gwrthddrych yr ydym yn amcanu ei loywi, rhag dygwydd fod rhai yn wrthwynebol i'r gair *meddwl,* sylwaf mai yr un peth a fynwn i chwi ddeall wrtho ag *enaid* neu *yspryd,* ond fod y gwahanol enwau yn cael eu rhoddi arno yn ol y gwahanol olygiadau a gymmerwn am dano. *Enaid,* fel gair yn arwyddo yr hyn sydd yn byw; *yspryd,* gyd â golygiad ar ei sylwedd anghorphorol; a *meddwl,* gyd â chyfeiriad at ei weithrediadau, yn meddwl, myfyrio, amgyffred, barnu, &c. Am y peth rhyfedd hyn o gywreinwaith ein Creawdwr mewn dyn, ni's gallwn ddywedyd ond ychydig heblaw yr hyn a ddatguddir am dano yn yr ysgrythyrau, oddieithr mai yn y rhan hon y ffurfir ac y cartrefa yr hyn a nodir wrth y gair *gwybodaeth.* Ac am wybodaeth dyn, sylwaf mai ei *gôf* yw *ei thrysorfa:* ei synhwyrau corphorol, trwy y rhai y mae yn dirnad y pethau sydd o'i amgylch, a'r ymwybodaeth sydd ganddo am ysgogiadau ei feddwl o'i fewn, ydynt *gludyddion* ei syniadau iddi, trwy y porth a nodir wrth y gair *amgyffred:* a'i alluoedd meddyliawl ydynt megys celfyddwyr cywrain yn trefnu y syniadau cynnwynawl hyn; yn eu helfenu, eu dansoddi, eu cyffredinoli, eu rhywio, a'u hadgyfansoddi, er eu cymmwyso i fod yn elfenau iaith; ac hefyd yn eu troi dan ei fyfyrdod, fel y gallo eu cymharu y naill â'r llall, ac olrhain eu perthynasau â'u gilydd, a thrwy hyny osod sail i'w wybodaeth *wyddorawl.*

Wedi anturio taflu ger eich gwydd fras olwg ar ffurfiad gwybodaeth dyn, chwanegaf ychydig eiriau am yr hyn wyf yn feddwl wrth y gair *gwybodaeth,* sef meddiant o syniadau neu olygiadau cywir am bethau (hanfodawl, ansoddawl, a dansoddiadawl) ac adnabyddiaeth o'r amrywiol berthynasau sydd rhyngddynt. Ei syniadau am bethau ydynt ddefnyddiau ei wybodaeth: a'i adnabyddiaeth am eu hamrywiol berthynasau ydynt seiliau yr holl honiadau a all efe wneuthur mewn perthynas iddynt.

Er cywreinrwydd annhraethadwy synhwyrau corphorol, a galluoedd rhesymol dyn, fel creadur unigedd, ni byddai ei wybodaeth fel y cyfryw ond cyfyng wedi y cwbl; ond fel creadur cymdeithasgar, megys y dywedais yma o'r blaen, mae iaith, amser, a lle, fel rhaff dair caingc yn cydio ei feddwl â gwrthddrychau na's gallai ei synhwyrau corphorol byth eu cyrhaedd; ac yn dwyn at ei wasanaeth lafur ei gydryw, ac o fewn dremoesoedd cyntefig a pharthau pelleig y byd a breswylia.

Wedi difa cymmaint o'ch amser i geisio rhoddi ond bras olwg ar wreiddyn gwybodaeth dyn, dychwelaf bellach at un o'i changhenau, gyd â sylwi fod y rhai hyn, er mor amrywiol ydynt, mor blethedig y naill â'r llall, fel y mae yn anhawdd rhoddi darlith ar un o honynt heb wneuthur cyfeiriadau at ganghenau eraill; ac o achos hyn, heb wag-dybio y gallaf wellhâu yr hyn a glywsoch gan Fardd y Gymdeithas ar *Seryddiaeth,* dichon y bydd i mi gyffwrdd â rhai pethau perthynol i'w destyn ef wrth wneuthur ychydig sylwadau ger eich gwydd ar *Ddaearyddiaeth.* Nid yw y gair *Daearyddiaeth* yn Ngeiriadur y gwiwglodus Dr. W. O. Pughe; ac os sylwn yn feirniadol arno, nid yw chwaith yn ymddangos yn air Cymraeg, o darddiad rheolaidd; oblegid nid yw *daearydd* yn air goddefadwy: ond, gan adael penderfyniad am hyn i'n cyfaill *Caerfallwch,* ni chwanegaf

sylwi ar y gair, ond yn hytrach ar yr hyn a ewyllysiwn i chwi ddeall fel testyn fy Narlith; sef, y gangen o wybodaeth sydd yn traethu am y ddaear, ei chylchdroadau, ei ffurf, a'i maintioli, ynghyd â rhaniadau a nodweddau ei harwynebiad. Crewyd y ddaear fel preswylfa dyn yn ei gyflwr profedig; o'r ddaear y cymmerwyd ei gorph ar y cyntaf; llafurio y ddaear yw ei waith; cynnyrch y ddaear yw ei gynhaliaeth ar hyd ei oes; ac i'r ddaear y dychwel yr hyn sydd farwol o hono ar ben ei yrfa. Gan fod y fath berthynas, gan hyny rhwng dyn a'r ddaear, onid yw yn groes i'w anian i fod yn anwybodus am dani? Ac onid yw braidd yn warth i ni y Cymry, y rhai ydym mor chwannog i olrhain ein hachau i oesoedd cyntefig, i esgeuluso hanes ein rhïant cyntaf? Wrth ddywedyd hyn, nid wyf yn meddwl fod ein cenedl wedi bod yn fwy esgeulus o'r gangen hon nag o ganghenau ereill. Yn y gwrthwyneb, barnaf fod genym lyfr gwell ar Ddaearyddiaeth nag ar un gangen arall o wybodaeth gyffredinol; ac os nad wyf yn camgymmeryd, Cymro yw y Mordwywr enwog Syr E. Parry; ac nid anhysbys i rai o honoch, mai dan hyfforddiant Cymro ag sydd yn aelod o'r Gymdeithas hon y parottôdd Syr John Franklin ei hun i olrhain y parthau gogleddol o'r belen ddaearol.

Ond er egluro defnyddioldeb y ganghen hon o wybodaeth, tybiwch fy mod yn enwi y tŷ y maged un o honoch ynddo, oni byddai yr enw yn galw y lle i'ch côf mor eglur braidd a phe byddech yn ei weled? ac oni ddychymygech hefyd, wrth ddal eich meddwl arno, y byddech megys yn gweled y caeau a'r meusydd, ynghyd â'r tai cymmydogaethol oddi amgylch iddo? Ond pe soniwn am ryw dyddyn yn Arfon wrth un o honoch chwi ag sydd yn ddieithr i'r ardal hono, ac heb wneuthur defnydd o ryw amgylchiaith i nodi ei sefyllfa mewn perthynas i ryw le adnabyddus i chwi, ni byddai i'r enw alw un math o syniad i'ch meddwl oddieithr efallai gôf clywed y gair o'r blaen, heb un syniad arall am yr hyn a feddylid wrtho. Yr un modd, pe crybwyllwn enw unrhyw le nodedig ar wyneb y ddaear wrth ddyn cyfarwydd mewn Daearyddiaeth, ehedai ei feddwl atto mor amlwg ag at y tŷ y maged ef ynddo, a dychymygai ei fod yn gweled y lle, ynghyd â lleoedd ereill cymmydogaethol iddo; ac os arosai ei feddwl ond ychydig arno, gallai ddychymygu ei fod yn troi ei wyneb ato a gweled, megys oddiar ben bryn, yr amrywiol wledydd rhyngddo a'r lle, yr un modd ag y gallai un o honom ni, a fyddai yn gyfarwydd â'r ffordd i'r *Amwythig*, ddychymygu ei fod yn gweled yr amrywiol *Drefydd*, &c. sydd ar ei ffordd yno. Ond i ddyn heb fod yn gyfarwydd mewn Daearyddiaeth, ni byddai yr enw yn rhoddi amgenach syniad nag enw y tyddyn yn Arfon yn yr amgylchiad a dybiais eisoes.

Yr un modd, pe soniem am bethau a ddygwyddasant mewn oesoedd gynt, wrth y cyfryw o fy ngwrandawyr na byddent yn meddu rhyw syniadau am yr amseroedd hyny, ag a fyddent yn dangos y berthynas rhyngddynt a'n dyddiau ni, gallwn egluro na byddai yr hyn a ddywedwn ond megys niwl iddynt, yr hwn a ddiflanai o flaen eu meddyliau fel gwlith oddiar laswellt, ac nid âi i mewn i'w côf trwy borth yr amgyffred. Os addefwch mai cywir yw yr hyn a ddywedais, ac os sylwch hefyd ar gynnifer o eiriau ein *hiaith* sydd yn dwyn perthynas â *lle* ac *amser*, diau y caniatêwch fod Daearyddiaeth ac amseryddiaeth yn anhebgorol mewn Hanesyddiaeth; ac nad dychymyg ddisail oedd genyf wrth gyffelybu *iaith*, *lle*, ac *amser*, i raff dair caingc.

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

## HEDDWCH, A'R CANLYNIADAU O'I GOLEDDU.

"The drying up a single tear has more
Of honest fame, than shedding seas of gore."
BYRON.

NID oes dim o fewn i'r holl greadigaeth ag sy'n swnio yn fwy melusber yn nghlustiau yr hwn sydd wedi teimlo pa fath erchyll waeau sydd yn deilliaw oddiwrth ryfel, na chlywed yr hyfryd gyhoeddiad hwnw fod "Heddwch yn cael ei sefydlu" yn dadseinio yn beraidd drwy y wlad. Y mae 'r cyhoeddiad hwn yn rhoddi dyddanwch mawr, nid yn unig i'r milwyr llesg ac archolledig, y rhai a dreuliasant flodau eu hieuengctid mewn caledfyd, dychryn, ac anesmwythder, ond hefyd y mae yn peri gorfoledd o'r fath buraf a helaeth dreiddio yn gyffredinol trwy y wladwriaeth.

Ond cyn myned ym mlaen i ddangos pa mor fuddiol yw Heddwch trwy 'r byd, tybiwn na byddai yn anghymmwys yn y fan hyn i mi wneuthur sylw byr ar y difrod, yr erchylldra, a'r trallodau annhraethol sydd bob amser yn gymdeithion parhâus i'r wialen drom hono sydd yn aml yn disgyn ar ddynolryw, sef Rhyfel. Os trown ein golwg ar amrywiol o frwydrau a rhyfeloedd a gymmerasant le yn yr amseroedd gynt, cawn weled yn hawdd fod rhyw erchylldod arswydus wedi cael ei wneuthur. Dwy neu dair o siamplau a wasanaethant i brofi y peth yr ydwyf yn ei ddywedyd. Bwriwn olwg yn ein meddwl ar y llu dirfawr hwnw, a ddygodd Xerxes gynt yn erbyn y Groegiaid; pa beth a ddaeth o honynt, ond y difrod mwyaf erchyll. O 5,283,220 o ganlynwyr, ni ddychwelodd ond ychydig gyd âg efe yn ol i'w wlad. Llawer o honynt a gawsant eu lladd mewn brwydrau ar dir a môr; ereill a fuant feirw trwy newyn a heintiau poenus, pan yr oeddynt yn ceisio ffoi rhag wyneb eu gelynion, a dychwelyd i' wlad eu genedigaeth. Gallesid gweled rhai yn ymdrybaeddu mewn gwaed, a'u haelodau wedi eu dryllio a'u hanafu, yn llwyr analluog i ddiangc, yn crefu yn alaethus am gynnorthwy, ond heb un yn tosturio wrthynt; ereill yn gorwedd yn archolledig, a'u penau yn crogi agos yn llwyr wedi eu tori ymaith, a gwaywffon, neu ryw arf arall, hyd ei chanol yn eu cyrph, a'u gwaed yn llifo megys cornentydd o'u hamgylch. Mewn man arall, y newyn a'r pla yn gwneuthur galanasdra ffyrnig yn eu mysg, o ba rai y trengodd miloedd o honynt yn ddiymgeledd, a'r adar ysglyfaethus yn pentyru yn lluoedd ac yn chwylwibio o'u deutu gyda 'sgrechau o lawenydd.

Etto, dyna ddifrod ac echryslondeb galarus dros ben, a'r mwyaf gresynus, fe allai, a fu erioed, y rhai a ddygwyddasant i'r Iuddewon, pan y gwarchaeodd Titus arnynt yn Jerusalem. Y cyfryw oedd, tybygwn, ag a barai i bob un a ddarllenai yr hanes dywallt dagrau; ond pa beth, ynte, oedd bod yn bresennol, ac yn llygad-dyst o'r gwaeau creulon hyny? Yr ydym yn darllen i 1,100,000 gael eu dinystrio yn y gwarchae adfydus hwnw; a bu i'r fath newyn trwm ymgynddeiriogi ym mysg y gwarchaeedigion, fel y bu yn achos i rai gwragedd ymborthi ar gnawd eu babanod!

Cawn siampl arall nodedig iawn o'r difrod a'r trallodau annifeiriol sydd yn dygwydd mewn rhyfel, yn nychweliad gwaradwyddus Buonaparte o Moscow, yn y flwyddyn 1812. Yn yr enciliad hwnw, pa gynnifer o filoedd a gollasant eu bywydau trwy glefyd, newyn, ac oerfel? O 300,000 o filwyr, ni ddychwelodd yn ol ond 50,000! Pan oedd Buonaparte yn ymadael o'r dref uchod, ymlidiwyd ef a'i luoedd gan y Rwssiaid gyda ffyrnigrwydd digyffelyb; celaneddau

y Ffrangcod a adawyd ar wyneb y maes, yn gloëdig gan rew ac eira tra parhaodd y gauaf. Ni buasai yn anhawdd, y pryd hyny, weled ugeiniau a channoedd o'r milwyr yn gorwedd yn dyrau ar draws eu gilydd; rhai wedi llwyr drengu, ereill yn hanner marw o eisieu ymborth, cynhesrwydd, ac ymgeledd cymmwys i'w hanghenion. Wele, dyma rai o'r gwaeau adfydus, a'r loesion dirboenus sydd yn dilyn rhyfeloedd! A phwy a all ffurfio drych-feddwl o'r gorthrymderau annhraethadwy hyn, heb fod ei waed yn oer-dreiddio yn sydyn trwy ei galon—heb fod sŵn anhyfryd yn sïo yn ei glustiau. Gallai un ddywedyd, ar ol darllen yr hanes am y fath bethau, heb sôn am fod yn bresennol pan y dygwyddasant, fel y dywedodd Æneas gynt, "*Obstupui steteruntque comæ, et vox faucibus hæsit;*" hynny yw, "Sefais yn syn, a'm gwallt ar ei wrych, a'm tafod a lynodd wrth daflod fy ngenau."

Amlwg yw i bawb, tybygwn, pa mor ddymunol yw cyfaneddu o Heddwch yn ein tir, oddiwrth yr hyn a osodais i lawr mewn perthynas i'r difrod, &c. y mae rhyfel yn ei wneuthur. Gan hyny, af ym mlaen i ddangos pa fuddioldeb a dderbyn y byd yn gyffredinol wrth goleddu Heddwch.

Yn amser heddwch y mae hwsmonaeth yn cael ei ddiwygio trwy y wlad. Yn y deyrnas hono lle 'r anrheithia rhyfel—lle y gwysir ieuengctid heinif i ymladd dros eu gwlad—lle methrir pob gwastadedd a bryn gan luoedd o elynion—lle gwneir pob perth a chlawdd yn gydwastad â'r llawr—lle gwneir llwyr ddifa cynnyrch pob gardd, gwinllan, a maes, ni's gall neb feddwl fod gan drigolion y fan hono unrhyw galondid i aredig, hau, na thrin eu tir. Ond lle byddo heddwch yn teyrnasu, yno y gwelir y tyddynwyr ar lasiad y dydd yn y gwanwyn yn gyru eu gweddoedd ar y maes, yn ymlusgo yn araf rhwng cyrn eu herydr, ac yn mwynhâu 'r awelon hyfryd ac adfywiol gyda chalon lawen, esmwyth, a boddlongar. Gerllaw, tafla un arall ei ddyrneidiau o ŷd ar wyneb y gwys, a'r ychen gwâr lluddedig yn llusgo 'r ogau yn bwyllog ar ei ol. Nid yn nepell, fe allai, y gwelir gweithiwr cryf ac iachus, a chanddo fenyg can, pâl a bilwg, caib a rhaw, yn dyfal blygu y gwrychoedd, ac yn gwella cloddiau adfeiliedig. Ac yn wir, ym mhob tymhor o'r flwyddyn y bydd pawb (oddieithr yma a thraw y gwelir ambell Siencyn esmwyth, diog, a segurllyd) yn ddiwyd yn eu galwedigaeth i wellhâu a diwygio eu tyddynod, lle byddo heddwch yn ymdaenu.

Y mae masnach yn helaethu mewn modd rhyfeddol mewn amser tangnefeddus. Fe ŵyr pawb mai gwaith ofer a pheryglus yw i farchnadwyr geisio cynnal masnach yn y blaen rhwng y teyrnasoedd hyny sydd mewn rhyfel â'u gilydd, pan y byddont hwy eu hunain yn perthyn i un o'r ddwy blaid. Pa faint o enbydrwydd y maent hwy yn rhoddi eu hunain yn agored iddo wrth gynnyg hyny? Pe buasai eu hochr eu hunain yn dyfod i ddeall fod masnach dirgelaidd yn cael ei ddwyn ym mlaen rhyngddynt hwy a'r blaid elyniaethol, diammeu yw y cawsent eu cospi yn ddidrugaredd, fe allai â marwolaeth. Felly, nid yw 'r teyrnasoedd sydd yn ymrafaelio â'u gilydd yn cael mwynhâu dim o'r pethau sydd yn y naill wlad; eithr y maent yn gorfod byw ar gynnyrch eu tir eu hunain. Ond pan fo dynion yn byw yn heddychol, pa fendith ragorol ydyw iddynt? Rhyddid sydd ganddynt i dramwyo i'r parthau hyny o'r byd a ddewisant, pa un ai pell ai agos, a chyfnewid, prynu, a gwerthu, pa nwyfau bynag a

chwennychant. Wrth hyn y mae cymmundeb yn cael ei sefydlu rhwng gwledydd pellenig—gwaith yn cael ei roddi i'r tlodion—diogi yn cael ei ymlid o'r wlad—boddlonrwydd yn ymledaenu yn eu mysg—arian yn cael eu gwasgaru—a gwybodaeth yn cael ei daenu ar led mewn amryw ddull a modd.

Etto, Nid yw y werin yn cael eu difrodi tra fyddo'r wlad yn mwynhâu dyddiau heddychol. Pa wahaniaeth dirfawr sydd rhwng trigolion y wlad hòno sydd yn mwynhâu pob bendithion a chwennychont, gyda phob tangnefedd a diogelwch, heb gael eu blino gan ddychryn brwydr nac ymrafael, a'r bobl hyny sydd beunydd yn cael eu gofidio, trwy fod eu meddiannau yn cael eu hanrheithio, eu haur a'u harian yn cael eu cymmeryd ymaith, a'u trigfanau yn cael eu dadymchwelyd, a'u gwneud yn gydwastad â'r llawr. Pa beth a ddywedaf? Pa mor dercalonus! pa mor alaethus yw sefyllfa y deyrnas hòno, preswylwyr yr hon wrth y miloedd sydd yn cael eu tori i lawr yn ddidosturi gan gleddyf eu gelynion! Diau yw, y dylid ystyried y difrod hwn y'nghorph y wladwriaeth o gymmaint pwys a chanlyniad a phe buasai corph dynol yn colli rhai o'i aelodau. Fel ag yn ei aelodau y mae cadernid dyn yn gynnwysedig, felly yn gywir, amledd trigolion sydd yn gwneuthur i fynu gadernid a nerth pob teyrnas; canys hwynthwy, tra fyddont yn dangnefeddus, ydynt megys canolbost neu biler y wladwriaeth, rhag ei dymchwelyd trwy ormes ffyrnig ei gelynion. *Tra fo* heddwch yn cylchynu ein gwlad, lliosoga nifer ei thrigolion; ac, o ganlyniad, blodeua hwsmonaeth, ymledaena masnach yn ehelaeth, dygir ym mlaen weithiau o bob math gyda bywiogrwydd, a phob gwybodaeth fuddiol a chelfyddgar a goleddir gyda manyldra a diwydrwydd canmoladwy. Yn nyddiau tawel heddwch, y mae'r trethi yn llai. Ychydig flynyddau yn ol, gosodwyd trethi trymion iawn ar breswylwyr y deyrnas hon, o herwydd y draul oedd yn myned i gynnal y rhyfel rhyngom ni a'n gelynion. Nid bychan y swm oedd yn ofynol ar bob hwsmon tlawd, a chrefftwr, i gyfranu yn flynyddol. Gwariwyd myrddiynau o bunnau, o amser i gilydd, a hyny, ysywaeth, tu ag at ddyfetha naill y llall! Gwallgofrwydd digyffelyb! Ond yr awrhon, pwy yn ein plith ni, yn y dyddiau hafaidd hyn, nad yw yn gweled cyfnewidiad dymunol wedi cymmeryd lle? Nid oes gorfod yn y dyddiau presennol, megys ag yr oedd yn amser rhyfel, i'r gwyr mwyaf dewr a nerthol fyned allan i wynebu eu gelynion, i frwydro yn eu herbyn, i ladd a chael eu lladd yn ddidrugaredd; ac nid yw eu perthynasau ychwaith, eu rhieni, na'u cyfeillion hoff, yn rhwym i gyfranu yn helaeth tu ag at eu cynnorthwyo mewn pethau angenrheidiol. Nid yw y trethi yr awrhon ond ysgafn mewn cymhariaeth i'r peth oeddynt ychydig amser yn ol. Y maent yn feunyddiol yn lleihâu; a thra parhao hedd ym mhlith teyrnasoedd, diammeu yw mai ysgafnhâu a wnant.

Yn ddiweddaf, Tra fo Heddwch yn sefydledig yn ein plith, y mae pawb yn mwynhâu ffrwyth eu llafur yn ddiofn, ac hefyd yn cael addoli Brenin Heddwch heb ddychryn rhwystr na gorthrymder. O mor hyfryd yw sefyllfa preswylwyr y wlad hòno, lle nad oes na gelyn na gorthrymwr un amser yn eu haflonyddu—lle bo parch dyledus yn cael ei ddangos i'r henafgwr penllwyd—lle cymmerir gofal priodol am yr ieuangc gwan, a'r baban diymgeledd—lle yr ymddygir tu ag at y bonheddig ynghyd â'r gwreng, y tlawd fel y cyfoethog, yn unol â'u sefyllfaoedd; ac nid eu gorthrechu, ac yn aml eu dien-

yddio *yn ddiwahan*, fel y digwydd yn nyddiau blinion rhyfel. Tra byddo pob llywodraeth a theyrnas yn ymegnio i gynnal tangnefedd y naill tu ag at y llall, ni bydd cynnen nac anghydfod yn ymgynddeiriogi yn eu plith; ni chlywir gweryriad meirch rhyfel, na "sŵn twrf eu carnau" ychwaith; ni chlywir sain yr udgorn yn galw i'r frwydr, na dadwrdd llu yn brysio i'r gad: eithr bydd pob un yn mwynhâu ffrwyth ei lafur, heb ofn na braw, pa un bynag fyddo ai hwsmon ai bugail, masnachwr neu ryw alwad arall. Caiff hefyd ymhyfrydu yn nghymdeithas ei gyfeillion anwylaf, pa un ai mewn cyfarfod dirgel neu gyhoeddus; ac yn awr ac eilwaith yru pob gofal ar ffo, trwy astud wrando ar felusber a hyfryd sain y delyn. Ond o'r holl ragorfreintiau a enwais, nid oes un yn deilwng i'w chyffelybu i'r fendith ammhrisiadwy o gael amser llonydd a thawel i addoli Brenin Heddwch, yr hwn, o'i fawr drugaredd, sydd wedi caniatâu i ni y fath ddyddiau tangnefeddus. Nid ydym ni, ag sydd yn byw mewn amser pan nad oes na gelyn estronol na chartrefol yn ein drygu, nac erlidigaethau i'n gormesu, yn gallu amgyffred yn iawn y drygfyd blin a oddefodd ein hen deidiau o herwydd gwir grefydd. Carcharwyd rhai, ereill a alltudiwyd, a nifer mawr o honynt a ferthyrwyd, mewn amryw ffyrdd, gyda chreulondeb anarferol. Ond wele ni yn cael mwynhâu pob breintiau tymhorol ac ysbrydol, a chael hefyd addoli yn ddirwystr, heb ddychryn na gorthrymder, yr hwn sydd â llywodraeth y bydoedd yn ei law, yn y modd yr ym yn gweled yn fwyaf addas ac unol â'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Gan hyny, bydded i ni weled gwerth yn y rhagorfreintiau daionus a enwais uchod, ac yn bendifaddef yn y fendith o anfeidrol werth a soniais am dani ddiweddaf; a boed i ni ddefnyddio, gyda diolchgarwch, bob moddion yn ein gallu i gadw Heddwch a thangnefedd yn sefydlog yn ein plith, tra parhao anadl yn ein ffroenau, a bywyd yn ein gwaed. Ial.

## Y SALMAU CAN.

Mr. Gwyliedydd,—Da genyf ganfod dy adfywiad. Ofnais yn fawr na welid mo honot mwy. Meddyliais dy fod wedi myned yn llwyr i dir anghof. Ond ymddengys mai hepian a wnaethost, neu lesmeirio dros amser. Gobeithiaf na fydd i'r fath beth ddygwydd i ti mwyach. Gwedi i ti gymmeryd hûn mor faith, cymmwys yw meddwl na fydd diffyg mwy ar dy nerth; ac y bydd yr hûn gyffredin a gymmer y cyfryw a ymafaelant yn y fath orchwyl ag sydd genyt yn ddigonol. Ond, wedi cymmeryd y fath hir gwsg, peth rhyfedd i ti, wedi dihuno, achwyn ar ereill. A ddarfu i ryw un dy gynhyrfu o'th gwsg? A chwennychit gysgu yn hŵy? Mae arnaf ofn bod ynot ryw faint o reddf y dyn diog. Tebyg yw dy fod yn caru hepian. Yn lle cael dy newynu, fel y myni i'r wlad feddwl, mwy tebygol yw dy fod yn byw yn rhy dda, yn caru moethau ac esmwythdra, a byw yn helaethwych beunydd. Pe byddit yn deneuach dy groen, byddit yn fwy gwisgi, ac yn fwy parod i lafurio, ac yn llai tueddol i hepian. Pa fodd bynag, gan i ti ddihuno o'r hir gwsg hwn, cymmer ofal na chysgot etto fel hyn, rhag ofn i ti gysgu heb ddihuno mwy.

Digon ar hyn: âf ym mlaen at bethau mwy defnyddiol. Darllenais yn ddiweddar, gyda rhywfaint o fanylrwydd, y Salmau Cân, gan Ed. Prys;—gwaith gorchestol, yn ddiau, yn yr amser eu cyfansoddwyd. Ond syndod oedd genyf ganfod mor wael yw yn gyffredin. Ychydig amser yn ol, bum yn darllen gwaith Sternhold a Hopkins

yn Saesneg. Rhyfedd mor gyffelyb ydynt! Anhawdd yw dywedyd pa un o honynt sydd waethaf. Pe cyfansoddid y fath waith yn bresennol, fe'i tybid yn sothach annheilwng o sylw. Gellir, yn wir, casglu ychydig wersi o'r ddau ag ydynt yn dra rhagorol; ond y gweddill sydd hynod wael. Y mae rhai manau yn Ed. Prys yn gywilyddus, o ran prydyddiaeth a synwyr. Gallwn nodi amryw; a gwnaf felly, os ammeu neb fy haeriad. Dywedir ei fod yn dra llythyrenol. Nid gwir yw hyn. Ymhelaethir yn gyffredin ddwy linell i bedair: a dygir i mewn yn aml syniadau nad ydynt yn y gwaith gwreiddiol, a gadewir allan amryw sydd yno. Nid wyf yn ei feio gymmaint am hyn, gan nad yw yn alluadwy i ochelyd hyn mewn cyfieithiad prydyddol. Ond, wrth gymmeryd y rhyddid hyn, dylesid fod yn ofalus o ran synwyr a phrydyddiaeth y cyfansoddiad. Mewn gwaith o'r fath, dylid gofalu mwy am y synwyr nag am y geiriau; a pheidio dwyn i mewn bethau nad ydynt gynnwysedig yn yr ymadrodd gwreiddiol, neu yn unol âg ef.

A oes neb yn y dywysogaeth yn addas i gymmeryd mewn llaw gyfieithiad newydd? Y mae, yn ddiau, yn bryd i wneud yr ymdrech. Y mae yn gywilyddus na feddwn gyfieithiad prydyddol rhagorach na'r un sydd genym, yn enwedig o'r fath lyfr a'r Salmau. Y mae amryw yn yr iaith Saesneg. Eiddo y Dr. Watts, yn ddiau, yw 'r goreu i'w arferyd mewn addoliad cyhoeddus, er nad yw yn hollol ddifai. Bu syndod yn aml arnaf bod neb yn Lloegr yn arfer y fath waith trwsgl, anniben, a distadl ag eiddo Sternhold a Hopkins. Yn ol ein syniadau ni yn yr oes hon, mae yn ymddangos fel pe buasai eu dyben i oganu neu watwor pethau dwyfol. Ni's gellir llai na chwerthin wrth ddarllen amryw fanau. Gellir dywedyd yr un peth am waith Ed. Prys. Ai addas y fath gyfansoddiadau i addoliad Duw? Ni's gall neb amddiffyn a choleddu y fath bethau, heb fod dan lywodraeth rhagfarn o'r dallaf, na wel fymryn o synwyr, na chenfydd y gronyn lleiaf o'r pethau mwyaf eglur. Tebyg yw 'r fath ragfarn i eiddo 'r Papistiaid, y rhai a gofleidiant yr arferion ffolaf a ddychymmygodd dyn erioed: ie, mor ffoled yw llawer o honynt, fel na's gellir meddwl i ddyn eu dychymmygu; gan eu bod tu hwnt i gyrhaedd ei ffolineb: y diafol yn ddiau a'u dyfeisiodd.

Mi a fum yn ddiweddar yn ceisio casglu rhai gwersi o waith Ed. Prys, y cyfryw a ellid eu defnyddio mewn addoliad. Ni's gallwn gael ond ychydig iawn mewn cydmariaeth. Mewn amryw o'r Salmau ni's gallwn gael gymmaint ag un pennill, neu air o bedair llinell. Nid oes, yn fy nhyb i, onid dwy neu dair o Salmau yn addas i'w canu fel ag y maent: ac ni ellir pigo allan o'r rhai ereill nemawr iawn o bennillion ag ydynt weddus o ran synwyr a phrydyddiaeth. Tu ag at wneuthur i fynu rif addas, bum yn ceisio diwygio rhai llinelli, a chyfansoddi rhai ereill. Mewn *ychydig* fanau, mae prydyddiaeth Ed. Prys yn dra rhagorol; y penaf yw 'r 113 Salm, yn enwedig y llinelli cyntaf.

Rhof yma y nawfed Salm fel cynllun o'r hyn a ymdrechais wneuthur.

### SALM IX.

*Mawl i Dduw ein noddfa.*

Clodforaf fi fy Arglwydd Ion,
 O'm calon ac yn hollol;
Ei ryfeddodau rho'f ar led;
 Fy nyled yw ei ganmol.

Gwnaf lawenychu ynot, Ior,
 Ac ynot gorfoleddaf;
I'th enw o hyd y canaf glod,
 Wyt hynod, y Goruchaf.

Gwna 'r Arglwydd grasol hyn wrth raid—
 Trueiniaid amddiffyna;
Ac iddynt dan drallodau 'r byd,
 Bydd ef o hyd yn noddfa.

Pawb a'th adwaenant, hwy heb goll,
Ro'nt arnat eu holl oglud;
Can's ni adewi, Arglwydd, neb
A geisio 'th wyneb hyfryd.

Chwennychwn weled y cyfryw beth a hyn yn cael ei wneuthur gan ryw un cymmwys i'r gwaith. Dylid hefyd gyfansoddi amryw ranau o newydd, a hyny ar wahanol fesurau, ond oll yn fesurau rhyddion. Gobeithiaf y bydd i'r hyn a ddywedwyd gynhyrfu rhyw un i gymmeryd y gwaith mewn llaw.

C. N.

## YSTYRIAETH DIFRIFOL.

Dywed gwr bonheddig, a fu yn byw dros saith mlynedd yn ynys Malta, y gelwid ei sylw ef bob boreu dydd Llun at ddyn ag oedd yn myned trwy yr ystrydoedd yn canu cloch âg un llaw, ac yn ysgwyd blwch bychan á'r llaw arall, ac yn gwaeddi ym mhob congl o'r heolydd, "Pa faint a rowch dros yr eneidiau? Pa faint a rowch dros yr eneidiau?" Ar hyn y deuai allan wragedd a phlant o'u bythod tlodion, gan daflu eu hatlingau i'r blwch. Pan lenwir y blwch, yr â y gwr gyd âg ef i fonachdy yn y gymmydogaeth, i dalu i'r offeiriaid am weddïo dros eneidiau y meirw, i'w rhyddhâu hwynt o'r purdan. Fel hyn y mae 'r fath goel-grefydd anfad yn cael ei gynnal âg arian a gesglir oddiwrth brinder y rhai tlotaf yn y dref a enwyd: ac fel hyn y cynhyrfir teimladau y rhai mwyaf anwybodus i'r dyben o gynnal drwg-ddynion i offrymu gweddïau diles dros y rhai sy wedi myned o gyrhaedd trugaredd. Ni's gall arian fod yn bridwerth dros eneidiau a andwywyd gan bechod: ond dichon borthi a dilladu cenhadon Crist. Dichon roddi yr argraffwasg ar waith i argraffu geiriau y bywyd tragywyddol. Dichon hefyd gynnal ysgolion i ddysgu y rhai ieuaingc pwy ydyw gwrandawr gweddi, a phwy yw yr Hwn sydd â nerth ganddo gyda Duw fel Tywysog, ac yn gorchfygu. Ddarllenydd, "Pa faint a roddi di dros eneidiau?"

R. ab G.

## HYNAFIAETH.

William Hughes mab Hugh ap Kenrick o Sir Gaernarfon, a Gwenllian ei wraig, merch John Vychan ap John ap Gryffydd ap Owen Pygott, a anwyd yn y Sir hòno; ac am ryw amser a addysgwyd ym Mhrif Ysgol Rhydychain, o ba le yr ymsymmudodd i Goleg Crist yn Nghaergrawnt; ac wedi ei raddu yn y celfyddydau yno, derbyniodd urddau. Oddeutu 1568 bu yn Gapelwr i'r enwog Thomas Howard, Dug Norfolk. Yn y flwyddyn 1573, derchafwyd ef i Esgobawl Gadair Llanelwy; ac yno y claddwyd ef yn y *Cwir* y dydd olaf o Hydref, 1600. Gadawodd ar ei ol un mab William, ac un ferch Anne (a briododd Thomas Mostyn, Ysw.) o'i wraig Lucia, merch Robert Knowesley o Sir Ddinbych. Yn ei ewyllys diweddaf, gadawodd dir ac arian i sefydlu Ysgol Rad yn Eglwys Gadeiriol Llanelwy. Efe hefyd a adeiladodd bont Rhuddlan, a thŷ yr Archdiacon yn y Diserth, ar ei draul ei hun. Y nesaf yn yr Esgobaeth ar ei ol oedd y dysgedig Dr. Morgan, y cyfieithydd cyntaf, ar ol dechreu argraffu, o'r Ysgrythyrau Sanctaidd i'r Gymraeg loyw, am ba waith mawr a da y gwnaed ef yn Esgob gan y Frenhines Elsbeth.

Dywedir ar feddrod y gwr duwiol a'r dysgedig Dr. Barrow—

*Opes, Honores, et universum vitæ ambitum,*
*Ad majora natus non contempsit sed reliquit*
*seculo.*

Hyny yw,

Golud, Anrhydedd, a holl wychder bywyd,
Ni ddiystyrodd, eithr gadawodd hwynt i'r
byd a'i bobl.

Anon.

# BARDDONIAETH.

### "GOFID."

***Testyn Eisteddfod Bryn Eglwys yn Iâl, Chwefror 10, 1830.***

OCH fi, *Ofid*, na chae f' afu—lonydd
Hael unwaith i ganu;
Na fydd gwmmwl dwl a du,
Anobaith i 'ngwrth'nebu.

Mae clyd Ddedwyddyd heddyw,—un hyfwyn,
A'i hâfwawl diledryw?
Ar ei sedd, orsedd euraw,
Yma, un deg, mwy nid yw.

Daeth *Gofid* adwyth gyfan—yn ei lle,
Hon â'i llais sy 'mhob-man,
Yn llenwi trwy holl anian,
Seiliau byd isel a bàn.

Ebychiawl, daeth trwy bechu,
Bob brad a phob dwnad du;
Pob tylodi cyni caeth,
Galanas a gelyniaeth;
Amryw sŵn ymrysonau,
Oer fwrn gerth arferion gau:
Gwae 'n awr bawb geni i'r byd,
Eonfawr bechod ynfyd;
Oera gwall ac argyllaeth,
Mawr-drwm a fu 'r codwm caeth;
Ofnadwy gyfnewidiad,
Dyn oddiar ddelw ei Dad!

Collai Eden glaerwen glyd,
A phob hoywedd ryfedd râd,
Gorwych bèr hawddgarwch byd,
A gwedd lon ei dirion Dad.

Dechreu ffwndwr ystŵr anhawsderau,
Dechreu afiwydd, dwl arwydd doluriau,
Dechreu pob ymchwydd annedwydd nwydau,
Dechreu adfyd, a phenyd, a phoenau,
Dechreu nôd dychryniadau—cymmylog,
Dechreu cuchiog gafodog ofidiau.

Nid oes blasus na dwys bleser,
O dyn nwyfiant adyn ofer,
Nad yw tristwch nodau trawster,
Oer a *Gofid* ar ei gyfer.

Arwydd ing a arddengys,
Ym mhob man, llàn a llŷs,
Nid oes wledd dan hoywedd haul,
A'i nôd araul nad erys.

Er siriol foddol gelfyddwaith—miwsig,
A'i grymusol effaith;
*Gofid*, chwerwdod malldod maith,
Fwrn i bob difyrwaith.

Pan bwy 'n llawen, A llawn elfeu, O win addien } awenyddu,

Mor annhirion, *Gofid* creulon, Ddu ei moddion, } ddaw i 'maeddu.

*Gofid*, erwin lid, oer iawn loes—llethawl,
Y'm llwytha â thrymloes;
Byw ronyn o'm bêr einioes,
O'i llaw un dèn lle nid oes.

Idd gwely yn ddig'wilydd,
Y daw cyn goleuo dydd,
Ei throed plwm, gorthrwm a gâf,
Oesmawrs yn sathru arnaf.

O'm dyffraw hedd y'm deffry hon—gorchwith,
Ag erchyll freuddwydion;
Argeula ar y galon,
A rhydd friw i wraidd y fron.

Fy ngwag llariaidd, Paradwysaidd, Esmwyth peraidd, } yt maeth pura';

Ei gwenwynig, Saeth annhymig, Oflin addig, } aflonydda!

Ped fawn garl yn fy mharlawr,
A thai merth a chyfoeth mawr,
Cael parch, cariad, rhediad rhydd,
Odd' yno cawn ddywenydd.

Na, na, neud yna nid oes—i'r fynwes,
Awr o fwyniant erioes;
*Gofid* digllon greulon groes,
Dyr anwyl ede'r einioes.

Allan o'i hawl llunia hon
Ei gwely yn y galon.

O! IOR odiaeth na waredid
Fi o fawrlesg fwyaf erlid;
Hon fu amlwaith yn fy ymlid,
A'i rhwyg afar, arwa' *Gofid*.

Boneddion dewrion ar dir,
Gan *Ofidiau* gwynfydir;
Duwiolion doethion dethawl,
Job hyfedr a Phedr a Phawl;
Cai Moses ŵr cymesur,
O faich hon brofi ei chur;
Erchyll bla, rhoes archoll blin,
I fronau Dafydd frenin;
Bu chwerw drem i Jeremi,
Annedwydd o'i herwydd hi;
Daeth am ben Selyf frenin,
Fyd o bla a *Gofid blin*;

Oen Duw Ion, un diweniaith,
Gai yfed môr *Gofid* maith!
Na chai *Ofid* gwendid gwir,
Ni anwyd ac ni enir!

O! na chawn ymlid *Gofid* yn gyfan,
I dywyllwg o'r golwg dros geulan,
Minnau 'n fwy dewrwych mwynhawn fyd eirian,
Y'nghwmni hyfryd Dedwyddyd diddan,
Yn seinio glwys Hosana glân,—am gael
Myned o'i gafael mwyn nôd i gufan.

Yr annuwiol ffol ei ffydd—i'w gyfer
Bydd *Gofid* na dderfydd,
Drwy ei gau yn dragywydd,
I bla o dân heb liw dydd!

Nid oes dô mâd (O wlad lom!)
Ar ddistryw hirwae ddwystrom;
Dygyfor mae digofaint
O sedd Ior yn fôr o faint!

Poenau a iasau aneisor—tu draw
I'r tewdrwch gagendor;
A *Gofid* yn dygyfor,
Tân a mŵg fel tònau môr!

Anobaith yn wynebu,
Gelyn dwys a'i golyn du;
Llyw *Gofid* llew a gyfarth,
Llyna 'i wedd yn llawn o warth;
Efe yw chwerwaf noethaf nyth
Y *Gofid* yn dragyfyth.

Y duwiol rasol rosyn—syw fywyd,
Sy fywiol gredadyn,
Edy alaeth du elyn,
A'i oer glêdd ynghŵr y glŷn.

Dilynant eu haur delynau—siriol,
Uwch seirian haul golau,
Am eu dwyn yn glydfwyn glau,
O fydawl wlad *Gofidiau.*

Gwlad llawenydd,
Byth na dderfydd, } gwlad ddigwrio;
Gwlad ddi gerydd,

Caer ysblenydd,
Salem newydd, } cywir Silo.
Caer a'i seilydd,

Gwlad hyfrydawl,
Gwlad dragwyddawl, } gwlad oryddid;
Gwlad ireiddiawl,

Gwlad ysbrydawl,
Cwmni nefawl, } uwchlaw *Gofid.*
Iach le gwiwfawl,

Ni fid y *Ofid* dihafal—angau,
A'i ing a'nghyfartal;
Yn ammharod ddod i ddal
Ein daear yn nydd dial.

Neud Duw y Tad pa'nd atat ti—y daw
Pob dyn fo ar golli;
Rhoi gras i'r cywir ei gri,
Yn awchus a chwennychi.

Tydi a elli 'n hollawl,—oreu Dad,
Wared dyn andwyawl,
O grafangau gwrŷf ingawl,
*Gofid* gerth i gu fyd gwawl.

O! na chawn ryw nawn eirian hedd—addwyn,
Ddedwyddyd hyfrydwedd;
Llawn em goeth er lloni 'm gwedd,
A *Gofid* mewn dwfn geufedd.

DRYW BACH.

---

## ENGLYNION MEWN MYNWENT.

Ior hael, ein gadael ni i gyd—O ddyn,
Ni ddaw 'n ol o'r gweryd;
A'wn ninnau cyn pen enyd,
Ar ol y Fam i'r ail fyd.

Oferedd yn fy araeth,—i'm wylo,
Yma 'n wael mewn hiraeth;
Er eilio mewn oer alaeth,
Ni ddaw o'r bedd ceufedd caeth.

*Megys pe byddai hithau yn ateb.*

Taw, taw a wylaw wyf dan lèn—f' anedd
Yw y Fynwent Cilcen,
Mewn arch dan oer dywarchen,
(Syw elw i mi) isel y 'mhen.

*Trellyniau.* J. ROBERTS.

---

## ENGLYN

*O waith y Parch. E. Evans (Prydydd Hir).*

Mae balchder llawer yn lliwio—i'w gilydd
Wrth eu gweled yn llithro;
Ni ŵyr yn ei fagwyr fo,
Ple 'r â 'r epil i dripio.

---

## BEDD-ARGRAFF

JOHN JONES, ARGRAFFYDD.

Gwr ffraw* mwyn arlaw† mewn oer-lwch,—roddwyd
Yn ireiddwas gwelwch;
Perffaith eilwaith o'i wael-lwch,
Gyd â'r llu fe gwyd o'r llwch.

J. PUGH.

---

## COLL GWYNFA,

CYFIEITHIAD O WAITH IOAN MILTON.

*Llyfr* I.

AM anufudd-dod cyntaf dyn, a ffrwyth
Y pren gwa'rddedig, awen nefol cân;
Y ffrwyth a ddygodd angeu a phob gwae,
A barodd golli Eden, nes i ddyn
Rhagorach in' adferu 'r hyfryd fan:
Ti, Awen, a ryglyddaist gynt ar ben
Horeb, neu Sinai draw, ei dywys ef,

---

* *Heinif.* † *near, or hard by.*

Y bugail ddysgodd y dewisol hâd
P'odd yn y dechreu cododd nef a dae'r
O'r cymmysg du, ymbiliaf am dy nawdd;
Neu os gwell genyt Sïon fryn, a nant
Siloa, ger bron Temel Duw a rêd,
Oddi yno dos, rhwyddhâ fy nghân ar fryd
Ehedeg uwch nag awenyddion gynt,
Gan feiddio 'r hyn na thraethwyd etto erioed.
Ond ti, yn benaf, Yspryd Duw, yr hwn
O flaen pob temel geri galon lân,
Addysga fi, gan mai gwybodus wyt;
Presennol ar y dechreu oeddit ti,
Eisteddit, â'th adenydd mawr ar led
Fel c'lomen, ar y dyfnder maith, a hwn
Yn heigiol waaed, 'r hyn ynof dywyll sydd,
Golena a chryfhâ yr hyn sydd wàn,
Fel byddo im' yn gywir eglurhâu
Doeth drefn rhagluniaeth fawr drag'wyddol nef,
A chyfiawnhâu i ddynion lwybrau Duw.
Yn gyntaf gwed, gan nas dirgela 'r Nef
Oddi wrthyt ddim, dim yn y dwfwn maith;
Yn gyntaf gwed, pa beth gynhyrfodd gynt
Ein prif rieni, mewn dedwyddwch llawr,
I syrthio oddiwrth eu Naf, a thorri ei air,
Pan roddai iddynt, ond un peth, y byd o'r bron?
Pwy gyntaf i'r fath ddrwg a'u hudodd hwynt?
Y sarph uffernol, ef, trwy anfad dwyll,
A hudodd Fam dynolryw, pan i lawr
O'r nef y taflodd balchder ef a'i lu
Gwrthrynol, am ei ymgais trwy eu plaid
I fod yn ben ar gydraddolion fry;
Hyderai fod cyfuwch a'r uchaf Dduw,
Os gwrthwynebai, a chyffrôdd, mewn dig,
O uchel gais am orsedd Naf a'i fraint
Breninol, ryfel creulon yn y nef;
Ond oll yn ofer. Ef o'r entrych fry
Mewn llosc dinystriol, trwy yr eang maith,
A fwriai 'r Hollalluog Dduw i lawr
I waelod distryw, yno i drigo byth
Mewn cadwyn anattodadwy, ac mewn tân
Penydol, am anturio codi arf
Yn erbyn mawredd y goruchaf Dduw.

*(I'w barhâu.)*

---

## SONNET.

Oh! no we never mention her,
Her name is never heard,
My lips are now forbid to speak,
That once familiar word:
From sport to sport they hurry me,
To banish my regret,
And when they win a smile from me,
They think that I forget.

They bid me seek in change of scene,
The charms that others see;
But were I in a foreign land,
They 'd find no change in me:
'Tis true that I behold no more
The valley where we met,
I do not see the hawthorn tree,
But how can I forget.

For Oh! there are so many things
Recall the past to me,
The breeze upon the sunny hills,
The billows of the sea;
The rosy tint that decks the sky,
Before the sun is set,
Aye every leaf I look upon,
Forbids me to forget.

They tell me she is happy now,
The gayest of the gay;
They hint that she forgets me,
But heed not what they say:
Like me perhaps she struggles with
Each feeling of regret;
But if she loves as I have lov'd,
She never can forget.

## PENNILLION

*(Cyfieithiad).*

A! na, ni henwir genym byth,
Am dani nid oes si,
Ni wiw i'm tafod adrawdd mwy
Ei henw melus hi;
Yn llawen ceisiant fi i fod,
Er gyru hi o'm pen;
Pan wênaf fi, meddyliant hwy
I mi anghofio Gwen.

O wlad i wlad y gyrant fi
Er denu 'm meddwl trwm;
Os dros y môr y rhaid im' fyw,
Fy nghalon fydd fàl plwm;
Ond er na châf fi weled mwy
Y cae na'r deiliog bren,
Lle byddem ni mòr ddedwydd gynt,
Byth ni anghofiaf Gwen.

Ond, O! mae llawer peth yn dod
A hi i'm cof yn ol,
Y môr â'i dònau gwynion gwyllt,
A'r awel dros y ddol;
Yr awyr goch ar fachlud haul,
A'r brain yn llu uwch ben,
Ac hyd yn nôd pob deilen werdd,
I'm côf a alwa Gwen.

Dywedant hwy ei bod mòr llon,
Heb neb mòr llon a hi;
Ac iddi fy anghofio 'n llwyr,
Ond hyn ni chredaf fi:
Ond gall ei bod rhag hiraeth mawr,
Yn ceisio codi 'i phen;
Os carodd hi fàl cerais i,
Byth ni'm anghofia Gwen.

TEGID.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### FFRAINGC AC ALGIERS.

Dywed y Newyddiaduron fod y Ffrangcod i gael eu cynnorthwyo gan Raglaw yr Aipht yn yr ymgyrch yn erbyn Algiers. Cyn gynted ag yr ymddengys byddinoedd Ffraingc ar gyfer Algiers, danfonir byddinoedd yr Aipht yn erbyn Tripoli a Tunis, i ddarostwng y llywodraethau hyny; ac felly y cefnogir y Ffrangcod, ac y dyrysir eu gelynion. Dywedir fod Brenin Ffraingc wedi penderfynu dinystrio yn hollol lywodraeth y môr-ladron hyny ag sydd yn dygn-flino ac yspeilio pob masnach morawl yn y parthau hyny o'r byd.

Y mae yr hanesion diweddaraf o Algiers yn hyspysu fod y Dey, yn hytrach na dychrynu yn wyneb parotoadau mawrion y Ffrangcod, mewn cyflwr parod i'w gwrthsefyll. Dywedir ei fod wedi addaw gwobr o 20 *dolar* am bob Ffrengcyn a leddir neu a gymmerir yn garcharor, a 200 am bob magnel a gymmerir.

Ym mhlith y parotoadau ereill i amddiffyn Algiers, dywedir fod aneirif lu o gamelod i gael eu cyfleu ar hyd cyffiniau y môr, i fod fel rhagfur i filwyr yr *Algerines*, ac i dderbyn taniad cyntaf milwyr Ffraingc. Dywedir hefyd fod yr holl *Foors* galluog i ddwyn arfau wedi eu casglu ynghyd i'r rhyfel, a bod yr holl wragedd a'r plant, ynghyd â'r anifeiliaid nad oes eu heisiau, wedi cael eu danfon i ganol y wlad ym mhell oddiwrth y môr. Oddiwrth hyn yr ydys yn deall fod Ymerawdwr Moroco yn bwriadu cyd-ymladd â'r Dey o Algiers yn erbyn y Ffrangcod. Tybir y bydd y rhyfel hwn yn dra thost a gwaedlyd, o herwydd ffyrnigrwydd a chreulondeb natur yr *Algerines*. Cyn bo hir bydd yr ymdrech rhyngddynt wedi dechreu, ond nid oes lle i feddwl y pery yn hir.

---

*Cydnabyddiaeth o Anymddibyniaeth Groeg.*—Hyspysodd Ymerawdwr Twrci i Genhadon Lloegr, Ffraingc, a Rwssia, ei gydsyniad â phenderfyniadau y llywodraethau hyny mewn perthynas i Wlad Groeg, a'i fod yn bwriadu sefyll at ammodau Llundain.

Y mae Senedd Groeg wedi cydnabod ei Freninol Fawrhydi y Tywysog Leopold o Saxe Coburg fel ei Brenin, trwy gytuno â'r ammodau a benderfynwyd arnynt gan Lywodraethau Lloegr, Ffraingc, a Rwssia.

*Anffawd i Fam Buonaparte.*—Dywedir mewn llythyr o Rufain, o'r 24ain o Ebrill, "Fel yr oedd Madame Letitia, mam y diweddar Napoleon Buonaparte, yn rhodio yn yr ardd, ar yr 22ain o'r mis, cafodd gam gwag, ac wrth gwympo hi a dorodd asgwrn ei morddwyd; a chan ei bod mewn gwth o oedran, sef 83 mlwydd, nid oes ond ychydig obaith am ei gwellhâd. Dywedir ei bod yn meddu cyfoeth lawer, a'i bod yn cyfranu o hono yn helaeth ym mhlith y tlodion yn Rhufain a Chorsica, ac wedi gadael 500,000 o *ffrancs* i bob un o'i phlant."

---

## CARTREFOL.

### Y SENEDD.

Y rhan fwyaf o orchwylion y ddau Dŷ o Barliament, er cyhoeddiad ein Rhifyn diweddaf, oedd cyflwyno a derbyn eirchiadau dros ac yn erbyn rhydd-freiniad yr Iuddewon—yn erbyn cospi rhai euog o ffug-ysgrifeniad *(forgery)* â marwolaeth—yn erbyn gwneuthur dim cyfnewidiad yn y dull presennol o gynnal brawdlysoedd yn Nghymru—ac yn erbyn chwanegu pris *Stampiau* yn yr Iwerddon, &c.

Dydd Llun, yr 17eg o Fai, cynnygiodd Mr. Grant fod i'r Ysgrif am rydd-freiniad yr Iuddewon gael ei darllen yr ail waith. Areithiodd amryw o blaid ac yn erbyn y cynnygiad.

| | |
|---|---|
| Dros y cynnygiad ‥ | 165 |
| Yn ei erbyn …… | 228 |
| Mwy yn ei erbyn o | 63 |

### Y BRENIN.

Yr hanes diweddaraf a allwn ni hyspysu mewn perthynas i'n Grasusaf Frenin, wedi ei ddyddio Mai 19, sydd fel y canlyn:

"Cysgodd ei Fawrhydi yn dda neithiwr. Y mae argoelion fod ei glefyd yn parhâu yn esmwythach."

Dywedir yn awr mai y dwfr-glwyf yw yr afiechyd sydd yn blino ei Fawrhydi; ac iddo dderbyn llawer o esmwythder trwy waith y llaw-feddyg Mr. Brodie yn ffaimbigo ei goesau. Nid ydyw y caethiwed a deimlai yn ei anadliad gymmaint ag a fu, na'r gwasgfeuon mor gryfed nac mor aml. Ond er y cyfnewidiadau gobeithiol hyn, ofni yr ydys nad oes llei ddysgwyl iddo bar-

hau yn hir. Ymwelodd y rhan fwyaf o'r teulu breninol â'i Fawrhydi rai dyddiau yn ol.

---

## Y DALEDIGAETH SICR.

GALWODD Casglyddion Cymdeithas Elusengar i ofyn ychydig o gynnorthwy gan wr boneddig cyfoethog, ond tra chybyddlyd; ac wrth grefu arno roddi ychydig at yr achos yr oeddynt yn casglu ato, crybwyllasant y geiriau hyny yn Diar. 19. 17. "Y neb a gymmero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd; a'i rodd a dâl efe iddo drachefn." Atebodd yntau, "Dian fod y meichiau yn dda, a'r llog yn ddigonol; ond ni's gallaf fi aros cyhyd." Y truenusaf o ddynion! ychydig a feddyliai fod y diwrnod talu mor agos. Cyn pen y pythefnos cafodd alwad, i'r hon yr oedd yn rhaid ufuddhau, nid oedd modd diangc, "Y nos hon y gofynant dy enaid oddi wrthyt, ac eiddo pwy fydd y pethau a naceaist roddi." Sicr ac anffaeledig yw yr holl addewidion dwyfol; ac amser eu cyflawniad, er ei fod yn ansicr i ni, nid yw ym mhell. Na fydded i'r pechadur, gan hyny, ymgaledu o herwydd hir-ymaros Duw. Y mae terfyn tu hwnt i'r hwn ni thramwya trugaredd, ac yna nid oes dim ond "rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr." Ond na ddigaloned y Cristion, er fod profiad ei ffydd a'i amynedd yn chwerw, yn ddiau y daw terfyn, ac ni siomir ef yn ei ddysgwyliad.

---

*Ofergoeledd.*—Mewn pentref yn agos i Taunton, y mae llangces oddeutu 18 oed yn gorwedd yn glaf, ac o ran pob ymddangosiad yn tynu yn gyflym at derfyn ei hoes. Ond y fath yw ofergoeledd mam y llangces, fel y mae yn gosod bob nos dan obenydd ei merch glaf gyllyll llymion, a llafnau pladuriau wedi eu hawchlymu tan ei gwely, i'r dyben i gadw draw y ddewines, i swynyddiaeth yr hon y mae hi yn cyfrif holl saldra ei merch.—*Bath Herald.*

---

*Don Pedro a Don Miguel.*—Cymmaint yw y digllonedd ym mynwes Ymerawdwr y Brazils yn erbyn ei frawd yn Portugal, fel y dywedir na bydd un amser yn ei enwi heb ddangos y cynddaredd mwyaf. Un tro, wrth ymddyddan, gafaelodd y'ngwddf yr hwn oedd yn siarad âg ef, a chan ei ysgwyd yn erwinol, dywedodd, y byddai yn dda ganddo pe cai y trawsfeddiannwr hwnw i'w afael. Yn un o ystafelloedd y palas y mae lluniau pob un o aelodau teulu Braganza, ac yn eu plith llun Don Miguel. Gorchymynodd yr Ymerawdwr ei dynu i lawr i'r dyben o gael ei droedio yn ammharchus yn ol ac ym mlaen ar hyd y palas. Er na chyflawnwyd y gorchymyn hwn i'r manyldra eithaf, etto trowyd y llun yn y gwrthwyneb â'r wyneb at y pared, fel peth nad allai efe edrych arno.

---

*Dyfrhau yr Onen.*—Amaethwr ieuaingc yn Swydd Amwythig yn canfod ei hun yn myned yn ol yn y byd, a gwynodd wrth ei gymmydog oedranus, yr hwn a sicrhaodd iddo y deuai pob peth i'w le, os gwnai ond canlyn ei gyngor ef, sef tywallt padellaid o ddwfr bob bore am bedwar o'r gloch wrth fôn y pren Onen ag oedd yn tyfu yn ei fuarth. Gan ryfeddu wrth y fath gyngor, penderfynodd i fynu prawf o hono bid a fynai;—cododd y bore dranoeth at y gorchwyl; ac y'mhen tri boreu gwelai y fath chwilena a lladrata ar ei eiddo yn myned ym mlaen, fel y canfu yn ebrwydd addasrwydd cyngor ei gymmydog; ac o'r amser hwnw allan cyfrifai ei ffyniant i'w waith yn dyfrhau yr hen Onen.

---

Yn Austria, bu cynnwrf nid bychan yn ddiweddar o herwydd i un plwyf cyfan yn y wlad Babaidd hono droi at yr eglwys Brotestanaidd. Ar hyny, danfonwyd llawer o bregethwyr a dysgedigion Pabaidd i ymresymu â'r bobl, a'u henill yn ol, os byddai ddichonadwy. Gan fod yr hereticiaid newyddion yn appelio yn wastad at y Bibl, megys amddiffyniad o'u hathrawiaethau, dywedodd un o'r pregethwyr Pabaidd yn haerllug allan o'r areithfa, "Mai gwaith Satan yw y Bibl."

---

*Ymweliad Dychrynllyd.*—Gofynodd llettŷ-wraig yn ddiweddar i ddyn dalu iddi naw swllt, yr hyn, meddai hi, oedd ddyledus arno iddi. Yntau a wadodd; a chyda dirfawr ddwysder llefodd allan, "Tarawed Duw fi yn farw os oes arnaf fwy nag un swllt i chwi." Braidd y dywedasai y geiriau, pan y syrthiodd i lawr ac y trengodd, yn rhybudd chwanegol i dyngwyr a chelwyddwyr. Dygwyddodd hyn yn Sir Gaerloyw.

---

*Haelioni Gwraig Foneddig.*—Ychydig wythnosau yn ol bu farw yn Llundain un Mrs. Burchett, gan adael yn ei llythyrcymmyn y cymmyn-roddion canlynol: sef, i'r Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor £3,000; i Gymdeithasau Cenhadawl £2,000; i Gymdeithas Ysgolion Prydain a Gwledydd eraill £500; i'w Chapel ei hun yn Caversham yn Sir Rhydychain, yr hwn hefyd a adeiladasai ar ei thraul ei hun, £1,500 at gynnal y Gweinidog; i Dlodion Caversham £100; i Ysgol y Deillion, St. George's fields, £100; i'r Yspyty yn Bath er iachau doluriau y llygaid £100; a £500 i'r Elusendai yn Wootton-under-edge, Sir Gaerloyw.

*Hunan leiddiad.*—Llangc 16eg oed, gwas i un Mr. Cox, yn byw yn Ngwlad yr Haf, wedi cael ei geryddu gan ei feistr am ryw gam-ymddygiad, a aeth i'r cae, ac wedi rhwymo careg fawr wrth ei wddf, a ymdaflodd i ffos ddofn, ac a foddodd. Cynnaliwyd celain-ymholiad ar ei gorph, a barnwyd mai hunan-leiddiad gwirfoddol ydoedd.

*Echrydus lofruddiaeth dau blentyn.*—Rai dyddiau yn ol cafwyd cyrph dau o blant, sef bachgen a geneth, mewn coedwig, ym mhlwyf Hammoon, wedi eu llofruddio, trwy gael eu llindagu a'u trywanu â rhyw erfyn pwl. Yr oedd y llinynau wedi eu tynu yn dỳn am yddfau y plant, fel pe buasai y llofrudd didrugarog wedi eu gorphen trwy eu llindagu. Cafwyd pump o blant bychain wedi eu llofruddio yn y gymmydogaeth hon yn ystod y tair blynedd diweddaf.—O'r *Dorchester Journal.*

*Llofruddiaeth.*—Ychydig ddyddiau yn ol, y llofruddiaeth arswydus a ganlyn a gyflawnwyd yn nghymmydogaeth Shaftesbury, Sir Dorset. Gwr o'r enw Harrison, yr hwn nid oedd ganddo ond un plentyn, trwy ei ddiwydrwydd a gasglodd ychydig arian, y rhai a fenthyciodd tu ag at godi capel i'r sect a elwir y Prif Fethodistiaid (*Primitive Methodists*) neu *Ranters.* Ond o herwydd nad oedd rhenti yr eisteddleoedd yn ddigon i dalu llog yr arian a fenthyciasid at yr adeiladaeth, cyfyngwyd ychydig ar Harrison yn ei amgylchiadau; yntau gan ofni y deuai eisiau ar ei blentyn o'r herwydd, a benderfynodd roddi terfyn ar ei fywyd trwy guro ei fenydd allan yn erbyn post y gwely. Dywedir y byddai Harrison yn arfer pregethu ym mhlith y *Ranters*, ac mai gwresogrwydd y teimladau a gefnogir gan y sect hon, ynghyd â'r golled o'i eiddo, a'i gyrodd ef i wallgofi. Danfonwyd ef i garchar Dorchester i sefyll ei brawf yn y brawdlys nesaf.

*Marwolaeth dragofidus.*—Yn ddiweddar, un Mr. Griffith, Llaw-feddyg, a chanddo achos i fyned i Lundain, a aeth, ac a alwodd gyd âg un Mr. Rogers, yr hwn yr oedd yn gydnabyddus âg ef, gan erfyn arno edrych am letty iddo, pa un a gafodd yn agos i'w dŷ ei hun. Y prydnawn ddydd Mercher ar ol dyfod o hono i Lundain, yr oedd, i bob ymddangosiad, yn mwynhâu ei gyflawn iechyd. Y dydd canlynol gyrwyd am Mr. R. ato, yr hwn pan ddaeth a'i cafodd mewn cyflwr lled gwallgofus; a chan ei fod yn myned waeth-waeth, bu yn angenrheidiol gyru am feddyg. Pan ddaeth y meddyg, efe a ganfu yn ddioed mai effaith brathiad ci cynddeiriog oedd ei afiechyd. Cynhyrfai yn ddirfawr pan gynnygid dwfr, neu unrhyw wlybwr arall iddo; a phan y cai ychydig hamdden, erfyniai yn daer iawn ar y sawl ag oedd o'i ddeutu am fod yn sicr o ysgrifenu at ei berthynasau i fynegi iddynt y modd y bu efe farw; ac yna efe a lefai allan, "Fy Nuw, fy Nuw, onid yw y dull hwn o farw yn ddychrynllyd?" Pan gafodd ychydig o seibiant, gofynwyd iddo, "A gafodd efe ei frathu gan gi ryw dro neu gilydd?" Atebai, gyd â'r anhawsdra mwyaf, "Do, oddeutu dau fis yn ol, yn y fan yma," gan estyn ei fys, a'i gyfeirio at y rhan isaf o'i goes. Parhaodd ei boenau i gynnyddu er holl fedr a gwybodaeth y meddygon i'w lleihâu hyd ddydd Sadwrn, pan ddaeth angau i roddi terfyn iddynt. Y diwrnod cyn i'r afiechyd ymafaelyd ynddo, yr olwg ar Mr. G. oedd gadarn-gryf, a thra iachus, yn wridgoch ei wynebpryd, a'i ysprydoedd yn uchel. Ei oed oedd oddeutu 32 mlwydd.

Dydd Iau, y 13eg o Fai, dygwyd llangc oddeutu 17 oed, o'r enw William Charles, mewn cerbyd i Yspyty St. Thomas, Llundain, mewn dirfawr boenau a achlysurwyd gan frathiad cath gynddeiriog. O gylch pum mis yn ol, fel yr oedd yn yfed ei *dea*, cipiodd y gath ddarn o'i frechdan, a phan yr aeth i'w cheryddu, neidiodd ato, ac a'i brathodd. Ar hyn efe a ymaflodd ynddi, ac a'i taflodd at gi mawr oedd yn gorwedd yn agos i'r tŷ, yr hwn a'i rhwygodd yn dipiau yn y fan. Tybir y rhaid fod y gath yn gynddeiriog pan frathwyd ef ganddi, a bod y gwenwyn yn aros yr holl amser yn ei waed heb effeithio. Gorwedda y llangc yn y cyflwr mwyaf dirboenus, heb y gobaith lleiaf am ei fywyd.

*Hir hoedledd.*—Ychydig ddyddiau yn ol bu farw gwr o'r enw John Ripkey, wedi cyrhaedd i'r oedran rhyfeddol o 108 o flynyddoedd. Ymddengys ei fod yn filwr yn y rhyfel rhwng Ffraingc a Lloegr yn America yn y flwyddyn 1759, tan y Cadfaenor Wolfe; wedi hyny bu y'mrwydr *Bunker's Hill*, a'r amser hwnw perthynai i'r 12eg Catrawd. Yn y flwyddyn 1791 ymadawodd â'r fyddin, ac o'r amser hwnw hyd ei farwolaeth bu fyw ar haelioni y Brenin, fel un o *out-pensioners* Yspyty Chelsea. Bu iddo dair o wragedd, ond heb ddim plant. Yr oedd yn meddiannu ei alluoedd corphorol hyd ddydd ei farwolaeth, a pharhaodd ei olwg yn dda hyd y diwedd.

*Anffawd galarus.*—Damweiniodd yr anffawd gofidus a ganlyn fore yr 20fed o'r mis diweddaf, mewn lle a elwir Castell Grant, yn yr Alban. Gwr ieuangc o'r enw Donald Bruce, ar ei ddychweliad adref o wylmabsant yn y gymmydogaeth, a orweddodd i lawr mewn cae i orphwyso ychydig, a'i gi

a orweddodd yn ei ymyl. Dygwyddodd i wr ieuangc o'r enw William Mackenzie, yn perthyn i'r Amaethwr ag oedd yn trin y tir hwnw, fyned allan yn fore iawn â'i wn i saethu 'r cwn ag oedd yn llarpio ac yn lladd llawer o'r defaid. Yr oedd ei Mr. Bruce yn chwareu â'i feistr, yr hwn oedd yn gorwedd ar y ddaear; a chan ei bod yn lled dywyll, tybiodd Mackenzie fod y ci ar y weithred yn lladd dafad; o ganlyniad gollyngodd yr ergyd, a'r llangc a saethwyd. Wrth glywed 'sgrech wanllyd Bruce, deallodd Mackenzie ei fod wedi camgymmeryd; a galwyd am law-feddyg yn ddioed. Dywedai yr hanes fod y llangc yn fyw y pryd hyny, ond nad oedd ond ychydig obaith am ei hoedl. Yr hyn sydd yn chwanegu gofid a thristwch Mackenzie yn ddirfawr ydyw, ei fod ef a Bruce yn gyfeillion mynwesol.

---

*Llong-ddrylliad alaethus.*—At nifer yr amrywiol long-ddrylliadau a ddygwyddasant yn ystod y mis diweddaf, y mae yn ofidus genym orfod chwanegu y canlynol, a ddamweiniodd ychydig ddyddiau yn ol ar y traethau yn agos i Aberafon, Sir Forganwg, i'r llestr fechan a elwid Edward, James Lewis, Meistr, o Bristol, ar ei thaith o Cork yn yr Iwerddon, yn llwythog o wenith a cheirch. Yr oedd hefyd wyth o fordeithwyr ynddi, sef mam a'i thri mab, a'i phedair merch, y rhai a aethant i gyd i'r dyfnder. Achubwyd y Meistr a'r Mate trwy ddal gafael yn nhaclau y llong. Ymddengys eu bod wedi cyfarfod â thywydd ystormllyd yr holl daith; a phan darawodd y llestr, yr oedd hi, yn ol tyb y Meistr, yn hwylio ar ei hiawn hynt; ond er mawr siomedigaeth iddynt canfuant eu bod yn cael eu gyru yn rhy agos i'r lan. Ar hyn taflasant allan yr angor yn ebrwydd; ond y cyfryw oedd cryfder y gwynt a'r tywydd fel y torwyd cadwyn yr angor, ac y gwthiwyd hwynt tu a'r lan, a gwaelod y llestr a wthiwyd allan. Trwy ymdrechiadau y Parch. Edward Thomas, a'r Parch Evan Thomas, yn cael eu cynnorthwy gan bobl y gymmydogaeth, achubwyd rhan o'r llwyth, ynghyd â thaclau 'r llong, ond aeth corph y llestr yn ddrylliau ym mhen ychydig amser. Cynnaliwyd celain-ymholiad ar gyrph y rhai oedd wedi boddi o flaen T. Thomas, Ysw. a chladdwyd hwynt mewn modd gweddus yn mynwent Aberafon.

---

Er ys rhai blynyddau yn ôl, dwy fenyw, y rhai oeddynt mewn gwth o oedran, a fuont yn preswylio mewn elusendy yn *Shoreditch*, Llundain. Gwelsai y ddwy ddyddiau gwell, a buasent yn byw yn dra chysurus; ond trwy ryw groes-ragluniaeth neu gilydd, dygwyd hwynt o'r diwedd i fyw ar elusen y plwyf. Wedi bod yn gydnabyddus â'u gilydd yn amser eu llwyddiant, pan gyfarfuant yn yr elusendy, bu cyffelybrwydd eu hamgylchiadau yn foddion i gryfhau eu cyfeillach. Ym mhen amser dechreuodd iechyd un o honynt adfeilio, ac yr oedd yn amlwg ei bod yn prysuro yn gyflym at derfyn ei hoes. Effeithiodd hyn yn dra dwys ar y llall. Un bore dymunodd y glaf ar ei chyfeilles ddarllen iddi bennod o'r Bibl, yr hyn a wnaeth hi yn ebrwydd. Eisteddodd ar erchwyn y gwely, ac ar ol darllen dros ychydig fynydau, gwelid hi yn rhoddi ei phen ar y gobenydd yn ymyl ei chyfeilles. Gan dybied ei bod yn flinedig, aeth un o bobl y tŷ at y gwely, ac a alwodd arni, ond nid oedd yr un ateb; ar hyn hyspyswyd y peth i feistr y tŷ, yr hwn a brysurodd at y gwely, ac er dirfawr syndod iddo cafodd fod y ddwy wedi marw. Tybir fod y ddwy wedi marw yr un mynydyn.

---

Ychydig ddyddiau yn ol llosgwyd Capel yn perthyn i'r Ymneillduwyr yn Bartholomew Close, Llundain, ynghyd â saith o dai ereill. Tybir fod y golled trwy y ddamwain hon yn £30,000. Trwy yr anhawsdra mwyaf yr achubwyd Eglwys St. Bartholomew. Dywedir i'r tân ennyn i ddechreu mewn gweithdy o dan y Capel.

---

Y mae tafarnwr yn byw o fewn cant milltir i dref Congleton, Sir Gaer, yr hwn sydd wedi bod yn briod 18 mlynedd a phedwar mis, ac iddo 19 o blant; ac y mae brawd i'r un gwr yn briod er's 19 o flynyddoedd, ac iddo 19 o blant; a chwaer iddo wedi priodi er's 20 mlynedd, ac iddi 20 o blant. Dywedir hefyd fod i rïeni y rhai uchod 23 o blant mewn yspaid 21 mlynedd a hanner.

---

*Callineb Ci.*—Ychydig wythnosau yn ol ymddangosodd yr hanes hynod a ganlyn mewn Newyddiadur, yr hwn hefyd sydd yn sicrhau ei fod yn wirionedd. Danfonwyd bachgen bychan, mab i ddeiliad melin Gorther, Sir Faesyfed, â mochyn adref ag oedd heb ei werthu yn ffair y Dref Newydd, Sir Drefaldwyn. Pan oedd yn croesi bryniau Kerry, dechreuodd nosi a thywyllu arno, pan yr un pryd y dechreuodd y mochyn mor anamserol nacâu myned ym mhellach. Wedi methu a'i yrru y'mlaen ar ol llawer cynnyg, y bachgen, yr hwn yn naturiol oedd yn dechreu ofni mor bell oddi cartref, yn unig, yn y nos, ar gefn y mynydd, a benderfynodd ei adael i'w dynged, a gwneud y goreu o'i ffordd. Ond nid aeth efe neppell cyn gwybod fod ei gi wedi ei adael. Bore dranoeth llangc yn byw wrth droed bryn ar ochr Sir Faesyfed a ganfu gi a mochyn gyd â u gilydd

yn dyfod i waered tu ag ato, y rhai a adnabu efe yn ebrwydd eu bod yn perthyn i'w gymmydog o'r felin. Gan ryfeddu wrth eu gweled, wedi iddynt fyned heibio, efe a'u dilynodd hwynt yn araf, i sylwi ar eu hysgogiadau. Y ci oedd yn trotian gyntaf, a phob 10 neu 15 llath troai yn ol i edrych a oedd ei gydymaith yn ei ganlyn, a phan y byddai yn arafu, chwyrniad a wasanaethai i brysuro ei gamrau. Wedi dyfod at lidiart, aeth y ci drwodd, ac yna efe a'i gwthiodd yn agored â'i ysgwydd i'w gyfaill fyned heibio. Yn y modd hwn dygodd ef adref yn ddiogel er llawenydd annhraethol i'w feistr ieuangc.—*Shrewsbury Chronicle.*

---

*Ysgol i Blant Bychain.*—Sefydlwyd yn ddiweddar yn ninas Bangor un o'r Ysgolion rhagorol hyn, ac y mae yn ddywenydd genym glywed ei bod yn llwyddo tu hwnt i ddisgwyliad gwresocaf ei sylfaenwyr. Casglwyd eisoes y swm o £70 tu ag at ei chynnal, a disgwylir i lawer ychwaneg gyfranu tu ag ati. Nifer y rhagdalwyr yn bresennol yw 167, yr hyn sydd yn rhoddi cefnogrwydd nid bychan i obeithio, pan ddelo y sefydliad yn fwy adnabyddus, y deallir yn well am ei ddybenion clodwiw. Y mae yn anrhydedd ac yn fraint i ddinas Bangor i fod y gyntaf oll yn Nghymru i flaenori yn y fath orchwyl daionus; ac yr ydys yn gobeithio y dilyna trefydd ereill yn y Dywysogaeth cyn bo hir gynllun mor ganmoladwy. Rhoddwn ychydig o hanes am natur a dybenion yr Ysgolion hyn yn rhai o'n Rhifynau canlynol.

---

Dywenydd genym glywed fod y Gymdeithas a elwir, "Y Gymdeithas Wladol er Cadwraeth Bywyd ar Long-ddrylliad" (*National Institution for the Preservation of Life from Shipwreck*) wedi gorchymyn anrhegu Dafydd Griffith âg arian-dlws, a Phedair Punt o arian, yn wobr iddo am ei ymdrechiadau dewraidd a thirion yn achub bywydau y môr-deithwyr yn y llong Newry, yr hon y rhoddwyd hanes am dani yn y Rhifyn diweddaf. Rhoddwyd hefyd Ddwy Bunt i bob un o'r tri wyr ereill ag oeddynt yn ei gynnorthwyo.

*Damwain alarus yn rhybydd i rïeni, &c.*—Prydnawn dydd Iau, y 13eg o Fai, cymmerodd tân afael yn nillad merch fechan i Harri Davies, Rhydloyw, Plwyf Llanuwchllyn, Sir Feirionydd. Gadawsid y plentyn, yr hon oedd ynghylch dwy flwydd oed, i eistedd rhwng traed ystol, dan ofal ei brawd, yr hwn yn ddiofal a'i hesgeulusodd, gan ei gadael yn unig yn y tŷ. Ond erbyn i'r fam anffodus ddyfod adref, yr oedd y dillad a'r plentyn wedi llosgi mor echrydus, nes oedd yr olwg arni yn ddigon brawychus i dreiddio drwy y galon galetaf, pa faint mwy raid fod yr olygfa i'w rhïeni torcalonus. Ond er pob cymmorth meddygol, bu farw bedwar o'r gloch boreu dranoeth.—*Rheithfarn,* marwolaeth ddamweiniol. O bryd i bryd aml yw y rhybuddion a gafwyd rhag gadael plant yn esgeulus y'nghyrhaedd yr elfen ddinystriol, at yr hon y maent mor dueddol o ymluago. Gobeithio y bydd y tro galarus hwn, ynghyd âg amryw droion ereill cyffelyb, yn foddion i ddwyn pawb ag ydynt yn ymdrin â phlant i fod yn dra gochelgar rhagllaw.

---

*Lladrad digywilydd*—O gylch mis yn ol daeth dyn a alwai ei hun William Brooks (alias Owens, alias Evans) i weithio yn y gwaith mŵn yn Llangynog. Oddeutu un o'r gloch bore ddydd Llun, y 13eg o Fai, gwnaeth ei faich i fynu o eiddo ei letywr, yn cynnwys tri chadach sidan, un cadach cotwm, crys, tri phar o hosanau, par o esgidiau, darn o *ham*, &c. ac ymaith âg ef. Bernir fod yr hyn a ladrataodd yn werth o 30 i 40 swllt. Dywedir mai priodor o Sir Fflint ydoedd.

---

Ychydig yn ol, yn Swydd Essex, Cadben Moir a ganfu bysgotwr o'r enw Malcolm yn rhodio dros ei dir, ac mewn iaith ddigllon a orchymynodd iddo fyned ymaith. Y pysgotwr a ufuddhâodd am y tro hwnw, ond ymmhen hanner awr daeth drachefn ar y tir; y Cadben a aeth ato, ac a'i saethodd â llaw-ddryll yn ei fraich, yr hyn a fu yn achos o'i farwolaeth ymmhen ychydig ddyddiau. Barnwyd y Cadben Moir yn euog o lofruddiaeth fwriadol gan y Rheithwyr, ac y mae yn awr y'ngharchar.

---

*Gelod.*—Yn y flwyddyn 1821 trosglwyddwyd o Ffraingc 1,500,000 o elod; yn 1826 yr oedd eu rhifedi wedi lluosogi i 33,650,000!

---

Gofynodd pendefiges yn ddiweddar i'w Physygwr, A oedd trwynlwch yn niweidiol i'r ymenydd? Atebodd yntau, Nad oedd, canys nid oedd neb ag ymenydd ganddynt yn ei gymmeryd.

---

## BU FARW,

Boreu dydd Gwener, y 7fed o Fai, y Parchedig George Griffith, Ficer Llangwm, Sir Ddinbych, yn 51 mlwydd oed.

# Y GWYLIEDYDD.

GORPHENAF, 1830.

## LLYFR EXODUS.

*(Parhad o du dalen 172.)*

*Haint yr Anifeiliaid.*—Y mae i'r pla hwn gymmwysder priodol mewn perthynas i'r Aiphtiaid, yr hwn ni feddai pe gosodasid ef ar ryw bobl ereill. Parchent âg addoliad dwyfol y llew, y blaidd, y ci, y gath, a'r afr; eithr ychain, buchod, a defaid oedd eu duwiau penaf. At yr addoliad hwn y cyfeiria Moses,* "Os aberthwn ffieidd-beth (sef gau-dduw) yr Aiphtiaid yn ngwydd eu llygaid hwynt, oni labyddiant hwy ni?" Trwy yr haint hon y cafodd yr Aiphtiaid nid yn unig golled fawr gyffredinol, eithr yr annedwyddwch hefyd o weled eu duwiau eu hunain yn syrthio yn feirwon o flaen Duw Israel. Cymmwys iawn oedd yr ymweliad hwn o ran meibion Israel hefyd, gan y profai iddynt waeledd y duwiau yr ymostyngai eu meistriaid o'u blaen mewn addoliad dwyfol. Eu harbediad eu hunain oddiwrth yr aflwydd a'u gwnai yn barotach i ymadael a'u gwlad enedigol, sef yr Aipht, a glynu wrth grefydd newydd a gwell. Ni ddylid deall y geiriau, "*holl anifeiliaid*" yr Aiphtiaid (*pen.* ix. *adn.* 6.) yn ol y llythyren. Naill y rhai oedd yn y maes yn unig a fu feirw, neu y rhan fwyaf o honynt, yr hyn yn fynych a feddylir wrth y gair *oll*. Felly, yn y pla nesaf, yr anifeiliaid oedd yn *y maes* yn unig a laddwyd; ac ar ol y ddwy laddfa hyn meddiannai Pharaoh gerbydau a *meirch* i ymlid ar ol meibion Israel.

*Pla y Cornwydydd Llinorog.*—Perthyna yr ystyriaethau uchod i'r pla hwn hefyd o barth ei gymmwysder neillduol i gystuddio yr Aiphtiaid, ac i argyhoeddi eu traain gaethweision o wagedd y duwiau estronol. Yr oedd gan yr Aiphtiaid amryw dduwiau, gorchwyl dwyfol y rhai oedd iachâu clefydau, a darparu meddyginiaethau; ac arnynt hwy yr hyderai y bobl mewn pob afiechyd. Ymffrostient hefyd yn fawr mewn hen lyfrau meddygawl, a ysgrifenasid (meddent hwy) gan eu duwiau; a'r meddygon, y rhai oedd ceidwaid y llyfrau hyn, a berchid ganddynt â chlod rhyfeddol. Perthynai i bob clefyd ei feddyg priodol, nid meddyg cyffredinol i bob clwyf; a thybient eu bod yn fwy cyfarwydd oblegid hyny, bawb yn ei afiechyd neillduol. Cymmerent hefyd arnynt rag-ddarparu erbyn clwyfau ym mlaen llaw, a darogan pa bryd y deuent ar ddyn ac anifail. Cynhelid y meddygon (gan faint oedd eu parch) ar draul y wlad yn gyffredin. Y farn a osodwyd arnynt y tro hwn oedd gyfryw nad allai y

* Felly hefyd mewn man arall, "Gwnaf farn yn erbyn *holl dduwiau* yr Aipht." *Exod.* 12. 12.

duwiau ei hattal, na'r meddygon ei hiachâu. Gallent gloddio am ddwfr ac ymguddio mewn rhan rhag y gwybed; ond y cornwydydd llinorog oedd gystudd blin corphorol, yn halogi gwyr lleyg a llëenawl; fel na fedrai hyd yn nod y swynwyr sefyll o flaen Moses, "Oblegid fod y cornwyd ar y swynwyr, ac ar yr holl Aiphtiaid."

Gorchymynwyd i Moses ac Aaron gymmeryd lludw ffwrn a'i daflu tu a'r nefoedd, fel y chwythid hwynt dros yr holl wlad. Cyfeirir yma at ddefod eilun-addolgar, greulonddrwg iawn, arferol ym mhlith yr Aiphtiaid. Aberthent ddynion, dyeithriaid yn gyffredin, i'w gauddduwiau; a thebyg yw, iddynt aberthu rhai o feibion Israel pan oeddynt yn nhŷ eu caethiwed. Llosgent hwynt yn fywion ar yr allor, er lles y wladwriaeth; ac wedi gorphen yr aberth, casglai yr offeiriaid eu lludw ynghyd, ac yna taenellent hwynt tu a'r nefoedd, fel y dygent fendith ar bob dyn a man lle y disgynent. Cyffelyb weithred a wnaethpwyd gan Moses, eithr gyd âg amcan gwrthwynebol, sef i gystuddio a dwys-flino holl ddinasyddion yr Aipht. Dalier sylw hefyd fod yr Aiphtiaid yn addoli yr elfenau; ac yma wele un o honynt, sef yr *awyr*, yn foddion i'w cospi; megys hefyd *tân*, yn y pla canlynol:—

*Pla y Cenllysg.*—Rhagfynegwyd i Pharoah, y deuai y boreu dranoeth genllysg trymion iawn, a tharanau, drwy holl wlad yr Aipht. Anghredadwy hollol y cyfrifid hyn gan yr Aiphtiaid; oblegid mai anaml iawn y syrth dim cafodydd gwlaw, llai o lawer cenllysg, yn y wlad hòno. Ni's gallai yr Aiphtiaid, gan hyny, lai na deall mai barn arnynt oedd yr ymweliadau tost ac anghyffredin hyn. Yr oedd eu gwlad hwynt yn hynod am gnydiau toreithiog iawn o *lîn*, yr hwn a weithient gynt, megys yn y dyddiau presennol, yn liain mein-dlws, gwerthfawr a symmudliw. Gwisgoedd o liain a wisgid gan holl drigolion y wlad; o herwydd hyny y sonir am ddistryw y *llîn* megys colled fawr gyffredinol. Dystryw yr haidd hefyd oedd golled ddirfawr gyffredinol, nid i'r amaethyddion yn unig, ond i'r masnachwyr, a phobl o bob gradd. Gellir casglu bod gwledydd tramor yn dechreu eisoes gyrchu yn flynyddol i'r Aipht am luniaeth. Ond yr oedd dystryw yr haidd yn peri un anghyfleusdra arall, na wyddys yn gyffredin am dano. Yn oesoedd boreuaf y byd, megys yn y dyddiau hyn, sug y grawnwin, neu *win*, oedd y ddiod a yfai dynion mewn gwleddoedd, neu ar achosion pryd na byddai dwfr iachus i'w gaffael. Parotoid y grawnwin yn ol defod briodol pob gwlad, weithiau yn felus, droiau ereill yn anfelus; weithiau yn wan, droiau ereill yn *ddiod gadarn*, sef cymmysgedig â chyffyriau cryfach fyth. Eithr er y rhagorai daear fras yr Aipht o barth ffrwythlondeb i ddwyn ydau, nid cymmwys oedd i ansawdd y gwinwydd; ac, oblegid hyny, ychydig o winllanoedd a gefid yn y wlad hòno. Parodd hyn iddynt barotoi diod o fath arall, sef o'u haidd, a hon a alwent hwy yn *haidd-win** (οινος κρίθινος ydyw yr enw mewn hen hanesydd Groegaidd) eithr mwy cynhenid fyddai gan la-

* Cyfrifir mai yr hen Aiphtiaid a ddyfeisiodd, ar yr achosion uchod, y modd i ddarllaw cwrw yn gyntaf. Trigolion barbaraidd yn ngogledd-dir Ewrop ac Asia, sef y *Scythiaid*, a ddywedir eu bod yn ymhoffi yn fawr mewn cwrw; canys ni thyfai gwinwydd yn eu hardaloedd oerion hwynt. Arfera y Tartariaid presennol wneuthur diod gadarn iawn o *laeth cesig*, yr hon sydd o barth cadernid yn debyg i *frandi*, ac a hoffir yn fawr gan y cenhedloedd afrywiog hyny.—Yfed cwrw beunydd o benglogau eu gelynion oedd y nefoedd a ddisgwyliai yr hen Saeson, a theuluoedd ereill o'r Gothiaid, yn y byd nesaf.

wer o'n darllenyddion roddi yr enw *carnu* arni. Gwasanaethgar iawn y caed y ddiod hon iddynt pan fyddai dwfr yr afon yn afloyw, ac felly yn anghymmwys i'w hyfed. Oblegid hyn, yr oedd dystryw yr haidd yn peri dychryn a cholled neillduol i'r trigolion.

Perthyna tri hynod-bethau rhagluniaethol i bla y cenllysg:—1. Y byddai cenllysg mewn gwlad lle nid ydynt yn arferol, a hyny i raddau trymion iawn.—2. Y byddai dranoeth ar ol ei fygythio, pryd nad oedd dim argoelion yr amser hwnw, ac ni allai dyfais ddynol ei wnenthur.—3. Na ddisgynai y pla hwn ar ardal Goshen, preswylfa meibion Israel.

*Pla y Locustiaid.*—Nid oedd ym mwriad Duw gyflawni mesur ei gospedigaethau ar unwaith, eithr yn olynol, ac yn araf deg, a diddymu yn y diwedd holl obaith yr Aiphtiaid. Trwy genllysg a tharanau a thân yn gymmysgedig â'r gwlaw, dystrywiasid y llin, a'r haidd, a gwnelsid niwaid mawr i'r porfeydd. Eithr y gwenith a'r rhyg, o herwydd eu bod yn ddiweddar, ni churasid; a'r cyfryw yw ffrwythlondeb yr Aipht fel yr adnewyddiasid y gwyrddlesni yn fuan. O herwydd hyny, danfonodd Duw locustiaid i ddystrywio holl lysiau y ddaear, a ffrwythau y coed, a phob dim a flagurai ar wyneb y tir. Soniwyd eisoes, ar achosion ereill, mor ofnadwy yw y difrod a wna y creaduriaid hyn ar bob gwyrddlesni; ac at hyn, digon yw ychwanegu, yr hyn a fynegir yn bendant, na bu y fath locustiaid erioed yn ngwlad yr Aipht. Ar amseroedd ereill, darllenwn eu bod yn dyfod yn finteioedd aneirif, neu yn hytrach gymmylau, yn lledu am ddeunaw neu bymtheg milltir o hyd, a naw neu ddeuddeg o led, ac yn tywyllu wyneb yr wybren. Mewn dwy o oriau, difrodant bob blaguryn ŷd, a'r holl wyrddlesni, mewn ardal oedd yn ymddangos yn hardd-deg a ffrwythlon o'r blaen, ac y mae newyn trwm yn canlyn. Liw nos, pan orweddant ar y ddaear, gorchuddiant wyneb y tir yn bedair modfedd o ddyfnder, neu ychwaneg; ac os â cerbyd drostynt, a'u sangyd, y mae'r arogl ddrewllyd arnynt yn annyoddefadwy. Yr oedd gan yr Aiphtiaid dduwiau, swydd neillduol y rhai oedd, tybygent hwy, gorchfygu a gyru ymaith y creaduriaid difrodawl hyn. Ond dangosai y farn hon iddynt, nad oedd ddichonadwy i'w duwiau sefyll o flaen Duw Israel a'i was Moses.

(*I'w barhâu.*)

---

SYLWADAU AR GEN. iii. 21. A iv. 7.

WYLIEDYDD HYBARCH—Pregethais yn ddiweddar ar yr adnodau canlynol; ac o herwydd hyny mi a ddymunaf yn fawr gael barn rhai o'ch Gohebwyr dysgedig ynghylch yr athrawiaeth a ddarfum gasglu oddi wrthynt.

*Gen.* 3. 21. "A'r Arglwydd Dduw a wnaeth i Adda ac i'w wraig beisiau crwyn, ac a'u gwisgodd am danynt hwy."

Hefyd, *Gen.* 4. 7. "Os da y gwnai, oni chai oruchafiaeth? ac oni wnai yn dda, pechod a orwedd wrth y drws: attat ti hefyd y mae ei ddymuniad ef, a thi a lywodraethi arno ef."

Trwy ddyfal ystyriaeth o'r geiriau hyn, a'r amgylchiadau sydd yn perthyn iddynt, cefais resymau digonol i sicrhâu fy meddwl fy hun mewn perthynas i sefydliad dwyfol offrymau ac aberthau, yr hyn a ddygwyddodd yn dra buan ar ol cywilyddus gwymp dyn, a'r addewid rasusol o Iachawdwr i'w brynu.

Er cadarnhâu gwirionedd y fath destun pwysig, sylwais, Fod y ddefod o aberthu (fel y mae'n fwyaf tebygol) o ran ei dechreuad, yn orchymyn pendant oddiwrth Dduw; ac, yn ganlynol, yn ddychymyg

goruwch naturiol. Gwelwn yma hysbysiad eglur, fod crwyn, yn yr amser boreuol hwn, yn cael eu defnyddio er dilladu ac ymgeleddu noethder a chywilydd ein rhïeni cyntaf. Ni ddywedir wrthym pa fodd y cafwyd y rhai hyn. Ni allasent fod yn grwyn yr anifeiliaid a laddesid er ymborth, oblegid ni roddwyd un caniatâd i fwyta cig cyn y diluw. Peth eithaf ansicr fyddai hyderu ar grwyn anifeiliaid a ddygwyddent drengi trwy glefyd neu ddamwain. Heblaw yr ystyriaeth fod y ddau hyn yn fynych yn gwneuthur crwyn anifeiliaid yn anghymmwys i unrhyw ddefnydd o honynt, cyfarwyddwyd, yn ddiammeu, Adda ac Efa i arferyd, yn lle dillad, grwyn y rhai hyny a laddwyd yn aberthau. A'r cyfryw wisgiad anghelfydd a barhausai mewn defnydd hyd oni ddyfeisiodd craffder dynol ryw fath arall ag oedd yn fwy cymmwys.

Ar yr egwyddor hwn o drefniad a sefydliad dwyfol, hawdd yw rhoddi cyfrif am gyffredinrwydd aberthau. Ar un sail arall y mae'n aros yn ddirgelwch mwyaf dyrys. Yr arfer hon a ddeilliodd oddiwrth Adda at Noah, ac oddi wrtho ef i'w holl hiliogaeth: ac, ym mhellach, nis clywais erioed hanes am unrhyw genedl, yr hon a haerai iddi ei hun ddechreuad gwreiddiol offrymau ac aberthau; ond pob un yn wastadol a soniai am arferion ei chyndadau; gan dybied yr amddiffynai hyd yr eithaf ei defodau crefyddol, trwy ddywedyd "Ei bod yn addoli ei duwiau yn ol yr arferiad gwladol." Hwy a addefent weithiau mai *rhyw un* a'u dysgodd i addoli y Duw hwn neu arall gyd âg aberthau a defodau neillduol; ond nis honodd neb erioed hawl i'r prif sefydliad o aberthau ac offrymau. Y Paganiaid, ar rai prydiau, a ddygent i mewn i'w temlau dduwiau y cenhedloedd ereill, fel y darllenwn yn 2 *Bren.* 17.

Amgylchiad arall teilwng o ystyriaeth yw hwn: Pa gymmaint bynag y cynnyddodd eilun-addoliaeth, ac yr amlhâodd ei wrthddrychau, cadwodd dynion bob amser mewn côf y dyb fod offrymu anifeiliaid fel aberthau, naill ai yn atgymmodol (*propitiatory*) er troi ymaith ddigllonedd y duwiau, ac i ennill eu ffafr; neu ynte, yn gyfammodol (*federal*) er cadarnhâu cyfammod, trwy alw ar y duwiau i ddwyn tystiolaeth i uniondeb a phuredd eu bwriadau: a bod yr offrymiad o ffrwythau y ddaear yn sacrafenawl (*eucharistic*) er datgan eu diolchgarwch am fendithion rhagluniaethol.

Caf yn awr ond sylwi ym mhellach fod yr adnod arall (*Pen.* 4. 7.) yn dwyn prawf chwanegol i sicrhâu yr athrawiaeth sy dan ein hystyriaeth. Ac er ei deall yn well, y mae dysgedigion yn ei chyfieithu ac yn ei dehongli fel hyn: "Os da y gwnai, onid oes i ti ddyrchafiad? ac oni wnai yn dda, y mae pechoffrwm, neu aberth, yn gorwedd, neu yn *ymgrymu fel anifail* wrth y drws, à pha un y gelli wneud iawn." Y mae 'r un gair yn arwyddo pechod, ac hefyd cymmod, neu aberth am bechod. Er nas gwnaethost yn dda paid a digaloni, y mae 'r feddyginiaeth gerllaw, nid yw 'r iawn ym mhell i'w geisio; cymmer afael arno, a maddeuir i ti anwiredd dy fywyd sanctaidd. Dywedir, yn y Datguddiad, fod Crist, y pechaberth mawr, yn sefyll wrth y drws. Y mae dau o ymadroddion yn yr ysgrythyr yn gosod allan barodrwydd y naill ddyn i wasanaethu ac i barchu y llall. Y cyntaf yw, "ein llygaid sydd ar ei law;" hyn sydd yn dal allan ein gofal a'n gwasanaeth allanol: yr ail yw yr un yn y testun, "ein dymuniad sydd ato ef;" yr hyn a ddengys dymher a pharodrwydd tufewnol ein meddwl i dalu parch iddo. *Ps.* 123. 2, *Gen.* 4. 7. *rhan olaf.* Cain a ddaeth

ger bron Duw yn hunan-gyfiawn, i dalu diolch yn unig am ffrwythau y ddaear; ond Abel a agoshâodd at ei Greawdwr fel pechadur; a thrwy ffydd yn yr had addawedig a offrymodd "aberth rhagorach." *Heb.* 11. 4.

Wrth ddiweddu, chwanegaf y ddau eglurhâd sydd yn canlyn yn yr iaith yr ysgrifenwyd hwynt:—"Nonne, si recte offeras, recte autem non dividas, peccasti?" Ita vertit Is. vossius de LXX Intt. p. 33. et docet, quod juxta hanc interpretationem dixerit Deus Caino, recte quidem ipsum fecisse, quod obtulerit sacrificium, sed non recte dividisse, quia meliorem partem sibi reservâsset. Sed L. Bos in obss. critt. p. 27. verba illa ita reddit: "nonne, si recte obtuleris, recte vero non discreveris mente tuâ, peccasti?" Addens: Scilicet; recte quidem, quod ad externum sacrificium, de frugibus terræ donum Deo obtulerat Cainus, sed animus ipsius perversus non discernebat inter bonum & malum, Impius Erat, & in Deum non credebat."

Diolchaf *i chwi* os rhoddwch le i'r ychydig sylwadau hyn yn eich Cylchgrawn clodwiw; ac *i'r neb* a'i gwelo yn deilwng o'i ystyriaeth.—Yr eiddoch, Syr, yn ddiffuant,

HILARIUS.

---

LLYFR Y PROPHWYD ESAY.

POB rhan a chyfran o'r sanctaidd wirionedd a roddwyd trwy ysbrydoliaeth Duw; oblegid "dynion sanctaidd Duw a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân." Yr unrhyw Ysbryd sanctaidd ag a roddodd fod, trefn, a bywyd i'r byd yn y dechreu, gan symmud ar wyneb y dyfroedd, a symmudodd ar feddyliau y Prophwydi, i amlygu, a gosod allan yn rheolaidd, ac mewn trefn, y dwyfol ddatguddiad yn y Bibl, i'r dyben o roddi bywyd ysbrydol a thragywyddol i bechaduriaid. Iawn ystyried dwyfoldeb y Bibl a chwenychwn wrth ddarllen, myfyrio, neu wrando pob rhan o hono. Cyflawniad y prophwydoliaethau sydd gynnwysedig yn y llyfr tan sylw, ynghyd â rhanau ereill o'r rhagddywediadau sanctaidd, ydyw un o'r profion hyny a rydd ddwyfol awdurdod yr ysgrythyrau tu hwnt i bob ammheuaeth. Y mae'r Prophwyd efengylaidd hwn wedi rhagddywedyd, ym mhlith pethau ereill, mor gywir am enedigaeth a dyoddefaint y Messïah ynghylch saith gan mlynedd cyn ei ddyfodiad, a phe buasai wedi cymmeryd lle pan yr ysgrifenodd. Efallai nad oes un rhan brophwydoliaethol o'r Hen Destament yn cael ei goffhâu, neu gyfeirio ato, mor fynych yn y Newydd a Llyfr y Prophwyd Esay; na thystiolaethau mor eglur am Grist ag sydd yn gynnwysedig yma, ac yn enwedig yn *Pen.* 9. a 53. Yn *Pen.* 9. y llefara mor eglur am ei enedigaeth a phe buasai wedi dyfod, gan ddywedyd, "Bachgen a aned i ni, mab a roddwyd," &c. ac yn *Pen.* 53. y dengys ei ddyoddefaint, a'r achos o hono, mewn ymadroddion mor ddealladwy ag y geill pawb eu hamgyffred; "Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef, a thrwy ei gleisiau ef yr iachâwyd ni," &c.

Prophwydoliaeth Esay ydyw y cyntaf mewn trefn o'r un-ar-bymtheg, ond nid y cyntaf o ran amser; canys yr ydoedd Hosea, Joel, Amos, ac Obadiah, ychydig o'i flaen o ran amser ysgrifeniad; ond y mae ei brophwydoliaeth ef yn cael y flaenoriaeth mewn trefn, efallai oblegid helaethrwydd ei chynnwysiad; o herwydd rhagoroldeb ac eglurdeb yr ymadroddion am y Person bendigedig hwnw, i ba un y mae yr holl brophwydi yn dwyn tyst-

iolaeth ie, y mae 'n cynnwys cymmaint am dano fel y gelwir ef yn briodol y *Prophwyd Efengylaidd*, a chan rai o'n hynafiaid y gelwid ef y pummed Efangylwr. Y mae 'r adnod gyntaf o'r Llyfr yn dangos i ni yr amser y prophwydodd, sef "yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahaz, a Hezecïah, breninoedd Judah;" ac yr oedd o farwolaeth Uzziah hyd afiechyd ac adferiad Hezecïah 47 mlynedd, dros ba amser, o'r hyn lleiaf, y cafodd Judah, a Jerusalem, ac ereill, glywed cenadwri efangylaidd y Prophwyd ffyddlon hwn. Y mae dechreuad ei lyfr, y rhan fwyaf, yn llawn bygythion, a'r diwedd yn llawn o addewidion o eiriau cysurlawn, a dyddanwch efangylaidd; yr hwn ydyw y dull cyffredinol ag y mae yr Ysbryd Glân yn gweled bod yn dda lefaru trwy ei weision ym mhob oes, sef argyhoeddi a chysturo, clwyfo ac iachâu. Bendith a gaffo ein hanfarwol eneidiau ar y cyfryw athrawiaeth ysbrydol, fel y delom i iawn werthfawrogi y breintiau sydd yn ein dwylaw, rhag iddynt gael eu cymmeryd oddi arnom, a'u rhoddi i ereill a ddygo ffrwythau cyfatebol iddynt.

G. J.

---

GWELEDIGAETH AMSERAU DYFODOL.

Ar ryw brydnawngwaith teg yn nechreu Hydref meddyliais am rodio ychydig hyd fôn wladaidd hardd, yr hon oedd yn arwain i bentref neillduedig. Un o'r manau telediw oedd o'n gwlad enedigol, y rhai ydynt ddigymhar. Yr olygfa o'm hamgylch oedd o'r darddull mwyaf dysglaer ei harddwch. Er nad oedd natur yn amlygu ei gwychedd mawrygol, a'i hardderchawgrwydd aruthrol, drwy gyflwyno i'r golwg ddilyniad olynol o wrthddrychau rhyfedd gymhwys i arswydo'r enaid, ac i argraffu teimlad gorucheloddifrifwch ar y meddwl; er nad oedd gagendorau llydanagored yn dangos eu ciliau ofnadwy, na mynyddoedd uchel draws yn dyrchafu eu penau, na dim rhaiadr rhuadwy yn dyfod fel taran ar y glust; etto prydferthwch mwyaf tyner a heddychol y greadigaeth a ddeuai i'r golwg yn ei holl dirion hawddgarwch. Y mensydd a orchuddiwyd gan yd llawn addfed i'r cynhauaf; helaethder a digonolrwydd oeddynt wasgaredig o amgylch; y côr asgellog a bynciasent eu peroriaeth hyfryd-sain a serchog; a'r awyr oedd yn diaspedain gan eu tônau melusber. Yn orchfygedig gan lawenydd, treminis, gyd âg hyfrydwch ar yr olygfa harddwych. Drwy natur edrychais i fynu at Dduw natur, a chyda theimladau o ddiolchgarwch parchus, cyfaddefais dynerwch haelionus y Bôd graslawn, "yr hwn sydd â'i drugaredd ar ei holl weithredoedd;" a'r hwn a wna "i derfyn bore a hwyr lawenychu." Yna syrthiais i ryw syn-fyfyriad. Cymherais anniolchgarwch dyn gyd âg addfwynder Duw; gwrthryfel yr hil ddynol gyda thynerwch llifeiriol y natur ddwyfol, a'r graslawn ddyoddefgarwch y mae yn ei arfer tu ag at ei blant anufudd. Diau, meddwn wrthyf fy hun, yr eglurhâd o hynawsedd a chariad a amlygir ym mhrydferthwch natur o'm hamgylch sydd ddigon i argyhoeddi y meddwl mwyaf ammheugar o dyner ofal Duw dros greaduriaid ei allu; a diau y dangosiadau eglur o'i dirionder tu ag at feibion dynion ydynt gymmwys i gynhesu y galon â diolchgarwch, ac i arwain derbynwyr ei haelioni i gydfyned yn hollol âg amcanion ei drefn raslawn a doeth. Ond, och! gwyddwn nad fel hyn yr oedd. Y gwirionedd anhyfryd a gyrchoeddi fy meddwl yn ei holl rym, fod trigolion y rhandir anwylgu yma yn "pechu yn erbyn yr Arglwydd yn ddirfawr;" fod yn

holl bentref wedi ymroddi i drawsedd; ei fod yn olygfa o lygredd ofnadwy; fod tywyllwch dudew yn amlhau o barth achos yr enaid a rhag-olwg ar dragywyddoldeb; fod braidd un pelydr o oleuni wedi disgyn ar y tywyllwch gorddyfn; a chwanegwyd at ei holl bechodau eraill esgeuluso efengyl tangnefedd, a gwrthwynebu pob ymgais a wnaed er ei les a'i ddedwyddwch. Fy meddwl a wasgwyd gan ystyried y testun pwysig hwn; fy nghalon a gynhesodd at y trigolion ynfyd. Gwelais mewn dychymmyg y farn ofnadwy oedd yn aros iddynt; darluniais i'm meddwl ryw ddialedd dinystriol yn difrodi y lle hyfryd; a meddyliais am y dynged erchyll oedd yn aros mewn byd arall i'r trigolion euog, pe na byddai i drugaredd anfeidrol gyfryngu. Hidlodd dros fy ngrudd ddeigryn tosturiol am eu sefyllfa. Wedi fy ngorchfygu gan fy nheimladau, gorweddais ar y las-don gyd âg iaith gynhyrfiol a serchog ein Hiachawdwr yn fy ngenau, "Pe gwybuasit dithau, ïe, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynent i'th heddwch! eithr y maent yn awr yn guddiedig oddiwrth dy lygaid." Syn-fyfyriais gryn ennyd. Yn raddol fy meddyliau a dawelwyd. Meddyliais ynof fy hun, A oes dim gobaith i'r pentref yma, er ei fod mor llawn o ysgelerder? a oes dim meddyginiaeth i'r drygau y rhai ydynt mor lliosog? Diau fod gallu ddigon gyda Duw, a gras ddigon yn nghalon yr Iachawdwr i newid hyd yn oed y gwrthryfelwyr hyn i fod yn ddeiliaid ufudd ac ewyllysgar. Yna ystyriais ar addewidion Duw, a'r cyfnewidiad mawr a gymmer le yn nghyflwr y byd, pan y llawenycha yr anialwch moesol, ac y gorfoledda y diffeithwch, ac y blodeua fel rhosyn. A diau y pentref yma, er ei fod yn awr yn un o "dywyll leoedd y ddaear," pan dywelltir yr Ysbryd o'r uchelder, a eill gael ei oleuo â llewyrch nefolaidd, a'i ddyrchafu o'i gyflwr isel presennol. Yn dilyn yr amgyffroadau hyn, yn raddol collais bob ymwybodaeth o wrthddrychau o amgylch, a syrthiais i ryw ddwfn syn-fyfyrdod. Yr oedd y dychymmyg o hyd yn effro. Meddyliais fy mod etto yn cerdded ar hyd yr un lôn las; fod yr olygfa adnabyddus etto yn daenedig o'm blaen yn ei holl brydferthwch; ond yr oedd yn ymddangos yn fwy hyfryd, mwy dillyn a hardd. Cyfoethoced ag oedd natur o'r blaen, etto gwasgarodd ei haelioni gyda mwy helaethrwydd nag o'r blaen. Y ddaear a orlenwyd â digonolrwydd; yr oedd prydferthwch mwy dysglaer yn gorphwys ar bob gwrthddrych; ac ymddangosai megys pe buasai i baradwys ddaearol hanfod. Yn awr dynesais at y pentref. Mor fuan ag y canfyddais y glas-lanerch, yr hwn oedd yn ymdaenu ei changder arogl-ber tu ag at ddiwedd y lôn, gwelais fagad o bobl. Fel ag yr euthym y'mlaen, yr oedd megys pe cydymgynnullasai holl drigolion y pentref i'r un fan. Yn ddisymwth daeth i'm meddwl eu bod wedi dyfod ynghyd er mwynhâu rhyw bleserau ansanctaidd a gwag, ac i dreulio 'r oriau mewn afradlonedd a chyfeddach. Beth bynag, fel ag yr oedd yn agoshâu, ni chlywn ddim sain gloddest a llawenydd. Yr holl bentref a ymgynnullasent; ond mor rheolaidd oedd eu hymddygiad, fel y rhyfeddais yn ddirfawr. Fel ag y nesais at ymyl y glas-lanerch, sylwais ar ddestledd a glendid y bythod, a'r dull hawddgar o symledd gwladaidd a'u haddurnodd. Canfyddais y'mhellach, mai er eu bod wedi eu gadael gan y trigolion, y rhai oedd yn y cwr pellaf o'r llanerch, etto ni ragofalwyd i rwystro traws-feddiant, neu ddifrod anturwyr ysglyfaethus; ond i'r gwrthwyneb, y drysau oeddynt lydain-agored, a gwelid pob dim mewn trefnusder oddi mewn. Gyda

phob cam fy syndod oedd yn myned fwyfwy. Er fod yr olygfa a'r gwrthddrychau yn adnabyddus i'm golwg, etto ymddangosent mor wahanol i'r hyn yr arferwn eu gweled, fel ag y meddyliais fy mod mewn byd arall. Arhosais am fynydyn i edrych o'm hamgylch, pan yn ddisymmwth y seiniau mwyaf melusber a hyfryd a ddeuent i'm clyw. Troais tu ag at y lle y daethent, a'r drych mwyaf bywiog a ddaeth o'm blaen. Yr oedd y gynnulleidfa wedi codi o'r man yr eisteddent arno, ac yr oeddynt yn cyduno (yr hyn oedd yn amlwg hyd yn oed o bell) mewn cân o foliant i'r Hollalluog. Cerddais yn fwy cyflym, gan chwennych cael hyspysrwydd o achos yr hyn oll a welswn. Ond cyn i mi ddyfod i fynu atynt, diweddodd yr adsain olaf o'r gân, yr hon oedd yn cael ei dyrchafu i'r nef gan yr awel brydnawnol, a'r holl gynnulleidfa oedd mewn agwedd gweddi. Yn nghanol y lliaws canfyddais dderwen gysgodfawr, ac ar fan ychydig ddyrchafedig oddiar arwyneb y llawr ryw henafgwr hybarch gwallt llwydwyn, yr hwn a gyhoeddai ei henaint, a gwedd barchedig yr hwn oedd yn achosi teimladau parchus. Yr oedd efe yn wresog yn cyflwyno y dorf i nawdd achlesol y nef; ac fel y deuthym i'r fan, yr oedd efe yn datgan y bendithiad. Ar ol gosteg addas, y gynnulleidfa a ymwasgarodd. Yn union-gyrchol dechreuais ymddyddan â rhai o honynt. Synasant o herwydd fy ngofynion, ac edrychasant arnaf gyda rhyw faint o'r syndod a brofodd y ddau ddisgybl gynt ar eu ffordd i Emmaus, pan gyfarfuant â'u Meistr, ac heb ei adnabod a ddywedasant, "A wyt ti yn unig yn ymdeithydd yn Jerusalem, ac ni wybuost y pethau a wnaethpwyd ynddi hi yn y dyddiau hyn?" Ond ar yr un pryd yr oeddynt yn eithaf cariadlawn yn eu hymarweddiad, ac yn awyddus hynod i ateb fy ngofyniou. Hyfryd a sanctaidd oedd eu hymddyddan. Fy syndod yn fuan a roddodd le i gyd-ymdeimlad. Mor ysprydol, mor nefolaidd, oedd cyweithas fy nghyfeillion, fel yr oedd yn ymddangos fel pe buaswn yn ymgyfeillachu gyd âg ysprydion y rhai a berffeithiwyd yn hytrach na chyda dynion y tu yma i'r bedd. Yr hyspysrwydd a gefais oedd o'r natur mwyaf bywiog, a gellir coffhâu y sylwedd o hono mewn ychydig eiriau. Mynegasant i mi y moddion drwy y rhai y dygwyd y pentref i'r cyflwr bendigedig yma; duwioldeb a dedwyddwch y trigolion; ymdaeniad cyffredinol gwybodaeth grefyddol yn eu plith; buddugoliaethau cynnyddol teyrnas yr Iachawdwr; gwendid ac aneffeithioldeb y gwrthwynebiad yn erbyn y gwirionedd; y gorfoleddau cyflym a dilynol yn amryw barthau o'r byd; y gras hollalluog yr hwn a newidiasai gymmeriad a gwedd y pentref gynt yn anfad a halogedig: ac mewn ychydig eiriau, gwelais fy mod yn ymddyddan â chenedl o ddynion y rhai yr oedd iddynt y fraint, nid yn unig o ganfod gogoniant y mil blynyddoedd, ond y rhai oeddynt yn bod mewn amser pan oedd ei ddyddiau ysplenydd yn eu dysgleirdeb gwychaf yn tori ar y byd. Cyrhaeddasom yn awr gwr eithaf y pentref. Treuliais ychydig fynydau o bleser dyrchafedig, yr hyn ni's profais erioed o'r blaen. Gwelais a chlywais ddigon i'm hargyhoeddi ynghylch effeithiau bendigedig yr efengyl ar gymmeriad y bobl gyd â'r rhai yr ymgyfathrechais. Yn lle meddwdod, tlodi, a thrueni, canfyddais sobrwydd, cysur, a hapusrwydd; yn lle halogrwydd, gwyd, a therfysg, duwioldeb, tangnefedd, ac ewyllys da, a ffynasant; a chariad at Dduw a dyn a effeithiasant â grym hyfrydgymhellawl. Yr oeddwn 'ar dracthu meddylfryd fy nghalon, yr hon

oedd yn llawn diolchgarwch a llawenydd, ond yr ymgais a darfodd fy syn-fyfyriad, y drych a ddiflanasai, a chanfyddais fy hunan unwaith etto yn yr un man lle yr arhosais i foddhau fy nheimladau. Ond er diflanu o'r weledigaeth, etto cyfodais gyda chalon lon ac enaid dadlwythedig. Yr oeddwn wedi fy argyhoeddi, mai er mor beryglus oedd cyflwr y pentref yma, etto nad oedd ei sefyllfa yn hollol ddiobaith, y gallai y gwrthddrychau a welais mewn dychymmyg gael eu gwirio cyn bo hir; a hiraethais am yr amser dedwydd pan y teimlir effaith yr efengyl y'mhob pentref a dinas ar wyneb y ddaear, ac a ddwg i mewn i'r byd pechadurus hwn gyfnod o ddedwyddwch a gogoniant, yr hwn fydd tu hwnt i'n hamgyffredion bywiocaf, ac a eglura gyda dysgleirdeb canol-ddydd effeithioldeb purol dyrchafedig y grefydd Gristionogol.

Arundel Cefni.

---

## BLODAU Y COED.

Ein gerddi a'n meusydd ydynt yn awr wedi eu haddurno â dillynion y Gwanwyn, a'r holl ddaear sydd yn olygfa brydferth. Gair y Perydd tragywyddol, yr hwn a lefarwyd pan grewyd y bydysawd, sydd wedi achosi yr effeithiau hyn: ei law hollalluog sydd wedi adnewyddu gwyneb y ddaearen er diwallu ei greaduriaid â diddanwch ac hyfrydedd. Duw yn unig sydd yn galw ar y Gwanwyn, ac yn peri iddo ymddangos. Tyred, ynte, O ddyn, a gwel pa beth a ddichon dy ddoethineb a'th rym di effeithioli? A elli di achosi pren flodeuo, neu ddeilen flaguro? A elli di orchymyn i'r ddaear ddwyn y glaswelltyn lleiaf, neu beri i'r *tiwlib* ymddangos yn ei holl brydferthedd? Ystyria y blodau hyn, ac olrhain hwynt yn fanylaidd. A allant hwy fod yn berffeithiach? a ddichon i'w tryliwiau gael eu cymmysgu gyda mwy o harddwch, neu eu lliwiau eu cyfartalu yn fwy dillynaidd? Nid oes un darlunydd a ddichon ddirnad, llawer llai efelyddu, holl ddillynion anian: a phe na byddai dim arwyddion ereill o allu a doethineb Duw ar ein daear, digon fyddai amryfal flodau y Gwanwyn er eu datgan hwynt. Pob pren blodeuawg—pob llysieuyn a phob planhigyn sydd yn datguddio rhyw gyfran o'r doethineb a'r haelioni llwnw ag sydd wedi ymledaenu mor ehelaeth drwy holl anian. Y mae amrywiaeth annirnadwy yn mlodau coed: er eu bod oll yn hardd, y maent yn gwahaniaethu mewn gradd—y naill yn harddach na'r llall: ond nid oes un heb feddiannu rhyw ddillyndra priodol iddo ei hun.

Gallwn dderbyn budd ac addysg wrth sylwi ar y rhyfeddodau hyn. Gallwn olygu, er nad ydyw wedi ein cynnysgaeddu â'r cyfryw fanteision ag a fwynheir gan laweroedd, na ddylem fod yn anghefnog nac yn ofidus. Ni all ymddifadiad o fanteision achlysurol byth niweidio ein llwyddiant yn y byd. Er nad ydym mor gyfoethog, mor brydferth, nac mor rymus a rhai dynion, etto gwael a disylw ydynt y pethau hyn yn marn y doeth a'r rhinweddol, a gallwn fod mor ddedwydd, mor ddefnyddiol i'n cyd-greaduriaid, ac mor dderbyniol yn ngolwg ein Creawdydd, a'r rhai a fwynhânt y cyfryw fanteision. Gwir brydferthwch a berthyna i'r rhai hyny yn unig a ymhyfrydant mewn gweithredoedd rhinweddol a haelionus. Blodau y coed ag ydynt yn dwyn ffrwyth sydd yn ein boddhau yn fwy nag ardderchawgrwydd y *tiwlib*, neu wychder unrhyw lysieuyn arall; oblegid ein bod yn dysgwyl i'r cyntaf gynnyrchu ffrwyth, wedi i'r

blodau ddiflanu: y lleill a'n boddhânt am ychydig, yna ni welir hwynt mwyach. Na fydded i ni orhoffi prydferthwch allanol: y gruddiau a ydynt yn hardd a gwridog gan iechyd—dillynrwydd corphorol a bywiogrwydd ieuengctid, a ddiflanant yn ebrwydd: ac nid ydynt hwy yn unig yn alluog i sicrhâu dedwyddwch presennol, na llonyddwch dyfodol. Y blodau a addawant ddwyn ffrwyth teilwng o Dduw, a defnyddiol i ddynolryw, ydynt yn unig yn haeddu ein gorbarch a'n cymmeradwyaeth. Megys y gwywa teleidion y prenau blodeuawg yn ddisymmwth; felly y diflana yr ieuaingc yn ngwanwyn eu hamser, pan yr ymddigrifent yn eu prydferthwch. Bydded i ni yn moreuddydd ein bywyd, ac yn nghryfder ein hiechyd, gasglu trysor o wybodaeth, ac ymddarparu i gynnyrchu toreithiau duwioldeb a rhinwedd ym mhrydnawn ein henaint, pan fyddo pob digrifwch allanol wedi colli ei archwaeth.

STURM.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### Y LLYGOD.

ER y perthyn y Llygod i'r un teulu a'r rhai Ffrengig a mawrion, etto ni wnawn y tro hwn sylwi arnynt yn y golygiad hwn, ond yn unig fel rhyw o greaduriaid adnabyddus o dan yr enw cynnwysawl Llygod. O dan yr enw hwn yn gyffredin y rhestrwn gryn lawer o amrywiaeth. Sylwn ar rai o honynt yn olynol; ac, yn gyntaf, ar rai a feddylir yn fwyaf cyffredin wrth yr enw Llygod. Y rhai hyn ydynt mor adnabyddus i'r rhan fwyaf o honom; canys fe ellir dywedyd am danynt eu bod yn cyd-anneddu â nyni. Eu hŷd o'u pen hyd at eu cynffon sydd oddeutu tair modfedd a hanner. Eu cynffon sydd hir a chenog, ac agos yn ddiflew. Y mae i'w traed blaen bedwar o fysedd, ac i'r rhai ol bump: nid oes ewin i'r pummed. Lliw eu cefnau sydd felynddu; a'u torau yn wynion. Y creaduriaid bychain hyn ydynt ym mhob parth o'r ddaear; ac a drigant agos yn hollol yn anneddau dynion, neu yn agos atynt, a hwy a'u dilynant er mwyn bywioliaeth. Ymborthant ar y rhan fwyaf o bethau bwytadwy; megys ŷd, bara, caws, ymenyn, olew, &c. Nid yfant ond ychydig. Eu moes sydd hynaws a diniwaid; yn bur ofnus, ac yn dra chyflym yn eu symmudiadau. Fe allai nad ydynt un amser yn dyfod allan o'u dirgelfëydd ond i ymofyn am ymborth; a'r pryd hyn, y trwst lleiaf a bair iddynt ddychwelyd i'w tyllau gyd â'r cyflymdra mwyaf. Ni threiglant o dŷ i dŷ fel y gwna y rhai Ffrengig neu fawrion, ac nid ydynt yn agos mor ddinystriol. Y maent yn ddofadwy, er nad yn hollol felly. Gallant rifo llawer o greaduriaid gwyllt a gwar, ym mhlith y pedwar troediog a'r ehedogion, fel gelynion marwol iddynt: y dylluan, y barcut, a llawer ereill o'r adar ysglyfaethus, yn gystal a'r gath, y wenci yn ei rhyw, y draenog, a'r llygod mawrion ydynt rai o honynt. Nid yw yn anhygoel ddywedyd bod miliynau lawer o honynt yn cael eu dyfetha yn flynyddol, ac etto y maent yn fyw, ac yn anghirif eu rhifedi. Epiliant yn gyflym iawn; canys dygant rai bach aml waith yn y flwyddyn. Cynnwysa eu torllwyth yn gyffredin bump neu chwech; a thu a phen y pythefnos ymedy y rhai hyn â'u rhieni. Dywed un o hen anianyddion Gryw, Aristotle wrth ei enw, iddo roddi llygoden dorog mewn llestr gyda digon o ŷd; a bod yno, cyn pen ychydig amser wedi hyny, chwech ugain o lygod wedi hanu oll oddiwrth yr un hono a roddasai efe yn y llestr. Ceir llawer o'r llygod hyn yn yr ŷd yn yr ysguboriau a'r ŷd-

lenydd. Trigant amlaf yn yr ochr dde-orllewinol i'r deisi ŷd yn yr ŷdlenydd, yr hon sy fwyaf agored i'r gwlaw. Nid hir yr arosant mewn ŷd os bydd, neu os daw, llygod mawrion yno. Gwelir weithiau amrywiaeth ym mhlith y llygod hyn, sef un neu fwy yn glaerwynion: i'r rhai hyn y mae llygaid cochion, yr hyn a bair i'r olwg arnynt fod yn rhyfedd a dymunol. Er bod rhagfarn, a phethau ereill, wedi magu ynom ni deimladau digofus tuag at y llygod, ac am hyny ni a'u hystyriwn yn greaduriaid ffiaidd ac anhardd; etto, os edrychwn arnynt, a'u chwilio yn ddiragfarn, fe fydd raid i ni gyfaddef eu bod yn hardd o ran llun, a lliw, a llewyrch. Eu llygaid ydynt loyw a bywiog; eu hysgogiadau sydd hardd a phrydferth; ac y maent yn lân i'r eithaf.

*Y Llygod Cochion.*—Y rhai hyn ydynt fwy o ran corpholaeth na'r rhai uchod; canys y maent dros bedair modfedd o hŷd o'u trwyn i'w cynffon: a'u cynffon hefyd sydd agos o'r un hŷd. Eu lliw oddi arnodd sy felyn llwyd-goch; eu dwyfron yn felynaidd, a'u torau yn wynion. Eu cynffon sydd orchuddiedig gan flew byrion. Y mae iddynt fysedd o ran rhifedi fel y rhai o'r blaen. Ceir y rhai hyn yn y caeau, y gerddi, a'r coedwigoedd. Gelwir hwy mewn rhai ardaloedd *Llygod y Ffa*; o herwydd yr anrhaith a'r difrod a wnant mewn meusydd hauedig o ffa. Ymborthant hefyd ar gnau, mês, ac ŷd, a llawer o bethau ereill cyffelyb. Casglant, rai prydiau, i'w llochesau o'r pethau a enwyd lonaid llestr mawr. Meddylir mai maintioli yr ystafell, ac nid eu hanghen, sydd yn eu rheoli yn maint eu casgliad erbyn gauaf: cafwyd mewn rhai llochesau at swm *bushel*. Llawer o greaduriaid ereill a gyfranogant yn eu darpariaeth hwynt. Y moch yn fynych a diriant ato, ac a ddygant eu llwyth o hono. Gwna y llygod hyn golled nid bychan yn y meusydd a'r gerddi lle yr heuir mês, ffa, a phŷs. Codant y rhai hyn yn y cyfryw fodd yn fynych fel ag i fawr niweidio y cnwd dysgwyliadwy oddi wrthynt. Y mae eu rhifedi yn fawr yn ddiau: canys fe ddywedir gan Anianydd hyglod o Ffraingc, iddo ddal mewn maes bychan, am amser, yn ol cant yn y dydd o'r llygod hyn; a dywed i ddwy fil o honynt gael eu dal o'r pymthegfed o Dachwedd hyd yr wythfed o Ragfyr. Lleihâodd eu rhifedi yn raddol hyd nes y daeth y rhew a'r oerni, pan y gorfu arnynt fyned i'w llochesau i ymborthi ar eu darpariadau. Yn yr Hydref y maent amlaf; canys os prin yr ymborth yn y gauaf ymborthant y naill ar y llall. Ymborthant hefyd ar adar a llygod. Dechreuant ar yr ymenydd, ac yna y rhanau ereill. Cadwodd yr Anianydd doethgall Buffon unwaith ddeuddeg o'r llygod hyn mewn cawell, a bwydai hwynt yn feunyddiol am wyth o'r boreu. Un diwrnod esgeulusodd hwynt dros ynghylch pymtheg mynyd, a gwelodd iddynt fwyta un o'u rhifedi yn y cyfamser. Dranoeth gwnaethant yn gyffelyb âg un arall. Ym mhen ychydig ddyddiau nid oedd ond un yn ngweddill; y lleill oll oeddynt wedi eu lladd, ac agos wedi eu llwyr fwyta; ac yr oedd traed a chynffon yr hon oedd yn fyw wedi eu niweidio. Y maent yn hynod ffrwythlon; dygant naw neu ddeg o rai bychain yr un tro, a hyny yn fynych yn y flwyddyn.

Y mae un arall bur debyg i'r llygod hyn ond ei bod yn llai o gorpholaeth, a gellir ei galw hi y *Llygoden Goch Fach.* Nid yw cynffon hon fwy na modfedd o hŷd. Ei phen hefyd sy letach na'r un o'r blaen. Gwnant lawer o ddrwg yn y meusydd ŷd ychydig cyn y cynhauaf, trwy dori y gwellt i ddwyn y tywysenau o fewn eu cyrhaedd. Y rhai hyn,

gan mwyaf, yn y gauaf a giliant i'r coedwigoedd, lle yr ymborthant ar ffrwythau y coed, megys mês, cnau o bob math, &c. ac os prin y rhai hyn, hwy, fel y rhai o'r blaen, a ymborthant y naill ar y llall; ac nid ychydig o honynt a leddir er ymborth gan y cadno, y goedgath, y carlwm, a'r wenci, &c.

R.

---

LLYTHYRIAD CYMRAEG.

MR. GWYLIEDYDD—Ni's medraf lai na meddwl nad oes llawer o eiriau Cymraeg yn cael eu hanafu yn y dyddiau hyn, a hynny drwy fyrbwylldra ysgrifenwyr, yn eu hawydd o gael arfer y drefn newydd o lythyru'r iaith, neu i gael ymddangos "mewn arfau newyddion" (fel y dywedwch chwi) ar faes llenyddiaeth. Ac y mae'n amlwg na roddir digonol ystyriaeth ar ragddodiaid geiriau—y naill ragddodiad yn cael yn fynych ei gymmeryd yn lle y llall, heb roddi rheswm boddhaol am yr addasrwydd o hynny:—*Dy*olch, yn lle *di*olch; *dy*gwydd, yn lle *di*gwydd; *dys*gwyl, yn lle *dis*gwyl, &c. Pa faint well ydyw y geiriau yma wedi eu newid fel hyn? A ydynt yn arwyddocau mwy neu lai nag o'r blaen? Gwyddis fod rhagddodiad ym mhob iaith yn chwanegu neu ehangu ystyr y gair o flaen yr hwn y rhoddir ef; megis pe dywedwn, "Dyna *ben* ar y gwaith." Mae'r ystyr yn gyflawn yma; ond wrth roddi y rhagddodiad *di* at y gair *pen*, mae'n dyfod yn gyflawnach:—dyna *ddiben* ar y gwaith, h. y. dyna *ddiweddben* ar y gwaith. Etto, y gair *dioddef*. Ysgrifenwn hwn yn *du*oddef, yn hytrach na *dy*oddef; oblegid nad all y rhagddodiad *dy* chwanegu grym, neu ystyr y gair *goddef*, un mymryn mwy na *di*. *Du*oddefaint Crist, h. y. *Dwys*-oddefaint Crist. "Poen a *du* lafur pan y dolefodd." Ac y mae *du* hefyd yn tynnu yn nes at y llafariad cyffredin na *dy*, yr hyn a ddylai fod mewn golwg wrth lythyru'r Gymraeg, oblegid fod pob llythyren i gael ei sain phriodol ei hun yn y llafariad; ond rhy ychydig o sulw a wneir o'r rheol hon yn bresennol.

Gwelaf yn eich rhifyn diweddaf y gair *di*gasedd yn cael ei ysgrifennu *dy*gasedd. Pa ham fel hyn, mwy na'r geiriau *di*gllawn, *dig*ofaint? &c. Digasedd, gair cyfansawdd yw, yn deilliaw o'r geiriau *dig* a *cas*—*casineb*. "Oddiwrth gynfigen, digasedd, a bwriad drwg, a phob angharIadoldeb," &c. Mae'n ymddangos i mi fod y geiriau eraill yn y frawddeg uchod yn dehongli ystyr y gair digasedd yn berffaith gwbl, fel nad hawdd ei gamgymmeryd.

Gellir dwyn rhagor o brofion y'mlaen er dangos anaddasrwydd ac amherffeithrwydd y drefn newydd, a arferir gan amryw yn awr yn ysgrifennu'r iaith; ond chwennychwn yn fawr weled dadl deg, rhwng rhai o brif ddysgedigion Cymru, yn cael ei dwyn y'mlaen yn y Gwyliedydd, neu ryw Gyhoeddiad misol arall, mewn perthynas i Lythyreg ein hiaith, i'r diben o ddwyn pawb i'r un farn yn ei chylch; canys y mae pob awdwr yn ei hysgrifennu yn ol y gwelo yn oreu ei hun, heb edrych ar un rheol osodedig. Yn awr, onid ydyw hyn, yn ol eich barn chwi, yn ymosod yn uniongyrchol at ddyrysu a diddymmu'r iaith? Ac os ydyw'r iaith yn werth ei chadw, yn eich golwg chwi, yr wyf yn galw arnoch i'w hamddiffyn; canys, yn ddiau, nid oes dim yn fwy anafus iddi na'r amrywiol reolau a arferir gan yr amrywiol awdwyr ynddi: ac er ymdrechiadau mewn Cyfarfodydd ac Eisteddfodau, ac areithio yn drwyadl a medrus er ei mawrygu a dangos ei gwerth a'i godidawgrwydd, mae'n rhy amlwg mai diffodd a wna, oni cheir undeb yn

y drefn o'i hysgrifennu: ac er ei bod yn rhagori yn helaethder a tharddiad ei geiriau, os goddefir i bob un awdurdod i'w hysgrifennu yn ol fel y gwelo yn dda ei hun, buan y bydd yn un glegyriaith anghyson a disynwyr, ac ni's gellir mwy gael rheol safadwy iddi.

EPSILON.

MIN Y DÔR,
*Ebrill* 28, 1830.

---

## BUDDIOLDEB CREFYDD MEWN TRALLOD.

*Hanesyn.*

GWYR pawb yn Nhegeingl am Lan ——. Oddiar y mynydd cyfagos gellir gweled Dyfrdwy yn dolenu ei thaith tua Môr Werydd mal cadwen arian yn cydio Cymru a Lloegr yn un, er gwaethaf y cof am wyr y Mers a'u traha. Y tu cefn i'r Llan y mae aber yn llemain dros reieidr a guddir gan gyll ac ysgaw. Tua chanol y Llan safa yr Eglwys, ac nid nepell ydyw y Persondy. Yn y Persondy hwn y treuliasai yr hon sydd yn destun i'n hanes ugain mlynedd o ddedwyddioldeb a dedwyddwch. Ar farwolaeth ei gwr symmudasai o'r Persondy i dŷ bychan hardd oedd o fewn lled cae i'r Llan, a elwid y Fron deg. Yr oedd yn perthyn i Yswain y Plwyf, hen gyfaill i'r Offeiriad; felly ni chymmerai gan ei weddw ychwaneg nag enw o ardreth. Tu blaen i'r tŷ yr oedd gardd onglog yn llawn o lawryf a blodau, a llwybr o raian gwyn, gyd âg ymylon o'r bocs, a arweiniai at y ddor. Prin y gwelid pa un ai maen ai pridd-faen oedd yr adeilad gan y cymmhleth o winwydd gwylltion ac eiddew oedd yn dringo i fynu at y bargod. Gwyddai y plwyfolion am y serch duwiol oedd yn rhwymo yr Offeiriad a'i brïod yn un: ond pan y galwyd ef o lafur i lawenydd, nid ymddangosodd cymmaint o ol gofid ar rudd ei weddw ag a ddysgwyliasent. Darfodedigaeth oedd ei ddolur, ac am agos i flwyddyn gwyddai nad oedd meddyginiaeth iddo ond y bedd. Yr oeddynt ill dau wedi byw yn ysbryd yr efengyl a bregethasai efe. Am dani *hi*, er chwerwed y dagrau a dywalltai pan nad oedd onid Un yn gweled, etto ni ellid galw y flwyddyn olaf hon yn llai cysurus na'r pedair ar bymtheg ereill o'i chyflwr prïodasol—yr oedd mwy o'r nef ynddi. Am dano *ef*, yr oedd angeu wedi colli pob peth oedd yn arswydus iddo, yr oedd wedi colli ei golyn. Eisteddent law yn llaw yn eu deildy, a sonient, gyda llais digyffro, a llygad diddagrau, am awr yr ymraniad, am ddiwrnod yr angladd, ac am ail-gyfarfod trwy haeddiant y Cyfryngwr bendigedig mewn gwlad nad oes poen, nac angeu, nac ymadawiad o'i mewn. Yr oeddynt fel yn gweled yr anweledig. Felly yn amser ei ymddatodiad yr oedd efe fel llafurwr blinedig yn syrthio i gwsg dymunol. Caewyd ei lygaid gan ei weddw â'i llaw ei hun, ac nid oedd ei llaw yn crynu. Ymmhen ychydig clywodd y clul, ac edrychodd ar yr elor gyda llygad llawn, ond gyda chalon ddiderfysg. Yn yr un ysbryd gadawodd y Persondy gyd â'i dau fachgen, a chauodd y pennor o'i hol wrth fyned i'w thŷ newydd, gan symmud ei gwefusau mewn diolch dystaw i Dad yr amddifad a'r weddw.

Tyfodd y bechgyn mewn cryfder a harddwch yn ymffrost a blodau y plwyf. Yn eu horiau gwylion llament fel iyrchod dros lawnt a llethr, ond yn yr ysgol yr oeddynt yn dawel a diwyd. Er maint nwyf naturiol mebyd, yr oedd ysbryd ac addysgiadau eu mam wedi gweithredu ynddynt fwy o sobrwydd ac ystyriaeth nag a welid yn eu cyfoedion. Ymddangosai hyn ynddynt yn enwedig pan ymgrymment wrth ochr eu mam yn yr Eglwys, a phan safent gyda hi yn hwyr yr

haf wrth fedd eu tad—yr oeddynt yn ei gofio yn burion—yr oeddynt yn cofio ei wedd hefyd, a'i gerddediad eiddil—yr oeddynt yn cofio y tro olaf y cawsant ei fendith gyda llaw a llais crynedig. Fel hyn mewn math o ddedwyddwch prudd y treuliasant rai blynyddoedd yn y Fron Deg. O'r diwedd daeth yn amser iddynt adael eu mam a'u cartref. Yr oedd Hywel, yr hynaf, wedi ei gyssegru o'i fabandod at wasanaeth yr allor. Yr oedd bellach yn bedair ar ddeg oed, dwy flynedd hynach na'i frawd. Er mwyn ei barotôi at Rydychain, rhoddwyd ef yn ysgol Rh——. Gwedi bod yno yn ennill dysg a chlod am bum mlynedd, derbyniwyd ef yn aelod o Athrofa yr I—yn y Brif-ysgol a enwyd: a thrwy diriondeb Mr. C——, un o'r Athrawon, dechreuodd ei yrfa yno gyda llawer o fanteision. Yr oedd brawd i'r diweddar Offeiriad yn Gadben yn Llynges ei Fawrhydi. Mynai efe gael Gryffydd, yr ieuengaf o'r bechgyn hyn, i'w alwad, a than ei ofal ei hun. Ni allasai dim foddio ysbryd gwrol Gryffydd yn well. Ymdrechodd ei fam ymresymu âg ef; ond pan welodd dueddiad cryf y bachgen, tawodd a sôn. Fel hyn collodd y weddw gymdeithas y rhai anwyl a'i llonent unwaith: etto yr oedd yn ddedwydd. Yr oedd y tŷ yn wir wedi myned yn rhy ddystaw, a gwnai y dystawrwydd ei chalon weithiau yn glaf pan eisteddai wrthi ei hun ar yr aelwyd wag. Yr oedd darlleniad y Bibl, a chymdeithas â Duw, yn cadw ei hysbryd yn ei le. Nid oedd yn gweled dim camni yn ei choelbren. Yr oedd cylymau uwch na chylymau natur yn rhwymo ei myfyrdod wrth y nef. Yn wir yr oedd ganddi achos i fod yn gysurus. Derbyniai lythyrau serchog oddiwrth ei meibion ar bob hamdden. Gwelodd Gryffydd yn cael ei rifo ym mhlith gwroniaid ei wlad yn y Parau newyddion. Am Hywel, treuliai efe wyl-ddyddiau yr haf yn y Fron Deg. Bu ei ystod yn Rhydychain yn llwyddiannus i'r eithaf. Ennillodd ei dduwioldeb, a'i ddawn, a'i ddiwydrwydd, iddo barch pawb. Cafodd ei ddewis yn un o ysgolheigion ei Athrofa; ac yn ei holiad diweddaf gosodwyd ef yn y dosparth uchaf. Gwedi derbyn gradd ac urdd yn Rhydychain, prysurodd i Gymru i lawenhâu calon ei fam â'i bresennoldeb. Ar y trydydd prydnawn wedi ei ddychweliad, tra yr oeddynt ill dau yn eistedd yn ngwyll y gwanwyn, ac yn sôn, gyda chalon ddiolchgar, am diriondeb Duw tu ag atynt, gwelent, rhwng bargodion yr eiddew oedd yn brwydo y ffenestr, wr boneddig tal yn dyfod i fynu yr ardd, a hogyn ar ei ol yn dwyn byle *(trunk)* ar ei ysgwydd. Yn y mynyd nesaf yr oedd Gryffydd ar lawr y parlwr, ac yn mreichiau ei fam. Yr oedd ei long wedi troi i borthladd Penfro; cafodd yntau gennad i fod yn absennol am fis. Aeth y newydd am ddyfodiad y ddau wr ieuangc drwy y plwyf yn fuan, ac ni welwyd Eglwys Llan—— erioed mor llawn a'r sabboth canlynol. Taenwyd y gair fod Hywel i bregethu yn hen bulpud ei dad. Gwibiai llygaid y gynnulleidfa yn ddiarwybod weithiau at Gryffydd yn ei wisg lyngesaidd yn ochr ei fam; yna parai sylwadau effro Hywel iddynt gofio am bregethiad difefl eu hen weinidog. Yr oedd yn ddiwrnod o deimladau cymmysg i'r weddw wrth iddi edrych ar yr hyn *oedd*, a chofio yr hyn a *aethai heibio*. Gwedi y gwasanaeth arosodd y rhan fwyaf o'r gynnulleidfa yn y fynwent i gyfarch gwell i'r gwyr ieuaingc; a phrin y bu yno un amser y fath ysgwyd dwylaw. Aeth y mis hwn heibio ar adenydd, a dychwelodd Gryffydd at ei long. Yn yr Hydref canlynol aeth Hywel i Rydychain

i ymgeisio am Gyfeillaeth *(Fellowship)* a choronwyd ei holl ddymuniadau. Un boreu lleithiog yn nechreu Rhagfyr daeth llythyr i'r Fron Deg: cadwasid ef yn y llythyrdy trwy ddiofalwch am naw diwrnod. Gwnaeth ei gynnwysiad i'r weddw welwi, etto prin yr ynganodd un o feddyliau ei chalon wrth neb ond wrth ei Duw. Ym mhen deuddydd yr oedd hi yn Rhydychain *wrth fedd ei hanwyl Hywel.* Gorphenasai twymyn ei gorchwyl angeuol arno wythnos cyn iddi glywed ei fod yn glaf. Troes gartref gyda chalon drom, ond heb ei llwyr adael. Yn ei haros yr oedd llythyr arall wedi ei selio â chwyr du. Tybiodd mai oddiwrth un o gyfeillion Hywel y daethai, i gynnyg cysur iddi yn ei hing dwys. Agorodd ef yn y dysgwyliad hwn: ond cyn iddi ddarllen y tu dalen cyntaf, deallodd fod llong Gryffydd wedi cael ei gyru gan dymhestl ar graig yn ngoror yr Iwerddon—na achubasid dim ond deugain allan o'r pum cant oedd ar ei bwrdd. *Nid oedd Gryffydd ym mhlith yr achubedig.* Nid allai ddarllen ym mhellach. Fel hyn mewn un wythnos gwnaethpwyd gweddw y Fron Deg yn ddiblant. Am dri mis wedi hyn yr oedd ei thŷ fel pe buasai heb breswylydd ynddo: ond dangosai y mwg o un simnai fod y weddw yno wrthi ei hun ar yr aelwyd unig. Er maint eu parch tu ag ati, ni feiddiai y plwyfolion guro wrth ei drws i sôn gair am ddyddanwch: fel cyfeillion Job, yr oeddynt yn tewi am eu bod yn gwybod fod "ei dolur yn fawr." Gwelwyd hi trwy y gwrych weithiau wrth ei ffenestr; dro arall amneidiodd â'i llaw at ryw gymmydog a dynodd ei het iddi wrth fyned heibio. Pan ofynid i'r forwyn wrth ddyfod o'r farchnad, neu o'r eglwys, pa fodd yr oedd ei Meistres yn ymgynnal dan yr ymweliadau trymion a'i cyfarfu, atebai fod ei gwedd a'i hiechyd yn gyffelyb fel o'r blaen, ond bod ei hymddyddanion yn fwy ysbrydol a phwysig; a'i bod yn meddwl dyfod i'r Eglwys pan glaiarai yr hin. Bellach yr oedd y gwanwyn yn dechreu britho y coed â blodau amryliw, ac yn hulio y weirglodd â chwrlid gwyrdd. Yr oedd y Fron Deg yn dechreu adfywio; ac felly, trwy ras y nef, yr oedd enaid yr hon a'i preswyliai hefyd. Ar y sabboth cyntaf yn Ebrill gwelwyd hi yn dyfod i fynu y fynwent yn ystlys yr Offeiriad a'i wraig; ciliodd y dyrfa o bobtu y llwybr, a thynasant eu hetiau iddi, ond ni yngan-odd neb air. Tybiodd rhai bod ei gwedd wedi newid ychydig pan aeth gyntaf i'r eisteddle. Coffodd, y mae yn debyg, am y rhai oedd tua blwyddyn yn ol yno yn denu llygaid y dorf. Pa fodd bynag, clywwyd ei llais yn eglur yn cyduno i ganu y 23ain Psalm.

> Yr Arglwydd yw fy mugail clau,
> Ni âd byth eisiau arnaf.

O'r dydd hwn allan ymwelai âg uchel ac isel yn y plwyf, yn gyffelyb fel o'r blaen. Yr oedd yn edrych yn debyg megys cynt, ond fod rhyw sobrwydd arbenig yn ei golwg a'i hymddygiad, ag oedd yn gwneud pawb yn sobr o'i chylch.

Dyna yr hanes a glywswn i am dani hi, a'i helyntion, pan ddaethum ar fy nhro yn ddiweddar yn agos i Lan ——. Yr oedd ei phlant wedi bod yn gyd-chwareyddion â mi; a Hywel fuasai fy nghyfaill mwyaf mynwesol yn yr Athrofa. Penderfynais ymweled â hi, ac anfonais i ddywedyd pa bryd y deuwn. Cefais hi yn y parlwr bychan, a fuasai yn diaspedain lawer gwaith gan grechwen fachgenaidd rhai oedd heddyw "wedi tewi yn yr angeu." Am dro soniasom ynghylch pethau cyffredin, ac yna canlynodd dystawrwydd. O'r diwedd cyfododd, ac allan o goffr oedd yn yr ystafell, cymmerodd ddau ddarlun, ac a'i

gosododd ar y bwrdd. "Dyna," ebe hi, "dyna wynebau meirwon fy mechgyn." Yr oeddwn yn cofio fod un ai *Jones* ai *Hughes* wedi tynu darluniad o fy nau gyfaill cyn iddynt adael eu cartref. Yr oeddynt yn edrych mor debyg, fel yr oeddwn bron am ymddyddan â hwynt, a sibrwd eu henwau. Gwelodd fod fy nhymherau tyneraf wedi eu cynhyrfu, a dywedodd, "A ellwch chwi goelio eu bod ill dau heddyw ym mreichiau marwolaeth? onid ydyw y wên sydd ar wyneb Hywel fel pe byddai yn anfarwol? Pwy debygai, wrth edrych ar ei lygaid tryloyw yn y darlun, eu bod heddyw gwedi eu gorchuddio â niwl angeu? A meddyliwch, O meddyliwch! fel y gwnaed cudynau euraidd Gryffydd yn ddiblau gan yr heli, ac yn llawn o dywod y dyfnder!"

Rhoddais y lluniau difywyd wrth fy ngwefusau. Yr oedd fy serch wedi bod yn wresog at y ddau frawd. Yna mi a'u symmudais i gwr arall o'r ystafell. Buasai yn dda genyf allu dywedyd gair o gysur wrth y weddw oedd yn fy ymyl; ond yr oedd fy nghalon yn rhy lawn i'm tafod lefaru. O'r diwedd llefarodd hi—"Hwyrach i chwi glywed gan lawer fy mod yn goddef fy nhrefalon yn ddiddig, a chyd âg yspryd boddlon i ewyllys y nef; ond nid ydyw yn gwbl felly. Y mae genyf achos i ofyn maddeuant gan fy Nuw am lawer ochenaid annheilwng, a llawer deigryn anniolchgar. Er mor aml y bendithion a hidlwyd ar fy llwybr, ac er mor werthfawr yr addewidion a gywirwyd ar fy rhan, yn holl amgylchiadau fy oes; etto, adyn gwael anniolchgar, a gwrthryfelgar ydwyf fi. Bob dydd a phob nos yr ydwyf yn syllu ar y lluniau meirwon yna: llawer gwaith yn y diwrnod yr ydwyf yn myned i'r ystafell lle y cysgai fy mechgyn, ac yn edrych ar eu gwelyau, nes agos dybied gweled eu gwynebau mewn cwsg esmwyth ar y gobenydd. Y boreu yr ydwyf fel yn clywed eu hymn i Dduw eu hiechydwriaeth, ac yn dysgwyl bob mynyd iddynt guro wrth ddrws fy ystafell i fy ngwahodd i gyfodi. Yn amser eu hysgol, yn amser eu dychweliad adref, yn amser eu prydiau bwyd, ac yn amser eu gweddïau hwyrol—yn yr amserau hyn, a llawer amser arall, y mae fy meddyliau yn troi at fy mhlant. O! y mae angeu yn ymddangos yn beth erchyll pan osodo ei ewinedd oerion ar y rhai a garwn oreu. Bu Hywel, yn wir, farw yn ei lwydd. Yr oedd ei ddysgwyliadau goreu gwedi eu cyflawni. Er nad oedd mam yno i wylio ei oriau olaf, etto ni bu arno eisiau un ymgeledd a allasai marwolion roddi iddo. Ond am Gryffydd, pwy all ddirnad yr ing a drywanodd ei galon, ar y noswaith ddu ac oer, pan oedd y llong yn myned yn ddrylliau rhwng y dymhestl a'r graig!"

Ar hyn gwelodd fy llygaid i yn dechreu llenwi; ac fel pe buasai yr ystyriaeth o fy ngwendid i yn dwyn ei hysbryd i'w wrolder arferol, dywedodd, "Etto paham yr wylaf? Onid Duw y trugareddau a fy nghlwyfodd? ac Efe a ddichon fy iachâu. Y mae genyf ganmil mwy o achos i ddiolch iddo nag i gwyno? Rhoddes ei Fab bendigedig i farw drosof, ac i agor mynediad i mi, ac i fy ngharenydd i dragywyddol ddedwyddwch. Rhoddes addewidion mawr iawn a gwerthfawr yn yr efengyl, o bwrpas i gysuro y trallodus. Gall efe droi y groes drymaf yn elw, a gwneud 'Moab yn grochan golchi.' Paham y cwynaf? Gadawodd fy mechgyn dystiolaeth ar eu hol, eu bod gwedi dewis yr Arglwydd yn rhan iddynt ym moreuddydd oedran. Buasai yn well genyf, yn wir, gael eu beddau yn fy ymyl, fel y gallaswn weithiau eu gwlychu â fy nagrau;

ond nid ydyw hyny o bwys tra y gallaf hyderu eu bod yn y nef gyda â'u tad; lle na ddaw twymyn na thymhestl i'w blino mwy." Yn ddiatreg, dyna sirioldeb yn ymdaenu ar ei gwedd, fel pelydr haul drwy awyr gymylog. Edrychai o amgylch yr ystafell; gwelai fi yn sylla ar lun llong oedd yn crogi ar y pared. "Dyna long, Gryffydd," ebe hi; "tynodd ei llun, fel y gwelwch, ychydig wedi ei ymadawiad; a gyrodd ef adref yn anrheg i mi. Ond, O! llong arall oedd hi y noswaith yr oedd yn dryllio yn safn y don. Dacw y llyfrau yn yr un drefn ag y gosododd Hywel hwynt pan y bu ddiweddaf gyda mi. Yr ydwyf yn tynu y llwch oddi arnynt bob wythnos, ac yn eu gosod yn eu lle drachefn. Nid ydwyf prin yn darllen yr un o honynt yn awr. Bu yn hoff genyf eu darllen unwaith, pan oedd fy mhlant o fy amgylch. Ond y mae un *llyfr* yn hoff genyf etto; ac oni buasai hwnw buaswn yn y bedd ym mhell cyn heddyw. Ni allaf ddarllen un bennod o'r *Bibl* heb dderbyn rhyw gadarnhâd i fy meddwl. Y mae fy nghalon yn fy nhwyllo; y mae fy ysbrydoedd yn wanach mewn cyfyngder nag y maent wedi addaw bod; y mae cysuron crëedig yn fy ngadael mewn gwasgfa; ond ni fedraf ddarllen un tu dalen o'r llyfr bendigedig hwn heb weled fod llygaid y Duw trugarog ar ei holl blant, ac felly arnaf finnau. Fod ei ddoethineb a'i ras yn trefnu fy nghoelbren; a bod ei aden yn fy noddi. Mewn cymdeithas âg ef, yn ei Fab, yr ydwyf yn gallu anghofio fy nhristwch; yr wyf yn mwynhâu cysuron na wyr y byd ddim am danynt; er bod fy ngwr a fy mhlant wedi eu claddu, ac er fy mod innau yn gorfod teithio anialwch bywyd yn unig heb gydymaith."

Erbyn hyn yr oedd cysgodau yr hwyr yn dechreu llaesu, a daethai yr amser i mi ymadael. Daeth y weddw i fy hebrwng hyd y pennor, a chyda gwedd yn llawn o sirioldeb duwiol erfyniodd ar i Dduw fy mendithio. Gyda cherddediad araf diysgog dychwelodd rhwng cangau y coed oedd o bob tu y llwybr yn ol i'w thŷ. Wrth sefyll a sylwi arni, nis gallwn lai na theimlo, yn ddwysach nag erioed, bwys y gwirionedd hwn, "Fod duwioldeb, ac iawn ymarferiad o Lyfr Duw, yn ddigonol i gynnal y meddwl yn foddlon a chysurus o dan holl wasgfeuon ac ing marwoldeb."

Al.

---

## BRWYDR FAWR WATERLOO.

### LLYTHYR IV.

Wedi noson o wyliadwriaeth a phryder, o'r diwedd fe wawriodd bore y 18fed, ac erbyn hyn yr oedd y ddwy fyddin elynol y'ngolwg eu gilydd. Yr oedd Buonaparte wedi mawr ofni y byddai i'r Prydeiniaid omedd sefyll brwydr âg ef, ac na arosent yn eu henciliad nes cyrhaeddyd eu llongau: ond pan welodd hwynt wedi eu trefnu yn barod i'w wrthsefyll, ar y llechwedd gyferbyn ag ef, dywedir iddo dori allan mewn mawrffrost a gorfoledd, "Ah! dyma fi wedi cael y Saeson i'm gafael o'r diwedd." Mor awyddus oedd ef i ddechreu yr ymgyrch, ac mor sicr oedd o fod yn fuddugoliaethus, fel yr oedd yn hyrddio yr ol-fyddinoedd i brysuro y'mlaen, ac i gymmeryd eu sefyllfaoedd priodol. Ni ddarfu iddo unwaith gymmaint a breuddwydio fod yn ddichonadwy iddo gael ei orchfygu, o ba herwydd ni wnaeth unrhyw ddarpariaeth ar gyfer enciliad. Gellwn fod yn sicr mai nid llawer o ddydd a ollyngai y Dug Wellington i fyned heibio heb ei ddefnyddio i ymbarotoi yn effeithiol erbyn yr ymosodiad ofnadwy ag oedd ar gael ei wneuthur arno. Yr oedd efe gyd â'r fyddin ar lasiad y dydd; ac oddeutu pedwar o'r gloch y boreu

anfonodd Genhadwr at yr hen Flucher, yr hwn, y'nghyd â'i fyddin, oedd yn nhref *Wavre*, oddeutu 15 milltir o faes Waterloo. Yr oedd y gennad i hysbysu i'r hen wron fod y Dug Wellington wedi cymmeryd ei sefyllfa ar gyfer Waterloo, a'i fod wedi penderfynu yno wrthsefyll y Ffrangcod; ei fod yn dymuno arno ef (Blucher) anfon dau ddosparth o'i fyddin, er ei gyfnerthu. Ond yr hen greadur, yn hytrach nag anfon dau ddosparth, a atebai, y byddai iddo ef, a phob dyn yn ei fyddin, ddyfod i'w cynnorthwyo i orchfygu ei hen elyn cyn gynted ag y medrai eu traed eu cario. Y mae y Cenhadwr a anfonwyd yn dywedyd fod awydd y Prussiaid i ddyfod i gefnogi eu cyfeillion y Saeson, yn fawr dros ben. Fel yr oedd ef, ac un neu ddau ereill o beirianwyr Lloegr, y rhai a anfonasid er eu cynnorthwyo i ddod y'mlaen, yn marchogaeth ar hyd eu rhengau, annerchid hwy gan y milwyr, "O! sefwch eich tir ddewrion Brydeiniaid nes i ni ddyfod yn help i chwi." Ac ni arbedasant na thrafferth, na phoen, na llafur, i brysuro eu hynt. Ond yr oedd y ffyrdd rhyngddynt a Waterloo yn hynod o ddrwg, ac wedi cael eu hagenu a'u cafnio gan y gwlawogydd diweddar, fel yr oeddynt bron yn annheithiadwy, ac yr oedd yr haul wedi gwyro y'mhell yn ei orllewinawl chwyl cyn bod iddynt hwy na rhan na chyfran y'nghyflafan Waterloo. Pan ystyriem fod twrf y magnelau yn rhuo yn eu clustiau drwy gydol y dydd, a'u bod, drwy ystod eu taith, yn clywed trin yr ymgyrch, pwy all ddirnad eu hawydd a'u hymegniad i gyrhaeddyd y llanerch!

O'r diwedd, gwelai y Prydeiniaid, rhyngddynt â'r goleuni, y drum ar eu cyfer yn cael eu llenwi â gwyr meirch, y rhai a ymddangosent fel cynnifer o gymmylau duon yn tywyllu y terfyngylch; ac am fod ein gwyr meirch ni yn barod i'w derbyn, tybid yn gyffredinol drwy y fyddin, y cymmerai ymdrech le rhwng y rhai hyn yn gyntaf, ac na chai y gwyr traed ddim i wneud ond bod yn edrychwyr. Ond yn fuan fe symmudwyd y camgymmeriad drwy i un o swyddogion Ffraingc ddyfod trosodd at ein byddin ni, yr hwn a hysbysai i'r Dug Wellington fod ymosodiad cyffredinawl ar gael ei wneud, bron ar yr un amser, ar y ddehau, y canol, a'r aswy.

Ymgais penaf y Dug oedd ymdrechu i allael sefyll ei dir hyd oni ddeuai y Prussiaid, y rhai, drwy chwanegu at rifedi ei filwyr, a chwyddai ei fyddin i fwy o nifer na'r Ffrangcod. Dysgwylid hwy oddeutu unarddeg neu ddeuddeg o'r gloch, ond o herwydd bod y ffyrdd mor ddrwg, fel y soniwyd, ni ddaethant hyd yr hwyr.

Yr oedd Buonaparte, o'i du yntau, yn gobeithio y byddai iddo, drwy ei ymosodiadau ffyrnigwyllt a diderfyn, ddadymchwelyd y Prydeiniaid cyn i'r Prussiaid ddyfod i fynu. Yna yr oedd yn tybio y cae hamdden i ddinystrio byddin Blucher, drwy ymosod arni tra ar ei thaith yn dyfod i gynnorthwyo y Prydeiniaid. Ymddiriedai aden aswy ei fyddin i'w frawd Jerome, yr hwn a ystyriai yn filwr tra enwog; ei chanol i Gount Reille, a D'Erlon; a'r aden ddeheuol i Gount Loban.

Yr oedd y ddau Flaenor, a'u hamrywiol sefyllfaoedd, mewn cyflawn olwg o'r holl faes; ac mor agos oedd y ddwy fyddin at eu gilydd fel yr oeddynt yn gweled yn eglur bob ysgogiad o eiddo y naill neu y llall. Yr oedd Buonaparte yn bwriadu agoryd y frwydr hon fel y byddai arferol, drwy gadw ei osgorddion wrth ei law, fel y byddai iddo ymosod gyda hwynt, wedi i aml a mynych ruthr colofn ar golofn, a mintai ar fintai, wanychu a

digaloni ei elyn. Ond nid oedd ei ysgogiadau mor gyflym ag y buasid yn dysgwyl. Yr oedd ei fyddin wedi dyoddef yn drwm oddiwrth y dymhestl y noson o'r blaen; ac yr oedd llawer o'r milwyr ar eu taith drwy y nos, ac ni ddaethant i ymuno â'r fyddin ar La Belle Alliance hyd 10 neu 11 o'r gloch fore y deunawfed. Wrth weled eu colofnau yn gwau drwy eu gilydd ar hyd y llechwedd ar eu cyfer, rhai yn troi i dde, ereill i'r aswy, ac ereill yn trefnu eu hunain yn y canol, yr oedd ein byddin ni wedi cael ei llenwi â rhyw ddystawrwydd pryderus. Dysgwylient yn awyddus i edrych pa bryd, ac o ba gwr, y deuai yr ymosodiad cyntaf.

O'r diwedd, gwelent y gwyr meirch, y rhai o'r blaen, oedd fel cymmylau rhyngddynt â'r goleuni, yn symud i waered; ac am 11eg o'r gloch, ar yr un mynydiau ag yr oedd sain heddychlawn y gloch Eglwys yn galw eu cydwladwyr ym Mrydain i addoli Duw ar ei ddydd, yn ei deml a'i gyssegr, seiniau udgyrn, curiad tabyrddau, rhuad magnelau, ac anferth drwst parotoiadau rhyfelgar oedd yn llenwi eu clustiau hwy ar faes Waterloo. Dechreuodd y frwydr drwy gyflegriad dychrynllyd o du y Ffrangcod, dan gysgod yr hwn yr oedd Jerome Buonaparte i arwain mintai luosog, ynghylch 30,000, yn erbyn Hougoumont. Yr oedd yr ymosodiad hwn wedi cael ei drefnu gan yr Ymerawdwr ei hun, ac yn cael ei wneuthur o flaen ei lygad. Gwyddai fod y lle hwn o'r pwys mwyaf i'n byddin ni, a'r fantais annrhaethol a ddeilliai iddo o'i gymmeryd; ac mae 'n ddiammeu na adawyd dim a allai dyfais a dewrder ei ddychymygu er gwneuthur y rhuthr yn llwyddiannus. Mor ffyrnigwyllt ac arswydus oedd yr ymosodiad, fel yr ysgubasant o'u blaenau y milwyr tramor, o Nassau Ussingen, y rhai oedd yn y coed o flaen Hougoumont, a rhuthrasant y'mlaen, gan ddadymchwel pob rhwystr, hyd nes daethant at lidiart y *Farm yard*, lle yr oedd dosparth o'r Gosgorddion Seisnig yn barod i'w derbyn. Wedi eu dyfod yn lled agos taniasant arnynt eu holl ddrylliau ar unwaith, yr hyn a arafodd eu camrau; a'r rhai a anturiasant y'mlaen a dderbyniwyd ar flaenau y pigodau. Mor ofnadwy oedd y gyflafan yn y llannerch hon, fel mewn llai na hanner awr yr oedd 1500 o gyrph meirwon yn hulio y berllan yn unig. Olynol, fel tonau ewynawg yr eigion, y dylifai minteioedd y gelyn yn erbyn y lle hwn; a'r Gosgorddion Seisnig, i'r rhai yr ymddiredid ei gadwraeth, fel creigiau cedyrn, a wrthsafasant eu holl ymgyrch, gan daflu yn ol eu hymosodiadau brochus, yn ddrylliedig ac ar wasgar. Yr oedd pob un yn ymladd fel pe buasai yn ymddibynu ar ei ymdrechiadau personol ef ei hun droi mantol y frwydr o ochr Brydain. Yr oedd y magnelau oddiar y bryn yn tywallt eu cynnwysiadau dinystriawl ar y lle ar yr un pryd. Anturiai rhai o'r Ffrangcód dros y clawdd i'r berllan, lle y byddai blaenau llymion cannoedd o bigodau yn barod i'w derbyn. Yna troent eu hymgais yn erbyn y tŷ a'r tai allan, y rhai, o'r diwedd, a gymmerasant dân; ond y'nghanol y tân a'r mŵg a'r cwbl, ni phallodd y Gosgorddion yn eu hymdrechiadau. Yr oeddynt yn ymladd y'nghanol y fflamau, nid oedd dim ond angeu ei hun a'u hattalia. Ond Och! i'r tai hyn yr oedd cannoedd o'r clwyfedigion wedi ymlusgo am gysgod, a thrwm yw adrodd iddynt drengu oll yn y fflamau! Yr oedd eu cyfeillion, o'r tu allan, yn rhy brysur i wrandaw ar eu hysgrechau, ac yr oedd hyd yn oed pob mynydyn o gymmaint pwys fel na allent ganiatâu amser i'w hachub! Er holl ymgais y Ffrangcod ni lwyddasant. Ein milwyr dewrion, gyda gwrol-

der, tu hwat ag y gall tafod draethu, a'u gorthrechasant y'mhob ymgyrch, a chadwasant y lle yn eu meddiant drwy gydol y dydd.

Nis gallaf, Mr. Gwyliedydd, derfynu fy mhedwerydd llythyr yn well na thrwy roddi i'ch darllenwyr gyfieithiad o Lythyr y Parch. Mr. Rudge, yr hwn a ymwelodd â maes Waterloo ychydig ddyddiau wedi y frwydr. Efe a ddyry yr hanes canlynol o Hougoumont:—

"Ond wedi y cyfan, nid oedd unrhyw ran o faes yr ymladdfa a ddygodd fy sylw yn fwy na thŷ a gardd Hougoumont, lle y dechreuodd yr ymladdfa. Yn y lle hwn treuliais rai mynydiau mewn synfyfyr mawr. Yn y llannerch hon y bu y frwydr yn fwyaf gwaedlyd. Yma y dangosodd y milwyr Seisnig y fath ddewrder pwyllog, a grym corphorol, nes gwneuthur yn gwbl ofer holl ymosodiadau dychrynllyd y Ffrangcod. Profodd pob Prydeiniad ei hun yma yn wron. Yr oedd yr holl dai fel rhyw hen furddynod pan ymwelais i â'r lle. Nid oedd unrhyw ran yn gyfan; ond yr oedd y cwbl i edrych arnynt yn arswydus. Yn un o'r tai, neu a mur yr hwn oedd wedi ei ddryllio yn fawr, yr oedd ystafell eang, ac yn hon yr oedd cannoedd o gyrph y meirw wedi eu llosgi. Yr oedd eu lludw etto yn myga, ac yr wyf yn sicr na ryfygwn pe dywedwn fod lludw y meirw yn y fan hon yn dair troedfedd o ddyfn. Yr oedd yr ardd ag oedd yn perthyn i'r tŷ yn lled helaeth, as mi feddyliwn ei bod ar y cyntaf wedi ei threfnu yn hardd a dillynaidd. Yr oedd yn cael ei chylchynu a gwâl gadarn, yr hon a gaed yn gysgod i'n gwyr ni, i'r rhai yr ymddiriedwyd y lle. Ar ei chyfer yr oedd coedwig fechan, yn yr hon yr oedd y Ffrangcod; ac oddi yma tanient arnynt drwy gydol y dydd, a'n gwyr dewrion ninnau a ergydient arnynt hwythau drwy fylchau a dorasent yn y wâl. Yr oedd effeithiau y beledau ar y coedydd, a rhywbeth yn hynod ynddynt. Nid oedd gymmaint a choeden nad oedd wedi ei thyllu y'mhob cwr. Yr oedd brigau y coedydd yn llawn dail, ac yn edrych yn goch, a'u gwyrddlesni arnynt; a'u bonau yn ysgythrog, wedi eu tyllu a'u dirisglo. Yn agos i'r tŷ annedd y mae y llannerch lle y claddwyd neu y llosgwyd dros fil o'r lladdedigion. Yr oedd yr arogl yn y fle hwn yn hynod o'r trymllyd; ac mewn rhai manau gellech weled rhyw ranau o'r cyrph. Yr oedd y pridd ag oedd yn eu cuddio wedi gostwng, gan ddwyn i'r golwg fraich mewn un cŵr, gwyneb yn y cŵr arall, &c. Yr oedd pob peth yn profi ddychrynfeydd a galanastra rhyfel! O bob ochr, yr oedd ar led wedi eu taenu arfau a dillad y rhai trengedig; esgidiau, capiau, gwregysau, a phob ceryn milwraidd arall wedi eu llychwino â gwaed, neu eu toi â chlai a phridd tomlyd. Yn y maesydd ŷd, y rhai oedd wedi cael eu mathru a'u migno dan garnau y meirch a thraed y milwyr, yr oedd nifer o lyfrau, tocynau, a llythyrau. Yr oedd amryw o honynt yn Saesneg, ychydig o'r rhai a ddarllenais, ac yn enwedig un oddiwrth un o'r milwyr at ferch ieuangc yn y pen gogleddol i Loegr, yn yr hwn y rhoddai iddi hanes o'i fod ym mrwydr yr 16eg, a'i fod mor ffawdus a diangc heb ei glwyfo; ei fod yn dysgwyl brwydr arall, ac yn gobeithio y cymmerid Boney, y gosodid pen ar y rhyfel, ac yna y cai ddychwelyd, a bod yn ddedwydd gyd â'i —— am y gweddill o'i ddyddiau. Yr oedd y llythyr hwn wedi ei ddyddio yr 17eg, a'i lwybreiddio, ond heb ei selio. Pan ddychwelais i Loegr, ysgrifenais at y person i'r hon yr oedd wedi ei gyfeirio, gan ei roddi y tu fewn, a hysbysu hefyd y dull a'r modd y cawswn ef."

## DARLITH AR DDAEARYDDIAETH.

*(Parhad o du dalen 216.)*

WEDI difa cymmaint o'ch amser i ragymadroddi, denaf bellach at fy nhestun, gan ddechreu gyda Chylchdroadau y Ddaear. Y rhai hyn ydynt o ddau fath; y cyntaf yn chwyldaith flynyddol o amgylch yr haul, mewn rhod hirgylchawl, yn agos i gan milfil o filltiroedd oddi wrtho; ac o ganlyniad rhaid iddi symud tua pham mil a thriugain bob awr! yr ail gylchdroad sydd ar ei hechel ei hun bob pedair awr ar hugain. Yn y modd hyn chwyldroa yn ddiorphwys ar ddiddym, gan chwyldeithio ar yr un pryd, ynghyd â'i llaw-forwyn y lloer, yr hon a chwyldeithia o'i hamgylch hithau unwaith bob mis, mewn rhod hirgylchawl, yn agos i ddau cant a hanner o filoedd o filltiroedd oddi wrthi. Ond am fod y pethau hyn yn perthyn i *Seryddiaeth* yn hytrach nag i'r testun sydd heno dan ein sylw, ni flinaf mo honoch, ond yn unig i egluro y symudiadau a enwais âg un o'r offerynau sy ger eich gwydd.*

Dan yr ail ben, sylwaf fod y Ddaear, o ran ei ffurf neu agwedd, yn gyfrgron fel pelen, neu yn bur agos felly, yr hyn a ellir brofi mewn modd anwadadwy, trwy sylwi ar ei chysgod ar y lleuad, ac amrywiaeth hyd dydd a nos mewn gwahanol barthau o honi, heblaw nifer o brofion ereill a glywyd yma yn Narlithiau ein cyfaill *Einion Môn*. Ni wnaf, gan hyny, ond egluro y rhesymau a enwais gyd â'r un offeryn ag o'r blaen, ac ymdrechu dangos fod gwres yr haul ar unrhyw fan o'r ddaear yn ymddibynu ar ogwyddiad ei belydr oddiwrth linell seth yn esgyn oddiar ei gwyneb yn y fan hono.

Dan y trydydd pen, sylwaf at faintioli y Ddaear, gan gyfeirio eich meddyliau at y Darlithiau a glywsoch genyf yn Hydref diweddaf, yn y rhai yr ymdrechais ddangos, o radd i radd, y modd y gall dyn fesur ei hamgylchiad heb fyned neppell o'r un lle, ac y dywedais, yn ol y mesuriadau manylaf a gymmerwyd o ranau penodol o honi, fod 2040 o latheni Seisnig yn gyhyd ag un filltir ddaearyddol, neu un rhan o 21,600 o gylch y ddaear. Ac am nad oes un petrusder yn fy meddwl mewn perthynas i ffurf y ddaear, nac chwaith mewn perthynas i'r modd i'w mesur; a'm bod wedi darllen hanes gredadwy am y gofal a'r draul a gymmerwyd, gan wahanol genhedlaethau, er sicrhâu manylrwydd yn y gorchwyl; a gweled fod eu penderfyniadau yn nes at eu gilydd, mewn cymhariaeth, nag y dysgwyliwn benderfynu hŷd yr ystafell hon, trwy i fwy nag un o honom ei mesur, nid oes ammheuaeth yn fy meddwl nad yw mesuriad un rhan o 21,600 o amgylchiad y ddaear yn 2040 o latheni Seisnig; ac, o ganlyniad, fod y cyfan ynghylch 25,000 o filltiroedd Seisnig. Ac os caniateir fod y ddaear yn gyfrgron, a'i hamgylchiad yn 25,000 o filltiroedd, gellir casglu, mewn modd anwadadwy, fod ei thryfesur yn agos i 8000 o filltiroedd, a'i harwynebiad ynghylch 200 milfil o filltiroedd ysgwar.

Ond gan fy mod wedi eich cyfeirio yn barod at fy Narlithiau ar Fordwyaeth, a bod sylwedd y gyntaf yn argraffedig yn Seren Gomer am y mis hwn (Ebrill) yn hytrach na difa eich amser i ail

* Offeryn newydd, yn perthyn i'r *Mechanics' Institution*, o bren troed-lydan, â lusern cyfrgrwn wrth ei ben, i arwyddo yr haul, a phelen ar flaen trostan, yn symud oddi amgylch iddo mewn rhôd yn gogwyddo 23½ o raddau oddiwrth y llawr, ac yn chwyldroi ar yr un pryd ar echel syth. Gyd â'r offeryn hwn y dangosir, mewn modd tra eglur, gylchdroadau y ddaear, ynghyd â chiliad yr haul oddiwrth y cyhydedd, amrywiaeth hŷd dydd a nos, &c. &c.

adrodd yr hyn a ddywedais o'r blaen, cyfeiriaf chwi at yr eglurhâd a roddais y pryd hyny am y *Cyhydedd*, y *Llywel*, *Nawngylch* a *Lledgylch*, ynghyd â *Lledred* a *Hydred lleoedd*.

Dan y pen olaf, sylwaf ychydig ar raniadau a phrif nodweddau gwyneb y belen ddaearol; ac ni ddylwn gelu oddi wrthych, er cymmaint o'ch amser a dreuliais eisoes, mai yn ol priodol ystyr y gair Daearyddiaeth, dyma yn unig a feddylir wrtho.—Pe ystyriem fod arwynebiad y ddaear, fel y dywedais yn barod, ynghylch 200 milfil o filltiroedd ysgwâr, braidd na ddigalonem wrth feddwl am y drafferth angenrheidiol er gwneuthur ein hunain yn adnabyddus o honi. Ond er egluro nad yw y llafur gymmaint ag y dychymmygem, tybiwn fod un o'n cydwladwyr ar ei ddyfodiad i'r ddinas fawr hon, yn clywed ei bod yn cynnwys ynghylch 10,000 o heolydd, ac yn agos i 300,000 o dai; oni byddai yn barod i feddwl nad allai, er bod yma weddill ei oes, ddyfod yn alluog mewn ystyr i adnabod pob tŷ ar ei ben ei hun, ac i gyfeirio ei ffordd gyd â'r hwylusdod mwyaf i'r un a fynai o honynt? Pa fodd y dechreuem ddangos iddo nad yw y llafur gymmaint ag y dychymmygai? Diau nad trwy ei arwain ar hŷd y naill heol ar ol y llall, a'i annog i sylwi arnynt o un i un, ac i syllu yn fanwl ar bob tŷ yr elai heibio iddo. Nagê, ond trwy ddangos iddo ychydig nifer o gonglau ac adeiladau nodedig; a'i annog i syllu arnynt, ac i sylwi ar ei ffordd atynt o'r man yr arhosai. Yn y modd hyn deuai yn fuan i fedru ei ffordd at y rhai hyny, fel prif wrthddrychau i gyfeirio atynt; ac wrth chwanegu eu nifer o ddydd i ddydd ni byddai, trwy ddiwydrwydd a threfn, ond ychydig amser yn dysgu ei ffordd at yr un a fynai o honynt, ac yn ffurfio syniadau mor gywir am danynt, fel y gallai ddychymmygu yn 'stafell ei wely ei fod yn gweled ei ffyrdd atynt o'r bron mor amlwg ag y gwelai ei ffyrdd o dŷ ei enedigaeth i'r tai cymmydogaethol. Ac wedi y caffo adnabyddiaeth o ychydig nifer o brif heolydd, conglau, ac adeiladau nodedig mewn gwahanol ranau o'r dref, pan y clywo fod unrhyw heol neu dŷ yn agos at un o'r rhai hyny, y tu yma neu y tu draw iddo, neu ar y llaw ddeheu neu aswy oddi wrtho, eheda ei ddychymmyg at y cyfryw, a ffurfia syniad am sefyllfa yr heol neu y tŷ y clywo sôn am dano. Yr un modd, wrth hyfforddi ein gilydd am y belen ddaearol, nid rhodio o faes i faes, ac o dref i dref, yw y ffordd hawddaf i ddyfod i adnabyddiaeth am dani, ond yn hytrach galw sylw ein gilydd at brif raniadau a nodweddau ei harwynebiad; ac annog ein gilydd i fod yn ofalus am gadw golwg ar berthynasau eu sefyllfaoedd â'r lle yr ydym ni yn arhosol ynddo: canys os collwn olwg ar hyn, yr ydym yn colli golwg ar y berthynas sydd angenrheidiol rhwng y meddwl a gwrthddrychau ei fyfyrdod; ac yn y fan, fel dyn yn colli ei draed mewn dyfroedd, neu fel un yn hurtio ar ei daith trwy golli ei olwg ar y ffordd y daeth i'r man lle y mae.

Wedi ymdrechu arwain eich meddyliau gyd â'r ychydig sylwadau cyffredinol hyn, erfyniaf eich sylw am rai mynyddau ym mhellach ar y belen sydd o fy mlaen, tra byddwyf yn bras redeg dros ei phrif raniadau. Fel dwy o ranau cyffredinol, dosberthir gwyneb y Ddaear yn ddyfroedd a sychdir; y cyntaf yn cynnwys ynghylch saith ugain milfil o filltiroedd ysgwâr; a'r ail ynghylch triugain milfil. Rhenir hi hefyd gan y cyhydedd yn ddwy *hannerpel*, yn y rhai y mae tymhorau y flwyddyn

yn gyferbyniol i'w gilydd; yn haf yn yr *hannerpel* ogleddol pan y mae yn auaf yn y ddeheuol, ac felly yn olynol o dymhor i dymhor, megys yr eglurais â'r offeryn sydd yn dangos cylchdroadau y Ddaear. Er hwyluso y modd i wneuthur lluniau o honi, am fod dau gyfandir ar ochrau cyferbyniol, dosberthir y ddaear hefyd ar hyd ei hechel yn ddwy *hannerpel* neu *arddrych*; y gyntaf yn ddwyreiniol, ac yn cynnwys y cyfandir mwyaf, yr hwn a adrenir drachefn yn dair rhan, adnabyddus wrth yr enwau *Ewrop, Asia,* ac *Affrica;* a'r ail yn orllewinol, ac yn cynnwys y cyfandir a elwir yr *America,* ac a adrenir yn ogleddbarth a deheubarth. Ond er mai dyma y dosbarthiadau arferedig a wneir o'r tir, tybygaf fod ei raniadau cysefin fel y canlyn; sef, yn gyntaf, Ewrop ac Asia; yn ail, Affrica, yr hon sydd o fewn ychydig yn cael ei hamgylchu â môr; yn drydedd, Gogleddbarth America; yn bedwaredd Deheubarth America; ac yn bummed, Gor-ynys y Dehau, yr hon a elwir *Holland Newydd,* ac o ran ei maintioli a haeddai ei galw ar yr enw cyfandir. Ar sail y profiad a gefais wrth ddysgu ieuengctid, &c. honaf yn ddibetrusder y gallai bechgyn Cymru yn gyffredinol, trwy graffu ond ychydig weithiau ar belen, ffurfio syniadau mor eglur am y dosbarthiadau hyn, ynghyd âg agweddau eu terfynau, ac am eu sefyllfaoedd, mewn perthynas y naill i'r llall, ag y gallent yn eu gwelyau dynu eu lluniau gyd â'u bysedd ar gledrau eu dwylaw. (A phe sefydlid Cymdeithasau fel hon mewn gwahanol ardaloedd yn y Dywysogaeth, ni byddai y draul ond ysgafn ar yr aelodau yn unigol i alluogi pob Cymdeithas i brynu pelen, ac offerynau ereill, er hyfforddiant yr aelodau oll.) Heblaw y pethau a enwais, ni byddai y llafur ond ychydig, trwy gynnorthwy pelen, ac ychydig hyfforddiant am gylchdroadau y ddaear, i ddyfod i amgyffred Ciliad yr Haul o'r Cyhydedd, amrywiaeth hyd dydd a nos, Lledred a Hydred lleoedd, a gwahanol wregysau hinsoddawl. Ac wedi cael syniadau cywir am y pethau hyn, ni byddai angenrheidrwydd cyfeirio at belen, gan y gellid cael lluniau gwahanol o'r dosbarthiadau a enwais, llawer mwy manylaidd nag a ellid osod ar belen; ac wrth eu cymmeryd o un i un, nid hir amser fyddai yn ofynol i amgyffred terfynau yr amrywiol wledydd a gynnwysir ynddynt; ac am sefyllfaoedd eu prif ddinasoedd, mynyddoedd, llynau, ac afonydd. Tybygaf fod yr hyn a grybwyllais, nid yn unig yn ddefnyddiol, ond o fewn cyrhaedd y ganolradd ym mhlith ein cydgenedl, heb angenrheidrwydd iddynt esgeuluso canghenau ereill o wybodaeth; ac ni chynghorwn y cyffredin i amcanu manylu llawer mwy; oddieithr am ein gwlad ein hunain, yr hon y dylem oll fod yn gyfarwydd am dani, ac am hen wlad Canaan, am fod cynnifer o gyfeiriadau at leoedd ynddi yn britho yr ysgrythyrau. Ond os bydd rhyw alwedigaeth yn galw ar ddyn ymhelaethu ei wybodaeth yn y ganghen hon, gwelwch, wrth y llyfr-luniau sy ger eich gwydd, fod lluniau i'w cael, nid yn unig am wledydd gwahanol, ond am fân raniadau, megys Swyddau, &c.

Wedi bras redeg yn ddigon canddryll dros y testun a ddewisais i ddarlithio arno, os nad wyf eisoes wedi blino eich amynedd, a difa gormod o'ch amser, erfyniaf eich sylw am ychydig fynydau y'mhellach, tra byddwyf yn gwneuthur dau neu dri o sylwadau cyffredinol mewn perthynas i'r hyn a ddywedais.—Yn gyntaf, sylwaf nad oes ond un môr, er amrywiaeth yr enwau sydd ar wahanol ranau o hono, ac, o gandyniad, fod ei wyneb

o angenrheidrwydd yn amgrwn, am fod y dwfr, yn ol ei elfen, yn rhedeg i'r lle isaf, ac felly yn ffurfio ei wyneb yn y modd y byddo pob rhan o hono yr un pellder oddiwrth ganol y ddaear. Ac am nad oes ond un môr, gwelwn hefyd yr achos fod llongau yn gallu hwylio i barthau pellenig y ddaear ag ydynt yn terfynu ar ei lanau.

Peth arall, chwennychwn symmud ymaith y camgymmeriad a glywais gan lawer o fy nghydwladwyr, fod y môr yn uwch na'r tir, a diseilio y dychymmyg sydd gan amryw o honynt, am fod eu Creawdydd, trwy osod y tywod yn derfynau iddo, fel mewn modd gwyrthiol yn rhwystro iddo orlifo drostynt. Ond nid felly y mae; canys cedwir y môr o fewn ei derfynau, trwy drefniad yr Hollalluog, gan yr un ail achos ag sydd yn peri i ddwfr orphwys mewn pant, a rhedeg oddiar ochr bryn; a chedwir y sychdir heb ei orlifo yn unig, o herwydd fod ei wyneb yn uwch oddiwrth ganol y ddaear nag ydyw wyneb y dyfroedd y rhai sydd yn ei amgylchu. Clywais hefyd pan yn fachgen un yn dywedyd o'r areithfa fod y ddaear, ar ei chreadigaeth, mor wastad a bwl-lâs, ac mai effaith y felldith yw creigydd a mynyddoedd. Pe rhoddasai yr areithydd ei synhwyrau dynol ar waith, gallasai benderfynu mai llawer mwy melldith fuasai gwneuthur y ddaear yn ol ei dyb ef: a phe buasai yn ystyried ei Fibl yn fanylach, gallasai hefyd gasglu nad gwastadedd oedd y wynfa yn Eden; oblegid dywedir fod afon yn rhedeg o honi, yr hyn ni's gallai fod, yn ol deddfau y greadigaeth, oddieithr fod y tir yn gostwng y ffordd yr oedd yn rhedeg.

Sylwaf ym mhellach, fod sygniad yr haul megys yn lleibio, mewn modd anghanfodadwy, beth rhyfedd o ddwfr bob dydd fel mandarth i gael ei grynhoi yn y cymmylau, y rhai ydynt yn ei berwiddio, a'i hidlo drachefn yn ddefnynau ar hyd y ddaear; a bod y cawodydd maethlon a hidlir ganddynt, heblaw gweinyddu er ffrwythloni cynnyrch y ddaear, yn soddi i lwch ac agenau, ac yn ymgasglu megys gwaed mewn gwythenau o'u mewn, ac yn ail ymddangos yn ffynhonau goferydd a ffrydiau, dan ochrau bryniau, ac yn ymgasglu ynghyd, trwy redeg yn ol eu helfen i'r lleoedd isaf, hyd nes y maent yn cynnyddu yn afonydd o amrywiol faintioli, yn ol pellder y ffordd rhyngddynt â'r môr. Ac os dygwydd fod pantiau ar eu ffyrdd yn is na'r dyffrynoedd o'u hamgylch, lleinw eu dyfroedd eu gwaelodion hyd nes cyfodont yn llynau, yn ddigon uchel i redeg dros eu hymylau, neu ynte nes lledaenont gymmaint fel y byddo y dyfroedd a sugner o honynt i'r cymmylau drachefn yn gyfartal â'r hyn a red iddynt. Pe sylwem ar yr afonydd a'r llynau a ffurfir yn y modd yma, synem wrth yr olwg arnynt; oblegid nid yw afon Llundain ond megys ffrwd mewn cymhariaeth a'r *Amazon*, y *Wolga*, y *Danube*, y *Ganges*, *St. Lawrence*, ac ereill—rhai o honynt yn filoedd o filltiroedd o hyd, ac am hir ffordd cyn cyrhaedd eu haberoedd yn ugeiniau o filltiroedd o led; ac nid yw Môr mawr plant y Bala, wrth ei gymharu â'r llyn a elwir Môr *Caspian*, amrywiol lynau gogledd-dir America, ac ereill, rai o honynt yn gannoedd o filltiroedd o hyd, ond megys cwpanaid o ddwfr mewn cymhariaeth iddo yntau. Pwy hefyd a all sylwi, heb syndod, ar fynyddoedd yr *Andes*, *Thibet*, yr *Alps*, *Etna*, *Vesuvius*, &c. rhai o honynt yn chwythu eu *lluf-dan* brwmstanaidd i entrych yr awyr—ac ereill, o ran eu huchder a'u maintioli, y cyfryw na byddai y *Wyddfa*, *Cader Idris*, a holl fynyddoedd Cymru yn un, ond megys twlchyn mewn cymhariaeth iddynt.

Pwy hefyd, meddaf, a all sylwi ar *greadir anial Affrica*, afiechyd hinsoddau *Guinea*, ac ynysoedd yr *India Orllewinol*, ynghyd âg oerni y *gwledydd gogleddol*, heb deimlo diolchgarwch yn ei fynwes mai yn Ynys Prydain y gwelodd ein Crëawdydd yn dda osod terfynau ei breswylfod? Rhy faith fyddai i mi ymhelaethu am gorwyntoedd dychrynllyd, poethwyntoedd gwenwynllyd, daeargrynfeydd arswydus, gwlawogydd gorllifawl, mellt ofnadwy, a tharanau rhuadwy, neu am dymhorau nosawl a rhewllyd, a mynyddoedd iâaidd, sydd gynnefin i drigolion rhanau ereill o'r ddaear, ond i ni yn ddigon braidd i beri i'r gwaed oeri yn ein gwythenau wrth sôn am danynt. Am hyny brysiaf at ddibenau, gan ofyn, a fyddai yn degwch, wrth sôn am ryw beiriant cywrain o gelfyddwaith dyn, i guddio ei wneuthurydd o'r golwg? Ac onid yr un annhegwch, wrth sôn am y ddaear a'i rhyfeddodau, yw gorphwys gyd âg ail achosion, ac anghofio "Yr hwn y mae gorddyfnderau y ddaear yn ei law, ac uchelderau y mynyddoedd yn eiddo. Y môr sydd eiddo, ac efe a'i gwnaeth: a'i ddwylaw a luniasant y sychdir?" *Ps.* 95. 4, 5. Po fyddai ystyriaeth o hyn fel egwyddor arhosol yn ein meddyliau, mwyaf a chwiliem i ansawdd a dybenion ei weithredoedd, mwyaf a welem o'i allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni; lleiaf achos fyddai genym i ymfalchïo o herwydd ein byrion gyrhaeddiadau, a mwyaf tebyg fyddem i yfed o yspryd yr adnod nesaf i'r rhai a adroddais. Ond heb hyn gallwn sugno gwenwyn o'r pethau goreu; ac nid anfynych, ysywaeth, y gwelwn ddynion wedi olrhain mwy na'u cyfoedion o ansawdd y greadigaeth, yn meddwi gyd âg ail achosion, ac yn ymchwyddo i'r fath raddau, nes o'r bron y gellid casglu oddiwrth eu hymddygiadau eu bod yn cyfrif eu hunain "megys duwiau, yn gwybod da a drwg." O'r ochr arall, dylem fod yn dra gochelgar rhag taflu mantell dros ein diogi, trwy oriselu ein synhwyrau dynol, ac esgeulusg eu defnyddio er olrhain y cyfryw wrthddrychau ag a fyddont o fewn ein cyrhaedd, a diystyru ail achosion, a'r deddfau a welodd y Creawdwr yn dda eu gosod i weithredoedd ei ddwylaw. Yn hyn, dybygaf, y mae coel-grefydd, mewn rhan fawr, yn gynnwysedig; canys, trwy oriselu dynoliaeth, yr ydym yn rhy chwannog i dadogi ysgogiadau ein meddyliau ar ryw fodau goruwch iddi; a thrwy golli ein golwg ar drefn gyffredinol yr Hollalluog yn dwyn ei amcanion ym mlaen, yr ydym yn barod i gael ein cylcharwain gan y gwag-dybiau mwyaf afresymol i gyfeirio pob chwyl fel rhyw wyrth ddigyfrwng tu ag atom ni, neu ereill, ac i ddifrio ein Creawdwr trwy ddefnyddio ei enw mewn modd annheilwng, er dychrynu ein cyd-greaduriaid, eu hyspeilio o'u barn a'u rhyddid, neu er plygu eu hewyllys yn ol ein mympwy ein hunain! Dyma yr achos fod llawer, hyd y dydd heddyw, yn dychymmygu fod diffygiadau ar yr haul a'r lleuad yn rhagddangos soriant y goruchaf; oerni y gogleddwynt yn arwydd o'i farn; a llawer o bethau ereill a allwn eu crybwyll, pe nad ofnwn glwyfo meddyliau rhai na chawsant y cyfryw foddion gwybodaeth ag a gafwyd gan rai o honom ni. Ond, heb ymhelaethu yn ychwaneg, diweddaf, gyda diolch am eich hynawsedd, a'ch dwys-ystyriaeth yn fy ngwrando, a dywedyd mai drwg genyf yw fy mod wedi eich cadw mor hir o amser.

*O. Y.* Nid ellir dirnad y dywenydd a gafodd y Gymdeithas y noson y traddodwyd y Ddarlith flaenorawl, trwy yr offerynau cywrain, a medrusrwydd Mr. Davies yn eu trin, ac yn dangos rhyfeddodau y greadigaeth: gellir addef na chafodd Cymru erioed amgenach rhodd addysgiadol.

## TEULU COED-HELEN.

MR. GWYLIEDYDD,—Yr ydwyf yn awr yn dyfod i geisio cyflawni fy addewid i chwi, sef rhoddi ychydig o hysbysrwydd ym mhellach yn nghylch teulu enwog THOMAS, gynt o Aber, ond yn awr o Goed-Helen yn Swydd Gaernarfon, noddwŷr y Parch. Syr Sion Gruffydd, eu Caplan, cyfansoddwr y llinellau dillynaidd a ymddangosasant yn eich Rhifyn am fis Mai.

Yr ydym yn cael hysbysrwydd gan Syr John Wynn o Wydir, hanesydd cyfarwydd ei oes a'i hynafiaid, mai mab ydoedd William Thomas, Yswain, i Rhys Thomas, Yswain, ac mai yn Nghaernarfon y ganed ef. Aeth yn gadben ar ddau cant o wyr Gwynedd, gyda y rhai y dilynodd Dudley, nodedig Iarll Leicester, i'r Iseldiroedd, ac yno yr ymddygodd yn dra chlodwych a dewraidd er cynnorthwyo yr Isellmyn i wrthsefyll gormesiaeth yr Yspaeniaid. Cyfaill arbenig i'r Cadben Thomas yn yr ymgyrch hon, ydoedd Syr Phylip Sidney, y boneddwr mwyaf dillyn-foes yn ei oes; ond fel y bu ddirfawr yr anffawd, syrthiodd y ddau yn y rhyfel gwaedlyd crybwylledig.—Urddasolwyd brawd Syr William Thomas yn faner-farchog *(knight banneret)* dan y faner freninol ar faes y gwaed, yr hyn ydoedd anrhydedd na ddygwydda ond anfynych. Y brawd hwn a briododd Gaynor ferch Syr William Morris, o'r Clenenau, yn Swydd Gaernarfon, mam yr hwn ydoedd o deulu Tudur. Yr oedd y brawd hwn hefyd mewn cymmeriad mawr gyd â'r frenines Elisabeth, a chyda ei hoff-ddyn hi, Dudley, trwy offeryniaeth yr hwn y rhoddwyd iddo arglwyddiaeth Aber, a maenoriaeth Cemaes yn Môn, y rhai oeddynt o dreftadaeth Tywysogion Gwynedd. Mae eu hen breswylfod yn Aber yn lled ddiadfail hyd heddyw, a thwr gwylio ar ei nen, o ba un y mae yr olygfa yn dra eang, ac felly yn ddiau yn dra buddiol mewn amseroedd o berygl. Pan oedd y teulu uchod yn cyfanneddu yma, yr ydoedd yn drigle lletygarwch a haelioni. Yn Nghywydd Marwnad Syr William Thomas y mae dwy linell brydferthion yn cyfeirio at ei darddiad o'r Deheudir, a'i serchowgrwydd tu ag at ei fro ddewisedig:—

> "——————
> "Wr fu 'n help i Arfon hir,
> "A'i hedyn o'r Deheudir."

Y teulu hwn a ddeillient o Lywelyn, trydydd mab Cadwgan ab Athelston Glodrudd, sylfaenydd un o bum llwyth breninol Cymru, ac Iarll Caerlfawydd *(Hereford)*. Y Llywelyn hwn a briodasai etifeddes Llangathan, yn Swydd Gaerfyrddin.

R. LLWYD.

---

## ATEBIAD.

I YMOFYNIAD *M. Myfyr*, yn eich Rhif. 84, tu dal. 158, gellir ateb yn ddiau mai eu pechodau dirfawr, ac, megys gwraidd y cwbl, myned ar ol duwiau dyeithr, oedd yr achos gludo o Dduw bobl Israel i gaethiwed Babilon. *Deut.* 8. 19. *Jer.* 7. 6, 7. a 26. 4. a 29. 10. Y dysgedig Dr. Prideaux a ddywed i ni, os chwilir pa fodd y bu, fod yr Iuddewon mor dueddol i ddelwaddoliad cyn caethiwed Babilon, ac mor gryf a chadarn yn erbyn gau-dduwiau gwedi hyny. Y gwir achos, fel yr ymddengys i ni, ydyw, y byddid yn darllen iddynt bob wythnos y gyfraith a'r prophwydi ar ol eu dychweliad, yr hyn ni's cawsent cyn hyny: canys, cyn y caethiwed hwnw nid oeddynt yn meddu na synagogau, neu demlau, drwy y wlad, er mwyn cynnal addoliad cyhoedd, nac unrhyw leoedd hysbysol i gyrchu iddynt i dderbyn athrawiaeth ac addysg, oddigerth y Deml yn Jerusalem, a dinasoedd y

Lefiaid, neu y prophwydi, a gyfododd Duw i fynu yn eu plith o amser i amser. O herwydd y diffyg yma, tyfasai anwybodaeth yn drwm ar y bobl; ni wyddent ond ychydig am Dduw, a'i gyfreithiau a anghofiasant yn ddirfawr. Ar bob achlysur, gan hyny, a phrofedigaeth, syrthio yr oeddynt i arferion dryg-ionus y Cenhedloedd—eilun-addoliad, ac hudoliaethau coel grefyddol, nes o'r diwedd i Dduw eu rhoddi i fynu i gystudd a chospedigaeth dan iau y Babiloniaid. Eithr gwedi eu gwared oddi yno, a dyfod o honynt adref yn ol, adeiladwyd synagogau, neu eglwys-dai, yn aml iawn ar hyd y wlad, ac ym mhob tref a dinas, i ba rai y cyrchent yn glau bob wythnos i addoli, lle clywent ddarllen y gyfraith a'r prophwydi, a phregethau, ac annogaethau buddiol, bob Sabboth, i'w haddysgu a'u hyfforddio mewn dyledswydd ac ufudd-dod. Dyma'r moddion, dan fendith, a'u cadwodd hwynt mewn gwybodaeth o Dduw: a'i ddeddfau, a'r bygythion ofnadwy a glywent, yn enwedig o'r prophwydi, yn erbyn troseddwyr y gyfraith, a wnaeth iddynt arswydo rhag syrthio i'r pechodau a dynodd arnynt y fath ddialedd a chaethiwed Babilon. A'r canlyniad oedd, na chadwyd y gyfraith erioed mor ddyfal nag o'r amser y sefydlodd Ezra y synagogau yn eu plith hyd ddyddiau Crist; ac yma, yn wir, ni buasai le i feio arnynt, pe buasent heb wneuthur mwy nag a orchymynwyd, drwy chwanegu eu traddodiadau llygredig, ac amryw ffug o dduwioldeb, ac felly gwneuthur, fel y dywed ein Hiachawdwr, orchymyn Duw yn ddirym.

PRIDEAUX, *Vol.* I. *B.* 6.

---

# BARDDONIAETH.

---

## MAN-GOFION BARDDONOL.

MICHAEL PRICHARD, o *Lanllyfni*, oedd Brydydd, ac yn byw er's dros gan mlynedd yn ol; symmudodd o Lanllyfni i Lanfechell ym Mon, lle y claddwyd ef. Tair blwydd ar hugain a naw mis roddwyd iddo yn y byd, medd Huw Huws, Bardd Coch Mon. Sion Lleyn a ganai yr Ynglyn canlynol:—

MICHEL a roed ym Mechell—yn ifangc,
Mwyn wiwfardd di ddichell;
Aed â'r ceinfab o'i babell,
A'r gwawd i geudawd y gell.

William Elias, Plas y Glyn, oedd gyfeillgar â Michael Prichard, ac a'i hanerchai â nifer o Ynglynion, un o honynt sy fel y canlyn:—

Michael gwn am wych hael gêd,
Yw pen brigyn rhiddyn rhôd;
Cerdd o'i ben a'i hawen hêd,
Doeth yw 'r naws hyd eithaf 'r nôd.

Michael Prichard a gysodddodd Feddargraff Owen Gruffydd, Prydydd, Llanystumdwy. Dyma un o'i Ynglynion, hwyrach wrth deimlo llesgedd corphorol, diwedd ei einioes fèr a llafurus.

Pridd hen ddaearen ddu oeredd—egwan
Ar ogwydd i'r dyfnfedd;
A lludw yn wir, llwyd iawn wedd,
Isel wael yw fy sylwedd.

M. P.

---

## Y WEDDW O AFFRICA.

HANES GWIR.—*Cyfieithiad.*

RHAN I.

CLYW di, Gristion, hanes union,
Gywir, gyson, draethaf 'nawr;
Hon wna'th ddysgu i ryfeddu,
A chlodfori 'r Arglwydd mawr.

Nid yn angen nac i Lundain,
Daeth gwr tlawd a'i wraig ryw bryd;
Rhodd Duw iddynt anwyl blentyn,
Gofal diflin gai o hyd.

Yno 'n unig o bellenig
Wlad yr Affrig daethant, clyw,
Mewn tylodi, gwir galedi,
A mawr gulni 'r oe'nt yn byw.

Amser caled wnaeth heb arbed
  I'r gwr fyned draw o dref;
Ac mewn gobaith o gynnaliaeth,
  Pell i'r cefnfôr yr aeth ef.

Mynych wylai 'r wraig wrth feddwl
  Am ddamweiniau 'r moroedd draw;
Aml edrychai ar ei baban,
  A chwenaychai 'i gwr gerllaw.

Och i'm calon sydd wrth feddwl
  Am y tristwch iddi ddaeth;
Ei chu faban a glafychodd,
  Buan gwywodd, marw wnaeth.

Daeth trist newydd a hi 'n wylo
  Am ei baban ddagrau 'n lli';
Aethai 'r llong a'i gwr i'r dyfnder,
  Gweddw mwyach ydoedd hi.

Pwys ei blinder pwy all draethu,
  Neu ddych'mygu drymed fu?
Colli 'i chydmar, colli ei baban,
  Llwyr amddifad ydoedd hi.

Wylo, ochain, wnae gan ofid,
  Bron ar wallgo' llefai hi;—
"Marw yw 'm gwr, a'm hanwyl faban
  "Orwedd yn y ddaear ddu."

A oedd ganddi unrhyw obaith
  Ei mawr loes i esmwythâu?
Unrhyw gysur oddi uchod?
  Unrhyw feddyg i'w hiachâu?

Nac oedd, nac oedd, anwybodus
  O wirionedd nef oedd hi;
Nid adwaenai Dduw na'i 'fengyl,
  Pagan llwyr o'i mebyd fu.

Tristwch dyfnaf a'i perch'nogai,
  Mynych, mynych, llefai hi;—
"Marw yw 'm gwr, a'm hanwyl faban
  "Orwedd yn y ddaear ddu."

At ei feddrod mynych aethai,
  Yno cyrchai hi yn brudd;
Tan wylofain fyth gwnai lefain—
  "Mae fy maban yn y pridd."

Ar bob Sabboth pan y caned
  Cloch i alw 'r dorf ynghyd,
Aethai yno 'n wylofus,
  Yn alarus iawn o hyd.

Dros dair blynedd yn ddi obaith
  Tan faich galar trwm y bu;
Megys Rachel, gwrthod cysur
  Am ei baban a wnae hi.

O mor ddwfn oedd y fath alar,
  Heb ddim cysur tano 'n bod!
Dim dyddanwch iddi roddai
  Y byd hwn na'r byd sy'n dod.

Aros fynyd, meddwl ennyd
  Am ei drygfyd hi oedd fawr;
Wrth ddiweddu, achos moli
  Foli Arglwydd nef a llawr.

RHAN II.

Gwnaf 'nawr draethu p'odd y darfu
  I Dduw wrthi drugarhâu;
Mynych gwna wylofain heno
  Droi y fory 'n llawenhâu.

Ar bob wythnos dros dair blynedd,
  Cerddai 'r weddw 'n araf brudd,
Tu a'r drefan dan lwyth galar
  Bwysai arni nos a dydd.

Unwaith yno pan y cyrchodd,
  Cauad ydoedd porth y Llan;*
At y beddrod nis cai ddyfod,
  Ond edrychai tu a'r fan.

Tra 'r edrychai, trwm yr wylai,
  Dagrau dreiglai dros ei grudd;
Yno 'n eistedd d'wedai 'n bruddaidd,—
  "Draw mae 'm baban yn y pridd."

O fewn muriau tŷ Duw 'r duwiau,
  'R oedd sŵn geiriau gweddi a chlod;
Ond annyddan iddi 'r cyfan,
  'D oedd ond griddfan iddi 'n bod.

Yno eilwaith pan y cyrchodd,
  Cauad ydoedd porth y Llan;
Trwy 'r tŷ gweddi yr oedd iddi
  'R unig lwybr tu a'r fan.

Gwnaeth erfyniad ar y ceidwad†
  I gael cennad fyned trwy,—
"Gad im' fyned draw i weled
  "Lle gorwedda 'm baban mwy."

Yna trwodd buan cyrchodd,
  Llawen ydoedd hi am hyn;
Wedi dyfod at y beddrod,
  Gan drwm drallod wylai 'n syn.

Tra 'r oedd canu mawl a gweddi
  Oddi mewn a diolch llawn;
Wylo, cwynfan, oddi allan,
  'R oedd hi druan yn drwm iawn.

Dydd trugaredd ddaeth o'r diwedd,
  Ca'dd ymgeledd gan Dduw 'n rhad;
Fe amlygodd Duw y nefoedd
  Ymysgaroedd tyner Dad.

Hir arosodd, ond pan gododd,
  Hi a frysiodd fyned draw;
Ond wrth fyned darfu glywed,
  "Ffoa rhag y llid a ddaw."‡

Yna safodd, 'r hyn a glywodd
  Iddi barodd syndod mawr;
Clywodd hefyd—"Ymadawa,
  "'Does orphwysfa ar y llawr."§

---

* Sef Porth y Fynwent, yr un a arweiniai i'r Eglwys oedd yn agored, canys yr oedd gwasanaeth yno.

† Y Porthor; un a safai wrth ddrws yr Eglwys.

‡ Wrth ddychwelyd trwy 'r Eglwys clywodd y Pregethwr yn traddodi 'r geiriau hyn, ac arosodd i wrando y rhan arall o'r bregeth.

§ Mic. 2. 10.

Argyhoeddiad ynddi afaelodd,
  Newydd oll a ddaeth i'w chlyw:
"A oes," meddai, "ffordd i'm hachub?
  "A oes modd i mi gael byw?"

'Nawr hi deimlai ddygn ofnau,
  A chanfyddai 'i phechod mawr;
Mewn syn alaeth am achubiaeth
  'R oedd ei hiraeth hi yn awr.

Tan ddwys gredu iddi bechu,
  Tua'i llety hi a aeth;
Trwm ofidio, crynu, ceisio
  Taer weddïo 'nawr a wnaeth.

Galw 'n daeraidd am drugaredd
  Fyth heb ddiwedd wnae o hyd;
Barn ac angau, a'i mawr feiau,
  Lanwent ei meddyliau i gyd.

Gair y bywyd a ddarllenai,
  Ond ni chafai ddim rhyddhâd;
Llèn oedd etto ar ei llygaid,
  Ni chanfyddai Geidwad rhad.

Ond cym'doges a'i cynghorodd,
  Wrthi dywedodd hi yn fwyn—
"Y mae 'n agos foneddiges,
  "A wna 'n gynnes wrando 'th gwyn.

"Er cyfoethog etto tirion,
  "Cywir Gristion ydyw hi;
"Y mae ganddi fawr haelioni,
  "A daioni wna i ti."

Llawen ydoedd, yna brysiodd
  I'r lle clywodd fod fath un;
Traethodd iddi ei thrueni,
  Oll a deimlai ynddi ei hun.

Gwrando wnaeth y foneddiges
  Ei holl neges yn dra mwyn;
Yna d'wedodd am 'r hyn wnaethai
  Wir orphwysfa iddi ddwyn.

D'wedodd wrthi am Gyfryngwr,
  A'i gyfiawnder ef a'i wa'd;
A dangosodd ffordd maddeuant,
  Trwy fawr haeddiant Iesu a'i rad.

"Na wna ofni," meddai wrthi,
  "Dos tan grynu ato fe;
"Er mor waeled, gelli bledio,—
  "'Crist fu farw yn fy lle.'

"Meddyginiaeth hynod odiaeth,
  "Fydd o 'r driniaeth ge'st gan Dduw;
"Colli cydmar, colli plentyn,
  "Moddion ynt i'th gadw 'n fyw.

"Rhai'n addolaist fel eilunod,
  "Bob diwrnod tra buont byw;
"Hwy symudwyd, felly dysgwyd
  "Di am fywyd geisio Duw.

"Gwnaed y beddrod, mangre 'th drallod,
  "Yn lle hynod i dy ddwyn
"I lwyr wylo am dy feiau,
  "Ac i geisio 'r Iesu mwyn.

"Gwna ymroddi mwy i garu,
  "I was'naethu y Duw ddyn;
"Cred i'th gysur 'r hwn a'th greodd,
  "Drosot rhoddodd ef ei hun."

Wedi 'r cynghor hwn a rhagor,
  A fwyn draethodd iddi hi,
Ei llaw gym'rodd, a dywedodd—
  "Chwaer yn Nghrist ffarwel i ti."

"Chwaer"- prin credai 'r fath ymadrodd;
  "Chwaer"—pa fodd gall hyn i fod?
"Chwaer"—pa fodd y'm geilw felly,
  "Fi y waelaf un erio'd!"

Yr ymadrodd hwn a lynodd
  Wrthi, a threiglodd dagrau i lawr;
Nid oes geiriau allant draethu
  Ei theimladau hi yn awr.

Iddi 'n hyfryd ymddangosai
  Pur effeithiau gras y nef;
Os mor hawddgar ffrwyth gynnyrcha,
  Pa fath yw ei gariad ef?

Adref cyrchodd, yna syrthiodd
  Ger bron gorsedd nef i lawr;
Taer erfyniai am faddeuant
  Er mwyn haeddiant Iesu mawr.

T'w'nodd arni wych oleuni,
  Trwy wir gredu 'r geiriau hyn—
"Llwyr ddileais dy gamweddau,
  "A'th bechodau wnes yn wyn."‖

Fel hyn rhoddodd y Dyddanydd
  Lawn lawenydd iddi hi;
Olew tirion i'w briw galon,
  A dywalltodd oddi fry.

"Arglwydd Iesu," 'nawr hi waeddai,
  "Diolch iti fyth a chlod;
"Mewn tiriondeb, gwir ffyddlondeb,
  "Peraist ofid imi ddod.

"Anwybodus, drwg, gresynus,
  "A thruenus oeddwn i;
"Ond tywyllni 'n awr a ddarfu,
  "Gwir oleuni ddaeth i mi.

"Gwna 'm tueddu mwy i'th garu,
  "A'th was'naethu, Arglwydd mawr;
"Calon gweddw wnaethost lawn
  "A'th lawenydd glân yn awr.

"Ffarwel, faban! ochain, griddfan,
  "Wrth dy feddrod mwy ni wnaf;
"Ond hyderu ddarfod iti
  "Esgyn fynu at fy NAF.

"Hyn a gofiaf pan y cyrchwyf,
  "Mynych elwyf i dy Dduw,
"Es i wylo am faban marw,
  "Ac mi gefais Arglwydd byw."

Ffarwel, Gristion, 'r hanes union,
  Gywir gyson draethais 'n awr;
Rho 'r gogoniant oll a'r moliant,
  Yn ddiffuant i'n Duw mawr. J. C.

---

‖ *Esaiah* 44. 22.

### ANGAU DISYFYD.

GAN YR ESGOB HEBER.

*"Dïau megys blodeuyn,*
*"Marwaidd dŵf, yw mawredd dyn."*

O! pwy feddyliasai pan rodiai y boreu,
Mor gadarn ei droediad a'i lygad mor llon,
Ac iechyd blodeuawg, gan wrid ar ei ruddiau,
O! pwy a dybiasai fod angau ger bron.

Ond ef mi a welais yn brudd y canolddydd,
Ei ddynawl hardd wedd a newidid yn wael;
A'r gwyneb a ganfum mor deg gan lawenydd,
Oedd nan heb un wên ac heb gysur i'w gael.

Canfum ef yr hwyr ar ei wely yn trengu,
Ei wridgoch wefusau a dröent yn lâs;
A'i deulu oll wylent yn chwerw o'i ddeutu,
Ac ef a'u gorch'mynai i Dduw ac i'w ras.

Canfum ef drachefn ar dòriad y wawrddydd,
Ond anian orchfygid! terfynodd ei nwyf;
Ei enaid mewn hiraeth ddiangodd o'r cystudd,
I ardal uwch cyrhaedd anghysur a chlwyf.

*Cyf.* GWENFFRWD.

## HANESION GWLADWRIAETHOL.

### TRAMOR.

FFRAINGC AC ALGIERS.

#### Tiriad y Ffrangcod yn Algiers!

Daeth hanes fod holl fyddinoedd y Ffrangcod wedi lanio yn Algiers ar fore y 14eg o Fehefin—i'r gelynion gael eu gyru o'r sefyllfa yr oeddynt ynddi—a bod amryw fagnelau wedi cael eu cymmeryd oddi wrthynt. Dywedir hefyd bod y llongau wedi eu hangori yn ddiogel ar ochr orllewinol mor-gilfach Sidi Ferruch.

Pa beth bynag fydd diwedd y rhyfelgyrch nodedig hwn, bydd cyflymdra ei barotoad, cyflawnder ei ddarpariaeth, a'i fawr gryfder, yn brawf i Ewrop o adgyfnerthoedd Ffraingc, ac o fywiogrwydd y Ffrangcod yn eu gorchwylion milwraidd. Wrth edrych yn ol ar yr hanesion am y rhyfel-gyrch hwn, yr ydym yn gweled ei fod yn cynnwys 68 o longau (12 o honynt yn llongau rhyfel o'r maintioli mwyaf, ac 20 o *frigats*), a bod y milwyr yn 37,577 o rifedi, a 4000 o wyr meirch. Gadawodd y dosbarth cyntaf Toulon ar y 25ain o Fai, ac ar y 29ain cyrhaeddodd oror Affrica. Ar y 30ain gyrwyd ef yn ol gan dymhestl i Palma, yn ynys Majorca, lle yr ymgynnullodd yr holl longau erbyn y 7fed o Fehefin, ac ar y 14eg yr ydym yn cael bod yr holl filwyr wedi lanio yn ddirwystr o fewn ychydig o filltiroedd i'r nyth o'r mor-ladron hyny y danfonwyd hwynt i'w dinystrio.

Y mae lle i feddwl y cymmer ychydig amser i lanio y magnelau, a'r celfi rhyfel ereill; ond ar ol hyny, nid yw ond gwaith diwrnod neu ddau i gyrhaeddyd i Algiers; gan hyny, pan ddelo yr hanesion nesaf, cawn glywed naill ai am frwydr, rhoddiad i fynu y lle, neu ddechreuad gwarchaeedigaeth.

### CARTREFOL.

Y BRENIN.

Yr hysbysiad diweddaf a gyhoeddwyd o barth iechyd ei Fawrhydi, ag a welsom ni, oedd wedi ei ddyddio Mehefin 22, ac i'r perwyl hyn:—

*Castell Windsor, Mehefin 22,*

"Treuliodd y Brenin noswaith dda. Y mae peswch-boeriad ei Fawrhydi yn parhâu.

Henry Halford,
M. John Tierney."

*Windsor, Prydnawn Dydd Mawrth.*

"Parhâu y mae y Brenhin yr un fath ag yr oedd y Bore."

Yn groes i'r dysgwyliad cyffredinol, y mae ei Fawrhydi etto ym mhlith y rhai byw; a'r tyb cyffredin yw, y gall efe barhâu am rai misoedd; ond nid yw yn ammhosibl, ar yr un pryd, y gall ei afiechyd ymosod arno yn ddisymwth, a chyd â'r fath erwindeb chwanegol, fel na bydd ei nerth yn abl i'w gynnal. Dywedir fod ysbrydoedd ei Fawrhydi yn dal yn bur dda.

## Y SENEDD.

Nid oes nemawr o faterion o bwys cyffredinol wedi penderfynu arnynt er cyhoeddiad ein rhifyn diweddaf.

### CYFNEWIDIAD YN Y DULL PRESENNOL O DRIN BRAWD-LYSOEDD CYMRU.

Fe allai, cyn i'r Rhifyn 87 o'r Gwyliedydd gael ei ddosbarthu y bydd yr Ysgrif mewn perthynas i newidiad y dull o weinyddu barn yn ein brawd-lysoedd wedi myned trwy y Senedd. Mae 'n debygol na wyddai y rhan fwyaf o'n cydwladwyr natur a dyben yr Ysgrif a gynnygiwyd i ddwyn oddi amgylch y newidiad hwn, onide buasai Erfyniadau yn ei erbyn wedi cael eu hanfon o bob Plwyf a Chwmwd yn y Dywysogaeth.—Rhoddwn le i'r rhydd-gyfieithiad o Erfyniad a gyflwynwyd i Dŷ 'r Arglwyddi, dydd Llun, Mehefin 14, gan yr Arglwydd Dynevor.

At y Gwir Anrhydeddus Arglwyddi, Ysbrydol a Thymhorol, Teyrnas Gyfunol Prydain Fawr a'r Iwerddon, ymgynnulledig yr awr hon yn y Senedd:

Erfyniad gostyngedig yr amrywiol danysgrifwyr, Cymry o genedl, ond yn awr yn preswylio yn ac o amgylch y Brif Ddinas,

A DDENGYS,

"Fod eich Erfynwyr yn canfod, gyda mawr foddlonrwydd, ymddygiad didor o ffyddlondeb i'r goron ar ran eu cydwladwyr trwy 'r Dywysogaeth, ac yn golygu undeb Cymru a Lloegr, yr amgylchiadau cyd-ganlynol, megys y dygwyddiad dedwyddaf yn ystod eu hanesion.

"Fod eich Erfynwyr yn deimladwy o'r gwall yn ngweinyddiad cyfiawnder yn y Dywysogaeth, ac yn llwyr werthfawrogi egwyddor y Llywodraeth yn eu gwaith yn ceisio diwygio y gwall yma: ond yn gadarn o'r farn y bydd y feddyginiaeth a gynnygir yn llawer gwaeth na'r clefyd a fwriedir ei symud.

"Fod eich Erfynwyr, gan wybod nad oes ond y Gymraeg yn ddealladwy i'r werin yn y Dywysogaeth, er's talm yn gofidio fod eu cydwladwyr yn cael eu difadu o lawer o fanteision rheith-brofiad (*trial by jury*) gan nad yw 'r tystion yn gyffredin (os nu amser) yn ddealladwy i'r Ustus a'r Cynghor, a'r Ustus a'r Cynghor yn llawn mor annealladwy iddynt hwythau a'r Rheithwyr, oddieithr trwy gyfrwng ammherffaith ac anatebol cyfieithwyr.

"Fod eich Erfynwyr yn ofni y dichon yr awdurdod a rydd yr Ysgrif o flaen y Senedd, i uno rhai o Siroedd Cymru â rhai Seisnig cymmydogaethol, ychwanegu y drwg hwn, trwy wneud y tystion yn annealladwy, nid yn unig i'r Ustus a'r Cynghor, ond hefyd i'r Rheithwyr eu hunain: ac y mae eich Erfynwyr yn ostyngedig o'r farn, na bydd i gynghawsdan y fath amgylchiadau, roddi i'r deiliaid y diogelwch a'r cyfiawnder a fwriedir gan gyfreithiau Lloegr.

"Yn ostyngedig yr erfyn eich Erfynwyr, na bo i derfynau llysoedd Cymru gael eu symud trwy yr Ysgrif a enwyd; bod i Gyfieithwyr atebol gael eu sefydlu, a thalfyriad o'r cyfreithiau gael ei gyfieithu i'r Gymraeg, yngbyd âg unrhyw ddiwygiadau ereill a wel eich Tŷ Anrhydeddus yn oreu er diogelu dybenion cyfiawnder yn y Dywysogaeth, heb glwyfo teimladau eu cydwladwyr, trwy symud yr hyn a ddynodant yr hen Gymry fel cenedl ar ei phen ei hun."

---

*Addoliad Pabaidd.*—Cyflwynodd Syr R. H. Inglis Erfyniad, wedi ei dan'sgrifio gan 22 o Offeiriaid yn perthyn i Ddeoniaeth Rochester, yn cwyno o achos bod ein milwyr ag sydd yn gwasanaethu mewn gwledydd tramor yn gorfod o'u hanfodd ymuno yn arferiadau rhodresgar ac eilunaddolgar Pabyddion y gwledydd hyny. Dywedodd Syr G. Murray, nad oedd yr un gorfod ar neb i ymuno yn y cyfryw arferiadau. Ond Mr. Trant a'i hatebodd, ei fod yn barod i ddangos a phrofi fod dirgymhelliad yn arferedig tu ag at ein milwyr yn yr achos.

---

*Chwedl wir am Sior IV.*—Y chwedl ganlynol a adroddwyd gan ŵr boneddig uchel-radd, yr hwn ydoedd gyd-ymdeithydd i'w Fawrhydi pan yr ymwelodd â'r Iwerddon, yn y flwyddyn 1821. Ar ei ffordd yno, y mae yn gofus ddarfod i'r brenin ofwyo Ardalydd Môn, yn y Plâs Newydd, lle y treuliodd rai dyddiau. A chan fod ei Fawrhydi yn hoff neillduol o blant, efe a ddifyrai ei hun gyd â'r eiddo yr Ardalydd. Ac un o honynt, bachgenyn tua phump oed, tra yn eistedd ar lin ei Fawrhydi, gan edrych yn ei wyneb, a ddywedodd, "Mae Mrs. Collins, fy mammaeth, yn dyweyd i mi mai 'r brenin ydych chwi; ond 'dwyf fi ddim yn ei choelio hi, canys nid oes dim rhagor rhyngoch chwi a dynion ereill. Os chwi yw 'r brenin, pa'm na wisgech eich coron?" Ei Fawrhydi, gan droi at un o wŷr ei lŷs, a ddywedodd, "Mae doethineb mewn babandod; nid yw 'r plentyn yma yn gallu canfod dim neillduol mewn brenin, tra y mae ereill sydd o'm hamgylch y'mron a'm perswadio fod rhyw beth ynof uwchlaw dynoliaeth!!"

---

*Y Lleidr Gonest.*—Dug Orsina, Rhaglaw Naples, wrth fyned trwy Barcelona, a aeth ar fwrdd un o rwyf-longau y porth-

# Y GWYLIEDYDD.

## AWST, 1830.

### COFIANT*

### Y PARCH. JOHN ROBERTS, A. C.

Y PARCH. JOHN ROBERTS a anwyd ym Mhlas Harri, y'mhlwyf Llan-nefydd, Sir Ddinbych, yn y flwyddyn 1775. Boreu ei oes, hyd yn nod o'i fabandod, a gysegrwyd i Dduw. Pan ydoedd yn nghylch wyth oed, wrth ddarllen fod Iesu Grist yn myned i fynydd i weddio, yntau a geisiodd bob cyfle i gyrchu i fynydd gerllaw tŷ ei dad i'r un dyben ysbrydol; ond nid mewn ffordd o ymffrost, canys ni ddywedai un amser pa le y buasai, na pha beth a wnaethai. Efe a anfonwyd mewn oedran cyfaddas i ysgol rhyw eglwyswr† yn y gymmydogaeth; yr hwn, gan sylwi ar ei astudrwydd mawr a'i dueddiad crefyddol, a annogodd ei dad (gwr cywir, addfwyn, ac o ddoniau naturiol da, a chanddo dir yn ei feddiant) i'w anfon ef i Rydychen. Yn ganlynol, efe a aeth i Goleg Iesu yn 1792; cymmerodd ei raddau o Ddisgybl ac Athraw yn y Celfyddydau, a chafodd ei urddeinio yn 1798. Trwy gydol yr amser y bu yn yr Athrofa, efe a ymgadwodd yn nghanol profedigaethau yn ddifrycheulyd; a chyfrifid ef gan bawb a'i hadwaenai yn wr ieuangc mŷfyrgar, moesol, a duwiol. Gan wybod y mawr ddrwg a ddeilliai oddiwrth gymdeithion annuwiol, efe a etholodd ei gyfeillion o blith y rhai hyny a ddangosent yn eu hymarweddiad eu bod yn ofni ac yn parchu Duw. Y mae rhai o'r dynion gwerthfawr hyn yn aros hyd yr awrhon, wedi bod yn gyd-weithwyr cydwybodol yn yr un achos goruchel, ac ydynt deilwng o'u cyfrif y'mhlith colofnau cadarnaf yr eglwys.

Yn y flwyddyn 1799,* rhoddwyd yn y wasg yn Rhydychen argraffiad o'r Bibl a'r Llyfr Gweddi Gyffredin yn Gymraeg, yn benaf, yn ol cynllun y Parch. D. Davies, Person Penegoes, Sir Drefaldwyn, ac o dan nawdd y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol. Y Parch. Robert Hughes, Cyfaill o Goleg Iesu, a gymmerodd arno ddiwygio y wasg; ond ar ol gorphen Pum Llyfr Moses, rhoddes i fynu y gwaith i Mr. Roberts, yr hwn oedd y pryd hyny yn cadw ei dymhorau yn y Brif Ysgol. Efe

* Cyfieithiad yw y Cofiant uchod o Fuch-draethiad a ymddangosodd yn Saesonaeg yn y *Christian Observer*, ac a dybir ei fod wedi ei ysgrifenu gan weddw Mr. Roberts, neu o'r lleiaf dan ei golygiad hi.

† Y Parchedig Dafydd Jones, Curad Bettws Abergele, ysgol-feistr ardderchog yn y dyddiau hyny. Ganesid ef yn Maesglasey, ym mhlwyf Mallwyd. Ei frawd Hugh Jones oedd Fardd nid anenwog, a chyfieithwr amryw lyfrau i'r iaith Gymraeg.

* Neu yn hytrach 1798—*gorphenwyd* ei argraffu yn y flwyddyn 1799.

a dreuliodd ynghylch blwyddyn a hanner yn y gorchwyl hwn. Yn y flwyddyn 1809, efe a gyd-lafuriodd âg eglwyswyr ereill i barotoi argraffiad newydd o'r Bibl a'r Llyfr Gweddi Gyffredin yn Gymraeg; ac o'r argraffiad hwn y taenwyd ugain mil, oll ar draul y Gymdeithas uchod. Yr oedd efe yn aelod o'r Gymdeithas hybarch hon, ac am ei gweithrediadau helaeth ac elusengar, yn gartrefol a thramor, efe a deimlai ddiolchgarwch diffuant i Dduw.

Mr. Roberts, yn union ar ol ei urddo,* a gyflwynwyd i Guradiaeth Chislehampton a Stadhampton, ynghylch saith milltir o Rydychen, lle y gweinidogaethodd oddeutu pedair blynedd. Heblaw yr eglwysydd hyn, efe a weinidogaethai bob prydnawn Sul mewn pentref a elwir Toot Baldon, dair milldir neu bedair oddi yno. Gan fod eglwys y plwyf hwnw wedi adfeilio er's rhai blynyddoedd, fe ddarfu i ychydig o eglwyswyr, y rhai oeddynt yn taer ddymuno lles tragywyddol eu cyd-greaduriaid, ymuno i'w hadgyweirio, fel y gellid ymgynnull ynddi i addoli Duw; ac hefyd, fe sefydlwyd Ysgol Sabbothol. Felly, Mr. R. a ddarllenai y Gwasanaeth ac a bregethai dair gwaith bob Sabboth, heblaw bod yn dra diwyd gyda dwy Ysgól Sabbothol, a cherdded o'r naill blwyf i'r llall ddeng milltir yn nghorph y diwrnod, ar bob tywydd a thrwy bob tymhor o'r flwyddyn. Athrawon yr Ysgolion Sabbothol yn Chislehampton a Stadhampton, ac ereill a ddymunent, a gyfarfyddent yn ei letty ef un noswaith yn yr wythnos, i ymgynghori âg ef ynghylch y moddion mwyaf effeithiol i ddwyn ym mlaen gynnydd crefydd yn eu heneidiau eu hunain —yn eneidiau deiliaid yr ysgolion, ac ym mysg eu cymmydogion yn gyffredinol. Ar noswaith arall, byddai ganddo gyfarfod yn Baldon i'r un dyben. Fel hyn y treuliai ei holl amser yn gydwybodol er llesâd ysbrydol a thragywyddol pobl ei ofal. Ni chyfrifai ddim llafur yn ormod er mwyn gosod o'u blaen eu cyflwr ofnadwy fel troseddwyr yn erbyn y nefoedd, a'r noddfa a agorwyd iddynt yn holl-gymmodlawn aberth Oen Duw. Efe a ddyfal ystyriai bob amser anghenion ei braidd; a thrwy hunan-ymwadiad mawr, efe a gyfranai iddynt o'r ychydig oedd ganddo tu ag at ddiwallu eu heisieu tymhorol. Yr ydoedd yn ddiwyd i ymddyddan â'r rhai iach, yn gystal a'r cleifion, am eu cyflwr tragywyddol. Da fyddai i bawb a gymmerant arnynt y swydd gyssegredig yma efelychu y gweinidog zelog hwn yn ei lafur helaeth a hunan-ymwadol. Etto, er ei holl ymdrechiadau, yr oedd yn ofid parhâus iddo ei fod wedi gwneuthur cyn lleied mewn achos mor dda.

Tra yr oedd Mr. Roberts yn dwyn perthynas â'r plwyfydd uchod, llonid ei feddwl wrth yr arwyddion o ddiwygiad moesol a chrefyddol, â'r hwn y rhyngodd bodd i Dduw fendithio ei weinidogaeth. Ei blwyfolion a barchent y Sabboth yn fwy, a gyrchent yn fwy cyson i'r addoliad cyhoeddus, a rhai o honynt a roddent dystiolaeth foddhâus o gyfnewidiad achubol yn eu cyflwr. Gwir yw, fod ei zel a'i fywiogrwydd yn cyffroi rhyw faint o wrthwynebiad; ond efe a ddyoddefodd hyn yn llariaidd ac yn amyneddgar, ac a gafodd ei sirioli gan diriondeb ereill, eithr uwchlaw y cwbl gan lwyddiant ei ymdrechiadau.

Yn y flwyddyn 1803, dymuniad ei gyfeillion, yn gystal a'i dueddiad ei hun, a'i hannogodd i ddychwelyd i Gymru, lle yr oedd Cu-

* Urddwyd Mr. Roberts gan y Dr. Warren, Esgob Bangor, i wasanaethu Llanelian ym Môn, eithr rhwystrwyd ef gan ryw achosion annysgwyliadwy i ymweled â'r plwyf hwnw.

radiaeth yn barod iddo. Mawr oedd ei gariad at wlad ei enedigaeth; a chan ei fod yn hyddysg mewn llëenyddiaeth Gymreig, bu hyny o fendith fawr i'w gydwladwyr mewn amryw ffyrdd. Pan sonid am ei fwriad i ymadael, galar mawr a diffuant a deimlodd llawer o'i braidd. Amryw o'r rhai a gawsent fendith dan ei weinidogaeth ef, a ddaethant i'w anfon encyd o ffordd; i'r rhai y dywedodd efe, "Pe rhagwybuaswn eich teimladau chwi a minnau ar yr ymadawiad hwn, nid anturiaswn byth wynebu y brofedigaeth." Gymmaint oedd ei serch tu ag at ei wrandawyr, a'r eiddo ei wrandawyr tu ag ato yntau! Y PERSON hefyd a ddwys-ofidiai oblegid symmudiad ei weinidog ffyddlawn; canys efe a gefnogai ei lafur, ac a fawr lawenhai yn yr effeithiau daionus a ddeillient oddi wrtho. Ar ol ei farwolaeth, efe a dystiolaethodd mor ddiysgog oedd ei barch tu ag ato am ddeng mlynedd ar hugain.

Y maes newydd y llafuriodd ynddo oedd Tremeirchion, yn Sir Fflint. Buan yr amlygwyd ei zel dros achos ei Arglwydd, ac iachawdwriaeth pechaduriaid; ac efe a ymdrechodd, trwy glod ac anghlod, i rybuddio, cynghori, a cheryddu y drwg-weithredwr; ac i wreiddio a seilio y gwir grediniwr mewn ffydd a chariad. Alaethus iawn oedd cyflwr yr Eglwys Sefydledig yn Ngogledd Cymru yr amser hwnw. Arswydus oedd anwybodaeth a llygredigaeth moesol y wlad. Y mae hi y pryd hyn wedi gwellhâu i raddau mawr, trwy fod ynddi fwy o ysgolion, a gweinidogion duwiol llafurus. Ond etto fe fyddai yn ddymunol iawn i'r eglwyswyr yn gyffredinol fod yn fwy ystyriol o'u swydd bwysig, ac o ddydd mawr y cyfrif, pryd y ceir y rhai hyny yn unig yn lân oddiwrth waed y bobl, ag sydd yn gwylied arnynt eu hunain ac ar yr athrawiaeth. Y sawl sydd ddyfal i'w gosod eu hunain yn brofedig gan Dduw, yn weithwyr difeft, yn iawn-gyfranu gair y gwirionedd, a gânt eu harddel yn wir weision Crist, ac "a ddisgleiriant fel disgleirdeb y ffurfafen, ac a fyddant fel y ser byth yn dragywydd."

Yr oedd Ysgolion Sul, y rhai ydynt offerynau o ddaioni mawr, wedi eu sefydlu y pryd hyny mewn amryw fanau yn Lloegr; ond tybir nad oedd yn Nghymru yr un berthynol i'r Eglwys Sefydledig, pan ddechreuodd Mr. Roberts ei weinidogaeth yn Nhremeirchion. Er mor neillduol yr ymgais, efe a anturiodd sefydlu un yn ei blwyf, yr hon sydd yn cael ei dwyn y'mlaen hyd heddyw. Hefyd efe a bregethai ddwywaith ar ddydd yr Arglwydd; a'i ddull difrifol yn gosod allan athrawiaethau ysgrythyrol yr eglwys a ddwys-effeithiai ar laweroedd, ac a dueddai i liosogi ei gynnulleidfa yn fawr. Yr oedd ei bregethau yn hollol uniawn-gred. Llygredigaeth dyn trwy y cwymp, a'i anallu i'w adferu ei hun, yr iawn a wnaeth Crist ar y groes dros bechodau y byd, cyfiawnhad trwy ffydd, a'r angenrheidrwydd anhepgorol am sancteiddrwydd i dystiolaethu ein ffydd, ynghyd âg adgenhedliad a sancteiddhad pobl Dduw trwy rymus nerth yr Yspryd Glân, oedd prif destynau ei weinidogaeth. Yr ydoedd yn daer iawn yn annog ei bobl i roddi cwbl ddiwydrwydd i wneuthur eu galwedigaeth a'u hetholedigaeth yn sicr; ac efe a ddywedai bob amser nad oedd barnau cywir am y gwirionedd, heb ymdrechiadau parhaus i farw i bechod, a byw i gyfiawnder, ond fel diod gwsg yn suo yr enaid i dragywyddol drueni.

Efe a ddechreuodd hefyd ysgol wythnosol ar nos Iau, ac a'i cadwodd i fynu yn barhâus. Yr oedd caniatâd i bob oedran fyned yno, i ddarllen, a gwrando esponio yr ys-

grythyrau. Llawer a dramgwyddasant wrth yr ymdrechiadau anarferol hyn, ac a ddygasant gyhuddiad o Fethodistiaeth; ac un o eglwyswyr y gymmydogaeth a gwynodd wrth yr Esgob (Horsley) oblegid y llafur *afreidiol* yma: ond yr Esgob a roddodd i'r cyhuddwr yr atebiad cyfaddas ac anwrthwynebol hwn, "Syr, mi a ddymunwn i chwithau wneuthur yr un modd." Da fyddai i bob Esgob gefnogi ei eglwyswyr zelog, diwyd, a llafurus. Yr oedd yr Esgob Horsley yn gyfaill cywir i Mr. Roberts, yr hwn a groesawid bob amser i'w dŷ, lle y treuliodd lawer o oriau hyfryd a buddiol mewn ymddyddanion llenyddol ac ysgrythyrol. Tra yr oedd yr Esgob yn dysgwyl am gyfle i'w ddyrchafu, efe a symmudwyd yn ddisymmwth gan angau i fyd arall.

Yn y flwyddyn 1807, y gweinidog duwiol hwn a ddyrchafwyd i fywioliaeth Tremeirchion, er mawr lawenydd i'r plwyfolion. Hon oedd y bersonoliaeth gyntaf oedd gan yr Esgob Cleaver i'w rhoddi ar ol ei symmudiad i Esgobaeth Llanelwy. Yr oedd Mr. Roberts, ac yn wir yr holl Eglwyswyr, yn parchu yr Esgob hwn, oblegid ei dymher foneddigaidd, ei diriondeb tu ag atynt, a'i ofal tadol drostynt bob amser. Mr. Roberts, ar ol ei ddyrchafiad, ni laesodd, ond yn hytrach a chwanegodd ei ddiwydrwydd a'i wyliadwriaeth dros ei braidd, gan drefnu moddion yn barhâus i'w perffeithio hwynt yn nghariad Crist, ac i'w haddasu i lawenydd tragywyddol y nef. Efe a wyddai yn dda, ac a ddwys fyfyriai y gwirionedd pwysig yn yr ysgrythyr hynod hòno, "Nid oes neb a'r sydd yn rhoi ei law ar yr aradr, ac yn edrych ar y pethau sydd o'i ol, yn gymmwys i deyrnas Dduw."

Yr oedd calon ein cyfaill trengedig nid yn unig yn teimlo dros ei braidd ei hun, ond hefyd yn galaru o herwydd y trueni a'r tywyllwch ysbrydol a orchuddiai y rhan fwyaf o drigolion daear. Efe a lawenychai yn ddiffuant o herwydd sefydlu y Bibl Gymdeithas, a'r Gymdeithas Genhadol, a Chymdeithasau ereill i ddybenion crefyddol a haelionus, yn gartrefol a thramor; am hyny yr ydoedd yn awyddus iawn am weled ei ardal ei hun yn dyfod ym mlaen i gefnogi gwaith mor fuddiol; ac ar ei annogaeth, ac yn benaf trwy ei ymdrechiadau ef, y ffurfiwyd, yn y flwyddyn 1813, Bibl Gymdeithas Sir Fflint, yr hon sydd yn parhâu etto i weithredu. Casglwyd yn y flwyddyn gyntaf dros 700 o bunnau, a mwy nag 11,000 o Fiblau a Thestamentau a daenwyd ganddi yn y Sir fechan hòno. Wrth edrych hefyd ar y Gymdeithas Genhadol Eglwysig, helaethrwydd y maes y llafurient ynddo, eu hymdrechiadau i hysbysu efengyl Crist mewn gwledydd, y rhai, pe amgen, ni chlywsent am ei enw achubol ef, eu gofal neillduol yn dewis Cenhadon, ac yn eu cymhwyso at eu gorchwyl, a'r llwyddiant a ganlynodd eu llafur trwy raslawn fendith Duw, efe a'i hystyriai ei hun dan rwymau arbenig i ddwyn ym mlaen amcanion y Gymdeithas hon hyd eithaf ei allu. Cangen o'r Gymdeithas Genhadol Eglwysig dros Sir Ddinbych a Fflint a sefydlwyd yn benaf trwy ei ymdrech ef yn y flwyddyn 1826, a thros 600 o bunnau a anfonwyd i'r Fam-Gymdeithas. Yr oedd efe wedi cymmeradwyo amcanion y Gymdeithas werthfawr hon, a'i chefnogi y'mhlith ei gyfeillion, ac yn ei blwyf ei hun amser maith cyn hyny. Yn ei eglwys ef y gwnaethpwyd y casgliadau cyntaf yn yr Eglwys Sefydledig yn Ngogledd Cymru dros y Bibl Gymdeithas a'r Gymdeithas Genhadol Eglwysig, yn 1812 ac 1813. Y mae y dywysogaeth o dan rwymau mawr i'r Gymdeithas er Taenu

Gwybodaeth Gristionogol, yr hon sydd mewn parch gan bob Cymro ystyriol a diragfarn; eithr nid oedd hono mewn un modd yn ddigonol i lenwi ein hangen cartrefol, llai o lawer i ddiwallu cenhedloedd ereill y ddaear sydd mor amddifad o'r ysgrythyrau sanctaidd. Gallesid dysgwyl y buasai y fath wr rhagorol yn ddiolchgar i Dduw am y cymdeithasau daionus hyn, ac am lwyddiant eu hymdrechiadau o dan fendith fawr y nefoedd. Yn ddiau y dyn a gaffo yr ysgrythyrau yn llusern oleu i gyfeirio ei draed i ffordd diogelwch a thangnefedd, a ymgais yn siriol i ddal allan yr un llewyrch nefol o flaen ei gyd-ddynion sydd ar gyfeiliorn ym mhob gwlad. Y neb a fethodd gael meddyginiaeth i'w afiechyd ysbrydol, a sail ddiysgog i'w obaith am anfarwoldeb, nes amlygu iddo gymmodlawn aberth Crist gan yr Ysbryd Glân, a'i hystyria yn ddyledswydd ac yn fraint oruchel gynnorthwyo yn y gwaith o anfon cenhadon iachawdwriaeth i blith cenhedloedd y byd sydd ar ddarfod am danynt, i'w cyfarwyddo hwynt at "Oen Duw yr hwn a offrymwyd i dynu ymaith bechodau y byd."

(*I'w barhau.*)

---

## ORIAU YSGRYTHYROL.

**Hab. i. 16.** "*Am hyny yr aberthant i'w rhwyd.*"—Arfera yr Indiaid dwyreiniol offrwm aberth blynyddol i offerynau eu crefft. Tebyg yw y gwnai hen eilun-addolwyr yn Judea yr un peth.

**Pen. ii. 2.** "*Gwna hi yn eglur ar lechau*"—Yn yr hen oesoedd, arferent ysgrifenu ar dafleniau o faen, neu goed, neu bres, yn enwedig cyfreithiau, a phethau a ddymunent eu cyhoeddi i'r cyffredin. Yn yr un modd gosodai y prophwydi Iuddewaidd eu prophwydoliaethau i fynu ar lechau o faen, neu ddefnydd arall, mewn lle cyhoeddus, "fel y rhedai yr hwn a'u darllenai."

**Adn. 11.** "*Y trawst a'i hetyb o'r gwaith coed.*"*—Arferai hen adeiladwyr yr Ital a'r Dwyrain osod trawstiau coed i rwymo ynghyd y gwaith maen. Dengys llawer o hen adeiladau y ffordd hon o gadarnhâu muriau—ac at y trawstiau hyn y cyfeiria y prophwyd.

**Zeph. i. 4.** "*Chemariaid.*"—Offeiriaid eilun-addolgar y cyfieithir y gair hwn yn 2 *Bren.* 23. 5. Gelwid hwynt *Chemariaid* oblegid yr ymwisgent mewn dillad duon. Du oedd lliw dewisol y cyfryw offeiriaid, mewn amryw genhedloedd. Ië, yr *Ych* Osiris, yr hwn a addolid megys duw gan yr Aiphtiaid, a wisgid mewn dillad duon, o sidan neu liain.

**Pen. ii. 7.** "*Yn nheiau Ascelon y gorweddant yn yr hwyr.*"—Nid ammherthynol i'r geiriau hyn yw hanes Ymdeithiwr:—Trefnasom ein hanifeiliaid i sefyll ym mhlith hen furiau ac adfeiliau Ephesus, a'r cyfrwyau arnynt; ac yna taenwyd hesg-we i ni orwedd arni ar y ddaear. Eisteddasom yno tra y parotoid ein cwynos; pan, yn ddisymwth, y gwelem y trigolion afrywiog yn rhedeg, gyda lampau, yma a thraw, ac yn llewyrchu goleuni anhyfryd ar adfeiliau yr hen ddinas. Trwst anghynes adar a bwystfilod y nos a wnai ein sefyllfa yn fwy dychrynllyd. Peth cyffredin iawn yn y Dwyrain yw i fugeiliaid letya, gyd â'u hanifeiliaid, mewn hen adfeiliau maryddig, a'u gwneuthur, megys y bygythir yma, yn gorlanau defaid.

---

* Gan gyfeirio at yr adnod hon y canodd Prydydd wrth edrych ar furiau adfeiliedig Monachdŷ Ystrad Fflur—

Mae dialedd ryfedd am ryfyg——bechod
Buchedd gwŷr eglwysig;
Mawr yw 'r cur o'r mur cerig
Am ddigio Duw—mater dig.

ZECH. i. 8. "*March coch.*"—Lliw gwaed-goch a feddylir yma, nid unrhyw liw cyffredin i geffylau. Arferai y Dwyreinwyr liwio ceffylau, neu fulod, i farchogaeth arnynt. "Gwelsom (medd Ymdeithiwr) yn agos i borth y ddinas, ŵr boneddig ieuangc yn marchogaeth mul, *pen ol yr hwn a liwiasid yn goch.*" Sonia yr Ymdeithiwr *Mungo Park* am dywysog Affricanaidd, yr hwn bob amser a farchogai geffyl llaeth-wyn, eithr ei gynffon wedi ei lliwio yn goch.

PEN. iii. 9. "*Ar un gareg y bydd saith o lygaid.*"—Llygaid breninoedd yw enw a rydd y Dwyreinwyr yn fynych i'w prif-swyddogion. Yn nheyrnas Persia, lle y daethai y prophwyd allan, yr oedd saith o honynt. *Ezra* 7. 14. *Esther* 1. 14. Gelwid y swyddogion felly, oblegid mai trwyddynt hwy y gwelai y brenin bob peth.—Dywed y prophwyd yma, y byddai doethineb a pherffeithrwydd Crist Iesu, yr hwn yw *gwrth-gysgod* y gareg, yn gyfryw fel na byddai achos iddo ef am swyddogion i weled gyda hwynt, eithr gwelai bob peth ei hun. Saith hefyd yw y nifer sydd yn arwyddocau perffeithrwydd; megys, saith ysbryd Duw, &c.

PEN. xii. 3. "*Yn faen trwm.*"—Tybir fod yr ymadrodd hwn yn cyfeirio at hen arferiad gyffredin yn Judea, pan fyddai gwyr ieuaingc yn cyd-ymegnïo i ddangos eu nerth, y naill yn erbyn y llall. Yr ymgais oedd fel hyn—sef, codent i fynu â'u dwylaw gerig mawrion uwch eu penau cyn uched ag y gallent. Os codent gareg fawr iawn, rhy drwm i'w nerth, yr oedd yn beryglus iddi syrthio arnynt a'u brifo. I'r un perwyl y dywed Crist, "Ar bwy bynag y syrthio y maen hwnw, efe a'i mâl ef yn chwilfriw," gan gyfeirio at y chwareu-gamp mor gyffredin yn y wlad, fel nad allai ei wrandawyr ei gamddeall.

PEN. xiv. 20. "*Bydd ar ffrwynau y meirch, SANCTEIDDRWYDD I'R ARGLWYDD.*"—Nid anghyffredin yn ngwledydd y dwyrain yw gweled awenau ffrwynau, ar y rhai y mae yn ysgrifenedig enw Duw, neu ryw ysgrifen arall, yn amlaf o'r Koran.

MAL. i. 8. "*Cynnyg ef yr awrhon i'th dywysog.*"—Grym a dwysbigiad y cerydd ni ddeallir ddim heb gofio fod pob cyweithas rhwng uchelwyr ac iselwyr dwyreiniol yn dechreu gyd âg anrhegion, ac heb roddion ni feiddia yr olaf fyned i wydd y cyntaf, llai o lawer y dysgwyliant na ffafr na nodded ganddynt. Aml waith y mae y swyddogion yn byw fwyaf ar y rhoddion a ddygir iddynt; ac oblegid hyny edrycha y cyfryw yn eithaf manwl ar werth y rhoddion â'r rhai yr anrhegir hwynt. Ond plant Israel, yr amser hyn, a ddygent i wasanaeth yr allor, megys aberthau, y cyfryw roddion y rhai ni feiddiasent eu hoffrwm i'w tywysogion.

PEN. iv. 2. "*Haul cyfiawnder a gyfyd i chwi....a meddyginiaeth yn ei esgyll.*"—'Bob boreu (medd Ymdeithydd) ar godiad yr haul, y mae yn dyfod ar y dref hon, sef Smyrna, wynt cryf oeraidd, yn chwythu dros y tir; a'r cyfryw yw ei iachusrwydd yn puro ac yn iachâu ammhuredd yr awyr, fel y gelwir ef, 'Y *Doctor.*'" Gan fod y Prophwyd Malachi yn byw mewn gwlad ddwyreiniol, oni allai gyfeirio at yr awel oeraidd iachus sydd yn cyd-ddyfod â chodiad haul. Sonia y Salmydd am *adenydd y gwynt;* ac onid yw yn gredadwy y byddai pobloedd yr hen oesoedd yn galw yr awel iachus hon yn *esgyll yr haul,* y rhai a ddygent feddyginiaeth ac iechyd i bobl a glwyfasid gan awyr boethlyd y wlad? Yn y golwg hwn, prydferth hynod yw y gyffelybiaeth; a chywir y dywedir fod Iesu Grist, "Haul Cyfiawnder," yn dwyn ad-

fywiad ac iechyd i fyd clwyfus, ïe, marw mewn pechod a chamweddau.

ADN. 3. "*Chwi a fethrwch yr annuwiolion; canys byddant yn lludw dan wadnau eich traed chwi.*"—Cyfeirir yma at y fford o dymheru cymmrwd yn y parthau dwyreiniol, sef, un rhan o dywod, dwy o ludw coed, a thair o galch, wedi eu cymmysgu yn dda, a'u curo naill ai â morthwylion o bren, neu eu *sangyd â gwadnau traed* dros driliau a thair nos.

---

SYLWADAU AR LUC viii. 18.

"Edrychwch am hyny pa fodd y clywoch."

MAE ein Hiachawdwr bendigedig, yn y bennod hon, yn traethu dammeg yr hauwr, ac yn crynhoi y cwbl i fynu yn y geiriau hyn, "Edrychwch am hyny pa fodd y clywoch;" gwyliwch rhag bod yn wrandawyr anghofus a diffrwyth. Er bod gwrando y gair yn ddyledswydd arnom, etto mae llawer yn esgeuluso hyn, ac yn byw fel yr anifeiliaid a ddyfethir. Ac y mae nifer mawr o'r rhai sydd yn dyfod i foddion gras yn gwrando yn esgeulus ac yn ddifudd i'w heneidiau. "Edrychwch am hyny pa fodd y clywoch." Mae achos i ofni fod Gair Duw wedi myned yn wael ac yn gyffredin genym, fel y manna gan Israel gynt. Mae llawer yn ei wrando fel gair dyn, ac nid fel y mae yn wirioneddol yn air Duw.

I. Ceisiaf roddi rhai rhesymau i ddangos paham y dylem wrando Gair Duw.

1. Dylem wrando pregethiad y Gair oblegid mai ordinhad Duw ydyw. Dyma y moddion a drefnwyd "i agoryd llygaid dynion, a'u troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw." "Ewch i'r holl fyd (medd Crist) a phregethwch yr efengyl i bob creadur." Pregethiad yr efengyl yw y moddion a ordeiniodd yr Arglwydd i ddwyn y pell yn agos, ac i wneud y marw yn fyw; ac y mae efe yn ei lwyddo uwch law pob peth arall. Gallasai Duw ddysgu yr Eunuch heb ddanfon am Phylip (*Act.* 8.); a dysgu Cornelius heb iddo anfon am Petr (*Act.* 20.); a rhoddi ei olwg i Saul heb ei anfon at Ananias (*Act.* 9.); ond ni wnaeth felly; eithr anrhydeddodd ei ordinhad ei hun.

2. Dylem wrando pregethiad y gair dwyfol am mai Duw ei hun sydd yn llefaru wrthym trwyddo. "Y neb sydd yn eich gwrando chwi (medd Crist wrth ei apostolion) sydd yn fy ngwrando i." Beth yw Gweinidogion y Gair ond Cenhadau dros Grist, i erfyn ar bechaduriaid i ymgymmodi â Duw? Er mai llestri pridd ydynt, etto maent yn dwyn trysor nefol oddiwrth Dduw i eneidiau, sef yr efengyl. Y prophwydi gynt a ddechreuent eu prophwydoliaethau gan ddywedyd, "Gair yr Arglwydd," neu, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd." Gan mai Duw ei hun sydd yn llefaru wrthym yn y Gair, dylai *pawb* wrando. "Gwrandewch, nefoedd; clyw, dithau, ddaear: canys yr Arglwydd a lefarodd."

3. Dylem wrando y gair oblegid y lleshâd sydd yn dyfod trwy hyny. Trwy weinidogaeth y gair y mae Duw yn casglu ynghyd ei saint, ac yn adeiladu yr eglwys. Dyma yr hâd, trwy ba un y mae efe yn adgenedlu i obaith bywiol. Mae "ffydd, yr hon sydd yn dwyn cadwedigaeth i'r enaid, yn dyfod trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." Dyma y moddion trwy ba rai y mae Duw yn achub dynion. Tair mil a drowyd trwy bregeth Petr (*Act.* 2.) "Rhyngodd bodd i Dduw, trwy ffolineb pregethu achub y rhai a gredant." Am hyny na ddirmygwch brophwydoliaeth; eithr byddwch ddiwyd gyda moddion gras.

Hwyrach fod Satan yn dweud wrth ryw un, gwell i ti beidio

gwrando y Gair, am fod dy ddeall mor dywyll, dy galon mor galed, fel na fydd ond arogl marwolaeth i farwolaeth i ti. Ond cofia na ddylai hyn dy gadw rhag gwrando Gair Duw, sef dy fod yn dywyll, &c. yn hytrach, dylai beri i ti fod yn fwy diwyd gyda moddion goleuni a gwybodaeth. Nid oes neb doeth yn esgeuluso ei waith, ac yn byw yn segur, o herwydd ei fod yn dlawd; eithr, yn hytrach, hyn a'i cynhyrfai i fod yn fwy diwyd, gan mai dyma y ffordd i ddyfod yn gyfoethog. Mae Duw, trwy y Gair, nid yn unig yn cynnyddu gras lle y mae, eithr yn ei gyfranu hefyd lle nad yw.

A wyt ti mor ffôl, medd Satan wrth un arall, a gwrando pregethau, a chredu mai gwir yw y cwbl sydd yn cael ei draethu gan Weinidogion y Gair? Edrych ar eu bywyd, a gwel mor anghyson yw â'u geiriau.

Gwylia di rhag cymmeryd achlysur oddiwrth eu hesgeulusdra hwy i esgeuluso dy ddyledswydd dy hun. Llestri pridd yw Gweinidogion y Gair fel ereill; y maent yn ddarostyngedig i'r un gwendidau ag ereill; y mae pechod mor barod i'w hamgylchu hwy ag ereill; a syrthiant hwy mor waradwyddus ag ereill oni cheidw Duw hwy trwy ei ras. Eithr paid di ag esgeuluso bara yr enaid am fod llaw yr hwn sydd yn ei gynnyg i ti yn aflan, neu am ei fod heb ymborthi arno ei hun. Cofia nad oill Paul ond plannu, ac Apolos ond dyfrhâu; eithr Duw yn unig sydd yn rhoddi y cynnydd. Er hyny, na fydded i Weinidogion y Gair fod fel mynegbyst, yn dangos y ffordd i ereill, heb rodio ynddi eu hunain.

Nid rhaid i ti wrando ond weithfau, medd Satan wrth un arall; wedi cael gras a goleuni, pa beth a elli di ddysgu mwy wrth wrando y Gair? O ddyn, cofia mai ymborth enaid yw y Gair; nid digon ei fwyta unwaith neu ddwy, ond yn barhaus. Pe bait heb ofalu am ymborth i'r corph ond anfynych, mor fuan yr âi yn llesg a gwael; felly yr â yr enaid os esgeulusir moddion gras. Yr wyt yn sefyll mewn angen o wrando y Gair Sanctaidd tra bo un pechod yn glynu wrthyt, neu un gras yn ammherffaith ynot.

II. Rhoddaf rai cyfarwyddiadau pa fodd i wrando er budd i'r enaid. Canys nid pob un ag sydd yn gwrando sydd yn derbyn lleshâd trwy hyny; "y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy." Mae y Gair yn myned yn ddiffrwyth mewn tri math o dir, y creigle, ymyl y ffordd, a'r tir dreiniog; "edrychwch am hyny pa fodd y clywoch."

Os na all diafol gadw dyn rhag myned i dŷ Dduw, cais ei rwystro i wrando yno er budd i'w enaid, trwy ei wneud yn ddiofal a chysglyd, neu trwy wneud ei lygaid yn wammal, a'i feddyliau yn grwydredig, neu yn llawn o'r byd. Fel y bo i ni glywed yn fuddiol mae tri pheth yn angenrheidiol.

1. Ymbarotoi cyn gwrando. "Gwylia ar dy droed pan fyddech yn myned i dŷ Dduw," &c. Yr Iuddewon a arferent amryw olchiadau cyn aberthu: a gorchymynwyd i Moses ddiosg ei esgidiau oddi am ei draed, oblegid fod y lle yr oedd yn sefyll arno yn ddaear sanctaidd. Cyn gwrando y Gair, dylem grynhoi ein meddyliau, y rhai sydd yn wasgaredig gyda phethau bydol; canys ni ddichon Duw a Mammon, y gair sanctaidd a gofalon bydol, drigo ynghyd yn yr un enaid; eithr mor fuan ag y delo un i mewn, mae y llall yn cael i wthio allan. "Ni ellwch wasanaethu Duw a Mammon." O flaen gwrando y Gair nac anghofiwn weddio ar yr Arglwydd am agor ein llygaid fel y gwelom bethau rhyfedd allan o'i gyfraith ef.

2. Wrth wrando, dylem osod

ein hunain megys ger'bron Duw, fel Cornelius, *Act.* 10. 33. a chofio mai nid gair dyn yw, eithr gair ein Duw ni, yr hwn a saif byth. Cennad Arglwydd y lluoedd yw y Gweinidog; am hyny nac edrych ar y dyn ond ar Dduw, yr hwn sydd yn ei ddanfon; nac edrych ar y llestr pridd ond ar y trysor y mae yn ei ddwyn. Dylem wrando bob tro fel pe byddai y waith olaf am byth. Pwy all ddweud y byddwn byw y Sabboth nesaf, neu y bydd ein synwyrau genym? Am hyny "heddyw na chaledwn ein calonau." Na fyddwn ddifraw a chysglyd yn nhŷ Dduw, rhag iddo ddwyn barn arnom. Cofiwn beth a ddygwyddodd i Eutychus gysglyd.

3. Wedi clywed gwirioneddau Duw yn ei dŷ myfyriwn arnynt wedi ymadael. "Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros, fel y byddo dy gynnydd yn eglur i bawb." "Rhaid i ni ddal yn well ar y pethau yr ym yn glywed, rhag un amser i ni eu gollwng hwynt i golli." Mae Satan am gipio yr hâd sanctaidd, yr hwn sydd yn cael ei hau yn ein plith, ymaith; am hyny rhoddwn le iddo mewn dyfnder daear, sef yn y galon. Pa beth a dâl i'r llafurwr fraenaru a pharotoi ei dir, a hau ei hâd? â y cwbl yn ofer heb iddo guddio yr hâd a hauodd. Pa beth a dâl i ddynion wrando llawer o bregethau heb fyfyrio arnynt? Ymddyddenwch wrth fyned adref o'r eglwys am y pethau a glywsoch yno: cnowch eich cîl fel anifeiliaid glân arnynt, fel na byddoch yn wrandawyr anghofus, eithr yn wneuthurwyr y gair. "Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth."

W.

---

YSTYRIAETH AR FYWYD DYN.

TREULIWCH gan mlynedd yn y pleserau difyraf ag a gellir i'w mwynhâu yma ar y ddaear, ac ar ol hyny can mlynedd drachefn, at y rhai a dreuliasoch. Chwanegwch fil o flynyddoedd at hyny, ie, a deng mil yn rhagor—y blynyddoedd diweddaf a fyddant mor sicred o ddiweddu ag y diweddodd y rhai cyntaf, ac a lyngcir oll yn nhragywyddoldeb. Yr hwn a aned heddyw, nid oes ganddo ddim sicrwydd o gael gweled y fory: yr hwn a fu fyw hwyaf, nid yw ond fel yr hwn a anwyd ddoe; nid yw hapusrwydd dyn ond fel y treulio efe ei amser; ond hapusrwydd y llall fod iddo amser i fyw; a thynged y ddau yw, bod yn rhaid iddynt feirw. Nid dedwyddwch ydyw hir hoedl, ac nid annedwyddwch ydyw marw yn fuan: dedwydd yw efe yr hwn a fu fyw ddigon o hyd i farw yn dda.

*O Gronfa* R. LLWYD.

---

Y BENNOD GYNTAF O GENESIS YN Y GERNIWAEG.

1 En dallath Deawe wraze neave ha an eare.

2 Ha therrah an beaz reb composter ha reb kenefratra: ha tulder rag meare a downder ha speres Deawe reege gwaycyoch worr bedgeth an dowre.

3 Ha Deawe laveras gurenze boze gooloh ha therrah gooloh.

4 Ha Deawe a wellas an goolloh tha boaze dah: ha Deawe deberhas an goolloh thort an tulder.

5 Ha Deawe a grias an goolloh deathe, ha an tulder cave a grias noze, ha metten, ha gurthuher owe an Kenssa Iornah.

6 Ha Deawe laveras gurenze boaze eberne en creaze an dowre ha gwrenze cave deberhah an dowre thort an dowre.

7 Ha Deawe wraze an eharne ha deberhas an dowre erah dadn an eharne thort an dowre erah wor an eharne; ha tho va an della.

8 Ha Deawe a grias an eharne

neave: ha metten ha gorthuhar owe
Deawe Iornah.
9 Ha Deawe laveras gwrenze an
dowre dadn an neave: boaze con-
tellyes wor barh tha edn tellher ha
gwrenze an oare zeah disquethas,
ha tho vah an dellha.
10 Ha Deawe a grias an teere
zeah an oare, ha an contell wor
barh an dowre eave a grias moare;
ha Deawe a wellas tro va dah.
11 Ha Deawe laveras, gwrenze
an oare dro rage gwellze ha lozow
dro ragge haze, ha wethan tri ragge
lavallow war ler e kendah ha haze
et o honen war an oarre: ha tho va
an dellha.
12 Ha an oare droze ragge
gwellze ha Lazoan droze haze ette
kendah: droze fegges warler e
kendah: ha haz ette honen warler
e kendah: ha Deawe wellas tro
va dah.
13 Ha metten ha gathewer o an
dregah deeath.
14 Ha Deawe laveras gwrenze
boaze golloh en ebarne neave tha
debereth an deeath thort an nooze,
ha grendge gye boaze rag seenesse,
ha rag termen, ha rag Iorneawe, ha
rag blethidnyaw.
15 Ha gwrenze gye booaze rag
golloh en ebern neaue tha rie gollo
wor an oare: ha tho va an dellah.
16 Ha Deewe wraze deawe gollo
broaze am brossah rag an deathe,
ha an behatnah rag an noaze eave
wraze an sterres a weathe.
17 Ha Deewe es gorras en ebarne
neave tha ry golloh wor an oare.
18 Ha tha voaze drez an deathe
hag an noaze, ha tha deberhad an
gollo thort an tuilder, ha Deewe
wellas tro va dah.
19 Ha metten ha gothewher o
an bozwerhath Iorna.
20 Ha Deewe laverhas gwrenze
an dowr dri ragge meare a dra an
taklowe eaze a quotya gen bownaf
ha ethen tha nigah euh an oare en
eberne neaue a leaze.
21 Ha Deewe wraze an poskas
broaze ha kenefratra erah gnagah
rege an dowr dri raeg meare a sob-
men worler go hendah ha kenefra
ethan gen ascall worler e kendah:
ha eave wellas tro vah dah.
22 Ha Deewe reg go benigyah
ha laveras betho leane a haaze ha
grew cressyah ha lenall an dowre
en more grwenze an ethen cressyah
en oar.
23 Ha metten ha gothewher o
am pempas Iorna.
24 Deewe laveras gwrenze an
oare dri raage an tacklow eze tean
bownas worler go kendah chattall
ha tacklow eaze a cramyas ha ber-
tas an oare worler go kendah: ha
tho va an dellah.
25 Ha Deewe wraze bestas an
oarre worler go kendah, ha an
chattall worler go kendah: ha cani-
fratrah eaze a cramyas wor an oare,
ha Deewe wellas tro vah dah.
26 Ha Deewe laveras gero nigh
geelle deane in grwa gon honen tha
noze hauall den ha grenze gowas
poher dreze am poskas en more,
ha dreaze an ethen en ebarne, ha
dreze an chattall, ha dreaze oll an
oarre ha dreaze canifratra eaze a
quayah wor an oarre.
27 Ha Deewe wraze deane: en
grwa ehonnen: en grwa Deewe eve
an gwraze, bennowe, ha gorrowe
eve eze grwaze.
28 Ha Deewe reg go benigyah
ha Deewe lavaras thothans bethow
leane a haaze ha cressyo ha leno an
oarre ha bethow dresta ha grew
gowas pooher dreze an poskas en
moare, ha an ethen en ebarn:
ha dreze canifratra veewe eaze a
quayah wor an oarre.
29 Ha Deewe lavaras; merro;
ma reaze genam Theave Kenifra
lazoan toane haaze eaze wor bed-
geth an oarre: ha kenifra gwethan
menze eaze haace ha menze eaze a
toan haaze tha whi e ra boaze rage
boaze.
30 Ha tha oll bestas an oare ha
tha kenifra ethan en ebarn, ha tha

kenifrratrah: eaze a quayah wor au oare meuze eaze bownas etah ha mahre reazo genam kenifra lazoan laze raag booze: ha tha vah an dellah.

31 Ha Deewe wellas kenifratra era grweaz goniah ha merro tha va por tha: ha gathewher ha metten oh an wheffas Iornah.

CLYWEDOG.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### Y LLYG, NEU Y CHWISTLEN.

Er bod hon, a llefaru yn gyffredin, yn myned o dan yr enw Llygoden; etto, nid yw Anianyddion yn ei hystyried yn perthyn i'r un teulu. I'r rhai hyn y mae penau tebyg i'r twrch neu 'r wâdd; ac nid ydynt annhebyg o ran eu llygaid; ac y mae pum bys ar bob troed iddynt: nid yw eu corph mor hardd a llnniaidd a'r llygoden; etto, er y cwbl, fe ellir dywedyd eu bod yn debyg i'r llygod. Y mae un math ar bymtheg o honynt, er, fe allai, nad oes ond dau yn ein gwlad ni. Un math a welir, ac a glywir yn fynych yn rhedeg ac yn gwichian yn y gwrychoedd. Trigant yn gyffredin mewn hen furiau, a charneddau, a thyllau yn y ddaear: ceir hwynt yn fynych yn agos i deisi gwair, tomenydd, a thai bach. Ymborthant ar ŷd, trychfilod, a budreddi. Gellir eu gweled weithiau yn gwthio eu trwynau, fel moch, trwy dom a baw. O herwydd hyn, neu o herwydd eu hymborth, neu o herwydd rhyw beth arall, y maent yn ddrewedig; ac am hyny ni fwyty 'r gath hwynt, er y lladd hwynt fel y gwna lygod. Meddylir eu bod yn ddarostyngedig i ryw haint neillduol ym mis Awst bob blwyddyn; canys fe welir llaweroedd yn feirw y pryd hyny yma ac acw ar hyd ein llwybrau. Llawer o bobl a feddylient gynt, ac fe allai rai etto o'r un meddwl, bod y Llygod hyn yn niweidiol i amryw anifeiliaid. Yr wyf yn cofio clywed, pan yn blentyn, os ai 'r Llŷg dros ryw ran o ddyn, neu anifail, pan yn cysgu, y byddai y rhan hòno yn ddiffrwyth, o'r amser hwnw allan; a gwnaeth y fath argraff ar fy meddwl fel na allwn, er gorwedd yn lluddedig ar y ddaear lawer gwaith, fyth gysgu arni, am lawer o flynyddoedd. Ond nid yw hyn i gyd ond chwedl gwrach. Nid yw y creadur bychan hwn fwy niweidiol i ddyn, nac anifail, nag yw rhyw greadur bychan arall. Dywedwyd, am ryw chwydd afiach perthynol i'r ceffylau, mai effaith brathiad y Llŷg ydoedd; ond fe wyddys yn awr nad brathiad yn y byd yw achos y chwydd, ond anhwyldeb tufewnol. Y mae math arall o Chwistlen, ychydig yn fwy o ran maintioli na'r gyntaf, yr hon, yn gyffredin, a drig ar lan a cheulenydd neint, ac afonydd, a ffynhonau. Nythant, y ddau fath, yn y ddaear, a dygant bump, neu chwech, neu fwy, o rai bach bob tro. Y maent yn lled gyffredin dros holl Ewrop; ond ni wyddys eu bod etto wedi gweled cyfandir America. Fel y mae i bob ystafell mewn tŷ gwr mawr doeth a chyfoethog ei dodrefn perthynol ei hun, felly y mae i bob rhan o'r byd ei greaduriaid neillduol ei hun; a diau bod y cwbl yn ddoeth ac yn dda, er na allwn ni, o herwydd ein dallineb, weled na'r naill na'r llall, yn y pethau hyn, a llawer o bethau ereill.

### Y PATHEW.

Dywedir i ni bod tri math o Bathewod. Y cyntaf y soniwn am dano sydd lwydwyn oddi arnodd, a gwynaidd oddi tanodd; ac y mae o gyffelyb faintioli i'r wiwer. Ceir hwn yn Ffrainge, a Deheudir Ewrop, a rhanau De-orllewin Rwssia. Ystyriai y Rhufeinwyr gynt hwn

yn ddanteithfwyd: pesgent hwynt mewn lleoedd adeiliedig i hyny: a bwyteir hwynt hyd heddyw gan yr Italwyr. Nytha yn ngheudawd rhyw bren, ac yno y cwsg am y dydd. Ymbortha 'r nos ar gnau o bob math, a chnewyllod llawer o ffrwythau ereill. Yn yr Hydref y mae yn dew hynod. Ymgasglant yn lluoedd tua mis Hydref, a chiliant i'w llochesau, yn y rhai yr arosant, megys meirw, hyd ddiwedd y Mai canlynol. Y mae i'r fenyw ddeg o dethau; ac nid anfynych y dwg i'r byd o ddeg i ddeuddeg o rai bychain ar y tro.—Yr ail yw yr hwn a elwir gan y cywrain yn y pethau hyn, Pathew y Gerddi. Melynddu yw lliw hwn oddi arnodd, a lliw ei dor sydd felynlwyd wynaidd: cylch du a welir o amgylch ei lygaid, a man du tu ol i'w glustiau. Ei hŷd sydd bum modfedd—a'i gynffon a fesura bedair. Ceir hwn yn y rhan fwyaf o Ewrop. Trigant gan mwyaf mewn gerddi, er y gwelir rhai weithiau mewn tai. Ymborthant ar ffrwythau 'r coed, ac yn enwedig ar yr eiryn gwlanog. Bwytant bŷs, bricyllod, ac eiryn o bob math. Cyfleant lawer o bethau fel hyn i'w llochesau, y rhai a wnant yn y ddaear. Ceir hwy weithiau mewn hen berllenau mewn ceubrenau, yn y rhai y gwnant iddynt eu hunain welyau o ddail, llysiau, a mwswgl. Gwelir yn fynych wyth neu ddeg o honynt yn yr un nyth yn cysgu. Carant yn y gwanwyn, ac epiliant yn yr hâf. Y torllwyth a gynnwys bump neu chwech, y rhai a brifiant yn gyflym iawn; ond nid epiliant am flwyddyn. Nid ydynt fwytadwy; canys eu cig a arogla.—Y trydydd math, sef y Pathew Cyffredin, sydd o gyffelyb faintioli i lygoden tŷ: yr olwg arno sydd dewach: y trwyn yn fyrach: ei ben, ei ochrau, a'i fol, a'i gynffon, sydd lwydgoch—a'i wddf sydd wyn. Trig y rhai hyn yn y coedwigoedd, neu wrychoedd tewion. Gwnant eu nyth mewn ceubren, neu yn agos i waelod rhyw lwyn cysgodlawn. Casglant ynghyd bentwr o gnau, a bwytânt hwynt, gan eistedd ar eu traed ol, fel y gwna 'r wiwer. Ni fwytânt ond ychydig y gauaf; canys hwy a gysgant yn eu llochesau. Ar ddyfodiad y gauaf, hwy a ymwasgant ynghyd, ac a ânt megys yn feirw. Pan y dygwyddo diwrnod têg gwresog, hwy a adfywiant, ac a gymmerant ychydig luniaeth, ac yna cysgant drachefn. Anfynych iawn y gwelir y Pathew ym mhell oddiwrth ei loches, nac mewn lleoedd agored a digysgod; ac am hyny yr ymddangosant yn anamlach ym Mhrydain nag ydynt mewn gwirionedd. Gwna 'r Pathew ei nyth o wellt, dail, a mwswgl; a'i nythod a gynnwys dri neu bedwar o rai bach. Y mae i bob creadur ar y ddaear ei ddeddf, a hwy a'i cadwant. Y Pathew a gwsg y gauaf; y wenol a'r gôg a ymguddiant yn a thros eu tymhor:—"Y ciconia yn yr awyr a edwyn ei dymhorau; y durtur hefyd, a'r aran, a'r wenol, a gadwant amser eu dyfodiad; eithr fy mhobl i ni wyddant farn yr Arglwydd."

R.

---

## Y RHYFEL-GYRCH FFRENGIG I ALGIERS.

Tybiwn fod y Rhyfel-gyrch mawryddig, sydd newydd gychwyn tua gogledd-dir Affrica, yn haeddu mwy o sylw nag a gafodd yn gyffredin; a hyny am amryw achosion. Yn gyntaf, pob ymdrech a wneir gan ein cyd-ymgeiswyr gwastadol, a'n gelynion o oes i oes, i ehangu eu meddiannau ac ychwanegu eu galluoedd, a haedda ystyriaeth parchusfawr trigolion Brydain. Y llynges, a hwyliodd ymaith yn ddiweddar tu ag Algiers, a gynnwys fyddin luosog ac eon-

wych, a gellir yn hawdd ei chyfrif yn un o'r lluoedd cadarnaf a ymadawodd erioed â glenydd Ffrainge tua gwledydd tramor. Bod y Barbariaid afrywiog yn haeddu cospedigaeth, sydd wirionedd anwadadwy; ac os terfyna y rhyfel-gyrch presennol yn eu ffangelliad hwynt yn unig, heb ddim ychwanegiad enbydus at alluoedd gwladol y Ffrangcod, ni chofir yn hawdd neb i gyd-ymdeimlo â distryw Tywysog Barbaraidd Algiers, a chystuddiad ei ddeiliaid.

Ond, yn ail, i adael heibio o'n golwg dderchafiad gwladwriaethol y Ffrangcod, gadowch i ni dybied, os goresgyna yr arfogaeth hon wlad Algiers, fod y dalaeth wedi ei hymddiried i ryw Dywysog Ffrengaidd, megys y Duc Orleans, a'i gwneuthur yn deyrnas wahanol, cymmwys iawn fyddai i ni, megys Gwyliedyddion yr amserau, ystyried y canlyniadau pwysfawr.

Tröed y darllenydd ei olwg yn gyntaf at hen gyflwr gogledd-dir Affrica. Bu yno yn yr hen oesoedd bobloedd galluog yn preswylio, yn rhagori mewn rhyfeloedd, ac nid yn anhysbys â dysgeidiaeth a chelfyddydau. "Ym mharthau Lybia, yr hon sydd gerllaw Cyrene," yr oedd trefedigion Groegaidd wedi ymsefydlu, a dwyn i'r ardal ffrwythlonwych hòno addysg a gwareiddiad eu bro enedigol. Yn nhalaeth Tunis y preswyliai y Carthaginiaid, morwyr clodfawr yr hen oesoedd, y rhai a fuont dros gynnifer o flynyddoedd yn cyd-ymdynu â'r Rhufeiniaid am Ymerodraeth y byd. Ffoedigion oedd eu henafiaid o ddinas Tyrus, yn dwyn arwyddion diammheuol o'u tadogaeth o barth rhyfelgarwch a mordeithiau pellenig, cystal a'u hiaith a'u heilun-addoliaeth gwaedlyd. Y mae achos i feddwl i drefedigion lawer lenydd Palestina ymsefydlu ar barthau ereill o ogledd-dir Affrica. Yn un man cafodd hen hanesydd golofn ac arni y geiriau hyn yn ysgrifenedig—"Priodorion Canaan a adeiladodd hon, y rhai a yrwyd o'u gwlad enedigol gan yr ysbeilydd Josua fab Nun." Mewn ardal o Mauritania cafwyd gweddillion o genedl y Philistiaid, y rhai oeddynt hysbys âg enw eu cawr Goliath. Dilys yw fod trigolion y gwledydd, a berthynant yn awr i Algiers a Morocco, yn glodfawr gynt, ac mai y taleithiau Affricanaidd hyn oedd y manau lle y cyrchai preswylyddion poblogaidd Rhufain a'r Ital am luniaeth blynyddol. Pan aeth y prif ddisgyblion trwy yr holl fyd, yn pregethu "efengyl teyrnas nefoedd," moriasant drosodd i Affrica, a bu yn raddol gannoedd o esgobaethau yn yr ardaloedd eang hyny. Eithr difwynwyd purdeb crefydd yn nhreigliad oesoedd, ac yn ganlynol symudwyd ymaith eu canhwyllbren yn hylwyr. Y wlad, lle buasai cynnifer o eglwysi blodeuawg gynt, a aeth yn hynod am afrywiogrwydd ac anwybodaeth, ac ni adawyd gweddill o Gristionogrwydd gan ddilynwyr creulonwyllt Mahomet. Ond pan gollasant yr efengyl, collasant hefyd ogoniant a nerth eu gwlad, a hi a aeth yn dra dirmygedig ac isel. Gorthrechwyd preswylyddion genedigol y tir gan ychydig o filwyr Tyrcaidd, y rhai a ddwys ormesent bawb ereill, a allent osod eu dwylaw arnynt. Nid digon oedd ganddynt ychwaith orthrechu eu deiliaid eu hunain cyn dosted, eithr danfonent o oes i oes longau i ysbeilio llestri marsiandwyr a chaethgludo y morwyr. Blindost iawn a fyddai cyflwr y caethion truenus, a ammherchid fel hyny ganddynt, a phrin y coeliai y darllenydd mor chwerw oedd eu cyflwr dan eu meistriaid annhrugarog. Dros oesoedd lawer ymfoddlonai teyrnasoedd galluocaf Ewrop i ddanfon anrhegion iddynt, yn hytrach na'u

cospi, er gwareiddio llid eu tywysog, ac attal ei bobl rhag ysbeilio eu marsiandwyr. Eithr o'r diwedd blinwyd amynedd Lloegr gan eu haerllugrwydd a'u hanrheithiadau, a danfonwyd yr ARGLWYDD EXMOUTH â llynges gadarn i'w cospi. Llwyddiant ei ymdrechiadau clodwiw nid oes achos i ni eu coffâu. Eithr, er y dwys-addawsai Tywysog Algiers y pryd hwnw na ryfygai mwy ddwyn yn gaeth neb âg enw Cristionogion arnynt, anghofiodd ei addunedau yn fuan, a pharhâodd i flino morwyr rhai o wledydd analluog yr Ital. Ei ymddygiad haerllug tu ag at wladwriaeth Ffraingc a wrthwynebwyd yn wrol, a phan nacaodd wneuthur iawn am ei anghyfiawnder, danfonwyd, wedi hir oedi, y rhyfel-gyrch presennol i'w ddiswyddo, a goresgyn y wlad. Tyb cyffredin gwladwriaethwyr yw, mai y Duc Orleans, car i frenin Ffraingc, a osodir yn llywydd ar y wlad, ac yr ymdrechir trwyddo ef i hau hadau gwareiddiad a gwybodaeth ym mhlith y trigolion.

Gwir yw, nad yw yr yrfa i'r buan, na'r frwydr i'r cadarn, a rhyfygus fyddai rhagfynegi beth fydd diwedd yr holl barottoadau mawrion a wnaeth llywodraeth Ffraingc erbyn y rhyfel-gyrch presennol; etto, os llwyddo a wna, bid sicr y gwel rhai o'n darllenwyr gyfnewidiadau rhyfeddol yn ngwledydd Barbaraidd Affrica. Y cyfnewidiad cyntaf yn ddiammeu fydd dymchweliad yr uchafiaeth a fwynhaodd ac a gam-arferodd y Mahometaniaid dros ddeuddeg cant o flynyddoedd yn ngwledydd gogleddawl Affrica. Nid gormod ychwaith yw dysgwyl y gwna diddymiad y Mahometaniaid yn y parthau hyny arwain i'w darostyngiad mewn parthau ereill hyd berfedd-wlad Affrica. Gwelir etto foesgarwch yn cymmeryd lle afrywiogrwydd, goleuni dysgeidiaeth yn llewyrchu ar dywyllwch mwyaf anwybodaeth, ac Ethiopia, wedi derbyn yr efengyl, yn prysur estyn ei dwylaw at Dduw.

Cyd-gytunol yw y golwg hwn â barn y rhan fwyaf o dduwinyddion ardderchog, y rhai yn ddiweddar a roisant eu calonau ar fyfyrio ar y prophwydoliaethau ysgrythyrol, a'u cyd-gymharu âg arwyddion yr amserau. Barnwyd yn wir er's blynyddoedd lawer fod tywalltiad y *pummed phiol (Dat.* 16. 10.) yn rhag-arwyddo rhyw farnedigaethau blindost a syrthiai ar y cenhedloedd Pabaidd. Heb olrhain y deongliad yn rhy fanylaidd, gwelsom y cenhedloedd hyn, yn y newidiadau mawrion a'r rhyfeloedd Ffrengaidd diweddar, yn dyoddef cystuddiau gwladol gerwinol iawn, ac megys yn cnoi eu tafodau gan ofid. Ac er hyny "ni edifarhasant oddiwrth eu gweithredoedd;" dychwelasant at eu hen goel-grefydd a'u cyfeiliorni, ac ail osodasant i fynu y Jesuitiaid a'r Chwil-lys. Wedi dyfod o'r barnedigaethau rhagfynegedig hyn ar y Pabyddion, dywedir y tywelltir y chweched "phiol ar yr afon fawr Euphrates;" wrth yr hyn y dealla yr esbonwyr ardderchocaf er amser yr Esgob Newton, mai rhyw ddialedd ar y Mahometaniaid a feddylir. Ai gwrthwynebol i'r farn hon yw y golwg a welsom ein hunain ar y byd? Nagê ddim. Pan orphenwyd y rhyfel y'ngorllewin Ewrop, buan iawn y torodd allan frwydrau gwaedlyd a pharhâus yn ei pharthau dwyreiniol, sef yn ngwlad y Tyrciaid. Pa sut y distawyd y cythrwfl yno? Trwy fuddugoliaethau clodwiw y Rwssiaid, y rhai a ddangosant fod hen allu y Tyrciaid wedi darfod, a'u bod yn parhâu i gyfanneddu Ewrop yn unig trwy arbediad trugarog eu gelynion. Pan wel y gelynion hyny amser cyfaddas, o ran cenhedloedd ereill, ni ddichon i'r Tyrciaid mwy eu gwrthsefyll ar eu

rhyfel-daith i Gaer Cystenyn. Gwelwn hefyd wladwriaeth y Groegiaid yn cael eu sefydlu allan o'u tiriogaeth, ac er mai bychan yw, diau ei bod yn ddechreuad tori cyrau y Tyrciaid, ac y parhêir i gwtogi eu cyrau ym mhellach. Ond y mae un arwydd arall yn rhagfynegi yn eglurach fod cwymp y Tyrciaid yn nesâu; sef diffyg y penboethni crefyddol, yr hwn a ysbrydolai eu byddinoedd gynt, ac a'u harweiniai i fuddugoliaeth. Darfu yr awr i radd ryfeddol y zel grefyddol hon, a gwerin y Tyrciaid a edrychasant ar luoedd gelyngar Cristionogol yn cymmeryd eu dinasoedd mor ddigyffro a phe buasent eu milwyr eu hunain. Beth sydd i'w eglur gasglu oddiwrth hyn? Bod gallu a zel y Mahometaniaid yn darfod, a bod achosion naturiol yn prysuro amser cyflawniad y brophwydoliaeth am danynt. Dyma dir Groeg eisoes yn annymddibynol—Rhaglaw yr Aipht sydd er's talm yn barod i daflu ymaith yr iau—ac, *os llwydda y Ffrangcod*, bydd diwedd ar eu huchafiaeth yn Affrica. Rhan fawr o Arabia sydd eisoes yn perthyn i blaid elynol y Wechabiaid. Gellir dywedyd yn hyf fod terfyn eu teyrnasiad yn prysur nesâu; ond pa un a fydd y rhyfel-gyrch Ffrengaidd yn achlysurol i hyny, nid gweddus i ni fynegi ym mlaen llaw. Pan ddaw yr amser i ben, ni bydd ar Ragluniaeth eisieu moddion i gyflawni y gwaith. Nid llai rhyfyg fyddai datgan yn rhy fanylaidd pa beth a feddylir wrth sychu yr afon Euphrates, a phwy a feddylir wrth "freninoedd y dwyrain?"—Duw a eglurha y cwbl yn ei amser da ei hun.

MEHEFIN 4. Αλφα.

---

## GWYDDFA MYFYR.

MR. GWYLIEDYDD—Gwelais hysbysiad yn ddiweddar fod Cymdeithas Gwyneddigion Caerludd yn bwriadu cyfodi Gwyddfa er coffa yr enwog ddiweddar Owen Jones, "Myfyr," yr hwn fwriad yn ddiau sydd ganmoladwy. Mae gwladgarwch wedi cael ei hystyried y'mhob oes yn rhinwedd haeddiannol o barch, ac felly y mae tra yr ymgedwir o fewn terfynau priodol (sef peidio a gwneuthur duwiau o enwogion wedi eu claddu, o'r hyn nid oes berygl, dybygid yn y dyddiau hyn.) Gan hyny nid anweddus fyddai cadw coffadwriaeth barchus, mewn rhyw ffordd, am enw y gwladgarwr hybarch uchod; gwr a enwogodd ei hunan mor fawr drwy ei haelioni anghyffredin yn cymmeryd fraul a thrafferth i gyhoeddi llyfrau er budd i'w genedl, yn enwedig y llyfr enwog hwnw, y Myfyrian Archaiology:

> Y llyfr hwn—llafur enwawg,
> Gwiwfawr rodd gofir y rhawg.

Hefyd, ei syberwyd rhyfeddol yn cynnal Eisteddfodau, a gwobrwyo dawn, er meithrin dysg, cynnyddu gwybodaeth, ac er annog a gloywi athrylith y Beirdd; am yr hyn y tystiolaetha y Bardd yn helaeth,

> "Ugain o bunnoedd hoywgu—'n fwynaidd
> Anfonwyd i Gymru
> Gan Owain Myfyr cain cu,
> Wr hygar i'n anrhegu."

Ni's gallaf fi wybod am hanner ei weithredoedd haelionus; ond y mae un peth i'w hysbysu na wyr y cyffredin fe allai ddim am dano. Fe anrhegodd Mr. Owen Jones Eglwys Llanfihangel Glyn Myfyr, ei blwyf genedigol, â Llyfr Gweddi Gyffredin unplyg hardd a helaeth; y mae ei enw yn argraffedig ar y ddalen enwawl, ac enw Mr. Hugh Morris, genedigol o'r un plwyf, wedi hyny o Gaerludd, ond yn ddiweddar o Lanrug, yn Arfon, fel tyst fod y llyfr yn cael ei gyflwyno at wasanaeth yr Eglwys. Ond i ddychwelyd at y Wyddfa; hyderwyf na chyfrifir yn afresymol y

cynnygiadau canlynol mewn perthynas iddi:—1. Dymunol *(os bydd yn gyfleus)* fyddai ei bod yn gyfagos i, o'r hyn lleiaf y'ngolwg etifeddiaeth a lle genedigol y gwrthddrych y'i hadeiledir o'i herwydd. Mae yn amlwg mai o achos fod Mr. O. Jones wedi cael ei eni (mewn lle a elwir Tyddyn Tudur, esyddyn cyfrifol yn ei feddiant ef ei hun er's blynyddau) yn y plwyf a enwyd, y dewisodd y cyfenwad "MYFYR;" gan hyny onid addas a rhesymol i'r Wyddfa a fwriedir er coffadwriaeth iddo fod yn agos i'r lle o herwydd pa un y dewisodd y cyfenwad?—2. Ei bod ar fryn uchel ac eglur, heb fod yn neppell oddiwrth ffyrdd hygyrch, fel y gallo teithwyr dyeithr a chartrefolion ei gweled. Yn awr myfi a gynnygiaf yn ostyngedig enwi lle sydd yn ateb, dybygwyf, i'r desgrifiad uchod, sef Pen Cader Dinmael, yr hwn sydd fryn banawg ac eglur, oddeutu milltir a hanner i'r dehau o'r man y ganwyd y person dan sylw, ac y mae ei etifeddiaeth yn weladwy o'r lle hwn, ynghyd â'r rhan fwyaf o'r plwyf. Hefyd, y mae y lle hwn yn ganfyddadwy am filltiroedd oddiar ffordd y llythyrgerbyd o Gaerludd i Gaergybi, yr hyn eill fod yn destun ymddyddan difyrus i deithwyr o Fôn ac Arfon i'r Brif-ddinas. Fe'i gwelir hefyd o'r ffordd fawr o Ruthin i Lanrwst, ac o'r ffordd o Ddinbych i'r Bala. Pe adeiladid y Wyddfa ar y bryn a nodwyd, byddai yn

> Goffaol a siriol sedd,
> Ban ac eglur ben Gogledd.

Dymunwn adgofio y darllenydd mai cynnygiadau ac nid deddfau gosodedig ydynt y rhai uchod, gan gydnabod mai i'r Gymdeithas y perthyna hawl i benderfynu sefyllfa y Wyddfa, &c. a diau genyf bod ei swyddogion yn ddoethion i drefnu pob peth yn y man a'r modd goreu, yn enwedig yr Athraw haeddbarch W. O. Pughe, yr hwn sydd yn adnabyddus o foelydd y Swydd, ac felly yn llawer cyfarwyddach i wybod, a chymmwysach i farnu, na myfi. Dystawaf gyd â'r llinellau canlynol er coffa y gwrthddrych dan sylw:

> I gain dud ei gyn-dadau—gweinyddodd
> Lafuriodd mewn llyfrau:
> Oedd fel tad i'n gwlad yn glau,
> A tharian i'r iaith orau.
>
> Tra cerir iaith, a gwaith gwyr,
> Mwyfwy â enw Myfyr.

GLYN MYFYR.

---

## Y PERYGL O FWYTA FFRWYTHAU A CHERIG YNDDYNT.

*Mewn llythyr at Syr R. W. VAUGHAN, Barwnig, oddiwrth y diweddar Barch. Hugh Owen, mab i'r enwog Physygwr y Dr. Owen o'r Amwythig.*

ERFYNIAF eich pardwn am oedi cyhyd rhoddi ateb i'ch llythyr; y rhwystr ydoedd fy mod oddi cartref pan gyrhaeddodd yma. Mae yn gof da genyf am yr amgylchiad hynod yr ymofyn eich llythyr o'i herwydd, ac i fy nhad roddi gofal nid bychan ar yr achos. Mae nid yn unig yr holl driniaeth wedi ei ysgrifenu ar y llyfrau, ond y mae y cerig eiryn y'nghadw etto mewn gwirod yn y Clafdy yn y dref yma. Aethym heddyw y boreu i'w hedrych hwynt, ac yr ydwyf yn danfon i chwi adysgrif o'r hanes fel y mae ar y gostrel y cedwir hwynt ynddi.

"Anne Jones, 20 mlwydd oed, a dderbyniwyd i mewn i'r Clafdy, Hydref 24, 1772. Buasai glaf ynghylch blwyddyn a hanner cyn hyn, a bu farw yma Chwefror 27, 1773. Wrth chwilio y corph, cafwyd yn isel ynddo (mewn man a eilw y Physygwyr *colon*) y cerig hyn, y rhai a fuont yn ddiammeu yr achos o'i marwolaeth, trwy beri malledd yno. Nifer y cerig yw 440, a'u pwysau sydd rhwng pump a chwech *owns*."

Math o gerig eiryn y wlad ydynt. Clywais fy nhad yn dywedyd i'r ferch ieuangc ddyoddef poenau anghyffredin yr holl amser y bu yn glaf. Llawer yn ddiau, yn enwedig o rai ieuaingc, sydd yn ddigon dinystyriol wrth fwyta ffrwythau fel hyn yr amser yma o'r flwyddyn, yn colli eu hiechyd, os nad eu bywyd, o'r achos; a gobeithio yr wyf y bydd i'ch ewyllys da chwi a'ch gofal yn gwneuthur hyn yn gyhoeddus fod yn effeithiol er lles cyffredinol. Ydwyf, eich ufudd wasanaethwr,

H. Owen.

Amwythig,
*Gorphenaf* 1, 1824.

O. S. Un o Lanfachreth yn Sir Feirionydd oedd Anne Jones.

---

## Y PREN DERWEN.

Mawr iawn yw y maintioli a gyrhaeddodd Derw yn yr ynys hon, ond y rhai a fu hynotaf am eu praffder oedd y sawl a gollasant eu blaen-frigau pan yn ieuangc. Y cyfryw oedd Derwen Howel Sele, neu Geubren yr Ellyll, islaw Nannau. Ond y mae rhai prenau wedi meddiannu praffder rhyfeddol, a hŷd mawr hefyd. Sonia *Evelyn* am Dderwen yn agos i *Newberry*, yr hon a dyfai yn ddeg troedfedd a deugain i fynu yn ddiganghenog, a'r corph yn y gwaelod a roddes ddefnydd-goed yn bum troedfedd *ysgwâr*. Cymhares hon oedd ddeugain troedfedd o hŷd, yn bedair troedfedd yn y bôn, ac agos i dair yn y pen uchaf. Crybwylla ysgrifenydd arall am Dderwen—y Bendefiges Dderwen, neu y *Lady Oak*, y gelwid hi—corph yr hon oedd ddeugain troedfedd o hŷd, ac yn *ysgwario* pum troedfedd trwy y cwbl, ac yn cynnwys ugain tunell o ddefnydd-goed. Y Dderwen fwyaf fawryddig a gafwyd erioed yn Lloegr a gloddiwyd allan o gors *Hatfield*. Yr oedd corph hon yn ugain a chant o droedfeddi o hŷd, ei thryfesur *(diameter)* yn ddeuddeg troedfedd yn y bôn, deg yn y canol, a chwech yn y pen blaen, lle y torasid hi. Felly yr oedd hi yn *ysgwario* saith troedfedd o goed o'i bôn am driugain troedfedd, ac yn *ysgwario* pedair dros ei holl hŷd o chwech ugain troedfedd. Yn yr oes hòno ugain punt yn unig a gynnygiwyd am y pren defnyddfawr hwn. Pa faint a dalai, medd coed-werthwyr, yn yr oes hon? Rhagorai hwn yn fawr ar bren *Larch*, yr hwn a gadwai y Rhufeiniaid gynt dros hir amser o herwydd ei hynod faintioli. Yr oedd hwn yn chwech ugain troedfedd o hŷd, eithr ei dryfesur oedd ddwy droedfedd yn unig trwy yr holl hŷd hwnw; eito yn ddiau pren mawryddig iawn oedd hwn hefyd.

Anghymmwys fyddai yma adael heibio yn ddibarch "Freninbren y Ganllwyd," neu "Y pren teg o'r Ganllwyd," y'Meirion. Ynghylch tair troedfedd uwch wyneb y tir yr oedd hi yn chwech troedfedd ar hugain o'i hamgylch; uchder y bôn hyd at y fforch oedd pymtheg troedfedd; o dair o'i changhenau y gwnaed tair paladr melin. Hi a werthwyd ynghylch y flwyddyn 1730, am driugain punt.

Dywed Eusebius, hen Dad eglwysig, fod yn amser Cystenyn Fawr Dderwen hybarch, yr hon a ddangosid yn ngwastadedd Mamre megis y pren yr eisteddai Abraham dano y'ngwres y dydd. Telid mawr barch iddo gan breswylyddion y fro hòno. Os gwir y traddodiad, rhaid oedd i'r pren hwn fod yn fwy na dwy fil o flynyddoedd oed.

Bod Derw yn dra hir-oesawl a ellir ei brofi oddiwrth ddau o bethau yn hanes Owain Glyndwfrdwy. Pan guddiwyd corph Hywel Sele yn nerwen Nannau, yr oedd y pren yn geuol, ac felly yn oedranus iawn

yr amser hwnw; etto er fod ei febyd wedi myned heibio er ys blynyddoedd lawer, parhaodd y Dderwen hon yn fyw hyd y ganrif bresennol, sef oddeutu pum cant o flynyddoedd *wedi hyny*. Gellir casglu fod Derwen *Shelton*, gerllaw yr Amwythig, yn uchel hynod yn nyddiau Owain, pan y dewisodd hi i'w dringo fel y gwelai frwydr Amwythig: etto er i'r pren hybarch hwn gael llawer o gam-driniaeth, ac i'w geule fod dros hir amser yn *aelwyd* lle y cynneuai *Sipsiwn*, a chrwydrwyr ereill, dân ynddo, y mae efe etto yn fyw, ac yn parhâu i ddwyn mês blynyddol.

Y Derw cyntaf a sonir am danynt *wrth eu henw pennodol* yn y Bibl yw, dwy yn agos i Bethel, yn hanes Jacob. Gwel *Genesis* xxxv. 4,—8. LLOFFWR.

---

## LLYTHYR SIONYN DDIOFAL.

AT yr hybarchus Lywydd, a holl foneddigaidd aelodau Cymdeithas y Lloerigion sydd yn ymgyfarfod dan arwydd y Llew Coch yn nhref ——, llawenydd a digrifwch a amlhaer i chwi oll.

Meddyliais lawer gwaith am ysgrifenu atoch cyn hyn, ond rhyw fodd fe'm lluddiwyd hyd yn bresennol; a'r peth mwyaf a'm rhwystrodd oedd ofn, am nad oeddwn ond plentyn yr amser a aeth heibio; a hawdd yw codi ofn ar blant wrth sôn am fwgan, bolol, ac ysbryd, &c. felly finnau oeddwn wedi fy nychrynu o herwydd fod y gwr Benjaminaidd hwnw yn fyw, ac yn rhodio 'r wlad y pryd hyny, neu fel y galwai rhai ef Gwyliedydd. Hwn oedd barod gyd â'i gleddyf llaw-chwithig, a'i bicell lem, ac a fedrai daflu careg at y blewyn; a chyd â'r arfau angeuol hyn yr oedd yn bwriadu gwneuthur dinystr ar bob llawenydd oddi ar y ddaear. Yn wir, Mr. Llywydd, mae 'n gof genyf pa mor atgas fu 'r gwr hwn yn ei amser tu ag at ein Cymdeithas odidog ni, a'r fath driniaeth ac ammharch a gafodd fy nhaid (Dafydd Benrhydd) ganddo, a'r fath ofyniadau diwerth a roddodd ef i'r hen wr difalais am ei lawenydd; yn sicr, Mr. Llywydd, pe buaswn i wedi tyfu i fynu i oedran gwr, myfi a roddaswn ateb iddo yn ei ddwrn, neu ynte rhoddaswn her iddo i ddyfod i'r maes gyd â'r dyrnau moelion i ymryson am y goreu, fel y bydd yn digwydd weithiau yn ein cymdeithas ni. Ond yr awr hon ymgysurwn: Aha, wele 'r gwr oedd yn arswyd i bob hyfrydwch, yn elyn i bob llawengrechwen, ac yn rhwystr i bob digrif-wasanaeth, ac oedd hefyd â'i wg at bob cyfeddach a meddwdod; yn awr y mae ei lais wedi dystewi, ei gleddyf wedi rhydu yn y wain er ys rhagor i chwe mis bellach, a'i gorph yn gelain oer, wedi trengu o newyn a syched, a hyny o wall ymgeledd gan ei ddinasyddion ei hun.

Barchedig Lywydd, daeth i'm cof am arwydd-air ein Cymdeithas, sef, "Einioes fer a diddan;" ac nid oedd gair mwy addas, yn fy nhyb i, i'w osod ger bron dynion diragfarn, oblegid na chafodd y Gwyliedydd gorchestol hwnw, er ei orchestion, ond einioes fer, a hòno yn einioes fer anniddan, er cymmaint y swn a'r dadwrdd fu gan ei ddinasyddion am dano, ac a addawsant gynnorthwyon iddo yn ei adfyd; mae 'n debyg i ryw beth ddifwyno eu serch tu ag ato, ac yna nid oedd efe deilwng i gasglu briwsion oddiar eu byrddau mwy. Y mae 'n gof genyf am un gwr boneddig, D——l Dd- G-r-d-g-n gynt, yr hwn a aeth i'w wely i roddi cwsg i'w awen heb roddi i'r Gwyliwr ei swpper (ond a addawodd iddo foreu-fwyd da dranoeth) ac a gysgodd, ac a drengodd yn ei gwsg, megys y Gwyliedydd ei hun. Y diod-gellau penaf o ba rai yr

yfai ac y disychedai efe ei hun, oeddynt ddyfroedd peraidd Tegid, Geirionydd, a'r Ffynon Ddu, y rhai ydynt yn awr wedi myned yn ddihyspydd oll. Tegid a drosglwyddwyd drwy ryw gamlas i'r Issis fawr yn Lloegr, ac yna nid oedd dafn o hono i'w gael i loni Gwyliedydd Cymru. Yr un modd y darfu am lyn Geirionydd yntau; canys daeth llwydrew trwm arno, a phan dywynodd yr haul arno, esgynodd megys tarth o hono, ac a ymwasgarodd hyd wastadedd Caerlleon, ac ni ellir casglu dau ddeigryn at eu gilydd o hono ef mwy. Ac am y Ffynon Ddu y dywedir, pan oedd yr hin yn boeth yn nechreu 'r haf diweddaf, yr hyn o ddwfr a darddai allan o honi (fel llawer o ffynonydd ar amser haf) a lyngcwyd i mewn i agenau yn y ddaear, ac nid yw mwy yn rhedeg fel arferol, eithr yn hytrach ymgyssylltodd â Gwenfrewi, ac felly y darfu cysuron y Gwyliedydd oddiar y ddaear, ac yntau ei hun a gymmerwyd yn glaf o'r darfodedigaeth, a thua diwedd mis Mehefin diweddaf efe a anadlodd yr anadl olaf o'i fywyd, ac a drengodd, ac a ddychwelodd i lwch angof, ac ni chyfyd dros oesoedd tragywyddoldeb.

Beth dybygwch chwi, Mr. Llywydd, onid oedd y gwr hwn (yn ei amser) yn ffol am roddi ei serch ar bethau mor ddarfodedig ag a enwyd uchod, ac na buasai yn hytrach yn hoffi danteithion melus ein Cymdeithas ni, sef bragod a gwirod y Llew Coch, neu ryw le cyffelyb? Diau y buasai yn fwy ei barch a'i gymmeriad, yn fwy ardderchog yn ei fywyd, a mwy o alar ar ol ei farwolaeth. Yn wir, Mr. Llywydd, dysgwyliais lawer i Syllydd ab Gomer, R. D. N-ntgl-n, neu rai o'i feirdd anwylaf, ganu Marwnad ragorol iddo cyn hyn; ond y mae 'n debyg nad oedd y gwyr hyny, er cymmaint eu zel ato yn ei fywyd, ond gwenieithio iddo yn ei wyneb, a phan y darfu am dano, yna chwerthin am ei ben.

Yn awr, Mr. Llywydd, gall yr ardderchog Gymdeithas, a ninnau, godi ein penau, er ein bod yn hir yn ddystaw; a gallwn lawenhau, am nad oes debygolrwydd i neb gyfodi a chymmeryd ei swydd ef: gall dewiniaid, brudwyr, a chonsurwyr, ddyfod i'r maes etto yn ddiofn, am fod asgwrn cefn Eurgain Callestr wedi torri; gall uffern a Satan etto ymhyfhâu ac ymffrostio, o herwydd bod terfynau eu teyrnasoedd wedi eu helaethu i'r un graddau ag oeddynt o'r blaen, os nad mwy.

Bellach, rhag chwyddo fy llythyr, yr wyf yn myned i roi heibio fy ysgrifell; ond dymunaf ar eich hynawsedd roddi ger gwydd y Gymdeithas, fod gwerth hanner penadur o fragod i gael ei roddi yn wobr i'r Bardd a gyfansoddo y gân ragoraf a'r ddiddanaf ar yr achlysur uchod erbyn noswaith ein cylchwyl nesaf, yr hyn a fydd, fel y gwyddoch chwi Syr, ar Ddydd Gwyl St. Thomas; ac yn wir nid oes yr un noswaith yn fwy addas o fewn terfynau blwyddyn i gynnal y fath gyfarfod, oblegid bod ein hymdriniaethau mor helaeth, ein cyfeillion mor lliosog, a'n llawenydd a'n digrifwch mor bleserus, a llawer yn chwennych ymuno â ni o'r rhai diddanaf yn y wlad hon; ac os bydd rhyw beth o'n matterion heb eu cwblhâu y noswaith a enwyd, nid rhaid ond aros ychydig o oriau megys i orphwys, ac yna daw nos arall yn agos cyhyd a'r gyntaf, ac un arall wedi hyny, hyd at y Nadolig, os bydd yr arian yn para yn y gôd, felly gallwn orphen ein cylchwyl yn drwyadl.——Ydwyf, eich diffuant ewyllysiwr da, ac aelod ffyddlon o'ch Cymdeithas ragorol,

SIONYN DDIOFAL.

PENTRE'R PLISGR, }
*Dydd Calan*, 1830. }

## ANGHYMMEDROLDEB.

*Siamplau o Farwolaethau echryslon o herwydd dilyn yfed Gwirodau allan o'r 2 Gyfrol o'r "Cabinet Cyclopedia," tan olygiad y Parch. D. Lardner, LL. D.*

Mary Clues, deg a deugain oed, oedd wedi ymroddi i feddwdod. Yr oedd ei thueddiad cymmaint i hyn, fel nad oedd bron ddiwrnod mewn blwyddyn, yn yr hwn na yfai hanner peint o *rum*, neu ddwfr had anis. Fe wanychodd ei hiechyd yn raddol; cafodd ei chymmeryd gan y clwyf melyn, a'i dwyn i'w gwely; ond parhâodd i ddilyn ei hen arfer o yfed. Syrthiodd ar y llawr un boreu, a methodd gyfodi gan wendid, lle y gorweddodd hyd nes daeth rhyw un i mewn a'i rhoddi yn ei gwely. Ewyllysiodd dreulio y nos ganlynol ei hunan. Darfu i ddynes wrth ymadael roddi glo ar y tân, a chanwyll ar y gadair wrth ben y gwely. Gwelwyd mŵg oddeutu pump o'r gloch y boreu dranoeth yn dyfod allan trwy y ffenestr, ac wedi tori y drws, diffoddwyd y fflamau tân ag oedd yn yr ystafell yn fuan. Rhwng y gwely a'r simdde cafwyd y rhan farwol o Clues anffodus. Yr oedd un goes a morddwyd yn gyfan; ond nid oedd dim yn aros o'r croen, y gewynau, na'r ymysgaroedd. Esgyrn y pen, y ddwyfron, y cefn, a'r rhanau uchaf oeddynt wedi llosgi yn ulw. Ni wnawd fawr o niweid i'r dodrefn, ond yn unig yr ochr agosaf i'r simdde o'r gwely a losgodd ychydig ar y pren; ond yr oedd y plu, y dillad, &c. yn ddiogel; nid oedd ôl tân ond ar y corph yn unig.

---

Grace Pitt, oddeutu triugain oed, a arferai ddyfod i lawr o'i hystafell wedi hanner wisgo i fygu ei phibell. Deuodd un noswaith i lawr fel arferol, ac ni chanfyddodd ei merch, yr hon oedd yn cydorwedd â hi, ei habsennoldeb hyd y boreu, pan y daeth i lawr i'r gegin, ac y cafodd ei mam yn estynedig ar ei hochr ddehau, a'i phen yn ymyl yr alch, ac yn ymddangos yn debyg i ddernyn o bren wedi llosgi gan dân, heb yr un fflam yn ymddangos. Fe ddarfu i'r arogl drewedig a'r mŵg, yr hwn oedd yn cyfodi o'r corph, bron fygu rhai o'r cymmydogion a ddaeth i gynnorthwyo yr eneth. Yr oedd y corph mewn mesur mawr wedi ei orlosgi, ac yn tebygu i bentwr o lô wedi taenu lludw gwyn drosto. Yr oedd y ddynes hon wedi yfed cyfran helaeth o wirodau poethion (*spirituous liquors*). Nid oedd dim tân yn yr alch, a'r ganwyll wedi llosgi allan yn y canhwyllbren gerllaw iddi. Heblaw hyn, fe gafwyd yn ymyl y corph ddillad plentyn a chysgodlen bapur heb unrhyw niweid arnynt. Gwisg y ddynes hon oedd hûg gotwm.

---

Le Cat a adroddodd siampl arall a ddamweinodd yn 1749. Madame de Boiseon, 80 mlwydd oed. Nid oedd hon wedi yfed dim ond gwirodau (*spirits*) am lawer o flynyddoedd. Yr oedd yn eistedd yn ei chadair freichiau o flaen y tân, tra yr aeth ei gweinidoges allan o'r ystafell am ychydig o fynydau: ar ei dychweliad canfyddodd ei meistres ar dân, ac yn union-gyrchol llefodd am gynnorthwy, a rhyw rai a ddaeth ati, ac un o honynt a ymdrechodd i ddiffoddi y tân â'i law; ond yr oedd y fflamau yn cydio ynddi fel pe buasai wedi ei throchi mewn *brandi*. Taflwyd dwfr arni yn helaeth, er hyny yr oedd y tân yn ymddangos yn fwy echryslon, ac ni ddiffoddwyd ef hyd nes y treuliodd yr holl gnawd. Yr oedd ei hysgerbwd yn hollol ddu, ac yn aros ynghyd ar y gadair, yr hon ni ddarfu ond poethi yn unig.

Y llosgiad hwn sydd agos bob amser yn gyffredinol, ond weithiau y mae yn hannerog; y traed, y

dwylaw, a choryn y pen, a adawir. Er fod yn angenrheidiol am lawer o goed i losgi corph, y mae y cyfryw a hyn yn llosgi heb ennynu y pethau parotaf i gyneu. Y mae yn ymddangos nad oes angenrheidrwydd am awel; ac fe welwyd fod dwfr yn fwy er ei ennynu na'i ddiffoddi. Ar ol i'r fflamau ddarfod, y mae 'r llosgfa yn parhâu o fewn y corph.

*Cyf.* IOAN TUDWY.

---

CYNGOR AMSEROL I'R RHAI YDYNT YN CADW TAFARN-DAI.

Y MAE Gair Duw yn eglur yn gorchymyn i ni beidio a bod yn "gyfranogion o bechodau rhai ereill;" 1 *Tim.* 5. 22. ac y mae 'n datgan gwae drom yn erbyn y cyfryw yn benodol ag ydynt mewn rhyw fodd yn effeithiol i feddwi eu cymmydog, gan ddywedyd, "Gwae a roddo ddiod i'w gymmydog; yr hwn wyt yn rhoddi iddo dy gostrel, ac yn ei feddwi." *Hab.* 2. 15. Gan eich bod yn gwerthu diod, yr ydych yn y perygl o adael i rai yfed i ormodedd yn eich tŷau; ond hyn a ellwch ei rwystro trwy nacâu yn bendant roddi iddynt fwy nag a ddigona er cynnaliaeth cymmedrol; a hyn a *ddylech* ei wneuthur os oes genych y gofal lleiaf am eu heneidiau *hwynt*, neu yr eiddoch eich hunain. Ond os ydych yn gofalu mwy am ennill ychydig fudr elw nag am gyfreithiau Duw, ac iechydwriaeth eich cyd-greaduriaid, gwybyddwch eich bod yn atebol i Farnwr yr holl ddaear am y canlyniadau.

Na feddyliwch eich bod, mewn un gradd, yn lleihâu anfadrwydd eich ymddygiad wrth ddywedyd eu bod yn eich blino chwi am ddiod. A dderbyniem ni y cyfryw esgus gan feddyg, yr hwn a fyddai mor ynfyd, ac awchus i elw, a gwerthu *gwir wenwyn* i'w gymmydog? Y mae diod, pan gymmerir gormodedd o honi, yn wenwyn sicr, er ei fod yn anghyflym; ac weithiau, y mae 'n gweithio mor gyflym a dogn o eurlliw (*arsenic*). Y mae 'n gwenwyno y corph iachusaf a chryfaf—y mae 'n gwenwyno y synwyrau, yn gymmaint ag i droi y creadur rhesymol i un afresymol—ac y mae 'n cyfranu ei effaith gwenwynllyd i'r enaid anfarwol. Ac a oddefwch chwi i'ch cyd-greaduriaid ddinystrio eu hunain fel hyn trwy anghymmedroldeb yn eich tŷau? a hyny er gwaethaf cyfreithiau Duw a dyn. I ba le yr aeth cariad? I ba le yr aeth dynoliaeth cyffredin?

Ystyriwch ym mhellach, tra y byddo eich cymmydogion meddwon yn cyfeddach wrth eich byrddau, ac yn llenwi y tŷ â llŵon echryslawn, ac â "chaniadau y meddwyn," efallai fod eu plant tlodion gartref yn dir nadu am dammaid o fara, tra bo yn rhoddi blinder chwerw i'r wraig helbulus wrth feddwl eich bod chwi yn llogellu ennilliadau llafurus yr wythnos aeth heibio, â pha rai y gallasai hi ddiwallu angen ei phlant sydd ym mron llewygu! A'r fath olwg anhylon sydd ar y truan meddw pan elo adref at ei deulu? Efe a ddaethai i'ch tŷ yn greadur rhesymol; yr ydych chwi yn ei yru adref yn ymddifad o'i *reswm* a'i *arian*. Neu os na fu i'ch diod ei gwbl hurtio i anifail, fe allai ei fod wedi ei wneuthur yn wallgof, a'i yru adref at deulu tlawd, yn ymgynddeiriogi, ac yn cablu fel diawl mewn cnawd; yn barod i ddial y niweid lleiaf hyd angeu, ac yn aeddfed i weithredu pob echryslonedd arall sydd yn perthyn i feddwdod. Fel hyn y mae diod a yfwyd i ormodedd lawer gwaith wedi "peri i ddyn fyned mewn gwisg garpiog;" wedi dwyn ei deulu i ddinystr, ac ef ei hun i waradwydd; wedi achosi llofruddiaeth, wedi arwain i'r crogbren, ac yn y diwedd i uffern ei hunan!

Ai ni roddwch y pethau hyn at eich calon, chwychwi sydd yn cadw tafarndai? A yw yn beth ysgafn genych fod yn offerynol i dori i fynu deulu eich cymmydog, ac yn cynnorthwyo i ddinystrio ei *gorph* a'i *enaid* hefyd? Fe allai eich bod chwi yn barod i geisio amddiffyn eich ymddygiad â llawer o esgusodion, ond ni dderbyn y Duw byw yr un o honynt oddiar eich dwylaw; canys, er y bydd y meddwyn ei hun yn anesgusodol, y mae 'n sicr, gan mai chwi a'i gwnaethoch yn feddw, trwy roddi iddo fwy o ddiod nag oedd eich cydwybod yn dywedyd wrthych oedd yn angenrheidiol, y mae 'n sicr, meddaf, y bydd i'w feddwdod ef, ynghyd â'r holl ddrygau sydd yn ei ddilyn, gael ei osod wrth eich drws: ac os goddefwch y fath ormodedd ar ddydd yr Arglwydd (yr hyn sy ry gyffredin yn y dyddiau hyn, ysywaeth!) yr ydych yn chwanegi pechod at bechod, ac yn gwneuthur eich euogrwydd yn ddau-ddyblyg.

T.

---

## Y GERDDI DWYREINIOL.

**Esa. i. 30.**

**"Canys byddwch fel derwen â'i dail yn syrthio, ac fel gardd heb ddwfr iddi."**

Mae 'r fath angenrheidrwydd o ddyfrhâd parhâus er amaethiad, ac hefyd er cadwraeth gerddi, yn ngwledydd poethion y dwyrain, fel y llosgir pob peth, ac y difethir yn hollol, pe'i gadewid heb ddwfr ond am ychydig ddiwrnodau. Nid oes, gan hyny, yr un ardd yn y gwledydd hyny heb fod ganddynt ryw faint o ddwfr i'w diwallu, naill ai o afon gyfagos, neu o ddyfrgist a grynhowyd i'r dyben hyny o ffynnonau, neu a lanwyd â dwfr gwlaw yn y tymhor gwlawog, digon i roddi darpariaeth helaeth dros y flwyddyn. Gwedi i Moses ddarlunio preswylfod dyn newydd ei greu fel gardd, dywed ym mhellach, ei diwallu yn helaeth â dwfr—"Ac afon a aeth allan o Eden, i ddyfrhâu yr ardd." Ond er mwyn i ni gael eglurhâd ar y peth, darllenwn hanes meithriniad gerddi dwyreiniol.

Dywed Maundrell, fod Damascus wedi ei hamgylchu â gerddi, yn cyrhaedd o leiaf, fel y cyfrifir yn gyffredin, oddeutu deng milltir ar hugain o gwmpas, yr hyn sydd yn peri iddi edrych fel coedwig anferthol. Mynych blenir y gerddi âg aeron-goed o bob rhyw, a gedwir yn fywiog ac yn wyrdd, trwy ddwfr y Barrady (*Chrysorrhoas* yr henafiaid) pa un a ddyfrhâ 'r gerddi a'r ddinas yn helaeth iawn. Rhenir yr afon yma, cyn gynted ag y tardd o agen y mynydd i'r gwastadedd, yn dair caingc; yr un ganol, a'r fwyaf o honynt, a red yn union-gyrchol i Damascus, ac a ddosparthir i holl ddyfrgistiau a ffynnonau y ddinas. Arweinir y ddwy arall, y rhai ydynt o waith dwylaw, un ar y llaw ddehau, a'r llall ar yr aswy, hyd ymylau y gerddi, i ba rai y llifant yn ffrydiau bychain, ac felly gwasgarir hwynt dros yr holl goedwig. Yn gymmaint ag nad oes yr un o'r gerddi heb ffrwd fuan yn rhedeg trwyddi, yfir y Barrady agos i fynu gan y ddinas a'r gerddi. Tystia Strabo a Pliny mai felly yr oedd yn yr amseroedd gynt; a rhai a haerant fod yr afon wedi ei rhanu mewn dyfr-ffosydd, a'i hysbyddu yn hollol, trwy ddyfrhâu y lle.

Yr eur-berllan, medd yr un awdwr, yw y golwg harddaf a'r teilyngaf i'w gofio o holl balas yr Emir o Beroot. Y mae yn cynnwys darn maith o dir pedwar-onglog, wedi ei ddosbarthu yn un ysgwâr ar bymtheg o rai llai, pedwar yn y rhes, â rhodfëydd rhyngddynt. Cysgodir y rhodfëydd âg eur-goed mawr. Ymylir pob un o'r un ysgwâr ar bymtheg, yn yr ardd, â cherig; ac yn y gwaith maen y llunir cafnau yn gywrain, i'r dyben

o drosglwyddo y dwfr dros yr holl ardd, gan fod adwy fechan wedi ei naddu wrth bob coeden i'r dwfr redeg allan a'i dyfrhâu. Rhoddir i ni yma eglurhâd ar "afonydd dyfroedd," neu, yn hytrach, fel y mae yr ymadrodd yn arwyddocâu, "rhaniadau y dyfroedd," y sonir am danynt yn y Salm gyntaf; ac hefyd arwyddocâd neillduol o *Diar.* 21. 1. "Fel afonydd o ddwfr y mae calon y brenin yn llaw yr Arglwydd: efe a'i try hi lle y myno."

Ab Thomas.

---

## GRAS BWYD.

Wyliedydd Hybarch—A oes neb a fedr egluro i mi yr achos paham y mae cynnifer o bobl dda yn arfer dull anysgrythyrol, yn gystal a gwrthysgrythyrol wrth ddywedyd yr hyn a elwir yn gyffredin Gras Bwyd? Er, fe allai, y meddwl llawer hyn yn beth ysgafn, etto fe ddylid cofio bod pethau bychain yn arwain i bethau mawrion; ac yn wir, fe allai, na ddylem alw un weithred yn ysgafn, yn yr hon yr ydym yn ymwneud â Duw. Pan y byddom yn gofyn bendith gan Dduw ar ein bwyd, ac yn diolch iddo am dano, diau y dylem wneuthur hyny yn ol ei orchymyn ef a'i reol, os yw wedi rhoddi hyn i ni. Yn awr, a oes awdurdod genym ni i ofyn gan Dduw un drugaredd nac i ddiolch iddo ond yn enw ein Harglwydd Iesu Grist? Ai nid fel hyn y dywed yr ysgrythyr—"A pha beth bynag a wneloch, ar air neu ar weithred, gwnewch bob peth yn enw yr Arglwydd Iesu, gan ddiolch i Dduw a'r Tad trwyddo ef." *Col.* 3. 17. "Gan ddiolch yn wastad i Dduw a'r Tad am bob peth, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist." *Eph.* 5. 20. "Trwyddo ef gan hyny yr offrymwn aberth moliant yn wastadol i Dduw." &c. *Heb.* 13. 15. "A chwithau, megys meini bywiol, ydych wedi eich adeiladu yn dŷ ysbrydol, yn offeiriadaeth sanctaidd, i offrymu aberthau ysbrydol, cymmeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist." 1 *Pedr* 2. 5. Ac fel hyn y dywed yr apostol am dano ei hun, "Yr wyf yn diolch i'm Duw trwy Iesu Grist." *Rhuf.* 1. 8.

Yn awr, os na wna 'r ymadroddion uchod ddilëu y dull Anghristionogaidd y cyfeirir ato yn y llythyr hwn o blith Cristionogion, ni's gwn i pa beth a wna hyny? Nid ydym i ddysgwyl rhodd oddiwrth Dduw, nac i offrymu aberthau iddo, ond yn enw a thrwy y Cyfryngwr bendigedig Iesu Grist: ac nid yw yr ymadroddion cyffredin a arferir gan lawer wrth gyfarch yr Arglwydd cyn ac ar ol bwyd yn amgen nac ymadroddion Sosinaidd a Deistaidd. Nid oes ynddynt ddim yn archwaethu yn neillduol o Gristionogrwydd—ond cofied pawb mai Crist yw pob peth y Cristion. Dystawaf y tro hwn, gyda geiriau Ficer Llanymddyfri—

"Sonied Milwr am ryfela,
"Sonied Morwr am dda 'r India,
"Sonied Carl am lenwi' gist,
"Sonied Cristion byth am Grist."

Ydwyf, yr eiddoch,
Gogleddwr.

---

## EISTEDDFOD BRYN EGLWYS YN IAL.

Barchedig Wyliedydd—Ni chanfyddir un peth yn fwy anhardd na chreaduriaid wedi eu cyfleu mewn sefyllfaoedd ammhriodol neu ammherthynasol iddynt; mae moch mewn tresi, mulod yn nghrwyn llewod, ac annysgedigion mewn llyfrgelloedd yr un mor wrthun: y mae tlodion beilchion, boneddigion heb synwyr, ac annysgedigion mewn gwisgoedd ysgolheigaidd, yr un mor warthus: ac y mae mor ddyoddefol

gwrando a gweled epäod yn hòniuwchafiaeth, yst'ymod harddwychder, ag ydyw gwrando a gweled clèrfeirdd annysgedig yn esgyn i sefyllfaoedd cadeirfeirdd dysgedig yr oes, i ymwneud â'r hyn na pherthyn iddynt, am nad ydynt yn feddiannol ar y talentau, neu y meddyliau cang-dreiddiawl, ag sy gan syber blant yr Awen, ynghyd â'ch dawnus wybodyddion beirniadawl, y rhai sydd gelfyddgar gyd â'u gwydr-ddrychau treiddgar, er dynodi pethau ag sydd â gwahaniaeth rhyngddynt, a thrwy hyny yn analluog i lanw amrywiol sefyllfaoedd er anrhydedd i feirdd a beirniadaeth, mwy nag ydoedd Meistri Peter Llwyd, Gwnodl, a Thomas Jones, Llansantffraid, i farnu Traethodau ar Athroniaeth yn Eisteddfod Bryn Eglwys yn Ial, ym mis Chwerwoer diweddaf, pryd nad oedd yr un o naddynt yn gwybod dim mwy am yr hon gyfundraeth nag y gŵyr dynion deillion o'u genedigaeth am liwiau; ac ni phetrusaf ddywedyd, nad oedd yr un frawddeg, yn rhagymadrodd y Traethawd buddugawl ar yr "*Enfys*," yn nefnydd yr Enfys, nac ychwaith yn yr amrywiaethau o honynt, mewn un ystyr yn briodol i'r testyn; ond, yn hytrach, yr oedd yr oll o hono mor wrthwynebol i'r cyfryw ag ydyw tywyllwch i oleuni. A chan mai dyma ydyw barn yr ymgeiswyr am y feirniadaeth, ethryb paham, Barchedig Wyliedydd, byddaf ddiolchgar i chwi am roddi lle, yn eich anrhydeddus gyfrwng, i'r gwialenodau uchod, mal y byddo i'r barnwyr a'r cyfansoddwyr gael cyfiawnder o barthed y ddedfryd sydd yn cael ei rhoddi arnynt o'r cyfamser hyd yn bresennol; ac os ceir hwy yn euog o'r cyfryw gyflafan na bo iddynt mwyach gael esgyn i gadeiriau beirniadyddol Cymru; os amgen, byddant yn fwy o warth, dirmyg, a diannrhydedd i'r Eisteddfodau Cymreig nag y bu yr un o hiliogaeth Hengist yn ei ddyddiau goreu erioed. ——Ydwyf, Barchedig Wyliedydd, eich serchog ewyllysiwr da,

WILLIAM JONES.

*O. S.* Yr hyn a rydd foddlonrwydd i'r ymgeiswyr aflwyddianus ydyw cael gweled y Traethawd buddugawl yn y Gwyliedydd, ynghyd âg eiddo *Amicus;* yn gymmaint a bod yr unrhyw yn benderfynol yn ei farn mae y mwyaf salw o'r pedwar Traethawd a anfonwyd i'r ymrysonfa, ydyw yr un a farnwyd yn fuddugawl; ac na bydd iddo gyfnewid ei farn o barthed iddynt, hyd nes y byddo i chwi, Mr. Gwyliedydd hynaws, neu ryw un o'ch Beirniadyddion Parchedig, roddi eich barn o barthed iddynt, ac yna bydd, yn ddiammeuol ganddo, yr unrhyw yn ol cyfiawnder.

---

## CANGEN-IEITHOEDD CHINA.

MEWN ymerodraeth mor eang ag ydyw China, yr hon y mae pob un o'i thaleithiau gymmaint a theyrnas gyffredin, mae yn beth i'w ddysgwyl fod i'r iaith, er nad yw ond un mewn sylwedd, lawer o ddulliau llefaredigol. Yn un parth o'r ymerodraeth, y mae tair cangen-iaith yn cael eu llefaru yn gyffredinol iawn, sef cangen Mandarin, cangen Canton, a changen Fokien. Un Mandarin yw yr hon a lefarir yn y llys, gan swyddogion y llywodraeth, a'r dysgedigion yn gyffredinol drwy yr ymerodraeth. Arferir hon hefyd gan bobl Peking, Nanking, Tszeechuen, a rhai taleithiau ereill. Mae i hon ynddi ei hun wahanol amrywiaethau hefyd. Y mae y trigolion Tartaraidd wedi dwyn i mewn ddull priodol i'w cenedl hwy o lefaru y Chinaeg. Maent yn rhoddi swn meddal *ch* Seis'nig i'r llythyr *k*, ac felly yn peri i'r gair Peking swnio megys pe y'i

hysgrifenid *Peiching*, neu *Peitsing*. Mae hefyd ryw lediaith goegfalch yn cael ei harferyd gan drigolion y brif-ddinas, yr hon hefyd a ddynwaredir gan holl foes-geiswyr yr ymerodraeth. Cangeniaith Fokien a lefarir gan drigolion talaeth Fokien, a chan y rhan fwyaf o'r Chineaid a breswyliant yn Java a chyfyng-barthau Malacca: hon sydd dra hynod yn ei dull. Y rhai a arferant y gangen-iaith yma a swniant y llythyrenau yn wahanol i dafodiaith Mandarin, ac hefyd a ddefnyddiant liaws o eiriau a brawddegau anarferedig mewn parthau ereill. Mae Mr. Medhurs, gwr dysgedig o Loegr, ac yn medru y Chinaeg yn dda, wedi ysgrifenu Geirlyfr o'r gangeniaith hon, yr hwn waith a arfaethai Syr Stamford Raffles fynu ei argraffu yn Singapore; ond ei farwolaeth a luddiodd yr amcan. Mae cangeniaith Canton yn gwahaniaethu oddiwrth un Mandarin yn swniad llythyrenau a geiriau. Y mae hefyd rai ymadroddion yn cael eu harferyd mewn rhai parthau yn fwy na'u gilydd; ond y mae cangeniaith Canton yn nes at rediad cyffredinol iaith yr ymerodraeth nag ydyw un Fokien. A chan mai â thalaeth Canton y mae cenedloedd Ewrop yn dwyn y'mlaen eu masnach Chineaidd gan mwyaf, mae yn rhesymol casglu mai â changeniaith y dalaeth hòno y maent yn fwyaf cydnabyddus. LLEON GOR.

---

EFFAITH RHEW AR DDWFR.

EFFAITH cyffredin rhew ar unrhyw sylwedd yw, ei fod yn gwneuthur y sylwedd hwnw yn fwy pwysig. Ond nid felly y mae dwfr; y mae hwn yn chwyddo wedi rhewi, ac yn myned yn ysgafnach, trwy amgylchu ynddo, neu gau i mewn, ryw faint o awyr. Dyma yr achos paham y mae iâ yn nofio ar y dwfr. Peth bychan yw hyn; ond, dalier sylw, heb hyn nad allai parthau eang o ogledd-diroedd y byd ddarparu cynnaliaeth i ddyn ac anifail. Pe buasai iâ yn soddi i lawr yn eu dyfroedd, fe fuasai gwyneb pob dwfr yn olynol yn soddi i'r gwaelod, a gwyneb newydd yn rhewi, yn disgyn fel y llall, yn ymlynu wrth eu gilydd, yn caledu, hyd na buasai dwfr mwy i'r trigolion, ac y buasai yr iâ cyn dewed a chaleted, fel na's gallasai gwres eu haf hwynt ei doddi. Buasai cymmaint o rew yn oeri yr holl fro oddi amgylch, ac yn deifio, trwy wyntoedd annhirion yn chwythu trosto, holl ffrwythau y tir a phob gwyrddlesni.

---

MR. GWYLIEDYDD—Diolchaf i chwi, pan gyfarfyddwn, os rhoddwch le yn eich Cylchgrawn nesaf, i'r Gofyniadau Seisnig canlynol. Perthynant yn unig i'r cyfryw rai a ddeallant yr iaith hòno, am hyny, nid oes eu heisieu yn iaith gynnwysfawr y Cymry.—Ydwyf, &c.

RHYW UN.

BRYN Y GWYLIO, Gorph. 1830.

1. Has a bishop the power of prohibiting any of the clergy of his own diocese from admitting into their pulpits, or any of the clergy, not belonging to his diocese, from entering any pulpit in his diocese, or from preaching in favour of the objects of any society or charitable institution? Can a clergyman, so coming from another diocese, be compelled to produce a licence to preach? and, what is the penalty, if any, on disobedience to any order of the bishop in either of the cases now supposed?

2. Has the bishop the power of forbidding a collection to be made (after a sermon preached) in or at the doors of any church or chapel within his diocese, in behalf of any society or charitable institution, whether conducted by members of the Church of England exclusively, or otherwise? What is the penalty of disobedience; and under what proceeding?

3. Has a bishop the right of preventing a clergyman in his diocese from opening his church on any day in the week, for the purpose of Divine service; and for a sermon followed by a collection, as aforesaid?

# BARDDONIAETH.

---

## LLINELLAU

AR YMWELIAD A'M PENTREF GENEDIGAWL, GWEDI YMADAWIAD DROS YSTOD AMRYW FLYNEDDAU.

"*Spot of my youth!* * * * *
* * * * * * * * * * * * * *
"*Where now alone I muse, who oft have trod,*
"*With those I loved, thy soft and verdant sod;*
"*With those who, scattered far, perchance deplore,*
"*Like me, the happy scenes they knew before;*
"*Oh!* * * * * * * * * * * * *
"*Mine eyes admire, my heart adores thee still.*" BYRON.

---

PRESWYLFA hoff! hawddgaraf bentre 'r lawnt,
Cynfro fy ie'nctid hoffaf gan fy mryd;
Mil henffych it' ar ol ymraniad hir
Oiwrthyt a'th drigolion dedwydd gynt!
Tymhorau aml o beraidd hafan llon
Dreiglasant er pan aethum o dy dud:
Mewn gwlad bellenig rhodiais flwyddi maith,
A llawer cur hiraethus fu i 'mron
O eisieu bod ym mhlith fy ngwladwyr hoff,
A'r rhai y cyd dreuliaswn ddyddiau 'n ol
Mewn difyr foddion, pawb yn un gytun.
Teleidiaf lân y fro, neud ynot ti
Canfyddais gyntaf wawl ysplenydd haul,
Yn euraidd daenu ei belydron gwymp,
Y rhai a lanwent giliau 'r dyffryn cain,
A dygent i lawenydd yr holl wlad.
A thi yw 'r man y ce's feithriniad cu
Gan dyner fam—ond p'le yn awr mae hi!
A rhïan ag a'm hoffai â chyd serch;—
Ond p'le yn awr mae hi?—pa le eill dau?
Nid ar yr aelwyd man y trigent gynt—
O na! nid ydynt mwy o rif y byw!
Ond huno maent o fewn i furiau 'r llàn,
Mewn argel annedd, ac heb faen i'w côf.
Mal prin y gwn yn iawn pa un yw 'r bedd!
O angau creulawn na fuasai it'
Ymollwng dros dy gôf serchocaf ri,
Gan drugarhâu i'w gadael gyd â'r byw;
Ac heb fy amddifadu odd y rhai
A hoffais fwyaf, ac a'm hoffent i:
Ond ofer ydyw gofid im' yn awr;
Ni rydd un gradd o gysur i fy mron;
Ofer f'ai colli dagrau heilltion, llym,
Nes boddi 'ngruddiau llwydion gan y ffrwd,
Neu dristâu 'm henaid âg alaethus gur,
Nis dygid un o'r meirw byth yn ol
O'r dystaw feddrod lle daearwyd hwy.
Tydi a oddiweddaist gyd â'r chwaen
Yr holl ddedwyddwch feddwn yn y byd,
A phob gobeithion am un mwynder byth.
Ymholaf nan am relyw 'm teulu hoff:
Pa le mae fy anwyl chwaer, fy mrodyr cu?
Ai nid oes neb all adrodd hanes im'
O'r tylwyth aml pan oeddwn yn fy nwyf?
A'r rhai y'm cyd feithriniwyd gan ein rhi?
Gwasgarwyd oll o gartref hoff eu tâd,
Ac mal fy hun ar wahan aethant oll!
Am hen—ymorol nid yw wiw i mi,
Eu tai yn unig welaf yma a thraw.
Y neuadd tlws ganfyddir rhwng y coed
Yw 'r man y trigai gynt fy nhaid a nain.
Gerllaw i'r tŷ mae 'r goedwig lle y bum
Yn mynych rodio 'r argel ar fy hynt,
Man gwelwn Anian mewn cyntefig wedd
Mewn lleoedd na theimlasant ddynawl sang!
Ar wawrddydd Gwanwyn teg dyroddwn glust
I wrando mwyn delori adar mân
Mewn cytgerdd yn croesawu 'r hyfryd wawl
O mor nefolaidd eu cynghanedd maws!
Neu destl syllwn ar y gwartheg llon
Yn ymborfâu mewn hedd—y meillion cain,
A'r blodau heirdd, eurddosawg, a di rif,
Yn llwyr orchuddio 'r ddol gan delaid wisg.
Y neuadd teg er maint ei gysur oedd,
Gorfyddwyd iddynt ei ymado 'n llwyr:—
Nid ganddynt hwy preswylir ef yn awr;
Nid hwy sy'n aru hac yn hau y tir,
Ond i amaethiad estron dodid oll!
Fy hynaif hoff yn llawn o oedran hir
A ddisgynasant er ys talm i'r bedd;
Man nas anghenir llafur byth o'u llaw,
A'u lle nid edwyn ddim o honynt mwy.
Pa le mae hwy, fy hen gymdeithion llon,
A'r rhai y treuliwn ran foreuol oes;
A chyrchwn gyd â'r naill i'r ysgol draw,
Neu dygem ryw chwariaeth fwyn ym mlaen;
Nis gwelaf un yn awr, ar wasgar llwyr
I geisio â ffawd mewn rhyw estronawl fro
Yr aethant rai, ac ni chaf gwmni un,
Neud eillion* diserch welaf yn eu lle:
Y fynwent werdd, oddeutu 'r eglwys hardd,
Yw llety oer y lluosocaf rai,
A'u hunig hanes yw eu meini bedd!
Ai dacw furiau 'r ysgol, gwledig ddull,
Lle yn fy nwyf y cyrchwn ddyddiawl rawd,
Er derbyn addysg gan eu hathraw llym?
Wrth dramwy 'r llwybr gwyrdd ar draws y wern,
Yr hwn arweiniai i'r athrofa syml,
Mor aml gan ofn y curai 'nghalon fach,
Rhag wedd yr Athraw pan na chyflawneid
Yr hyn nodweddai er fy nyddiawl dasg!
Ni chlywaf ddim o'r twrdd oedd yno gynt;

---

* *Dyeithriaid.*

Ni welaf un o'm cyd athrofwyr bach
O'i deutu 'n rhodiaw, oll mewn difyr nawd;
Neud prudd ddystawrwydd amgylchyna 'r fan
Lle bu'm cymdeithion oll o ieuangc fron,
Yn dysgu 'u gwersi, neu yn chwaren 'n fwyn;
Y llwybr sydd ar goll gan laswellt ir,
Ac ni thramwyir mwy gan ddynawl sang.
O adgofiadau tymhor hyfryd oes!
Chwi 'm gwnewch yn brudd wrth synio 'r amser gynt,
A'r hoff helyntion fu pan yn fy nwyf,
Ond naa tarfedig yw chwariaethau llon,
A champau fyrdd fy nghyfymdeithion hoff,
A diflanedig weithion yw pob swyn,
A'r difyriadau ynt dros gôf i gyd.
Yr ysgol, adfeiliedig yw ei gwedd,
A'r eiddew gwyrdd yn toi ei muriau hen,
Gan ddull unigawl heb na sŵn na thwrf
Dangosa nad oes iddi ddefnydd mwy.
Mal rhyw fonachlog welir yma a thraw,
Ni cheir ond ol eu harddderchawgrwydd gynt:
Mal pe ar gîl o'r fro y gyrid dysg,
Cyffelyb i Babyddiaeth, annuw gred!
Pa le mae'r Athraw hefyd, oedd â'i ddawn,
A'i rwysg mor eang uwch ei ddeiliaid bach?
Un golwg sarrug ganddo ef mewn ffûg,
Neu rith digllonedd, at ei ufudd lu,
A barai ddychryn trwy yr ysgol oll,
Ac nis angenid mwy i'r ieuaingc dorf,
I erchi i ni droi i'n llyfrau cyrn,
Oiwrth ein dadwrdd croch, a'n chwedlau llon!
Prin iawn adgofir ddim am dano mwy;
A'r ysgol gynt lle llifai ffrwd ei ddysg,
Tarfedig yw ei glod er doethed oedd.
Gerllaw yr annedd tlws gan furiau gwyn
(Pa fan y trigwn ddyddiau llon fy oes,
Cyn i ofalon byd bruddhâu fy mron,
A myn'd o honof o fy nghartref cu,
I grwydro 'n hir mewn anghroesawus wlad)
Mae hen sefyllfa 'r ardd bereiddlawn gynt,
Oedd lawn o flodau heirdd, ac aeron pêr;
Mor hoff oedd genyf ei hamaethu gynt,
Ac ymfalchïwn yn ei blodau cain;
Pob un hi ddygai 'n rhwydd yn ol ei ryw:
Y meillion telaid, cenaid gwanwyn gwyrdd,
Y rhuddgoch freilw, ac y lafant pêr,
A phob blodeuyn siriawl yn y wlad,
Cynnullwn iddi er addurniad maws.
O mor delediw oedd ei dull a'i ffriw,
O dan ddiwylliad hoff fy llafur i
Y gallsid gwneud nid cyffelybiaeth wàn
Cydrhyngddi à gwenydfa Eden gain.
Ond yn y man lle brithai blodau fyrdd,
Ac ymesgorai 'n heirdd flagurau 'r coed
Yn aeron peraidd o eurddosawg wisg,
Weithion ni cheir ond drain ac ysgall gwyllt!
O destun blin ydyw syllu y pryd hwn
Y cyfnewidiad prudd sydd yn y Llan
Oedd mor hyfrydlon genyf ddyddiau 'n ol.
O wrthddrych cyntaf melus gan fy nghôf,
Anwylach wyt nag un man yn y byd;
Ac er i'th fwynder cu, a'th wychder oll,
Ar dyrf ddiflanu mewn anhylon wedd;
Er trigo hefyd weithian flwyddi hir
'Mhlith estron sarrug mewn estronawl fro,
Lle bum heb glywed gair o iaith fy nwyf,
Na chaingc o'r delyn chweg i foddio 'nglust;
Neud yn fy nghôf dros byth y cadwaf di,
Un ai i lòni neu dristau fy mron!
Y cyfryw ydyw ffrost gwladgarawl ddyn,
Ei gartref ydyw 'r lle yr hoffa ef
O flaen un wlad ddewisol is yr haul.
Ei làn gyssefin hoffach ganddo yw
Nac un man pa mor hyfryd bynag fo.
O dacw 'r llyn wrth odreu 'r iraidd wern,
A'r pluawg wyddau ar eu dyfrawl rawd,
Ar hyd y tònau glas mor hardd eu gwedd.
Gwelaf y wlad yr un ag ydoedd gynt;
Ond ni wna 'i harddwch nan fy moddio i.
Yr un mor asur yw y nwyfre deg;
Ac O dirioned ydyw awyr gwlad!
A maws yw ei chelyddon; ac yn wyrdd
Ei gwedd; 'r un hefyd yw pob pren,
Pob bryn a phant, pob dyffryn a phob dol,
Pa rai oedd im' mor gu y dyddiau gynt.
Yr un yw sŵn yr aber yn y wern,
Gan felus dyrddu ar ei diball rèd.
Yr un yw 'r brysur felin yn y nant;
Ond am yr hen felinydd mwy nid yw.
Yr afon yn dolenu ar ei hynt,
Ar làn yr hon y rhodiwn ddyddiau 'n ol,
Gan wrando ar felusder twrdd ei rhed,
Neu ddwys fyfyriaw hwnt o ddynawl drem,
Destynau aml a hoff fy ieuangc fron.
Ni wna 'r adgofion hyn o hawddgar wedd
Y wlad, y llan, a'i hen breswylwyr llon,
Ond annog yn fy mynwes ddueg* trist;
A pheri i'm myfyrdod brysur droi
Ei heorth at yr amser pan y bydd
Yn rhaid i minau ado 'r babell frau,
(A dilyn camrau fy nghyndadau oll)
Gan gefnu ar y byd a'i bethau gwych,
A disgyn yn ddiystyr idd y bedd,
Lle na bydd coffa 'n bod am danaf mwy!
A dysgaf hefyd wel'd mewn eglur wedd,
Mor fyr yw mwynder dynawl yn y byd,
Ac mor oferlawn oll ddedwyddwch dyn,
O ba radd bynag—a gorwaced yw
Ymbwyso ar wrthddrychau brau hwn fyd;
A'm hanog i ymorol "cartref gwell"
O fewn glwys oror y tu hwnt i'r bedd.
O rhodded fy nhrugarawg Ior o'i rad
Gyfnerthiad imi rodio ger ei fron
Mewn gostyngeiddrwydd gwir, gweddiau taer,
Yr un ag euraidd drefn efengyl Duw;

---

* *Melancholy.*

Am fâd gyfryngdod Crist ei unig fab;
Am olchiad o'm mhechodau yn ei waed:
Cael bod yn un o'r glwys nefolaidd gôr,
Yn cathlu mawl yr Oen yn ddidawl byth!
A byw mewn hedd trag'wyddawl—gwyn-
fyd pur,
O swn och'neidiau ing daearawl wae!
GWENFFRWD.

*Dinbych.*

ENGLYNION

*Cofiant am Mr. JOHN THOMAS, mab Mr. LEWIS THOMAS, Llanrwst; ac ŵyr i Mr. JOHN THOMAS, Bardd enwog gynt ym Mhentre'r Foelas; yr hwn a orphenodd ei yrfa Ebrill* 8, 1830.

AETH ymaith IOAN THOMAS;—b'le gyrwyd
Blaguryn mor addas;
Wyr oedd hwn, da gwn di gas,
I eilydd Pentre'r Foelas.

Ei geraint ef oll drwy gariad,—eilwaith
Sy'n wylo 'n ymddifad,
Pa ryfedd in' fod profiad
Loes dôn i LEWIS ei dad.

Pe'i dad o griad ei gol,—ofynai
Ei fwyn fab mynwesol,
O'r fan lle mae'n drigianol,
I Dduw 'n awr, ni ddeuai 'n ol.

Gwelwn fod tristwch a galar—trymaidd,
Am dremynt tra hygar;
Wylodd a duodd daear,
Prudd Och yw priddo ei châr.

O gwmwl du ac aml dôn—erchyllaidd,
Sy'n archolli 'r galon;
I seler aeth is hoelion,
Un o sêr yr ynys hon.

Er gwir grêd bydded heb ball—yn rhybudd
I RHOBERT fwyneiddgall;
Duw ŵyr nad oes brawd arall,
Prudd yw 'r lle 'nol priddo 'r llall.

Astudiwr fu 'r gwr rhagorol,—noethai
Hen ieithoedd rhinweddol;
Barddonai 'n buraidd unol,
Syllwn ni heb sill yn ol.

Cyfieithydd celfydd mwyn call,—un purach
Rhagorach nag arall;
Dywedai pan welai wall,
Rho'i gyngor rhag rhwyg angall.

Er yr ing hyd awr yr angau,—a chur,
Er chwerwed ei boenau;
Bu 'n addfwyn heb un gwyn gau,
Anfynych ei riddfanau.

Er y clai a rhoi cloion,—o'u gafael
Duw gyfyd y meirwon;
Geilw e 'r byd ryw bryd ger bron,
Da alwad i'r duwiolion,

Ein gobaith, Duw sy'n gwybod,—a bery
Yn buraidd heb chwerwdod,
Y cân ef fawl nefawl nod,
I'n Dofydd a'i fwyn dafod.

*Llanrwst.* ABSALOM ROBERTS.

ENGLYN

I GASTELL PENRHYN, WRTH BANGOR.

GOLWG ar ucheldra 'r gwelydd—cedyrn,
Sy'n cydio 'n eu gilydd;
Iawn engraifft i'r Aifft a rydd,
O'i chost oll a'i chastellydd.

*Waunfawr.* O. WILLIAMS.

PENNILLION

*A ganwyd gan Gantorion Eglwys Llangynhafal, pan yn cychwyn Corph* ELLEN, *ail Ferch* ROGER *ac* ELIZABETH WILLIAMS, *o'r Tŷ Newydd, tu â'r Eglwys ddywededig, Awst 21ain,* 1829.

AR Y DON "LUTHER."

YSTYRIWN byth tra byddom byw,
Ar einioes dyn cyn fyred yw!
Wrth wel'd genethig ysgafn droed,
Mewn eigion arch yn ugain oed.

Ei dyddiau megys breuddwyd aeth,
A'i hie'nctyd gwych aeth heddyw 'n gaeth;
'Fewn 'r wythnos llawen oedd ei gwedd,
Ond heddyw 'n fud yn myn'd i fedd.

Ei holl gyfeillion wiwlon wedd,
Na wylwn byth uwch ben ei bedd,
Na gormod galar, rhyfyg yw,
Rhag d'weud mai 'n dost y trefnodd Duw.

T. F.

DYCHYMMYG.

Ystyriais, myfyriais, rhyfeddais yn fawr,
Wrth ganfod *peth hynod* yn bod ar y llawr;
Nid oes ynddo *fywyd* i ymsymud bys llaw;
Na *thafod* i dd'wedyd am ddrygfyd a ddaw:
Er hyny mae'n medru i'n synu hoed siwr,
Rhoi addysg go ryfedd i gyrhaedd pob gwr.
Mae *tri thread* gwych iddo yn llunio pob *lle,*
Y gogledd, y dwyrain, gorllewin, a'r de.
Mynegfys yr *Ieithoedd* i bobloedd y byd,
A *thraigliad helyntion* ein gwrsu i gyd.
Efe sy'n hysbysu, i'n lloni ar y llawr,
Orchestion hen *Caesar a Hannibal fawr:*
Arddengys holl gylchoedd y *bydoedd* uwch
ben;
*Gorseddau brenhinoedd a llysoedd* gwyr llên.
Y'mhalas ein brenin fe'i gwelir mewn bri;
A chan ein hesgobion ar droion di ri'.
Yr isod lyth'renau mewn geiriau teg wedd,
A ddengys ei *enw,* i'n sylw, a'i *sedd.*

*Allwedd i'r Dychymmyg.*

Nurfgddsnswienylypgddywyfenyiryz.

*Llanfyllin.* EVAN OWENS.

# MARWOLAETH SIOR IV.

Cyn y cyrhaeddodd ein Rhifyn diweddaf ddwylaw amrai o'n darllenwyr, clybuwyd y newydd galarus fod ei Fawrhydi y Brenin wedi cael ei ryddhâu oddiwrth ei holl boenau; yr hyn a ddygwyddodd oddeutu chwarter wedi tri o'r gloch boreu ddydd Sadwrn, Mehefin 26ain. Darfu i'r Meddygon anfon yr hysbysiad canlynol at Syr R. Peel yn fuan wedi marwolaeth y Brenin:—

Castell Windsor, *Mehefin* 26, 1830.

"Rhyngodd bodd i'r Hollalluog Dduw gymmeryd ei Fawrhydi y Brenin o'r byd hwn. Bu farw ei Fawrhydi oddeutu chwarter wedi tri o'r gloch heddyw y boreu yn ddi boen.

H. Halford,
M. J. Tierney."

Yr oedd natur wedi gwrthsefyll ymosodiadau yr afiechyd a flinai ei Fawrhydi am gymmaint o amser na allai ddal yn hŵy. Yr oedd gwendid ei Fawrhydi yn cynhyddu yn feunyddiol; a darfu i'r hysbysiadau a gyhoeddwyd gan ei Feddygon, am dridiau neu bedwar cyn ymddatodiad y Brenin, ddarparu ei ddeiliaid i ddysgwyl y byddai ar fyrder derfyn ar deyrnasiad Sior IV. Am 10 o'r gloch Nos Wener ymddangosodd ei Fawrhydi yn gysglyd, arwydd eglur o'r cyfnewidiad hwnw a ymddifadodd y deyrnas o'i Llywodraethwr: ac fel y gallai ei Fawrhydi fwynhâu llonyddwch, ei Feddygon a giliasant i ystafell arall. Ond oddeutu tri o'r gloch boreu dranoeth galwyd hwynt yn ol, a gwelsant yn ebrwydd nad oedd modd achub bywyd ei Fawrhydi. Dywedodd ei Fawrhydi wrth un o honynt, "Angau ydyw hwn;" ac ym mhen ychydig o fynydau efe a drengodd, yn yr 68ain flwyddyn o'i oedran.

Yr oedd Sior IV. yn fab i Sior III. a'r Frenines Charlotte. Ganwyd ef ar y 12fed o Awst, 1762; a pharodd ei enedigaeth lawenydd mawr i'r deyrnas yn gyffredinol. Cafodd ei ddwyn i fynu yn grefyddol gan ei hybarch rieni; a mwynhâodd y manteision goreu er ehangu ei feddwl, a gwybodaeth ddefnyddiol a phriodol i'w sefyllfa oruchel dan yr athrawon enwocaf yn y deyrnas. Yn 1795 priododd Tywysog Cymru y Dywysoges Caroline, yr hon a ymddygodd iddo un plentyn, sef y ddiweddar dduwiol Dywysoges Charlotte. Yn 1811 cafodd Sior III. ei daro â chlefyd a'i hanalluogodd i lywio y wladwriaeth; a dewiswyd Tywysog Cymru i fod yn Rhaglywydd. Yn ystod ei Raglywyddiaeth ennillodd byddinoedd Prydain amrai o fuddugoliaethau ar eu gelynion tramor; a chafodd y Rhaglywydd y dywenydd o ganfod y gormeswr Napoleon wedi ei hylwyr ymlid oddiar orsedd Ffraingc, a'i alltudio o Ewrop; ac o achos hyn, gwelodd holl deyrnasoedd y Cyfandir yn mwynhâu heddwch a'i holl fendithion. Yr oedd y Rhaglywydd bob amser yn sôn am y buddugoliaethau hyn gyd âg ymffrost ac hyfrydwch. Parhâodd yn Rhaglywydd nes y bu farw ei rasusaf Dad, yn 1820, pan y darfu iddo ef esgyn gorsedd ei gyndadau; ac efelly cyflawnodd orchwylion y swydd uchaf yn y wladwriaeth am agos i 20 mlynedd—naw fel Rhaglywydd, a 10 fel Brenin Brydain Fawr.

Hysbys i'r rhan fwyaf o'n darllenwyr ydyw yr amgylchiadau a'r cyfnewidiadau a ddygwyddasant yn y blynyddoedd diweddaf—yr un mwyaf nodedig ydoedd "Rhyddfreiniad y Pabyddion." Gobeithio y bydd i ddysgwyliadau pleidwyr y weithred hon gael eu cyflawni; ond rhaid i ni gyfaddef mai gwell fuasai pe goddefasai Sior IV. i'r Llywodraeth ddisgyn i'w ddilynwr fel y derbyniodd efe hi gan ei hybarch Dad.

Ar ddydd Iau, y 15fed o Orphenaf, rhoddwyd ei gorph i orphwys yn ystafelloedd y bedd yn Nghapel St. Sior, Windsor. Yr oedd y Brenin Gwilym IV, yr holl Freninol Deulu, y Swyddogion, Mawrion y wlad, a'r Esgobion, yn wyddfodawl ar yr achlysur galarus, heblaw llu aneirif o ddeiliaid ei ddiweddar Fawrhydi, a ddymunent weled y teyrnged olaf yn cael ei thalu i Frenin oedd mor barchus a chariadus gan bawb. Nid oes ond ennyd bach er pan y coronwyd ef ym mhlith miloedd o ardderchogion a boneddion; llawer o'r rhai ydynt wedi cyfnewid eu gwisgoedd gwychion am amdo wen: ac efallai yn gorwedd dan y palmant, ar yr hwn y sengent y pryd hyny yn y mwynhâd o iechyd a hyfrydedd. Felly hefyd y mae ein diweddar Fawrhydi yn awr wedi ei alw ymaith—wedi syrthio i gwsg na ddeffry dim mo hono nes clywir sŵn yr Archangel yn seinio trwy y byd, ac yn gwysio holl ddynolryw i sefyll ger bron "Brenin y Breninoedd, ac Arglwydd yr Arglwyddi."

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### CWYMP ALGIERS!!!

Ar yr 28ain o Fehefin cymmerodd y Cadflaenor Ffrengaidd Bourmont, gyd â'i filwyr, sefyllfa o fewn pum milltir i Algiers. Ar y 29ain, dechreuasant warchae arni, ond oedasant danio eu magnelau nes gorphenwyd yr holl fagnelfâoedd, fel y gallent, ar unwaith, dywallt cynnwysiadau dinystriol y magnelau ar y Castell, yr hyn a ddygwyddodd oddeutu pedwar o'r gloch y boreu y pedwerydd o Orphenaf. Darfu i'r gwarchaëdigion wrthsefyll y Ffrangcod am dair awr gyda bywiogrwydd anghyffredin; ond oddeutu wyth ni chlywyd sŵn rhuad eu magnelau. Pan ddygwyddodd hyn, y milwyr Algeraidd a ymadawsant o'r Castell ar unwaith, gan rwgnach fod y Dey wedi eu haberthu hwynt i ddim dyben: ac oddeutu 10 o'r gloch gorchymynodd y Dey roddi trysorle y pylor ar dân, yr hyn a ddrylliodd gyfran mawr o'r Castell yn chwilfriw. Yr oedd y fflamau, y llwch, a'r mwg, yn dyrchafu i fynu yn golofnau anferthol, a'r cerig yn cael eu taflu ar bob llaw; a chlywyd y twrf dychrynllyd a ddilynodd y tân am 60 milltir o bellder. Wedi i hyn beidio aeth y milwyr Ffrengaidd ym mlaen i gymmeryd meddiant o'r Castell. Oddeutu dau o'r gloch y prydnawn anfonodd y Dey gynnygiad i wneuthur heddwch at y Cadflaenor Bourmont; ond wedi ychydig o oediad, a barwyd trwy ymgais y Dey i gael heddwch ar ammodau gwell nag a foddlonai y Cadflaenor Bourmont roddi iddo, cydsyniodd y Dey â'r hedd-ammodiad canlynol:—

"Y bydd i Gaer Causaba, yr holl gaerau ereill perthynol i Algiers, a phorthladd y ddinas hono, gael eu rhoddi i fynu i'r Ffrangcod heddyw y boreu, am 10 o'r gloch. Y mae Prif Lywydd byddinoedd Ffraingc yn addaw i'r Dey Algiers fwynhâu ei ryddid, a meddiannu pob peth a berthynai iddo ei hun yn bersonol.

"Bydd caniatâd i'r Dey i symmud ei deulu, a phob peth a feddianna, i'r lle y penderfyno efe arno: a chyhyd ag yr erys efe yn Algiers y bydd efe a'i deulu dan nawdd Prif Lywydd y Ffrangcod; a bydd i warchawd-lu amddiffyn y Dey a'i deulu.

"Y mae y Prif Lywydd yn addaw yr unrhyw fanteision a nodded i'r holl filwyr.

"Bydd rhyddid i'r trigolion ddilyn y Grefydd Fahometanaidd: a bydd i'w crefydd, eu heiddo, a'u masnach, barhâu yn ddirwystr; a bydd i'w benywod gael eu parchu. Y Prif Lywydd sydd yn addaw hyn oll ar ei air." . Gorphenaf 5ed.

Rhoddwyd y cwbl i fynu, a chymmerodd y Ffrangcod feddiant o honynt cyn hanner dydd y pummed o Orphenaf; ac yn awr, caniatêir i Benaeth y môr-ladron hyn, a'i ddilynwyr, grwydro ar hyd y ddaear fel gwibiaid a chrwydriaid. Pa beth a wna y buddugoliaethwyr â'r lle: pa un a wnant hwy ai ei hollol ddinystrio, neu ei uno fel talaeth i Ymerodraeth Ffraingc, amser a ddengys.

## CARTREFOL.

### YR IWERDDON.

Y mae y Newyddiaduron yn llawn o hanesion a brofant fod tlodi anarferol yn gorthrymu y rhan fwyaf o drigolion y Chwaer Ynys. Dywed y *Kilkenny Journal* fod amrai o drueiniaid yn y ddinas hon a'i hamgylchoedd wedi trengu trwy newyn, a'r clefydau amryfal a achoswyd gan eisiau ymborth. Mawr yw trueni y rhai a breswyliant ar arfordiroedd yr Ynys. Y bychod, moch, a chloron ydynt oll wedi eu dyfetha. Y dynion a grwydrant ar hyd y wlad i chwilio am waith; a gwelir y gwragedd yn dyrfâoedd ar hyd y ffordd yn gofyn am gardod. Yn Ennis y mae dros 8,000 o bobl yn byw ar gyfraniadau haelionus eu cydgreaduriaid. Cyflwr y tlodion yn Kilust a'r gymmydogaeth sydd yn druenus dros ben. Offeiriaid Protestanaidd a Phabaidd ydynt yn ddiflino yn diwallu angenrheidiau y trueiniaid. Yn Tipperary derbyniodd 1,400 o bobl ymborth ddwywaith yn y dydd am wythnos.—Tybir yr achosa ymddatodiad y Senedd fawr derfysg mewn llawer swydd a thref yno. Nid yw O'Connell yn bwriadu cynnyg ei hunan i fod yn Seneddwr dros Swydd Clare. Dewisir ef efallai gan aelodau rhyw fwrdeisdref ddistadl neu gilydd.—Cydsyniodd y Dug o Northumberland barhâu yn yr Iwerddon am flwyddyn arall.—Nifer y Jesuitiaid ym Mrydain yw 178, y mae 58 o honynt yn yr Iwerddon. Nid oes ryfedd fod cymmaint o dlodi yno, pan y goddefir i'r cyfryw ddynion gyfaneddu yn eu plith, a'u twyllo.

## Y BRENIN GWILYM IV.

Cyhoeddwyd GWILYM HARRY, Dug Clarence, yn FRENIN, ar ddydd Llun, yr 28ain o Fehefin, yn Llundain; a chyhoeddwyd ef hefyd drwy holl drefydd Lloegr, Iwerddon, Scotland, a Chymru. Ymddengys fod ei Fawrhydi presenol yn dwyn yr enwau o WILYM I. yr II. y III. a'r IV. Y mae yn WILYM I. yn Hanover; fel Brenin yr Iwerddon y mae 'n WILYM II; fel Brenin yr Alban y mae 'n WILYM III; fel Brenin Lloegr yn WILYM IV.

Gorchymynwyd gan ei Fawrhydi a'i gynghor i bob Offeiriad, drwy y deyrnas, newid y geiriau yn y Weddi am y Breninol Deulu, yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, yn lle SIOR i roddi yr enw GWILYM, ac ychwanegu y geiriau "*Ei Grasusaf Fawrhydi y Frenines* ADELAIDE."

—o—

## Y SENEDD.

MAE y weithred er newid y dull o weinyddu barn yn mrawdlysoedd Cymru wedi myned drwy y Senedd dair gwaith; a gorchymynwyd iddo gael ei argraffu, ar ol ychydig o ddiwygiadau.

Y mae y weithred er diddymu y Dreth ar Ddiod wedi myned drwy y Senedd. Amser a ddengys addasrwydd y cyfryw weithred.

Dysgwylir y bydd dyben ar y Senedd hon ym mhen ychydig ddyddiau; pan y bydd llawer o'r aelodau yn canu yn iach i Dŷ y Cyffredin am byth.

—o—

## CYMDEITHAS TRAETHODAU EGLWYS LOEGR.

### RHEOLAU.

I. Mai gwrthddrych y Gymdeithas hon ydyw cyhoeddi Traethodau Cymreig a Seisnig yn cynnwys athrawiaeth iachus.

II. Fod Tanysgrifwyr Blynyddol o 6 swllt neu ragor, yn Aelodau o'r Gymdeithas, a chanddynt hawl i dderbyn Traethodau yn rhad hyd hanner eu Tanysgrifiad, yn ol y prisiau iselaf a osodir gan y Gymdeithas; a bod ganddynt hawl i bryna Traethodau yn ol yr unrhyw brisiau isel.

III. Y gwerthir y Traethodau i'r cyffredin mor isel ag y goddefa cyllidau y Gymdeithas.

IV. Fod pob Offeiriad ag sydd yn Aelod o'r Gymdeithas, a phob gwr llëyg a gyfrana hanner gini, neu ragor, yn flynyddol, yn Aelodau o'r Cyfeisteddiad Cyffredin.

V. Fod naw o'r Cyfeisteddwyr, heblaw Ysgrifenwyr a Thrysorwyr y Cymdeithasau Canghenol, i gael eu dewis yn flynyddol, i'r dyben o ddethol a chyhoeddi y cyfryw Draethodau ag a dybient yn addas. Dewiswyd y boneddigion canlynol am y flwyddyn hon, a bydd i dri o honynt awdurdod i weithredu:—y Parch. R. M. Bonner, Curad Henllan; y Parch. Walter Davies, Periglor Manafon, Trefaldwyn; y Parch. T. W. Edwards, *Vicar Choral* Llanelwy; y Parch. Lewis Gwynne, Curad Tremeirchion; y Parch. Henry Jones, Ebrwyad Llanergain; y Parch. Jn. Jones, *Vicar Choral* Llanelwy; y Parch. John Jones, Curad Dinbych; y Parch. David Owen, Ebrwyad yr Eglwysfach; y Parch. R. Philips, Ebrwyad y Bettws.

VI. Fod Cyfarfod Cyhoeddus o'r holl Gyfranwyr i gael ei gynhal bob blwyddyn yn mis Ionawr.

VII. Fod y Tanysgrifiadau i'w talu ym mlaen ar ddydd Calan.

VIII. Fod pob Cyfarfod o'r Gymdeithas hon i gael ei ddechreu trwy weddi, yn yr un modd a Chyfarfodydd y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol.

Yr Ystôrdy Cyffredin sydd yn Nhreffynnon. Ysgrifenwyr a Thrysorwyr, y Parch. R. Richards, Periglor Caerwys; a'r Parch. J. Blackwell, Curad Treffynnon.—Ystôrdy Canghenol yn Ninbych—Ysgrifenydd a Thrysorydd, y Parch. John Jones, Curad Dinbych. Sefydlir Ystôrdai Canghenol ereill cyn gynted ag y gellir.—Derbynir Cyfraniadau gan yr Ysgrifenwyr, at y rhai y deisyfir i bob gohebiaeth mewn perthynas i'r Gymdeithas gael eu cyfarwyddo.

---

## CYMMRODORION LLUNDAIN.

Dywenydd mawr genym osod ger bron ein darllenwyr rai o Benderfyniadau y Gymdeithas hon, gan eu bod yn dangos y bydd i'w Haelodau gyd-weithredu âg Aelodau Cymdeithas Leënyddol Cymru; ac o ganlyniad yr anrhegir y byd yn fuan â'r Mabinogion a chyfansoddiadau gwerthfawr ereill.—Dyfynir y Penderfyniadau o'r *Cambrian Quarterly*.

Yn Nhachwedd, 1829, cynhygiwyd gan D. Lewis, Ysw. a phenderfynwyd yn unfryd, fod argraffiad newydd o'r *Myryrian Archaiology*, gyda Chyfieithiad Saesoneg, a detholiad o waith Beirdd na argraffwyd o'r blaen gael eu cyhoeddi ar draul y Gymdeithas. Fod y Cyhoeddiad hwn i ymddangos o dro i dro mewn cyfres o lyfrau (*volumes*): a bod i bob Llyfr gynnwys gwaith un Bardd yn gyflawn gyd â'r cyfryw nodau eglurhaol yn Saesoneg ag a dybir yn angenrheidiol. A deisyfir ar y Dr. Owen Pughe, y Parch. T. Price, Crick-

howel, a'r Parch. Walter Davies, i gydweithredu er arolygu y Cyhoeddiad hwn.

Y ddau foneddig cyntaf ydynt wedi addaw rhoddi eu cynnorthwy er cyflawni dyben y Gymdeithas: ond drwg genym fynegi fod galwedigaethau lliosog y Parch. W. Davies yn ei rwystro rhag gwneuthur yr un addewid.

Mawrth, 1830, D. Lewis, Ysw. yn y Gadair. Wedi i W. Hughes, Ysw. gael ei ddethol i fod yn Ysgrifenydd Anrhydeddus i'r Gymdeithas, Penderfynwyd, fod yr un annogaeth ag a roddir i gyhoeddiad gwaith y Cynfeirdd, gael ei estyn i gyhoeddiad y Mabinogion, y rhai a arolygir gan y Dr. O. Pughe.

Mehefin 5, 1830, A. J. Johnes, Ysw. yn y Gadair, Penderfynwyd, ar gynnygiad Mr. Parry, fod i'r Ysgrifenydd hysbysu i'r Dr. Pughe ddymuniad cryf y Gymdeithas am iddo ddanfon (mor fuan ag y byddo modd) llaw-ysgrif y gyfrol gyntaf o'r Mabinogion, fel y gellir ei roddi yn y wasg: a'u gweddi ddiffuant am i'w Golygwr dysgedig gael ei adferu yn fuan i'w gynnefin iechyd. Ymddengys, oddiwrth ddywediad y Dr. Meyrick, fod dysgedigion Lloegr yn dysgwyl yn awyddus am y Mabinogion, ac nad oedir eu cyhoeddiad ond am ychydig.

Gobeithio y bydd i Gymreigyddion Caerfyrddin ddyfod ym mlaen yn unfryd i gynnorthwyo eu brodyr yn Llundain ac yn Ngwynedd. Deallwn fod y gwladgarydd enwog, y Parch. Archdiacon Beynon, wedi dwyn y pwnc hwn dan sylw Aelodau y Gymdeithas uchod, yn eu Cyfarfod a gynnaliwyd yn Mai diweddaf.

## NEWYDDION.

Dywedir fod y Tywysog Paul o Wirtemberg i gael ei ddewis yn Frenin ar y Groegiaid.——Nid oedd dim llai na 700 o ladron yn Rhedegfëydd Bath. Darfu i 100 o honynt ruthro ar babell rhyw dafarnwr, ac yfed ei holl win a diod, a dwyn ei holl arian.——Bu terfysg mawr mewn amrai o leoedd yn yr Iwerddon, ar y 12fed o Orphenaf, a achoswyd gan y Pabyddion yn rhuthro ar yr *Orangemen*. Yn Newry, cafodd dau ddyn eu harcholli yn drwm gan law-ddryll.——Darfu i'r Parchedig Edmund Williams a Mr. Wyatt, ar ran y Parch. Mr. Cleaver, Person Llangernyw, adferu £7 y cant i'r plwyfolion pan oeddynt yn talu eu degwm, ar yr 8fed o'r mis hwn. Tueddwyd y gwr Parchedig i wneuthur hyn o herwydd tlodi anghyffredin yr Amaethwyr. ——*Yr angenrheidrwydd o wneuthur Ewyllys.*—Hen wraig, yr hon oedd yn ordderch, a fu farw heb un ewyllys. Yr oedd hi wedi casglu £129. 5s. 3c. a'u rhoddi yn y Banc Cynhilo; hònodd y Goron hawl iddynt, a chymmerodd feddiant o'r arian.

## DYRCHAFIAD EGLWYSIG.

Dyrchafwyd y Parch. Robert Davies, A. M. Curad Parhâus Llangristiolus a Cherigceinwen, Môn, i Berigloriaeth Llaneigrad a Llanallgo, yn yr un Swydd.—Rhydd trwy farwolaeth y Parch. Richard Lloyd, A. B.

## MARWOLAETH ESGOB BANGOR.

Bu farw, ar y 9fed o Orphenaf, yn nhŷ ei fab, y Parch. S. Majendie, y Gwir Barch. H. W. Majendie, D. D. Esgob Bangor, yn y 76ain flwyddyn o'i oedran. Bu tad yr Esgob yn Athraw i'r ddiweddar Frenines Charlotte; a rhoddodd ei fab yn Ysgol *Charter House*, Llundain; ac oddi yno symmudodd i Goleg Crist, Caergrawnt. Yn 1775 cafodd H. W. Majendie ei ddewis gan Sior III. i fod yn Athraw i'r Tywysog William Henry, ei Fawrhydi presenol. Yr oedd Sior III. yn hoff iawn o Mr. Majendie; ac i'r dyben i'w Fawrhydi fwynhâu ei gymdeithas cyflwynodd ef i Viceriaeth *New Windsor*. Yn 1800 cyssegrwyd ef yn Esgob Caerlleon, a dyrchafwyd ef oddi yno, yn 1809, i Esgobaeth Bangor, lle y parhâodd hyd ei farwolaeth.

Yr oedd y Dr. Majendie yn bregethwr ffraeth ac enwog, a chyflawnai ei ddyledswydd Esgobawl gyd â'r dyfalwch mwyaf, nes y rhwystrwyd ef i ryw radd gan flinder a phoenau henaint. Yr oedd yr Offeiriaid dan ei ofal yn teimlo parch a serch nid bychan tu ag ato; a diau mai nid ar fyr yr anghofiant ei haelioni yn cyfranu at bob cymdeithas elusengar, a'r hynawsedd a ddangosai bob amser tu ag at bob gradd o ddynion.

Ar yr 11eg o Orphenaf, er mawr alar i'w blwyfolion a'i gyfeillion, bu farw y Parch. R. B. Clough, Ebrwyad Corwen, yr 48ain flwyddyn o'i oedran. Yr oedd Mr. Clough yn nodedig am ei wladgarwch, a'i ddyhewyd dros Iaith a Llëenyddiaeth y Cymry, a bu yn noddwr i'r Gwyliedydd er ei ddechreuad.

# Y GWYLIEDYDD.

## MEDI, 1830.

### COFIANT

#### Y PARCH. JOHN ROBERTS, A. C.

*(Parhad o du. dal. 276.)*

GOFIDIAI Mr. Roberts o herwydd prinder Llyfr yr Homiliau, sydd yn cynnwys eglurhâd mor werthfawr o athrawiaeth a buchedd Gristionogol; canys anaml y ceid yr un yn ddilwgr yn y Dywysogaeth. Am hyny efe a ymegniodd i gael allan argraffiad newydd yn y Gymraeg. Mynegodd ei amcan i amryw Gymdeithasau, y rhai oll a ymwrthodent â'r gorchwyl, o herwydd y draul; ond er hyny, gan ystyried y byddai y gwaith yn llesol i'r Eglwys Sefydledig, ac i ddwyn ym mlaen wybodaeth o athrawiaeth ysgrythyrol, efe a gyhoeddodd argraffiad, yn cynnwys mil o lyfrau; gan ddilyn yn ffyddlon, megys y tystiolaethodd Eglwyswyr o wahanol Esgobaethau, argraffiad 1606, yr hwn oedd yr unig un yn y Gymraeg. Ni addalwyd iddo byth yr holl arian a dreuliodd yn y gwaith; ac y mae rhai o'r llyfrau etto ar werth, y rhai y gellir eu cael gan Gyhoeddwr y GWYLIEDYDD yn y Bala, ac ereill.

Efe hefyd a ddechreuodd Gyhoeddiad Cymraeg a Saesoneg a elwid Cylchgrawn Cymru, yr hwn a aeth i lawr, ar ol cyhoeddi pedwar neu bump o Rifynau. Pe cawsai gynnorthwy digonol, gallasai y gwaith hwn fod o fawr les i wir grefydd yn y wlad, yr hyn oedd ei fwriad ef wrth ei gyhoeddi. Yn 1828, efe a gynnorthwywyd, trwy haelioni cyfeillion o Loegr, i sefydlu Cymdeithas Traethodau Cymraeg a Saesoneg, yr hwn a gefnogwyd yn dda; a chyd â'r gorchwyl yma y treuliodd efe ran fawr o'r flwyddyn ddiweddaf o'i fywyd. Y Gymdeithas newydd hon a gyhoeddodd eisoes ddeng mil ar hugain o Draethodau Cymraeg.

Y'nghanol yr amrywiol orchwylion cyhoeddus hyn, amlwg oedd ei fod ef ei hun yn cynnyddu mewn ysbrydolrwydd meddwl, a chymmwysder i'r nefoedd. Tra y llafuriai er llesâd eneidiau ereill, nid oedd ei enaid ei hun yn dyoddef o eisiau ymgeledd. Yr oedd efe yn ddyfalach mewn gweddi na neb a adwaenai ysgrifenydd y cofiant hwn. Ac nid esgeulusai ychwaith bethau buddiol o fai o bwys. Yn enwedig yr ydoedd yn ddiwyd i gadw yn loyw ei wybodaeth ieithyddol; ac anfynych y treuliai ddiwrnod heb ddarllen yr Ysgrythyrau mewn pedair o wahanol ieithoedd—gan fyfyrio beunydd yn yr Hebraeg, fel y delai yn fwy hysbys o wir ystyr yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

Peth hynod yn ei nodweddiad oedd ei ofal am iachawdwriaeth eneidiau dynion; ac os esgeulusai, neu os meddyliai ei fod yn esgeu-

Iuso, unrhyw gyfle i ddwyn ym mlaen ei amcan mawr, fe barai hyny iddo ddwys ofid. Un ag a gafodd y fraint o gyfeillachu âg ef am lawer o flynyddoedd, a sylwai ar ei ymarweddiad beunyddiol, a ddywed, "Rhyfeddwn bob amser o herwydd ei fawr ofal am leshâd ysbrydol ei blwyfolion. Nid oedd dim tywydd a'i hattaliai oddiwrth ei ddyledswyddau plwyfol; a ffyddlawn, didderbyn wyneb, a difrifol iawn, oedd ei gyngherion wrth y claf wely. Yr ydoedd yn hynod yn ei ddull yn gwasgu pethau at y gydwybod. Yr ydoedd yn Gristion difrifol yn ei Eglwys, wrth welyau y cleifion, ac hefyd, fel y gellwch yn hawdd gofio, yn ei dŷ ei hun. Medrai argyhoeddi pechod yn y mawrion, yn gystal ag yn y tlodion. Yr oedd ei gymdeithas yn hynod fuddiol ac adeiladol. Nid ymadawn oddi wrtho braidd un amser heb ddymuno pe gallwn mewn rhyw radd fechan ddilyn ei lwybrau ef. Ar farwolaeth rhyw un o'r plwyfolion, mynych y byddai ei deimladau yn ofidus iawn, rhag ofn na chynghorasai y cyfryw un ddigon i ystyried pethau tragywyddol yn amser ei fywyd a'i iechyd." Afraid sylwi ar ei ymlyniad manylaf wrth y gwirionedd, a'r ffordd grefyddol a orchymynai iddo ei hun a'i deulu, ac i bawb o'i amgylch, o gadw y cyfan o'r dydd Sabboth.

Yr oedd Mr. Roberts yn bryderus am lwyddiant yr Eglwys Sefydledig; ac er bod yn dda ganddo glywed am Eglwysi newyddion yn cael eu hadeiladu, ei daer ddymuniad a'i weddi oedd, am i ddynion duwiol weinidogaethu ynddynt—dynion wedi eu cymmwyso, nid yn unig trwy ddysgeidiaeth, ond hefyd trwy ymroddiad calon, i'r swydd oruchel hon. Efe a fawr ewyllysiai pe gellid trefnu rhyw foddion, yn wahanol i'r drefn gyffredin, i ddewis a hyfforddi gwŷr ieuaingc i'r weinidogaeth; a phe ceid rhyw ffordd ddoeth i wneuthur y lleygion yn wasanaethgar i'r Eglwys; neu ped arferid swydd y diaconiaid yn unol â'i sefydliad cyntaf:—yr hyn bethau a eglurhaodd efe yn helaethach mewn llyfryn a gyhoeddwyd yn 1822.

Un peth hynod yn ei nodweddiad oedd, ei barodrwydd i faddeu camweddau. Dywedai, "Dymunwn, nid yn unig faddeu, ond hefyd lladd y tueddiad i elyniaeth ac anhirionddeb trwy ryw weithred o dirionddeb;" a hyny a wnaeth, neu a geisiodd ei wneuthur, amryw droiau. Nodedig hefyd oedd ei ostyngeiddrwydd. Ni ddyoddefai un amser glywed sôn am ei lafur ffyddlawn ei hun. Pan esgeulusai ei ddyledswydd, yr hyn ni wyddai neb ond ei gydwybod dyner ei hun, parai hyny ddwys ofid i'w feddwl. Un ag oedd yn ei adnabod yn dda sydd yn ysgrifenu, "Ni chyfarfum â neb erioed mor hynod am y gras arbenig o *wir ostyngeiddrwydd*, na neb â'i holl ymarweddiad yn tueddu mwy at ogoniant Duw. Hyn a welid mewn un peth yn enwedig—yr oedd mor hoff ganddo glywed am ddaioni yn cael ei wneuthur gan ereill, a phe gwnaethid ganddo ef ei hun; a mynych y gwelais ef yn lloni wrth glywed ereill yn cael clod am y pethau y buasai efe yn unig yn offerynol i'w dwyn i ben. Amlwg oedd ei fod yn cynnyddu mewn gras, am fod ei galon yn llawn ynddo i ddychymmygu daioni i'w gyd-greaduriaid." Meddyliodd am fwy o amcanion da nag y medrai eu cyflawni. Byddai weithiau yn gobeithio dyfod yn gyfoethocach, fel y gallai, y'mysg ei haelionus bethau na wyddai y byd am danynt, fod yn alluog i roddi casgliad o lyfrau i ddynion ieuaingc yn cael eu dwyn i fynu i'r Eglwys.

Amlwg oedd i bawb a'i hadwaenai fod Mr. Roberts yn gweled

gwerth amser, ac yn ei ystyried yn dalent dra gwerthfawr; a dywedai yn fynych y dylid "casglu briwsion amser, fel na choller dim"—ac y byddai yn well ganddo "roddi pob peth na'i amser." Yr oedd efe yn anfoddlawn ym mhlith cymdeithion, oni fyddai yr ymddyddan yn grefyddol, neu ar ryw destun pwysfawr. Pan elai oddi cartref, meddyliai yn fynych am destun pregeth, er mwyn cael rhywbeth buddiol i'w fyfyrdodau ar hyd y ffordd, fel na chollid yr amser y byddai yn teithio. Y gwanwyn diweddaf o'i fywyd byddai yn fwy neillduol yn ymgadw oddiwrth bob peth a dueddai i gam-dreulio amser, fel pe buasai yn gwybod fod y nos yn prysur nesâu, yn yr hon ni ddichon neb weithio. Yn wir, ymddangosai fel un yn addfedu i'r trigfanau nefol; ac ar gynnydd yr oedd ei ymroddiad i Dduw, a'i ddiwydrwydd yn ei waith, wrth agosâu at ei dragywyddol gartref. Buasai am flwyddyn neu ddwy cyn ei ymadawiad yn daer neillduol gyd â'i braidd, ac yn wresog mewn gweddi beunydd am eu hiachawdwriaeth. Yr oedd cymmwysiad ei bregethau bob amser yn fanwl ac agos at y cyflwr, ond tu a'r diwedd yn fwy enwedig felly. "Yr oedd yn ammhossibl osgoi," meddai un o'i gysson wrandawyr, "byddai yn ein cornelu, fel nad oedd dïangfa." Ymgeisiai argyhoeddi dynion o'u cyflwr colledig wrth natur a thrwy ymarferiad—eu gyru o bob gau noddfa at Grist—ac annog pawb a adwaenent yr Iachawdwr i fuchweddu ym mhob peth yn unol â'u proffes sanctaidd. "Ewch rhagoch," oedd ei brif gyngor; "anghofiwch y pethau sydd o'r tu ol, ac ymestynwch at y pethau sydd o'r tu blaen:" a thrwy bob ystyriaeth dengar a phwysig, annogai ei braidd i "gyrchu at y nôd, am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu."

Weithian yr amser a nesâodd i'r gwas ffyddlawn hwn i Grist ymadael o'r byd. Rhyngodd bodd i Dduw, yn ei ragluniaeth anolrheinadwy, ei symud y'nghanol ei ddefnyddioldeb; ac er bod ei farwolaeth yn elw anfeidrol iddo ef ei hun, yr ydoedd yn golled fawr i'r gymmydogaeth lle y gosodasai Duw ef. Gweinidog, yr hwn oedd yn ei adnabod yn dda, ac yn gwerthfawrogi ei lafur, a sylwodd, "Colli Mr. Roberts sydd fwy colled na phe collasid laweroedd; ond dylem ddywedyd, a rhaid i ni ddywedyd, 'Ewyllys Duw a wneler.'" Dyoddefasai yn dost, ar amserau, am lawer o flynyddoedd, oddiwrth ryw glefyd dwys, yr hwn a gynnyddodd yn ddirfawr y misoedd diweddaf o'i fywyd. Yr afiechyd gwreiddiol hwn a ammharai ei gysuron ysbrydol i raddau mawr ar hyd ei oes. Os ydyw yr Ysgrythyrau yn profi fod tangnefedd a llawenydd yn cyd-fyned â diwydrwydd diflin ym mhob dyledswydd i hysbysu a helaethu teyrnas Crist, a'r diwydrwydd hwnw yn tarddu, nid oddiar deimladau gweigion hunan-gyfiawn, ond oddiar ddymuniad sanctaidd i ogoneddu Duw, gallasem ddysgwyl y buasai Mr. Roberts yn llawenhâu yn yr Arglwydd yn wastadol. Eithr nid felly yr oedd. Er mor ardderchog oedd ei ymarweddiad cyffredinol, er ei holl ymroddiad i'w alwad goruchel, ei hunan-ymwadiad, ei daer-ddymuniad am weled achos ei Iachawdwr yn llwyddo, a'i weddiau gwresog; er hyny ansawdd ei iechyd corphorol a rwystrai iddo fwynhâu y fath lawenydd gan gredu ag y mae rhai Cristionogion yn ei feddiannu. Ond yn ei oriau mwyaf tywyll efe a ymostyngai i awdurdod Duw, ac yn llariaidd fel plentyn a ymfoddlonai i'w drefn ef. Llai oedd ei dristwch ysbrydol y blynyddoedd diweddaf o'i fywyd na'r rhai blaenorol. Yn ei selni olaf, ymddang-

osai ddwywaith mewn cyfyngder meddwl am ddiogelwch ei enaid, ond nid hir y parhaodd felly. Yr oedd yn gorwedd yn ei wely y pythefnos olaf o'i fywyd, a dyoddefodd lawer o boen yn amyneddgar iawn. Pan gaffai ychydig seibiant, byddai yn gweddïo, yn darllen, neu yn gwrando ar ereill yn darllen. Dymunai iddynt weddïo drosto fel pechadur mawr, ïe mwy na neb; ond cydnabyddai fod anfeidrol werth yn aberth Crist. Y Salmau edifeiriol, yn enwedig y ddeuddegfed ar hugain, gyd âg Esponiad Scott arni, Pregeth Bradley yn nghylch y Cristion wrth farw yn gorchymyn ei enaid i Dduw, a'r weddi hòno yn Jenks, "am nerth i fyw trwy ffydd yn Nghrist a'r dwyfol addewidion," a ddarllenid iddo yn fynych ar ei daer ddymuniad. Dywedodd unwaith, â'i wyneb yn sirioli gan lawenydd nefol, "Hiraethaf am gyflawn fwynhâd ar fynydd Sïon." Ysgrifenodd amryw bennillion ar ei wely angeu, ac un, pan ydoedd bron ymadael, yn dangos mor annheilwng oedd efe o drugaredd Duw, ac mor ddiwerth ydyw pob peth hebddo ef. Dymunai ar un a weddiodd gyd âg ef ychydig o oriau cyn ei ymadawiad, na wenieithiai iddo, ond gweddïo drosto fel y penaf o bechaduriaid. Pan ddywedodd hwnw drachefn, "Y mae cyfaill a lŷn yn well na brawd," atebodd, "Oes, Iesu, yr hwn sydd yn glanhâu oddiwrth bob pechod;" a dyna agos y geiriau diweddaf a ddywedodd efe yn ddealladwy. Ei fawr ofal am iachawdwriaeth ereill, yr hwn a fuasai hynod ynddo bob amser, oedd amlwg iawn yn niwedd ei fywyd:—annogai ei anwyl wraig i fod yn ddiwyd yn darllen y gair, ac mewn gweddi; cynghorai un arall o'i berthynasau i gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth: deisyfai ar un o'i blwyfolion ystyried mai mewn agwedd gweddi y dylai y Cristion fod ar ddyfodiad ei Arglwydd; ac wrth ymofyn am iechyd rhyw un ieuangc, dywedai, "Gorchymynwch i'r rhai ieuaingc wasanaethu yr Arglwydd." Yn wir, yr oedd ei holl bobl yn agos at ei galon, ac ofnai na buasai wedi eu rhybuddio, ac ymweled â hwynt yn ddigonol. O fewn ychydig oriau i'w farwolaeth, clywid ef yn dymuno pe cai ond un diwrnod i fyned o amgylch y plwyf, a dywedyd wrth bawb, gyd â'i anadl ddiweddaf— "Na chloffwch rhwng dau feddwl."

Y Gweinidog defnyddiol hwn a fu farw Gorphenaf 25, 1829, yn y 54 flwyddyn o'i oed, ac a gladdwyd yn Llan Nefydd, ei le genedigol. Wrth ei roddi mewn bedd, tristâi ei blwyfolion; a pharhânt etto i dystiolaethu, mewn geiriau galarus, gymmaint y parchent ef oblegid ei rinweddau. Gellir dywedyd yn gyfiawn am y gwr duwiol a dyngarol hwn, fel y mae un o'i gyfeillion agosaf yn ysgrifenu, "iddo roddi y cwbl o'i fywyd llafurus a defnyddiol tu ag at ddwyn y'mlaen wybodaeth ac ymarferiad Cristionogol; a bod ei ymarweddiad a'i fuchedd yn cyffroi meddyliau ysbrydol yn ei gyfeillion, yn gystal ag yn llawer o'i blwyfolion." Cyhoeddodd Mr. Roberts ddwy neu dair o Bregethau, a Thraethawd ar yr Iaith Gymraeg: gadawodd hefyd lyfryn i'w gyhoeddi ar ol ei farwolaeth, a elwir, "Cyfarwyddiadau i fyw yn Ofn Duw ar hyd y Dydd;" a chasgliad prydyddol o Salmau a Hymnau, cymmwys i'w canu mewn addoliad cyhoeddus, neu i'w darllen yn ddirgel, er adeiladaeth ysbrydol.

Y gofid a amlygwyd oblegid ei ymadawiad, a ddengys mor fawr y perchid ef gan bawb a'i hadwaenai. Fel hyn y mae un cyfaill yn ysgrifenu at ei weddw alarus: "Braidd y dichon pobl Tremeirchion byth gael un i lenwi lle y cyfaill a gollasant. Ni feddyliais erioed o'r

blaen y gallasai Gweinidog yr Efengyl fod mor anwyl gan ei bobl, ac mor agos atynt yn eu gorchwylion tymhorol ac ysbrydol. Y mae y plwyf yn gyffredinol yn teimlo galar mawr dros ben; ni allent deimlo mwy, y mae yn sicr genyf, pe collasent y perthynas agosaf ac anwylaf yn eu teuluoedd eu hunain. Eu hiaith hwynt, bawb o honynt, ydyw, 'Ein Gweinidog a fu fyw yn ein plith am chwech ar hugain o flynyddoedd; a thrwy holl ystod yr amser, efe oedd ein cynghorwr mwyaf ffyddlawn, a'n cyfaill mwyaf cywir. Pan fyddem gleifion, gofidus, neu drallodus, efe a ymwelai â ni, a'n dyddanai, ac a'n cynnorthwyai, trwy ei gyngor, a'i arian. Efe a'n dysgai, trwy ei eiriau a'i fuchedd, i fod yn Gristionogion mewn gwirionedd.' "

Y cyfryw oedd bywyd y dyn y soniasom am dano—bywyd wedi ei lywodraethu gan ddymuniad gwastadol i ogoneddu Duw, ac i lesâu dynion. Y cyfryw oedd ei farwolaeth—marwolaeth wedi ei rhyddhâu oddiwrth bob dychrynfeydd, trwy lwyr ymddibyniad ar rad drugaredd Duw yn Nghrist Iesu. Ystyried darllenwyr yr hanes hyn, eu bod hwythau yn cael eu galw, nid yn unig i ganmol ymarweddiad hunan-ymwadol a nefolaidd plentyn Duw, ond hefyd i'w efelychu—i erfyn ar i Dduw blanu yr un anian ysbrydol yn eu calonau hwythau, fel y byddo eu bywydau mewn rhyw radd wedi eu cyd-ffurfio â gofynion deddf y nefoedd. Y maent hwythau yr un modd yn rhwymedig i wasanaethu Duw mewn purdeb. Y maent yn sefyll yn yr un berthynas âg ef, wedi eu crëu ganddo, ac yn cael eu cynnal ar bwys ei drugareddau anhaeddiannol. Y mae yr un Iachawdwr yn eu gwahodd i ddyfod ato. Cynnygir iddynt yn rhad yr un cynnorthwyon gan yr Ysbryd Glân. Y maent yn prysuro tu a'r un frawdle gyfiawn, a bydd raid iddynt wynebu yr un tragywyddoldeb, lle y cânt yn ddidrangc orfoleddu yn Nuw, neu ddyoddef ei soriant tanllyd: am hyny rhodiant yn ei lwybrau ef, dilynant ei ffydd, gan ystyried diwedd ei ymarweddiad ef, Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd.

*Cyf.* CYNFELYN.

---

## LLYFR EXODUS.

*(Parhâd o du dalen 233.)*

*Pla y tywyllwch*—Cymmwysder y pla hwn i gospi yr Aiphtiaid a ddëellir oddiwrth ystyried daliadau yr Aiphtiaid mewn perthynas i oleuni a thywyllwch. Edrychent ar Oleuni â Thân megys y puraf o'r elfenau, a'r Haul a gyfrifent hwy yn arwydd cymmwysaf ym mhlith yr holl weledigion bethau o'r Duw mawr. Eithr yn raddol talasant i'r elfenau hyn ac i'r haul yr addoliad oedd ddyledus i Dduw ei hun. Rhyfeddol yr un pryd oedd eu hanghysondeb a'u ffolineb, canys talent addoliad dwyfol i dywyllwch hefyd. Edrychent ar Dywyllwch megys Mam pob dim, gan olygu, tybygir, ar y tywyllwch a orchuddiai wyneb y ddaear cyn y greadigaeth. Pan dywyllwyd holl wlad yr Aipht â thywyllwch cyffredinol, profodd yr Aiphtiaid nad oedd ddichon i'r Haul eu gwared hwynt rhag y pla hwn; a'r un pryd, gwnaethpwyd y Nos, yr hon oedd un arall o'u duwiau, yn foddion i'w cospi. Eithr yr oedd goleuni y'mhreswylfëydd meibion Israel, a thebygir iddynt arferu y cyfleusdra hwn i barotoi erbyn eu hymadawiad o wlad eu caethiwed.

*Marwolaeth y Cyntaf-anedig.*—Cospwyd yr Aiphtiaid â phlâau olynol am ddau o achosion. Yn gyntaf, oblegid iddynt gam-arferu y wybodaeth ragorol â'r hon y cynnysgaeddwyd hwynt tu hwnt i genhedloedd ereill yr oes hono. Yn

ail, o herwydd iddynt ddygn-flino a chaethiwo meibion Israel, un o'r rhai a'u gwaredasai hwynt rhag toster newyn, ac hyd yn nod ladd eu plant bychain. Y rhai a laddasent blant rhai ereill a gollasant oll eu cyntaf-anedigion eu hunain. Ymddangosai effeithiau y pla hwn yn fwy tristfawr y'mhlith yr Aiphtiaid, o herwydd toster ac uchel floedd eu galar am y marw. Pan drengai un yn eu plith, nid y teulu yn unig, eithr ei holl berthynasau hefyd a gyd-unent yn y galar, gan fyned allan bawb i'r heolydd, a'r benywod, wedi dynoethi eu mynwes a llaesu eu gwallt, a redent yma a thraw. Y gwyr hwythau a grochlefent ac a udent, gan guro eu hunain. Os y cyfryw fyddai y waedd pan fyddai marw *un* yn unig, faint mwy fyddai y grochlef wedi marw *llaweroedd*, wedi marw un *ym mhob teulu*. Byddai y tai oll yn weigion, a'r heolydd yn llawn o alarwyr. Mwy gofidus fyth a fyddai y galar o herwydd fod yr ergidiau yn ddisymmwth, ac wedi dyfod arnynt liw nos. Da y dywedir fod *gweiddi mawr* trwy holl wlad yr Aipht, yr hwn ni bu ei fath, ac ni bydd mwyach ei gyffelyb.

Y cyfryw oedd canlyniad y calon-galedwch yr ymroddasai Pharaoh iddo, ac erchyll iawn oedd y cospedigaethau a syrthiasant arno ef a'i bobl. Cawsai foddion digonol i'w argyhoeddi, ond ni fynai efe ei argyhoeddi, eithr caledu ei war a nacâu cymmeryd ei rybuddio. Os gofynir, pa fodd y bu gwr o synwyr cyffredin mor anghall? gellir ateb, nad yw synwyr cyffredin a deall da naturiol yn ddigon o honynt eu hunain i wneuthur i ddynion amgyffred y gwirioneddau crefyddol egluraf. Dyma yr achos a barodd i'r apostol ein rhybuddio i ochelyd "calon ddrwg anghrediniaeth"— "Allan o'r galon y mae bywyd yn dyfod." Mawr yw effaith ein gwyniau a'n serchiadau arnom, a lle ni lywodraethir y rhai hyn, aml y gwelir dynion yn cau eu llygaid yn erbyn y gwirioneddau a'r rhesymau cadarnaf, ac yn ymollwng i weithredoedd sydd yn amlwg dywys i'w distryw. Bai Pharaoh oedd yn ei galon, a'r galon ddrwg a lygrodd ei ddeall, ac a'i gwnaeth yn ddiles. Edrychai ar blant Israel megys gweision defnyddiol, ac anhawdd oedd ganddo golli eu gwasanaeth, a rhoddi i fynu y golud a ddygent hwy iddo. Felly lliaws lawer ym mhob gradd a chymmydogaeth, er eu bod yn gweled y da, a ganlynant yr anonestrwydd hwn a'r cribddeiliad arall er mwyn y budd presennol. Gwyddant mai drwg yw gormesu y gwan, neu dwyllo yr annichellgar, eithr y mae y fantais bresennol yn britho eu llygaid ac yn gŵyrdroi eu meddyliau. Nid anhawdd yw canfod y gwir, os bydd y galon yn barod i'w dderbyn. Y mae synwyr cyffredin a doniau bychain yn rhoi goleuni digonol, os na thry gweithredoedd drwg y goleuni sydd ynom yn dywyllwch. O'r tu arall, os ar ddrygioni y gosodwyd serchiadau y galon, ni ddichon i'r rhesymau egluraf na'r doniau cadarnaf beri i ni ddilyn y gwirionedd ac egwyddorion duwiol. Wrth ddarllen hanes Pharaoh cofiwn eiriau parchuslawn y gwr doeth—"Gwr a geryddder yn fynych ac a galeda ei wàr, a ddryllir yn ddisymmwth, fel na byddo meddyginiaeth."

Αλφα.

---

## HANES RHYS FYCHAN.

"*Yn ei iawn bryd y medwn oni ddiffygiwn.*"

Er pan ddaethum i gyfanneddu yn fy mhlwyf presennol, yr ydwyf wedi arferyd holi plant yr Ysgol Sabbothol yn union wedi darllen yr ail Lith yn y Gosper; ac i'r

rhai hyny o'm brodyr yn y weinidogaeth ag ydynt heb ddilyn yr un llwybr, gallaf sicrhâu ei fod o les mawr, nid yn unig i'r plant, ond i'r holl gynnulleidfa. Amrai o ddynion anystyriol ynghylch cyflwr eu henaid a gyffröwyd trwy hyn i chwilio yr Ysgrythyrau: a llawer ag sy'n awr yn addurn i'w proffes, a edrychant yn ol ar yr amser yr argyhoeddwyd hwy gyntaf o'u hanwybodaeth a'u perygl, wrth wrando ar y plant yn cael eu holi. Dyma y moddion a fendithiodd Duw er eu hadeiladaeth, ac er eu sefydliad yn y ffydd.

Ond i fyned ym mlaen gyd â'm hanes. Oddeutu blwyddyn a hanner yn ol, dygwyddodd i mi ofyn i blentyn 14eg oed, ac un o'n hysgoleigion hynaf, y gofyniad hwnw yn Nghatecism rhagorol ein Heglwys, "Pa beth yr wyt ti yn ei ddysgu yn benaf," &c. Atebodd ef yn gywir nes y daeth at y geiriau "i'm sancteiddio:" yna methodd ei lais a dystawodd. Y'mhen ychydig, aeth y'mlaen, eithr mewn acen isel a phryderus. Parodd hyn radd mawr o syndod i mi, oblegid hyd yn hyn yr oedd Rhys Fychan yn ymddangos yn hollol ddigyffro ynghylch iechydwriaeth ei enaid; ac er na chefais braidd achos i'w geryddu trwy y blynyddoedd y bu gyda ni yn yr ysgol, etto gofidiwyd fi yn fynych fod fy addysgiadau a'm hymddyddanion yn cael cyn lleied o effaith arno. Gwrandawai arnaf yn ddigynnwrf, a thybiai yn ddiau pe dysgai ef gyfran o'r Bibl a'r Catecism yn gywir, nad oedd angenrhaid iddo ystyried am ddim yn rhagor. Perthynai i'r dynion hyny ag a ymddangosant fel pe baent yn ymddifad o deimladau ar y rhai y gellir effeithio. Yr oedd mor ddideimlad fel nad oedd ynddo ddim i ennynu serch nac i beri gobaith, er nad oedd ei ymddygiad allanol yn feius nac yn dueddol i syrthio i unrhyw drosedd echrydus.

Ar fy nychweliad o'r Eglwys nid oedd yn ddrwg genyf weled y bachgen hwn yn cerdded o'm blaen. Ei rieni a breswylient oddeutu tair milltir o'r Llan; ac yr oeddynt ill dau y'mhlith y rhai mwyaf parchus o'm plwyfolion—yn Gristionogion gostyngedig, diffuant, a diysgog: a diau nad arbedasant lafur na thrafferth er hyfforddi eu plentyn ym mhen ei ffordd. Pan cefais hyd iddo clywais fod ei dad yn glaf yn ei wely, ac yn angenrheidiol i'w fam aros gartref i weini iddo. Wedi ymddyddan ychydig mwy, dywedais, "Pa fodd y petrusaist heddyw prydnawn, a ddarfu i ti anghofio yr atebiad?" "O na Syr, ni anghofiaf fi byth yr ateb *hwnw*." "Pa'm y methaist ti, ynte?" "Oblegid fy mod yn tybied nad oedd yn addas i mi ei ddywedyd." "Nid yn addas, pa fodd y gallai fod yn anaddas, Rhys?" "Syr (eb efe, â'i wyneb yn gwrido) nid wyf yn sicr a ddarfu i'r Ysbryd Glân fy sancteiddio i, ac ofnais ddywedyd hyny." "Beth sy'n gwneud i ti ammeu hyny? a wyddost ti beth yw ystyr y gair sancteiddio?" "Yr wyf yn meddwl mai i wneuthur yn lân, Syr: ac yr wyf yn sicr nad wyf fi yn lân. A ydyw pob un o bobl Dduw yn cael eu gwneuthur yn lân—yn hollol lân?" "Nid oes neb yn cyrhaedd at lendid perffaith yn y bywyd hwn—hyny a fwynheir yn y nefoedd yn unig: ond y sawl a adnewyddir yn ysbryd eu meddwl gan yr Ysbryd Glân, a ddymunant yn daer gael y sancteiddrwydd hylwyr hwn, ac a weddiant am dano bob dydd a phob awr. Y maent yn casâu y pechod lleiaf, ac yn gwneuthur pob peth a allant er gogoneddu eu Pryniawdwr. Oni fedri di gael rhai o'r nodau hyn ynot ti dy hun? Tra 'r oeddwn yn llefaru, newidiodd lliw Rhys yn fynych; ond ni roddodd ateb i mi, a theimlais ar goll pa fodd i fyned â'r ymddyddan ym mlaen. Ym-

ddangosai yn wahanol i'r hyn oedd o'r blaen: ac yn lle bod yn ddideimlad, edrychai yn wir deimladol o bob gair a ddywedais. Yr oedd heb adrodd gair a'm galluogai i farnu am helaethder y gwaith ag oedd, fel y dechreuais hyderu, yn wir yn myned y'mlaen yn ei galon; ofnais, gan hyny, adeiladu unrhyw ymddiried yn ei feddwl nes y cawn brofi mor bell ag oedd modd nerth y sylfaen. Wrth ystyried pa fodd i fyned ym mlaen cyrhaeddasom fy nhrigfan, ac ymadewais âg ef, gan ei annog i weddïo yn daer am iddo dderbyn y fendith werthfawr hon. Tybiais yn oreu beidio holi ychwaneg arno am ryw ennyd, gan ei fod yn ymddangos yn anfoddlon i gael ei holi yn fanylaidd; penderfynais gan hyny oedi fy ymofyniadau nes y cawn hamdden arall.

Yn ystod yr wythnos aethum i ymweled â'i dad: yr oedd ei iechyd wedi ei adferu i ryw radd, a dywedodd, y gobeithiai y gallai ei wraig fyned i'r Eglwys y Sabboth canlynol, am ei bod yn gwerthfawrogi y fraint o addoli gyd â'r gynnulleidfa. Yr oeddwn yn awyddus i'w arwain i ymddyddan ynghylch ei fab, fel y gallwn wybod a wyddai efe am betrusder ei feddwl, a mynegais yr hyfrydwch a deimlwn wrth ei weled yn ymgyrchu mor gysson i'r ysgol. "Bachgen da ydyw (eb efe) yn ufudd iawn i'w rieni, ac yn bur awyddus i ddysgu; ond, Syr, mynych y gorfu arnaf gofio yr ysgrythyr hòno, "Yn ei iawn bryd y medwn, oni ddiffygiwn:" o herwydd yr wyf yn galaru dros fy mhlentyn. Mae arnaf ofn fod ei galon yn parhâu yn galed etto—nes y gweithir gwystl o ras ni rwygir y llen sydd arni oddi fynu hyd y wared; nid oes dim ond Ysbryd Duw a all wneuthur hyn." Wel, fy nghyfaill, parhêwch i weddïo drosto ef, fel yr eglurir gwaith y sancteiddiwr, a throsoch eich hun, fel na wanhâ eich ffydd, ond fel y byddo y gras hwn, a'r holl rasusau ereill, yn fwy ffrwythlon er anrhydedd i'ch Duw chwi.

Ychydig o ddyddiau wedi yr ymweliad uchod, canfyddais Rhys â'i bwysau ar lidiart, yn myfyrio mor astud, na welodd efe mo honof fi yn agosâu ato; ac wedi i mi ei gyfarch ddwywaith, cyfododd ei ben i fynu, a llawenychais weled y dagrau yn ei lygaid, oblegid anturiais obeithio mai nid diflanedig ond parhâus a fyddai yr effaith arno. Am ba beth yr oeddit ti yn meddwl mor ddifrif, Rhys? "O Syr, yr oeddwn yn meddwl," eb efe; yna dystawodd a gwridodd. Ofnais na lwyddwn byth i wybod ansawdd ei feddwl, os nad allwn symud ei anhyder, a dywedais, "Wel, Rhys, gobeithiaf dy fod yn meddwl nad ydwyt heb i'th enaid gael ei sancteiddio yn gymmwys i sefyll o flaen gorsedd-faingc Duw, nac i fwynhâu gwynfyd y nef, yr hwn, fel y dywedais o'r blaen, a achosir drwy i ni gael ein gwneuthur yn gyffelyb i Dduw; ac am hyny yn hollol sanctaidd: canys os na byddi yn gyffelyb iddo mewn sancteiddrwydd, ni ddichon i ti ei garu, na dymuno ei wasanaethu ef." "Oeddwn, Syr, yn meddwl am hyn, ac yr wyf yn gweddïo bob dydd am i'm henaid gael ei sancteiddio; ond nid wyf yn meddwl ei bod ronyn gwell heddyw nag o'r blaen, er i chwi ddywedyd wrthyf, os gofynwn y rhoddid hyn i mi." "Ond, Rhys, ni ddywedais i pa *bryd* y rhoddid ef i ti; rhaid i ni ddysgwyl yn amyneddgar am y bendithion a ddymunwn. Ni allwn ychwaith bob amser ddeall gweithrediadau yr Ysbryd: gall fod Duw yn ateb dy weddïau yn ddiarwybod i ti. Beth a ddywedodd ein Harglwydd wrth Nicodemus? 'Y gwynt sydd yn chwythu,' &c. ond rhaid i ni ofalu *pa fodd* y gofynwn. Paham yr wyt ti yn hiraethu am y sancteiddrwydd hwn? ai am dy

fod di yn ofni y collir di yn dragywydd hebddo ef, neu ai am dy fod yn casâu pechod, ac yn dymuno cael dy ryddhâu oddiwrth ei halogrwydd?" "Meddyliaf, Syr," eb efe, "fy mod yn casâu pechod am mai pechod a groeshoeliodd ein Hiachawdwr, a'i fod hefyd yn drosedd o orchymynion Duw. Dymunwn eu cadw hwynt oll, ond ni allaf wneuthur dim yn iawn." "Y mae yn sicr, Rhys, os wyt ti yn ddiffuant yn dymuno am adnewyddiad dy galon, a chymmorth yr Ysbryd i'th alluogi i ogoneddu Duw trwy wneuthur ei ewyllys, y rhydd ef hyn i ti yn ei amser da ei hun." "Ond, Syr," ebe Rhys, gan ymddangos fel pe symudasai ei anhyder i ryw radd, "dywed y Catecism, 'Fy'm sancteiddio i a holl etholedig bobl Dduw:' efallai nad ydwyf fi yn un o'r etholedigion, ac yna ni'm sancteiddir i." "Dyna brofedigaeth oddiwrth y diafol, Rhys. Efe a roddodd y meddwl hyny yn dy galon, i'r dyben o'th rwystro rhag gofyn am y fendith hon; ond twyllwr ydyw efe er y dechreuad, ac y mae yn rhaid i ti ei wrthsefyll. Ni wyr efe pwy yw yr etholedigion, ac ni elli dithau wybod: ond gorchymynir i ni farnu pren wrth ei ffrwyth, ac os dygi di ffrwythau yr Ysbryd, diau fod Ysbryd Duw yn trigo ynot. Ac onid yw ein Hiachawdwr yn dywedyd, 'Deuwch ataf fi BAWB ag sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch:' a thrachefn, 'Yr hwn a ddel ataf fi, ni's bwriaf ef allan ddim.' Gweli nad oes yma ddim gwahaniaeth, ond gwahoddir PAWB i ddyfod: ac os deui di ato ef fel pechadur, gan ymddiried yn ei haeddedigaethau ef yn unig am gyfiawnhad ger bron Duw sanctaidd, a gweddio yn ddiffuant a gostyngedig am ras i edifarhau oblegid dy holl bechodau, ac am adnewyddiad dy galon gan yr Ysbryd Glân, gelli gredu yn ddiysgog y gwrandawir dy weddiau er ei fwyn ef, ac y derbyni fywyd tragywyddol trwyddo ef." "Ond pa fodd y gallaf wybod fod Satan yn fy nhemtio?" "Rhaid i ti weddio am arweiniad, a myfyrio yn dy Fibl, Rhys, fel y byddo modd i ti wrthsefyll ei holl gymhelliadau, megys y darfu ein Hiachawdwr. Yr wyt yn cofio iddo ef ateb pob profedigaeth ag '*ysgrifenwyd:*' ac os bydd arnat ti ryw amser eisieu cyngor, bydd yn dda genyf fi dy gynnorthwyo hyd eithaf fy ngallu; a diau y dylit ymofyn â dy dad, efe a'th hyfforddia, a weddïa drosot, ac a'th gynghora: mynega iddo yr hyn sydd ar dy feddwl, efe yw dy gyfaill goreu." "Ymdrechaf, Syr, i ddywedyd wrtho." "Dymunwn wybod, Rhys, pa beth a'th dueddodd gyntaf i feddwl am y pethau hyn; oblegid nid oeddit ychydig yn ol yn gofalu dim am danynt." "Nac oeddwn; ond amrai fisoedd yn ol gofynwyd yr un peth o'r Catecism i fachgen yr hwn y gwyddwn oedd y gwaethaf yn yr ysgol, am ei fod yn gwneuthur pethau drwg, ac yn dywedyd geiriau drwg hefyd; a phan yr oedd yn ateb y gofyniad, meddyliais pa fodd y sancteiddiwyd y bachgen acw, ac yntau yn dilyn llwybrau mor ddrwg! a phenderfynais ofyn i chwi, Syr. Yna daeth i fy meddwl fy mod i wedi adrodd yr ateb yn fynych, ac efallai fy mod i heb fy sancteiddio; a meddyliais am hyn bob dydd er y pryd hyny, ond nid oedd genyf ddigon o hyfdra i ofyn i chwi; ac yn ddiweddar bu yn achos o ofid mawr i mi i adrodd yr hyn a ofnais oedd yn anwir, a gwyddwn os nad oedd yn wir, na chawn byth fyned i'r nefoedd. Tybiais hefyd mai hyn efallai oedd eich rheswm am beri i ni ddysgu y Catecism hwn allan, ac am ofyn cwestiynau yn ei gylch, fel y dygid ni i ystyried cyflwr ein heneidiau." "Wel, Rhys, dylit ddiolch i Dduw am

roddi y meddyliau hyn yn dy galon, a gweddio mwy a mwy am iddynt gynnyddu, nes y bydd genyt ryw sylfaen dda i obeithio y cefaist dderbyniad drwy ryglyddon dy Brynwr, ac nes y bydd i ti gydffurfio yn fwy â'i ddelw ef mewn pob sancteiddrwydd calon ac ymarweddiad."

Rhy faith fyddai adrodd yr holl ymddyddanion a gefais wedi hyny gyd â'r bachgen hwn. Efe a roddodd dystiolaeth gref o allu dwyfol ras; ac, fel y cynnyddodd mewn gwybodaeth a deall, daeth ei agwedd a'i ymddygiad yn fwy nefolaidd. Cafodd yn wir ei greu o newydd yn Nghrist Iesu: yr hen bethau a aethant heibio, gwnaethpwyd pob peth o newydd. Gorlanwyd calon ei dad â diolch wrth ganfod y cyfnewidiad a ddigwyddodd yn nhueddiadau ac arferion ei fab. "Onid yw hyn yn wyrth, Syr?" eb efe. "Fy enaid moliannа di yr Arglwydd, ac nac anghofia ei holl ddoniau ef." Y tro olaf yr ymddyddenais â Rhys oedd oddeutu mis yn ol. Rhoddodd ei atebion i'm gofyniadau foddlonrwydd nid bychan i mi. Llefarodd gyda gostyngeiddrwydd mawr am y gobaith oedd ganddo fod Duw wedi dodi calon newydd iddo, o herwydd ni theimlai un amser mor ddedwydd a phan y syniai am ganfod ei Iachawdwr yn y nefoedd, a chael bod yn debyg iddo. Annogais ef i holi ei hun yn fanwl rhag iddo dwyllo ei hun â gobaith disail, a gofynais iddo drachefn, paham y tybiai fod ganddo galon newydd? Efe a'm hatebodd o'r ysgrythyr, "Wrth hyn y gwyddom ein bod o'r gwirionedd," &c. 1 *Ioan* 3. 19, 20,—24. A thrachefn, "Yr hwn sydd yn credu yn Mab Duw sydd ganddo y dystiolaeth ynddo ei hun." "Oni ddylwn, Syr, gredu hyn am danaf fy hun?" "Os gelli, Rhys, ddywedyd hyn am danat dy hun ar ol gweddio yn ddwys am arweiniad yr Ysbryd Glân, dylit yn fy nhyb i dderbyn y cysur a osodir allan yn y geiriau hyn, a diolch i Dduw am danynt. Ffarwel, gwylia rhag balchder ac anystyriaeth yn dy yrfa grefyddol; oblegid dywed yr apostol, 'Na fydd uchel-fryd, eithr ofna:' ac, 'Yr hwn sydd yn tybied ei fod yn sefyll, edrycbed na syrthio.'" Ymadawsom â'n gilydd, ac ni welais ef mwyach. Ar y ffordd i'r Eglwys, dau ddiwrnod wedi hyn, clywais fod Rhys Fychan wedi cwympo oddiar ben trol y prydnawn o'r blaen; a thra yr oedd ar y llawr, tarawyd ef ar ei ben gan un o'r ceffylau. Cafodd ei archolli mor ddwys nad oedd gan y meddyg mo'r gobaith lleiaf am ei adferiad: yr oedd wedi bod yn ddyryslyd trwy'r nos. Bwriedais fyned i ymweled âg ef yn union wedi terfynu y Gwasanaeth Boreuol; ond pan y deallais ei fod yn methu adnabod ei gyfeillion, oedais tan y prydnawn. Pan gyrhaeddais dŷ ei dad, braidd na ofidiais i glywed ei fod ef newydd anadlu yr anadl olaf, ond atteliais y teimlad hwn. Er mai dwys oedd gofid ei dad, etto gallai foli Duw am y dystiolaeth a adawodd Rhys ar ei ol ei fod yn barod i gael ei symud mor ddisymmwth. Ac er fod ei synwyrau wedi dyrysu ar y cyntaf, ei ddywediadau a weiniasant y cysur mwyaf i'w rieni galarus. "Caf, mi a gaf ei weled," eb efe, "a bod yn sanctaidd fel efe." Ei eiriau olaf oeddynt, "Onid ydych yn clywed? mae'r Iesu yn fy ngalw." "O, Syr," meddai'r hen wr, "er trymed ydyw'r dyrnod hwn i dad, mae yn ysgafn mewn cymhariaeth i'r hyn a fuasai ddwy flynedd yn ol. Y pryd hyny nid oedd fy mhlentyn yn adnabod nac yn caru ei Iachawdwr; a phe dygwyddasai iddo farw yr amser hwnw, buasai yn wir fy mhenllwydni yn disgyn mewn gofid i'r bedd: ni allwn ddys-

gwyl ei ail-gyfarfod mewn gogoniant, ond diolchaf i Dduw yn awr am y gobaith sydd genyf fod fy machgen yn ddedwydd am byth." "Yr oedd eich mab wedi newid llawer er y goreu: gwn iddo ddiolch i Dduw am roddi iddo y fath dad, a diau i chwithau foli Duw am eich cynnysgaeddu â'r fath blentyn; gofynir i chwi yn awr ei adferu yn ol, ond cofiwch mai wedi myned ychydig o'ch blaen chwi y mae efe." "O, Syr, bu i mi yn ddiweddar nid yn unig yn fab, ond hefyd yn gyfaill ac yn gynghorwr. Ysbryd yr Arglwydd yn ddiau a'i gwnaeth yn ddoeth, a mynych y gwrandewais gyda syndod ar ei sylwadau." "Hyfforddwyd ef gan yr Arglwydd," meddai ei fam, "parotodd ef i'r nefoedd yn ei ffordd ryfeddol ei hun; ac yn awr y mae wedi ei gymmeryd ef ato ei hun; etto fe ddyhidla y dagrau. O fy Nuw, maddeu fy anniolchgarwch pechadurus." Gadewais y rhieni duwiol hyn wedi myned i weddi gyda hwynt. Yr oedd eu calonau wedi eu harcholli yn ddwfn wrth adgofio y cysur a fu eu mab iddynt, er hyny dymunent ymroddi i ewyllys Duw, a llawenhau bod un enaid arall wedi ehedeg i dragywyddol ddedwyddwch. Y sabboth canlynol darllenais Wasanaeth ardderchog ein Heglwys uwch ben yr hyn oedd farwol o unig blentyn Dafydd a Mari Fychan. Bu hwn yn amser cyfyng arnynt, ond ffydd y Cristion a ymddangosai yn fuddugoliaethus, ac edrychent gyda gobaith am ail-undeb gogoneddus, pan y caent gyduno âg ef i chwareu eu telynau er moll eu Creawdwr, eu Prynwr, a'u Sancteiddydd.— "Y bore hau dy had, a phrydnawn nac attal dy law: canys ni wyddost pa un a ffyna, ai hyn yma ai hyn acw, ai ynte da fyddant ill dau yn yr un ffunud." *Preg.* 11. 6.

*Cyf.* CLYWEDOG.

## Y MILDRAETHODYDD.

### Y GRILLIAD, NEU'R CRICED.

PERTHYN y Grilliaid i ryw o drychfilod, yr hwn a gynnwys lawer math; megys y Grilliaid yn eu rhyw, ceiliogod rhedyn yn eu rhyw, a'r locustiaid. Ysgrifenasom eisoes am y locustiaid, ac yn awr ymdrechwn i roddi ger bron ein darllenwyr ychydig o hanes y Grilliaid. Diau roddi yr enw hwn arnynt oddiwrth y swn a wnant, er nad yw ond llygriad fe allai o'r gair Lladin *Gryllus* am danynt. Rhifir ynghylch wyth math ar hugain o Grilliaid, y rhai a amrywiant ychydig yn eu maint, eu llun, eu lliw, neu eu harferion, y naill oddiwrth y llall. Ni fydd i ni son ond am ddau neu dri o'r rhai hyn. Y mae'r Grilliaid ond odid mor adnabyddus i'n holl ddarllenwyr, fel nad oes angenrheidrwydd am eu darlunio â geiriau. Digon yw dywedyd bod y ceiliogod rhedyn a hwythau yn bur debyg o ran llun a maint i'w gilydd; er eu bod yn amrywio yn eu lliw, eu hymborth, a'u harferion. Y rhai y soniwn ychydig am danynt gyntaf yw,

1. Y Grilliaid neu 'r Criciaid anneddol, y rhai a gartrefant gan mwyaf yn muriau a phentanau ein tai annedd. Y mae iddynt ddau gorn neu deimledyddion hirfeinion, agos gogyhyd a'u cyrph. Rhoddwyd iddynt ddau o lygaid mawrion, a thri o rai bychain yn uwch yn eu talcenau. Os creffir yn fanwl arnynt, y mae cryn wahaniaeth rhwng y gwrryw a'r fenyw. Y mae edyn a gorchudd edyn y Grilliedyn gwrryw yn gorchuddio mwy o'i gorph nag y mae aden a gorchudd yr un fenyw; ac y mae i'r fenyw hefyd y'mhen isaf y corph offeryn gau hirfeiniog, trwy yr hwn y gwthia ei hwyau i'r lle bwriadol i'w deor. Creaduriaid anwydog iawn ydynt, am hyny y trigant ynghylch

ein haelwydydd, yn enwedig aelwyd y *gegin* a'r pobty. Er y teimla y trychfilod ereill wahaniaeth rhwng haf a gauaf, gwanwyn a Hydref, etto y rhai hyn, am eu bod yn byw megys o fewn poethgylch y ddaear, ac o herwydd gwres tanllwythau y gauaf, ni theimlant ond ychydig o effeithiau yr oerfel. Chwareuant eu telynau mor ddymunol i glustiau y rhai a garant eu *grill* Nos Galan a Nos Wyl Ifan. Ymborthant ar amrywiol o bethau, megys briwsion bara, peilliaid, hen ledr, trychfilod bychain, halen, dillad gwlan yn sychu wrth y tân, a llawer o wehilion y gegin. Nid hoff gan y Grilliaid waith caled; am hyny hwy a ddewisant y lleoedd hyny yn hytrach nag ereill, lle y bo'r mur yn newydd, a'r clai yn feddal, neu rwygiedig, canys felly hwy a weithiant eu ffordd yn rhwydd drwyddo. Yn yr haf symudant weithiau o'r tai i'r caeau, a chlywir hwy yn grillian yno mor llawen a phe buasent ar aelwyd y gegin lawnaf yn y wlad. Dywed Mr. White yn hanes Selborne fel hyn am danynt:—"Megys y gallesid meddwl oddiwrth eu trigfeydd gwresog, eu bod yn sychedig, felly y maent: a dangosant duedd cryf at bethau rhedegog; canys mynych y ceir hwynt wedi boddi mewn llestraid o ddwfr, neu laeth, neu gawl: a hoffant yn fawr bethau gwlybion; canys hwy a fwytânt ddillad gwlan pan yn sychu, er na wnant felly pan yn sych." Y maent hefyd yn dra bwytaig. Gwelwyd hwy weithiau y'ngwyll y nos yn ehedeg allan dros ben tai cyfagos; a hyn a ddengys i ni pa fodd y maent yn ymddangos yn ddisymmwth mewn manau lle nad oeddynt unwaith, ac yn diangc mor ddisymmwth o'u hen drigfeydd. Y mae yn deilwng o sylw, na wna llawer o drychfilod adenawg ddefnydd o'u hadenydd, oddieithr pan yr ewyllysiont symud eu trigfeydd, a meddiannu rhai newyddion. Pan yn ehedeg, nid ânt y'mlaen yn wastad, eithr codant weithiau yn uchel, ac yna gostyngant yn isel, a gellir galw eu llwybr trwy 'r awyr yn *donawg*. Pan y bont wedi lliosogi yn dra aml, gwnant eu hunain yn gyfanyddion annymunol. Ehedant i'r canwyllau, ac i wyneb y preswylwyr. Gellir eu dyfetha trwy losgi fflam-lwch yn eu tyllau. Delir hwynt hefyd yr un modd ag y delir cacwn mewn costrelau wedi eu rhanlenwi â chwrw, neu ryw wlyb arall; canys y maent yn wastad yn sychedig, ac am hyny os rhoddir costrel lanwedig fel uchod yn eu ffordd, hwy a frysiant yn lluoedd iddi hyd yr annent ynddi, ac a foddir. Ni niweidir hwy yn fynych; canys y mae llawer yn meddwl os gwneir niweid iddynt, ac os ymadawant â lle, bod yn sicr ryw anffawd neu gilydd i gyfarfod y lle hwnw a'i drigolion. Pan y bo'r creaduriaid hyn yn rhedeg o gylch yr ystafell yn y tywyll, os dygir i mewn i'r ystafell ganwyll oleu yn ddisymmwth, hwy a roddant grill neu ddau neu dri, megys i rybuddio eu cyfeillion i ffoi er diogelwch i'w llochesau.

Yr oedd yr hynod *Scaliger* mor dda ganddo am eu swn, fel y cadwai efe ychydig o honynt mewn blwch yn ei ystafell mewn lle cynnes. Ac nid all rhai aros eu grilliad, ac am hyny hwy a arferant lawer o ffyrdd i'w gyru ymaith. *Ledelius* a ddywed am ryw wraig, yr hon a ffinid yn fawr gan y Criciaid, ac am hyny a ymdrechodd lawer yn ofer i'w dinystrio, neu i'w gyru ymaith. O'r diwedd hi a lwyddodd, er yn hollol ddamweiniol o'i rhan hi; canys fel yr oedd priodas yn ei thŷ un diwrnod, hi a wahoddodd amrai i'w thŷ; ac er eu difyru, hi a yrodd am dabwrdd ac udgyrn; seiniau dyeithrol y rhai hyn, fel y mae 'n debyg, a ddychrynasant y Grilliaid; canys hwy a ymadaw-

sant o'r lle yn ebrwydd, ac ni ddychwelasant yno mwyach.

2. Grilliaid y Meusydd. Y rhai hyn y dydd a lechant yn eu tyllau yn y meusydd, ac a ddenant allan ar ostyngiad haul, i ganu eu cân, ac i gyflawni eu gorchwylion. Y maent mor ochelgar, fel nad yn hawdd y deuir yn agos atynt: canys hwy a deimlant effeithiau cerddediad yr hwn a fyddo yn myned tu ag atynt o bell, ac a giliant yn ol i'w tyllau, ac yno y llechant hyd nes y meddylient fod pob enbydrwydd wedi myned heibio. Mr. White, yn hanes Selborne, a ddywed, iddo ar y cyntaf geisio eu cael allan â rhaw; ond naill ai nid oeddynt yn gallu cyrhaedd pen draw y twll, yr hwn yn fynych a ddiweddai o dan gareg fawr, ai, wrth godi y pridd, hwy a wasgent i farwolaeth y Grilliedyn, ac felly yn ofer yr ai eu llafur. O un o'r tyllau, medd efe, er lladd y trigiannydd, ni a godasom lawer o'i wyau, y rhai oeddynt hir a chulion, o liw melyn, ac wedi eu hamwisgo â chroen gwydn. Wrth hyn hefyd y gwelsom y gwahaniaeth rhwng y fenyw a'r gwryw. Y Grilliedyn gwrryw sy ddu dysglaer o ran lliw, a rhibyn euraidd draws ei ysgwyddau. Y fenyw sydd fwy llwyd-ddu o ran lliw: y rhan isaf o'i chorph yn ehangach; ac y mae iddi ym mhen y rhan hon o'i chorph offeryn gan hirfain, nid annhebyg i gleddyf o ran llun—a thrwy yr hwn, fel y meddylir, y gwthia ei hwyau i'w lle darparawl er eu deori. Mr. White a ddywed y gellir eu cael allan o'u tyllau trwy wthio gwelltyn i mewn iddynt: canys, medd efe, y gwelltyn ystwyth, wrth ei wthio i'w tyllau a dreiddia hyd atynt, ac yna hwy a frysiant allan. Er bod iddynt goesau ol cryfion, er peidio fel ceiliogod rhedyn; etto, ni wnant felly pan eu gyrir allan o'u tyllau; ac er bod iddynt adenydd, etto ni ddefnyddiant hwynt ar yr amser hwn. Y rhai gwrryw yn unig a rilliant. Gwneir y sŵn hwn ganddynt wrth dynu y naill adan dros y llall. Trigant yn unig. Y gwrryw mewn un man, a'r fenyw mewn lle arall. Cyfarfyddant yn awr ac yn y man yn y nos, a pbryd hyn, tebyg yw bod yr adenydd o fudd iddynt. Pan y delo ynghyd ddau wrryw, ymladdant yn greulon: ond er hyn y maent yn hollol ddiniwed os cymmerwch hwynt i'ch llaw. Ymborthant, fel y meddylir, yn ddiwahaniaeth ar bob llysieuyn a fo yn agos i enau eu tyllau; a thebyg yw nad ynt un amser yn myned ym mhellach nag ychydig o fodfeddi oddiwrth ddrws eu tyllau trwy gydol y dydd. Yn sefyll yn ngenau eu tyllau, hwy a rilliant o ben bwy gilydd i'r pedair awr ar hugain, o ganol Mai hyd hanner Gorphenaf. Pan y bo'r hin yn wresog, eu grilliad fydd mor uchel a chryf, fel y pair agos i'r mynyddoedd eu hadsain, yn enwedig y nos. Tu a'r degfed o Fawrth, ymddengys y Grilliaid hyn yn ngenau eu tyllau, y rhai ynghylch y pryd hwn a agorant ac a addurnant. Pob un a welais i, medd Mr. White, y pryd hwn, ydoedd mewn cyflwr ammherffaith, ac yn angenrheidiol iddo newid ei groen cyn ymddangos yn Rilliedyn perffaith. Oddiwrth hyn, yr wyf yn casglu, nad yw yr hen rai o'r flwyddyn o'r blaen yn byw dros y gauaf. Yn Awst, eu tyllau a gollir, ac ni welir hwynt mwy, hyd y gwanwyn. Gellir cadw y Grilliedyn hwn mewn *basget* fechan o bapur mewn ystafell yn wynebu yr haul, os bwydir ef â llysiau wedi eu gwlychu â dwfr; ond os na wlychir hwynt, efe a drenga. Ychydig o flynyddoedd yn ol, medd yr un awdwr, ceisiais symmud rhai o'r Grilliaid hyn i'm gardd, a gwnaethym dyllau iddynt yn y tir glas; arosasant yno am dro, gan ymborthi a grillian: ond ymadawsant yn raddol, a chlywid eu sŵn

ym mhellach bellach bob boreu ar ol eu gilydd. Ac yma yr ymddengys iddynt ddefnyddio eu hadenydd wrth ymgeisio myned yn ol i'w hen gartref. Dywedir y gwna plant yn Ffrainge eu hela hwynt; a'r modd y gwnant hyny sydd fel y canlyn:—Rhwymant forgrugyn wrth edau, neu rawnyn, a gollyngant hi i mewn i dwll y Grilliedyn; ac yna tynant hi allan, a'r Grilliedyn a'i dilyn.

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

---

## HANES HYNOD

*Am ryddhâd Sais allan o'r Chwil-lys yn Mhortugal, drwy ymdrech Morwr.*

Oddeutu 1789 neu 1790 yr ydoedd y llestr *Peggy*, dan lywyddiaeth y Cadpen Smith, yn angori yn yr afon Tagus gerllaw Lisbon, a darfu i un John Henderson a morwr arall ddeisyf cennad un Sul y boreu i fyned i'r lân. Yr oeddynt ill dau o duedd ymofyngar, ac yr oedd mewn dinas dramor a Phabaidd faes ehelaeth i'w sylwadau. Ar ol rhodio o heol i heol, cawsant eu hunain mewn rhan gul o'r dref wedi eu hamgylchu gan dorf o bobl a liosogent fwyfwy o hyd. Deallasant oddiwrth ymddyddan rhai o'r edrychwyr fod gorymdaith yr Eglwys i fyned heibio: yn fuan cauwyd hwynt gan y dorf liosog mewn congl, lle yr arhosasant yn ymddyddan yn Saesoneg ar yr ynfydrwydd a'r twyll a welent o'u blaen. Tra y safent fel hyn, Henderson, y pen-fadwr, canys hyny oedd ei alwedigaeth yn y Llynges, a deimlodd ryw gyffyrddiad annysgwyliadwy â'i goes; edrychodd tu a'r llawr a chanfyddodd ysgrif yn ei esgid, wedi ei gyfeirio at y Cenhadydd Brytanaidd. Parodd hyn syndod nid bychan iddo; ac ymblygodd i lawr, a gofynodd yn ddystaw, "Pwy sydd yna?" Atebwyd ef drwy ofyn, "Onid Sais ydych?" "Nagê," ebe Henderson, "ond Ysgotyn ydwyf." "Dyna ddigon," oedd yr ateb: "cydwladwr ydwyf fi, gwedi fy hir gaethiwo yn nghelloedd y Chwillys: dygwch yr ysgrif at y Cenhadydd Brytanaidd, a deisyfaf arnoch fy rhyddhâu." Yn ebrwydd, wedi i'r dyrfa wasgaru, darfu i Henderson a'i gydymaith brysuro tua phreswylfa y Cenhadydd, lle 'r oedd y Gadpen Smith yn ciniawa. Y morwyr a fynegasant eu neges, a'r Cadpen a ddygodd dystiolaeth i eirwiredd ei forwyr. Gan nad allai y Cenhadydd wneuthur dim y dydd hwnw, gorchymynodd iddynt alw dranoeth, pan yr ymdrechai hyd eithaf ei allu yn achos y carcharwr. Dranoeth dygwyd y ddau forwr gan yr ardderchog Genhadydd i Lys y Frenhines, gyd â'r hon yr ydoedd yr archesgob yn ymddyddan; ac ar ol cyfarch, adroddodd y Cenhadydd natur ei neges i'w Mawrhydi. "Fy Arglwydd Esgob," meddai y Frenines, "dyma bwngc perthynol i chwi;" ar yr un pryd rhoddodd iddo ysgrif ei garchar-was. Yr Eglwyswr pen-uchel a'i darllenodd, ac mewn cynddaredd, gofynodd, "Pa heretic a feiddiai ymyraeth â'r Sanctaidd Chwil-lys Rhufeinaidd, i'r hwn y mae hyd yn nod Brenin a Brenines Portugal yn ddarostyngedig?" Ein Cenhadydd ardderchog, gyda chadernid diysgog, a atebodd, "Os meiddiai y Chwil-lys, neu ryw un o feibion yr Eglwys Babaidd, gaethiwo un o ddeiliaid Prydain yn hwy, bydded hysbys i'w Santeiddrwydd y Pab, ac i'r Urddasol Esgob ei hunan, fod y Brenin ag oedd efe yn ei gynnrychioli yn meddu gallu digonol i fynu ei ryddhâd; a gadewch i bob Sais a gaethiwir genych gael ei ollwng yn rhydd yn ddiatreg." Yr Arch-esgob a addawodd wneuthur hyny ym mhen ychydig ddyddiau. "Na," meddai y Cenhadydd,

"mynaf gyflawniad diaros o hyn, neu os gwrthodir ufuddhâu yn ebrwydd, gwybyddwch eich perygl." Ar ol amryw gynnygiadau i. oedi gan yr Arch-esgob, mynwyd yr awdurdod i'w ryddhâu, a'r Cenhadydd a gymmerth ei gerbyd at y Chwil-lys, tra yr arhosodd yr Arch-esgob yn y Palas. Ein cydwladwr gresynus oedd wedi ei orchuddio â charpiau, budredd, a phryfed—ei farf yn hongiau hyd at ganol ei gorph—ei ewinedd yn fodfedd o hŷd, yr olwg arno yn glafaidd ac yn deneu. Yn y cyflwr hwn dygwyd ef o flaen y Frenines, yr hon a ddychrynodd wrth yr olwg; a gadawodd yr ystafell wedi ei boddhâu yn ddirgelaidd o herwydd dyryswch dyblyg a amgylchai yn annysgwyliadwy ei Chyffeswr, at yr hwn ni theimlai nemawr o barch. Yr hyn a ganlyn oedd yn hylwyr gyfatebol â'n henw da: ein Cenhadydd yn ddig ddiystyrllyd, gan droi at yr Arch-esgob, a ddywedodd, "Chwi a'ch Eglwys ydych yn rhyfygu haeru, mai chwi ydyw yr unig ddynion a awdurdodir gan Dywysog Heddwch: eich gweithredoedd a brofant yn eglur mai goruchwylwyr dan dywysog y tywyllwch ydych."

Yn awr dylynwn hanes y caethwas hwn. Ganwyd ef yn Swydd Gaer Efrog, o rieni parchus: a chan fod tuedd anorchfygol ynddo i fod yn llongwr, ei gyfeillion a roisant iddo ganiatâd i gymmeryd mordaith i Lisbon, ar yr un pryd yn hyfforddi y Cadpen i'w iachâu, os gallai, oddiwrth y tueddiadau morwraidd hyn. Y bwriad a gyflawnwyd cyn gorphen y fordwyaeth. Wedi cyrhaedd y porthladd, aeth y llangc un diwrnod ar lân i Lisbon, gan ddwyn ei Fibl gyd âg ef, yr hwn a ddodwyd gan ei gyfeillion yn ei for-gist; ac ar bont rhwng y ddinas a mynydd, eisteddodd wrtho ei hun, gan ddarllen, yn ddiddichell, y Llyfr ammhrisiadwy hwn. Tra yr oedd efe yn gwneuthur hyn, dygwyddodd i ddau Offeiriaid Pabaidd fyned heibio—tybiwyd, oddiwrth dafodiaith un o honynt, mai Gwyddel oedd—a gofynasant pa lyfr a ddarllenai: edrychasant ar y Llyfr, a dychwelasant ef iddo, ac a aethant ymaith. Y'mhen ychydig fynydau, cyfarchwyd ef gan swyddogion, y rhai, drwy ddichell neu awdurdod, a gawsant y dyn ieuangc i'w gafael; ac o'r dydd hwnw taflwyd ef i garchar y Chwil-lys. Yma y bu dros *bymtheng mlynedd*, heb un cyfleusdra i hyspysu i'w gyfeillion pa le yr oedd, er iddynt, yn fuan ar ol ei golli, gynnyg gwobr am ei hanes. Yn ystod ei hir garchariad, bu yn angenrhaid adgyweirio drws ei gell, gan ei fod yn ymrwbio yn drwm ar y palmant: y colynion, ar y rhai yr ydoedd yn troi, ydoedd wedi rhydu yn y coed. Tra yr oeddid yn gwneuthur hyn, cauwyd allan bob llewyrch o oleuni, a gwasgarwyd hen hoelion a gurwyd o'r hen ddrws ar hyd ei gell: yntau, yn ddisylw, a ymbalfalodd oddi amgylch yr ystafell, ac a gasglodd nifer o honynt, ac â hwynt gweithiodd trwy y mur dwll ddigon helaeth i gynnwys ei fraich. Gofalodd i lenwi o'r tu mewn y twll ag oedd o'r tu allan gyda choed neu gerig. Yn y cyfamser, darfu i Offeiriad ieuangc Gwyddelig ymweled â daear-dai y Chwil-lys: meiddiodd y carcharydd ymddyddan gyd âg ef, gan ddeisyfu arno ymdrechu i'w ryddhâu, neu, o'r hyn lleiaf, roddi iddo bapur, pin ac inc. Nid oedd bosibl iddo ganiatâu y deisyfiad cyntaf; ond cyflawnodd ei ddymuniad olaf, drwy eu cludo iddo yn ddirgel pan ymweledd â'i drigfan ofnadwy ddwywaith wedi hyny. Trwy y moddion hyn galluogwyd ef i ysgrifenu y llythyr, a'i gludo drwy 'r twll, a'i lithro i esgid y morwr. Cafwyd y pin wedi ei gelu yn rhan o'i wisg garcharol—yr incorn yn ei lodrau—

a'r gweddill o'r papur oedd yn ei feddiant pan y gollyngwyd ef yn rhydd.

Cafwyd yr hanes uchod, oddeutu deng mlynedd yn ol, gan Henderson, yr hwn oedd yn dilyn ei alwedigaeth o Hwylio Llongau (*Ship Rigger*) yn *Leith*, ac yn ŵr âg enw da iddo yn ei sefylifa, hyd yn oddeutu dwy flynedd yn ol, pan y cafodd ei foddi yn ddamweiniol. Ei weddw sy ddynes barchus a duwiol, yr hon a gadarnhâ dystiolaeth ei gwr mewn perthynas i wirionedd yr hanesyn hwn, a gellid hefyd, pe dymunid, gyfeirio ati ar y pwngc hwn.

Tri charcharwr ereill o Frydeiniaid a fuont feirw yn y Chwil-lys melldigedig: un o honynt oedd Ysgotyn, a'r ddau ereill o Gymru!

Addawodd y dyn a ryddhâwyd y gwobrwyai efe Henderson, os byth y gwelai ef yn Lloegr: ond darfu iddo ef, yn ol arfer anystyriol llongwyr, esgeuluso cadw y cyfarwydd-nod a roddwyd iddo gan y boneddig; ac ni chyfarfyddasant mwy. Am fod caeth-was y Chwillys mewn cyflwr gwael o iechyd, tebygol yw ei fod wedi myned i ffordd yr holl ddaear.

GWRECSHAMYDD.

---

LLYTHYREGIAD Y GYMRAEG.

Y GWILIEDYDD,—Y mae yn ddyled arnaf, o herwydd fy nhuedd fy hun at ragoroldeb y drefn newydd, i ysgrifenu yr iaith, yn hytrach na'r hen, i lefaru yn erbyn eich Gohebydd *Epsilon*, yr hwn ryw sut a fela y newydd yn ryfeddol, er na ddylyna efe ei hun y naill na'r llall, fel wrth ddyfarnu un a chymeradwyo y llall ei heibio i bob amcan a rheol ei hun; ac felly erys rhwng dwy ac heb yr un.

Dealled ei fod yn gwyro barn pan y mae yn dywedyd, na roddwyd, "*Digonol ystyriaeth*"!! ar y rhagddodiad *dy* mewn geiriau cyffelyb a hyn: *dy*iolch (nid dyolch) *dy*sgwyl, *dy*ben, *dy*oddef, &c. nid dim mymryn llai na "*digonol ystyriaeth*" a *roddwyd* âr y rhagddodiad *dy*, pan y cymeradwywyd e yn lle *di*, gan fod *di* yn rhoddi ystyr nacäol i'r gair a'i dylyno, a *dy* yn rhoddi ystyr éangol. Y mae yn gofyn fel hyn, "*Pa faint well ydyw y geiriau yma wedi eu newid fel hyn?*" yr hyn mewn iaith amlwg yw, Pa faint gwell yw y geiriau gwedi eu newid fel hyna? Ateb, y maent yn *well* o gymaint ag y *gwnant egluro meddwl* yr ysgrifenydd; canys y sawl a ddylynent yr hen drefn, a ddywedent bod peth *gwedi dyfod* i *wydd* efo y gair *digwydd*, yr hwn nid yw ond amlygu *na ddaeth etto* i wydd: ac y mae *gwedi* a *di* fel yn gwrthddywedyd eu gilydd; megys, fel pe dywedwn, gwedi bod ac heb fod.

Dymunwn wybod pa *rymusder* sydd yn *du*, fel y gallai fwrw ymaith *di* a *dy* o'r gair *dy*oddef, ac ei gyffelyb; os ysgrifena efe y gair yn *du*oddef, nis gwaeth ei ysgrifenu yn *glasoddef*, *gwynoddef*, ac felly, goddef yn myned yn bob lliw. Ac hefyd, beth a feddylia efe, pan ddyweda, "Poen a *du* lafur;" a ydyw llafur *du* yn dostach, trymach, neu ddwysach, na llafur *gwyn*, *melyn*, neu *lâs*, neu ryw liw arall, pe byddai lliw ar lafur. Y mae ei gasgliad oddiwrth hyny, er sefydlu ei ddidrefn, yn eithaf annghywir.

Gwn am amryddulliau goddefol i lefaru ac ysgrifenu yn allegol, ond nid wyf yn gwybod am un dull a oddefa neu gyfiawnäa ddywediad eich Gohebydd, o herwydd y peth a dybiai efe, "*A ddylai fod mewn golwg wrth lythyru'r Gymraeg;*" yr hyn o'i gyfieithu yw, llythyregu pob gair yn y dull neu drefn ag y *gellir* rhoddi i bob *llythyren* ei sain *phriodol* yn y llafariad; yr hyn o'i esbonio etto, yw "rhoddi pob llythyren wrthi ei hun, neu mewn enghraifft fel yma, t-e-y-r-n-a-s, *teyrn*-

*ts;* rhodded ef i bob llythyren ei sain phriodol yn y gair yna, os gall, ac os metha, dymunwn wybod pa fodd y llythyrega efe e, fel y gallai wneuthur hyny; ac os cyflawna efe yr orgamp hono, gellir ymddiried i'w ddywediad rhagllaw; ac heb hyny, rhaid ystyried trefn (didrefn) *Epsilon*, yr hon sydd yn un newydd danlli, ei bod yn peri cadw peth mewn golwg wrth "lythyru'r Gymraeg," yr hyn *nas gellir byth* ei gyflawni.

Am y geiriau ereill, megys, *digllawn*, &c. gallasai hebgor ei farn yn bur hawdd; canys nid *di* yw y rhagddodiad yna, ond *dig;* os meddylia efe yn amgen, rhaid dywedyd mai "*gair cyfansawdd yw*" o digllawn.

Dyweda, "Gellir dwyn rhagor o brofion y'mlaen er dangos —— amherffeithrwydd y drefn newydd." Y mae yn *addef* yna y peth *na feddyliodd*: nid yw amherffaith yn arwyddo peth *heb fod* yn berffaith; ond y mae *a* yn ëangu yr ystyr, ac yn ei wneyd yn *berffeithiach* pe gellir; ac yn ol hyny, y mae yr hen drefn *an*-mherffaith yn arwain dynion i ysgrifenu un peth ac yn meddwl y peth arall. Perffeithrwydd oll yw ysgrifenu *dy*gwydd, *dy*oddef, *dy*iolch (nid dyolch) &c. yn lle di*gwydd*, di*oddef*, di*olch*, &c. ac an-mherffeithrwydd i'r eithaf yw ysgrifenu, *du*oddef, *du*oddefaint; canys ni roddwyd *un filfed ran* o "ddigonol ystyriaeth" ar y peth.

Ai yr hen drefn a ddylyna efe, pan ysgrifena, Llythyriad Cymraeg, yn lle Llythyregiad y Gymraeg, neu Lythyregiad Cymreig; ond gwell ysgrifenu, Llythyregiad y Gymraeg. Rhaid i ychydig o eiriau Cymreig, yn ol yr *hen drefn*, dreulio *mwy o amser* y cysodydd; fel y profa ysgrif *Epsilon* hyny, gan ei fod yn *dyblu* y *llythyrenau heb fod yn rhaid;* ac nid yw gosod *dwy lythyren* yn nghyd, lle *na byddo eisieu* ond *un*, *ddim yn ddigon* i gyflawni *diffyg* a fyddo mewn *lle arall* am un o'r cyfryw, onid e gallasai ysgrif *Epsilon* wneuthur hyny, a *llawer* yn *weddill*.

Gwybydded mai nid dadl *deg* nac *un-ar-ddeg* a wna y tro er sefydlu rhëol i lythyregu yr iaith Gymraeg; ond cadw gwraidd neu wreiddyn pob gair yn amlwg yn ei gysoddiad, heb wneyd dim amgen na rhoddi i bob llythyren ei newidiad priodol yn ol trefn gysoddol geiriau, a dyna yr *unig reol* i lythyregu yr *iaith Gymraeg*. Os bydd efe yn grwgnach ac yn anfoddloni ar y drefn, rheol neu y gwrthebiad yna, geill ddysgwyl chwaneg ar yr un testyn, ond nid yr un dull, oddiwrth y

CYMRO DIWEGI.

*Gorphenaf* 27, 1830.

---

## Y CLOCHYDDION.

MR. GWYLIEDYDD,—Yr ydwyf wedi bod yn ddarllenydd cysson o'ch Cylchgrawn bron er ei ddechreuad, a llawer o leshâd a dderbyniais oddiwrth yr amryfal byngciau fu dan eich sylw. Hyfryd oedd genyf weled yr ieuaingc yn dyfod y'mlaen gyda phob gwyldra i ymofyn am gyfarwyddyd, a'ch Gohebwyr yn effro i'w galwad, ac yn cyd-ddwyn yn hynaws â'u gwendid a'u hanfanteision. Hen arferion gwag a gawsant eu hegluro a'u taflu i bant: dyledswyddau ag oeddynt o bwys mawr gan ein cyndadau, ond a lychwinwyd gan gylch-droad amser, a gawsant eu puro a'u hadnewyddu. Ond er eich diwydrwydd yn diwygio llawer o gamarferion, y mae nifer mawr etto, ysywaeth, drwy ryw foddion yn cael eu goddef, dilead hylwyr y rhai a barai foddlonrwydd nid bychan i bob enaid rhesymol. Ac ym mhlith y rhai hyn meddyliwyf nad oes yr un arfer yn fwy afresymol a gwarthus nag eiddo y Clochyddion mewn amryw Lanau yn cy-

hoeddi yn grochlefus ffeiriau arwerthiant, &c. ar ddyfodiad y cynnulleidfa allan o'r Eglwys. Er mwyn i chwi a'ch darllenwyr weled ei afresymoldeb cymmeraf yr hyfdra o draddodi cri ein Clochydd ni megys ag y cyhoeddodd y Sul diweddaf: "*Hois, hois, gwrandewch bellach, y mae Ffair Auction ar ddydd Llun, gan —— ar lestri darllaw, a phethau ereill: mae'n debyg y bydd yno newid mawr.*" Ni's gallaf, Mr. Gwyliedydd, ddatgan maint fy ngofid a'm galar ar yr achlysur hwn wrth ganfod y Gweinidog yn sefyll o'm blaen yn agos i fwrdd yr Arglwydd, y Clochydd wrth y drws yn croch-lefain fod "newid mawr" i'w gael dranoeth, dyben mawr aberth Crist wedi cael ei wasgu yn ddwys i ystyriaeth y gynnulleidfa, a rhai ar fedr cyflawni y ddyledswydd sobr o dderbyn yr elfenau er cof am offrymiad ein Prynwr bendigedig ar Galfaria. Nid wyf yn meddwl yr addefai neb fod unrhyw reswm er mwyn cynnal yr arfer ysgeler hon; yn sicr ni wnai y sawl a deimlasant mewn gwirionedd lygredigaeth y natur ddynol, pa mor dueddol yw yn ei holl fuchedd i anghofio Duw a'i weithredoedd. Llawer cyfaddasach fyddai ysgrifenu hysbysiadau am y cyfryw bethau, a'u taenu mewn lleoedd cyhoeddus, o herwydd nad oes nemawr un yn y dyddiau presennol yn analluog i ddarllen yr Iaith Gymraeg. Ond rhag meithder, terfynaf trwy ddeisyfu cael hysbysrwydd genych chwi, neu rai o'ch Gohebwyr, pa un ai gan y gweinidog, ai y plwyfolion, y mae awdurdod i reoli ac i gyfnewid y cyfryw bethau anaddas a ddygwyddant ynghylch Gwasanaeth ein Heglwys? Atebiad i hyn a rydd esmwythder i lawer nad ydynt yn ewyllysio "rhoddi achos tramgwydd i neb," ond nid i neb yn fwy nag i AGRICOLA.

*Llun y Pasg*, 1830.

## CHWEDLAU.

### OWEN AP GRONWY.

DYGWYDDODD i Owen ap Gronwy, tad Gronwy Owen, ofyn i Esgob Bangor, yr hwn y pryd hyny a fynych wasanaethai blwyfydd Llanbedr Goch a Llanfair Mathafarn Eithaf, ddyfod i giniawa gyd âg ef ar ol y Gwasanaeth Boreuol. Ymddyddanodd yr Esgob gyd âg ef, ac wedi ei foddio yn hynod gan ei sylwadau synwyrlawn, gofynodd iddo beth oedd ganddo i'w giniaw? "Mae genyf luniaeth rhostiedig a berwedig," ebe Owen. Yr Esgob gan hyny a aeth gyd âg ef adref, a gwelodd mai cloron rhostiedig a berwedig, oedd y ciniaw. Ei Arglwyddiaeth, cyn myned dan y gronglwyd isel a safodd, a chan gyfarch ei gydymaith, a ddywedodd,

"Gronwy, deneu dy law, ai dyna dy lys?"

ATEB.

"Dyma fy llys, mae'n barchus i mi 'i fod,
Mi cefais ar ol fy henafiaid—
Mi a'i cadwaf, os Duw a'm ceidw,
O'm Medydd i'm Medd."

Rhosfawr ydoedd enw preswylfa yr hen ŵr.

---

### FFYDD A BODDLONRWYDD.

YR oedd yr ysgrifenydd ryw dro, er's llawer blwyddyn bellach, yn marchogaeth yn Ynys Gwy, pan oedd yr ŷd yn brin ac yn ddrud: ar y ffordd fawr daeth hyd i ŵr tlawd, ac wedi ymddyddan ynghylch yr hin, &c. gofynodd iddo, "Onid ydyw gwasgfeuon yr amseroedd, a phrisiau uchel angenrheidiau bywyd yn pwyso arnoch yn drwm?" "Syr," meddai y dyn, "nid oes arnaf ofn ymddiried i Dduw yn hyn o achos; am fy mod yn credu y bydd iddo naill ai fy niwallu â chymmaint o fara ag a ddarfu efe hyd yn hyn, neu y rhydd efe i mi galon i ymostwng i'w ewyllys, ac ymfoddloni ar lai."

HEN WEDDI A ARFERIR GAN YR ABYSSINIAID YN EU GWASANAETH DWYFOL.

"O fy Arglwydd a'm Duw, Iesu Grist, Mab y byth-fywiol IOR, ymbiliaf ac atolygaf arnat faddeu fy mhechod a'm trosedd, Tydi, yr hwn mae ei drugaredd yn annherfynedig! Pa ddyn ni's pecha! Pa le mae 'r coed ni losgent! A phwy yw efe ym mhlith meibion gwragedd nad yw yn gwneuthur pechod! At bwy yr edrychi di, O Arglwydd Iesu Grist! Nid oes neb da a phurlan heblaw Tydi! Ac yn awr, O Arglwydd, maddeu fy mhechod a'm hanwiredd; dilëa ysgrifen-law y dyled sydd i'm herbyn, yn dy drugaredd a'th dosturi; canys trugarog a thosturiol ydwyt ti. Bydded gogoniant a mawl i'r Tad, i'r Mab, a'r Ysbryd Glân, yn y nef ac ar y ddaear, beunydd o hyn hyd byth, Amen!

---

## ANERCHIADAU

### *I'R BRENIN GWILYM IV.*

MR. GWYLIEDYDD—Os nad yw yn anghytunol âg anmhleidgarwch eich Cyhoeddiad, rhoddwch le i'r ychydig sylwadau canlynol yn eich Rhifyn nesaf.—Wrth ganfod, yn y Newyddiaduron, yr anerchiadau a gyflwynwyd i'w Fawrhydi gan amrai o ddinasoedd a threfydd Lloegr a Chymru, gan Brif-ysgolion Rhydychain a Chaergrawnt, gan Weinidogion Eglwys Alban, gan Offeiriaid Llundain a'i hamgylchoedd, a chan Weinidogion y tri enw o Ymneillduwyr, yr oedd amgylchiad yn perthyn i'r anerchiad olaf a'r nas gall lai na pheri syndod a galar i bawb sydd yn caru yr Arglwydd Iesu Grist mewn gwirionedd.

Hysbys i rai o'ch darllenwyr fod Ymneillduwyr Llundain wedi ymuno â'r Sociniaid a'r Ariaid er cynnal a gwarchae eu rhyddid gwladol a chrefyddol; a blin genym adrodd mai dau o'r Sociniaid a ddewiswyd i ddarllen anerchiad yr Ymneillduwyr ger bron ei Fawrhydi!! Och! y mae 'n ddigon i beri i'n gwaed fferu yn ein gwythenau wrth feddwl fod y rhai a gymmerant arnynt fod yn Weinidogion yr Efengyl, a ymneillduant oddiwrth yr Eglwys Sefydledig er mwyn dilyn un burach, yn gallu ymgyssylltu â'r dynion a fathrant Fab Duw dan eu traed, ac a wadant yr Arglwydd yr hwn a'u prynodd hwynt!! Y mae 'r cyssylltiad hwn yn iselu yr Ymneillduwyr ym marn y byd, ac yn achosi syndod a gofid i bobl Dduw. Pa beth oedd tyb y rhai hyny a wybyddent natur y cydundeb hwn? Diau i Esgobion ac Offeiriaid yr Eglwys Sefydledig lawenychu wrth ystyried na ddarfu iddynt hwy erioed ymostwng i ddymuno cynnorthwy gelynion a gwadwyr Duwdod y Cyfryngwr. Gallant ddywedyd, yr ammharch hwn a gadwyd i'r rhai a ymneillduant oddi wrthym ni, nid o herwydd ein hathrawiaeth, ond o herwydd ein dysgyblaeth.

A oedd yno swyddog o amgylch y Palas Breninol—a oedd yno foneddig yn sefyll o flaen yr orsedd, yr hwn ni thybiai yn ddirmyg pe gofynid iddo, a allai efe ymddwyn tu ag at ei Frenin daearol yn yr un modd ag yr oedd nifer o wŷr da y pryd hyny yn ymddwyn tu ag at eu Harglwydd nefol. Pa hyd y dywedir fod y rhai ydynt yn anrhydeddu y Mab fel y maent yn anrhydeddu y Tad mewn cydundeb â'r Ariaid a'r Sociniaid! A oddefir iddynt ymgyssylltu â hwynt yn eu cyfarfodydd cyfrinachol, a chyhoeddi eu hymgyssylltiad yn ngwydd eu Brenin a'u gwlad? A gânt hwy gydsynio i gyflwyno anerchiadau, a datgan eu herfyniadau am les *tragywyddol* y Brenin, pan y byddai raid iddo, pe gwrandawai ar gyngorion Cynnrychiolwyr yr Ymneillduwyr hyn, ddechreu trwy wadu Duwdod y Mab, a thaflu ymaith bob gobaith am dderbyn maddeuant trwy ei waed ef! Os oes unrhyw deilyngdod mewn ffyddlondeb—os rhinwedd ydyw ymogelyd llwybrau y dinystrydd, buan y gwna Ymneillduwyr union-gred Llundain ddileu y gwaradwydd hwn oddi arnynt fel dynion cysonfarn a gweision i Dduw.

Clywsom sibrwd yn wir fod rhai o bregethwyr enwocaf yr Ymneillduwyr yn Llundain yn cywilyddio ac yn gofidio o achos y cydundeb llygredig hwn; a diau pe na buasai angeu wedi cymmeryd ymaith wr duwiol a dysgedig, buasai pob un o ddilynwyr yr Arglwydd Iesu wedi ymddidoli oddiwrth ei gablwyr. Dylent waeddi yn ngeiriau yn hen batriarch Jacob, "Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach hwynt: fy ngogoniant, na fydd un â'u cynnulleidfa hwynt." Ac ni ddylent ymorphwys nes y llwyddant i wahanu yr undeb hwn, gan gofio fod Duw wedi ysgrifenu yn ei Lyfr mor amlwg, nas dichon neb ei gam ddeall, nad oes "dim cyssondeb rhwng Crist a Belial."——Ydwyf, Mr. Gwyliedydd, yr eiddoch,

GOHEBYDD.

# BARDDONIAETH.

## LLONG-DDRYLLIAD.

### UN O DESTYNAU EISTEDDFOD NEWMARKET, AWST, 1829.

O'r Porthladd dymunawl gwnai hardd-long gu hwyliaw
 I'r eigion gwastad-lyfn ym mis hyfryd Mai,
Rhyw foreu hyfrydlon, a'r haul yn dyscleiriaw
 Arni 'n siriolwych pan allan yr âi.

Ei golwg oedd debyg, pan gynta' 'r âi allan,
 I ferch ieuangc hoenus, yn drefnus ei drych;
Ei chorph yn olygus, a'i mantell yn wiwlan,
 A phob rhan o honi i'w nodi 'n ddi nych.

Yr awel yn araf o'i hol oedd yn chwythu,
 Y wybyr yn ddysclaer, a hyfryd uwch ben;
Un chwa annymunawl, na chwmwl yn gwgu,
 Na dim yn weledig yn bygwth rhoi sèn.

O dani y weilgi yn esmwyth ymdreiglaw,
 Pelyderau yr huan yn chwareu ar y dòn;
Y sïar* yn yr hwyliau mal telyn yn seiniaw,
 A phob-peth yn drefnus a hwylus yn hon.

Y morwyr yn siriol, a hoenus bob wyneb,
 Y *Llong* yn hardd ddestlus a grymus ddi graith;
Y wybyr a'r môr mal yn dangos tiriondeb,
 Ac arni yn gwenu wrth gychwyn i'r daith.

Yn wisgi y nofiai ar lyfn wyneb neifion,
 Y Cadben am fôrdaith i bell *Ophir* bau;
A meddwl cyrhaeddyd y frodir hyfrydlon,
 Gan frudiaw 'n deg hefyd i'w olud fwyhâu.

Ond iddo dygwyddodd yn ol y ddiareb,
 O chwannawg feddyliau mae'n ol lawer iawn;
A llawer boreugwaith a gwên o sirioldeb,
 A dry 'n derfysglyd ddryghinllyd brydnawn.

Ac O! ym mhen ychydig y nwyfre wnai dduo,
 A thewion gymylau ymgasglodd uwch ben;
Dros wyneb yr haulwen daeth llèn i'w orchuddio,
 Pan fwyaf ei lewych yn entrych y nen.

Gwên *Mai* hyfryd-lonwych yn sydyn newidiodd,
 Yn debyg i *Ionawr* ysgythrawg ei hynt;
Yr *Haf* yn troi 'n *Auaf*, yn unswp ran ansodd,
 Yn lle 'r dyner awel d'ai 'n uchel y gwynt.

Y loyw-lâs wybyr ei mantell a wisgodd,
 A chwmwl ar gwmwl yn ymlid drwy 'r nen;
Ar fachlud yr huan, y gwynt a gryfhâodd,
 A'r nos wnai ymddangos yn un dywell llèn.

Nid ydoedd un llanerch o'r wybren i'w chanfod,
 O'r golwg ymguddiodd y lleuad a'r sŷr;†
A chedyrn arwyddion fod tymhestl ar ddyfod,
 Dygyfor yn fwy-fwy yr ydoedd y mŷr.‡

* *articulate sound.*

† *plural of Star.*

‡ *sea.*

Y morwyr yn esgud ddechreuent gynhyrfu,
A phawb at ei orchwyl yr egwyl a'i rym;
Yr hwyliau ostyngent, ac idd eu hamgylchu,
Daeth erchyll dymhestlawg du dywydd i'r dim.

Y weilgi o'u hamgylch yn tra-blin derfysgu,
Ei lyfn wyneb glasawg newidiodd ei wedd;
A gwgus ffurfafen, y gwynt yn 'sgyrnygu,
I'r Llywydd na'r morwyr yn hwy nid oedd hedd.

Yn hŷf ar yr eigion disgynodd yn enbyd
Yr elfen awyrawl yn gorwynt di drai;
Cymmysgodd yn erchyll y dyfnder tywodlyd,
A chuwro yr heli yn ewyn a wnai.

Ymchwyddai gwaneganᶊ trochionllyd hen eigion
Yn fawrion fynyddau goruchel eu nhen;
Ac yn gynddeiriogwyllt mawr ruai 'r môr eon,
Atebwyd yn ddinam â banllef uwch ben!

ᶊ *waves.*

Y mellt yn danbeidwyllt drwy 'r gwyll yn dyscleiriaw,
O'r entrych ymwibient yn fforchawg i lawr;
Y daran o gwmwl i gwmwl yn treiglaw,
Y môr a'i rû echrys yn ateb y gawr.‖

‖ *bloedd.*

Y gwlaw yn fawr gur-lif enbydwyllt ddisgynodd,
O! gynnwrf aruthrawl yn eigion a nen!
Obry, fry, ogylch, pob elfen gyd ŵgodd,—
O! noson derfysglyd, y byd mal ar ben!!

D'ai 'n bryd idd y morwyr (O! ddygyn gyfyngder)
I weithio am y bywyd y ffwng echrys hynt:
Y Cadben a lefodd—"O! cedwch i'r dyfnder,
"O! deliwch modd dilys y ffinreg* i'r gwynt."

* *prow of the ship.*

Rhyw *Faccwy* ddolefodd—"Darfyddwn bob enaid,
"Yr Arglwydd agorodd 'stafelloedd y gwynt;
"Ac archodd i'r tònau ddygyfor yn ddibaid,
"Mae yma ryw *Jonah* yn rhwystr i'r hynt."

Y dymhestl yn erwin ar y *Llong* oedd yn curo,
Llyw, hwyliau, ac angor yn ddi ddefnydd oedd;
A th'w'llwch o amgylch, dim sêr i gysuro,
Ond gwibiai y fellten, a'r daran ro'i floedd.

Y *Llong* oedd ar brydiau bron cyhwrdd â'r gwaelod,
Dro arall yn marchawg ar frigyn y lluwch;
Y dderwen haiarnaidd yn drylliaw, O! drallod!
A'r dymhestl yn curo yn uwch ac yn uwch.

Ac yn y cyfyngder collasant yr angor,
O! olwg ddychrynllyd yr ennyd ar hon!
Ac wrth hir ymguro, âe 'r llyw gyd â'r cefnfôr,
Pob gobaith ddiflanodd, sobreiddiodd pob bron.

Ac ysgoi ac ymdroi yr ydoedd fel meddwyn,
Heb lyw, ac heb angor, hwnt, yma, a thraw;
Y môr yn ei churo, i'w brig taflai 'r ewyn,
Yr oedd am y bywyd yn bryd fod mewn braw.

Eofnder a dyfais y morwyr yn pallu,
Holl anian lesghâodd, ac angau 'n eu gwedd;
Y dòn yn agoryd ei safn am eu llyngcu,
A'i hiaith yn llefaru—"Hen fôr gewch yn fedd."

Ymrwyment eu hunain wrth yr hwylbreni,
  Rhag caffael eu golchi i'r môr dros y bwrdd:—
Yn sydyn disgynodd ar graig yn y weilgi,
  Meddyliaf yn ddilys y clywaf y twrdd!!

Ac O! yr ysgrechian oer iawn-waedd ddilynodd,
  Y'nghanol yr eigion ysgarodd yn ddwy!
Y Cadben yn erchyll am y bâd a ddolefodd,
  O faith gyfyng-gyngor ar fôr ni bu fwy!!

Yr hwylbreni mawrion yn diggyn i'r tònau,
  A'r cwch wedi myned o'u cyrhaedd ym mhell;
A'r llongwyr truenus yn gymmysg â'r drylliau,
  Heb unman diangol na chongl na chell.

Meddyliaf y clywaf eu crochlef wylofus,
  O! pwy all ddychymmyg gorddwysder y cri?
A phob un yn anfon ei olaf arch serchus,
  Yn ordrist i'w gartref cyn marw 'n y lli'.

Y llengcyn caruaidd a'i waedd am ei 'nwylyd,
  "Rhaid, rhaid imi farw heb weled fy Ngwen;
"Yn iach, yn iach mwyach i'th wyneb sirioibryd,
  "O! dyma 'r bedd dyfrllyd y cuddir fy mhen."

Y gwr, yn nhrangc angau, yn cwynfan o'i enaid,
  "Gwynebaf farwolaeth heb weled fy ngwraig;
"Bydd hi a'm hanwyl-blant, Ow! draw yn ymddifaid,
  "A mi yn ysglyfaeth i bysgod yr aig."

Caed rhai o'r nych irad â chwyn am chwiorydd,
  Ac ereill am frodyr y sobyr hynt syn;
A'r *Maccwy* difrifawl yn is ei leferydd,
  Yn ddwys ac yn ddilon feddyliodd fel hyn.

"Ow! Ow! fy anwyl-fam a'm hen-dad sy'n dysgwyl
  "Mewn tref fach yn Nghymru am gymmorth gan i;
"Pa beth ddaw o honoch, rieni rai anwyl,
  "A mi 'n cwrdd â dylaith yn nhrochion y lli'!

"I chwi yn eich henaint buaswn yn gymmorth,
  "Pe rhoisai yr Arglwydd im' einioes yn hŵy;
"Ni welaf byth mo'noch, ar dir nac mewn llongborth,
  "Y môr rydd i'm hoedl â'i gledd farwol glwy.

"Gorch'mynaf chwi beunydd i ofal yr Arglwydd,
  "O! Tad i'r oedranus gofalus yw ef;
"Os marw 'n ei heddwch cawn fythawl hapusrwydd,
  "Cawn gwrdd yn llawenach yn iach yn y nef."

Ac yn y cul driniaeth daeth cryfwynt dwyreiniawl,
  *Euroclydon* 'sgythrawg yn ffracawg ei ffraw;† 
Ymhyrddai 'r môr waneg yn foelfre arswydawl,
  Ac arnynt ar unwaith (ond un) a roes daw.

Pan oedd eu hysbrydoedd a'u cyrph ar wahanu,
  Anfonwyd at *Celi* i'r nef weddi faith;
Ym mol yr anoddyfn y cawsant eu claddu,
  Y *Llong-ddrylliad* erwin roes derfyn i'w taith!!!

Trugaredd yr Arglwydd ymddengys yn wênawl,
  Yn nghanol barn bwysig i mi ym mhob man;
O rhyfedd! achubwyd y *Maccwy* difrifawl,
  Trwy ryw foddion gwyrthiawl cyrhaeddodd y làn.

† *full of motion.*

Achubwyd ei fywyd er maint yr erchylldra,
Ystyriwn yn bwyllus fawr allu yr Ior;
A'i gyd-forwyr truain yn caffael eu difa,
A'u claddu bob einioes ym mynwes y môr.

Ar ol ei hir guro gan drochion yr hiffiant,‡
Y dòn a'i gadawodd yn oer ar y traeth;
Yn wan ac yn unig, yn ciddil ddi noddiant,
O! adyn di swccwr ei gyflwr oedd gaeth.

Ei nerth ym mhen ennyd ychydig ndfywiodd,
Ac yno pan allodd penliniodd i lawr;
I'r nef yn ddifrifawl ei lef a ddyrchafodd,
"O Dduw gwnest fy ngwared, dy nodded yn awr.

"O! Arglwydd achubaist fy mywyd o dònau
"Annhrugar, trochionllyd, cynddeiriog y môr:
"O derbyn! O derbyn! fy ngwael ddiolchiadau,
"I mi wyt garedig fy unig fwyn Ior."

Disymmwth dilynodd dystawrwydd naws tirion,
Y nos a ffôdd ymaith, ymddòrai gwawr deg;
A'r haul yn y dwyrain wnai ddangos yn brydlon,
A gwyneb yr eigion yn frawdlon ddi freg.

Y *Maccwy* oedd yno yn egwan unigol,
O'i amgylch gwnai syllu (tan nod hydyn aeth)
I edrych a welsi, yn fyw neu yn farwol,
Yr un o'i gyfeillion y tro ar y traeth.

Ond buan deallodd na welai mwy wyneb
Yr un o'r rhai anwyl oedd hoff gan ei fron;
Ac ofer oedd dysgwyl, can's yn y gwrthwyneb
Y chwythai y gwynt, ac ymdreiglai y dòn.

Ah! llefodd dan wylo—"Ow! Ow! fy nghyfeillion
"Oedd ddoe yn y boreu yn iach ac yn wiw,
"Gyda mi 'n llonwych; yn awr maent yn feirwon,
"A'u cyrph yn yr eigion, a mi yma 'n fyw!

"O! dyma drugaredd tu hwnt i'w hamgyffred,
"Duw 'n achub un hogyn tra chyndyn a chas:
"O! Arglwydd fy nharian, gwna gyda fy ngwared
"Blanu yn fy nghynneddf yn reddf dy gu ras."

Oddiyno yn egwan ac araf ymdeithiodd,
Daeth i dŷ *Amaethydd* oedd gerllaw i'r lle;
Yn drist d'wedai 'i helynt, ac yna ymbiliodd
Am wneuthur yn fwynaidd drugaredd âg e'.

Y gwr yn ystyriol ym mlaen fe'i gwahoddodd,
Gwrandawai yn addfwyn ei gwŷn heb nacau;
A'r wraig idd y *Maccwy* y gwely gynhesodd,
Ac ynddo gorweddodd yn glydfodd iawn glau.

Ac yn gymmedrolaidd rho'ent luniaeth i'w lòni,
A gwin gwnaent ei noddi o'i gyni 'n ddi gŵyn;
A chafodd y truan yn lân bob haelioni,
O! wele i drueiniaid Samariaid rai mwyn.

Wrth gael yr hoff driniaeth ei drallod anghofiodd,
A'r dagrau ymdreiglai yn llif dros ei rudd,
Gan bryder§ serchoguidd; a buan y syrthiodd
I hûn-gwsg esmwythwych yn geinwych heb gudd.

‡ drift, foam.

§ anxiety.

Drwy nodded cysurus a maeth yr *Amaethydd*,
  Er yn gythrybius mwynhâes felus hûn;
A chwedi hir orphwys deffroes ar y nawn-ddydd,
  A rhoes am ei noddiant ogoniant i'w Gun.

Y wraig ymgeleddgar roes ddwfr iddo i 'molchi,
  A'i laeswallt d'rysedig yn unfrig a wnaeth;
O'i flaen rhoes flasusfwyd, a d'wedodd, ferch heini',
  "Bwytêwch, gwnaiff eich llôni o'ch culni mawr caeth."

Ei fron braidd rhy athrist i'w enau archwaethu,
  A'i lygad yn ffynon o hidyl ddwfr hallt,
O serch at y mwynwr ymroes i'w ymg'leddu,
  O barch i'r anwyl-wraig a gribodd ei wallt.

Cyn gadael eu hannedd efe a'u cyfarchodd,
  A'i wyneb gan brudd-der yn welw-lâs wŷn;
Ei feddwl yn crwydro ar hyn a ddygwyddodd,
  Ac wrthynt yn isel dywedodd fel hyn :—

"I'r môr os edrychaf, dim cysur, dim achles,
  "Pan elwyf i'r *Porthladd*, Och! yno bydd cri;
"Nid oes, y mae 'n debyg, i adrodd yr hanes,
  "Neb, neb o'm cyd-forwyr yn fyw ond myfi.

"O! cefais diriondeb yn eich tŷ anghyfartal,
  "O buoch! O buoch! i mi 'n dad a mam;
"Diolchaf i'r Arglwydd am lànio 'n eich ardal,
  "Lle disgyn yn *Nghrygyll* yn erchyll fy nam.

"Pa beth i chwi dalaf? dim golud nis meddaf,
  "Y cwbl oedd genyf ysbeiliodd y môr;
"Derbyniwch fy niolch, myfi ni'ch anghofiaf,
  "Yn awr mi'ch gadawaf dan fendith yr Iôr."

Y gwr a'r wraig wiwlan dòrasant i wylo,
  Wrth drist-lef y *Maccwy* a hyny 'n dra hawdd :—
"Ffarwel i chwi druan, os y'ch am ein gado,
  "JEHOFAH, IOR hyfwyn i chwi fyddo 'n nawdd."

O'u hannedd aeth allan, ar y môr yr edrychodd,
  Yn hidyl iawn wylodd, a throes draw yn drist;
Yna am y *Porthladd* wych enaid cychwynodd,
  Nid oedd i'r *Marsiandwr* ond ef yn fyw dyst.

Bûm i gyd â'r *Maccwy* yn mynych ymddyddan,
  Mae 'n hynod ddifrifawl a'i fryd ar y nef;
Gan bwy cawn well hanes na chanddo fe'i hunan,
  'Does neb yn y frodir mwy geirwir nag ef.

PERERIN.

---

## CYFIEITHIAD O LINELLAU SEISNIG

### AR FARWOLAETH SIOR IV. A YMDDANGOSASANT YN "NGHRONICL GWYNEDD," GORPHENAF 15, 1830.

MACHLUDODD yr haul, yr Elor Freninawl
Amgylchir âg ochain a dagrau dyferawl!
Cenedl mewn galar, gan faner ddu angeu
Yn chwyfio 'i chysgodion uwch ben eu Llyw goreu!
Ond byr ei orfoledd—y gyfran anfarwol,
Y galon ddi wyrni, a'r enaid sancteiddiol,
Ni's gall eu caethiwo, ehedant i fynu,
Mewn bydoedd rhagorach fe'i gwnaed i deyrnasu;
Y rhai'n ymddyrchafant, esgynant yn hwylus,
I fröydd gwahanol, a mwy gogoneddus;
Ac etto mae SIOR yn Frenin angylaidd,
Ar deyrnas ddedwyddach, dan goron nefolaidd.

E. T. *Clynnog.*

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### FFRAINC AC ALGIERS.

PA beth bynag yw dymuniadau Lloegr, a'r llywodraethau ereill yn Ewrop, o barth cyssylltiad Algiers â Ffrainc, ymddengys, oddiwrth weithrediadau y Cadflaenor Bourmont, fod Ffrainc yn dysgwyl ei chael fel talaeth i'w hymerodraeth.

Y Dey sydd wedi myned o Algiers i Leghorn, ynghyd â'r holl Dyrciaid ammhriod. Mae y deiliaid Tyrcaidd yn gyffredin i ymadael o'r wlad mor gyflym ag y gallant. Meddiannwyr tiroedd ydynt i gael wyth mis i'w gwerthu hwynt; ac os byddant, ár derfyniad yr amser hwnw, heb eu prynu trwy ammod ddirgelaidd, rhaid iddynt eu gwerthu yn gyhoeddus; a gwarafunir iddynt yn benodol ddychwelyd yn ol i Algiers. Agorir siopau yn Algiers, a dygir lluniaeth i'r farchnad. Gosodwyd Monsieur d'Aubignose yn Llywydd y *Police*, y Cadflaenor Tholose yn Llywodraethwr, a dewiswyd Dirprwywyr i ddiwygio yr amryfal sefydliadau yn gyfatebol i'r cyfnewidiad mawr sydd wedi dygwydd. Darfu i *Bey* Titery roddi ei hunan i fynu, a goddefodd Llywodraeth Ffrainc iddo barhâu yn ei lywodraeth os tala efe yr unrhyw deyrnged i'r llywodraethwyr newydd ag a dalodd i'w feistr o'r blaen.

Dywedir y gwna y trysorau a gymmerasant yn Casauba ad-dalu cyfran fawr o draul y rhyfel. Hyspysa newyddiaduron Ffrainc na bydd traul y rhyfelgyrch yn ddim llai na £4,000,000, a'r trysor a gawsant yn Casauba oddeutu £2,400,000 o aur.

Nid yw Hussein, Dey Algiers, yn ddyn o dymher greulawn; er fod ei ymddygiad yn llym tu ag at y milwyr Tyrcaidd, ysbryd gwrthryfelgar a bradychus y rhai a ofnai, ymddygai bob amser yn addfwyn ac yn gyfiawn tu ag at yr Algeriniaid, ac nid allent ei gyhuddo o wamalrwydd neu greulonder. Nid yw yn ymddifad o synwyr. Nid yw ei wybodaeth ynghylch cyflwr gwladwriaethol Ewrop, ac amcanion yr amryfal Lywodraethau mewn perthynas i'r gwledydd dwyreiniol, ond yn bur gyfyng. Ei hysbysiad ynghylch hyn a achosodd ei gwymp drwy ymddiried yn angall ar Loegr. Ei wybodaeth milwraidd hefyd sydd yn gyfyng iawn. Rhoddodd fwy o'i amser i astudio y Koran, a llyfrau Arabic, na rheolau milwriaeth. Mynegir iddo ddywedyd wrth ryw un a'i beiai am oddef i'r Ffrancod lanio heb eu gwrthwynebu, "Pa fodd y cyngorasech fi i'w cymmeryd pe na oddefaswn iddynt ddyfod?" Rhyw ddiwrnod, pan oedd yn edrych drwy yspien-ddrych, gwelodd y rhes gyntaf o'r llu yn saethu ar eu gliniau, a gwaeddodd, "Edrychwch, y maent hwy yn gofyn am arbediad; cymmerwch galon, plant Mahomed." Tro arall, wrth ganfod ei elynion yn cerdded yn agos i'w gilydd fel pe cyssylltid hwynt, dywedodd, "Gwir yw fod y Ffrancod yn rhyfela yn groes i'w hewyllys, a'i bod wedi eu rhwymo ynghyd er gwneuthur iddynt ymladd."

Newyddiaduron Ffrainc a roddant yr hanes canlynol am gyfarfod cyntaf y Dey a'r Cadflaenor Bourmont:—Y Cadflaenor Bourmont oedd y cyntaf i fyned i mewn i Balas y Dey, yr hwn a'i derbyniodd gyda â'r tawelwch mwyaf. "Daethum i ymofyn â chwi am lettŷ," ebe 'r Cadflaenor. Atebai 'r Dey, "Fy mhalas, yn gystal â'r ddinas, ydynt eiddo i chwi, gan mai chwi fu y buddugoliaethwr, gallwch wneuthur y peth a fynoch â hwynt. Dymunaf gael dwy awr i symmud y dodrefn a berthyna i mi." "Cymmerwch eich amser eich hun, a symmudwch yr hyn a ddymunech." "Bydd dwy awr yn ddigon," atebai y Dey. Yn ganlynol, trosglwyddwyd holl ddodrefn y Dey yn yr ysbaid byr hwnw, a chymmerodd Bourmont, a'i holl swyddogion, eu trigfan yn y Palas. Gofynodd y Dey, "A fyddaf fi yn ddiogel yn y dref?" "Byddwch; ond gwell fyddai i chwi fyned i Ffrainc neu i Loegr." Y Dey a gerddodd ar hyd yr ystafell heb roddi yr un ateb, yna dywedodd, "Mi a lywodraethais yn ddi ofn; mi a roddaf fy nheyrnas i fynu yn yr un modd." Wedi iddo ddyosg ei wisgoedd breninawl, efe a aeth i'r breswylfa un o'i ddeiliaid, a gellir ei ganfod yn awr yn rhodio ar hyd yr heolydd, ac yn cymmysgu gyd â'r dyrfa.

### ADCHWYL YN FFRAINC!!!

Y MAE cyflwr tufewnol Ffrainc wedi bod yn dra annymunol er's tro yn ol, o herwydd bod y Brenin SIARL X. yn nacau cyduno â dymuniadau ei ddeiliaid mewn perthynas i'w swyddogion ef, y rhai oeddynt yn ymdrechu dwyn Ffrainc i gyflwr iselach nag y bu hi erioed. Ac i'r dybe

hyn, hwy a anfonasant Adroddiad, yr hwn sy ty faith i'w gyfleu yma, ar y 25ain o Orphenaf, at ei Fawrhydi, yn mynegi y drygau sydd wedi gorlenwi y wlad o herwydd Rhyddid y Wasg; yr hwn, meddant, sy bob amser yn offeryn i ledaenu anfoddlondeb a bradwriaeth, ac yn galw ar ei Fawrhydi i ddistrywio Rhyddid y Wasg, ac i wahardd i bob un o'r Newyddiaduron gael eu hargraffu heb ganiatâd y swyddogion. Bu y Brenin yn ddigon ynfyd i gyduno â chynnygiad ei Gyngorwyr, a threuliasant ddydd yr Arglwydd yn gwneuthur cyfreithiau i ddistrywio Rhyddid y Wasg—i ddirymu Tŷ y Cynnrychiolwyr ag oeddynt newydd eu hethol gan y bobl—ac i newid ffurf etholiad Cynnrychiolwyr, yn y fath fodd ag i rwystro pawb ond eu pleidwyr eu hunain rhag cael eu dewis. Llaw-arwyddwyd y cyfreithiau hyn gan ei Fawrhydi a'i swyddogion. Y penderfyniadau ynghylch y Wasg ydynt fel y canlyn:—Nad oes i unrhyw gyhoeddiad ymddangos yn Paris, nac yn y taleithiau *(departments)* heb i'r awdwr a'r argraffydd gael awdurdod gan y swyddogion; ac os meiddia neb droseddu y gorchymyn hwn, bydd i'w celfi-argraffyddawl gael eu rhoddi dan sêl, neu eu distrywio. Fod i'r awdurdod gael ei adnewyddu bob tri mis—fod pob rheol groes i hon yn aneffeithiol—a bod Ysgrifenyddion y Wladwriaeth i roddi y deddfau hyn mewn grym. Nifer y Cynnrychiolwyr a leihâwyd o 430 i 258; cyfyngwyd nifer etholyddion y deyrnas i 8,000 neu 10,000 o ddynion, y rhai a ellir eu rheoli a'u brawychu mor hawdd gan y Rhaglawiaid ag y rheolir aelodau amrai o Fwrdeisdrefi Lloegr a Chymru.

Fel y gellid dysgwyl, darfu i'r deddfau annoeth hyn achosi braw a chynnwrf anghyffelyb yn y brif ddinas; ond ymddangosai pawb yn dueddol i wrthsefyll yn ddiysgog orchymynion y Llywodraeth. Y Newyddiaduron a ddadleuent o blaid y bobl a'u cyngorent i beidio ag ufuddhâu; a chafodd dau Newyddiadur eu cyhoeddi yn groes i orchymyn y Brenin.

Gosodwn ger bron ein darllenwyr rhai dyfyniadau o'r hanesion a dderbyniwyd o Paris.

*Gorphenaf 27.* Ni bu y ddinas hon erioed yn y fath gynnwrf ag yn y ddau ddiwrnod diweddaf. Y bobl ydynt yn rhedeg o amgylch i ofyn am newyddion. Y *Police* sydd wedi gorchymyn i lawer o gwestai, ac ystafelloedd lle yr arferai y trigolion ymgynnull i ddarllen y Newyddiaduron, gael eu cau i fynu. Y Newyddiaduron a gyhoeddwyd heddyw y boreu, heb ganiatâd y Brenin, a ddarllenir gan y bobl yn lluoedd, a bron dan bidogau y milwyr. Ni wna trigolion lluosog Paris ufuddhâu y gorchymynion. Y gweithdai ydynt yn gloedig, a'r masnachdai heirdd yn heolydd Richelieu, &c. ydynt yn hanner agored. Y Palas Breninol, mor ardderchog yn amseroedd heddwch, mor nodedig yn nechreuad yr adchwyl diweddaf, sydd yn awr yn garchardŷ tywyll. Y pyrth ydynt yn gauedig, a'r ardd a'r llwybrau yn wâg. Y Tuileries hefyd ydynt wedi eu cau. A phob sefyllfa lle y gall nifer o ddynion gyd sefyll sydd yn meddiant y milwyr. Yn y cyfamser y braw sydd yn cynnyddu bob awr. A phwy bynag a symmud o'i dŷ sy mewn perygl o gael ei amgylchu gan dyrfaoedd yn prysuro bob ffordd, y rhai ni all y milwyr eu rhwystro. Y mae gwaed wedi ei golli o bob tu. Danfonwyd cenhadon i bob parth o'r deyrnas i wysio y Seneddwyr i ddyfod at eu dyledswydd. Nid oedd ond 32 o honynt yma ddoe. Yn yr heolydd gwelwyd bagad o filwyr yn gyru y dyrfa o'u blaen; y canlyniad o hyn oedd llawer o derfysg a brwydrau gwaedlyd, a chollwyd llawer o fywydau.

*Dydd Mawrth.* Yn y prydnawn cyfarfu amrai o wrthwynebwyr y Brenin, ac ymddiffynwyd hwynt, tra yr ymgyngorent, gan La Fayette, a llu o'r Gosgorddion Gwladol. Wedi hyny, cydunodd y Seneddwyr i anfon cwyn-dystiolaeth at y Brenin; ond wedi i'r cenhadon gyrhaedd St. Cloud, clywsant fod ei Fawrhydi wedi dianc. Dychwelasant i Paris, ac adroddasant y newyddion hyn i'r Seneddwyr, y rhai a benderfynasant fod Charles X. wedi fforffedu y Goron. Dyrchafwyd y lluman drilliwiawg, a dygwyd ef ar hyd yr heolydd ar benau picellau, cleddyfau, &c. Y faner goch oedd yn chwyfio uwch ben y *Notre Dame*, a thynwyd i lawr y faner wèn, a mathrwyd hi dan draed y trigolion.

*Dydd Mercher.* Y milwyr a ddaethant â'r magnelau i'r heolydd, ac a'u hanelasant yn erbyn y bobl, a llawer o honynt a laddwyd. Gwelir celaneddau y trigolion yn gorwedd yn sypiau, a'r rhai clwyfedig yn cael eu dwyn i ffwrdd gan eu cyfeillion. Cafodd y bobl feddiant o ystordŷ arfau Paris, a chymmerasant yr holl arfau oedd ynddo; ond buan y cymmerwyd y lle gan y milwyr wedi colli 500 o ddynion. Yr adeiladau ereill, lle y cadwyd arfau, a dorwyd gan y dyrfa, a thrwy hyn cawsant lawer o arfau. Parhâodd y brwydrau gwaedlyd am agos i 12 awr, ac ni wyddis pa faint a gollasant eu bywydau. Mor gynddeiriog oedd y bobl yn erbyn y milwyr ag y codasant gerig palmantau yr heolydd i fynu, a dringasant i benau yr adeiladau i'w taflu ar y milwyr. Darfu i rai o'r byddinoedd nacau rhyfela yn erbyn y bobl, ac estynasant eu dwylaw i'w cyddinasyddion. Y mae y fyddin Swissaidd wedi rhoddi eu harfau i lawr.

*Dydd Iau.* Yr oedd byddinoedd y Brenin wedi encilio o'r ddinas; ond meddiannasant sefyllfa a'u gallnoga i gael meddiant o'r ddinas wedi iddynt gael ychwaneg o filwyr. Aeth amrai o bleidwyr y bobl at y Cadlywydd Dug Ragusa, i erfyn arno am roddi terfyn ar y cynnwrf yn y ddinas. Ac wedi ymddyddan ychydig â hwynt, a gofyn beth oedd eu hammodau, aeth y Dug at y Tywysog Polignac, un o swyddogion y Brenin; ym mhen yr hanner awr dychwelodd yn ol, a'i wyneb yn brudd, a dywedodd na wnai y Tywysog gyduno â'r ammodau; yna y cenhadwyr a droisant eu cefnau.

*Dydd Gwener.* Darfu i aelodau y Senedd ymgyfarfod: ac wedi trefnu rheolwyr dros bob cangen o'r wladwriaeth, gwahoddasant y Dug d'Orleans i fod yn Rhaglywydd ar y deyrnas; yr hwn a dderbyniodd eu gwahoddiad, ac a gyhoeddodd y cyfarchiad canlynol:—

"Trigolion Paris.—Y mae Seneddwyr Ffrainc, y rhai ydynt yn gynnulledig y pryd hwn yn Paris, wedi datgan eu dymuniad am i mi gyflawni dyledswydd Rhaglaw y deyrnas hon.

"Ni phetrusais ddyfod a chyfranogi yn eich peryglon, i osod fy hunan yn nghanol eich pobl ddewrion, ac i arferyd fy holl ymdrechiadau i'ch cadw chwi rhag trallodion rhyfel tufewnol ac aflywodraeth.

"Wrth ddychwelyd i Paris, gwisgais, gyda balchder, y lliwiau dewisol hyny ag yr ydych chwithau yn eu gwisgo, a'r rhai a wisgais inau hefyd am amser maith.

"Y Seneddwyr ydynt ar fedr ymgyfarfod; hwy a ystyriant y moddion er sicrhâu gweinyddiad y cyfreithiau, a chynnaliad y wladwriaeth.

"O hyn allan bydd y *Charter* yn wirionedd.

Louis Philippe D'Orleans."

Danfonodd y Senedd hefyd anerchiad i'r bobl yn mynegi eu gweithrediadau, ac yn galw arnynt am ufuddhâu gorchymynion y Rhaglaw. Cafodd y gweithrediadau hyn yr effaith o adferu tawelwch a llonyddwch yn y dref.

*Nos Sadwrn, Gorphenaf* 31. Yr oedd pyrth y ddinas yn agored, a'r heolydd yn cael eu hadgyweirio. Symmudwyd celaneddau y lladdedigion o'r heolydd gyd â'r parch mwyaf. A'r bobl oeddynt ddau ddiwrnod yn ol yn ymladd am ryddid ydynt wedi dychwelyd at eu hamryfal alwedigaethau.

Ar y diwrnod hwn, y Brenin, yr hwn, gyd â'i deulu a'i swyddogion ynfyd, a aethant i St. Cloud yn nechreuad y terfysg, oeddynt yn chwilio am noddfa a diogelwch, ond methodd gael un. Nid oedd mwyach yn gallu ymddibynu ar ffyddlondeb ei filwyr. Pan nesâodd at *Versailles*, gyd âg ychydig o'i Osgorddion, gwelodd fod ei wrthwynebwyr, wedi cymmeryd meddiant o hóno, a symmudodd oddi yno i *Rambouillet;* a'r newyddion a hysbyswyd iddo yma a ddangosodd yn eglur iddo, fod nid yn unig holl drigolion Paris, ond ei holl ddeiliaid, mewn arfau yn ei erbyn.

*Dydd Llun, Awst* 2. Anfonodd at y Seneddwyr i ofyn am Osgordd i'w gymmeryd i'r porthladd agosaf; cydsyniwyd â'i ddymuniad. Darfu i Gynnrychiolwyr y bobl ymgyfarfod ar y trydydd o Awst, a chyfarchwyd hwynt oll gan y Prif Lywydd, yr hwn, wedi datgan ei fwriad i gynnal eu breintiau yn gywir, a ddiweddodd drwy hysbysu iddynt fod Charles X. a'i Fawrhydi Louis Antoine, wedi danfon eu hymwrthodiad o'r Goron ato ef y noswaith o'r blaen.

*Awst* 7. Cydunodd y Senedd i gynnyg y Goron i'w Fawrhydi y Dug d'Orleans, ac aethant oll i dŷ ei Fawrhydi; yr hwn, wrth dderbyn eu gwahoddiad i fod yn Frenin arnynt, a hysbysodd ei fwriad i'w llywodraethu yn gydunol a'r cyfreithiau, ac i goleddu heddwch â holl deyrnasoedd y Cyfandir.

Y mae rhai o swyddogion y diweddar Frenin wedi eu bwrw i garchar, a diau y rhoddant iawn i ddeddfau eu gwlad trwy gael eu dienyddio.

Erioed ni chyflawnwyd y fath gyfnewidiad gyda mwy o ddewrder a dyhewyd; pan, ar yr un pryd, yr oedd yn nodedig am gymmedroldeb. Llanwyd meddyliau pawb gan un gwrthddrych yn unig. heb un lle i'w gwahanol olygiadau o barth materion llai pwysfawr, nac ychwaith i'w nwydau a'u tymherau drwg ymddangos. Y mae trigolion Ffrainc yn awr yn llawn o feddyliau uchel am eu dewrder a'u gogoniant; ond nid oes un cyfeiriad at yr hwn sydd yn rheoli pob amgylchiad i ddwyn ym mlaen ei fwriadau rhagluniaethol ef. Am ddim ar a ellir gasglu oddiwrth eu Cyhoeddiadau gallem dybied eu bod yn deyrnas o Atheistiaid. Ond mae Atheistiaeth ei hun yn cydweithio er dwyn i ben fygythiadau Duw yn erbyn Pabyddiaeth. A diau fod y Grefydd Babaidd wedi derbyn clwyf dwys yn y dygwyddiad hwn. Dywedir iddynt, yn un o balasau y Brenin, gael hyd i'r grys o flew, y gadwyn a'r gwddf-dorch haiarnaidd, a wisgid gan y Brenin anffodus yn ei oriau penydiol. A barn y dynion mwyaf cydnabyddus o'r pethau hyn ydyw, mai ofergoeledd ei Fawrhydi, ac annogaeth yr Offeiriaid Pabaidd, a'i cymhellodd i ymddwyn mor ffol ac anghyfreithlon. Pa bryd y rhyddhêir teyrnasoedd y Cyfandir oddi tan iau galed Pabyddiaeth?

*Cymdeithas Gymreigyddawl* CAER EFRAWG NEWYDD, *America Ogleddawl.*

MR. GWYLIWR.—Ni fu yr anfanteision cyd-fynedol â phreswylio "mewn bro estronawl" yn rhwystrau digonol i atal eich cyd-wladwyr yn y ddinas hon rhag ymgorpholi yn Gymdeithas dan yr enw uchod, er mwyn coleddu yr Omeraeg, ac amddiffyn ei pharhâd ac ei chadwedigaeth. Cymmerth dechreuad gweithrediad ein Cymdeithas le ar y 9fed o Fedi, 1829, ac etholwyd y gwyr canlynol i fod yn Swyddogion am flwyddyn, sef, Mr. W. WILLIAMS, (Gwilym ab Ioan) yn *Llywydd*; Mr. EVAN ROBERTS, *Rhaglywydd*; Mr. MORGAN MORGANS, *Trysorydd*; Mr. OWEN WILLIAMS, *Ysgrifenydd*; Mr. W. WILLIAMS, (Gwilym Fardd) yn *Fardd*; a Mr. DAVID ROBERTS, yn *Berorydd*.

Cyfansoddwyd Awdl a Chywydd i annerch y Gymdeithas ar ei sefydliad, gan y *Llywydd*; Awdl, gan y *Bardd*; Englynion, gan "*Siarl Wyn*;" a derbyniwyd Awdl oddiwrth "*Eos Glân Twrch*," Aelod Gohebol o Utica; a Chân, &c. oddiwrth "*Ioan Philip*," o Gymru. Yr Aelodau a gyfarfyddant bob pythefnos, ar nos Lun, mewn Ysgoldŷ, yn Heol y Morwydd. A dywenydd i ni allu hysbysu am gynnydd graddol ein Cymdeithas, er ei sefydliad hyd yma. Ac nid yw ei golwg ar lai gorchwyl na manwl chwilio am y *Madogiaid*. Ym mhlith ein Aelodau gwelir prawf nad yw holl blant y Cymry, y rhai a fagwyd ganddynt mewn gwlad estronol, yn gwrthod dysgu Iaith eu rhïeni; ac y mae y penwyni haeddbarch, yr hwn a addurna ein Cymdeithas, yn arwydd sicr na ddiffodda Gwladgarwch ym mynwes Cymro diymwad, er trigo o hono mewn gwlad Dramor am ddeg a degau o flynyddau.

OWEN WILLIAMS, *Ysgrifenydd*.

*Mawrth 1af*, 1830.

## YR IWERDDON.

DYN ieuanc o'r enw *Marwell*, Protestant, wrth fyned o *Froch-mile-town* i *Clones*, a oddiweddwyd gan lu o Babyddion, y rhai a'i harchollasant ef yn ddwys. Buasent yn ddiau wedi ei lofruddio, oni buasai iddo ffoi am nodded i dŷ gwr o'r enw *M'Cabe*.

Ymddengys oddiwrth Adroddiad Llywydd ac Is-lywydd Athrofa Babaidd *Maynooth*, eu bod wedi derbyn oddiwrth Senedd Brydain £2,675,712 12*s*. 1½*d*. o'r flwyddyn 1796 i 1826!! Pa hyd y goddefir y fath anghyfiawnder ysgeler?

*Tlodi anghyffredin*.—Mae y Newyddiaduron Gwyddelig yn llawn o hysbysiadau mewn perthynas i'r tlodi sydd yn pwyso ar ran fawr o drigolion y chwaer ynys. Mae y clorau yn brinion; a'r amaethwyr mor galon galed ag i godi eu pris yn y drudaniaeth. Yn *Cashel*, *Bandon*, a *Kanturk*, y mae prinder lluniaeth tu hwnt i bob amgyffred; ac ni all cyfraniadau yr haelionus eu cynnal am wythnos yn hwy.

*Haelioni*.—Mynega y *Kilkenny Journal* fod y Parch. J. Tydd Moore, Periglor *Eirke*, wedi peidio casglu ei ddegwm, ac arian y Pasg, &c. yn y tymhor prin hwn; a'i fod hefyd wedi cyfranu £10 yn arian, a thair tunnell o flawd ceirch i'r tlodion.

Oddiwrth sylwadau y Barnwyr, yn eu hamrywiol gylch-deithiau drwy y wlad hon, ymddengys fod mwy o dawelwch, a llai o droseddau echryslon, nag y bu er's talm. Mae hyn yn peri mwy o ddywenydd y pryd hwn yn neillduol, gan fod y trigolion wedi cael eu gorthrymu yn dost gan dlodi ac eisieu.

*Y Cnydau*.—Yr hanesion o bob parth o'r wlad ynghylch y cnydau ydynt yn gysurus iawn. Bydd yr ŷd yn fwy digonol na'r flwyddyn o'r blaen; ac mae pris y clorau wedi gostwng cymmaint ag i weinyddu lluniaeth i lawer o drueiniaid ag oeddynt bron newynu.

*Clefyd*.—Llawer o drigolion y wlad hon ydynt yn glaf o afiechyd a achoswyd trwy fwyta dail poethion, a llysiau ereill.

Cafodd Mr. Lefroy, yr hwn sy Brotestant diysgog, ei ddewis yn Seneddwr dros Goleg Dublin.

## YR ALBAN.

*Marwolaeth Hen Ryfelwr*.—Ychydig amser yn ol bu farw hen ŵr o'r enw William Cameron, yn *Croy*, Swydd *Nairn*, yn 97 oed. Pan oedd yn fachgen, gorfuwyd arno gynnorthwyo milwyr SIOR II. i drosglwyddo eu harfau ychydig cyn brwydr nodedig *Culloden*, lle yr ymladdodd dros dŷ *Hanover*, yn erbyn ei dad a berthynai i fyddinoedd yr olaf o'r *Stuartiaid*. Wedi hyny aeth i'r India, a dychwelodd adref ar *bension* o swllt yn y dydd, yr hwn a dderbyniodd am 50 mlynedd. Dau ŵyr iddo ydynt yn awr yn filwyr. Ar un tro yr hen ŵr, ei fab, a'i ŵyr, a'i fab yn nghyfraith, a dderbyniasant eu *pension* yn *Fort George* ar unwaith. Ei wyrion ef a welsant eu hwyrion; a bu ei dad fyw 107 o flynyddoedd.

*Llofruddiaeth Gwraig gan ei Gwr*.—Bwriwyd *Archibald Maclellan*, o *Glenery*, i garchar yn ddiweddar am lofruddio ei wraig, *Catharine Gillies*. Ymddengys ei bod hi, er's amrai flynyddoedd, yn arfer crwydro ar hyd y wlad, gan fod ei synwyrau yn ddyryslyd. Oddeutu mis yn ol galwodd yn nhŷ cymmydog, a dywedodd fod ei gwr wedi ymdrechu ei boddi drwy ddal ei phen mewn dwfr, ond iddi ddianc

oddi wrtho. Cafwyd hyd i'w chorph ar làn y môr; a drwg dybiwyd ei gwr yn ebrwydd. Yr oedd arwyddion ar ei chorph iddi gael ei llindagu, a'i harcholli yn ddwys. Holwyd 21 o dystion; ac ymddengys fod rhai o honynt wedi gweled y wraig anffodus yn myned tu a glàn y môr, a dilynwyd hi yn ebrwydd gan ei gwr. Gafaelodd ynddi, taflodd hi ar y llawr, a llindagodd hi. Yr oedd ôl traed noethion, ac esgidiau, yn amlwg, ac ymddangosiad y lle, a darnau o wisgoedd y wraig yn wasgaredig, yn profi fod ymryson caled a marwol wedi dygwydd yno. Wedi i'r adyn ei gorphen hi, tynodd y corph o'r môr i'r làn, ac a'i taflodd drachefn i'r dwfr, lle y cafwyd hyd iddo ym mhen ychydig oriau.

*Marwolaeth disyfyd*.--Oddeutu tair wythnos yn ol, pan oedd llafurwr o'r enw John Roberts yn glanhâu y ffordd yn agos i *Stewarton*, tarawyd ef gan fellten, a threngodd yn y fan. Llosgwyd ei ddillad yn ulw, ac nid oedd dim yn gorchuddio ei gelain ond llewys ei hugan. Rhwygwyd ei esgidiau, a'r hoelion oedd ynddynt a daflwyd ymaith. Tòrwyd ei oriawr yn chwilfriw; a'i hadfeiliau a gafwyd o amgylch ei gorph, oddieithr ei gwyneb, yr hwn a daflwyd dros 150 o latheni oddi wrtho. Yn wir, yr oedd y corph wedi llosgi yn dost iawn, a'r olwg arno yn arswydus.—*Glasgow Chronicle.*

*Taranau.*—Yn *Glasgow* ac *Edinburgh* bu tymhestloedd, oddeutu dechreu y mis diweddaf, y rhai a wnaethant niweid mawr i'r adeiladau a'r heolydd. Amrai o fywydau a gollwyd; a rhai a anafwyd yn dost gan y mellt. Cafodd gwr bonheddig ei daro gan fellten yn ei fraich aswy, yr hon sydd yn hollol annheimladwy; a throdd i gysgodi i amaethdŷ oedd gerllaw, ac er syndod iddo, ni oddefai y preswylwyr creulon iddo ddyfod o dan eu cronglwyd.

*Y Cnydau.*—Ymddengys fod y cnydau ym mhob parth o'r wlad hon yn drymion iawn; a bod pob tebygolrwydd iddynt gael eu cludo ynghyd heb fawr o niweid oddiwrth yr hin, os pery fel y bu am rai dyddiau.

---

# GARTREFOL.

## Y SENEDD.

Cafodd y Senedd ei gohirio, ar y 23ain o fis Gorphenaf, gan ei Fawrhydi Gwilym IV. yr hwn a ddaeth ei hun i Dŷ yr Arglwyddi. Wedi i ymadroddwr Tŷ y Cyffredin ei gyfarch a'i hysbysu o'r hyn a wnaethpwyd gan y Seneddwyr yn ystod yr Eisteddfod ddiweddaf, traddododd ei Fawrhydi yr Araeth ganlynol:—

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,

"Ar yr achlysur cyntaf hwn o'ch cyfarfod, yr wyf yn awyddus i ddatgan i chwi fy niolch diffuant am y sicrâdau o gydymdeimlad di ragrith, a'r serchawgrwydd caredigol, a ddanfonasoch i mi ar farwolaeth fy mrawd, ac ar fy nyrchafiad inau i orsedd fy hynafiaid.

"Esgynwyf yr orsedd hon gyda theimlad dwys o'r dyledswyddau pwysig a ddisgynant arnaf, gyd âg hyder diysgog ar garedigrwydd fy neiliaid ffyddlon, ac ar gynnorthwy a chyd weithrediad y Senedd, a chyda gweddi ostyngedig a thaer ar Dduw Hollalluog ar iddo lwyddo fy ymdrechiadau pryderus er cynnyddu dedwyddwch pobl rydd a ffyddlon.

"Teimlwyf foddlonrwydd mawr y gallaf sogir fi i'ch llawen-gyfarch ar dawelwch cyffredin Ewrop. Gwrthddrych fy ymdrechiadau diflino fydd diogelu y tawelwch hwn; a'r sicrâdau a dderbyniwyf oddiwrth fy Nghyngreiriaid, a holl deyrnasoedd Tramor, a ddatganant deimlad cyffelyb.

"Hyderwyf y bydd i'r dealltwriaeth da sydd yn ffynu ar faterion o fudd cyffredin, a'r gofal mawr a deimla, o angenrhaid, pob gwlad er cynnal heddwch y byd, sierhâu sefydliad boddhâol o'r pethau hyny ag ydynt etto heb eu cwbl drefnu."

"Boneddigion Ty y Cyffredin,

"Diolchwyf i chwi am y cynnorthwyon a ganiatasoch, ac am y darpariadau a wnaethoch er amryfal gangenau y gwasanaeth cyffredin, am y rhan hyny o'r flwyddyn hon a dreulir cyn y dichon i'r Senedd newydd ymgyfarfod.

"Llawen-gyfarchwyf chwi yn ddiffuant ar y lleihâd a ddygwyddodd yn nhraul y deyrnas, ar iselhâd traul y ddyled gyffredin, ac ar yr esmwythâd a weinyddasoch i fy neiliaid, trwy ddileu rhai o'r trethi hyny ag oeddynt o'r blaen yn gwasgu yn ddwys arnynt hwy.

"Gallwch ymddibynu ar fy ngweinyddiad pwyllog a chynnil o'r cynnorthwyon a ymddiriedasoch i mi, ac ar fy mharodrwydd i gyduno â phob lleihâd o'r draul gyffredin, a ellir effeithio yn gysson â bri y Goron, cynnaliaeth enw da y deyrnas, a lles parhâus y wladwriaeth.

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,

"Ni allaf roddi terfyn ar yr Eisteddfod hon, a chanu yn iach â'r Senedd bresenol, heb ddatgan fy niolch di ragrith am y dyhewyd a ddangosasoch, ar gynnifer o achlysuron, dros gysur fy mhobl,

"Darfu i chwi yn ddoeth ddefnyddio yr hamdden a roddwyd i chwi drwy heddwch cyffredinol, a llonyddwch tufewnol, yn bwyllog i adolygu amrai o gyfreithiau y wlad, a'n sefydliadau er gweinyddu barn; gwnaethoch hefyd y cyfryw ddiwygiadau gochelgar ag ydynt yn unol âg

ysbryd ein sefydliadau anrhydeddus, ac a dueddant i rwyddhâu gweinyddiad barn.

"Darfu i chwi symmud yr anghymmwysderau a wasgant i raddau lliosog a phwysfawr ar fy mhobl.

"Tra y mynegaf, ar yr achlysur sobr hwn, fy mwriad diysgog i gynnal, hyd eithaf fy ngallu, y ddiwygedig Grefydd Brotestanaidd, a sefydlwyd drwy gyfraith, goddefwch i mi, ar yr un pryd, ddatgan fy ngobaith difrifol yr anghofir yr annghymmodau a achoswyd gan wahaniaethau crefyddol; a chan fod penderfyniad y Senedd mewn perthynas i'r gwahaniaethau hyny wedi ei fynegi yn ddiadlam, y bydd i'fy neilliaid ffyddlon gyduno â myfi i hyrwyddo y dyben mawr ag oedd yn ngolwg ein Senedd, ac i gynnyddu ysbryd undeb a heddwch cartrefol, yr hyn yw y sylfaen sicraf o gadernid a dedwyddwch ein gwlad."

Y cyfryw ydyw Araeth gyntaf ein Brenin grasusaf. Gwel y rhan fwyaf o'n darllenwyr fod y dydd o ddileu yn Atheistaidd enw y Goruchaf allan o Areithiau y Brenin, ac ysgrifeniadau gwladwriaethol, wedi machludo; a bod Gwilym IV. yn cydnabod yn eglur lywodraeth Duw ar y bedysawd. Adroddodd ei Fawrhydi y geiriau hyn, "Mynegaf ar yr achlysur sobr hwn, &c. gyfraith," gyda phwyslais a sobrwydd anghyffredin, yr hyn a sylwyd arno gan bawb o'r gwyddfodolion.

## ETHOLIAD SENEDDWYR.

Caernarfon.—Tros y Swydd, C. W. G. Wynne, Ysw.

Tros Fwrdeisdrefi Caernarfon, Pwllheli, Criccieth, Conwy, a Nefyn, W. Ormesby Gore, Ysw.

Dinbych.—Tros y Swydd, Syr W. W. Wynn, Barwnig.

Tros Fwrdeisdrefi Dinbych, Rhuthyn, a Holt, R. M. Biddulph, Ysw.

Fflint.—Tros y Swydd, Syr Thomas Mostyn, Barwnig.

Tros Fwrdeisdrefi Ffint, Caergwrle, Caerwys, Overton, a Rhuddlan, Syr E. Pryce Lloyd, Barwnig.

Meirion.—Syr Robt. Wmes. Vaughan, Barwnig.——Y mae Syr Robert wedi bod yn cynnrychioli ei Swydd enedigol hon am 38 mlynedd; a phenderfynodd amrai o foneddion y Swydd i wneuthur cyllid tu ag at gael darlun hardd o'u Cynnrychiolydd ffyddlon, i'w osod yn Llys-dŷ Tref Dolgellau. Cyfranwyd eisoes dros £70. Diau yr haeddai Syr Robert bob parch a ellid ddangos iddo; a bydded iddo fyw yn hir i gynnrychioli Swydd Feirion yn Senedd Brydain Fawr.

Mon.—Tros y Swydd, Iarll Uxbridge.

Tros Fwrdeisdref Beaumaris, Syr Robert Williams, Barwnig.

Trefaldwyn.—Tros y Swydd, yr Anrhydeddus C. W. W. Wynn.

Tros Fwrdeisdref Trefaldwyn, yr Anrhydeddus H. Clive.

---

*Y Senedd Newydd.*—Mynega y Newyddiaduron fod y Dug Wellington a'i gyfeillion wedi eu siomi yn fawr mewn perthynas i Etholiad y Seneddwyr: ei bleidwyr ef yn cael eu gwrthod mewn llawer tref a swydd, ac ymddiffynwyr rhyddid y werin yn cael eu hethol heb fawr o draul a gwrthwynebiad. Dysgwylir y bydd 10 neu 12 o aelodau Pabaidd yn y Senedd, y rhan fwyaf o honynt yn cynnrychioli Bwrdeisdrefi distadl yn Lloegr. Ond ar y llaw arall, hyderir y bydd y nifer o aelodau crefyddol yn fwy y Senedd hon na'r ddiweddaf, y rhai a wyliant yn ddiflino rhag i'r Pabyddion a'u pleidwyr ffynu mewn un peth niweidiol i'r wladwriaeth, neu i'r Eglwys Sefydledig, a'r Grefydd Brotestanaidd. Mewn cyssylltiad â hyn gellir adrodd fod dau o wyr enwog a hyawdl, y Dr. Lushington, a'r Arglwydd John Russell, wedi colli eu hetholiad am ryw faint o amser, oblegid iddynt lefaru ac ysgrifenu mewn modd dirmygus am grefydd, ac am ymdrechiadau dynion haelionus i daenu gwybodaeth grefyddol ym mhlith eu cydwladwyr tlodion. Bydd hyn yn rhybudd i ereill o'r Seneddwyr beidio gwawdio y Cymdeithasau Crefyddol a sefydlwyd yn ein gwlad.

---

*Creulondeb ysgeler.*—Drwg genym hysbysu i'n darllenwyr fod bagad o Babyddion Gwyddelig wedi ymruthro i dŷ teulu tlawd, boreu ddydd Sul yn ddiweddar, a bron a'u llofruddio hwynt. Ymddengys fod 10 neu 12 o Wyddelod ffyrnigwyllt wedi aflonyddu cymydogaeth *Cropper Street* trwy redeg ar hyd yr heolydd gyd âg arfau yn eu dwylaw, a chrochlefain "Bywydau y Protestaniaid, Bywydau No. 67." Ym mhen ennyd, safasant wrth ddrws rhyw dŷ, pan y gwaeddodd un *Patrick Neeson*, "A ganlynwch chwi fi?" ac wedi iddynt ateb y gwnaent, tòrodd y ffenestri, a neidiodd trwy un o honynt, a'r lliaws yn ei ganlyn. Tynasant breswylwyr y tŷ allan o'u gwelyau, a churasant hwy mor gigyddlyd ag i'w gadael, i bob ymddangosiad, yn feirw ar y llawr. Darfu i'r dynion creulonwyllt hyn guro amrai o'r cymmydogion am geisio eu rhwystro yn eu gorchwyl ysgeler; ond diangasant oll wedi chwilfriwio yr holl ffenestri yn y tai cyfagos. Tri o'r trueiniaid a gurwyd a symudwyd i'r Meddyg-dŷ, lle y tybiwyd y buasai eu harchollion yn achosi eu marwolaeth; ond cafwyd wedi hyny nad oeddynt mor beryglus. Oddeutu 11 o'r gloch aeth y Pen-Constable a'i ddyn-

ion i Cropper Street, a llwyddasant i ddal pump o'r Gwyddelod, y rhai a nodwyd allan fel y prif-derfysgwyr. Dydd Llun, dygwyd hwy o flaen yr Ynadon, a chan nad allai y tri a archollwyd mor dost ymsymud o'r Meddyg-dŷ, daeth amrai o'r cymmydogion i dyngu yr hyn a welsant. Bwriwyd tri o honynt i garchar tan y Sessiwn nesaf; rhyddhâwyd un, a chafodd un arall ei gadw yn ol i gael ei holi drachefn. Mae y terfysgiadau hyn yn dra arswydus; a dywedir fod y Protestaniaid Gwyddelig yn gorfod dwyn arfau gyda hwynt, rhag ofn i'r Pabyddion eu goddiweddyd a'u llofruddio.—*Manchester Mercury.*

*Llofruddiaeth.*—Blin genym fynegi fod un Thomas Hassall, a Sannbrook Furber, wedi cael eu bwrw i garchar Caerlleon am lofruddio Mrs. Chesters, gwraig Mr. John Chesters, Cigydd a Thafarnwr, yn Audlem, yn agos i Nantwich, Swydd Gaer. Ymddengys fod John Chesters, gwr y drengedig, wrth ddychwelyd adref o dŷ ei frawd, yr hwn oedd wedi gorphen ei gynhauaf, ac wedi rhoddi swper i'w fedelwyr, wedi cyfarfod y ddau garcharor yn yr heol, dechreuasant ymgecru ynghylch arian oedd ar Chesters i Hassall. Wedi hyn aethant i ymladd, pan y tarawodd Chesters Hassall i lawr. Erbyn hyn daeth rhai o'r medelwyr yno, ac aethant hwythau i ymryson. Mrs. Chesters, wrth glywed y sŵn, a ddaeth i'r lle, a dywedodd wrth Hassall y byddai yn llawer gwell iddo ef dalu ei ddyled iddi hi na chodi terfysg yno. Dywedodd yntau y gwnai hyny; ond, tybygid, aethant ill dau i ymryson; beth bynag, gwelwyd ef wedi hyny yn rhoddi ei law aswy o amgylch ei gwddf hi, ac yn yr ymryson syrthiasant ill dau i lawr, a Hassall yn isaf. Ar hyn un o'r medelwyr a redodd i gynnorthwyo Mrs. Chesters, a chlywyd hi yn dywedyd yn aneglur, naill ai "Oh! tydi a'm tarawaist," neu, "tydi a'm trywanaist." Rhoddwyd hi i eistedd ar gadair, a daeth meddygon ati; ond wedi iddi waeddi, "O Arglwydd," hi a drengodd. Wedi iddi farw, darfu i'r meddygon olrhain ei chelain, a gwelsant archoll rhwng y bummed a'r chweched asen. Gwelwyd un o'r carcharwyr yn hogi cyllell ychydig o amser cyn i'r ymryson ddygwydd. Nid ydynt dros 20 mlwydd oed; ac hyd yn hyn eu hymddygiad sydd yn dra anystyriol a gwag. Yr oedd Mrs. Chesters yn 29 oed, a gadawodd un plentyn ar ei hol. Rhieni Hassall ydynt yn ddiwyd a gonest, a chyn y dygwyddiad uchod yr oedd ei nodweddiad yn dda.

*Ikey Solomon.*—Y lleidr nodedig hwn a ddywed iddo ddianc o garchar *Newgate*, nid trwy addaw gwobr, ond trwy ryw ddyfais gywrain, anhysbys i'r rhai oedd yn ei wylied; a grwgnachá yn dost am y draul a gostiodd ei ffoedigaeth iddo. Wedi iddo adael y cerbyd ar ei ddychweliad o Westminster, aeth i ryw dŷ yn y ddinas, lle yr arosodd drwy y nos; ond yn y boreu, diangodd i Tottenham, a threuliodd yno lawer o wythnosau. Wedi i'r cynnwrf a achoswyd drwy iddo ddianc derfynu, a'r swydd am ei ail ddal leihâu, efe a aeth mewn llong i Denmark, a chafodd fod ganddo £800 yn ei feddiant, wedi talu am ei fordwyaeth. Yn analluog i fasnachu yn y wlad hono oblegid ei anwybodaeth o iaith y trigolion, efe a fordwyodd, mor fuan ag y bu modd i Unol Daleithiau yr America, lle y cyfaneddodd gan werthu oriorau a theganau, nes y gwelodd yn y Newyddiaduron fod ei wraig wedi ei halltudio. Y newydd hwn a'i cymhellodd i hwylio tua Deheudir Cymru Newydd; ond gyrwyd y llong gan dymhestloedd croes i Rio Janeiro. Yn yr ystorm hon bu bron a cholli ei fywyd. O Rio Janeiro efe a fordwyodd i Hobart Town, ac yna adnabuwyd ef gan amrai o'r troseddwyr gyd â'r rhai y masnachai pan yn Llundain. Prynodd ddau dŷ, a hònodd ei wraig, yr hon a oddefwyd gan y Llywodraethwr i gyfaneddu gyd âg ef. Ennillodd £500 yn America trwy brynu oriorau (*watches*) oddiar y marsiandwyr, a'u hail werthu i'r mân-awyfwŷr. Er ei ymadawiad o Loegr ymdeithiodd yn rhagor na 50,000 milldir. Caiff y dyhiryn hwn yr hyfrydwch o fordwyo yn ol at ei wraig, gan ei fod wedi ei farnu yn euog o ladrad yn Llundain. Nid oedd dim llai na deg o gyhuddiadau yn ei erbyn; ond trwy gywreinrwydd ei Gyngorydd, ni chafwyd ef yn euog ond ar ddau o honynt, er nad oedd dim amheuaeth o'i euogrwydd yn yr achosion ereill.

*Anghymmedroldeb.*—Ychydig o ddyddiau yn ol darfu i un John Stainton ymffrostio, mewn tafarndŷ yn Rendal, y gallai efe yfed 15 *gill* o gwrw mewn awr. Dechreuodd ar ei orchwyl, ac mewn 20 mynyd efe a yfodd 12 *gill*; ac arswydus yw adrodd, syrthiodd ar ei gefn, a threngodd yn y fan!

*Llofruddiaeth.*—Gwyddel o'r enw Michael Luddy a fwriwyd i garchar *Lincoln* am lofruddio ei dad yn nghyfraith, T. Seward, mewn ysgubor yn *Grimsthorp*. Ni wyddys beth a achosodd yr adyn i gyflawni y trosedd ysgeler hwn, am fod y ddau yn dra chyfeillgar cyn hyny.

*Rhybudd.*—Tra yr oedd dau ddyn yn ymddarparu i saethu craig yn *Coleford*, a chwd yn cynnwys tri phwys o bylor yn llaw un o honynt, a phibell yn ei safn yr un pryd, syrthiodd gwreichionen o'r bibell i'r pylor, yr hwn a daniodd, ac a daflodd y ddau ddyn i bellder mawr. Briwyd hwy yn dost; anfonwyd yn ebrwydd am feddyg, ac

y maent yn awr allan o berygl er eu bod etto yn parhâu yn ddall. Dylai hyn fod yn rhybudd i'r sawl ag ydynt yn euog o'r cyffryw ymddygiad anghall.

---

CYMRU.

*Gweithred Ysgeler.*—Achoswyd cynnwrf nid bychan yn Nhrefaldwyn gan amgylchiadau o barth marwolaeth hên ŵr, yr hwn a wenwynwyd gan ei fab ei hun! Hen ŵr o'r enw Tibbott, yn 70 mlwydd oed, yr hwn oedd yn byw yn agos i Abermule, a gafwyd yn farw. Yr oedd ei fab ac yntau yn byw dan yr un gronglwyd. Gan nad allai yr hen ŵr gael dim arian yn *rhent* dymunai iddo ymadael, ond ni wnai y mab. Ar hyn rhoddodd y tad gyfraith ar y mab, yr hwn a ddefnyddiodd rai ymadroddion yn dangos ei fwriad i ddial ar ei dad. Cynnaliwyd cclain-ymholiad ar y corph yn Ngwestdŷ Abermule, a pharhâodd am 5 niwrnod. Cafodd cynnwysiadau cylla y trengedig ei chwilio gan Mr. Slyman, Meddyg o'r Drefnewydd, yr hwn a gafodd *arsenic* ynddo. Gwnaeth y Dr. Johnes, Garthmael, a Mr. Witney, o'r Amwythig, yr un modd, a daethant i'r un penderfyniad. Daethant hyd i bapur yn y tŷ yn cynnwys pylor gwyn, a phan ddangoswyd ef i'r mab haerodd mai *calomel* ydoedd, ond y Meddygon a ddywedent mai *arsenic* ydoedd. Tystiodd masnachydd o Drefaldwyn i'r mab brynu yr *arsenic* ganddo ef dan esgus o ddinystrio llygod mawr: yr oedd rhyw beth nodedig yn y papur yn yr hwn y rhoddwyd y gwenwyn, a chymmerodd y masnachydd a'i gwerthodd ei lw yn ei gylch. Ar y trydydd dydd o'r ymholiad cymmerwyd y mab, a'i wraig, a'i brawd, i fynu, ond rhyddhâwyd hwynt oll dranoeth; eithr wedi hyny bwriwyd y mab i garchar Trefaldwyn. Dywedir i'r mab eillio ei dad wedi iddo roddi gwenwyn iddo. Cafodd yr adyn hwn ei euog-brofi o'r llofruddiaeth echryslon yn Mrawdlŷs Trefaldwyn, dydd Sadwrn, Awst 14eg. Y dydd Llun canlynol dienyddiwyd ef o flaen carchardŷ Trefaldwyn. Trwy ryw foddion neu gilydd llithrodd cwlwm y rhaff o'i lle priodol, yr hyn a estynodd boenau y crogedig; a gorfu i'r dienyddwr symud y cwlwm, a thyna yn aelodau y dyoddefydd i'r dyben o brysuro ei farwolaeth; ond dywedir iddo barhâu yn ei boenau am 18 mynyd cyn trengu. Rhoddwyd ei gorph i'r Meddygon Lutener a Slyman, o'r Dref Newydd, i gael ei ddifynio.

Ymddengys oddiwrth Newyddiadur Bangor fod meddiannwyr y llong Newry wedi gwobrwyo David Griffith a'i gyfeillion â £10 am eu hymdrechiadau yn achub bywydau y môrdeithwyr oedd ynddi. Cyfranwyd hwy fel y canlyn:—Pedair Punt i David Griffith; Pedair Punt i John Prichard; a Phunt bob un i Richard Griffith ac Owen James. Y swm uchod, ynghyd â'r hyn a roddwyd o'r blaen, a wna £40 a gyfranwyd i'r dynion dewrion hyn; a gobeithir y bydd hyn yn annogaeth i ereill efelychu eu hymddygiad clodwiw dan y cyffelyb amgylchiadau.

---

ESGOBAETH LLAN ELWY.

Dydd Sul, Awst 1af, urddwyd y gwyr ieuainc canlynol i Swydd y Weinidogaeth gan Arglwydd Esgob Llan Elwy, yn yr Eglwys Gadeiriol, sef, yn

OFFEIRIAID,

J. Blackwell, G. C. *Coleg Iesu, Rhydychain.*
H. R. Thomas, G. C. o'r un Coleg.

DIACONIAID.

W. C. Davies, G. C. *Coleg Iesu, Rhydychain.*
W. Williams, G. C. *Coleg Crist, Caergrawnt.*
H. Owen, G. C. *Coleg St. Ioan, Caergrawnt.*
M. Davies, G. C. *Coleg Iesu, Rhydychain.*
G. R. Edwards, G. C. *Coleg Brasenose, Rhydychain.*

---

DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parch. Morgan Hughes, a fu 17 flynedd yn Gurad Ysbyttŷ St. Sior, yn Llundain, i Ficeriaeth Corwen; rhydd trwy farwolaeth y Parch. R. B. Clough.

Y Parch. G. Mousdale, i Ficeriaeth Hope, Swydd Fflint; rhydd trwy farwolaeth y Parch. G. Warrington.

Y Parch. T. G. Roberts, Periglor Dolgellau, i fod yn un o Ganonwyr Eglwys Gadeiriol Llan Elwy.

Dywedir fod y Dr. Gray, Esgob Caerodor *(Bristol)* i gael ei drosglwyddo i Esgobaeth Bangor; a bod y Dr. Philpotts, Deon Caerlleon, i gael ei gysegru yn Esgob Caerodor.

---

BU FARW

Y Parch. G. Warrington, Ficar Hope, a Chanon Llanelwy.

Dydd Mawrth, Awst 17eg, yn ddisyfyd, y Parch. J. Jones, Periglor Llangynhafal, Swydd Dinbych.

---

DYFODIAD SIARL X. DIWEDDAR FRENIN FFRAINC I LOEGR!

Pan yr oedd ein papurlen olaf yn myned i'r wasg, daeth y newydd fod yr anffodus Siarl X. a'i deulu, wedi cael caniatâd i lanio yn ein gwlad ni—a'u bod yn awr yn Cowes, porthladd yn Ynys Wight; ond pa un ai aros yma, neu fyned i Austria a wnant, nid ydys yn gwybod etto.

# Y GWYLIEDYDD.

HYDREF, 1830.

## SYLWEDD PREGETH,

A DRADDODWYD MEWN EGLWYS YN SWYDD FEIRION, AR YR ACHLYSUR O FARWOLAETH Y BRENIN SIOR IV.

Act. xiii. 36.

"Canys Dafydd, wedi iddo wasanaethu ei genedlaeth ei hun trwy ewyllys Duw, a hunodd, ac a ddodwyd at ei dadau."

Rhydd yr Ysbryd Glân yma dalfyriad o fywyd a marwolaeth Dafydd, gwr yn ol calon Duw, a brenin duwiol Israel: ac er ei godi yn frenin, nid anghofiodd ei fod yn was i Frenin y Breninoedd: *efe a wasanaethodd*. Nid un neu ddwy o weithredoedd da a wnaeth; ond *gwasanaethodd ei dymmor allan*. Yr oedd ei sel, nid fel Jehu, yn cynneu ar amserau, ond yn barhaus; ac, fel y mae y'mhobl Dduw yn gyffredin, yn cynnyddu tu â'r diwedd: tyst o hyn y ddarpar at adeiladu teml Jerusalem.

1. Nid ei hun, &c.—2. Nid y mawrion, fel yr adyn a dorodd allan yn ei gyfyngder, "Pe gwasanaethaswn fy Nuw hanner mor ffyddlon a'm brenin, ni's gadawsid fi fel hyn."—3. Nid cenhedlaethau i ddyfod. Cwbl o ddaioni a wna rhai sydd i'r oes i ddyfod, gellir diolch i angeu yn hytrach nag iddynt hwy: yn eu llythyr cymmyn y rhoddant y cwbl. Etto rhai sydd waeth; maent yn felldith i'r oes y maent yn byw ynddi. Nid ei genedl, ac esgeuluso ei enaid ei hun. Mae llyfr y Salmau yn brawf o hyn.

Mae dyn da yn fendith i'r byd, pa faint mwy brenin da; pan ar y llaw arall, y wialen drymaf ar genedl yw byw dan frenin gormesol, rhyfelgar, a chreulon: gellir dweud am Sior IV. iddo gadw ei bobl mewn *tangnefedd*, os nid mewn *digonoldeb*; ie, bu yn achos o adferu heddwch y byd oddi amgylch. Yn hyn tebyg oedd i'r brenin Dafydd, er na chafodd y deyrnas mewn llonyddwch, fe'i gadawodd felly.

Nid heddwch ofer chwaith: adeiladwyd, fe allai, fwy o eglwysi, argraffwyd mwy o Fiblau, anfonwyd mwy o Genhadon, dan nawdd Sior IV. nag a wnaed am gannoedd o flynyddoedd cyn hyn.

Melldith cenedl yw brenin drwg, er cyfiawnder cyfreithiau gwlad, &c. os drwg y brenin, gall sathru'r cwbl dan draed.

Gwnaeth Dafydd wasanaeth, nid yn unig i'r genedl hono, ond hyd ddiwedd amser, trwy ei ysgrifeniadau duwiol a melus.

Mae y gwr y coffâwn ei farwolaeth heddyw, wedi gwneud gwasanaeth i'r genedl hon, a'r rhai i ddyfod. Nid perffaith neb—nid

perffaith Dafydd: yr oedd brycheuyn ar y perl, yr oedd cwmwl du ar y seren ddisglaer hòno.—Ond ni fynwn dynu eich sylw at ddim ond oedd dda yn y marw. Edrychwch ar ein mawrion, onid ydynt wedi noddi pob Cymdeithas dda? Gynt, y tlodion oedd yn ceisio diwygio y byd, gan mwyaf, ond yn awr enwch un pendefig nad yw aelod o ryw Gymdeithas dduwiol. Beth yw 'r achos? Un achos yw, fod coron ein diweddar frenin, fel ei dad, yn taflu ei llewyrch ar achosion da. Na fychaned neb hyn—nid peth bach yw fod y brenin yn dadmaeth i'r eglwys, ac yn gosod ei sêl wrth y gair, mai gwir yw.

Yn oes SIOR IV. y dyfeisiwyd yr holl ysgolion gwladol, banciau cynhilo, y diwygiwyd carcharau, ac yr anturiwyd diwygio ac esmwythâu cyfreithiau 'r wlad; ie, ac y rhoed croes o gywilydd tragywyddol ar dalcen caeth-fasnach. Ië, y Senedd a wnaeth hyn, medd rhai; ond beth yw 'r Senedd ond adlais y tywysog.

Ni chyfyngwyd dim ar ryddid y deiliaid, yn hytrach helaethwyd, a diammeu oddi ar ddyben da, &c.

Wedi *gwasanaethu*, *hunodd* Dafydd. Nid yw duwioldeb a defnyddioldeb gwr yn attal marwolaeth. Nid yw ei fod yn frenin ddim yn ei attal, &c.

*Hunodd.*—1. Addasrwydd y gyffelybiaeth, yn enwedig pan ddefnyddir mewn perthynas i'r duwiol. Mae 'r ymadrodd yn dal allan nad yw angeu yn beryglus iddo—mae 'r colyn wedi ei dynu—mae 'r Arglwydd Iesu wedi dinystrio 'r hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo, hyny yw diafol.

2. Mae marwolaeth yn un o freintiau y Cristion. "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur." Megys y mae hun yn felus i'r gweithiwr, wedi dyoddef pwys a gwres y dydd, felly y mae angeu i'r duwiol.

3. Mae 'r ymadrodd yn arwyddo y bydd adgyfodiad i fywyd i ganlyn angeu. Pan fo un yn huno, nid yw ei alluoedd wedi darfod, eithr yn gorphwys; mae modd i'r cyfryw un ddeffro drachefn: pan gysgo ei hun allan, bydd ei alluoedd mor fywiog, ie, mwy bywiog nag oeddynt o'r blaen; felly mae angeu i'r saint—mae 'r enaid mewn bod, er fod y corph heb nac ysgogiad na theimlad, ie, er pydru yn llwch y ddaear. Yn yr adgyfodiad, fe gyfyd o'r tywyllwch i'r goleuni; o'i gyflwr o ddideimladrwydd i fywyd a bywiogrwydd: "Llyngcir yr hyn sydd farwol gan fywyd."

O am i'r llais yn yr ymweliad hwn gael ei ystyried! Gochelwn ganlyn siampl y genedl war-galed hòno, a geryddwyd mor aml, ond yn wastad mor ddieffaith, yr hon a barhaodd i bechu yn y blaen, er cyhoeddi y bygythion trymaf uwch ei phen, ac er ei chospi yn llym drachefn a thrachefn, nes o'r diwedd i lid yr Arglwydd, yr hwn a fuasai yn croni er's oesoedd, gyfodi a thori drosodd, a'i hysgubo fel na byddai genedl mwyach.

Gwrandawn ar y llais, fel y byddom byw. Ystyried pob un fod Duw yn llefaru wrtho ef ar ei ben ei hun, megys y llefarodd wrth y prophwyd, "Tithau fab dyn, gwrando yr hyn yr ydwyf fi yn ei lefaru wrthyt, na fydd di wrthryfelgar fel y tŷ gwrthryfelgar hwn." Diau mai llais Duw atom sydd i'w ganfod ym marwolaeth pob un o'n cyd-greaduriaid; ond pan symuder ein brenin ymaith, pan y mae angeu yn esgyn i'n gorsedd, mae Duw megys yn codi ei lais yn uwch. "Y llef a ddywedodd, gwaedda. Yntau a ddywedodd, Beth a waeddaf? Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidowgrwydd fel blodeuyn y maes. Gwellt yn ddiau yw y bobl." *Esa.* 40, 6, 7. Nid yw y gwellt ond am

dymmor, y blodeuyn am lai; ond gall llawer damwain ddistrywio 'r naill a'r llall yn sydyn. "Gwagedd yn ddiau yw meibion dynion, geudab (celwydd) yw meibion gwyr" (mawrion). Pwy sydd yn dweud hyny? Dafydd frenin, un o honynt, &c. Celwydd yw 'r orsedd, y goron, a'r palas. Ai nid pethau sylweddol yw y rhai hyn? "I'w gosod yn y clorian, ysgafnach ydynt hwy i gyd na gwegi:" tèg i'r golwg, ysgafn o'u pwyso; ie, *ysgafnach na gwegi.* Pa sut y gallant fod yn *ysgafnach na gwagedd?* Wel, pan ystyrier y gofal a'r llafur a gymmerir i'w cyrhaedd, a'r ofn o'u colli, a chenfigen ereill wrth y meddiannydd, a'r peryglon a'r maglau sydd ynddynt, ac wedi 'r cwbl nad ydynt yn gallu dim at sylweddol ddedwyddwch, y maent yn sicr yn llawer gwaeth na gwagedd. Na farnwn un peth o werth ond sydd â thragywyddoldeb yn nglyn âg ef: benthyg yw pob gwychder daearol. Pwy falchïai pe rhoddid i'w ofal am ddiwrnod neu ddau goron y brenin, neu ryw drysor arall, ac yna eu perchenog yn eu cymmeryd oddi wrtho: felly y mae yma, benthyg yw y cwbl. Nid am ddeuddydd wedi eu pènu, ond wrth ewyllys y perchenog, y *nos hon*, fe allai. A'r plentyn tridiau oed a'r gwr a gyrhaeddo bedwar ugain mlynedd ydynt yr un o'u cydmaru â'r tragywyddoldeb; dyferyn a hanner peint o'u cydmaru â'r môr. Nid hir dim ond tragywyddoldeb. "Ni thycia cyfoeth yn nydd digofaint; ond cyfiawnder a wared rhag angeu."

"Gosodwyd i ddynion farw unwaith." Nid oes diangc rhag y rhyfel hwn. Yr oedd gan ein brenin genhadau a gweision ddigon, ond rhaid oedd iddo fyned ei hun i'r neges. Aeth Wellington i faes Waterloo, ond gorfu iddo ei hun fyned i'r frwydr hon. Aeth angeu heibio i'r meddygon ac ugeiniau o weinidogion oedd o'i gylch, ac a archollodd y meistr ei hun. Ac megys nad oes neb mewn sefyllfa rhy uchel i angeu ei gyrhaedd, felly nid oes neb islaw ei sylw: rhaid i ni oll farw. Gweddiwn am ras i fod yn barod; am nerth i wasanaethu ein cenedl cyn yr hunom. A chofiwn y bydd angeu o'r un canlyniad i ni ag ydyw i freninoedd. Er na bydd marwolaeth y tlawd o gymmaint pwys i'r wladwriaeth, etto bydd i ni—mae gan y tlotaf enaid o'r un gwerth a'r un parhâd ag eiddo 'r brenhin.

Yn olaf, gweddïwn dros ein brenin presennol. Sefyllfa brenin sydd bwysig a pheryglus; y maent megys wedi eu gosod ar binacl y deml, mewn lle hawdd iawn syrthio o hono. Yn lle cablu urddas a beio ar ymddygiad ein blaenoriaid, megys y mae arfer rhai, gweddïwn ar Frenin y Breninoedd eu cynnysgaeddu â'i Ysbryd Glân, eu cyfoethogi â'i nefol ras, a'i llwyddo â phob dedwyddwch. Rhodded yr Arglwydd i'n daionus frenin ddoethineb i ddewis cynghoriaid rhinweddol a duwiol, ac megys y mae yn blaenori mewn urddas, bydded iddo hefyd flaenori mewn gweithredoedd da. Rhodded yr Arglwydd iddo hawddgarwch yn ngolwg ei ddeiliaid, a thröed eu calonau ato fel calon un gwr: a phan orpheno iddo deyrnasu, yn ol ewyllys Duw, ar y ddaear, Duw a'i dygo i'w dragywyddol deyrnas trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

---

## LLYFR LEFITICUS.

RHODDWYD yr enw hwn ar drydydd Llyfr Moses, o herwydd y cynnwysir ynddo y cyfreithiau am aberthau a defodau crefyddol. yr offeiriaid, y rhai a berthynent i deulu Lefi. Neillduasid y llwyth hwn i wasanaeth yr Arglwydd, megys gwobr am eu parodrwydd

a'u sel yn achos Duw yn erbyn eilun-addoliaeth. Rhanid hwynt yn ddwy ran, sef yr offeiriaid o deulu Aaron, a'r Lefiaid yn gyffredinol, y rhai a ordeinid yn gynnorthwywyr i'r cyntaf. At y rhai'n ychwanegwyd, mewn oes ddiweddarach, y Nethinim, sef disgynyddion y Gibeoniaid, y rhai a wnaethpwyd yn weision i'r offeiriaid yn nghyflawniad eu swyddau crefyddol.

Cynnwysa Llyfr Lefiticus hanes un mis yn unig, yn nechreuad yr ail flwyddyn wedi dyfodiad meibion Israel o'r Aipht. Mynegir yma neillduaeth Aaron a'i feibion i'r swydd offeiriadol, rhyfyg annuwiol a chospedigaeth Nadab ac Abihu, a llabyddiad y cablydd; pethau y rhai a ddangosant y dirfawr eiddigedd â'r hwn y cadwai Duw barch dyledus i'w enw ym mhlith yr Israeliaid. Traethir yma hefyd rai prophwydoliadau hynodfawr ynghylch cyflyrau dyfodol y bobl, megys eu gwasgariad ym mhlith y cenhedloedd; eu cystuddiau a'u blinderau; a'r un pryd gosodir o'n blaen rai annogaethau cysurlawn ynghylch eu cadwedigaeth rhyfeddol. Gwel *Pen.* xxvi. lle y mynegir ym mlaen llaw amgylchiadau dyfodol yr Israeliaid mor gywir a phe byddai yn hanes pethau wedi myned heibio eisoes. Cynnwysa Pennod xxv. un brophwydoliaeth ryfeddfawr, cyflawniad yr hon dros lawer o flynyddoedd olynol oedd yn wyrth wastadol, ac yn sicrhâu i'r naill oes ar ol y llall wirionedd ac awdurdod cyfraith Moses. Rhagfynegwyd y byddai cnydau pob chweched flwyddyn mor helaethwych ragorol fel y cyflawnai ddiffygiadau y seithfed flwyddyn, pryd y gorchymynid iddynt adael eu meusydd a'u gwinllanoedd heb eu llafurio; a rhoddwyd cyffelyb addewid hefyd o lawnder anghyffredin o flaen y flwyddyn *Jubili.* Pe twyllwr cyfrwysddrwg fuasai Moses, cyffelyb i Mahomet, a deddfwyr celwyddog ereill, ni feiddiasai efe mo'r addaw, ac yn ddiau ni buasai Brenin y nef yn cyflawni, yr addewidion hyn. Etto eu cyflawni a gawsant heb amser tra parhâodd yr Israeliaid i ufuddhâu i'r Arglwydd eu Duw. Os anufuddhâu a wnaent hwy, dywedwyd wrthynt yn sicr y caent eu cospi yn flindost, a'u gwasgaru ym mhlith y cenhedloedd, yno i aros yn ol nifer y blynyddoedd y torasent hwy ddeddfau y Sabbath a'r Jubili. Hyn hefyd a gyflawnwyd yn y caethglud i Babilon, lle yr arosasant 70 o flynyddoedd, sef nifer y blynyddoedd y buasai y wlad heb ei harbediad Sabbathawl.

Er mai amcan cyntaf y Llyfr hwn ydyw hysbysu aberthau a defodau y gyfraith seremoniol, y mae yn ddiammeu fod yr aberthau a'r defodau hyny yn rhag-gysgodi gosodiadau efengylaidd, ac felly yn arwain yr Israeliaid dawiol i wybodaeth y Messiah. Gellir dosbarthu cynnwysiadau ac amcan y gyfraith ddefodol dan bump o bennau:—1. Cadw yr Israeliaid yn bobl wahanol oddiwrth y cenhedloedd oddi amgylch, drwy seremoniau cestfawr a neillduol, y rhai ni chymhellasid hwynt i ymostwng iddynt gan ddim oddigerth eu gwybyddiaeth mai gosodiad pennodol yr Arglwydd oeddynt.—2. Trwy aberthau dros bechod eu harwain at Grist, yr hwn yw yr unig wir aberth dros anghyflawnder y byd.—3. Trwy aberthau diolchgarwch eu harwain i ddiolch i Dduw am ei holl drugareddau.—4. Trwy osodiad arch-offeiriad daearol eu tywys at Iesu Grist, yr hwn sydd Arch-offeiriad parhâus a nefol, a galluog i waredu pawb a elont at Dduw trwyddo ef.—Ac yn 5. Trwy fwydydd, rhai glân a rhai aflan, eu dwyn nid yn unig i ufuddhâu gorchymynion yr Arglwydd, ond hefyd i ddysgu ang-

angenrheidrwydd purdeb tufewnol y galon. Yr oedd y gwasanaeth deddfol oll, fel y llen ar wyneb *Moses*, yn lled guddio dros amser ddysgleirdeb ysbrydol tan y gorchudd oddi allan; ac y mae ei rag-gysgodiad o bethau dyfodol, a'i gyfatebiad i weinidogaeth arall angenach, yn arddangos doethineb y gosodiadau dwyfol.

Mewn rhai pethau, rhaid addef, gadawa rhai dynion buchedddol i'w meddyliau wibio yn angall yn eu hesboniadau ar y gyfraith, trwy ei hysbrydoli yn fwy nag sydd gymmwys, a cheisio caffael yn y weinidogaeth efengylaidd ryw beth yn cyfateb i *holl* seremoniau y weinidogaeth gyntaf. Gosodwyd rhai deddfau ar yr Israeliaid i'w cospi, oblegid eu troseddau mynych, *Gal.* 3. 19. 1 *Tim.* 1. 8, 9, 10.—neu megys ffrwyn i'w hattal rhag yr eilun-addoliaeth yr oeddynt mor dueddol iddo, o herwydd eu cynnefindra âg ef yn yr Aipht, a drwg esampl y cenhedloedd cymmydogaethol—neu i gadw i fynu wahaniaeth gwastadol rhyngddynt hwy a phobloedd ereill, megys y gwelir hyd y dydd heddyw. Buddiol hefyd oedd puredigaethau mynych y gyfraith i argraffu ar eu meddyliau barchusrwydd arbenig tu ag at JEHOFAH, yr hwn a ddeallent ei fod yn preswylio mewn modd neillduol, megys Brenin a Deddfwr, yn mhlith ei bobl etholedig. Gwelent yn y puredigaethau hyn faint glendid, corph a meddwl, oedd angenrheidiol wrth nesâu at y Duw sanctaidd hwn. Felly y rhagoriaeth rhwng anifeiliaid glân ac aflan, y deddfau ynghylch gwahanglwyf ac ammhuredigaethau, a adgofient i'r Israeliaid eu bod hwy yn bobl briodol, wedi eu neillduo oddiwrth genhedloedd ereill, yn genedl sanctaidd i'r Arglwydd. Gwir yw, mai caled oedd yr iau yn y dechreuad, a chostfawr oedd y gwasanaeth a dalent i Dduw, ond y mae hyn yn profi i oesoedd ereill nad allai dim llai nag ordeiniad arbenig y Goruchaf beri iddynt ymostwng i'r gwasanaeth hwnw, yn enwedig gan na ddeëllid ar y cyntaf gymmwysder y cyfryw wasanaeth. Eglurhawyd yr addasrwydd hwn iddynt yn raddol yn ysgrifeniadau y prophwydi. Os gofygir meddyliau hwyrdrwm a chalonau caledion y genedl Iuddewig, yr oedd y gyfraith seremoniol yn dra llesfawr yn ei hamser a'i hamgylchiadau priodol. Gwel *Act.* 15. 10, *Gal.* 5. 1. Megys gweinidogaeth *amserol* a *chysgodol* yr oedd hi yn hylwyr addas o barth ei hwsiadau ysbrydol a'i hamcanion olaf. Ar y cyntaf ni fynegwyd mai dros amser y byddai ei pharhâd; eithr cyn gynted ag y sefydlwyd hi yn mhlith y bobl, eglurwyd iddynt ei gwir amcan hi. Dywedwyd wrthynt nad oedd aberthau dros bechod ond pethau cysgodol, o ychydig werth yn ngolwg Duw heb ffydd a sancteiddrwydd: Gwel *Jer.* 6. 20. a 7. 21, 23. *Esa.* 1. 11,—17. &c. a bod puredigaethau allanol yn rhag-arddangos angenrheidrwydd glendid tufewnol.

Yr oedd aberthau wedi eu gorchymyn, tybygir, er y cwymp yn mharadwys, megys cyfaddefiad o droseddau dyn, neu ddiolchgarwch i Dduw am ei aml drugareddau. Eithr yn nghyfraith Moses hwy a ail osodwyd gyda phennodrwydd mwy parchusol, ac iawn gyfeiriad at eu gwir amcan. Hwy a sancteiddient i buredigaeth y cnawd, hwy a olchent ymaith ammhuredigaethau defodol, eithr ni amcanwyd mo honynt i ddileu euogrwydd moesol, neu i droi ymaith lid Duw yn erbyn pechod, oddigerth megys rhag-gysgodau y aberth dwyfol i ddyfod.

Os ymddengys yn eu cyfraith rai pethau yn ddyrys ac anhawdd i ni ddeall eu buddioldeb, gochelwn osod i fynu ein barn ein hunain

yn erbyn doethineb anfeidrol y Goruchaf. Po mwyaf a wyddir ynghylch helynt priodol yr Israeliaid, ac amgylchiadau y prif oesoedd, ac ansawdd y gwledydd dwyreiniol, mwyaf doethwych yr ymddengys gosodiadau yr hwn a ymostyngodd i fod yn Ddeddfwr a Brenin iddynt. Os cymharir hwynt â deddfau mwyaf clodwiw yr hen oesoedd, deddfau y rhai a feddylir eu bod mewn llawer o bethau wedi eu benthycio oddiwrth eiddo yr Israeliaid, gwelir achos i gydnabod rhagoroldeb deddfau Moses yn eu heffaith ar lwyddiant gwladol, a dedwyddwch priodol y bobl a ymostyngant iddynt.

---

## PREGETH II.

### RHAN I.

*Trueni Dyn, a'i Gollfarn trwy Bechod i Farwolaeth dragywyddol.*

NID yw yr Ysbryd Glân yn yr Ysgrythyr yn ymdrechu mwy am ddim nag am dynu i lawr wag-ogoniant dyn a'i falchder; yr hwn, o bob pechod, sydd wedi greddfu yn fwyaf cyffredin ym mhob dyn, er pan ymlygrodd ein tad cyntaf Adda. Am hyny yr ydym yn darllen, yn amrywiol fanau o'r Ysgrythyr, amryw bethau arbenig yn erbyn yr hen bechod greddfol hwn, fel y dysgom pa mor odidog yw y rhinwedd o ostyngeiddrwydd, ac fel y byddo i ni adnabod ein hunain ac i gofio beth ydym.

1. *Marwolder a breuolder dyn.*—Rhydd yr Hollalluog Dduw i ni oll, yn llyfr Genesis, ein henw priodol yn ein cyndad Adda; a'r darluniad a rydd o honom a ddylai beri i ni oll ystyried beth ydym, o beth ein gwnaed, o ba le y daethom, ac i ba le yr awn. Dywed fel hyn—"Trwy chwys dy wyneb y bwytâi fara, hyd pan ddychwelech i'r ddaear; oblegid o honi y'th gymmerwyd: canys pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli." *Gen.* 3. 19. Gallwn weled yma, megys mewn drych, nad ydym ond pridd, daear, a lludw, ac mai i ddaear a lludw y dychwelwn. Yr oedd y cyndad duwiol Abraham yn cofio yn dda yr enw priodol a roddasai Duw ar holl ddynolryw, a'i ddarluniad o honynt, sef pridd, daear, a lludw; am hyny geilw ei hun felly, wrth daer erfyn dros Sodom a Gomorrah. *Gen.* 18. 27. Ac yr ydym yn darllen yn yr Hen Destament i Judith, Esther, Job, Jeremiah, ac i wyr a gwragedd sanctaidd ereill, arferyd sach-liain, a thaflu llwch a lludw ar eu penau, pan yn galaru am eu buchedd bechadurus. *Judith* 4. 9. *Job* 2. 8. *Jer.* 6. 26. Galwent a gwaeddent ar Dduw am gymmorth a thrugaredd, gan wisgo sach-liain, ac ymdroi mewn llwch a lludw, er dangos i'r holl fyd y cyfrif isel a gostyngedig a wnaent o honynt eu hunain, ac mor dda y cofient eu henw priodol, mai gwael, llygredig, ac egwan oedd eu hanian—pridd, daear, a lludw. Er tynu i lawr ein calonau beilchion, annogir ni yn llyfr Doethineb, *pen.* 7. 1. i gofio ein haniad marwol a daearol a dderbyniasom oddi wrtho ef a grewyd gyntaf, a bod pawb, breninoedd a deiliaid, yn dyfod i'r byd, ac yn myned allan o hono, yn yr un modd, sef yn llawn trueni, fel y gwelwn beunydd. Fe orchymynodd y Goruchaf Dduw i'r prophwyd Esaiah waeddi a gwneuthur cyhoeddiad i'r holl fyd. Pan ofynodd Esaiah, "Beth a waeddaf?" Yr Arglwydd a atebodd—'Gwaedda,' "Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidowgrwydd fel blodeuyn y maes. Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn; canys ysbryd yr Arglwydd a chwythodd arno: gwellt yn ddiau yw y bobl. Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn." *Esa.* 40. 6, 7, 8. A'r gwr duwiol Job, wedi profi ei hun dru-

eni a phechadurusrwydd cyflwr dyn, a draetha hyn i'r byd yn y geiriau canlynol:—" Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul. Fel blodeuyn y daw allan, ac y tòrir ef ymaith; ac efe a gilia fel cysgod, ac ni saif. A agori di dy lygaid ar y fath yma? ac a ddygi di fi i farn gydâ thi? Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan? neb." *Job* 14. 1,—4.

2. *Pechadurusrwydd dynolryw yn gyfan oll.*—Mae pawb, trwy eu drygioni a'u hyblygedd naturiol, yn ymroddi mor gyfan-gwbl i bechod, fel y dywed yr Ysgrythyr, i Dduw edifarhâu iddo erioed wneuthur dyn. *Gen.* 6. 9. Ac ennynodd ei ddigofaint gymmaint yn erbyn y byd o herwydd pechod, fel y boddodd â llif yr holl fyd, oddieithr Noah a'i ychydig dylwyth. Nid heb achos cyflawn y geilw yr Ysgrythyr bawb yn y byd hwn ar yr enw daear. "O ddaear, ddaear, ddaear, medd Jeremiah, "gwrando air yr Arglwydd." *Jer.* 22, 29. Dyma ein iawn enw a'n galwad, "daear, daear, daear," wedi ei roddi i ni gan y prophwyd; a dengys hyn pa beth ydym mewn gwirionedd, pa enw neu oruchafiaeth bynnag a roddir i ni gan ddynion. Fel hyn y galwodd ef ni, yr hwn a ŵyr oreu beth ydym, a pheth y dylid yn iawn ein galw.

Fel hyn y gesyd ni allan trwy ei ffyddlon apostol St. Paul—" Ni a brofasom o'r blaen fod pawb, yr Iuddewon a'r Groegwyr, dan bechod.—Nid oes neb cyfiawn, nac oes un: nid oes neb yn deall; nid oes neb yn ceisio Duw. Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un: bedd agored yw eu ceg; â'u tafodau y gwnaethant ddichell; gwenwyn aspiaid sydd dan eu gwefusau; y rhai y mae eu genau yn llawn melldith a chwerwedd. Buan yw eu traed i dywallt gwaed. Dystryw ac aflwydd sydd yn eu ffyrdd: a ffordd tangnefedd nid adnabuant. Nid oes ofn Duw ger bron eu llygaid." *Rhuf.* 3. 9,—18. Mewn man arall ysgrifena St. Paul fel hyn—" Duw a'u cauodd hwynt oll mewn anufudd-dod, fel y trugarhâi wrth bawb." *Rhuf.* 11. 32. Mae yr Ysgrythyr yn cau pawb dan bechod, fel y rhoddid yr addewid, trwy ffydd Iesu Grist, i bawb a gredant. Mae St. Paul mewn amryw fanau yn ein darlunio yn ein lliw ein hunain, gan ein galw yn " blant digofaint," pan y ganer ni, *Eph.* 2. 3. a chan ddywedyd na allwn gymmaint a " meddwl meddwl da o honom ein hunain;" llawer llai y gallwn ddywedyd, neu wneuthur, o honom ein hunain yr hyn sy dda.

3. *Pechadurusrwydd hyd yn nod y goreu o ddynion.*—Dywed y gwr doeth, " y syrthia y cyfiawn seithwaith." *Diar.* 24. 16. Yr oedd Job, yr hwn a fawr brofwyd, yn ofni hyderu yn ei weithredoedd. Er i Ioan Fedyddiwr gael ei sancteiddio yn y bru, a'i ganmol cyn ei eni—er y gelwid ef yn angel ac yn fawr ger bron yr Arglwydd—er y llenwid ef o'r groth â'r Ysbryd Glân—er iddo fod yn ddarparydd ffordd i'n Hiachawdwr Crist—ac er i Grist ei ganmol, a dywedyd ei fod yn fwy na phrophwyd, a'r mwyaf a aned o wraig; etto dengys ef yn eglur fod arno angen cael ei olchi gan Grist. Dyrchafa yn deilwng, a gogonedda ei Arglwydd Crist, a darostwng ei hun, gan addef ei hun yn annheilwng i ddattod carai ei esgid, a rhydd yr holl anrhydedd a'r gogoniant i Dduw. *Mat.* 3. 11. Felly y gwna St. Paul yn aml: addefa yn eglur beth ydoedd o hono ei hun; ac, fel gwas ffyddlon, rhydd yr holl glod i'w Arglwydd, ei Iachawdwr. Felly hefyd y gwna St. Ioan yr efengylwr; gwna yr addefiad eglur hwn yn ei enw ei hun, ac yn enw pawb ereill, pa mor gyfiawn bynnag y

byddont:—"Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain a'r gwirionedd nid yw ynom. Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhâo oddiwrth bob anghyfiawnder. Os dywedwn na phechasom, yr ydym yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, a'i air ef nid yw ynom." 1 *Ioan* 1. 8, 9, 10.

Am hyny fe wna y gwr doeth y cyfaddefiad gwir a chyffredinol hwn:—"Nid oes dyn cyfiawn ar y ddaear, a wna ddaioni, ac ni phecha." *Preg*. 7. 20. Fe gywilyddia Dafydd am ei bechod, er na chywilyddia i'w addef. Pa mor fynych, pa mor daer ac edifeiriol, y deisyf drugaredd Duw am ei feiau mawrion, ac nad "elai Duw i farn âg ef." *Ps*. 143. 2. Ac etto, pa mor gymmwys y pwysai y gwr duwiol hwn ei bechodau, pan y cyfaddef eu bod mor lliosog, mor guddiedig, ac mor anhawdd eu deall, fel nad ydyw mewn ystyr yn alluadwy i'w gwybod, i'w datgan, neu i'w rhifo! Am hyny, gan ddwys ystyried ei bechodau, ac etto heb eu canfod i'r gwaelod, erfynia ar Dduw i fadden ei bechodau "cuddiedig," y rhai na's gallai gyrhaeddyd at wybodaeth o honynt. *Ps*. 19. 12. Pwysai efe yn gywir ei bechodau, gan ystyried eu gwraidd dechreuol, a'r ffynnon o ba un y tarddent, a chan ganfod fod eu tueddiadau, cynhyrfiadau, brathiadau, tarddiadau, canghenau, gwaelodion, gwenwyniadau, archwaethau, teimladau, a'u harogleu, yn aros ynddo yn wastad. Am hyny y dywed, "Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd; ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf."* *Ps*. 51. 5. Ni ddywed mewn pechodau, megys am lawer; ond mewn pechod, megys am un, o herwydd o un ffynnon y tardda ac y ffrydia y lleill oll.

Dywed ein Hiachawdwr Crist, "nad oes neb da ond un, sef Duw," ac na's gallwn hebddo wneuthur un daioni, ac na's "gall neb ddyfod at y Tad ond trwyddo ef." *Marc* 10. 18. *Mat*. 10. 18. *Ioan* 15. 5. Gorchymyn i ni oll ddywedyd, mai "gweision anfuddiol" ydym, pan wnelom oll a allwn wneud. *Luc* 17. 10. Cymmeradwya y Publican edifeiriol yn hytrach na'r Pharisead sanctaidd, balch, ymffrostus. *Luc* 18. 14. Geilw ei hun yn *Feddyg*, ond nid i'r "iach," ond i'r "cleifion" ag sydd arnynt eisieu eli i'w doluriau. *Mat*. 9. 12. Dysg ni yn ein gweddiau i gyfaddef ein hunain yn bechaduriaid, ac i geisio cyfiawnder, a rhyddhâd oddiwrth bob drwg, gan ein Tad nefol. Dengys i ni mai pechodau ein calonau sydd yn ein halogi. Traetha fod pob gair neu feddwl drwg yn haeddu colledigaeth, gan sicrhâu i ni y bydd rhaid i ni roddi "cyfrif am bob gair segur." *Mat*. 12. 36. Dywed, na ddaeth ef i gadw ond y defaid a aethant yn hollol ar gyfrgoll. *Mat*. 18. 11. Am hyny nid achubwyd ganddo ef ond ychydig o'r Phariseaid balch, cyfiawn, dysgedig, doeth, perffaith, a sanctaidd; am y cyfiawnhaent eu hunain, trwy eu ffug-sancteiddrwydd, ger bron dynion. Am hyny, bobl garedig, gochelwn y fath ragrith, y fath wag-ogoniant, a hunan-gyfiawnder.

---

## MYFYRDOD AR DDYDD Y FARN.

AR ryw foreu hyfryd yn mis Gorphenaf diweddaf, cymmerais

---

* Nid yw yr adnod hon yma fel ag ei rhoddir yn y llyfr Saesneg, na'r sylwad a'i canlyn. Darllenir yno "mewn pechodau y beichiogodd," &c. Y mae 'r Saesneg yn ol cyfieithiad y LXX. ac nid yn ol yr Hebraeg. Dilynais yma yr Hebraeg, fel y gwnaeth yr hen gyfieithydd Cymraeg o'm blaen, a chymmerais hefyd ei sylwad ef, o herwydd ei gymmwysder i'r adnod.

fy hynt i fyned i ymweled â pherthynas i mi, yr hwn oedd yn trigo encyd o ffordd oddiwrth fy nghartrefle. Addewais im' fy hun pan yn cychwyn ddiwrnod têg a dymunol, oddiwrth yr ymddangosiadau hyfryd a ddenai 'm sylw: — claerdeg a digwmwl oedd yr wybren, a'r haul a saethai yn ddirwystr ei belydrau dysglaer dros wyneb y ddaearen, gan loni a chynnesu holl anian â'i dra-mawr wres; awel ddystaw ar brydiau a chwythai yn araf, ac a oerai ychydig ar fy mynwes chwyslyd. Fel hyn y teithiais dros ran o'm ffordd, nes cyrhaeddyd mynydd eang, pryd, a'r haul wedi prin dderchafu i'w uchder canoldydd, y dechreuodd y ffurfafen dduo gan dorf anferth o gymylau, a ymddangosent fel cynnifer o greigiau aruthrol, yn ymsymud yn araf deg o'r gorllewin. Yn awr gorchuddiwyd yr haul, a fuasai gynneu yn tywynu mor llewyrchus, a'i wres tanbaid a attaliwyd. Gwelais mai tymhestl oedd y canlyniad; ac o herwydd y cyfnewidiad annysgwyliadwy hwn, prysurais fy nghamrau, fel y delwn i le diddos cyn y'm goddiweddai: ond nid yn nepell yr aethum cyn i'r gwlawogydd ddechreu curo arnaf, y taranau ruo yn arswydus, a'r mellt treiddgar wibio yn fynych. Wedi gwlychu yn ddwys, canfum ogof yn lled agos, a thellais fy hun iddi, gyda bwriad i aros yno hyd oni elai yr ystorm heibio.

Pan oeddwn yn yr ogof, ac yn clywed y taranau yn trystio mor arswydus, yn gweled y mellt yn llewyrchu mor ddychrynfawr, a'r gwlawogydd yn ymdywallt yn genllifoedd o'r cymylau cynnwysfawr, syrthiais i syn-fyfyrdod dwfn; a daeth i fy meddwl amgylchiadau ofnadwy y dydd diweddaf; ac ymddyddenais â'm calon â geiriau fel hyn:—Os ydyw y mellt a'r taranau naturiol hyn yn peri i ddynion frawychu a gwyneb-lasu, "pwy a ddichon sefyll" pan ddelo "dydd mawr ei ddigter ef?" Pan y cân udgorn Duw, sain yr hwn a fydd yn llawer mwy croch ac arswydus, yn diaspedain hyd gyrau eithaf y byd, ac yn treiddio i ddyfnderoedd y beddau, gan ddeffroi y cysgadurion a'i preswyliant.

O ddiwrnod mawr! Pwy sydd mor annoeth a pheidio a meddwl yn barhaus â difrifol am danat? Pwy nad ymdrechai â'u holl egni i gyrhaeddyd noddfa cyn i ti eu gorddiwes, fel na bo achos iddynt, pan y deui yn dy holl ddychrynfeydd, i "ddweud wrth y mynyddoedd a'r creigiau, syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o wydd yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, ac oddiwrth lid yr Oen!"

Pan y seinia yr archangel yr udgorn, "y meirw a gyfodant;" bydd pawb ar darawiad amrant yn dihuno, ac yn dyfod i fynu o'u beddau. O y llu a fydd yn weledig ar y ddaear y dydd hwnw! Ni welodd llygad dyn erioed y fath dorf ag a gaiff weled y pryd hyn. Miloedd a myrddiynau yn dyfod i fynu o ddyfnderoedd y moroedd, a mwy fyth o grombil y ddaear! Gwelir Addâ a luniwyd ym Mharadwys, a'r baban a anwyd ddoe, yn sefyll yn yr un lle; Cenhedloedd ac Iuddewon, Groegwyr a Barbariaid, pob llwyth a chenedl, yn cyd-gyfarfod yn yr un fan. Y byddinoedd lliosog hyny a fuant unwaith yn gorchuddio gwledydd eang, ac yn ymdaenu fel haid o locustiaid dros deyrnasoedd helaeth, a ymddangosant fel diddim yn nghanol y gynnulleidfa fawr hon. O y lliaws, y lliaws! a gaf fi â'r llygaid hyn eu gweled, "pan eilw Duw y nefoedd oddi uchod, a'r ddaear, fel y barna efe ei bobl."

Yr holl fyd a â yn wenfflam; "a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir;" "y mynyddoedd a neidiant fel hyrddod,

a'r bryniau fel wyn defaid;" y moroedd mawrion a ferwant, a'r tònau a ruant. Arswydlawn helynt! Pa le mae cyfoeth y goludog, pentwr aur ac arian y cybydd, a phleserau y cnawdol-foddus, yn awr? Hwy a ysgubwyd ymaith gan y goelcerth dân, "a'u lle nid edwyn ddim o honynt mwy." Dinasoedd a theyrnasoedd a soddant yn y diluw llosgedig, a'u holl wychder a lwyr ddifodir. Nid oes i'w ganfod ond dystryw tanllyd ym mhob cwr. Edrychaf etto i fynu tu a'r nefoedd, a gwelaf pa fath olwg a ymddengys yno:—"Yr haul sydd yn ddu fel sachlen flew, a'r lleuad sydd fel gwaed, a ser y nef sydd yn syrthio ar y ddaear, fel y mae y ffigysbren yn bwrw ei ffigys gleision pan ei hysgydwer gan wynt mawr." Etto, beth a welaf! dacw 'r Barnwr "yn dyfod ar y cymylau, gyda gallu mawr a gogoniant;" "gyd â'i angylion nerthol, a thân fflamllyd." Cyfod dy olygon, Herod, os meiddi, a gwel y Baban a geisiaist ti ei ddyfetha ym Methlehem; mor ogoneddus y mae yn dyfod yn awr, i "roddi dial" arnat! Edrychwch chwithau, Iuddewon, ar y gwr a wanasoch, a galerwch: nid hawdd fyddai i chwi ei groeshoelio ef yn awr. Edrychwch holl annuwiolion arno ef, yr hwn a ddiystyrasoch, ac a ddywedasoch am dano, na fynech mo hono i deyrnasu arnoch: Wele, y mae yn dyfod i'ch erbyn, i'ch bwrw o'i wydd yn dragywydd.

Dyneswch yn awr, chwi blant Adda, dyneswch o flaen y frawdle, i roddi cyfrif am eich gweithredoedd priod, pob un ar ei ben ei hun. Pa beth a ddywedwch, neu â pha ryw eiriau yr ymesgusodwch, chwi esgeuluswyr iechydwriaeth? Dirgelion y galon sydd hyspys i'r Barnwr; nid allwch mo'i dwyllo. Diau, pe byddai yn eich meddiant, y rhoddech filoedd o fydoedd, yn hyd â'u trysorau, pe caech ail weled dydd gras. Ond y duwiolion, y rhai a wasanaethasant yr Oen, a dderbynir yn groesawus ganddo, "heb gyfrif iddynt eu pechodau;" "hwy a gipir i fynu yn y cymylau, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr," ac a fyddant gyd âg ef yno yn barnu y byd.

Wedi i'w prawf fyned heibio, yna y canlyn y ddedfryd. Tybygaf y gwelaf yr annuwiolion â'u hwynebau yn dechreu gwelwi, a'u haelodau yn crynu, pan y cyhoeddir uwch eu penau y geiriau hyny—"Ewch oddi wrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd i ddiafol ac i'w angylion." O ddychryn annhraethadwy fydd iddynt! gorfod wynebu poenau tân anniffoddadwy, heb obaith ymwared yn dragywydd! Yna "y rhai hyn a ddyoddefant yn gospedigaeth dinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddi wrth ogoniant ei gadernid ef;" "a mwg eu poenedigaeth hwy sydd yn myned i fynu yn oes oesoedd; ac nid ydynt yn cael gorphwysdra ddydd na nos." Eithr y cyfiawn a lawenychant yn ddirfawr, o herwydd hwy a gant fyned i mewn i lawenydd eu Harglwydd: "a Duw a sych ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch na llefain, na phoen ni bydd mwyach."

UPSILON.

NANT Y NEF, *Awst*, 1830.

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### Y GRILLIAD, NEU 'R CRICED.

*(Parhad o du dal. 308.)*

3. Y TWRCH, neu y Wâdd-Rilliaid. Y rhai hyn a elwir felly o herwydd bod eu harforion mewn llawer o bethau yn debyg i eiddo 'r twrch neu y wâdd. Ei ben mewn cydmariaeth i'w gorph sydd fychan a hir-gul. Y mae iddo ddau o

lygaid mawrion, a rhwng y rhai hyn y gwelir tri ereill o rai bychain. Ei ddau droed blaen ydynt fawrion a chryfion iawn mewn cydmariaeth, a gellir eu tebygoli i draed blaen y twrch neu 'r wadd. Ei hoff le yw gweirgloddiau a meusydd lleithog: ceir ef hefyd yn ngheulenydd llynau ac afonydd. Y Grilliedyn hwn yn fynych a geir mewn gerddi yn agos i afonydd a dyfroedd. Ac nid ychydig o ddifrod a wna mewn gardd ar ol myned iddi; canys efe a ymwthia fel twrch drwyddi yn ol ac yn mlaen, gan ddiwreiddio y pethau hauedig yn gystal a'r pethau planedig ynddi. Pan y codir hwy allan o'r pridd, eu lliw sydd lwydddu, ac ymddangosant yn hynod ddiallu; ac er bod adenydd iddynt, etto ni ddefnyddiant hwynt y dydd. Y nos hwy a ddeuant allan o'u tyau tan-ddaearol, ac a gymmerant deithiau hirion. Tua hanner Ebrill, os bydd y tywydd yn dêg, dechreu y Grilliedyn hwn, ar fin y nos, rillio: etto ni wna hyn fel y Grilliaid ereill; eithr efe a barha ei rilliad yn ddidor am hir amser, yn lled debyg i swn aderyn y droell pan yn eistedd ar gangen yn ochr y goedwig ar fin nos. Dodwant yn nechreu Mai, yn ol barn Mr. White. Fe ddigwyddodd un tro, lle yr oedd y gwr boneddig uchod, i'r garddwr, wrth ladd y gwair yn ochr y *canal*, dori yn rhy isel, ac felly dori drwy y dywarchen, ac felly fe wnaeth yn amlwg nyth un o'r Twrch-rilliaid. Yr oedd yn ystafell fechan, o faint wy iar, ac at ei lun. Yr oedd muriau y lle yn llyfnion; ac yma yr oedd oddeutu cant o wyau. Nid oedd yr wyau yn ddyfnion, eithr yr oeddynt yn ddigon agos i'r wyneb i deimlo gwres yr haul er eu deor. Fel y mae wyau a chywion trychfilod ereill yn agored i gael eu dyfetha, felly y mae gelyn i wyau a rhai bychain y Twrch-rilliaid; sef, un o'r chwilod duon, yr hon a diria mewn cyffelyb leoedd i'r Grilliad hwn. Am hyny y fenyw a gymmer fawr ofal i ddiogelu ei hwyau, trwy wneuthur ei nyth mor gadarn, a'r ffordd iddo mor ddyrys, ag y gallo. Yn rhyw gongl i'r ddyrysffordd hon y gorphwys hi, megys gwyliedydd, i gadw 'r nyth; ac os daw y chwilen o fewn ei chyrhaedd, da os diangc yn fyw. Y Twrchrilliaid ydynt yn aml a lliosog yn rhai o Siroedd deheuol Lloegr. Mr. White a ddywed fod dyfyniadyddion yn dywedyd, fod i'r Twrchrilliaid, a'r ddau fath ereill a soniwyd am danynt, gyffelyb gyllaon i'r anifeiliaid a gnoant eu cil; ac am hyny, mai tebyg yw y gwnant hwythau felly hefyd.

Cyn diweddu, rhoddwn ychydig o hanes am y trychfil a elwir yn gyffredin Ceiliog y Rhedyn. Dywed rhai bod ynghylch naw math a thringain o'r Ceiliogod hyn. Y mae 'r hwn y bwriadwn ddywedyd ychydig am dano mor adnabyddus i'n cydwladwyr, fel nad oes eisieu darluniad o hono. Yn gyffredin, tua dechreu Mai, gwelir y trychfilod hyn ar hyd ein gweirgloddiau mor fychain agos a chwain, etto, yn llawn bywyd a bywiogrwydd. Eu lliw y pryd hyn sydd wynaidd, ac nid ydynt ond newydd ddyfod allan o'r wyau. Ym mhen dau neu dri diwrnod ânt yn dduon, ac yna cyfnewidiant eu lliw i ruddgoch. Os edrychir arnynt o'r dechreu, y maent yn berffaith fel yr hen rai, oddieithr maint ac edyn. Gwelir y rhai hyn yn swpyn bychan yn y lle o'r hwn yr ymddatodant ym mhen ychydig. Ym mhen tu ag ugain diwrnod ar ol ei ddyfodiad allan o'r wy, ymbarotoa gogyfer a'i gyfnewidiad olaf, ac ymddatodiad ei edyn. Pryd hyn efe a âd ei ymborth, ac a lecha yn nghysgod llwyn, neu o dan ysgallen, er diogelwch rhag gwlaw. Yn y cysgod hwn, efe a ddechreu ymwingo, ac

ymysgwyd, ac ymrwbio, hyd nes y toro dwll yn nghroen ei ben; ac yna efe a ymwthia yn raddol allan o'r hen groen; ac wedi hyny ei edyn a ymddatodant, ac a ymledant i'w cyflawn faintioli. Ymddengys ar ol y llafur hwn yn dra lluddedig, ac megys marw am agos i awr. Ei liw y pryd hwn sydd wyrddwyn; ond efe a gocha ychydig fel y sycha. Os edrychir ar y trychfil byw, ac ar ei groen marw, nid ellir llai na rhyfeddu pa fodd y gallodd ymwthio allan o'r fath wain gaeth. Wedi ei ail-eni fel hyn, efe a ymddengys yn ei berffaith gyflwr. Ymbortha y trychfil hwn ar welltglas. Er nad ymhoffant ehedeg, na neidio, yn enwedig os bydd yr hin yn oer a gwlyb, etto, hwy a wnant bob un o'r ddau, weithiau, am encyd o ffordd. Ym mhen ychydig wedi 'r cyfnewidiad olaf hwn, dechreuant eu cân (os gellir galw y sŵn a wnant felly) ac nid yw amgen na gwahoddiad cariad. Y gwryw yn unig sydd yn galw. Ni wyddis yn sicr trwy ba foddion y gwna y sŵn: rhai a feddyliant mai â'i edyn a'i draed ol—ereill, mai trwy ryw dwll a welir wrth fôn ei adenydd y gwna hyny. Pa fodd bynag am hyn, anfynych y gwna un sŵn, heb i geiliog arall ei ateb; ac felly dynesant at eu gilydd, ac ymladdant yn ddewrion, a'r gorchfygwr a ennill y fenyw. Tua diwedd y cynhauaf gwelir y fenyw yn dra llwythog o wyau, y rhai a ddodwa hi mewn agenau yn y ddaear, o gant i gant a hanner o rifedi. Y mae iddi offeryn i wneuthur hyn cyffelyb i'r hwn a roddwyd i'r Grilliaid. Yn fuan wedi hyn, yr hen a drengant. Yr wyau a oddefant yr oerfel heb dderbyn niwed, ac a ddeorant gan wres Mai; a'r cywion a wnant fel eu rhieni, a hwy a drengant. Po fwyaf yr edrychir i mewn i anian, ac i bob rhan o honi—pa un bynag ai pethau byw, ai pethau meirwon—ai bywiolion mawrion, ai rhai bychain—mwyaf a welir o ddoethineb, gallu, a daioni y Creawdwr, yr hwn a wnaeth bob peth yn dda iawn. "Dy holl weithredoedd a'th glodforant, O Arglwydd."

R.

---

## BRWYDR FAWR WATERLOO.

*(Parhad o du dal. 250.)*

WEDI ffaelu o'r ymosodiad ar Hougoumont, denodd yr ymdrech yn gyffredin drwy bob cwr i'r fyddin. Trowyd ffroenau mwy na dau can' magnel yn erbyn y Prydeiniaid, a thân gyagod y rhai hyn yr oedd ymosodiadau y gwyr traed a'r gwyr meirch braidd yn afrifed. Gweled colofnau cedyrn yn dyfod allan o bob cwr, y rhai a esgynasant yr ochr ar yr hon yr oedd milwyr Lloegr, ac a ruthrasant â'u holl rym ar eu sgwariau. Ond er bod magnelau y Ffrangcod yn medi i lawr rengau cyfain o'n bechgyn dewrion, ni oddefid i'r gelyn gymmeryd y fantais leiaf ar hyn. Llenwid y bylchau i fynu yn ddioed gan eraill parod i aberthu eu heinioes yn achos eu gwlad; a chlywid Buonaparte yn torri allan mewn canmoliaeth iddynt, drwy ddywedyd wrth y swyddogion oedd o'i ddeutu, "Onid ydynt yn filwyr dewrion? gwelwch mor odiaeth y cyflawnant eu hysgogiadau, ac y cymmerant eu hamrywiol sefyllfaoedd. Y mae yn resyn eu dyfetha; ond myfi a'u trechaf wedi 'r cwbl."—Yn awr y mae efe yn troi ei ymosodiad yn erbyn canol ein byddin, ar gyfer Mynydd St. Jean. Gwrthddrych penaf ei ymosodiad oedd y Tŷ Fferm* a welir yn y darlun, o'r

---

* Y mae ymdeithydd, yr hwn a ymwelodd â maes Waterloo ychydig amser wedi y frwydr, yn rhoddi y darluniad canlynol o'r lle hwn. Dywed mai Tŷ Fferm cyffredin yw, a'i fod, gyda'r tai allan, yn llunio sgwâr led eang. Y mae y tŷ ei hunan yn

enw La Haye Saint. Lle o fawr bwys i'r Prydeiniaid oedd hwn. Yr oedd Boni yn meddwl y byddai iddo, drwy lwyddo yma, dorri drwy ganol y fyddin, a gwneud ei ffordd i Brussels. Wrth edrych ar y darlun gwelir fod y lle ychydig y'mlaen i sefyllfa corph y fyddin, fe allai oddeutu 300 o latheni. Ymddiriedwyd ei gadwraeth i'r Lleng Ellmynaidd, y rhai nid oeddynt yn ol mewn dewrder i oreuon milwyr Prydain. Gwyddai bob ochr yn dda ddigon werth y lle, ac ymdrechasant yn ol hyny, o un tu i'w amddiffyn, o'r tu arall i'w gymmeryd. Yr oedd yr ymosodwyr yn gynnwysedig o bedair byddin o wyr traed, a mintai anferth o'r *cuirassiers* yn eu blaenori. Deuodd y rhai hyn y'mlaen ar lawn carlam ar hyd ffordd Genappe (gwel y darlun) ac yma cyfarfuwyd hwynt gan oreufeirch Prydain, ac ofnadwy a dychrynllyd oedd yr ymdrech. Yr oedd swn a thrwst eu cleddyfau i'w glywed y'mhell, a hir y buont yn ymladd wyneb yn wyneb a chledd y'nghledd, nes o'r diwedd i wyr Ffraingc gael eu llwyr orthrechu. Y bedair colofn o wyr traed, y rhai a ddetholid i wneuthur yr ymosodiad, a ruthrasant y'mlaen drwy bob rhwystrau, nes cyrhaeddyd y tu hwnt i dŷ fferm La Haye Sainte, yno gwasgarasant gatrawd o'r Belgiaid, ac yr oeddynt yn y weithred o sefydlu eu hunain y'nghanol sefyllfa y Prydeiniaid, pryd y dygwyd i fynu fyddin y Cadfridawg Pack i'w gwrthwynebu. Rhan o'r fyddin Ffrengig, o ddeutu yr un amser, a amgylchynasant y Tŷ Fferm, a thost a gwaedlyd iawn a fu y gyflafan o'i ddeutu. Ond trwy ryw ddrwg anffawd, fe ddarfu powdwr a bwledau y Lleng Ellmynaidd, yr hyn a roddes i'r Ffrangcod gyfryw fantais ag a'u gwnaeth yn feddiannwyr o'r lle. Gwthiasant yr holl Ellmyn i angeu ar flaenau eu pigodau. Yr oedd Buonaparte yn syllu yn graff o'i dwr gwylio i edrych pa wedd y troi yr ymosodiad hwn allan, a phan welodd ei wyr yn llwyddo yn eu hymgais yn erbyn y Tŷ Fferm, yr oedd yn llawn ffrost a gorfoledd, gan benderfynu fod y fantol wedi troi o'i ochr, ac y caffai gyflawn fuddugoliaeth. Yn ddioed y mae efe yn anfon brysnegeswyr i Paris i ddweyd fod y frwydr wedi ei henill. Dros awr gyfan y parhaodd yr ymosodiad yn amheüus. Yr oedd pob ochr yn gyru i fynu fyddinoedd cynnorthwyol, a phob modfedd o dir a ystyrid o'r canlyniad mwyaf i'w henuill neu i'w cholli. Y Cuirassiers a'r Lancers a ruthrent y'mlaen, ac a hyrddient eu hunain ar yr ysgwariau. Gyda dewrder digyffelyb, marchogent eu ceffylau o gwmpas yr ysgwar, i edrych a gaent fwlch yn rhywle, ond y cwbl yn ofer. Dro arall, deuai ychydig o honynt allan o'u cadres, gan farchog i wyneb yr ysgwar, a saethu at y swyddogion, a heriaw y milwyr yn ysgolwedd, i edrych a allent eu hannog i danio eu drylliau, fel y byddai i gorph y gadres ruthro arnynt, cyn gallu o honynt ail-lwytho* eu drylliau;

gwneuthur un ochr i'r sgwâr, a'r tai allan y tair ochr arall. Gallai y Tŷ Fferm, yr *yard*, a'r tai allan, gynnwys o ddeutu mil neu bymtheg cant o filwyr. Yr oedd tyllau i saethu drwyddynt, wedi cael eu gwneuthur o gwmpas. Yr oedd yr holl le yn edrych yn gandryll a murddynol. Yr ochr ar gyfer y Tŷ oedd tai yr anifeiliaid, ac yr oedd y rhai hyn yn llawn o gyrph wedi eu taflu yn bentyrau, ac yn llenwi priodol le y gwartheg, o'r naill ben i'r adeilad i'r llall, ac mewn trwch o ddeutu pedair troedfedd.

* Fe allai mai nid cwbl anfuddiol i'r Cymro uniaith a fyddai cael ychydig o eglurhad ar y pwngc hwn, sef y modd a arferir gan fyddin o wyr traed i wrthsefyll gwyr meirch. Pan ganfyddo unrhyw gatrawd fod ymosodiad gan wyr meirch ar gael ei wneuthur arni, rhoddir gor-

ond cyfryw ydoedd dysgyblaeth a dewrder pwyllog y milwyr, fel y dyoddefasant hyn oll heb saethu ergyd.——Cymmeriad tŷ fferm La Haye Sainte yw yr unig fantais a gafodd Buonaparte yn erbyn y Dug Wellington yn y frwydr waedlyd hon; ac nid oedd hyn ond mantais fechan wedi y cyfan. Am fod y lle mor agos i sefyllfaoedd ein magnelau, yr oeddynt yn ymdywallt arno yn y fath fodd dychrynllyd, fel y bu raid i'r Cadfridog anfon yn ddioed at Buonaparte i hysbysu iddo fod yn amhosibl iddynt ei gadw heb gael eu dinystrio oll, heb adael un yn weddill. Cyn pen nemawr, bu raid iddynt ei adael. Mae llawer yn barnu fod y frwydr, yn ystod yr ymosodiad ar La Haye Sainte a Mynydd St. Jean, yn hynod o amheüus. Barnant, pe buasai Buonaparte yn sefydlu magnelau yn ddiatreg yn La Haye Sainte, ac yn dwyn i fyny y milwyr ag oedd ganddo wrth gefn, y buasai braidd yn amhosibl i hyd yn oed dalentau Wellington na dewrder ei filwyr eu gwrthsefyll. Ond Rhagluniaeth, er hedd Ewropia, ac eraill ddybenion pwysig, a drefnodd yn wahanol. Yn yr ymgais hon, fel ei holl rai blaenorol, efe a aflwyddodd. Yr oedd y Dug, y'nghanol yr holl derfysg, yn hynod o bwyllus ac arafaidd. Dywedir, pan oedd yn syllu drwy ei yspienddrych ar y fintai lïosog a chadarn ag oedd yn wynebu ar Hougoumont, yn nechreu y frwydr, iddo lefain wrtho ei hun, "Yn awr, fy *anwyl* osgorddion, curwch hwy'n ol." Dro arall, pan ddigwyddodd iddo fod yn gyfagos i'r 95 gatrawd, a chanfod fod mintai arswydus o wyr meirch yn ymbarotoi i ruthro arni, efe a farchogodd i fynu at y gatrawd, gan waeddi, "Sefwch yn sad 95, ni wiw i ni gael ein curo, beth a ddywedant hwy y'Mrydain?"——Yr oedd Buonaparte, o'i ochr yntau, wrth weled y frwydr yn fwy aflwyddiannus nag y dysgwyliodd, yn dyfod yn amhwyllus a phigog. Deuodd cennad eto, i hysbysu iddo fod pethau yn ymddangos yn lled wgus; efe a droes ei gefn ar y gennad, ac ni fynai ei wrandaw. Nid oedd dim yn awr ond hyrddio ei wyr y'mlaen, mintai ar ol mintai, rhuthr ar ol rhuthr; ac fel yr oedd y rhai hyn yn aflwyddo, yr oedd ei ddigllonedd yn cynnyddu. Ei ateb i bob newydd anghysurus oedd, "Rhagoch, rhagoch." Yr oedd ei ymddygiad yn llenwi y milwyr a'u blaenoriaid â hollol ddibrisdod, ac yn peri iddynt anturio eu bywydau yn ddifraw a diarswyd. A llefaru yn ddynol, ni fuasai un fyddin arall dàn haul yn gallu gwrthsefyll y fath ymosodiadau; ac y mae y fuddugoliaeth

---

chymmyn yn ddioed i'r holl gatrawd i lunio ysgwar, yr hyn a gyflawnir mewn llai na mynyd. Mae'r ysgwar weithiau yn ddyn, dro arall â lle gwag yn y canol. Y'nghylch mewnol yr ysgwar y ceir y swyddogion. Y rheng nesaf allan, pan welont yr ymosodwyr wedi dyfod yn ddigon agos, a daniant eu drylliau i'w hwynebau, yna ar yr un eiliad penliniant ar un glin, gan osod bôn y dryll ar y ddaear yr ochr allan i'r glin ar yr hwn y gorphwysa y milwr, a delir blaen y bigawd yn union i ddwyfron y march. Y ddwy reng o'r tu ol iddynt a saethant i wyneb y gelyn, y tro cyntaf ar unwaith, yna cyn gynted ag y gallont lenwi eu drylliau. Y mae y drefn hon yn gwbl effeithiol i droi yn ol ruthr o wyr meirch. Pan oedd Buonaparte yn yr Aipht, gwrthwynebwyd ef gan fintai lïosog o'r Mameluken, y rhai a ystyrir y marchogion goreu yn y byd. Nid oeddynt erioed wedi cael eu trechu gan wyr traed, a gwynebasant filwyr Boni gyda llawn sicrwydd i'w gwneuthur yn sathrfa. Ond methasant yn eu holl ymgais i wneud i'w meirch anturiaw y'mhellach na blaenau y pigodau. Yr oeddynt yn troi pen ol y ceffylau, gan ymdrechu eu gyru yn wysg eu cefnau ar y rhengau. Ond nid oedd dim yn tycio, bu raid iddynt encilio wedi eu cwbl orchfygu. Y mae fflychiad y pylor, y'nghyd âg effaith y bwledau ar y marchogion yn eu hyrddio oddiar eu meirch y ffordd hyn a ffordd arall mor effeithiol os nad mwy na'r pigodau i luddias y meirch y'mlaen.

i'w phriodoli gymmaint i bwyll ac amynedd y milwyr ag i'w dewrder.

Yn fy llythyr nesaf, Mr. Gwyliedydd, yr wyf yn amcanu darlunio yr ymosodiad ar ben aswy y fyddin, sef sefyllfa ein cydwladwr, Syr Thomas Picton; y'nghyd âg ymosodiad gosgorddion Buonaparte ar ganolbwynt ein byddin.——Wyf, Syr, yr eiddoch yn ddiffuant.

ITHEL.

---

DARLITH AR FWNAI, &c.

*A draddodwyd ger gwydd Cymdeithas y Cymreigyddion, yn Nghaerludd, Nos Iau, Gorphenaf* 1*af*, 1830.

PROFASOM yn ein Darlith olaf nad yw *cyfoeth*, nac *aur*, nac *arian*, *tai*, na *thir*, *anifeiliaid*, na *meddiannau*, o un math; na dim a *welir* nac a *deimlir*. Gographasom hefyd am *fwnai*, *maelieraeth*, *llafur*, *newidiant angenion dyn*, &c.

Ein bwriad ni yma heno, gyfeillion, yw ymhelaethu ychydig ar *rai* o'r pethau hyn, heb fanylu yn ormodedd ar un peth.

Ym moreu amser, y moddion cyffredin gan ddynion i gyflawni angenion eu gilydd oedd, *newid* y naill beth am y llall: rhoddai un *chwech o ddefaid*, efallai, am *fuwch*; rhoddai arall *fustach* am *farch*; *llo* am *fochyn*; &c. Ond pe na bai yr hwn oedd a *buwch* ganddo eisieu *defaid*; na'r hwn a biai *farch* eisieu *bustach*; na phiedydd y *mochyn* eisieu *llo*; byddai angenion dynion yn ddiffygiawl iawn; oblegyd nis gallent yr hyn a wyllysient.

Trwy fod dynion o wahanawl *dymherau* a *thueddiadau*, ac yn rhagori mewn *oedran*, *cryfder*, *callineb*, *diwydrwydd*, *gofalon*, a *medrusrwydd*, byddai gwahanawl amgylchiadau a sefyllfaoedd arnynt, a hyny nid yn unig o fyn ond o angenrheidrwydd.

Pe byddai *bawb* yn foneddigion, pwy a weithiai? a phe byddai *bawb* yn dlawd, pwy a dalai i'r gweithiwr? Mae gwahaniaeth sefyllfaoedd yn y byd yn anhebgorawl er brodoriaeth.

Os *angen* yw mam dyfais, mae *brodoriaeth* yn dad iddi;—heb frodoriaeth ni byddai na *saer* na *chrydd*, *gof* na *gwehydd*, *ystarnwr* na *phanwr*, nac un gelf arall neillduawl. Ac er bod brodoriaeth gwedi trefnu i bawb ei orchwyl ei hun, yr un *peth* sydd yn eu golwg oll, a hyny yw, tori angenion eu gilydd—wrth i'r *saer* wneud *trol* neu *aradr*, neu y *gof* wneud *hoelion* neu *bedolau*, dyna mewn gwirionedd yw pen draw dyben y ddau. Efelly y mae bywyd dyn mewn rhyw ystyr yn gorphwys ar ei *angenion*, fel y dangoswn yn eglurach ym mhellach. Mae ar ddyn angen rhai pethau yn fynychach na phethau ereill; dylai gael *enllyn* a *bara* yn aml bob dydd, os nad *cloron* a *chig*. Byddai y *dilledydd* eisieu y pethau hyn yn *feunyddiol*, er nad oedd ganddo ef ond ei *ddillad* i gynnyg i'r *pobydd* a'r *cigydd*: byddai y *crydd* hefyd eisieu bwyd yn yr un modd; ond ni byddai ganddo yntau ond ei *fotias*, ei *lopanau*, a'i *esgidiau*, i'w rhoddi am bob peth; a gwyddom na thalai esgidiau neu archennau y *crydd*, yn *wisg* i'r *cigydd*, na *chig* y *cigydd* yn *ddillad* i'r *pobydd*. Gallai y *cigydd* hefyd eisieu *bara* pan na byddai y *pobydd* eisieu *cig*; a gallai y *crydd* eisieu *dillad* pan na byddai y *dilledydd* eisieu *esgidiau* neu *archennau*, ac er eisieu yr holl bethau hyn nid bob amser y gallent eu cael, efelly, codai *anhawsderau* neillduawl, heblaw dadleu parhâus, wrth geisio uniawni eu cyfrifon.

Mal y lliosogai dynolryw, a dyranai llafur, toc y gwelid nas gellid diwallu gofynion pawb, drwy newidiant o'r fath a sonid; a bod yn angenrheidiol anhebgórawl gael rhyw beth o dderbyniad cyffredin er rhwyddinaw y diffyg; ac y gellid cael, bob amser am hwnw, yr hyn

a wyllysiem. Ond yr holiad yw, pa beth fyddai raid i'r cyfryngai hwnw fod, fel y rhoddai pawb ym mhob man yr un gwerth a bri arno? Ni wiw iddo fod yn *fawr*, byddai hyny anghyfleus i'w *gario;* nac yn rhy *galed*, gwnai hyny o yn anhawdd ei *ranu;* ni wiw iddo fod yn rhy *feddal*, oblegid *treulia* yn rhy fuan; nac yn beth a *ryda*, byddai hyny yn *niweid* iddo: ni wiw iddo fod yn beth *hawdd ei gael*, nac yn hawdd ei *arddulliaw*, gwnae hyny o yn hollol ddiwerth.

Erbyn hyn, rhaid ynte i'r cyfryngai fod yn *fychan* ei *sym*, yn *hawdd* ei *gario*, yn *rhad* ei *gadw*, yn *ddidraul* wrth ei *ddefnyddiaw*, yn *brin* i'w *gael*, ac yn *bur* ynddo ei hun. Gwedi cynnygu mewn llawer oedd wledydd, ac oesoedd, ar amryw bethau, megys, *cregin*, *myglys*, *lledr*, a phethau ereill a ellid eu henwi; ie, yn go ddiweddar defnyddid *craighal* mynydd Laffta, yn Ethiopia, fel cyfryngai newidiawl; ond ni chafid dim yn atebu y dyben ym mhob ystyr cystal a *delid* neu *fetel;* sef *aur* ac *arian*, yn benaf.—Mae aur ac arian yn *hir* eu parhâd, yn ddigyfnewid mewn rhyw ystyr; yn hawdd eu *rhanu*, yn ol y bo gofyn dyn; yn *drwm*, am hyny yn gryno, ac yn gofyn ond ychydig le; yn cadw eu *purdeb* agos dan bob triniaeth, ac y mae eu *prindeb* yn eu derchafu, ac yn dodi gwerth mawr arnynt. Gwyddoch pe byddai aur ac arian mor hawdd eu cael a *cherig*, megys *cerig* eu cyfrifem.

Mae rhyw *deithi* neilltuawl mewn *aur* ac *arian* rhagor yr holl fŵn a wyddys am danynt. *Aur*, ac *arian*, ac *efydd*, yw yr unig fŵn a geir bob amser mewn ansawdd fetelaidd. Ceir aur mewn amryw ddull; ond yn gyffredinaf yn *ronynau*, *crisiannau*, neu *ddalenau*. Y talp mwyaf o aur cynnwynawl a gafwyd erioed yn Europe a ddaeth o Swydd Wiclow, yn yr Iwerddon; dywedir ei fod yn agos i ddau bwys o drymder, ac ynddo ond ychydig eirblith *(alloy)*. Aur yw yr unig fetel o liw melyn; ac yn ei burdeb mae yn *feddal*, *gwydyn*, *ystwyth*, *taenadwy*, *lledadwy*, a *disain;* ac ni wnai *awyr*, *tân*, na *dwfr*, un cyfnewidiad ynddo. Gellir mwrthwyliaw *mymryn* o aur i ddalen fawr; neu ei dynu yn llinyn main fel edef sidan; neu ei ranu i ddarnau agos anweledig; ei doddi; ei losgi yn ulw yn tân; ei luneiddiaw mewn surath; ei wasgaru yn *darth* gan angerdd gwres; a gwedi yr holl driniaethau hyn arno gellir cael eto y *mymryn* yn ol, heb golled yn ei bwys, na chyfnewidiad yn ei burder.

Y mae 5760 o ronynau mewn pwys; a phe rhoddid *un gronyn* o aur mewn *pwys* o arian tawdd, a'u trygymmysgu, byddai y gronyn aur ar led ym mhob rhan o'r cyssodiad, a gellid cael y gronyn yn ol heb un cyfnewidiad ynddo. A phe mwrthwylid y pwys arian yn ddalen denau gorchuddiai 133 o latheni yscwâr; felly byddai *un* gronyn o aur gwedi ei ledu i 134 o *latheni pedror:* mae y peth yn ymddangos agos yn anghredadwy, etto, yn wir: gwelwn wrth hyn fod arlediad aur yn *annirnadwy!* Cyffredin iawn yw curaw allan ronyn o aur mor denau ag yr âi 282,020 o ddyblygion i fodfedd! ac y gwnai y gronyn hwnw orhuliaw 52 o fodfeddi yscwâr arwynebawl. Hawdd y gellid rhanu un fodfedd o hyny yn 3,000, a phob rhan yn *ganfodadwy;* efelly gellid rhanu un gronyn o aur yn 156,000 (cant a phum deg a chwech o filoedd). O ran ei hydynrwydd dyweda y *Dr. Wollaston* y gellid tynu gwyfr aur mor fain na bo ei dryfesur ond 1/5000 ran o fodfedd; ac yr âi 550 o droedfeddi o hono i bwysaw *un* gronyn.

Mae *arian*, *platina*, *efydd*, a *haiarn*, yn fwy *gwydyn* nag aur; ac etto dyweda *Guyton Moveau* y cynnalia gwyfr aur, oddeutu 13 o fodfedd, ar ei draws $150\frac{7??}{1000}$ o bwysau.

Aur yw y sylwedd fferaf ond un, sef platina, a wyddys am dano: mae o agaws 20 trymach na dwfr; h. y. ai agos ugein llond llestr o ddwfr i gyfbwysaw un llond y llestr hwnw o aur. Ei loryddiaeth *(specific gravity)* yw $19\frac{3}{10}$.

Yn nesaf, sylwn ar arian:—

O bob metel arian sydd wynaf; ac nid oes ond dur yn unig yn fwy caboladwy. Mae o mor feddal yn ei burdeb mal y gellid ei dori â chyllell; ac ni ryda yn yr awyren, ac mewn lleithder; ei *arledrwydd* a'i *hydynrwydd* sy lai nag aur, ond nesaf ato.

Gellir curaw arian mor denau ag yr âi 160,000 (can mil a thrugain) o ddalenau, uaill ar y llall, i un fodfedd. Gwelir goleu trwy ddalen aur o'r tewdwr a enwid (sef goleu gwyrddlas, lliw aur tawdd) ond ni welir dim trwy ddalen o arian. Yn ol tystiolaeth un o'r awdwyr a enwid, mae arian mor wydyn ag y cynnalia gwyfr o beutu tair rhan ar ddeg o fodfedd traws $187\frac{13}{100}$ o bwysi.

Lloryddiaeth arian yw $10\frac{474}{1000}$ neu $10\frac{1}{2}$ trymach na dwfr. Wrth loryddiaeth y deallwn, tueddbwys unrhyw gorph at y ddaear, yr hyn a eilw y Saeson *specific gravity*.

Mae genym hanes boreu iawn am *bres* a *haiarn*. Yn y 4ydd o Genesis, dywedir:—"Sila hithau a esgorodd ar Tubal Cain, gweithydd pob cywreinwaith *pres* a *haiarn*." Ond ni chlywid son am *aur* ac *arian* nes oddeutu 2,000 o flwyddi gwedi cread. Yn y 23ain o'r un llyfr, sef Genesis, dywedir fod Abraham yn "gyfoethawg iawn o anifeiliaid, ac o arian, ac aur." A phan brynodd faes gan Ephron, dywedir, "A phwysodd Abraham yr arian—pedwar can sicl o arian cymmeradwy ym mhlith marchnadyddwyr."

Mae pedwar peth yn amlwg yn hyn o hanes.

Yn gyntaf, Bod *aur*, *arian*, ac *anifeiliaid*, yn y cyfnoesoedd yn cael eu cyfrif yn *gyfoeth*.

Yn ail, Bod *aur* ac *arian* yn cael eu defnyddiaw fel cyfryngai i brynu â gwerthu petliau.

Yn drydydd, Bod *aur* ac *arian drwg* ym mhlith yr Iuddewon, y rhai nad oeddynt o gymmeriad cyffredin.

Yn bedwerydd, Bod *pwys* a *phurdeb* aur ac arian yn ol rhyw reol arbenig ym mhlith maelyddion yn nyddiau ein harchdad Abraham.

Tebygol mai *llafnau* neu *dafodau*, o amryw faintioli, oedd eu haur a'u harian: oblegid pe buasent gyflbwys, a chyfaint, y naill fel y llall, eu *cyfrif* a wnaethai Abraham, ac nid eu *pwyso*.

Yr oedd cyfnewid meddiannau am aur ac arian yn ol eu *trymder*, yn agored iawn i anghyfiawnder a thwyll; plegid hawdd y gellid mysgu erblith â hwynt, ac nid mor hawdd ei amlygu. Gallai un gymmeryd gan arall bwys dan enw o arian, ac ar yr un pryd, ei hanner yn *alcan*.

Er rhagflaenu yr anonestrwydd hyn, gwnawd *arian bath;* hyny yw, arian neu aur â *llun* rhyw beth neillduol arnynt, yn arwyddo eu *pwys* a'u *purdeb:* efelly, pan gwelom *fath* neu *lun* y brenin ar glwt bach o aur crwn a elwir *penadur*, gwyddom ei *bwys* a'i *burdeb* arbenig; a derbynir hwnw mewn taliad gan holl ddeiliaid y brenin ym mhob man. *Arian bath a mwnai* ynt ddau enw am yr un peth; ond nid yw y cyntaf yn cyfeirio at ddim ond *arian*, tra mae yr olaf yn cyfeirio at *aur*, *ariant*, ac *efydd*. Mae mwnai yn air Cymreig *pur*, o ddau wreiddyn, *mwn (ore)* ac *ai (the agent);* mae o hefyd yn air *hawdd* ei *ddeallu*, *yscafn* ei *adroddi*, a *pheraidd* ei *sain:* etto, ni chlywir braidd ar ddamwain un Cymro yn gwneyd defnydd o hono. Er cywilydd i ni, mae y Saeson yn ei gadw yn ofalus yn eu hiaith; ac efelly y gwnant tra

bo *money* yn eu plith. O ethryb *bath*, neu *argraff*, ar *aur* ac *arian*; dywedir y byddai gan yr Iuddewon ar eu siclau lun *crochan aur* y sancteiddiolaf ar un tu, a *gwïalen Aaron* ar y tu arall: y dyben, tebygol, oedd eu harswydo rhag cymmysgu dim ammhuredd â'r metel; ac os gwnaent, bod gwïalen yn eu haros. Argraphent yr Atheniaid lun *yck* neu *enid* ar eu mwnai, un yn dangos *cynnaliaeth*, y llall yn dangos *pwyll*.

Dywedir mai yn Argos, tref yn Nhwrci gynt, y gwnawd mwnai gyntaf o *aur* ac *ariant*, a hyny yn y flwyddyn 894 cyn cred. Yr ydym yn darllen am fathodion *haiarn* ac *arian* y Groegiaid; ond nis gwyddom eu hoed. *Efydd* a fathid gyntaf ym mhlith y Rhufeiniaid, a hyny, medda *Pliny*, oddeutu 550 o flwyddi cyn cred; y bathodyn *arian* cyntaf a wneid yn Rhufain, oedd oddeutu 265 o flynyddoedd cyn cred—y rhai *aur* 65 o flwyddi yn ddiweddarach; lluniau *gwrolion* ac *ymerawdwyr* oedd ar fwnai y Rhufeiniaid: ac oddi wrthynt hwy yr aeth yr arferiad tros yr holl fyd moesol i gael llun tywysogion a breninoedd ar fwnai.

Dyweda *Camden*, mai y bathodyn hynaf ym Mrydain, a wyddai ef am dano, oedd bathodyn *Ethelbert*, brenin Caint, hwn oedd fyw yn 596. Nid wyf yn deall fod gan y Cymry arian bath, na dim cyffelyb, cyn dyfodiad y Rhufeiniaid atynt.

Mae *aur* ac *arian* yn rhy feddal ynddynt eu hunain i'w bathu er defnydd cyffredin, treuliant yn rhy fuan: am hyny angenrheidiol mysgu rhyw fetel caletach â hwynt, hyn a elwir *erblith*. Amlwg nas gellir maeliera i fawr helaethrwydd na lles, heb *gyfryngai*; ac mai *mwnai*, sef darnau o fwn *aur*, *arian*, neu *efydd* bathedig, ynt yn benaf y cyfryngai hyn ym mhob gwlad foesol. Ond pa fodd y daethent i fod felly, sydd mor ddyeithr i fi, a bod dyn yn marw, ac yntau yn gweini yr un moddion i fyw ag ei cynnaliodd drwy ei holl oes. Mae *aur* ac *ariant* yn gyfnaws ym mhob gwlad: a chyfrifir dau dalp *pur* o honynt *bob* amser yn gyfwerth, os byddant yn gyfbwys.

*(I'w barhau.)*

---

## ARDDYGRAFF GYMREIG.

MR. GWYLIEDYDD—Amcanaswn wneuthur ychydig o sylwadau ar ohebiaeth *Epsilon*, a ymddangosodd yn eich Rhifyn am Orphenaf; eithr helbulon byd nis caniatâent i mi hamdden y pryd hwnw: a phan welais amlen Rhifyn Medi, tybiais fod rhywun wedi arbed i mi y drafferth; ond pan dröais at ohebiaeth y CYMRO DIWEGI, canfyddais fod yn mron mor rheitied beirniadu y naill ag y llall. Llawer gwell, yn wir, a fuasai gènyf fi weled rhai o brif feirniaid materion o'r fath yn cymmeryd y gorchwyl mewn llaw, ac felly gallesid dysgwyl y dygasid y ddadl anorphen o barth Arddygraff Gymreig *(Welsh Orthography)* i benderfyniad o'r diwedd, am yr hyn yr hiraethais gynnifer o flynyddoedd. Eithr yn gymmaint ag nas ceir ganddynt hwy ddyfod yn mlaen, rhaid i ni wneuthur oreu y gallom hebddynt, a dyoddef eu gwawd am ein pènau ni, ringyllion gwael, yn dwyn yn mlaen "frwydr y gwelltyn."

Ond i ddyfod at y gwaith. Yr wyf yn addef mai un o bleidwŷr yr Arddygraff newydd wyf fi, neu o leiaf un a ddymunai weled diwygiad ar yr hen: a hyny o herwydd nad yw hi yn gyson â hi ei hun, nac yn gydred â rheswm, nac ychwaith yn ddibetrus o ran yr arwyddocád a drosglwydda.

Swm y ddadl rhwng amddiffynwŷr yr hen Arddygraff a rhai yr un newydd (mal y'i gelwir) sydd yn ddosbarthedig dan yn nghylch pedwar o bènau, sef mewn perthynas i

I. Arddodiadau negyddol.
II. Cydseiniaid dwyol.
III. Yr arddodiad *yn*.
IV. Rhai geiriau damweiniol annosbarthadwy, &c.

Gallaswn yma ddodi fy marn a'm rhesymau ar bob un o'r pènau hyn; eithr gan na ddarfu y ddau Ohebydd dan sylw gyfhwrdd ond â'r ddau flaenaf, gadawaf finnau y ddau arall hyd oni chaffwyf ryw gyfle etto.

Nid wyf yn medru canfod y rhesymau a ddug EPSILON a'i gydbleidwŷr dros yr arddodiad *di* yn ddigonol eu pwys a'u grym i ddangos bod ei hyseinedd yn gwrthbwyso y petrusder a ddeilliai o berthynas i'w arwyddocâd, a'r annhrefn a darddai o'r arferiad o hono yn y geiriau y defnyddir ef yn eu cyfansoddiad. A phe medrai pleidwŷr yr hen drefn wneuthur heb yr arddodiad *dy** o gwbl, byddai hyny yn rhyw radd o rym yn eu dadl. Ond ni welais hyd yma yr un o honynt yn medru ei hebgor yn y fath eiriau a hyn, a'u cyffelyb, megys, *dywedyd*, *dychrynu*, *dychwelyd*, *dyblygu*, &c. &c. Etto dïau y byddai yn llawn mor rhesymol iddynt ysgrifenu y cyfryw, *diwedyd*, *dichrynu*, *dichwelyd*, *diblygu*, &c. ag a fyddai ysgrifenu, *dibenu*, *dioddef*, *digwyddo*, *difetha*, &c. &c. Oni ddarfu un o'r hen ysgrifenwŷr, cyn cyflunio y drefn newydd, na geni ei hanrhydeddus dad, ysgrifenu *dy* o flaen *cas!*

"Mewn pechod lluniwyd fi,
Ac mewn drygioni dygas."—*Edm. Prys.*

Felly yr un ffunud am yr arddodiad negyddol *an*. Tybygwn i mai mwy dymunol o lawer fyddai cael un rhëol unffurf ar hwn, yn lle ei droi weithiau yn *am*, a hyny o flaen y gydsain *m* yn unig, i borthi sŵn ar draul rheswm. Buasai yn haws cydsynio â'r arferiad o hwn yn ol yr hen drefn, oni buasai fod ei arwyddocâd yn hollol wahanol mewn geiriau ereill, yr un modd ag y mae *dy* yn gwahaniaethu oddiwrth *di*; ac nid fel ei gymhar arall, sef *af*, yr hwn sydd bob amser yn negyddol, yn marn y ddwy blaid, ac yn cymmeryd ei le o flaen y ddwy gydsain, *l*, ac *r*, megys, *aflan*, *afles*, *aflwydd*; *afraid*, *afrïol*, *afrywiog*, &c. Nid oes dim petrusder yn taro i feddwl y darllenydd am ystyr negyddol y fath eiriau a'r rhai'n. Ond ystyr gadarnhaol a chwanegiadol sydd yn brïodol i *am*, megys, *amlwg*, *amddiffyn*, *amgeledd*, *amddifad*, &c. Am hyny mor rhesymol ac amlwg yw rhoddi *am* yn flaenddod i eiriau a fwriader i gyfleu ystyr negyddol! megys, *ammherffaith*, am beth heb fod yn berffaith; *ammharchus*, am beth heb fod yn barchus, &c. yn lle *an*mherffaith, *an*mharchus, &c. A pha niwed a ddeilliai oddiwrth hyn o ddiwygiad er mwyn unffurfiad ac eglurdeb?

Ond cyn dodi heibio fy ysgrifell, dywedaf hyn, mai esmwythach genyf weled anafau mewn arddygraff nag mewn cystrawiaeth. Neu i ddywedyd fy meddwl yn amlycach, fy marn yw fod yr iaith yn goddef mwy o gam yn y dyddiau hyn trwy ddirywio oddiwrth ei phrïod-ddull *(idiom)* na thrwy gam sillebaeth. O'r cyfryw feiau y ceir llïaws mawr yn ngwaith y rhan fwyaf o ysgrifenwŷr diweddar, ac yn eu plith nid hollol ddifai y ddau Ohebydd uchod. Mae pob un wedi camarferyd newidiad rhëolaidd y gydsain ddechreuol yn yr enw gwan, neu yr ansoddair "*prïodol*," ar ol yr enw cadarn benywol, "*sain*," megys, "sain phrïodol," yn lle *sain brïodol*. O eisieu unffurfiad y mae EPSILON yn dodi dwy *n* yn *ysgrifennu*, ond dim ond un yn *ysgrifenwn*; a dwy *m* yn *cymmeryd*

* Ysmaldod i gyd oedd i. EPSILON sôn am *du*; megys hefyd mai *gwegi* hollol oedd i'r CYMRO DIWEGI sôn am ddadl *un-arddeg*.

ond dim ond un yn *camgymeriad.* Mae y CYMRO DIWEGI yntau yn dywedyd "*cyffelyb a hyn,*" yn lle *cyffelyb i hyn.* Ac y mae efe yn beio ar EPSILON am ysgrifenu "*Llythyriad Cymraeg;*" ond nis gwn pa faint well ydyw iddo yntau ysgrifenu "*Iaith Gymraeg,*" yn lle *Iaith Gymreig,* gan nad wyf fi yn deall fod *Cymraeg* yn enw gwan.

Nid wyf fi yn chwennych tramgwyddo yr un o'm dau gyd-wladwýr, ac er mwyn eu dyheddu (nid eu diheddu) dywedaf fy mod yn hoffi dull EPSILON o ysgrifenu o ran ystwythder a moesgarwch; eithr yn fwy pleidgar i farn y CYMRO DIWEGI; a gwell fyddai pe mwy diwegi fyth. Trwy ddwyn yn mlaen y ddadl yn foesgar, diwegi a disen, y byddid mwyaf tebygol o'i therfynu yn llwyddiannus. A barnu yr wyf oddiwrth arwyddion yr amseroedd fod cyfundeb yn cyflym nesâu. Nis gwn paham nad ellid cymmeryd Traethawd rhagorol IOAN TEGID yn ddedfryd derfynol ar yr amrafael. Odid darfod i ddim mor resymawl, uthrywyngar, a boneddigaidd, ymddangos etto ar y perwyl. Yr ydwyf fi yn hollol unfarn âg ef oddigerth mewn pyngcyn neu ddau o ychydig bwys.

IOTA,

*Glân Efyrnwy.*

---

## TALEDIGAETH CONSURIAETH.

Y GWYLIEDYDD HYBARCH—Y mae yn alar meddwl fod ofer-goelion cenedl y Cymry yn parhâu mewn manau yn eu plith hyd heddyw, er gwaethaf holl ymdrechiadau ac egnïon eich Gohebydd dewr *Eurgain Callestr,* ac ereill, i'w gwrthsefyll. Mae yn gôf genyf weled hanesyn tra hynod yn eich Rhifyn am Dachwedd, 1827, yn dangos taledigaeth anfelus a dderbyniodd un *W. R.* am ei waith yn ymofyn â chonsurwyr mewn perthynas i arian a gollasai:—nid anghyffelyb ydyw y dygwyddiad a gymmerodd le yn fy ardal innau yn ddiweddar; ac, os gwelwch chwi yn dda ei argraffu mewn congl o'ch Cyhoeddiad rhagorol, fe allai y bydd fel cadarnhâd i wirioneddau yr esamplau a ymddangosasant eisoes, yn foddion i ddwyn y werin hygoelus i roddi heibio yr arfer wrthun a dieflig hono, trwy osod allan mor amlwg a phendant y gwobr haeddiannol a dderbyniant am eu ffolineb.——Ydwyf, &c.

W. W.

N—T N—F, *Awst*, 1830.

DAETH teulu o'r "haid felynddu," sydd yn myned yn gyffredin dan yr enw *Sipsiwns,* i dŷ amaethydd lled fychan, yn y plwyf hwn, i ymofyn am lety, yr hyn a ganiatawyd iddynt mewn annedd allanol, lle yr arosasant am oddeutu tri diwrnod: ac yn yr ystod hyny o amser, cymmerasant bob cyfleusdra i hud-siomi yr amaethydd a'i wraig, drwy addaw y medrent gyrchu swm mawr o arian iddynt, a adawsai perthynas iddynt ar ei farwolaeth, ond iddynt gael benthyg pethau angenrheidiol, fel offerynau i ddwyn y gwaith i ben; felly, y trigolion yn barod i goelio yr hudolwyr twyllodrus, a roddasant eu dymuniad iddynt, a hwythau a addawsant y deuent â'r cwbl yn sicr yn ol iddynt ym mhen yr wythnos. Yr oedd yn rhaid iddynt, meddent, gael oriawr, i'r dyben o gyfrif rhyw fynydau â hi pan ynghylch eu gorchwyl; a chan nad oedd gan yr amaethydd yr un o'i eiddo ei hun, aeth at langc yn y gymmydogaeth ac a fenthyciodd un ganddo. Hefyd, mynent rifedi mawr o ddilladoedd, yn cynnwys tri chwrlid prisfawr—dau wrthban—un gynfas—tri lliain bwrdd uchel-bris—un cadach sidan—un *shawl,* a fenthyciwyd gan gymmydoges i'w roddi iddynt—dwy ysgin, o eiddo'r wraig—un

fantell, dim gwaeth na newydd—tair ysgin goreu o eiddo 'r plant, ynghyd âg amrai fân wisgoedd ereill. Y dilladoedd hyn, meddent, oedd i'r dyben i fod yn daenedig ar y llawr, fel y gallai y Tylwythion Têg gario 'r arian, a'u dadlwytho arnynt. Yr oedd yn rhaid iddynt gael modrwy aur, yr hon nid oedd i'w chael heb ei benthycio, yr hyn a wnawd yn ddioed oddiar wraig yn y gymmydogaeth, drwy gelu rhagddi y gwir achos o hyny: hefyd, hanner dwsin o lwyau *tê*, ynghyd â gefail *siwgr* arian, a hanner dwsin o lestri *tê china*, a dau benadur; ond ni feddai 'r triglion mo'nynt y pryd hyn, a gorfu arnynt etto droi i ymofyn benthyg, a chawsant un, ond nid allent gael un arall; a gwraig y *sipsiwn*, fel nad ymddangosai yn eu twyllo, ac y medrai ddwyn y peth i ben heb ddau, a dynodd un o'i llogell ei hunan, ac a'i benthyciodd iddynt, gan ddywedyd, yn ddichellddrwg, "Dyma fi yn rhoddi benthyg un i chwi, rhoddwch chwithau ef yn ol i minnau; oblegid nid allaf fi ddwyn fy amcan i ben, oni dderbyniaf y ddau o'ch llaw chwi." Y cyfryw oedd ei thwyll! Cawsant hefyd amrai bethau ereill, nad allaf fi yn awr eu henwi. Felly llwythasant eu hunain gyd â'r pethau uchod, a chychwynasant i'w taith, dan yr ammod y dychwelent ym mhen yr wythnos, gyda thrysor mawr o arian, a phob dim o'r eiddo benthyciedig iddynt. Hefyd, daliwn sylw, bu teulu o'r llwyth yma, oddeutu dwy flynedd yn ol, yn y cyfryw le, gyd â'r un bobl, ac addawsant yr un pethau iddynt, os byddai iddynt hwythau, fel y rhai hyn, gael y pethau angenrheidiol i ddwyn hyny i ben; a chawsant ddwy ysgin, ac un penadur, a rhyw bethau ereill; ond ni welwyd mwy mo honynt hwy, na'r pethau. Tybygir i'r teulu hyn ddyfod i'r fan hon, a gweithredu dan hyfforddiant a chyfarwyddiad y rhai blaenorol. Addawsai y *Sipsiwns* dan ein sylw adferu iddynt y golled hòno hefyd; a myned a wnaethant gyd â'r eiddo; a dysgwyl gyda phryder a wnaeth yr amaethydd, a'i wraig, am eu dychweliad pan ddaeth yr amser appwyntiedig; ond ni welwyd mo honynt ddiwrnod ar ol diwrnod: a'r gwr yn gweled hyn a benderfynodd ymlid ar eu hol; a bu, medd efe, yn cerdded oddeutu pedwar ugain milltir, a methodd eu gorddiwes, na chlywed am danynt; a throdd yn ol, yn siomedig, tu a'i chartref, gan alaru am ei golled, a chwyno o herwydd ei ffolineb mawr; a'r hyn sy'n chwanegu fwyaf at eu gofid ydyw, nad allant ad-dalu yr eiddo benthyciedig i'w perchenogion.

---

CHWEDL.

Mr. Gwyliedydd—Dygwyddodd i mi weled y chwedl ganlynol yn ddiweddar o barth eofudra ein cyndadau, ac os ydyw yn dderbyniol genych, rhoddwch hi i gadw y'mhlith eich mân-gofion.

R. ab G.

Yn hanes Alecsander, y Goresgynwr, a ysgrifenwyd gan Arrian, y mae yr hanes canlynol, yr hwn a arddengys wrolder un o'n cydgenedl y Cymry, y rhai a elwid y Celtiaid yn yr oesoedd hyny. Ei eiriau ydynt gyffelyb i'r rhai hyn: Pan anfonodd y Celtiaid genadwri at Alecsander, gofynodd iddynt, "Pa beth oedd eu cydwladwyr yn ei ofni fwyaf?" Atebasant hwythau, "*Ofn i'r awyr gwympo.*" Synodd y Gorthrechwr yn ddirfawr wrth yr ateb: canys ni ddysgwyliodd lai nad ofn ei ddigllonrwydd ef oedd yn benaf ar genhedloedd y byd. Pa fodd bynag, y mae yn goffadwrus iddo byth gwedi hyn barchu y Celtiaid goruwch ereill, a hyny yn ol tyb yr hanesydd, o herwydd cofnder yr ateb uchod.

# BARDDONIAETH.

## COLL GWYNFA.

CYFIEITHIAD O WAITH IOAN MILTON.

(Parhâd o du dal. 225.)

### *Llyfr* I.

Naw dydd a nos, yn ol cyfrifiad dyn,
Gorweddai ef, a'i holl echryslon lu,
Yn orfodedig, yn y tanllwyth poeth,
Mewn syndod swrth, er yn anfarwol fyth.
Ond deuai etto ddigter mwy, can's 'nawr
Penydid ef wrth feddwl am ei wae,
A'r gwynfyd gollodd; tremiai 'n syn o'i
gylch,
Heb weled ond erchylldod o bob tu,
Yn gyfred â'i falchineb llwyr a'i lid.
Mor belled ag y gwel angylion, taflu wnae
Ei olwg ar y fangre bell, wyllt, wag,
A'r dwfn, erchyllaf un, yn fflamio o gylch,
Fel eang ffwrn, er na roe'r fflamau hyn
Oleuni fawr, ond t'w'llwch amlwg oedd,
A braidd ddangosai hyll wrthrychau gwae,
Alaethus fröydd, ac ardaloedd ing:
Lle ni thrig hedd na gorphwys; lle ni ddaw,
A ddaw i bawb, un gobaith mwy; ond poen
A rwysga yn ddi dòr, a dylif tân,
A fegir gan elfenau hylosg mwy.
Y fath yw 'r lle bar'todd cyfiawnder nef
I'r gwrthryfelwyr hyn; a dyma eu rhan
Yn y tywyllwch eithaf; ac mor bell
Eu trigfod oddiwrth Dduw, a goleu nef,
Ag yw dair gwaith o ganol byd hyd at
Y pegwn pell. Pa mor annhebyg oedd
I'r lle gollasent! Ef ganfyddai 'n glau,
Mewn llosg lifeiriant, a chorwyntoedd tân
Tymhestlog, ei gymdeithion yn ei gwymp;
Ac yn disgreinio wrth ei ochr gwelai un
Ag oedd i'w hun, mewn gallu ac mewn bai
Yn nesaf, un a enwed gwedi hyn,
*Beelzebub:* ac wrth hwn y gelyn coll,
Pryd hyn a elwid Satan, mewn iaith hyf,
Gan ddòri 'r osteg hell, a wedai hyn:—
"Os ti yw ef;—ac O mor waeled wyt!
O! mor annhebyg iddo ef ag oedd
Yn gwisgo harddwch mwy na miloedd fry,
Er hardded hwynt!—os ti yw ef, â mi
A unodd unwaith mewn cydgyngrair fry,
O amcan, cyngor, bwriad, oll yn un,
Gan rwymo 'n gobaith a'n damweiniau
ynghyd,
Yn yr anturiaeth glodfawr—wele 'nawr
Fe'n hunir yn y distryw aethus hwn.
O pa fath bwll! O 'r uchder mawr, o'r hwn
Syrthiasom! Pa fath brawf yw hyn o rym
Ei daran ef! Hyd hyn pwy wyddai nerth
Ei arfau terwyn?—Etto genyf fi
Nid yw 'n edifar, er a all ef wneud,
Ein Trechydd, yn ei fâr. Er newid gwedd
Allanol, etto digyfnewid yw
Y meddwl hwn, y dirmyg deimla 'r rhai
Yr esgeulusir eu rhinweddau—hyn
A barodd im', â'r galluocaf Un
Ymdrechu, ac i'r frwydyr gasglu llu
Afrifed o ysbrydion arfog oll,
A feiddient ei deyrnasiad ef gasâu,
A'm dewis i, a gwrthwynebu 'n ddewr
Ei eithaf nerth ar wastad nef, mewn càd
Amheuus, nes peryglu 'r orsedd fawr.
Beth, os y maes a gollwyd? nid ar goll
Y cyfan: yr anorfod 'wyllys, blys
Ymddial, llid, casineb llwyr di dòr,
A dewredd nad ymollwng byth, a phob
Peth arall nas gorfodai ddim—y rhai'n
Ni thyn na'i nerth na'i lid oddi wrthyf byth.
Ymostwng, erfyn gras, a phlygu 'r glin,
A'i allu efdduwiol—hyn fai 'n wael yn wir,
Yn warth, yn ddirmyg, is na'r codwm hwn;
'N enwedig, gan o dynged byth ein nerth
Ni phalla, na'n nwyfreol ddefnydd hwn:
Gan nad ym chwaith trwy 'r ddamwain hon
yn waeth
Mewn arfau, a mwy medrus mewn
Darbodaeth, fel y gallwn, gyda gwell
Dysgwyliad mwy, ryfela byth, trwy nerth
Neu dwyll, âg ef, 'r hwn sy'n fuddugol
'nawr,
A gorfoleddus fry, ei hun yn dal
Trwy ormes llwyr, lywodraeth eang nef."
Hyn wedai Satan, gan ymffrostio'n fawr,
Ac etto 'n teimlo loes anobaith du;
A'r ateb hyn ei gydmar iddo rodd:—
"Tywysog, Pen galluoedd, aml eu rhif,
A ddygit dorf, seraphaidd lu, i'r maes,
Yn fyddin arfog, ac, heb arswyd ddim,
Trwy orchest mawr a ymberyglaist rwysg
Penadur nef, gan ddangos p'un ai nerth,
Ai ffawd, ai damwain, ydoedd sail
Ei oruchafiaeth ef—ti yn rhy dda
A welaf 'nawr; ac imi ofid sydd
Am y dymchweliad a'r orfodaeth hon,
A barodd golli 'r nef, a bwrw lluoedd maith
I ddistryw sydd fel hyn mor isel wael,
Ag y gall duwiau ac ansoddau nef
I fod ar goll. Ond etto 'r uchel fryd
Anorfod yw: a'n nerth yn fuan ddaw,
Er darfod ein gogoniant oll, a throi
Ein gwynfyd fry 'nawr i drag'wyddol wae.
Ond beth os ein Gorfodydd (ef yn awr
Yn Hollalluog rhaid in' addef, gan neb llai
Allasai drèchu y fath lu) a lwyr
Adawodd in' ein hysbryd dewr a'n nerth,
Yn gryf er goddef yma fythol boen,
Fel y boddlonom ei ddialgar lid,
Neu er in' iddo wneud gwasanaeth mwy
Fel caethion gorfodedig yn y lle
Y myno ef, i weithio yma yn y tân,

Ynghanol uffern, neu i fyned draw
Ar negeseuau trwy yr aethus ddwfn?
Os felly, pa lesâd yw teimlo nerth
Didawl, neu feddu annherfynol fod
Er goddef yma annherfynol gosp."
I hyn atebai 'n glau y gelyn mawr:—
"O Ysbryd gwarthus! gwael yw bod yn wan
Wrth weithio neu ddioddef; ond boed hyn
Yn ddiogel genyt, nas gwnawn byth ddim da,
Ond gwneuthur drwg efo 'unig wynfyd fydd,
Am fod y drwg i 'wyllys nef yn groes.
Os ynte ei ragluniaeth geisia ddwyn
Rhyw dda oddiwrth y drwg, gofalu raid
I rwystro hyn, a chwilio pob rhyw ffordd
I droi y da i ddrwg; a hyn yn aml,
Efallai, a wna lwyddo i'w dristâu,
A pheri, os na fethaf, siomiant llwyr
I amcan ei arfaethau. Ond 'n awr gwêl,
Ein Trechydd digllon alwodd at byrth nef,
Yn ol o erlid, ei weinyddion oll.
Y cenllysg gerwin ag a ddaeth o'n hôl,
Dawelodd, y cynddeiriog dônau tân,
I'r rhai syrthiasom oddiar glogwyn nef;
A'r hyll daranau, ar adenydd mellt
A hedynt, ac o fâr yn llawn, o ran
Efallai, dreulio 'n llwyr eu saethau oll,
Ni pharant ruo mwy trwy 'r dwfn maith.
Na lithred neb cyfleusdra, p'un ai caer,
Am y dirmyga ni, neu laru o'i lid.
A weli draw wastadedd diffaith gwag,
Llwm drigfa difrod, heb oleuni ddim,
Ond a lucheda 'r fflamau dulas hyn;
Awn atw, i gael gorphwys rhag y tân
Penydol hyn, od oes gorphwysfa i'w chael;
Ac ymgynghorwn p'odd y gwnawn sarhâd
Ein gelyn orau, p'odd ein colled hwn
Adferu, o'n hadfwyddiant pa ryddhâd,
Pa ryw adgyfnerth in' o obaith ddaw,
Os metha ef, pa nawdd anobaith rydd."
*(I'w barhâu.)*

---

## LLINELLAU

A GYFANSODDWYD GERLLAW *NANNAU*, MEIRION, AWST 30, 1830.

Gardd Nannau gorau di gèn,—hon unwaith
Fu 'n anial ellyll-bren;
O bob ffrwythawl brofawl bren,
Gwyrdd ydyw fal gardd Eden.

Tan folltau dorau dyrys—y lliwiawg
Orllewin Fonachlys;
Rhag gwylliaid, o blaid a blys,
Daliant i'w chaerau dilys.

Cors wernawg byllawg i billa,*—gerddu,
A arddwyd fal yna!
Dug bob aeron doflon da,
(Bri iawndeg) fal bro India!

Coed sirion, mafon, mefus,—eirin-wydd,
A phêranod trefnus;
Ffrwyth cyflawn o rawn di rus,
Rhythent yn gnŵd toraethus.

Gwreiddiau i gawgiau 'r gègin—a ddygai,
Ddau ddigòn i frenin;
Gryniau rhwng rhychau mewn rhin
Dyfeisiawl yn dŵf iesin.

Ffa a phŷs, ddilys ddaliad,—afalau
Yn filoedd, faith loffliad;
O bob ffrwythau muriau mâd,
E fegir yma fagad.

Egyrchwyd mŷnwyd i'w maenor—wiwgu,
Bob planhigion tramor;
Prif goedwydd mynydd a môr,
A droswyd iddi 'n drysor.

Grawnsypiau dŷrau ryw doraeth,—llawrwŷdd
Twa lluriawg* yn helaeth; * eirid
Coedydd a manwŷdd mewn maeth,
Hoeliedig, mewn hwyl odiaeth.

Llysiau a blodau (heb lediaith)—heirdd lwythau
Y gwyrddleithion dirfaith;
Rhy bŵl ydyw meddwl maith
I'w hòni yn ein heniaith.

Hydr fywiog ni fedr f' awen—eu henwi,
Yn hynaws a chymhen;
Annghyfiaith yn ein hiaith hen,
(Uthr-bryd) yw pob dieithr-bren.

E gludwyd o bob gwledydd—i'w heiniau,
Bob rhyw hynod ffrwythwydd;
Ni cheir man ar ddifan ddydd,
Mor anwyl yn Meirionydd.

Tai gwydrau dŷrau dirwych—(hap eithaf)
A gwl'au poethion harddwych;
A graian yn rhan pob rhych
Hydrum, tan draed i'w hedrych.

Dyfroedd o lynoedd da luniad,—nawdd
Ceir ffosydd a rhediad;
Digon, heb unrhyw dagiad,
Er maethu a gwlychu gwlad.

Ail yw beunydd i *Lebanon*,—gwyrddawl
Fal gerddi *Salomon*;
Arogla 'n bêr rywioglon,
Troir gauaf i hâf yn hon.

Mor hardd gan Gymdeithas Arddawl,†—y dygir,
I degwch rhinweddawl,
Bob blodau yn gwau mewn gwawl,
Prenau a llysiau llesawl.

Planhigydd ufydd yw Evan,‡—hybwyll,
Dros Syr Robert Fychan;
I ddiddos deios myn dân,
I wyrddioni hardd anian.

---

* *To gather dry sticks.*

† *Horticultural Society.* ‡ *The Gardener.*

Ein Marchawg eurawg eirian,
Sy noddwr i'r gweithiwr gwàn;
Tai drygfoes nid ei drigfan,
Na diles rodres ei ràn;
E ddyry fyrdd o arian
Yn ein gwlad, ei fywfâd fân;
I arlloes craig yn berllan,
Myn rifoedd o bobloedd—bàn
Mynydd rhwng gwèlydd gwiwlân,
Dry 'n wenith rif glwyswlith glân!
Yn Nannau gaerau gwiwfan—iawn drefnodd,
E luniodd ail anian.

Myn grefftwyr (llwybyr tra llòn)—cywreinddrych,
I'w gèlnwych dai gwynion;
E chwilia am orchwylion
I gynnal ein hardal hon.

Planai bob coed ysblenydd,—fliwnau,
I'r bryniau a'r brònydd;
Glâs-lwyni yn dofi dydd,
A gwŷll du yn llanw gelltydd.

Gwnai gloddiau gynau gannoedd—hyffordddus,
A ffyrdd am filltiroedd;
Heirdd lwybrau uwch caerau coedd,
A dòrai trwy ei diroedd.

Trwy Wynedd, rhyfedd fawrhâd,—y dyry
Ei diroedd mewn trefniad;
Helaeth etifeddiaeth fâd
A nodda mewn cynnyddiad.

Yna, dywedent ein hen deidiau,—dios,
Pe deuent o feddau;
Wele Farchawg pwyllawg pau,
Yn enwog Aer i Nannau.

Heibiaw nid aethai 'r hoywbert,—Sela,
Heb sylw ar ei gwfert;
Uwch pob rhai gwaeddasai 'n gert,
Orhebawl—'Da Syr Robert.'

Mawrwych ym mhlith y meirwon—y cofir
Pob cyfaill tylodion;
Ceir bendith ddiledrith lòn,
Am yma rànu *Mammon*.

Llafuriwn, gwyliwn rhag gwŷd,—hoen addas,
Yw defnyddiaw bywyd;
Mawr welliant i borthiant byd,
Coel fuddiawl mewn Celfyddyd.

I. A. O. Bardd Meirion.

---

## GALAETH AR ANGAU ELEN.

Pa le mae 'r fenyw siriol fu
Yn hoff gan bawb o lwyth y llàn?
Un feinir decach na mor gu,
Nis gellid gael mewn unrhyw fàn.

Mor delaid oedd ei delw cun
Addfwynder lanwai 'i chalon leddf;
Erioed ni welais unrhyw fûn,
Yn meddu 'r fath anwylaidd reddf.

Pereiddiach gynt bob gair o'i min,
Na'r gwlith oiar flodeuawl ardd;
Mwy rhuddgoch oedd ei grudd na'r gwin,
Mwy hoff ei gwawr na'r breilw hardd.

Pa le mae 'r dysclaer lygad llon,
Fal hinon hâf mor wemp ei wawl;
Y wên amlygai 'r ddedwydd fron,
A gyrai ofal byd ar dawl.

Yr ysgafn droed mewn dawns neu hynt,
A chwim gorelwai 'n ddyddan wedd,
A'r tegwch pryd a weddai gynt,
Sy nan ar darf y'nghell y bedd.

Ni chlywaf mwy ei pheraidd lef,
Delorai 'r fath alawon mwyn,
Y tybiwn mai peroriaeth nef,
A'm boddiai â melused swyn.

Y dolydd ffaeth, a'r maesydd cain,
Y tewfrig lwyn, a'r hyfryd làn,
Y droellawg ffrŵd, mor faws ei sain,
Mor hoff pan oeddit ti i'm rhàn.

Hoff fûn pan gyrchem ar ein tro
Ar hyd y wern irlâs-deg wedd;
Neu yn rhodfeydd y llwyn neu 'r fro,
Ah! bychan syniem am y bedd!

Ond ti ehedaist fry i'r nef,
I wynfyd yr engylaidd gôr,
Lle chwery myrdd â melus lef,
Delynau aur i fawl yr Ior.

Mae beddrod newydd yn y llàn,
Yn wych gan beraidd flodau chweg,
A nodent heb un maen y fàn,
Lle gorwedd fy anwylyd deg.

Gwenffrwd.

---

## MARWOLAETH SIOR IV.

Gelwid o Sior bwygilydd,——gynt o fyd,
*Gyntaf*, *Ail*, a *Thrydydd*;
Ac wela 'n awr ddirfawr ddydd,
Byd arall Sior Bedwerydd.

Drwg colli Penadur callwedd—oedd iach,
Heddychol i'w deyrnedd:
Sior einom fu syw rinwedd,
Sior a fu sy ar ei fedd.

Mal yntau doniau dinam,—drwy ein hoes,
I deyrnasu arnam;
Cyfled heb niwed heb nam,
Fry deled ei frawd Wiliam.

Robert Davies.

*Nantglyn.*

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### ADCHWYL YN YR ISELDIROEDD!
*(Netherlands.)*

BRAIDD y darllenwyd yr hanes a roddwyd yn ein Rhifyn diweddaf am yr Adchwyl yn Ffrainc, cyn y derbyniasom hysbysiadau fod y cyfryw amgylchiad yn dygwydd yn Fflanders; ac mae lle i ofni y bydd i'r unrhyw ysbryd ymledaenu drwy y rhan fwyaf o deyrnasoedd Cyfandir Ewrop. Gwybydded ein darllenwyr i Fflanders Babaidd gael ei chyduno â Holland Brotestanaidd, yn 1815, i fod yn un deyrnas, yn hollol groes i ddymuniadau y trigolion. Y Ffleminiaid a gasânt y Dutch, ac a ddymunant yn fawr ymgyssylltu â Ffrainc; a chyffröwyd hwynt, wrth ganfod effeithiau yr Adchwyl Ffrengig, i daflu ymaith yr iau, dan yr hon y gorthrymid hwynt.

Y Belgiaid o bob gradd, ac ym mhob talaeth, ydynt wedi bod er's amser maith yn anfoddlon iawn; yr hyn a grybwyllwyd yn y Senedd yn fynych gan Gynnrychiolwyr y Cyffredin.

*Awst* 25. Ymgasglodd tyrfa fawr o bobl yn un o heolydd *Brussels*, a thorasant holl ffenestri swyddfa *La Nationel*. Oddi yno aethant tua phreswylfa *Libry Bagnano;* chwilfriwyd y ffenestri—torwyd y drysau—dinystriwyd yr holl ddodrefn—rhwygwyd y papurau a'r llyfrau, a thaflwyd hwynt i'r heol. Nid oedd *Libry Bagnano*, Golygydd y *Nationel*, gartref, yr hyn fu yn foddion o achub ei fywyd ef. Yr oedd hyn oddeutu 11 o'r gloch y nos; ac ni ddarfu i'r *Police* ymyraeth â'r dyrfa. Oddeutu 12 y tyrfaoedd a ymwahanasant; ac aeth un lluaws i'r Palas Breninol, ac nid oedd dim i'w glywed ond "Rhyddid! Cyfiawnder!" Daeth un o'r milwyr at y dyrfa, a chyda dagrau yn ei lygaid, erfyniodd arnynt fyned ymaith:—"Er mwyn Duw ymwasgarwch, ac arbedwch i ni yr ammharch o dywallt gwaed y Belgiaid." Cafodd y geiriau hyn fwy o effaith na'r gwrthwynebiad creulonaf. Tyrfa arall a dorasant ffenestri Llysdy Cyfiawnder, gan waeddi "I lawr â *Va Maanen!* Byw fyddo *De Potter!*" Yn fuan wedi hyn y milwyr a dramwyasant drwy yr heolydd. Distrywiasant bob dodrefnyn yn nhŷ Rheolwr y *Police*, ac yr oedd nifer y lluaws yn ychwanegu o hyd; yr holl dref oedd mewn cynnwrf. Y trigolion a ddaethant allan o'u tai. a'r milwyr a barotoisant eu harfau. Y saethau cyntaf a glywyd oedd oddeutu un o'r gloch y boreu, yr hyn a gynddeiriogodd y bobl yn ofnadwy. Rhuthrasant yn unfryd tua phreswylfa *Maanen*, Gweinyddydd cyfiawnder. Distrywiwyd pob peth oedd tu mewn iddo. Y milwyr a ymdrechasant adferu tawelwch, ond rhy weiniaid oeddynt. Y bobl a ymosodasant arnynt, ymddifadasant hwynt o'u harfau, a gorfu arnynt ddianc am eu heinioes. Wedi hyn rhoddasant yr adeilad ar dân. Canfyddwyd y mŵg yn dyrchafu yn golofnau; y bobl a ruthrasant allan, ac a amgylchasant y tŷ, gan waeddi na symudent gam nes y llosgid yr adeilad hyd at ei sylfaen. Canfyddwyd y ffaglau o hirbell; rhai a redasant yno ar fedr eu diffodd, ond gomeddwyd hwynt. Gwasanaethodd hwn fel arwydd-ymgyrchiad iddynt; a channoedd a ymunodd â'r dyrfa. Cymhellwyd gwneuthurwyr arfau yn y ddinas i roddi i fynu bob arf oedd ganddynt. Rhanwyd hwynt ym mysg y lluaws; cymmerasant hefyd arfau oddiar y milwyr. Oddeutu 5 o'r gloch y boreu canfyddwyd ychwaneg o filwyr yn tramwyo o amgylch y ddinas. Gorchymynwyd iddynt anelu eu saethau, a bu yno frwydr waedlyd. Yn ebrwydd gwelwyd yr archolledigion yn cael eu cludo oddiar y maes: canfyddwyd ereill yn trengu yn y fan, wedi cael eu lladd gan gynnwysiadau y magnelau; a'r palmant a gochwyd gan waed.

Y milwyr a barhâsant i dramwyo yr heolydd, gan saethu weithiau i'r awyr, ac weithiau i blith y lluaws. Sŵn dychrynllyd y drylliau a achosodd arswyd drwy yr holl dref—y tai a gauwyd i fynu—a'r heolydd yn llawn o bobl. Y trigolion oeddynt wedi ymarfogi â drylliau, ac â chleddyfau, ac â ffyn, a safasant yn nghonglau yr heolydd. Distrywiwyd amrai o weithfäoedd; a llofruddiwyd amrai o ddynion.

Pan glywodd y Tywysog Orange am y terfysg, daeth i gyffiniau *Brussels* gyd â'i filwyr; ac aeth amrai o Gennadwyr dros y trigolion, y rhai a'u danfonasant i ddatgan eu dymuniadau. Nid oedd y Tywysog yn dueddol ar y cyntaf i gydsynio âg erfyniadau y Cynnrychiolwyr, a bygythiodd fyned i'r ddinas gyd â'i fyddinoedd. Pan wnaethpwyd hyn yn gyhoeddus darfu i'r trigolion efelychu ymddygiad y Ffrancod, trwy godi y palmant, a gwneuthur pob darpariad er gwrthwynebu y milwyr. Y Cennadwyr a aethant at y Tywysog drachefn, a hysbysasant iddo yr achosai alanastra creulon os penderfynai ddanfon y milwyr i'r ddinas. Cafodd hyn yr effaith dymunol. Prysurodd y Tywysog yno gyd

âg ychydig o'i osgorddion. Anerchodd y trigolion, ac addawodd yr ymdrechai, hyd eithaf ei allu, i adferu tawelwch trwy y wlad, ac i gyflawni gymmaint ag a allai o ddymuniadau y trigolion.

Ymddengys fod preswylwyr Belgium yn dymuno, ym mhlith amrai o faterion ereill, i'r wlad hono gael ei gwahanu yn hylwyr oddiwrth Holland, ond i'r un Brenin deyrnasu dros y ddwy deyrnas. Hysbyswyd y materion uchod gan y Tywysog i'w Fawrhydi y Brenin, yr hwn a gyhoeddodd, ar y pummed o Fedi, anerchiad i'w ddeiliaid, gan addaw y byddai i Gynnrychiolwyr y bobl ymgynnull yn ddiatreg, i'r dyben o gymmeryd archiadau ei ddeiliaid dan eu sylw.

## TERFYSG YN BRUNSWICK.

Y mae yr adchwyl wedi ymdaenu i'r wlad hon, a gorfu ar y Dug o Brunswick ffoi am ei einioes. Llosgwyd palas y Dug gan y terfysgwyr, a nacaodd y milwyr danio ar y werin. Cyrhaeddodd y Dug i Loegr. Dywedir y bydd i'r goron gael ei dodi ar ben ei frawd, os na wrthwynebir hyny gan wledydd ereill yr Almaen.

## TERFYSG YN DRESDEN.

Dywed llythyrau cyfrinachol o Leipsic, fod terfysg wedi tori allan yn Dresden, prif ddinas Saxony, a bod y brenin 'i ymadael â'r goron, i roddi lle i'w fab.

## FFRAINGC.

Ni chynnwysa Newyddiaduron Ffraingc ddim hanesion o bwys, oddieithr eu bod yn mynegu fod holl wledydd Ewrop wedi cydnabod y llywodraeth newydd.

## HISPAEN A PHORTUGAL.

Y mae cyflwr y gwledydd hyn yn bresennol yn dra anesmwyth: ac fe allai cyn nemawr o ddyddiau y clywir newyddion am danynt hwy cyffelyb i wledydd ereill y Cyfandir.

---

# CARTREFOL.

## YR ALBAN.

*Mellt.*—Y ddamwain alaethus ganlynol a ddygwyddodd yn nechreu Awst, ym Mhlwyf Rescobie, yn agos i Forfar. Tarawyd W. Nicholl yn gelain gan fellten. Yr oedd nai iddo, oddeutu 18eg oed, yn sefyll wrth ei ochr, a tharawyd yntau hefyd yn ei ben, a llosgwyd ei wallt yn dost. Er ei fod mewn cyflwr gwael yn awr, dysgwylir yr adfera efe. Yr oedd genethig ynfyd yn ei ymyl, dillad a chefn yr hon a losgwyd; ond mae hi yn awr yn gwellhâu. Yr oedd wyth o honynt yn trin maip mewn cae, a tharawyd hwynt i lawr; eithr ni chafodd neb o honynt niwed oddieithr y tri uchod.

*Damwain ryfedd.*—Pan ymwelwyd â'r fro hon gan dwrf-dymhestl, ychydig o ddyddiau yn ol, yr oedd dyn cyfrifol o Falkir, ynghyd â'i fab, a chyfaill, yn sefyll wrth y ddyfr-ffos, oddeutu un o'r gloch y boreu, pan oedd y mellt yn ymddysgleirio yn yr awyr, a'r taranau yn ymdreiglo o bell. Heb iddo ef ei hun deimlo dim yn ymaflyd ynddo, na'i gymdeithion ganfod dim yn agos ato, codwyd ef i fynu oddiar ei draed, a thaflwyd ef i'r dwfr, a'i sodlau yn uchaf. Trwy ymdrechiadau dibaid ei gyfeillion, ymafaelasant ynddo, a thynasant ef o'r dwfr; ond nid allai braidd gerdded ar y cyntaf, ac y mae yn gloff yn awr. Os tarawyd ef gan fellten, rhyfedd na buasai y ddau oedd yn sefyll yn ei ymyl yn ei gweled, neu yn ei theimlo, a bod y dyoddefydd ei hun wedi colli bob côf am dano.—*Scotchman.*

*Llofruddiaeth echrydus.*—Cafodd trigolion pentref bychan Arnott, oddeutu pum milltir o Dundee, eu brawychu yn ddirfawr, o achos llofruddiaeth hen wraig o'r enw Melsham, a nith iddi, llangces 17eg oed. Ymddengys fod y drengedig yn byw mewn tŷ unigol yn Arnott—ei bod hi yn 70 mlwydd oed—a bod ei nith yn forwyn iddi. Cymmerwyd dyn o'r enw Simms i fynu am eu llofruddio hwynt. Ar foreu ddydd Iau, y 12fed o Awst, yr oedd rhyw ddynion yn dychwelyd adref o fedydd, a gwelsant y carcharydd yn rhedeg dros gae tua Dundee. Pan glywsant am y llofruddiaeth, rhoisant ddarluniad o'r dyn a welsant yn y boreu. Ar hyn prysurodd ceisbwl i Dundee, a llwyddodd i'w ddal ef. Cawsant yn ei logell ef ddarnau o aur, a fathwyd yn nheyrnasiad Harri VIII. y rhai a dyngwyd oeddynt yn eiddo y drengedig, ac yn ei het cafwyd tri phenadur, ac £20. mewn papuryn budr. Dydd Gwener cynnaliwyd holiad ar y cyrph yn Arnott, o flaen Alecsander Melrose, Ysw.

Mynegodd Dafydd Swinton mai Saer Maen oedd efe—a bod y drengedig, Mrs. Melsham, y diwrnod cyn ei marwolaeth, wedi dymuno arno ddyfod dranoeth i adgyweirio rhyw gyfran o fur yr ardd a syrthiasai i lawr. Oddeutu 7 o'r gloch boreu Dydd Iau (Awst 12) aeth efe, yn nghyd â'i gyd-weithiwr, at dŷ Mrs. Melsham, ond ni allai fyned i mewn. Aeth ymaith oddi yno; ond dychwelodd eilwaith gyda Mr. Ramsey. Agorasant y drws gyd âg arfau, a chanfyddasant olygfa ddychrynllyd! Ar lawr yr ymddyddanfa (*parlour*) gwelsant gorph Mrs. Melsham yn gorwedd, ei phen yn gorphwys ar yr

aelwyd, agos wedi ei dori oddiwrth ei chorph! Ar fwrdd yn agos i'r aelwyd yr oedd y Bibl, a thybir ei bod hi yn ei ddarllen pan y tarawyd hi yn ei phen â rhyw arf trwm: ei dwylaw a'i breichiau a glwyfwyd yn dost. Pan esgynasant y grisiau, aethant i ystafell-wely ei nith, ac yno wrth draed y gwely y gorweddai ei chorph. Yr oedd ei phen yn chwilfriwiau: ar ei bron aswy yr oedd archoll dwfn, yn cyrhaedd agos at ei bron arall; a thorwyd un llaw hyd at yr asgwrn. Oddiwrth annhrefn yr ystafell, ymddengys iddi ei wrthwynebu yn dost. Wrth ddyfod i lawr o'r lloft, cawsant hyd i fwyall, â'r hon y llofruddiwyd y llangces annedwydd. Yr oedd yr holl ystafelloedd yn hylwyr annhrefnus, a phob dodrefnyn yn wasgaredig ar hyd-ddynt. Wedi i amrai ereill roddi eu tystiolaeth, darfu i'r rheithwyr benderfynu, fod George Simms yn euog o *lofruddiaeth gwirfoddol*.

## YR IWERDDON.

Yn 1829 sefydlwyd Cymdeithas dan yr enw "*The Hibernian Negroes Friend Society.*" Yn y mis diweddaf cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus o aelodau y Gymdeithas yn Dublin, pan y cyfarchwyd hwynt gan amrai o foneddigion. Dyben y Gymdeithas ydyw ymdrechu cael rhyddhâd i Negroes yr India Orllewinol, y rhai ydynt yn derbyn triniaeth gwaeth nag anifeiliaid. Ond er anrhydedd i ddynoldeb rhaid i ni adrodd nad ydyw pob meddiannwr Negroes yno yn ymddwyn yn y modd uchod tu ag atynt. Gwel Adroddiad diweddaf y *Gymdeithas Genhadol Eglwysig*.

*Rhybudd.*—Darfu i wraig dlawd yn *Tipperary*, wedi myned gyd â'i gwr i godi cloron, adael ei baban dan ofal gwraig oedd yn llettya gyda hwynt, a hithau, yn ystod y dydd, a aeth allan, gan gloi y drws, a gadael y plentyn a mochyn yn y tŷ. Ar ei dychweliad, yr oedd pen a chorph y plentyn wedi eu briwio gymmaint gan y mochyn nad oedd dim gobaith y byddai efe byw.

## LLOEGR.

*Rhybydd rhag Coeg-Feddygon!*—Nid ydym yn cofio erioed glywed am gymmaint o greulondeb ar un llaw, a hygoeledd ar y llaw arall, nag yn yr hanes a ganlyn; yr hyn sydd wedi creu cynnwrf nid bychan yn Llundain. Ymddengys fod boneddiges o'r enw Mrs. Cashin wedi dyfod o'r Iwerddon i Lundain, er mwyn cael cyngor meddygol i'w merch, yr hon oedd yn glaf o'r darfodedigaeth. Darfu i rai o'i chyfeillion ei chynghori i fyned at goeg-feddyg o'r enw Long; yr hwn, gyd â'r digywilydd-dra mwyaf, a haerodd y gallai efe adferu ei hiechyd. Y peth cyntaf a wnaeth oedd rhoddi rhyw gyffeiriau i'w rhwbio ar ei mynwes, ac ar ei chefn, yr hyn a achosodd linoriad (*honeycombed ulceration*) yn y ddau le. Yr oedd ei chorph yn y poethder mwyaf; etto gorchymynodd iddi yfed chwe gwydraid o win, a pheint o gwrw, bob dydd! Bu y llangces anffodus farw yn yr arteithiau dyfnaf. Ond nid hyn yw y cwbl. Yr oedd gan Mrs. Cushin ferch brydferth arall, yn mwynhâu yr iechyd goreu; a darbwyllwyd hi i oddef i hon fyned o dan law y dyhiryn Long; yr hwn a gymmerai arno dynu allan o'i chorph y peth a achosa bob rhyw afiechyd. Yr oedd y fenyw yn cyfogi yn ddibaid, a'i chefn yn dechreu marwhâu (*mortify*) ac ni oddefai Mr. Long iddi gymmeryd dim er rhwystro y cyfogiad oddieithr gwin coch a dwfr. Yr oedd y llaethlo creulon yn haeru o hyd fod pob peth yn myned ym mlaen fel y dymunai. Wrth ganfod poenau ei merch, arswydodd Mrs. C. a danfonodd am Mr. Brodie, Meddyg enwog, yr hwn a agorodd ei llygaid i weled cyflwr peryglus ei merch. Wedi hyn ymwelodd Mr. Long â'r ferch, a mynegodd iddynt fod yr argoelion y cyfryw ag y dymunai iddynt fod. Hi a drengodd y noson hono! Darfu i nifer o Feddygon edrych ar y corph, a'u tyb hwy oedd, mai y llinoriad ar y cefn oedd yr unig achos o farwolaeth y fenyw. Cynnaliwyd celaingymholiad ar y corph; ac wedi olrhain yr amgylchiadau yn fanwl, y Rheithwyr a benderfynasant fod Mr. Long yn euog o *Manslaughter*.

*Swyn rhag Anfoesoldeb.*—Dygwyd dyn o'r enw *M'Carthy* o flaen yr Ynad yn *Union Hall*, Llundain, am ysbeilio a churo dau longwr. Haerodd y carcharor nad oedd yn bossibl iddo ef fod yn euog o'r trosedd tra y dygai swyn o ddwfr sanctaidd ar ei gorph bob amser. Darllenwyd y swyn, ac yr oedd fel y canlyn:—"Yn enw sanctaidd a bendigedig Hollalluog Dduw, y fendigedig Forwyn Fair, yr Arglwydd Iesu Grist, yr angylion sanctaidd, Archangylion, Seraphiaid, y *Rubicus*, a holl seintiau ac angylion Duw, yr wyf fi, *James M'Carthy*, yn cadw dwfr sanctaidd yr 8fed o Ragfyr, 1829, gyda dwfr sanctaidd y 25ain, dydd yr esgoriad a'r genedigaeth, gyda dwfr sanctaidd y dydd 1af o Ionawr, 1830, i'r dyben o'm cadw rhag meddwdod, anonestrwydd, a chwantau afreolaidd; felly cynnorthwyed Duw fi.—O! fy Marnwr glân, cymmorth fi!—Ein Tad Sanctaidd, y Pab, Pen ein Heglwys, cymmorth fi.—James M'Carthy."

*Damwain alaethus.*—Dygwyddodd y ddamwain alaethus ganlynol yn nhref Nantwich, yn nechreu mis Medi, ag sydd wedi achosi marwolaeth un fenyw, a phoenau peryglus i amrai ereill. Ymddengys

fod gwraig masnachydd cyfrifol o'r enw Shaw, wedi berwi cig dafad mewn llestr yr hwn a ddefnyddiwyd rai diwrnodau cyn hyny i ferwi gwenwyn i ddistrywio llygod. Pan ddarparwyd y ciniaw, Mrs. Shaw a ddanfonodd gwpanaid o'r potes i lanc claf yn y gymydogaeth, ac a gymmerodd gwpanaid ei hunan. Dygwyddodd i'r Parch. J. Hughes, Gweinidog Wesleyaidd, droi i mewn, a gwahoddwyd ef i gyd-giniawa â'r teulu. Pan oedd efe a Mr. Shaw yn bwyta potes, cymmerwyd Mrs Shaw yn sâl iawn; a chan adgofio fod gwenwyn wedi bod yn y llestr, yn yr hwn y berwyd y potes, rhwystrodd hwynt rhag bwyta rhagor o hono. Anfonwyd yn ddiatreg am feddyg, ond yn ofer; oblegid wedi dyoddef arteithiau poenus am ddeuddydd hi a drengodd. Y llanc a dafiodd y potes i fynu, ac felly gwnaeth Mr. Hughes, ac ni dderbyniasant unrhyw niweid; ond mae Mr. Shaw yn bur sâl.

## CYMRU.

### *Sessiwn Swydd Dinbych,*

A gynhaliwyd yn Llysdy Tref Rhuthin, ar y 18fed o Awst, ger bron y Gwir Anrhydeddus T. Jervis.

Nid oedd ond pump o garcharorion i gael eu profi.

*Sarah Evans* (33 oed) a gyfaddefodd ei bod yn euog o ladrata dillad, a dyfarnwyd hi i gael ei charcharu am dri mis.

*Thomas Morris* (27 oed) a gyhuddwyd o ladrata, ar y 5ed o Fai diweddaf, amryw ddilladau o eiddo Robert Morris o'r Gareg Hofa; ond ni phrofwyd ef yn euog, gan mai yr unig dystiolaeth o'r lladrad ydoedd cyffesiad y carcharor, yr hyn sydd yn annerbyniol.

*Robert Jones* (56 oed) Amaethydd, a gyhuddwyd o ddwyn croen anner, o eiddo Evan Owens.

*Robert Morris* (27 oed) llafurwr, a gyhuddwyd o ddwyn cydaid a hanner o ŷd, o eiddo J. Vaughan.—Gollyngwyd y ddau yn rhydd.

*Llythyr Bygythiol.*—Thos. Smith, gynt yn ysgrifenydd i Mr. Ward, yr hwn a berchenoga weithydd glo y Waun, a gyhuddwyd o anfon llythyr dienw, yn bygwth llofruddia Mr. Wilson, goruchwyliwr Mrs. Biddulph; ond ni chafwyd ef yn euog.

*Tori tŷ.*—Herbert Owen (32 oed) a gyhuddwyd o dori tŷ John Parry ar y 5ed o Ebrill diweddaf, a lladrata oddi yno forddwyd mochyn, gwerth pedwar swllt.

Mae John Parry, yn hen wr eiddil, yn byw yn agos i Abergele: ac oddeutu un o'r gloch foreu y dydd uchod, daeth y carcharor at ei dŷ, ac a ofynodd am bum punt, ac os na roddid hwy iddo, y rhoddai efe y tŷ ar dân. Atebodd John Parry, nad oedd ganddo ef arian: ar hyn torodd y carcharor y drws, diffoddodd ganwyll oedd yn oleu, tarawodd wr y tŷ i lawr, a thorodd asgwrn ei wddf (*collar-bone*), ac archollodd ef mor greulon nes oedd y gwaed yn llifo o'i ben. Diangodd J. Parry, ei wraig, a'i blentyn, i adeilad cyfagos, ac a arosasant yno nes yr aeth y carcharor ymaith gyd â'r forddwyd mochyn. Ond Sarah Williams, morwyn John Parry, a ddiangodd drwy'r drws cefn, ac a redodd drwy'r eira i Abergele i geisio cynnorthwy. Dau ddyn, o'r enwau John ac Evan Williams, a ddaethant at dŷ J. Parry, a dilynasant ôl traed y carcharor yn yr eira, ac a'i gwelsant ef yn taflu y cig i ffwrdd. Cafwyd y carcharor yn euog; a chan nad oedd ond ychydig amser cyn cyflawniad y trosedd er pan ddychwelasai adref o'i alltudiaeth, dyfarnwyd ef i gael ei ddienyddio; ond er hyny arbedwyd ei fywyd, a chafodd ei alltudio dros ei oes.

### Sessiwn Swydd Fflint,

A ddechreuodd ddydd Mawrth, y 24ain o Awst, yn y Wyddgrug.

Lladrata.—William Lloyd (30 oed) a gyhuddwyd o ladrata Chwe Phenadur, a phapur Pum Punt, a gwisgoedd, o eiddo John Venables o Dreiddyn.

*Mary Venables* a dystiolaethodd fel hyn: Yr wyf yn adnabod y carcharor: yr oedd yn lletya yn ein tŷ ni ar yr 2fed o Awst, pan oedd yr arian a grybwyllir yn y cyhuddiad genyf fi mewn cistan. Cadwyd y gistan yn ein hystafell-wely. Y diwrnod hwnw cymmerais Benadur allan o'r gistan, rhoddais glo arni wedi hyny, a rhoddais yr allwedd mewn llogawd yn y gegin; a chloais y llogawd, a gadewais yr allwedd yn y drws. Yn fuan wedi hyny aethum allan i geisio dwfr, gan adael y carcharor a genethig o'r enw Margaret Powel yn y tŷ: wedi i mi gyrhaedd i'r tŷ, dywedodd yr enethig wrthyf, fod y carcharor wedi agor fy llogawd. Dywedais rhyw beth wrtho yn ei gylch; a haerodd mai eisiau siwgr oedd arno. Aethum allan o'r tŷ drachefn, ac wedi dychwelyd yn ol, oblegid rhyw hysbysiad a roddodd yr enethig i mi, aethum i chwilio am allwedd y gistan, ond methais ei gael. Wedi hyny agorais y gistan â bwyall, a gwelais fod yr arian wedi eu dwyn.

*John Venables.* Derbyniais hysbysiad o'r lladrad, ac hefyd o ffoedigaeth y carcharor. Oddeutu wyth o'r gloch prydnawn yr un diwrnod, aethum at y gwaith glo lle yr oedd efe yn gweithio. Yr oedd wedi myned i lawr y pwll, ond tynwyd ef i fynu yn fuan, a darfu i mi, ac ereill, ei gymmeryd ef i'n tŷ ni. Yr oeddwn yn wyddfodol pan y chwiliwyd y carcharor gan Hopwood y Ceisbwl, a chafwyd yr

arian yn llogell ei oriawr. Dywedodd y carcharor wrthym ei fod yn bwriadu myned i America, ac y danfonai fy arian yn ol i mi wedi iddo ennill digon.

*Peter Pierce.* Daliais y carcharor; a chymmerais ef i dŷ John Venables. Gofynais iddo ddychwelyd yr arian. Dywedodd, nad oeddynt ganddo. Chwiliwyd ef genyf fi a Hopwood, a chafwyd yr arian yn llogell ei oriawr.

Haerodd y carcharor na ddarfu iddo ef erioed ladrata yr arian. Pan y dychwelodd adref, daeth â'r arian gyd âg ef, a llawer yn ychwaneg. Bu ym Manchester, ac ni allai newid yno. Nid oedd yn dymuno cymmeryd Papur Banc y Wyddgrug i America, am fod y wlad hòno mor bell oddiwrth y Banc! Dywedodd fod dyn yn Fflint a allai dyngu fod y papur pum punt ganddo ef ddau fis cyn iddo gael ei ddwyn. Y dyn hwn oedd un o'r carcharorion yn Nghastell Fflint, a gafwyd yn euog o ladrad yn y Sessiwn ddiweddaf. Cafwyd y carcharor yn euog. Hysbysodd ei arglwyddiaeth iddo, gan fod ganddo ddymuniad i ymweled â gwledydd tramor, y gofalai y cai efe ei *alltudio dros ei oes*.

COD-BIGIEDYDD.—Rowland Hughes (32 oed) a gyhuddwyd o ladrata 12*s*. o logell Edward Jones, yn y Wyddgrug.

Galwyd Edward Jones, yr hwn a dystiolaethodd, mai amaethwr oedd, ac yn trigiannu ym Mhlwyf y Wyddgrug. Ar y 9fed o Awst derbyniais £24. a thelais £4. o honynt. Yfais ychydig o *gwrw da* yn y *Star Inn* ar y diwrnod hwnw, a gadewais £16 gyd â'r gwas i gadw i mi. Yfais beint o gwrw yn y *King's Head*, a syrthiais i drym-gwsg. Yr oedd genyf arian yn llogell fy ngwasgod, oddeutu 12*s*. ond, wedi i mi ddeffro, nid oedd yno ond un swllt. Gofynais i'r carcharwr ddychwelyd yr arian i mi. Dywedodd nad oedd ganddo ef arian. Chwiliwyd llogellau y carcharwr, a chafwyd ynddynt 12*s*. 5*c*.

*Edward Griffiths.* Yr wyf fi yn weinidog yn Ngwestŷ y *Star*. Yr oedd Edward Jones wedi meddwi yn ein tŷ ni, a gofynais iddo adael tri phapur punt gyda fi i'w cadw hwynt. Daeth y carcharwr i'r tŷ, a dywedodd wrth Edward Jones fod yn rhaid iddo dalu am chwart o gwrw iddo. Yn fuan wedi hyny aeth y ddau allan ynghyd.

*Elizabeth Parry.* Yr wyf fi yn cadw y *King's Head*. Ar y 9fed o Awst, daeth Edward Jones i'n tŷ ni, ac a yfodd beint o gwrw. Yn fuan aeth i gysgu, ac wedi hyny daeth y carcharwr i mewn, ac a eisteddodd yn ymyl Edward Jones. Gwelais ef yn rhoddi ei law yn llogell Edward Jones, a gelwais ar Robert Griffiths.

*Robert Griffiths.* Hysbysodd y tyst diweddaf i mi yr hyn a welsai. Gofynais i E. Jones faint a gollasai. Clywais y carcharor yn dywëyd wrth E. Jones nad oedd ganddo ddim arian yn ei logellau.

Wedi i ddau o dystion eraill roddi eu tystiolaeth, cafwyd y carcharor yn euog, a dyfarnwyd ef i gael ei garcharu am ddwy flynedd.

*Lladrata pres.*—Mary Williams a Marg. Williams a gyhuddwyd o ladrata 40 pwys o bres, o eiddo Mr. William Jones, ac ereill, perchenogwyr gwaith mŵn Maes y Safn, y'Mhlwyf Llanferras. Cyhuddwyd Barbara Ennion o dderbyn yr unrhyw, a hithau yn gwybod iddo gael ei ladrata. Methwyd dyfod â'r trosedd adref at y carcharorion, a gollyngwyd hwynt yn rhydd.

SESSIWN SWYDD FEIRION.

Yn ol ei harfer glodwiw nid oedd yr un carcharor i gael ei brofi yn Sessiwn y Swydd hon, na dim mattèrion ereill o bwys i'w trin, er mawr siomedigaeth i wyr y gynau duon.

SESSIWN SWYDD FÔN.

Dechreuwyd y Sessiwn yn Llysdy Beaumaris ddydd Mercher, Awst 25ain. Yr Anrhydeddus Jonathan Raine, Prif Farnydd.

YMGAIS I LOFRUDDIO.—Wm. Griffith, yr hwn a ddyfarnwyd yn Sessiwn Caernarfon i gael ei alltudio dros saith mlynedd am briodi dwy wraig, a gyhuddwyd o ymdreshu i lindagu Mary Griffith ei wraig, gyda bwriad i'w llofruddio, ar yr 2fed dydd o Ebrill diweddaf.

*Mary Griffith*, gwraig y carcharor, a dystiolaethodd ei bod hi yn preswylio yn Niwbwrch: y priodwyd hi â'r carcharor 24ain mlynedd yn ol: ei bod yn adnabod y carcharor, er fod ei wedd wedi newid. Y carcharor a'i gadawodd oddeutu pum neu chwe mlynedd yn ol, o achos anghydfod teuluaidd. Ni bu yn byw gyda hi er y pryd hyny, er iddo ymweled â hi yn achlysurol. Ni bu gyda hi yn ei thŷ er's pedair blynedd, ond cyfarfyddodd ef ar y ffordd oddeutu dwy flynedd yn ol. Y tro diweddaf y cyfarfuasant, siaradodd wrtho ef yn haerllug, a chyhuddodd efe hi o fod yn euog o ymddygiad anweddaidd gyda dynion ereill, o'r hyn yr ydoedd hi yn ddieuog. Pan ddaeth y carcharor ati hi i'r tŷ oddeutu pedair blynedd yn ol, arswydodd yn fawr am i'r carcharor ei churo hi yn greulon, a bu yn glaf o'r achos; dygwyddodd hyn wedi iddi fyned i'w gwely. Yn nechreu mis Ebrill diweddaf yr oedd hi yn byw yn Niwbwrch, yn muarth y Stordy. Y mae hi yn cofio tymhestl eira ar nos wener: eisteddai wrth y tân yn y tŷ yn gwneuthur rhestogau. Daeth y carcharor i mewn; yr oedd ei merch, Grace,

yn byw gyda hi, ond yr oedd hi allan y pryd hyny. Ni ddywedodd y carcharor air, ond rhoddodd ei wyneb wrth wyneb ei wraig, yr hon a ofynodd iddo, "Wel, Will bach, sut yr wyt ti, ni welais mo honot er ys talm." Yna rhoddodd y carcharor ei fysedd yn ei cheg, ac wrth ymdrechu i'w rwystro, syrthiodd ar y llawr. Ar hyn darfu iddo gyd â'g ewinedd ei fysedd a'i fawd rwygo ei gorchfanau (*gums*) â rhyddhau rhai o'i dannedd blaen, y rhai a safasant yn ei gwddf, a bu agos iddynt a'i thagu. Yna rhoddodd ffon geingciog o dewdwr ei bawd yn ei safn, nes y pwysodd yn drwm ar ei boch ddehau, yna gafaelodd hi yn y ffon, ac a'i tynodd allan. Ymdrechodd i'w wrthsefyll drachefn, tra y ceisiodd efe wthio ei fysedd i'w safn, a hithau yn ceisio gwasgu ei fysedd gyd â'i gorchfanau. Yna gafaelodd yn ei chefn, a rhoddodd ei liniau neu ei draed ar ei breichiau, ac eisteddodd ar ei bron, a gwasgodd ei gwddf yn dost â'i ddwylaw, yr hyn oedd y peth olaf a deimlodd hi, gan iddi lewygu, nes y teimlodd ddwfr oer yn disgyn arni. Pan ddaeth y carcharor i mewn, yr oedd digon o oleuni yn y tŷ i ganfod ei wisg. Yr oedd ganddo *Smock-frock* lwyd, a het ddu wedi hanner wisgo. Yr oedd ganddi hi ddau gadach, ac un -croes, a gwlanen danynt, am ei phen y nos hòno, gan fod iddi gur yn ei phen. Nid oedd dim nodau llosg ar y cadachau pan roddodd hwynt am ei phen.

Holwyd hi gan y Prif Farnwr, a wyddai hi fod ei gwr yn debyg o golli ei fywyd, os credid ei thystiolaeth. Atebodd, iddi hi fynegu y gwir yn unig, ond ei bod hi yn maddeu i'w gwr, ac yn gobeithio y derbyniai drugaredd.

*Grace Griffiths*, merch y carcharor, a dorodd allan i wylo pan ddaeth i sefyllfa y tystion, ac nid allai am ychydig fynydau gymmeryd ei llw. Tystiodd iddi ddychwelyd i dŷ ei mam y noswaith hòno rhwng naw a deg. Pan aeth i mewn, yr oedd hi yn dywyll: gafaelodd ym mraich dyn, a galwodd arno, gan dybied mai ei brawd ydoedd: nid atebodd y dyn: clywodd ryw swn, a meddyliodd mai ei brawd oedd yn ei achosi. Daeth i'w meddwl mai ei thad ydoedd; ac aeth i geisio Mary Williams a Margaret Jones, y rhai a ddychwelasant gyda hi: daethant â chanwyll a llusern gyda hwynt: yr oedd y dyn wedi myned ymaith.

*Mary Williams* sydd yn byw yn Niwbwrch, ac yn cofio y noswaith dymhestlog o eira yn Ebrill diweddaf, pan ddaeth Grace Griffiths i'w chieisio oddeutu naw o'r gloch. Cymmerodd ganwyll a llusern, ac aeth gyda Marg. Jones a Grace Griffiths i dŷ Mary Griffiths; a'r peth cyntaf a welsant oedd tân dan yr alch (*grate*). Yr oedd pen Mary Griffiths dan yr alch â'i gwyneb i fynu, a thân yn llosgi ar ei gwyneb. Wedi methu ei thynu y tro cyntaf, oblegid fod ei phen wedi ei wasgu mor dyn dan yr alch, ond llwyddodd yr ail dro. Pan dynwyd hi allan, yr oedd ei gwyneb a'i bron wedi eu gorchuddio gan dân: y cadachau am ei gwddf oeddynt yn llosgi. Marg. Jones a daflodd ddwfr arni. Dadebrodd Mary Griffiths pan daflwyd y dwfr arni, a dywedodd, "Peidiwch, peidiwch." Cymmerasant y cadachau oddi am dani, a chadwasant hwynt nes y traddodasant hwynt i'r Ynad-heddwch. Cafodd hyd i ffon ar y llawr yn agos i'r lle tân—(dangoswyd y ffon gyda gwaed arni.)

*Margaret Jones* a gadarnhaodd dystiolaeth Mary Williams.

*William Evans* a breswylia yn Niwbwrch. Galwyd ef i dŷ Mary Griffiths ar yr 2fed o Ebrill diweddaf: gwelodd hi yn ei gwely; yr oedd yn edrych yn glaf iawn: ochr aswy ei gwyneb oedd wedi llosgi dostaf: ei safn a'i gorchfanau oeddynt yn bur ddolurus: yr oedd ei gwddf a'i bron wedi llosgi yn dost. Bu yn gweinyddu iddi dan y dydd Mawrth canlynol. Mary Griffiths a ddarluniodd wisg y carcharor pan ddaeth ati. Aeth y tyst ar ol y carcharor, ac yr 17eg o Ebrill cyrchodd ef ger bron Ynad-heddwch. Wrth ddychwelyd tua Niwbwrch, gofynodd y carcharor am gyngor gan William Evans ynghylch profi ei fod ef (y carcharor) yn Llangefni y noswaith hòno. Atebodd y tyst, mai un anaddas iawn oedd efe i roddi cyngor. Dywedodd y carcharor, na buasai hyn wedi dygwydd iddo oni bai Owen o'r Cefn Mawr. Dywedasai Owen, fod plwyfydd Niwbwrch a Llanddeiniolen am ei gymmeryd i fynu a'i alltudio, am fod ganddo ef wraig yn Llanddeiniolen. Ni bu y carcharor yn agos i Fryn.Siencyn, oblegid iddo fyned tua phont Menai ar hyd yr hen ffordd.

*Mr. Haslam*, Meddyg o Gaernarfon, a ddarluniodd y cleisiau a'r briwiau oedd ar Mary Griffith. Ystyriai hi mewn cyflwr peryglus am bythefnos neu ddair wythnos.

Holwyd amrai ereill o dystion yn erbyn y carcharor. Pan ofynwyd i'r carcharor, beth oedd ganddo i'w ddweyd, gwadodd ei fod ef gyd â'i wraig yn y tŷ. Yr oedd hi yn tyngu ac yn rhegu bob amser, ac yn dweyd y byddai yn well ganddi weled nadrodd yn y tŷ na'i weled ef. Cafodd blentyn cyn ei phriodi. Buant fyw yn annedwydd: ond pan oedd hi yn afiach, gwnaeth ei oreu i geisio cyngor Meddyg iddi.

Wedi i'r Prif Farnydd adrodd yr holl dystiolaeth i'r Rheithwyr, ac iddynt

bwythau ystyried am bum mynyd, cafwyd y carcharor *yn euog*.

Yna rhoddodd ei Arglwyddiaeth y capan du ar ei ben, a chyfarchodd y carcharor, gan erfyn arno wneuthur y goreu o'r amser byr a fyddai ar y ddaear, a dyfarnodd ef i gael ei golli ar y 15 o Fedi.

*Y Dienyddiad.*

Yn ol y ddedfryd, dienyddiwyd yr adyn truenus hwn yn Beaumaris, ar y 15fed o Fedi. Er bod hynawsedd y Barnwr wedi caniatâu iddo fwy o amser nag arferol rhwng y gollfarn a'r dienyddiad, ac er arferyd pob moddion tu ag at ei droedigaeth, drwg genym orfod dywedyd iddo farw fel y bu fyw, heb ddim ymddangosiad o deimladau dynol na Christionogol. Er amser ei ddedfryd dangosodd fawr arswyd marw, ynghyd â ffitiau achlysurol o anobaith dirfawr, yn yspaid pa rai efe a wnaeth rai cynnygiadau i ddiangc o'r carchar. Ar foreu dydd ei ddienyddiad gwedi iddo fod ychydig amser ar ei ben ei hun, tynodd y faingc-bren ar ba un yr oedd ei wely wedi ei osod, a chan osod y darnau yn erbyn y drws, efe a rwystrodd neb ato am beth amser. Or diwedd, ar ol tori y drws, diogelwyd ef: ac ar ol arfer pob moddion a allai tynerwch eu synied er tawelu ei feddwl, ond heb fod o un dyben na lleshâd, gwnawd y parotoadau angenrheidiol er dwyn i ben ddedfryd y gyfraith; a'r carcharor yr holl amser oedd yn udo a bloeddio 'n fwyaf dirboenus ac ingawl. Ychydig cyn deg o'r gloch gollyngwyd y dienyddwr i mewn i'w gell; ac ar ol ymdrech caled llwyddodd i'w rwymo â rhaff am ei ddau benelin. Yna y Parchedig Gaplan a ddechreuodd ddarllen gwasanaeth y claddedigaeth: a thywyswyd, neu yn hytrach llusgwyd y carcharor rhwng dau swyddog i'r dienyddle. Pan ddaeth dan y crogbren, gwnaeth wrthwynebiad erchyll i'r dienyddwr i roddi 'r cortyn am ei wddf. Y tro cyntaf tynodd ei ben ymaith, ac ni cheid ei roddi: ond tynwyd ef ym mlaen yn nes i ganol yr esgyn-lawr (*drop*) a rhoddwyd y cortyn dros ei ben: pan deimlodd ef am ei wddf, ymdrechodd i godi ei ddwylaw i'w dynu ymaith, a symudodd ef i'w geg, ac ymaflodd ynddo â'i ddannedd. Yn yr ymdrech rhyngddo â'r dienyddwr i roddi y cortyn am ei wddf, cripiwyd ei wyneb nes oedd yn gwaedu. Gorfu i'r dienyddwr alw am gynnorthwy, ac aeth dau geisbwl ac a'i cynnorthwyasant ef. Cyfododd y ddau hyn y carcharor oddiar ei draed, a thrwy fawr ymdrech cawd y cortyn am ei wddf. Yr oedd yr adyn etto yn ymddangos megys yn wallgof, gan ymlusgo at ymyl yr esgyn-lawr nes oedd wedi hanner dagu, pan ymaflodd y dienyddwr ynddo, ac a'i dygodd dan y crogbren; yna gollyngwyd y *drop* oddi tan ei draed, yr hyn a'i gadawodd ef y'nghrog, ac mewn ychydig enyd efe a drengodd, ac i olwg yr edrychwyr, mewn dirfawr boen.

Yn y Sesiwn hwn cafodd dau ereill eu dwyn ger bron, sef *Thomas Evans*, neu *Bevans*, a gyhuddwyd o briodi dwy wraig, ond ni chafwyd ef yn euog—a *Dafydd Hughes* a gyhuddwyd o ladrata caseg; ond gollyngwyd ef yn rhydd.

---

## HYSBYSIADAU LLEENYDDOL.

Gwelsom hysbysiad fod Cyfieithiad o'r *Clergyman's Companion in visiting the Sick*, i ymddangos yn fuan, wedi ei ddiwygio o hen argraffiad gan y Parch. W. B. Knight, A. M. Canghellwr Esgobaeth Llandaff. Gan fod y Cyhoeddiad hwn yn bur brin, gobeithio y bydd yr argraffiad newydd yn dderbyniol gan Offeiriaid a thrigolion Cymru yn gyffredin.

Cyhoeddir mor fuan ag y derbynir nifer digonol o danysgrifwyr, *Gwinllan y Bardd*, sef casgliad o waith Barddonol y Parch. D. Evans, A. D. Cymmrawd Coleg Iesu, Rhydychen (neu Daniel Ddu o Geredigion) a ymddangosasant o dro i dro yn yr amryfal Gyhoeddiadau Cymreig, ynghyd â llawer o Brydyddiaeth nad argraffwyd erioed o'r blaen.—*Gwel yr Hysbysiad ar amlen y llyfyn hwn.*

Y mae y Parch. Daniel Rees, Aberystruth, Sir Fynwy, yn darparu i'r wasg, ac yn bwriadu cyhoeddi mor fuan ag y ceir digon o danysgrifwyr, *Cyfieithiad Barddonol newydd o Salmau Dafydd*, ar wahanol fesurau, i'w harferyd mewn Eglwysi. Tybia yr awdwr yn addas i ddefnyddio hyd y gall gyfieithiad yr Archddiacon Prys, yr hwn, er cymmaint ei feius, sydd waith gorchestol iawn.—*Gwel yr amlen.*

Cyhoeddwyd er's amser yn ol, 24 o Bregethau gan y Parch J. Hughes, Aberystwyth. Dylem erfyn am faddeuant yr awdwr Parchedig am fod cyhyd heb hysbysu eu cyhoeddiad hwynt i'n darllenwyr. Y mae enwogrwydd Mr. H. fel pregethwr ac ysgrifenwr mor adnabyddus y'Nghymru a Lloegr, y bydd yn hollol afreidiol i ddywedyd dim mewn ffordd o ganmoliaeth i'w waith ef; digon, gan hyny, fydd ychwanegu na edifarha neb o'n darllenwyr os prynant ac os darllenant yn fanwl y Pregethau gwerthfawr hyn.

Cyhoeddwyd hefyd yn ddiweddar, Cyfrol o Bregethau, sef Chwech-ar-Ugain o nifer, gan y Parchedig Morgan Lloyd, Curad Yspytty Ifan, pris 3 swllt.—Y mae yr awdwr yn addaw, os caiff y Gyfrol hon dderbyniad, cyhoeddi un arall, i gynnwys yr un nifer, fel y byddo un am bob Sul yn y flwyddyn.

## ESGOBAETH TY DDEWI.

Y'Nghapel Coleg Dewi, Llanbedr, ordeiniwyd y personau canlynol, y mis diweddaf, gan Arglwydd Esgob Ty Ddewi.

OFFEIRIAID.

Y Parch. John Griffiths, Curad Castell Newydd yn Emlyn, Sir Gaerfyrddin; y Parch. David Davies, Curad St. Thomas, Capel Ferry-side, Sir Gaerfyrddin; y Parch. John Williams, Curad Tregaron, Sir Aberteifi; y Parch. William Winston, Curad Eglwys Michael, Eskley, Sir Henffordd; y Parch. John Jones, Curad Jordaston, Sir Benfro; y Parch. James Owen, Curad Bridell, Sir Benfro; y Parch. Wm. Lloyd, Curad Eglwys St. Mary, Aberteifi; y Parch. John Williams, Curad Rhyd-y-bryw, Sir Frycheiniog; y Parch. Jonah Bowen, Curad Llan-y-crwys a Llanfair Clydoge, Sir Aberteifi; y Parch. John Jones, Curad Pembrey, Sir Gaerfyrddin; y Parch. Jonah Owen, Athraw Ysgol Rammadegol St. David; y Parch. Thomas Jones, Curad Eglwys St. Michael, Aberystwyth.

DIACONIAID.

Mr. Richard William Payne Davies, B. A. o Goleg Caerwrangon, Rhydychain, i Guradiaeth Llangasty Tal-y-llyn, Swydd Frycheiniog; Mr. John Hughes, o Goleg Dewi Sant, Llanbedr, i Guradiaeth Castell Bigh, Sir Benfro; Mr. William Harries, o'r un Coleg, i Guradiaeth Llangathen, Sir Gaerfyrddin; Mr. Owen Jones, o'r un Coleg, i Landisilio-Gogo, Sir Aberteifi; Mr. James Francis, o'r un Coleg, i Guradiaeth Eglwys Dewi Sant, Brycheiniog; Mr. David Evans, o'r un Coleg, i Guradiaeth Llanfihangel Rhos-y-corn, Sir Gaerfyrddin; Mr. John Morgan Downes, o'r un Coleg, i Guradiaeth Llanulid, Sir Frycheiniog; Mr. David Jones, o'r un Coleg, i Guradiaeth Llanina, Sir Aberteifi; Mr. Rees Evans, o'r un Coleg, i Guradiaeth Llanganfelin, Sir Aberteifi; Mr. Daniel Griffiths, o'r un Coleg, i Guradiaeth Ystrad Fflur, Sir Aberteifi; Mr. William Thomas Nicholls, o'r un Coleg, i Guradiaethau Llanfihangel Aberbythych a Llandyfeisant, Sir Gaerfyrddin; Mr. Thomas Evans, o'r un Coleg, i Guradiaeth Llansantffraid, Sir Aberteifi; Mr. Evan Hughes, o'r un Coleg, i Guradiaeth Yspyty Cenfyn, Sir Aberteifi; Mr. John Rees Lewis, o'r un Coleg, i Guradiaeth Ystadffin, Sir Gaerfyrddin; Mr. Hugh Howell, o'r un Coleg, i Guradiaeth Llanfihangel Penbedw, Sir Benfro; Mr. David Lewis, o'r un Coleg, i Guradiaethau Llandefeilog a Llangedeirne, Sir Gaerfyrddin; Mr. Thomas Thomas, o'r un Coleg, i Guradiaeth Mothvey, Sir Gaerfyrddin; Mr. T. Lewis, B. A. o Goleg Iesu, Rhydychain, trwy lythyrau cenadedig Esgob Bangor.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

ESGOBAETH LLANELWY.

Cyflwynwyd y Parch. John Griffiths, G. D. Aelod o Goleg Immanuel, a Chorberiglor Rochester, gan yr Arglwydd Ganghellor, i Beriglориaeth Llangynhafal, Sir Ddinbych—rhydd trwy farwolaeth y Parch. J. Jones.

Y Parch. J. Jones, Curad Rhiwabon, i Ficeriaeth Llangwm—rhydd trwy farwolaeth y Parch. G. Griffiths.

---

## MARWOLAETH Mr. HUSKISSON.

Dydd Mercher y 15fed o Fedi yr agorwyd y ffordd haiarn newydd, (*Railway*) o Lerpwl i Gaermancon (*Manchester*) pryd yr oedd y Dug Wellington, Syr R. Peel, a nifer liosog o benaduriaid a phendefigion y deyrnas wedi ymgynnull ar yr achlysur. Agorwyd y ffordd hon gyda rhwysg mawr, a diammeu fod yr edrychwyr yn addaw iddynt eu hunain ddifyrwch nid bychan y'ngwaith y dydd, ond y ddamwain angeuol a ddygwyddodd i Mr. Huskisson a rodd ddiflasdod ar holl lawenydd y diwrnod. Ar y ffordd yn agos i Eccles, pan oedd yr agerdd-beiriant yn sefyll i aros cael tanwydd, disgynodd Mr. Huskisson, ynghyd âg amryw foneddigion ereill, o'u cerbydau, i edrych o'u cwmpas; a phan ganfu Dug Wellington Mr. Huskinson, estynodd ei law allan iddo; a chyd âg i'r ddau ysgwyd dwylaw, dyma floedd i rybuddio pawb i esgyn i'w cerbydau, o herwydd fod y cerbydau ereill yn cyflym nesâu. Ar hyn prysurai pawb am y cyntaf, ond ryw fodd rhwng brys a bloedd y bobl, llithrodd troed Mr. Huskisson fel y syrthiodd ar draws y ffordd, ac aeth yr agerdd-beiriant drosto, ac a faluriodd ei goes yn chwilfriw. Cludwyd ef i dŷ y Parch. Mr. Blackburn, Periglor Eccles, lle cafodd bob cymmorth ac ymgeledd a allesid roi iddo: ond barnai y llaw-feddygon os torent ei goes, y trengai dan eu dwylaw, gan fod yr anffawd wedi effeithio i'r fath radd ar ei natur, gan hyny ni chynnygiwyd ar y gorchwyl. Cafodd hamdden i wneud ei lythyr-cymmun, ac i dderbyn swpper yr Arglwydd; ac erbyn naw o'r gloch y noson hôno yr oedd ei yspryd wedi esgyn at Dduw yr hwn a'i rhoes ef.

# Y GWYLIEDYDD.

## TACHWEDD, 1830.

### PREGETH II.

RHAN II.

*Trueni Dyn, a'i Gollfarn trwy Bechod i Farwolaeth dragywyddol.*

GAN fod gwir adnabyddiaeth o honom ein hunain yn dra angenrheidiol tu ag at ein dwyn i gywir adnabyddiaeth o Dduw, cawsoch glywed, yn yr hyn a ddarllenwyd ddiweddaf, pa mor ostyngedig y tybiai yr holl dduwiolion bob amser am danynt eu hunain, a pha fodd y dysged hwynt i feddwl a barnu felly am danynt eu hunain gan Dduw eu Creawdydd yn ei air sanctaidd. O herwydd nid ydym ni, o honom ein hunain, ond afallon surion, na ddygant ddim afalau. Nid ydym o honom ein hunain ond y cyfryw ddaear ag na ddwg ddim ond chwyn, danadl, dyrysi, mieri, graban, ac efre. Amlygir pa fath yw ein ffrwythau yn y bummed bennod at y Galatiaid. Nid oes genym na ffydd, na chariad, na gobaith, nac amynedd, na diweirdeb, nac un dim arall daionus, heb eu cael gan Dduw. Am hyny gelwir yno y rhinweddau hyn yn *ffrwythau yr Ysbryd Glân*, ac nid yn ffrwythau dyn.

1. Bydded i ni gan hyny *gydnabod* ein hunain ger bron Duw, megys yn ddiau yr ydym, yn bechaduriaid gwael a thruenus. Boed i ni edifarhau yn ddifrifol, ymostwng ein hunain o'r galon, a llefain ar Dduw am drugaredd. Cyfaddefwn oll, â'r genau ac â'r galon, ein bod yn llawn ammherffeithrwydd. Boed i ni wybod pa mor ammherffaith yw ein gweithredoedd, ac yna ni fydd i ni ymlynu yn ffol ac yn rhyfygus wrth ein gwag uchel feddyliau, na honi dim hawl i un rhan o'n cyfiawnhâd ar sail ein haeddiant neu ein gweithredoedd ein hunain. O herwydd y mae yn ddiau ammherffeithrwydd yn ein gweithredoedd goreu. Nid ydym yn caru Duw gymmaint ag y dylem, sef â'n holl galon, meddwl, a'n gallu. Nid ydym yn ofni Duw gymmaint ag y dylem. Nid ydym yn gweddio ar Dduw ond gyda llawer o ammherffeithrwydd mawr. Nid ydym yn cyfranu, yn maddeu, yn credu, yn byw, ac yn gobeithio, ond yn ammherffaith. Nid ydym yn llefaru, yn meddwl, ac yn gweithredu, ond yn ammherffaith. Nid ydym yn ymladd yn erbyn y diafol, y byd, a'r cnawd, ond yn ammherffaith. Na fydded, ynte, gywilydd arnom ddywedyd gyda St. Pedr—"Dyn pechadurus wyf fi." *Luc* 5. 8. Dywedwn gyd â'r prophwyd santaidd Dafydd—"Pechasom gyd â'n tadau; gwnaethom gamwedd, anwireddus fuom." *Ps.* 106. 6. Gwnawn oll gyfaddefiad cyhoedd, gyd â'r mab afradlon, gan ddywedyd wrth ein Tad—"Pechasom yn erbyn y nef, ac

o'th flaen di, O Dad; ac nid ydym yn deilwng i'n galw yn feibion i ti." *Luc* 15. 18. Dywedwn oll gyda Baruc santaidd—"O Arglwydd ein Duw, i ni yn deilwng y perthyn cywilydd a gwarthrudd, ond i ti gyfiawnder." *Baruc* 2. 6. Pechasom ni, gwnaethom yn ddrygionus, ymddygasom yn annuwiol yn yr hyn oll sydd gyfiawn. Dywedwn oll gyd â'r prophwyd santaidd Daniel—"I ti, Arglwydd, y perthyn cyfiawnder, ond i ni gywilydd wynebau." *Dan.* 9. 7. "Pechasom, a gwnaethom gamwedd, a buom anwir, gwrthryfelasom hefyd, sef trwy gilio oddiwrth dy orchymynion, ac oddiwrth dy farnedigaethau." *Dan.* 9. 5. Dyma fel i'n dysgir gan yr holl dduwiolion yn yr Ysgrythyr Lân, i ddarostwng ein hunain, ac i dderchafu, clodfori, mawrygu, a gogoneddu Duw.

2. Cawsoch fel hyn glywed pa mor ddrwg ydym o honom ein hunain, ac nad oes genym, ynom ac o honom ein hunain, na daioni, na nerth, nac iechydwriaeth; ond yn y gwrthwyneb, fod genym bechod, a bod i ni gollfarn, a marwolaeth dragywyddol. Yr hyn, os gwnawn ei bwyso a'i ystyried yn ddwys, bydd i ni yn hawddach ddeall trugaredd fawr Duw, a pha fodd y daw ein hiechydwriaeth yn unig trwy Grist. Canys ynom ein hunain ni chawn ddim, megys o honom ein hunain, trwy 'r hyn y gellir ein gwaredu o'r caethiwed truenus, i'r hwn y'n taflwyd gan genfigen diafol, am dori gorchymyn Duw yn ein cyndad Adda. Aethom oll yn *aflan;* ond ni all neb o honom lanhau ei hun, na glanhâu y naill y llall chwaith. Yr ydym "wrth naturiaeth yn blant digofaint" Duw, *Eph.* 2. 3. ond ni's gallwn ddim gwneuthur ein hunain yn blant i Dduw, ac yn etifeddion o'i ogoniant. Yr ydym "megys defaid wedi myned ar gyfeiliorn," 1 *Petr* 2. 25. ond ni's gallwn trwy ein nerth ein hunain, ddyfod eilwaith i'r gorlan, gan faint ein hammherffeithrwydd a'n gwendid. Nid oes, gan hyny, le i ni orfoleddu ynom ein hunain, y rhai nad ydym ddim ond pechadurus o honom ein hunain; nac i orfoleddu mewn unrhyw weithredoedd a wnelom, gan eu bod oll mor ammherffaith ac ammhur, fel na allant sefyll ger bron cyfiawn orsedd farnol Duw, fel y dywed y santaidd prophwyd Dafydd—"Naddos i farn â'th was, o herwydd ni chyfiawnheir neb byw yn dy olwg di." *Ps.* 143. 2.

3. At *Dduw*, ynte, y dylem ffoi, onidê ni chawn fyth heddwch, na gorphwysfa, na llonyddwch cydwybod o fewn ein calonau; canys efe yw "Tad y trugareddau, a Duw pob dyddanwch." 2 *Cor.* 1. 3. Efe yw yr Arglwydd, gyd â'r hwn y mae aml ymwared." *Ps.* 130. 7. Efe yw y Duw, yr hwn o'i drugaredd a'n hachub, yr hwn sy'n amlygu ei garedigrwydd a'i ryfeddol gariad tu ag atom, trwy iddo ein hachub, o'i ewyllys da ei hun, pan oeddem golledig, a thrwy ddarparu i ni deyrnas dragywyddol. A'r holl drysorau nefol hyn a roddir i ni, nid am ein teilyngdod, ein haeddiant, neu ein gweithredoedd da ni, gan na feddwn ddim o honom ein hunain; ond yn rhad trwy ei drugaredd ef yn unig. Ac er mwyn pwy? Yn ddiau, er mwyn Iesu Grist, Oen pur a difrycheulyd Duw. Efe yw yr *anwyl Fab*, er mwyn yr hwn y cyflawn heddychwyd ac y boddlonwyd Duw, ac y cymmodwyd ef â dyn. Efe yw "*Oen* Duw, yr hwn sy'n tynu ymaith bechodau 'r byd." *Ioan* 1. 29. Am yr hwn yn unig y gellir mewn gwirionedd ddywedyd, iddo wneuthur pob peth yn dda, ac "na chafwyd twyll yn ei enau." 1 *Petr* 2. 22. Nid neb ond efe a allai ddywedyd, "Daeth tywysog y byd hwn, ac ni chafodd ddim

ynof fi." Ac efe yn unig a allai hefyd ddywedyd, "Pwy o honoch a'm hargyhoedda i o bechod?" *Ioan* 8. 46. Efe yw 'r *Archoffeiriad* tragywyddol, yr hwn a "offrymodd ei hun unwaith" trosom ar allor y groes, ac â'r un offrymiad hwnw, a "berffeithiodd yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu santeiddio." *Heb*. 7. 27. a 10. 14. Efe yw yr unig *Gyfryngwr* rhwng Duw a dyn, yr hwn a dalodd iawn drosom i Dduw â'i waed ei hun, ac â'r hwn y glanhaodd ni oll oddiwrth bechod. *Ioan* 2. 1, 2. Efe yw 'r *Meddyg*, sy'n iachâu ein holl glefydau. Efe yw 'r *Gwaredydd*, sy'n "gwared ei bobl oddiwrth eu pechodau." *Mat*. 1. 21. I fod yn fyr, efe yw 'r gyflawn Ffynnon ddylifol, o gyflawnder yr hon y derbyniasom ni oll; oblegid ynddo ef yn unig y mae yn guddiedig holl drysorau doethineb a gwybodaeth Duw. Ynddo a thrwyddo y cawn ni gan Dduw Dad pob peth da a berthyn naill ai i'r corph, neu i'r enaid.

O, mor rhwymedig ydym i'n Tad nefol am ei fawr drugareddau, a amlygodd mor helaeth i ni yn ein Ceidwad, Crist Iesu ein Harglwydd! Pa ddiolch teilwng a chyflawn a allwn roddi iddo! Boed i ni, yn unfryd, dori allan mewn llef gorfoledd, gan fyth foliannu a mawrygu y Duw trugarog hwn, am y daioni tirion a ddangosodd i ni yn ei anwyl Fab, Iesu Grist ein Harglwydd.

4. Cawsom fel hyn glywed beth ydym o honom ein hunain, mai tra phechadurus, gwael, a cholledig ydym. Clywsom hefyd, na allwn, o honom a thrwyddom ein hunain, na meddwl un meddwl da, neu wneuthur un weithred dda, ac am hyny na feddwn ynom ein hunain un gobaith o iechydwriaeth, ond yn hytrach yr hyn a weithreda ein dystryw. Clywsom ym mhellach am ddaioni tirion a thrugaredd fawr Duw Dad tu ag atom, a pha mor ddaionus yw efe i ni er mwyn Crist, nid o herwydd ein teilyngdod, neu ein haeddiant ni; ond o'i drugaredd a'i dosturi ei hun yn unig. Pa fodd y gellir mwynhâu y rhagorol fawr drugareddau hyn, a hysbyswyd i ni yn Nghrist Iesu; a pha fodd y gwaredir ni oddiwrth gaethiwed pechod, angeu, ac uffern. Y pethau hyn a gânt eu mynegu yn helaethach, trwy gymmorth Duw, yn y Bregeth nesaf. Yn y cyfamser, ie, ac ar bob pryd, boed i ni ddysgu adnabod ein hunain, ein heiddilwch, a'n gwendid, heb wneuthur un ymffrost o'n gweithredoedd da, a'n haeddiant ein hunain. Boed i ni hefyd gydnabod rhagorol drugaredd Duw tu ag atom, a chyfaddef mai megys o honom ni y daw pob drwg a cholledigaeth, felly o hono ef y daw pob daioni ac iechydwriaeth, fel y dywed Duw ei hun trwy enau y prophwyd Hosea—"O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun; ond ynof fi y mae dy gymmorth." *Hos*. 13. 9. Os ymostyngwn yn isel fel hyn ger bron Duw, bydded yn ddiogel genym, y gwna efe, yn amser ei ymweliad, ein derchafu i deyrnas ei anwyl Fab, Iesu Grist ein Harglwydd; i'r hwn, gyd â'r Tad a'r Ysbryd Glân, y byddo 'r holl anrhydedd a'r gogoniant yn dragywydd. Amen.

---

## CYMMWYSDERAU I'R WEINIDOGATEH.

(*Parhâd o du dal.* 205.)

4. Megys *pedwerydd* modd er cynnyddu ei gymmwysderau i gyflawni yn fuddiol ei ddyledswyddau cyhoeddus, cynghorai yr awdwr y gweinidog *i ymweled yn fynych â'i bobl yn eu cartref*.

Y mae gan Weinidogion Eglwys Loegr, nid yn unig esampl apostolaidd am hyn, ond hefyd y maent dan y rhwymedigaeth chwanegiadol

o'u haddunedau eu hunain. Gall un heb wybod ond ychydig am ei gynnulleidfa bregethu gwirioneddau pwysig, ond nid y gwirioneddau mwyaf angenrheidiol i'w wrandawwyr. Cyn y gall ei bregethau fod yn addas i amgylchiadau 'r bobl, rhaid iddo fod yn aml yn eu mysg: cyn y gall uniawni eu barn, rhaid iddo wybod beth yw eu barn: cyn y gall alw arnynt i ymwrthod âg unrhyw ddrwg-arferion, rhaid iddo wybod i ba rai y maent yn fwyaf darostyngedig. Gall awdwr y llinellau hyn dystio, trwy brofiad, fod lles mawr yn deillio oddiwrth yr arferiad hwn. Mae y gweinidog, trwy ganfod pa effeithiau a darddant oddiwrth ei bregethau, yn casglu defnyddiau i'r pulpud i ba le bynag yr elo; nid yw mwy yn pregethu ar antur, ond dysg "iawn gyfranu gair y gwirionedd," ac i roddi i bob aelod o'r teulu "ei gyfluniaeth mewn pryd." Trwy ddilyn y llwybr hwn, ceufydd pwy a gam-ddeall ac a gam-gymmwysa ei bregethau; ac, yn ganlynol, ar ba byncian y dylai fod yn helaethach ac eglurach, gan eu gwneuthur yn fwy dealladwy i'w wrandawyr. Mae ganddo fel hyn gyfleusderau i holi pa cyn belled y cyflawnir y dyledswyddau a grybwylla ger eu bron; sef, darllen yr ysgrythyrau, dysgu eu plant, gweddiq yn y teulu, &c. o'r cyfryw holiad, y canlyniad yn fynych yw—datguddiad o'r angenrheidrwydd i alw ar y bobl am gyflawniad mwy cydwybodol o honynt.

5. Megys *pummed* modd i gyrhaeddyd cymmwysder gweinyddol, enwa 'r ysgrifenydd, *y buddioldeb i weinidogion fyned, mor aml ag y byddo cyfleusdra, i glywed eu gilydd.* Pan ddelo 'r llefarwr yn wrandawr, gall farnu yn fwy cywir pa ddull o weini sydd debyg i fod yn fwyaf llesfawr. Gall ddirnad yn ei frawd, nid yn unig lawer o bethau a ddylai eu gadael heibio, ond cael ei adgofio o lawer o bethau cyffelyb ynddo ei hun, o'r hyn yr oedd yn anhysbys o'r blaen, â pha rai y dylai ymwrthod yn ddioed. Gall hefyd ganfod mewn arall lawer o bethau, pa rai, oddiwrth eu heffeithiau gwerthfawr ar ei galon ei hun, a farnai yn rhagoriaethau mawrion, ac yn dra theilwng o'i ddilyniad.

6. Barna yr ysgrifenydd *y byddai darlleniad mynych, gyda gweddi ddifrifol, o'r rhanau hyny o'r Prophwydi lle y cerydddir bugeiliaid diofal, ac y cyhoeddir eu barn gan Arglwydd y lluoedd,* yn fuddiol iawn tu ag at gymmwyso gweinidog yr efengyl i'w swydd. Y 34ain o Ezeciel, a'r 11eg o Zecharia sydd hynod bwysig ar y pen hwn. Cynghorai yn fawr hefyd i Lythyrau St. Paul at Timotheus a Titus gael eu hastudio gyda gweddi ddwys am yr Ysbryd Glân: canys yno y rhoddir y cyfarwyddiadau mwyaf gwerthfawr mewn perthynas i iawn gymmwysderau i'r swydd, a buddiol gyflawniad o'i gwahanol ddyledswyddau. Ni all yr ysgrifenydd lai na dywedyd yma, y byddai o bwys mawr i'r Gweinidog alw i'w gôf ei addewidion a'i addunedau ei hun, trwy fynych ddarllen y ffurf o urddo Gweinidogion—gwasanaeth tueddol iawn i wneuthur argraff ar ei galon, ac i gynhyrfu holl alluoedd ei feddwl i gydwybodol gyflawniad o'i swydd. Y mae amryw o lyfrau wedi eu hysgrifenu ar y weinidogaeth—megys *Burnet's Pastoral Care, Baxter's Pastor Reformed,* a *Bridges on the Christian Ministry,* y rhai ydynt yn dra theilwng o gael eu darllen, yn gystal a'r cyfarwyddiadau (*charges*) a roddir gan rai o'n Hesgobion yn eu hymweliadau â'u hesgobaethau. Mae 'r Esgobion canlynol wedi argraffu rhai o fawr werth, Horne, Horsley, Barrington, Ryder, Magee, John a Charles Sumner. Mae 'r arferiad hwn yn tueddu yn rymus i gadw

yn fyw syniadau dwys am y weinidogaeth, i symud ymaith syrthni a marweidd-dra, ac i adnewyddu y ffyddlondeb a'r diwydrwydd hyny, y rhai y mae llaweroedd o'r helyntion a gyfarfydd â'r Gweinidog yn tueddu i'w gwanhau a'u diddymu.

Gan i'r rhan flaenaf o'r pwngc mewn llaw ein dal cyhyd, mae 'r awdwr yn awr yn ymadael âg ef, er y gellid chwanegu llawer ato, ac yn galw eich sylw at yr *ail;* sef, *y dull goreu o gyflawni dyledswyddau y weinidogaeth.*

Bod adeiladaeth y praidd yn dibynu, dan fendith Duw, mewn mesur mawr ar *ddull* y Gweinidog yn cyflawni amrywiol ranau ei swydd, sydd wirionedd nad ellir ei wadu. Gŵyr yr awdwr am weddiau 'r Eglwys yn cael eu darllen gyd â'r fath ddifrifoldeb, fel ag i beri i'r gwrandawyr haeru mai nid y gweddiau oeddynt yn arferol o'u clywed oeddynt. Y mae defosiynol gyflawniad o wasanaeth yr Eglwys fel hyn yn cynhyrfu teimladau 'r galon, tra y mae cyflawniad ysmala a difraw o hono yn gadael y bobl yn anwybodus hyd yn nod o ystyr yr ymadroddion a ddefnyddir. Tra mynych hefyd y clywodd ddynion yn sylwi fel hyn mewn perthynas i bregeth a glywsant—" Pe buasai 'r bregeth yna yn cael ei thraddodi yn iawn, gwnaethai fawr les i ni; ond yn awr gadawodd ni heb argraff, ac heb adeiladaeth." Gwneir y sylwadau rhagflaenol hyn i'r dyben o ddangos bod yr ail ran o'r byrdraethawd hwn o ddirfawr bwys, a bod pob pregethwr yn rhwym i'w ddwys ystyried fel yn gysylltiedig â chyflawniad buddiol o'i swydd oruchel.

1. I'r dyben o ddefnyddio yn iawn y cymmwysderau y rhoddwyd rhai cyfarwyddiadau er eu cyrhaeddyd yn y rhan flaenaf o'r byrdraethawd hwn, cynghorai yr awdwr bob un o Genhadon Crist i ddwyn ym mlaen wasanaeth cyhoeddus Duw *gyda dwysder a symlrwydd.* Y mae pob peth sy'n debyg i ysgafnder a difrawch yn hollol anaddas i sancteiddrwydd y gorchwyl mewn llaw, ac i fawrhydi y Bod y mae 'r Gweinidog ger ei fron, ac y mae bob amser yn cael effeithiau drwg ar y gwrandawyr. Dylai ei ddull ym mhob rhan o'i orchwyl fod y cyfryw, ag i argyhoeddi y bobl ei fod yn dwyn ym mlaen y materion mwyaf pwysig gyda Duw, ar ei ran ei hun, ac ar ran y sawl a'i hamgylchynant; ac i ddwyn i'w côf hwythau hefyd fod ganddynt ryw orchwyl o bwys digyffelyb i fod yn ei gylch wrth ymddangos yn nhŷ 'r Arglwydd. Canfyddodd yr awdwr Weinidogion weithiau, ie, pan fyddai yr erfyniadau dwysaf yn dyfod o'u genouau, yn edrych yn anystyriol o gwmpas, gan ddilyn â'u llygaid hwn ac arall o ddrws yr Eglwys i'w heisteddfa ynddi. Y mae 'r cyfryw arferiad yn dra niweidiol, ac yn brawf nad yw y galon yn ngwaith Duw. " Os wyt am i mi wylo, rhaid i ti wylo dy hun yn gyntaf," er ei lefaru gan un o'r Paganiaid, sydd wirionedd tra eglur, ac yn addas i ddwyn ym mlaen yr ymadrodd hwn—Os dymuna 'r Gweinidog i'w bobl fod yn ddifrifol, rhaid iddo fod felly ei hun. Cofia yr ysgrifenydd iddo ddarllen am Weinidog yn gofyn y cwestiwn hwn i areithiwr nodedig mewn chwareudy—" Beth yw yr achos fod yr hyn a ddywedwch chwi yn gwneuthur dwfn argraff ar y gwrandawyr, ac nad yw yr hyn a ddywedwn ni, er yn anfeidrol fwy pwysig, yn gwneuthur yr argraff lleiaf?" ac i'r ateb canlynol gael ei roddi iddo—" Yr ydym ni yn adrodd pethau dibwys fel pe byddent o annhraethol ganlyniad, ac yr ydych chwithau yn adrodd y pethau o'r canlyniad mwyaf fel pe byddent y pethau mwyaf distadl." Y mae yr ateb

hwn yn llawn o addysg gwerthfawr, ac yn cadarnhâu y pwngc mewn llaw, sef pwysfawrogrwydd symlrwydd yn agwedd y Gweinidog yn ei weinyddiadau cyhoeddus.

2. Yn nesaf at symlrwydd, crybwyllaf am yr angenrheidrwydd o fod y Gweinidog *o lais eglur a hyglyw* wrth ddwyn ym mlaen wasanaeth pwysig tŷ yr Arglwydd. Os nad ellir clywed yr Offeiriad, angenrhaid y bydd ei holl waith yn ddiadeiladol i'r gwrandawyr. Nid digon ychwaith eu bod yn gallu ei glywed; ond dylent *yn rhwydd ac yn hawdd* wneuthur hyny: canys, pan na ellir ei glywed heb yr astudrwydd a'r gofal mwyaf, y mae blinder yn fuan yn dal y corph, yr hwn, o herwydd yr undeb agos a dirgelaidd rhyngddo a'r ysbryd, a analluoga 'r dyn rhag cael ordinhadau y cyssegr yn borfeydd gwelltog, ac yn ddyfroedd tawel, er adfywiad ei enaid. Os "ffydd sydd trwy glywed," dylai cynnrychiolwr Angel y Cyfammod "ddyrchafu ei lais fel udgorn" wrth daranu bygythion y ddeddf, a thraethu gwahoddiadau ac addewidion yr efengyl, fel y gallo "pob un sydd ganddo glustiau glywed." Cyn dechreu o'n Harglwydd ei bregeth ar y mynydd, dywedir iddo "agoryd ei enau"—ymadrodd, fel y dywed un esponiwr nodedig, "a arwydda neillduol symlrwydd, pwyll, ac *eglurder y llefarwr*, yn gystal a phwysfawrogrwydd yr hyn a lefarodd."* Dylai pob Gweinidog ei ddilyn yn hyn, a "myned a gwneuthur yr un modd."

3. I'r dyben o weinyddu er lles yn y cyssegr, cynghorai yr ysgrifenydd bawb sydd yn y swydd offeiriadol i fod *yn naturiol yn ei lais*. Nid oes dim yn fwy ffiaidd mewn Gweinidog na ffuant, na dim yn fwy dengar na'r symledd hwnw, yr hwn sydd mor addas i un nad oes iddo ryddid i wneuthur arddangosiad rhwysgfawr o'i dalentau, i beri clod iddo ei hun, ond fel cenhad awdurdodedig sydd i amlygu meddwl ac ewyllys Brenin tragywyddol y nefoedd i'r sawl a wrthryfelasant yn ei erbyn. Mae pob peth ffuantus rhagrithiol, neu mewn un modd yn annaturiol yn llywodraethiad ei lais, yn ffiaidd yn ngolwg pob dyn syml a gostyngedig—yn ei boeni yn ddirfawr—ac, yn hytrach na gwneuthur argraff daionus ar ei galon, yn peri tosturi a ffieiddiad ynddi. Y dull coegfalch hwn o reoli 'r llais sydd wael a dieffaith, yn lle 'r parabliad syml, diymffrostgar, grymus hwnw, yr hwn y mae gwir adnabyddiaeth o'r efengyl yn ei achosi.

4. Gellir sylwi yn y *pedwerydd lle*, fod llywodraethiad *doeth* o'r llais o fawr gynnorthwy tu ag at effeithioli gwasanaeth y cyssegr. Wrth y gair *doeth* yr ydys yn meddwl, nid yn unig fod y llais yn eglur a naturiol, *ond yn cael ei addasu at natur yr hyn a lefarir.* Nid oes dim yn effeithio mwy er cadw cynnulleidfa yn farwaidd a digyffro nag un-dôn, unrhywiaeth llais, yr unrhyw ddyrchafiad a gostyngiad o hono trwy bob rhan o'r addoliad. Nid yw y dull hwn o ddwyn ym mlaen wasanaeth crefyddol yn anghyffredinol: ond lle y mae yn cael ei ochelyd, cedwir i fynu ysbryd gwrandawgar y gynnulleidfa yn llawer amgenach. Barna yr awdwr fod y pwngc sydd dan sylw yn deilwng o'r ystyriaeth dyfnaf. Pan gyflwynir erfyniadau i Dduw, dylai 'r llais fod mewn tôn ymbilgar: pan ddarllenir rhanau addysgiadol o'r Ysgrythyr, dylai 'r llais fod y cyfryw a phan fyddo un yn ymddyddan am byngciau pwysig, pa rai sy'n dwyn y berthynas agosaf iddo ef a'i gymdeithion. Pan adroddir rhanau diolchgar o'r gair, dylai 'r llais gael ei ddyrchafu, a sain siriol a gorfol-

---

* Scott in loco.

eddus fod ynddo. Pan adroddir y bygythion, dylent gael eu llefaru mewn llais cyfatebol i'r arswydolrwydd sydd ynddynt; a phan mae gwahoddiadau Duw a'i addewidion yn cael eu cyhoeddi, dylai y llais dwys gael ei droi i un mwynaidd a thirion. Pan reolir y llais fel hyn yn ol ansawdd yr hyn a draddodir, ei fynych gyfnewidiadau ydynt foddion o newyddu astudrwydd y bobl, ac o roddi mwy o fywiogrwydd yn eu gwasanaeth crefyddol.

5. Dylai y Gweinidog a ewyllysiai fod o ddefnydd i'w wrandawwyr *fod yn gydradd â'u cyrhaeddiadau yn ei bregethau.* Dylai ymostwng i'w hamgyffred, a bod yn ddealladwy iddynt yn ei fater, ac yn ei ymadrodd. Dylai bregethu bob amser ar un o erthyglau sylfaenol yr efengyl, neu olrhain ei destun ato. Y pethau hyny sydd reidiol eu gwybod, eu credu, a'u teimlo, a ddylent yn wastadol fod baich ei gân: er y gall yn achlysurol esponio y pyngciau a elwir dihanfodol i iachawdwriaeth, ond ar yr un pryd ydynt o ddefnyddioldeb mawr er adeiladu ac addfedu y gwir Gristion. "Canys ni fernais i mi wybod dim yn eich plith, ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio."

Mae ar awdwr y llinellau hyn ofn dywedyd mwy, rhag iddo yn anghymmedrol ehangu ei fyrdraethawd; am hyny tyn at ddiwedd. Wrth ddibenu, dymuna wneuthur dau o sylwadau—1. Fod yr hyn a ddywedwyd yn perthyn i wasanaeth yr Eglwys ar y Sabboth yn unig, o herwydd fod pob gwasanaeth pennodol o'i heiddo o hono ei hun yn destun digonol i draethawd tra helaeth.—2. Bod y moddion a grybwyllwyd i gael eu hystyried *yn unig fel moddion*—eu defnyddio fel y cyfryw—a'u cyfrif yn llwyr aneffeithiol, ond yn ol y mesur y rhynga bodd i'r Arglwydd eu bendithio a'u llwyddo. Ammhossibl bod y gwirioneddau hyn yn rhy aml ac yn rhy rymus yn ein coffadwriaeth—fod y moddion ordeiniedig i gael eu defnyddio yn barhaus a chydwybodol—ond nad yw y defnydd a wneir o honynt, heb fendith gydfynedol yr Ysbryd Glân, yn ddigonol i ddihuno un gydwybod, cyrhaedd un galon, ac i chwanegu un enaid at eglwys Crist. Nid ym i sylfaenu ein dysgwyliad am lwyddiant oddiwrth y moddion ar unrhyw rinwedd sydd yn y moddion eu hunain, ond ar y cyssylltiad pen-arglwyddiaethol a grasol a sefydlwyd gan Ben yr eglwys rhwng ymdriniaeth gydwybodol o honynt a'r llwyddiant ysbrydol hwnw, yr hwn y mae pob Gweinidog ffyddlon yn hiraethu am ei weled. Mae Paul yn plannu, mae Apolos yn dyfrhâu; *ond Duw sydd yn rhoddi y cynnydd.* "A rhai o honynt —— a lefarasant wrth y Groegiaid, gan bregethu yr Arglwydd Iesu. A llaw yr Arglwydd oedd gyda hwynt;" ac am hyny "nifer mawr a gredodd, ac a drodd at yr Arglwydd." *Act.* 11. 20, 21.

OFF. AB.

---

SYLWADAU AR HEB. ii. 3.

"Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?"

Y MAE y geiriau hyn yn gosod o'n blaen ni oll, ymofyniad o ddirfawr bwys a mawredd; mewn cymhariaeth â'r hwn y mae pob holiad arall, a phob rhyw wrthddrych arall, yn llai na "mân lwch y clorianau." Tra y teimlom ein hunain yn greaduriaid marwol a cholledig, bywydau y rhai sydd ond megys tarth, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu. A oes neb o honom yn oerllyd yn ein teimladau, heb un amser yn ddifrifol holi ein hunain a gofyn, Pa beth a fydd ein

athan pan fyddom farw? Pa fath fydd ein cyflwr yn y byd tragywyddol sydd ar ddyfod, i'r hwn y symudir ni cyn bo hir? A oes neb o ddarllenwyr y Gwyliedydd wedi bod yn ofalus ynghylch "llawer o bethau" y bywyd hwn, eithr yn esgeuluso yr "un peth angenrheidiol"—gofal eich eneidiau anfarwol—yr iachawdwriaeth fawr, yr hon a gynnygir yn rhad i chwi yn Nghrist Iesu?

Fy narllenwyr, yr wyf yn erfyn arnoch ddal sylw neillduol, tra yr ymdrechaf, gyda bendith Duw, i egluro ac i gymhwyso at eich calonau yr ymofyniad dwfn a thra phwysfawr hwn o eiddo yr apostol.

Yr Ysgrythyrau Sanctaidd, y rhai yn unig ydynt yn abl i'n gwneud yn ddoeth i iechydwriaeth, trwy ffydd yr hon sydd yn Nghrist Iesu, ydynt yn llawn o addewidion a bygythion: y naill i beri gobaith yn yr enaid, a'r llall i gyffroi ei ofnau. Fel hyn y mae 'r apostol, yn y rhan yma o air Duw, gan fod yn ofalus i annog yr Hebreaid i ddiwydrwydd ac amynedd yn eu galwedigaeth Gristionogol, yn adgofio iddynt, mewn modd nerthol a pharchus, y barnedigaethau dychrynllyd a syrthiasent ar eu cenedl ddigred ac anufudd gynt yn yr anialwch. Y mae 'r apostol hefyd (gwedi iddo yn y bennod flaenorol osod ger bron ei ddisgyblion Hebreaidd ddwyfol *garacter* a chenadwri Iesu Grist, a threfn ryfeddol ein prynedigaeth trwyddo ef) yn myned y'mlaen yn y geiriau hyn—"Am hyny y mae yn rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom, rhag un amser i ni eu gollwng hwy i golli. Canys os bu gadarn y gair a lefarwyd trwy angylion, ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth; pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint, yr hon, wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd?" &c.

Ysgrifenwyd y pethau hyn er mwyn ein hathrawiaeth a'n haddysg ni, "ar y rhai y daeth terfynau yr oesoedd." "I chwi y danfonwyd gair yr iachawdwriaeth hon." Yr ydym yn mwynhau yr efengyl, gyd â'i holl fendithion a'i rhagorfreintiau annhraethadwy. Yr ydym ni yn byw tan ei goleuni mwyaf dysglaer. Cyfododd yn wir arnom ni "Haul Cyfiawnder, gyda meddyginiaeth yn ei esgyll." Ni's caniateir i ni hòni un esgus am anwybodaeth tra y cynnygir moddion dysgeidiaeth yn helaeth i bawb. Y mae Crist, a'r ffordd o iachawdwriaeth trwyddo ef, yn cael ei eglurhau i ni yn nghynnulleidfa y saint ar bob dydd Sabbath; ac y mae Duw yn ein harwain ni (fel ag y gwnaeth i'w blant gynt) trwy ein pererindod o brofiad erbyn tragywyddoldeb, i'n profi ni, ac i wybod pa beth sydd yn ein calonau; pa un a dderbyniwn neu a wrthodwn ni yr iachawdwriaeth fawr a gynnygir i ni. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?"

Oddiwrth y geiriau pwysfawr hyn, y mae yn deilliaw yn naturiol yr ystyriaethau canlynol; a rhodded Duw ras i ni sylwi arnynt fel ag y dylem.

I. Mawredd yr iachawdwriaeth, ynghylch yr hon y llefara yr apostol.

II. Pa bryd y gellir dywedyd ein bod ni yn ei hesgeuluso; a phaham y gwnawn felly.

III. Y mawr berygl o'r fath ymddygiad, ynghyd â'r fendith fawr, ar y llaw arall, o'i derbyn yn ffyddlawn.

I. Mawredd yr iachawdwriaeth a gynnygir: a gellir ei golygu mewn perthynas i'w Hawdwr—y moddion a arferwyd i'w chwblhau—ynghyd â natur a dyben yr iachawdwriaeth ei hun.

1. Mewn perthynas i'r Awdwr.

A hwn, ddarllenwyr (fel yr ydych bawb yn barod i gyfaddef) nid ydyw ddim llai na Christ Iesu, unig Fab y byth fendigedig Dduw.

Rhai a gyfrifant Grist ond yn unig megys mab Joseph a Mair, gan edrych arno megys rhyw ddysgawdwr moesol, ond ychydig uwchlaw Moses a Paul. Gobeithiaf yn hyderus eich bod chwi o wahanol feddwl. Credaf nad oes neb o honom (pa fath bynag ydym mewn pethau ereill) yr hwn ni addef y byddai yn golledig, pe bai ei dderbyniad neu ei wrthodiad gan Dduw yn ymorphwys ar ei haeddiant ei hun. Yr wyf yn sicr, fy narllenwyr, y gallwn oll weled yn Nghrist, nid yn unig Mab dyn, eithr hefyd Mab Duw: "Yr hwn oedd yn y dechreuad yn Dduw, a chyda Duw." Nid dyn yn unig, fel Moses a'r prophwydi, ond y cyfryw, yr hwn yr ysgrifenodd Moses a'r prophwydi am dano: a'i ddyfodiad yn y cnawd a ragfynegwyd yn yr amseroedd cyntaf, ac a ddysgwyliwyd gan holl ffyddlawn bobl Dduw.——Tra mawr, gan hyny, yn y modd yma, ydyw yr iachawdwriaeth a gynnygir i ni, os ystyriwn hi mewn perthynas i'w Hawdwr.

2. Y mae hi hefyd yn fawr, os edrychwn ar y moddion, trwy ba rai y cwblhawyd hi. Y doethineb dwyfol a luniodd ein prynedigaeth: a pho mwyaf y myfyriom arno gyd âg ysbryd Cristionogol, mwyaf y teimlwn ac yr addefwn ei fod yn egluro a mawrygu holl briodoliaethau Duw.

Pan syrthiodd dyn yn wirfoddol, gan wneuthur ei hun yn agored i ddrygau aneirif, ac yn ddiweddaf oll, i angeu amserol a thragywyddol, Duw a drugarhaodd wrth ei greadur annedwydd, ac ni's bwriodd ef ymaith am byth. Yn nghanol barn, efe a gofiodd drugaredd: a'n rhieni cyntaf, ar amser eu cwymp, a gysurwyd trwy yr addewid, "y gwnai Had y wraig ysigo pen y sarph. Dyma sylfaen yr holl addewidion a'r prophwydoliaethau ereill ynghylch y Messiah, y rhai a amlygwyd yn raddol hyd y cyhoeddodd lluaws o lu nefol "gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Wele, fy narllenwyr, y bendigedig Iachawdwr, ar ol ei wir ddyfodiad yn y cnawd, yn dwyn ym mlaen ryfeddol drefn ein prynedigaeth. Canlynwch ef tros holl yspaid ei weinidogaeth, yn ei fywyd, ac yn ei farwolaeth. Edrychwch a myfyriwch ar ei wyrthiau: gwrandewch ar ei addysgiadau nefol: ac ufuddhewch iddo, yr hwn, yn ol addefiad ei elynion creulonaf, a lefarodd fel na lefarodd dyn erioed. Dilynwch ef trwy ei ing diweddaf, a'r holl ranau ereill o'i ddyoddefaint yn ngardd Gethsemane; hyd o'r diwedd, ar y pren melldigedig, y gallai ddywedyd, "Gorphenwyd." Ac yna, os credwch mai Mab Duw ydyw ef, wedi dyfod fel hyn yn y cnawd trosom ni, yn ddirmygedig ac yn ddiystyraf o'r gwyr; yn goddef y groes, a diystyru gwaradwydd; dywedwch, Onid ydyw *hon* yn wir yn iachawdwriaeth fawr!

Dygwch eich meddyliau, ddarllenwyr, at ei feddrod, gan edrych arno yn cyfodi oddiwrth y meirw; "blaenffrwyth y rhai a hunasant" yn ennill y fuddugoliaeth ar angeu a'r bedd, ac yn sierhau bywyd i'w holl ffyddlon bobl. Canfyddwch ef yn dyrchafu i'r uchelder, ac yn dychwelyd i fynwes ei Dad, gan "gaethiwo caethiwed, a derbyn rhoddion i ddynion, ie, i rai cyndyn hefyd, fel y preswyliai yr Arglwydd Dduw yn eu plith." Gwelwch ef ar ddeheulaw ei Dad, wedi ei "ddyrchafu yn Dywysog ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau;" gan wneuthur yn effeithiol y gwaith a gwblhaodd ar y ddaear, trwy

weinidogaeth y gair, a nerthol weithrediad ei Ysbryd; yn danfon i lawr yr Ysbryd Glân i galonau ei weision ffyddlawn; fel y gwneid hwynt "yn gymmwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni:" ac yna dywedwch, Oni ddylem ni gyfrif iachawdwriaeth a gwblhawyd trwy y fath foddion, yn iachawdwriaeth fawr a gogoneddus?

Ym mhellach, y mae hi yn iachawdwriaeth fawr, os ystyriwn ei dyben. Ar hyn, yr wyf yn gobeithio, nid rhaid ymhelaethu. Sylwaf yn unig ei bod yn gosod o'n blaen ddim llai na chyflawn brynedigaeth ein heneidiau a'n cyrph oddiwrth euogrwydd, gallu, a chanlyniadau pechod; ac adferiad drachefn i fwy o freintiau nag a gollodd dyn trwy gwymp Adda. Y mae yn sicrhau i ni heddwch a maddeuant gyda Duw; mabwysiad i'w deulu; adnewyddiad yr enaid i sancteiddrwydd, dedwyddwch, a mwynhad ysbrydol. Y mae hi hefyd yn agor "teyrnas nef i bawb a gredant," ac yn rhoddi iddynt yma ar y ddaear sicrhad o etifeddiaeth anllygredig a dihalogedig, a diddiflanedig, ac y'nghadw yn y nefoedd iddynt hwy. Dyma yr iachawdwriaeth fawr a osoda yr efengyl o'n blaen; mor bwysfawr i ni oll, mor gymmwys i'n hangenrheidiau, ac mor llesol i'n gwrthddrychau goreu, fel y mae yn achos o ryfeddod paham y dirmyga cymmaint o bobl hi, pan y cynnygir hi iddynt. Etto gwelwn fod y fath ddynion yn y byd, er mawr waradwydd iddynt, ie, a gormodedd o'r cyfryw, hyd yn oed ym mhlith y sawl a alwant eu hunain yn Gristionogion.

II. Ystyriwn, yn fyr, pa bryd yr esgeulusa pobl iachawdwriaeth, a phaham y gwnant felly. Y mae yn amlwg fod y rhai a'i hanghredant yn ei *hesgeuluso.* Ac och! onid yw hyn yn cynnwys llawer mwy o Gristionogion allanol, nag a feddyliasom ni ar y cyntaf? Gan adael heibio y fath ag ydynt anghredinwŷr cyhoeddus, eglur yw, na's gwna byth yr hunan gyfiawn, a'r balch, y rhai a ymddiriedant mewn unrhyw fodd ynddynt eu hunain am iachawdwriaeth—na's gwnant byth, meddaf, edrych i fynu at Grist i'r cyfryw ddyben. "Y rhai iach," ebe Crist ei hun, "nid rhaid iddynt wrth feddyg, ond y rhai cleifion." Hyd onis gwelwn ac y teimlwn ein clefyd, ni's gallwn ddymuned o'r galon y feddyginiaeth. Ni's cofleidia neb Grist fel Iachawdwr, yn wirioneddol, cyn y gwybydd ei fod yn hollol golledig hebddo; ac nad oes un ffordd arall o ddiangfa neu waredigaeth.

Yr ydym yn esgeuluso yr iachawdwriaeth fawr hon, pan fyddom yn byw yn anghytun â hi. Y mae llawer o bobl, y rhai à gymmerasant, nid yn unig yr enw o Gristionogion, ond hefyd a ddeallant i radd mawr yr efengyl; ond etto y maent yn bucheddu yn groes i'w daliadau, ac yn attal y gwirionedd mewn anghyfiawnder. Y fath ddynion ydynt yn anghofio, mai dyben penaf yr efengyl oedd rhyddhâu ei chanlynwyr oddiwrth lywodraeth a gallu, ac nid yn unig oddiwrth euogrwydd pechod: canys pa beth yw 'r olaf heblaw y cyntaf. Y maent yn anghofio i Grist Iesu roddi ei hun drosom ni, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i buro iddo ei hun bobl briodol, awyddus i weithredoedd da. Efe a ddaeth i'r byd i achub ei bobl *oddiwrth* eu pechodau, ac nid *yn* eu pechodau, fel yr arosent ynddynt: canys ni bydd ddim lesâd i ni ei alw Arglwydd, Arglwydd, os ymollyngwn ein hunain i unrhyw dymher neu weithred bechadurus.

Ym mhellach, y mae yn ddiammeu fod pobl yn esgeuluso yr iachawdwriaeth fawr hon, pa bryd bynag y goddefant i bethau y byd,

ei ofalon, ei erchwylion, neu ei bleserau, hyd yn nod ei alwedigaethau cyfreithlon, berchenogi eu meddyliau a'u hamser, a chau allan y pethau mwy pwysfawr a berthynant i'r fuchedd anfarwol. Yn hyn y saif yr enbydrwydd mawr sydd o'n blaen. Y mae bywyd wedi ei dreulio mewn difyrwch, enawddlrwydd, ac hunan fwynhâd, neu ormodedd o ofalon bydol, yn sicr o dywyllu y deall, a chaledu y galon yn erbyn gwrthddrychau gwell. Yn y fath gyflwr y mae dynion yn dirmygu ac yn gwawdio pob math o grefydd ddifrifol. Y maent yn myned allan i'w ffyrdd eu hunain, "un i'w faes, ac arall i'w fasnach." Ni's medr hwn ymadael â'i Herodias; a'r llall, fel Ffelix, a oedd glywed geiriau y bywyd, hyd oni ddel amser mwy cyfaddas, yr hwn ni's gwel byth: un fe allai a gafodd ryw argyhoeddiadau bychain, neu, hyd yn nod megys Agrippa, a enillwyd "o fewn ychydig i fod yn Gristion;" ac un arall, fel y gwr ieuangc goludog, a â ymaith yn drist, pan y gofynir iddo, er mwyn Crist a'r efengyl, roddi i fynu ei feddiannau. Gallwn yr awr hon wrando neu beidio; y mae yn gorphwys ar ein dewisiad ein hunain. Megys na's cauir neb allan o'r nef trwy drefniad anwrthwynebol yr Hollalluog, felly, ni's cynhellir trwy drais neb i fyned i mewn yno: ond os gwir yw yr efengyl, y mae y pethau mwyaf pwysfawr, y mae tragywyddoldeb ei hun, yn sefyll ar eich ymddygiad yn y bywyd presennol.

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

---

## Y NOS.

Ar ddyfodiad y nos, yr olygfa brydferth sydd ar y ddaearen o'n hamgylch a orchuddir â lleni y tywyllwch, a chan nad yw goleuni yr haul yn llewyrchu mwyach arni, mae ei holl hyfrydwch wedi diflanu. Mae 'r dydd wedi cilio, a'r olwg bresennol sydd dawel a sanctaidd. Mae 'r awyr ddulas yn ymddysgleirio â miloedd o fydoedd yn ymdroi yn yr ehangder maith, y rhai sydd heb na swn na llais yn mynegu mawredd a gogoniant anhhraethadwy y Creawdwr. Mae pob peth yn ddistaw, nid oes dim i dori ar nac i rwystro myfyrdodau yr hwn sydd yn sylwi ar y nefoedd serenog,: mae yn sylldremu ar gyfansoddau *(systems)* amrifeiriol rhyfeddol weithredoedd Duw, a chan adael heibio bethau daearol, mae yn ymgolli mewn meddyliau uchel a dyrchafedig am y Bod anfeidrol a greodd ac sydd yn cynnal y cwbl trwy air ei nerth. Mae llawer peth sydd yn haeddu eu cofio yn sancteiddio y nos. *Liw nos*, pan ydoedd y bugeiliaid yn gwylio eu praidd ar wastadedd Bethlehem, y disgynodd yr angel â'r newydd fod Iachawdwr wedi ei eni, a lliaws o lu nefol, â chaniadau gorfoleddus, a lefasant â llef uchel, ".Ewyllys da i ddynion." Yn oriau *oerllyd y nos* hefyd yr aeth yr Iesu bendigedig i'r mynyddoedd; a thra yr oedd "gan y llwynogod ffauau, ac adar y nefoedd nythod, nid oedd ganddo *Ef* le i roi ei ben i lawr:" ond, ac efe yn unig, ac mewn tywyllwch, a weddïodd ac a ymdrechodd i ddwyn yn mlaen ein hiechydwriaeth. *Liw nos*, pan oedd cysgod y lloer a'r dysglaer syr yn adlewyrchu ar afon Cedron, y crwydrodd ein Hiachawdwr gyd â'i ddisgyblion; a'r pryd hyny y bradychwyd ef i ddwylaw pechaduriaid, i ddyoddef angeu creulon a gwaradwyddus y groes trosom ni; ac nid oedd cysgodau yr hwyr wedi myned heibio cyn i belydr haul y dydd cyntaf o'r wythnos ymddangos, pan ddisgynodd y cennad dysglaer o'r nef, rhag ofn yr hwn y crynodd y milwyr, ac yr aethant megys dynion meirwon, ac y cyfododd yr Iachawdwr buddugol-

faethus o'r bedd mewn gogoniant. Mae'r *nos* hefyd yn hyfryd i'r galarwyr. Nid yw twrf a thrwst y dydd yn cytuno â'u tristwch. Cyfarfyddant *olwg oerllyd* y diofal a'r dideimlad, a hiraethant am amser llonydd a distaw. A phan ddelo y *nos* yn ei thawelwch dangnefeddus, pan na byddo llygad neb arnynt ond llygad eu Tad nefol, mae eu meddyliau yn ymddyrchafu i fyd yr ysbrydoedd. Yno mae llygaid ffydd yn craffu ar y rhai "a olchasant eu gynau, ac a'u canasant y'ngwaed yr Oen," ac ar yr angelion sydd bob amser yn gwasanaethu o flaen yr orsedd. Yno maent yn wrando ar bêr ganiadau tragywyddoldeb; ac wedi eu llenwi â myfyrdodau nefol, y maent yn gadael heibio y bedysawd disylw hwn, ynghyd â'i holl helbulon diflanedig. Hwy a wyddant y bydd "i'w byr ysgafn gystudd weithredu iddynt dragywyddol bwys gogoniant," ac y maent yn bendithio y llaw a'u clwyfodd, a'r tristwch a ddiddyfnodd ac a ennillodd eu serchiadau oddiwrth y ddaear. Yn nhawelwch tangnefeddus y *nos*, hyfryd yw meddwl fod y rhai oeddynt fwyaf anwyl genym, fe allai, yn edrych i lawr o'u heisteddfäau gwynfydedig ar bererinion sy'n teithio yn gyflym trwy anialwch dyryslyd, a theimlo cadwyn anweledig yn ein cydio â byd yr ysbrydoedd, a'r rhïeni a'r cyfeillion a'n rhagflaenasant. Ond hyfrytach, llawer hyfrytach, yw dychymmygu eu gweled *hwynt* yn ymgrymu ger bron gorsedd Duw, a'r Duw hwnw yn ein cyfarwyddo *ni* trwy ei allu a'i ddoethineb anfeidrol. Yna yr ydym yn teimlo na's gadawsant ni yn amddifad, ond fod genym well Tad, a gwell cyfaill; ac, yn lle galaru o herwydd ein colled ein hunain, llawenhau yn eu gwynfydedigrwydd hwynt: oblegid y porth sydd yn arwain i nefoedd y gogoniant yw angeu i'r Cristion. Mae ei Iachawdwr wedi *goleuo* y bedd iddo ef, wedi goreuro y glyn tywyll, a phrynu iddo lawenydd tragywyddol; ac y mae efe gyda hyfrydwch yn myned i bresenoldeb Brenhin y brenhinoedd, ac yn bwrw ei goron i lawr wrth ei draed ef, yr hwn a fu farw fel yr ennillai y fath happusrwydd anghydmarol iddo. Ond anaml iawn y mae ein meddyliau yn addas i'r fath fyfyrdodau a'r rhai hyn. Pa mor aml yr ydym yn anghofio llaw Duw, yn myned y'mlaen gan ryfeddu at ei weithredoedd, ac anghofio yr hwn a'u gwnaeth. O tydi yr hwn a beraist o'r dechreuad i'r goleuni lewyrchu allan o dywyllwch, llewyrcha felly yn ein calonau tywyll ni, fel y caffom ein tywys gan harddwch rhyfeddol dy greadigaeth faith, i'th garu, ac i'th ofni, nes y cyrhaeddom y byd gwynfydedig hwnw, lle cawn dy weled, nid trwy gyfryngau dy weithredoedd a'th ryfeddodau ar y ddaear, ond wyneb yn wyneb, heb len na chwmwl rhyngom dros oesoedd diddiwedd a thragywyddol. Amen.

CELYNIN.

---

## Y FENDITH RAGORAF.

Pa un yw y fendith ragoraf? Gofyniad yw hwn sydd âg atebion afrifed iddo, a'r rhai hyny yn dra gwahanol i'w gilydd. Y mae dyn yn dueddol i ddymuno yr hyn sy gyferbyniol i'w feddiant presennol, ac i osod ei holl obaith am ddedwyddwch ar y fendith sydd wrthgyferbyniol i'w amgylchiad.

Er egluro hyn, edrychwn ym mlaenaf ar y claf. Awn ato, a gofynwn iddo, pa un yw y fendith ragoraf? Ei ateb ef yw, *Iechyd.* Diameu fod iechyd yn rhan fawr o ddedwyddwch dynol, ac, "heb iechyd baich yw bywyd." Heb iechyd mae cyfoeth heb feddiant hyfrydwch, mae cymdeithas yn myned yn faich, mae pob danteith-

ion yn colli eu blas, a phob difyrwch teimlad yn cilio draw; gan hyny rhaid i ni gydnabod iechyd yn fendith ragorol a gwerthfawr.

Eilwaith, pe gofynem yr un holiad i'r caeth a'r rhwym, caem ateb parod ganddo, mai *rhyddid* yw y fendith oruchaf. Gwir yw fod rhyddid yn ammhrisiadwy, a phwy a all ddywedyd ei werth? Heb ryddid y mae dyn yn cael ei amddifadu o ymarfer yn ol tuedd ei gydwybod, a gogwydd ei ewyllys: y mae yn cael ei dori ymaith oddiwrth geraint a chyfeillion; ei gau allan o gymdeithas, oddigerth eiddo y rhai gwaelaf a mwyaf llygredig; a'i attal o hyfrydwch awyr y nef, ac o rydd ddefnydd o'i aelodau, &c. nid rhyfedd gan hyny fod y truan caeth yn ei chyfrif yr oreu o fendithion.

Etto, pe baem yn appelio at yr anghenusion tlodion, y cardotiaid llymion, y sydd â'u bwyd-gelloedd yn weigion, a'u cefnau yn noethion, byddent oll o'r bron yn barod i ddywedyd mai *cyfoeth*, cyfoeth yw y penaf peth. Diau fod tlodi yn dra anghysurus, yn arwain i ing meddwl ac afiechyd, ac yn aml iawn yn gyru ei wrthddrych anobeithiol i gyflawni troseddau echrys er diwallu ei angen. Er hyny byddem bell o farnu mai helaethrwydd o gyfoeth yw y fendith ragoraf.

Trachefn, y mae y rhai hyny, y rhai trwy angeu neu anffodion a gollasant eu perthynasau a'u cyfeillion, yn barod i waeddi mai *cyfaill* yw y fendith ragoraf yn y fuchedd hon. Ac yn wir mae ganddynt amryw resymau o'u tu; o herwydd y mae cyfeillgarwch yn esmwythau y rhan fwyaf o ofalon, yn cynnyddu pob mwyniant, ac yn mwyhau pob cysur; meddyginiaeth bywyd ydyw: heblaw hyny, y mae ei bod yn fendith mor brin yn ei gwneud yn werthfawr iawn; nid mor hawdd ydyw cael gwir gyfaill. Os oedd y cyfaill hwn yn wr, neu yn wraig; yr oedd y golled o hono yn fwy gofidus a thrwm, fel y rhwyddgyfaddef y rhai a wybuant am felusder undeb rhwng y ddau ryw. Dymuna gydmar mewn llawenydd, a chysur mewn tristwch; mammaeth mewn afiechyd, a hyfrydwch ym mhob sefyllfa. Ond er mor hyfryd y fendith hon, ni chyfrifwn hi y ragoraf. Gallem fyned ym mlaen yn y llwybr hwn, a dywedyd am amryw bethau ereill a gyfrifir y bendithion rhagoraf gan y rhai amddifad o honynt, y rhai er hyny nad ydynt o gymhwysdra cyffredinol, nac o arosiad parhaol. Iechyd, rhyddid, cyfoeth, cyfeillgarwch, &c. y maent yn dda, yn ddymunol, a buddiol; etto nid ydynt ond bendithion neillduol, tymhorol, a chyfnewidiol. A wna cyfeillgarwch symud afiechyd, neu ryddid ddiwallu y newynog, neu gyfoeth attal marwolaeth? Y bendithion hyn ydynt neillduol yn eu haddasrwydd, ac anwadal yn eu parhad. Gan hyny trown ein golwg i Ysgrythyr y Gwirionedd, a chyfyngwn ein holiad i'r datguddiad dwyfol. Gwrandawn beth a ddywed Ysbryd Duw yw y fendith ragoraf. "Penaf peth yw doethineb." "Un peth sydd angenrheidiol." "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef." "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth." "Elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd." Yn awr, dyma y gofyniad pwysig wedi ei ateb. GWIR GREFYDD, *dyma* y fendith ragoraf; y mae yn fendith addas i bawb, ac yn fendith sier, arosol, a thragywyddol. Dyma fendith gydradd ei chymmwysder mewn iechyd ac afiechyd, mewn rhyddid a chaethiwed, mewn cyfoeth a thlodi, mewn cysur ac adfyd, mewn cymdeithas ac unigrwydd, mewn ieuengctid a henaint, mewn bywyd ac angeu. Y olaf, os bydd i hon ymweled â'i wely, ni theimla

ei afiechyd yn annyoddefol mwyach; y carcharor yn ei ddaeardy wedi cael meddiant o hon y mae yn dawel a diwgnach; y tlawd a'r anghenus, os caiff afael ar hon yn nghanol ei dlodi, fe waedda, Digon; yr amddifad wrth wylo am ei feirw, o dan ddylanwadau hon a deimla ei ruddiau yn sychu; yr henafgwr eiddil yn y meddiant o honi a gân er ei holl lloesgni; a'r trengedig drwy ei chysuron a wena ar angeu. Y mae gwerth pob bendith arall pan y cydmerir hi â chrefydd yn diflanu yn ddim; ac wrth ei mwynhau y mae pob bendith arall yn cael ei phrisio yn addas yn ei lle priodol. Pwy gan hyny na addef mai crefydd iawn yw y fendith ragoraf? Y mae wedi ei seilio ar heddwch â Duw; y mae yn cenhedlu boddlonrwydd, gostyngeiddrwydd, amynedd, a phob gras; y mae yn cymmeryd ymaith golyn trallod, ac yn ychwanegu hyfrydwch hawddfyd.

> O henffych it' Grefydd bur wyryf o fry,
> Y'ngwisg diniweidrwydd wyt ganaid a chu;
> Ac fel yr Ior grasol a roddodd it' fod
> Wyt wreiddyn pob cysur sydd wir dan y rhod.

A fynem ni gael meddiant o'r trysor cyfoethocaf, y perl sylweddolaf, y bri uchaf, y fraint benaf, yr elw cyflawnaf, a'r difyrwch melusaf, yna ymofynwn am grefydd. Ceisiwn nodded a ffafr y Goruchaf, llafuriwn am adnabyddiaeth o'r Ceidwad bendigedig, ymorphwyswn arno am fywyd ac iechydwriaeth, ymddiriedwn yn Nuw ym mhob amgylchiad, a byddwn ddyfal i rodio yn ffyrdd ei orchymynion, yna bydd i ni heddwch fel afon, a chyfiawnder fel tonau y môr; yna gallwn fawr lawenhau â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus; ac yna cawn syllu ar lyn tywyll cysgod angeu, ie, a rhodio trwyddo heb ofni niweid. Y mae crefydd yn dwyn ei gwobr ynddi ei hun; hi a ddwg ym mlaen ein llesâd tymhorol, ysprydol, a thragywyddol. Dyma ran dda, yr hon na ddygir oddi arnom. Pan y bydd y cybydd wedi colli ei holl gyfoeth, pan y bydd coronau wedi syrthio oddiar y penau oedd yn eu gwisgo, pan y bydd gwroniaid arswydlawn daear wedi eu caethiwo yn y beddrod; ie, pan y bydd creigiau yn malurio yn llwch, a mynyddau yn crynu hyd eu sylfeini; a phan na bydd i'r haul lewyrchu mwyach; a phan y bydd y ddaear ei hun wedi diflanu fel seren wibiog; yna bydd perchen crefydd yn ei meddiannu yn llon, a'i mwynhau yn ddiysgog; efe a orphwys, ac a saif yn ei ran yn niwedd y dyddiau.

Y rhai sydd yn amddifad o'r fendith hon, bydded iddynt ymofyn am dani gyd â'r awyddfryd penaf, yr egni mwyaf, a'r llafur manylaf: y mae pob bendith arall yn felldith i'r dyn sydd yn amddifad o'r brif fendith hon. Y rhai a'i cawsant, boed iddynt fawrygu Duw am dani, byw yn gysurus arni, cynnyddu yn llafurus ynddi, ymddwyn yn addas iddi, a gweddio dros y rhai sydd hebddi: a'i hawdwr a'i chyfranwr dwyfol a'i chwanego yn y byd, nes llenwi pob gwlad, pob ardal, a phob teulu, a gwneud holl dylwythau y ddaear yn fendigedigion yr Arglwydd. Amen.

CELFYDDYDD.

---

## DARLITH AR FWNAI, &c.

*(Parhâd o du dal. 344.)*

MAE ym mhob gwlad faelierawl dalben *(standard)*. Wrth *dalben* y meddylir rhyw brawf sefydledig o *rywbeth* i gydmaru y naill eiddo wrth eiddo arall: os bydd eisieu *hir*, cydmarent hyny ag a alwent *byr;* cydmarent yr hyn sy *drwm* â'r hyn a alwent *ysgafn*, &c.

Ond gwedi 'r cwbl, nid yw ein syniadau am *hyd* a *lled*, *byr* a *hir*, *&c.* ond tyb yn unig; am hyny da fyddai i ni holi, ar ba *sail*, neu wrth ba reol, y sefydlid talbenoedd. Pe gwerthid esgidiau am 5s. a hobed o wenith am *bunt*, byddai y gydmariaeth megys *un* i bedwar; ond cydmaru *arian* ag *arian* fyddai hyny. Gellir cydmaru *deg* hobed o wenith âg *ugain* hobed o wenith; ond cydmaru peth wrth y peth ei hun fyddai hyny etto: ond pa gydmariaeth a wneir rhwng *gwenith* a *brethyn*, *brethyn* a *haiarn*, *haiarn* ac *aur*, ac *arian*, *&c.* mae y peth yn annichonadwy, efelly, nid *gymmaint* yw rheol talben. Maera rhai dynion mai *llafur* yw y rheol; oblegid, meddant, "os ceir hobed o ŷd, a phwys o alcan, drwy yr un faint o lafur, bydd yr ŷd a'r alcan yr un gwerth." Os cywir hyna, y mae llwy *arian* mor werthfawr a llwy *aur*, am y cymmerai yr un faint o *lafur* i wneyd y naill a'r llall. Ym mhellach, pe na bai pwys o aur yn fwy ei werth na'r draul a'r drafferth i'w gael, ai y pwys hwnw i dalu am y *llafur*, heb ynnill i neb. Gall dyn medrus wneyd oriawr mewn *mis*, yr hon a gymmerai i arall *ddeufis*; ac os *llafur* yw rheol talben, byddai oriawr yr olaf yn werth *gymmaint arall* a'r cyntaf:— penderfynwn bellach, nad *llafur* yw sail talben. Ni's gall *aur* ac *arian* ychwaith fod yn sail talben; oblegid prynir a gwerthir hwynt, fel pethau ereill. Pryna yr *Amaeth* hwynt â'i *ŷd*, ei *gaws*, neu ei *anifeiliaid*—pryna y *pobydd* hwynt â'i *fara*—pryna y *crydd* hwynt â'i *archennau*—pryna y *garddwr* hwynt â'i *gloron*, ei *foron*, a'i *faip*—a phryna y *dyrnwr* hwynt â'i *lafur*; ie, sylwch, aml y prynir aur ac arian âg *aur* ac *arian* eu hunain, a rhoddir *mwy* gan y naill am gael *llai* o honynt gan y llall. Er dangos, rhoddir, efallai, *bwys* o sylltau o ran trymder, am gwpan arian hanner pwys o ran trymder: "Ie," meddwch chwi, "yr oedd gwaith a llafur ar y gwpan yn atebawl i hanner pwys o arian." Wele, onid oedd llafur ar yr arian a roddid am y gwpan—llafur wrth *gloddio* am y mwn, ei *godi*, ei *gludaw*, ei *doddi*, ei *buro*, ei *ddarnio*, ei *fathu*, ei *gaboli*, *&c.* erbyn hyn, nid *llafur* oedd yr achos. Mi adwaen i wr a gafodd *bum gini* am hen *hanner coron*; efelly yn cael 42 y swm am un darn o'r un fath fettel—a'r syndod yw, bod y *prynwr* a'r *gwerthwr* yn cael cyflawn werth yr *arian*.

Er hir a manwl geisio, ymddengys i fi, na's gellir penderfynu neu sefydlu unrhyw beth, nac un reol neillduol, yn dalben arbenig mewn maelieraeth; canys y mae pob peth yn anwadal a chyfnewidiol. Mae aur ac arian yn cyfnewid yn ol prinder a llawnder yr hyn y bydd angen dyn am dano. Un amser rhoddir saith geiniog am dorth o fara, amser arall rhaid rhoddi swllt am dani—cig yn chwecheiniog y pwys, ni cheir weithiau heb swllt a thair ceiniog. *Llawnder* a *phrinder* a wna bethau gwerthfawr yn ddiwerth, a phethau diwerth yn werthfawr. Beth sydd mor *ddiwerth* a *dwr* lle bo *llawnder* o hono? a beth sydd *gymmaint* ei werth yn anial cras Arabia, lle mae *prinder* o hono? Prinaf y byddo anhebgorion dynion, mwyaf o arian a geir am danynt; ac os bydd arian yn brin, rhoddir mwy o nwyddau am danynt! Yr wyf fi yn cofio rhoddi swllt ac wyth ceiniog am dorth pan oedd prin yr ŷd. Amser pell yn ol, gellid cael dafad am bedwar swllt; ond, yn ein hamser ni, rhaid rhoddi, efallai, ddwy bunt am un. "O," meddai rhywun, "yr oedd defaid un ai *rhad* iawn yn y dyddiau gynt, neu *ddrud* iawn yn ein dyddiau ni." Na, nid felly; yr oedd *prinder* arian yn y dyddiau gynt yn gwneyd y ddafad mor *ddrud* am bedwar

swllt ag y mae *llawnder* o honynt yn ein dyddiau ni yn ei gwneyd yn rhad am ddwy bunt; neu, mewn geiriau ereill, yr oedd pedwar swllt yn y dyddiau gynt yn prynu cymmaint o bethau ag y gwna dwy bunt yn ein dyddiau ni.—Heblaw hyny, nid oes y fath beth a *rhad* a *drud* mewn maelieraeth; oanys proffesom yn ein darlith olaf (gwel SEREN GOMER, Cyf. XII. tu dal. 270.) mai gwerth *pob peth* yw yr hyn a geir am dano mewn cyfnewid.

O ran defnyddioldeb a *lles*, byddai 20 pwys o haiarn yn fwy ei werth nag 20 pwys o aur; ac etto, ceir âg ugain pwys o aur 112,800 pwysi o haiarn. Gwneir o haiarn *rawiau*, *crymanau*, *cleddyfau*, *llifiau*, *trosolion*, *mwrthoelion*, *pladuriau*, *bwyill*, *hoelion*, *cyllill a ffyrch*, a *mil* o bethau ereill na's gellid eu gwneyd o aur; heb haiarn ni's gallem gael un mwn yn y byd, ond yn brin iawn; a phe byddai haiarn mor brin ag *aur*, byddai fil gwerthfawrocach nag aur.

Mae *pwys o gig*, o ran ei effeithiau iachusol, yn fwy ei werth na *phwys o aur*, ac etto ceir llawer *pwys o gig* am UN *pwys o aur*. Onid rhyfedd gweled dyn yn y farchnad yn gwerthu *buwch* neu *lo* am bethau y mae pob darn o'r anifeiliaid, ond o faint *ceiniog*, yn fwy o wir les na'r holl glytiau delid a dderbyniai am danynt. Gwelwch y dyn yn *llygadu* ac yn *gwenu* ar y darnau melyn neu wyn; ac yna yn eu *troi*, yn eu *tresi*, eu *llogellu*, ac yn eu *tincian*. Un arall yn ymadael â chlampo geffyl am ychydig ddarnau o'r un fath bethau; ie, pethau a gafid ychydig amser yn ol mewn llaid a thom dan draed yn y ddaear, mal y gwedodd *George Herbert*—yr hen Gymro hwn a aned yn agos i Drefaldwyn, yn y fl. 1593—a'r Bardd godidocaf, a bygaf, a ddaeth erioed o wlad yr awen—mewn Cywydd ar *Gybydd-dod*, dyweda y geiriau hyn:—

"Money, thou bane of bliss, and source of woe,
Whence cam'st thou, that thou 'rt so fresh and fine?
I know, thy parentage is base and low;
Man found thee, poor and dirty, in a mine.

Then forcing thee, by fire he made thee bright;
Nay, thou hast got the face of man: for we
Have with our stamp and seal transferr'd our right;
Thou art the man, and man but dross to thee."

Ym mhellach, ni's gall *aur* ac *arian* fel y cyfryw, gyfranu dim at gynnaliaeth na dedwyddwch dyn: am na threfnid hwynt i ddiwallu un o eisieu rheidiol: brodoriaeth sydd yn dodi gwerth arnynt, drwy fod y naill ddyn yn eu derbyn gan y llall mewn cyfnewid am ei eiddo: ac ni phery y gwerth hwnw a roddir arnynt ddim hŵy nag y ceir â hwynt bethau llesol ac angenrheidiol i ddyn.

Dywedir fod mwnai yn arddangosiad o lafur a chyfoeth—y maent felly; ond arddangosiad trwy *awdurdod* yw: mae digon o *ŷd* ac *anifeiliaid breision*, yn ol fy nhyb i, yn llawer gwell arddangosiad. Pa fodd y daeth pawb, dros y byd moesol, i ddodi y fath werth ar *aur* ac *arian*, sydd fwy nag a allaf amgyffred: a rhaid i mi gyfaddef fy anwybodaeth mewn llawer o bethau perthynol iddynt;—dyna un peth, dyn yn gweithio mewn mwyngloddd arian, a hwnw yn cael tâl yn y *pethau* y llafuria am danynt: dywedaf etto, dyn yn gweithio am arian i'w *feistr*, a'i *feistr* yn talu iddo ei gyflog gyd â'r un arian a roddodd y gweithiwr iddo: mae rhyw afresymoldeb a ffolineb mawr yn ymddangos yn hyn. Os bydd gan ddyn *dir*, *tai*, *anifeiliaid*, *ŷd*, neu amryw beth, neu bethau, tu ag at eisieu dyn, cyfrifir y dyn hwnw yn *gyfoethog*; nid am ei fod yn meddu *tir*, *tai*, *&c*. ond, am fod y pethau hyny, fel y gwedent, yn werth hyn a hyn o *fwnai*.

Ond pe llefarem am fis am *aur, arian*, a *mwnai*, rhaid i ni ddyfod at y penderfyniad hyn, nad ydynt dda i ddim, mwy na cherig yr heol, ond fel offerynau a fernid gan frodoriaeth i *rwyddhau* cyfnewidiad y naill beth am y llall; ac nad yw eu *pwys* a'u *purdeb* sefydledig yn unig ond trwy *raith* neu *arferiad*.

Pe byddai gan ddyn dunelli o honynt mewn anialwch gwag o ymborth, trenga yn eu canol: a phe byddai gan ddyn dunelli o honynt mewn gwlad lawn o ymborth, ni byddent o un lles iddo, nes eu gwario. Ni's gallent fod o les iddo *cyn eu cael*—ac ni's gallent fod o les iddo wrth eu *cadw*, na gwedi ymadael â hwynt; ond WRTH, neu yn y WEITHRED o ymadaw â hwynt, y maent werthfawr. Os yw hyny gywir, nad yw mwnai o ddefnydd yn y byd wrth eu cadw—gwell i bawb eu meddant eu gwariaw gynted ag y gellir. "O," meddi di, "onid yw mwnai wrth ymyl dyn, yn barod i ni gael â hwynt yr hyn a ewyllysiem?" Wele, pa a wnai os na bydd yr hyn a ewyllysiem i'w gael? ac os bydd i'w gael, rhaid i ti ymadaw â hwynt am dano, ac efelly, dyna ti yn eu *gwariaw* am ryw beth o les. Nid anghymmwys, efallai, fyddai gwedyd mai ystyr y gair *golud* yn Ebryw yw *trwm;* ac, yn wir, *trwm* iawn ydyw: mae o yn drwm o ran pwysau—*trwm* yr helbul a'r drafferth i'w *geisio*—*trwm* y *gofal* i'w *gadw*—*trwm* yr *ofn* rhag ei *golli*—a *thrwm* wedi *ymadaw* âg ef. Nid ein dyben yw ymhelaethu ar effeithiau *da* a *drwg* sydd yn dilynu aur ac arian—byddai hyny yn ddigon o destun i ddarlith arall; ond dywedwn hyn:—Yn ein dyddiau ni edrychir ar ddyn yn ei bethau *goraf*, ynghyd â'i bethau *gwaethaf*, yn ol ei arian. Wfft! yr ymgapio a'r ymgrymu sydd i ddyn â llawer o arian ganddo; ond am ddyn heb ddim, ni *welir* mo hwnw, ac ni *chlywir* mo hono ychwaith: mewn rhyw ystyr, gwna arian y *ffol* yn *ddoeth*, a'r *lleidr* yn *onest;* rhyfedd, meddaf, y mwstwr a'r dyfiegi sydd bob amser ym mhob man am yr arian, fel y gwedodd yr hen *Dwm o'r Nant* gynt, ar fater arall—

> "Os bydd aur ac arian yn eu hawl,
> Priodent y diawl ei hunan."

Mae y byd, fel rhyw *dwr mawr o fynwion*, yn fyw i gyd am arian: Gallai arian fod mor hawdd eu cael a *choed* neu *gerig;* a meddwl yr wyf bod rhyw ddyben doeth gan yr hwn a'u creodd, wrth eu cuddio yn y ddaear.

Yn gyntaf, Efallai i ddangos y dylem eu cyfrif ond megys pethau *uflan, gwael, dan draed.*

Yn ail, I ddangos na ddylid eu *serchi*, na *rhythu gormod* arnynt.

Ond y peth rhyfeddaf a wn i am dano yw, bod dynion yn eu *haddoli*. Y ddangoseb gryfaf a ellid ei hadrodd am gariad at arian, yw hono am y cybydd annedwydd hwnw, *Judas Iscariot*, yr hwn ffer yn ei fwriad a gollodd ei *gorph* a'i *enaid* yn eu hachos:—geiriau gadarus a wedodd rhywun am dano fel hyn—

> "O cursed love of *gold*, who for thy sake
> The wretch gave up his interest in both
> worlds,
> First hanged in this, and damn'd in that
> to come."

> "Och! gariad rheg at aur; hwn erot ti,
> Y truan collai hawl y ddeufyd; crog
> Yn un, a melltigedig yn y llall.

Gadawn aur ac arian bellach, gyda âg adrodd y geiriau nesaf.

> A man in need of money——appears,
> Aye, poor and unhappy;
> But give him gold, he bold will be,
> And marvellously merry.

*(I'w gorphen yn y nesaf.)*

---

## GEFEILLIAID SIAM.

YR ydym yn byw mewn oes pan y mae rhyfeddodau *celfyddyd* yn cael eu lliosogi o'n hamgylch mor

gyflym, nes braidd y coeliwn ein llygaid ein hunain mai sylweddol yw 'r hyn a ganfyddwn, gan mor anhygoel meddwl y gallesid byth ddwyn y fath bethau i ben. O'r tu arall, y mae rhyfeddodau *naturiaeth* i gyd yn fawreddus; eithr o herwydd ein cynnefindra â hwynt, a'r dull unffurf y maent yn cael eu harwedd ym mlaen, nid ydym yn cymmeryd cymmaint sylw o honynt. Ond pan, megys o ddamwain, y byddo i naturiaeth wŷro y rhic lleiaf o'i rhedle arferedig, gan fod y fath ddygwyddiadau mor ambell, maent yn peri aruthredd nid bychan ym mysg dynolion. Ac i'w ystyried ym mhlith y cyfryw y mae gweledigad y Gefeilliaid o Sïam, y rhai sydd y dyddiau hyn yn cael eu harddangos ar hyd trefi Lloegr, o ba rai y rhoddir yma ychydig hanes gan lygad edrychwr difrwysg difrif liw dydd goleu.

Y Gefeilliaid hyn a anwyd ym mis Mai, 1811, mewn pentref bychan, a elwir Maklong, ar dueddau teyrnas Sïam, yr hon wlad sydd yn gorwedd megys rhwng dwy ymerodraeth, China a Burma. Eu rhïeni ydynt Chineaid o genedl, ac o amgylchiadau lled ddistadl. Bu iddynt amryw blant heblaw y Gefeilliaid crybwylledig, heb arnynt nag anaf na hynodrwydd yn y byd. Ac fe ddywed eu mam nad ydoedd yn teimlo dim gwahaniaeth, tra yr ydoedd y rhai'n dan ei gwregys, mwy na'r plant ereill. Daethant i'r byd a phen un rhwng traed y llall; yn gyflawn berffaith o ranau corphorol, ond a ystyrid yn fabanod lled fychain ar eu genedigaeth.

Eithr y peth hynotaf mewn perthynas iddynt yw eu bod ynglyn â'u gilydd, wedi eu cyssylltu yn naturiol y naill a'r llall wrth fath o linyn cryf o gnawd a gewynau, yn tarddu oddiar gledr dwyfron pob un, yn hollol groeniog, ddifriw, ddiboen iddynt ill dau. Hyd y llinyn, neu 'r cysylltrwym hwn, o gorph i gorph, ydyw pedair modfedd, a'i braffder yn wyth. Mae hefyd yn hollol ystwyth a hyblyg, fel y gallant yn lled ddiboen droi oddi amgylch nes dwyn eu hysgwyddau pellaf i gyffwrdd â'u gilydd. Eu dull mwyaf cyffredin o sefyll neu rodio ydyw ochr yn ochr, â'u breichiau agosaf at eu gilydd, o'r tu ol iddynt, a llaw ddehau un, a llaw aswy y llall ar ysgwydd neu dan gesail ei frawd. Ond pan fyddo angenrheidrwydd, gallant ddwyn eu pedair llaw o'u blaenau, megys i fwyta, i chwareu, &c. Gallant gyd-redeg, a chyd-neidio, ïe, a chyd-nofio, yn ddigon dirwystr. Maent wedi cyd-dyfu yn hollol gyfartal; eu taldra yn awr yn eu hugeinfed blwydd ydyw pum troedfedd a dwy fodfedd; a'u pwysau ynghyd yw naw ugain pwys. Y maent yn gryfion, yn heini, yn siriol, yn llawen, yn chwareugar, ac yn iachus; ac mor gyflym ar eu traed, fel nad hawdd eu goddiwes wrth redeg; ac mor rymus eu haelodau oll fel y codymant ddyn o faintioli cyffredin mewn ychydig fynydau; ac fe'u gwelwyd yn cario dyn amryw latheni o bellder, pwysau yr hwn ydoedd uwchlaw 280 pwys.

Pan oeddynt tu ag wyth oed, fe gafodd y ddau y frech wen ar unwaith yn drom iawn, er na adawodd ond ychydig o'i hôl arnynt; a'r pryd hwnw hwy a gollasant chwaer a dau frawd o'r un saldra. O hyny hyd yn awr ni bu arnynt ddim anhwyldeb o bwys. Yn ieuaingc iawn hwy a ddysgasant ennill eu bywiolaeth, trwy drin cnau y *cocoa*, pysgota, &c. Pan oeddynt yn dilyn y gorchwylion hyn y darganfuwyd hwynt gan Mr. Robert Hunter, marsiandwr o Frydain, yn preswylio yn Sïam, yr hwn, ynghyd â'r Cadben Abel Coffin, a gawsant ganiatâd eu mam, a brenin y wlad, i'w cymmeryd ar fwrdd y llong Americanaidd, a elwid Sa-

chem, ym mis Ebrill, 1829; ac yn yr Awst canlynol cyrhaeddasant Unol Daleithiau yr Americ. Yno y buont hyd fis Hydref, yn cael eu dangos i luoedd dirif o bobl oedd yn cyrchu yn awyddus i'w gweled. Daethant i Lundain ar y 19eg o Dachwedd; ac yn gyntaf, gwahoddodd y Cadben Coffin brif feddygon y deyrnas i'w hedrych, y rhai yn un llais a ddatganasant eu barnau, fod y Gefeilliaid hyn yn un o'r cynlluniau nodedicaf o ddieithrwaith naturiaeth. O hyny hyd yn bresennol y maent yn cael eu cymmeryd oddi amgylch i wahanol drefi y deyrnas hon, a rhifedi mawr o'r trigolion ym mhob lle y delont yn cyrchu i'w hedrych: ac y maent i aros yn y wlad hon amryw fisoedd yn hŵy. Tra y byddont oddi cartref, mae y gwyr boneddigion crybwylledig wedi ymrwymo i ddarbod dros eu mam, nes eu hadferu hwynt yn ddiogel iddi hi yn Sïam drachefn. O'u rhan eu hunain, nid oes arnynt mo'r awydd i ymadael â Brydain tra b'ont byw.

O ran eu cynneddfau, y maent yn hynod o synwyrol a meddylgraff; llawer o brofion o hyn a ellid eu hadrodd, pe bai lle ac amser: digoned ychydig. Mewn rhyw fan, lle yr oeddynt yn cael eu dangos, dygwyddodd dyn unllygeidiog ddyfod i'w gweled; wedi sylwi o honynt arno, gofynasant i'w ceidwad pa faint a dalasai y gwr hwnw am gael dyfod i mewn; ac wedi cael ateb, dywedasant na ddylasai dalu ond yr hanner, am nad oedd ganddo ef ond hanner peiriannau pobl ereill i edrych arnynt. Dro arall, daeth i'w gweled ddyn anafus, wedi colli ei freichiau a'i draed. Aethant ato yn dosturiol i gwyno iddo ei anffawd, gan ddywedyd mor ddrwg ganddynt ei weled felly heb na thraed na dwylaw, tra yr oedd ganddynt hwy bedwar o bob rhai, ac am hyny eu bod yn cyfrif yn ddyledswydd arnynt wneuthur rhyw beth tu ag at ei gynnorthwy; ac anrhegasant ef â choron o arian a dyrnaid o fyglys. Dangosant y serchowgrwydd mwyaf tu ag at eu noddwyr a'u cymmwynaswyr, a phawb a ymddygont yn lednais tu ag atynt; eithr, o'r tu arall, fel dynolryw yn gyffredin, nid hoff ganddynt y sawl a gamymddygont tu ag atynt; ac ystyriant y sarhâd a ddangoser tu ag at un, yr un peth a phe 'i gwnelid i'r llall. Maent mor gydunol eu tueddfryd, fel y mae eu barn am bob peth yn unffurf a chydnaws. Gwnant ac ânt, neu ymataliant, yn ol ysgogiad corph neu feddwl yr un yr hanfyddo ynddo gyntaf. Nid ymgynghorant ac ni ddadleuant â'u gilydd ar bwngc nac achos yn y byd; ac anfynych iawn yr ymddyddanant â'u gilydd, oblegid nad oes dim yn dygwydd i glyw, golwg, na theimlad y naill na bydd y llall yn gwybod am dano yr un modd. Y mynyd y cysgo un, fe gwsg y llall; ac felly yr un ffunud y deffroant. Pan fo un yn glaf, ni bydd y llall ddim yn iach: a phan fo un yn brudd, ni bydd y llall ddim yn llawen; os bydd un yn newynog, ni bydd y llall ddim yn ddicra. Ar eu mordaith i Loegr, cafodd un o honynt y crŷd yn dost iawn; ac er nad oedd *Chang* (felly y gelwir un) ddim yn crynu, etto o gydymdeimlad âg *Eng* (enw y llall) ni chysgai tra byddai efe yn effro. Pan fyddont yn iach, arferant gysgu o naw i un-ar-ddeg o oriau, a hyny yn fwyaf cyffredin â'u hwynebau at eu gilydd; ond nid felly bob amser; eithr pan flinant mewn un ystum, newidiant i un arall, ac weithiau ânt dros eu gilydd yn ddiarwybod iddynt eu hunain, ac heb aflonyddu y naill y llall.

Un sylw arall sydd i'w wneud cyn terfynu yr hanes, sef yw hyny, pa un a fyddai yn bosibl, heb berygl, eu gwahanu oddiwrth eu gilydd. Hyn sydd wedi bod yn

destun llawer o ymresymu rhwng doctoriaid enwocaf yr holl fyd. A'r farn fwyaf cyffredinol yw, mai nid diberygl a fyddai yr antur o geisio eu hysgaru, rhag trwy hyny gymmeryd ymaith fywyd un neu y ddau. Peth arall, y mae sôn wrthynt am eu gwahanu yn eu cyffroi ac yn eu cythruddo yn arswydus, ac yn eu gwneuthur yn adfydus iawn, yn gystal oddiar ofn y boen, ac o herwydd yr anwyldeb sydd rhyngddynt a'u gilydd, fel na's dymunent fod fyth yn ysgaredig. Fe allai y gallesid gwneuthur hyn yn fwy dienbyd pan oeddynt yn eu mabandod, a chyn iddynt feddu amgyffred am boen, a meithrin y fath anwyldeb at eu gilydd. A phe dygwyddai i'r naill farw o flaen y llall, bernir y dichonai achub hoedl y byw trwy ei ddidoli oddiwrth y marw.

CYNNIWYLLYDD.

---

## LLYTHYRIAD CYMRAEG.

MR. GWYLIEDYDD—Chwennychwn wneuthur ychydig sylwiadau ar lythyr gwawdus eich Gohebydd *Cymro Diwegi;* ac yr wyf yn gobeithio y ceiff hyn ymddangos yn brydlon o fewn clawr eich Cyhoeddiad clodwiw.

Mae efe yn nechreu ei lythyr, gyd âg awdurdod hunanol, yn fy rhoddi yn uniongyrchol dan draed, gan haeru fy mod yn hollol anwybodus o bob trefn a rheol o ysgrifenu 'r iaith. Gwn yn dda nas gallaf gyrhaedd perffeithrwydd yn hyn, mwy nag mewn pethau eraill; ac mi a wn hefyd nad ydyw 'r Pab o Rhufain yn anffaeledig, er iddo honni hynny, mwy na *Cymro Diwegi* ei hun. Ond pe fuasai efe mor hynaws ag ystyried fy llythyr yn fanylach, cawsai weled mai fy amcan i yn fwyaf neillduol oedd ymofyn am undeb mewn trefn o ysgrifenu yn hytrach na dilyn yn gwbl yr hen drefn na'r newydd. Yr wyf yn cyfaddef mai buddiol iawn yw cael diwygiad yn orgraph ein hiaith lle gwelir eisiau hyny, a lle gellir ei wneuthur, heb anafu neu niweidio swn neu accen gyffredin geiriau; megis, lle byddo dwy gydsain yn cyd-daro mewn gair, yr wyf o'r farn y gellir weithiau gadael allan un, pan y byddo un yn ddigon i gadw i fynu y swn, neu 'r llafar, megis yn y geiriau *pennau, bronnydd, &c.* ond nid yn y geiriau *cynnal, cynnydd, &c.* ac nid wyf yn barnu chwaith mai iawn ydyw y naill lythyren gymmeryd swn y llall; ac er y geill y *Cymro Diwegi* ysgrifenu *dyoddef, dyben, dyolch, achaws, dangaws, &c.* etto, bydd y llafariad cyffredin o honynt megis pe byddant wedi eu ysgrifenu *diolch, diben, achos, dangos, &c.* ac wrth hynny bydd raid i'r Y ddwyn sain yr I, a'r AW sain yr O, yr hyn sydd gwbl groes i ansawdd yr iaith Gymraeg; canys, fel y dywedais o'r blaen, ei phriodoliaeth ydyw i bob llythyren gael ei sain ei hun yn y llafariad. Nis gwn pa beth y mae *Cymro Diwegi* yn ei feddwl wrth ddyfod a'r gair *teyrnas* ger bron, onid yw efe yn ei swnio megis pe byddai wedi ei ysgrifenu *tawrnys*, neu ryw ffordd arall; canys wrth ein llafariad ni o hono yn yr ardal hon, mae pob llythyren ynddo yn cael ei sain phriodol ei hun, fel ym mhob gair arall o'n hiaith.

Nis medrais lai na gwenu wrth y drafferth a roes y rhagddodiad *du* i *Cymro Diwegi;* tybied yr wyf ei fod yn duo yn ei wyneb pan ganfu hwn gyntaf, ac mae 'n debyg fod rhyw rinwedd dirgel yn y ddwy lythyren i oliwio pawb a safo yn eu herbyn; ond pa fodd bynnag, er cymmaint a ddywedodd, nid ydyw yn ddigon i brofi fod y rhagddodiad *dy* yn dwyn gwell ystyr yn y diwedd, nag yn wir cystal chwaith; ac felly, hyd nas medr brofi hyn, gellir mor rhesymol ys-

grifenu *dwoddef* a *dyoddef*. Ond, ysywaeth, nid ydyw *Cymro Diwegi* yn gofalu fawr am brofi yr un o'i haeriadau; mae 'n canmol y drefn newydd, ac yn dangos ei hun yn selog drosti; ond nid ydyw yn gallu dywedyd pa fodd y mae yn well na'r hen. Onid doethach fuasai iddo osod allan ei godidawgrwydd, gan ddangos, os medrai, drwy reswm pa fodd y mae 'n rhagori ar yr hen drefn, yn hytrach na phigo allan feiau fy llythyr i; oblegid os darfu i mi, drwy frys neu fyrbwylldra, roddi *n* yn ormod yn y gair *ysgrifenu*, ac *n* neu *m* yn fychan yn y gair *ammherffaith*, nid all iddo ddangos hynny wneuthur y naill drefn na'r llall fymryn gwell na gwaeth, mwy na phe byddai i minneu nodi allan yr amlygrwydd a roddodd yntef o'i anwybodaeth o Ramadeg yr iaith, pan y cymmerodd arno wneuthur un rhan o fy llythyr yn fwy dealladwy, yr hon oedd ramadegol, ac yn berffaith ddealladwy cynt; a dangos ei gyfeiliornad yn ei arferiad o'r gair *llythyregu*, canys gwyddom fod y geiriau *llythyru* a *llythyregu* o wahanol ystyr, un yn arwyddocau llythyrenu (neu *spelio*) a'r llall gramadegu; ond nid ydyw son am ein gwendidau ni o leshad yn y byd tu ag at sefydlu rheolau iaith, felly gadawaf i *Cymro Diwegi* y tro hwn, gan obeithio, gan ei fod wedi addo ei lythyr nesaf fod mewn dull arall, y bydd mwy o addfwynder a thegwch yn yr hyn a ddywedo.

MIS Y DÔN. EPSILON.

*O. Y.* Wedi ysgrifenu yr atteb hwn, ac yn disgwyl odfa i'w anfon ymaith, daeth i'm llaw eich Rhifyn diweddaf, lle gwelais lythyr *Iota*; mae 'n deilwng o sylw: ond ni wnaf ar hyn o bryd, ond dywedyd fy mod yn meddwl iddo gamgymmeryd mewn perthynas i newidiad y gydsain ddechreuol yn yr enw gwan "*priodol*;" ni reolir hon gan yr enw cadarn "*sain*," megis y tybia efe, ond gan yr enw benywaidd cadarn "*llythyren*," yr hwn yw 'r achos enwedigol yn yr ymadrodd. I wneuthur hyn yn fwy amlwg, tybiwn fy mod yn llefaru am ddyn, dywedwn, ei sain briodol—am ddynes, ei sain phriodol—am y ddau, eu sain priodol; felly, gan fod "*llythyren*" yn y rhyw fenywaidd, mae 'n rhaid fod yr ymadrodd a arferais, "*ei sain phriodol ei hun*," yn gywir.

---

## LLYTHYREGIAD Y GYMRAEG.

SYR—Ysgrifenwn y sylwadau hyny fel o gelchwar ar obebiaeth *Epsilon* yn y drefn gyffredin, fel y gwelir hwy, gan dynu yn nesach at y drefn newydd mewn un peth, ac at yr hen mewn peth arall, ac yn *un* o'r ddau hyny y canfydda *Iota* yr hyn a feiai, osyd feiyw feia. Ond i ddyfod at y gwaith. Pa wybodaeth chwanegol a ddeillia o ysgrif *E.* ar y pwnc? dim. Pa wybodaeth chwanegol a ddeillia o ysgrif y *Cymro Diwegi* a *Iota* ar y pwnc? goddim. Wel pa sut fu i'r ddau fod mor ddiddaioni? dyma fu: sylwadu yn ddigrifol ar ysgrif *E. yn unig* a wnaeth y *C. D.* heb feddwl egluro dim ar y testyn, gan dybied trwy hyny, fel *Iota*, y buasai rhyw brif feirnad yn cymeryd y gorchwyl mewn llaw, a rhoddi terfyn am byth ar yr ymryson: a *Iota* a gymerodd orchwyl deublyg; sef beio ar ysgrif *E.* a'r *C. D.* heb gofio gwneyd neb yn ddoethach yn y mater, gan wirio yr hen ddywediad, "*Tinddu* meddai y fran wrth yr wylan:" *beius*, meddai *Iota* am ysgrif y ddau uchod, ac ysgrif *Iota* ei hun yn dryfrith o feiau cyffelyb; gan hyny, onid gwell fydda i *Iota* fod yn fwy diwegi fyth. Os na fydd *Iota* yn unfarn â rhyw bwt o ddywediad fel hwna, bydd yn ddigon

hawdd iddo gael *esboniad* bach pur eglur arno, ond iddo hysbysu hyny drwy gyfrwng y Gwyliedydd. Os nad oes tosturi annghyffredin yn *Iota* tuagat y gwan, ni bydd i mi amgen na dysgwyl cerydd haeddiannol am y fath ddywediad haerllug, yn enwedig os yw yn gyfeiliornus; canys teilwng i bob un ei wobr.

Bydda yn dda annghyffredin gan y *C. D.* gael gwybod yn mha le y mae "Mor rheitied beirniadu y naill ag y llall," heb son am "sain phriodol;" canys nid yw hyny ond cyrbwylliad ac adgyrbwylliad diarwydd o ysgrif *E.* a chamargraffiad yw "cyffelyb *a* hyn," yn lle "cyffelyb *i* hyn." Bydda dangos hyny o fuddioldeb mawr iawn iddo, rhag bod yn euog etto o'r cyfryw feiau. Os yw yn chwenych goleuo un tywyll yn y fath beth, y mae yn ddilys y gwna hyny gyda hyfrydwch iddo ei hun ac i arall.

Ystyried *Iota* a oes gwahaniaeth yn yr ymadroddion hyn, "*Y* Iaith Gymraeg, *Iaith* Gymraeg; Llythyriad Cymraeg, Llythyriad y Gymraeg:" cyrbwyllais hyna, gan i mi ddeall bod *Iota* yn *ddyn* yn y mater.

Dymunir gwybod gan *Iota* y tro nesaf, pa rai yw y "*Geiriau damweiniol* annosbarthadwy?" canys os *o ddamwain* y maent, geill damwain arall eu cludo ymaith na byddent mwyach yn y Gymraeg; gan hyny, onid afresymol iawn yw dadlu ar bethau damweiniol? hefyd, pa fodd y maent yn *annosbarthadwy?*

Dylid canmol dyngarwch *Iota* tuag atom ein dau, bod mor fwyn a pheidio chwenych tramgwyddo yr un o honom: ond ni ddylid canmol dim beth bynag ar ddywediad mor drwsgl a hwn, "*Yr un o'm dau gydwladwyr.*" Os geill rhywbeth fel yna fod yn gywir yn ol *Grammadeg* y iaith, gellid profi y bydda *Teg niwliog ddiwrnod gwlawog oerllyd gwresog* yn llawn cystal. Soniai *Iota* am gymeryd "Traethawd Ioan Tegid yn ddedfryd derfynol" ar y mater; ond pa fodd y gall hwnw fod, tra bydd *ef* yn *un* yn wabanol mewn pyncyn neu ddau, a rhywun arall, hwyrach, mewn tri neu bedwar. Rhodded ystyr "uthrywyngar" yn ei lythyr nesaf. Am dramgwyddo y *C. D.* na ofaled; dyweyd y caswir yn foneddigaidd am ei ysgrifau a'i hoddäa; ac ar hyna terfynaf yn awr gyda dymuniad am wellâad cyffredin yr eiddoch y CYMRO DIWEGI.

## ATEBION I'R GOFYNIADAU SEISNIG.

*(Rhifyn 88, tu dal. 287.)*

MR. GWYLIEDYDD—Wele o'ch blaen atebion i'r gofyniadau Seisnig yn eich Rhifyn am Awst. Fy unig wrthddrych yn anfoniad y gofyniadau a'u hatebion, yw helaethu gwybodaeth. Wrth glywed dynion, a ddylent wybod gwell pethau, yn llefaru ar bethau perthynol i'r gofyniadau hyny, fel pe na pherthynai i un blaid ond rhoddi ufudd-dod dinag i ewyllysiau a gorchymynion y blaid arall, meddyliais am y gofyniadau a'u hatebion. Y gofyniadau a anfonwyd rai blynyddau yn ol yn Lloegr at y Doctor Phillimore, er cael gwybod ei farn ef arnynt; a chyhoeddwyd y naill a'r llall o honynt mewn Newyddiaduron a Chylchgrawnau Seisnig, er budd y cyffredin: canys nid dichonadwy i greadur rhesymol ymddwyn yn addas i'w sefyllfa, oddieithr o ddamwain, heb wybod pa bethau a all, a pha bethau ni all; pa bethau a ddylai, a pha bethau ni ddylai, eu gwneuthur. Pan y bo pawb yn gwybod eu rheol, ac yn ei dilyn, hir yr erys tangnefedd yn eu plith; ond pan y dechreuo un ormesu ar y llall, agorir drws i oerfelgarwch, anghydfod, ac anghariadoldeb, i ruthro i mewn.—Ydwyf, yr eiddoch, yn ddidwyll,

RHYWUN.

## OPINION.

1. I apprehend that a Bishop has no authority to prevent any incumbent, within his Diocese, from admitting into the Pulpit of his Church, any regularly ordained Minister of the Established Church, whether he may belong to the same or to another Diocese: and it appears to me equally clear, that a Bishop has no authority to prevent any regularly ordained Minister of the Established Church, not resident within his Diocese, from preaching an occasional Sermon in any Church within his Diocese, provided he has the sanction of the incumbent of that Church for so doing. Nor am I aware of any authority vested in a Bishop, which can enable him by his mere mandate to prevent any Clergyman from preaching in favour of the objects of any charitable institution or society. The law, I take it, gives an incumbent ample power within his own Church to admit any Clergyman of the Established Church to assist him, as occasion may require, in the performance of the divine offices. The Bishop, *a priori*, cannot object to the preacher; but if the Doctrine preached be repugnant to the word of God, the Bishop may proceed against the preacher in the Ecclesiastical Court. Undoubtedly it appears from the Canons of 1608, and other authorities, that in former times, no person could preach unless he had a specific licence for that purpose: but this regulation has long ago become obsolete. The letters of orders have been considered as superseding the necessity for such a licence; and it is now the established usage (a usage which could not, in my judgment, be controverted with effect) that any Clergyman may be allowed to preach an occasional Sermon on exhibiting his letters of orders; and this seems to me to constitute the difference between the occasional preacher and the permanent Curate within a Diocese: it is enough for the occasional preacher that he has been invested by any Bishop with authority to preach the word of God; whereas it is indispensably necessary for the permanent Curate that he should have permission to exercise his functions under the hand and seal of the Bishop, within whose Diocese he is to have his established residence.

I am therefore of opinion that a Clergyman coming out of another Diocese to preach an occasional Sermon, cannot be compelled to exhibit any other licence to preach than that which is implied in his letters of orders.

2. A Bishop has the general superintendance of the Clergy within his Diocese; and it is his duty to exhort or admonish them as occasion may require; to encourage them if they proceed in the right path; to endeavour to reclaim them, if they are liable to fall into error; he may therefore forbid any course of proceeding which to him may appear to be erroneous; but I am not aware of any legal process by which he could carry into effect a prohibition of the nature stated in the case. The mode does not occur to me, by which the Bishop could prevent a collection, of the description set forth, after a Sermon preached by a Minister of the Established Church. At the same time, I should wish not to be considered as advising definitely on this branch of the case, till I could see the previous notice (for previous notice there must be) to which the Bishop would resort as a foundation for ulterior proceedings.

3. A Bishop, as chief ordinary within his Diocese, is vested with a power to regulate and control many points connected with the performance of divine service: he may compel the performance of it, if it is withholden: but I am of opinion that he cannot prevent the opening of a Church for the performance of it, on any day in the week that the incumbent may think fit: nor can he prevent the service from being followed by a Sermon, though it be competent to him to proceed against the preacher, if the doctrine preached be repugnant to the word of God. With respect to the Collection, I must refer to the answer to the last query.

J. PHILLIMORE, D. C. L.

*Vide Christian Review, No. 1. and Christian Observer for March,* 1826.

---

## MAN-GOFION.

Tudyr Hen ab Gronw ab Ednyfed Fychan, a wnaeth Briordy Bangor yn y flwyddyn 1299, a fu farw 1311. Iolo Goch a ganodd ei farwnad, 89 blwydd cyn rhyfel Owain ab Gruffydd o Lyn Dyfrdwy, yn 1400; ac y mae yn debyg fod Iolo o leiaf 110 mlwydd oed y pryd hyny. Naw mlynedd wedi hyny y mae Iolo yn cwyno fyned Owain dan gudd, neu ar ddifancoll, yn y cywydd yn dechreu—

"Y gwr hir ni'th gâr Harri."

Llywelyn ab Iorwerth Drwyndwn, tywysog Gwynedd, a wnaeth Fynachlog Aber Conwy, a Phriordy Llanfaes.

# BARDDONIAETH.

## COLL GWYNFA.

CYFIEITHIAD O WAITH IOAN MILTON.

(Parhâd o du dal. 349.)

*Llyfr* I.

TRA wrth ei gyfnes gwedai Satan hyn,
Ei ben oedd uwch y dôn, a'i lygaid mall
Yn fflamio; a'i aelodau hirion braff,
I bellder maith yn nofio ar y llif,
Dros amryw erw 'n estyn; cymmaint oedd
Ei faint a hwnw, yr anghenfil hagr,
A enwa chwedlau ffol, yr hwn a wnaeth
A Iau ymfrwydro; neu cyffelyb oedd
I'r morfil mawr, Lefiathan, yr hwn
Yw 'r mwyaf un o'r rhai a greodd Duw
I nofio 'r eigion maith; ac ef, ym môr
Oer Norway 'n cysgu, dygwydd, fel y gwed
Mordwywyr, i lywyddion llongau, aml dro,
Pan ar gyfeiliorn yn y nos, o dyb
Mai ynys yw, yn nghenog groen ei gefn
I daflu angor, a thros oriau 'r gwyll
I aros yno, nes dysgleirio 'r dydd.
Fel hyn ymledai Satan ar ei hyd,
Mewn cadwyn ar y tanllyd lyn; a'i ben
Nis codai byth oddi yno, onid trwy
Oddefiad uchel Nef, er i'w ddrwg fryd
Ei adael, fel y tynai arno ei hun
Fwy cosb trwy feiau mwy, wrth geisio drwg
I ereill; ac y gwelai p'odd y gwnae
Ei lid weinyddu er egluro rhad
Anfeidrol a thrugaredd trwy y dyn
A hudid ganddo; ac y profai p'odd
Y dygai ei lid gywilydd triphlyg, gwarth,
A dial arno ei hun. Ar frys efe,
O hagr faint, ymsythai uwch y llyn;
Ymranu wnaeth y fflamau o bob tu,
A'u blaenau ar osgo, a chan gilio draw,
Gadawynt yn y canol aethus bant.
Ac yna 'n lledu ei adenydd, aeth
I fynu, a thrwy 'r awyr, deimlai bwys
Oedd anarferol, ymaith cyrchai ef,
Nes iddo ddisgyn ar dir sych, os iawn
Cyfenwi 'n dir yr hyn a lysg o dân
Dwys, didwn, fel y llyn o dân ag sy
Doddedig; a chyffelyb oedd ei liw
I'r hyn a deflir gan y gwynt sydd o fewn
I berfedd daear, pan y troso ddarn
O graig Pelorus, neu o ochrau serth
Bryn Etna draw; defnyddiau 'r hwn, o'i
    fewn
Yn hylosg, ac yn llawn o ffwnol wyth,
A nerthant ffrwd y gwynt, ac ar eu hol
Gadawant waelod du o ddrew a mwg.
Y fath y lle a wnaed i anfad draed!
Canlynodd ef ei gyfnes; a'r ddau wnaent
Ymffrostio iddynt hwy fel duwiau ffoi
O'r dylif tân, trwy adnewyddol nerth,
Ac nid trwy un goddefiad gallu uwch.
  "Ai hon yw 'r ardal," meddai 'r gwrth-
    blaid coll,
"Ai hon y fro a'r drigfod a roed in'
Gyfnewid am y nef: y caddug hwn
Am oleu 'r nefoedd fry? Bood felly, bood;
Gan y geill Ef sy Ben benodi 'nawr
Y iawn a fynno: trais a wnaeth yn uwch
Ef a gyd-raddodd pwyll. Chwi feusydd
    gwawl, lle trig
Diderfyn hedd, Ffarwel! Erchyllidod, hyd
Y gethern, croesaw: ti, ddiwaelod bwll,
Fi dy bercheneg derbyn; un na thry
Na lle nac amser byth mo'i fryd.
Y bryd yw 'r cyfan; ynddo ei hun y geill
Wneud nef o uffern, ac o uffern nef.
Pa waeth pa le, os byddaf byth yr un,
A'r hyn a ddylwn fod; yn unpeth ond
Yn llai nag ef a wnaeth taranau 'n fwy?
O leiaf byddwn yma 'n rhydd; ni wnaeth
Ef o gynfigen y lle hwn; ni yrr
Ni fyth oddi yma; diogel gwnawn
Deyrnasu; teilwng hyn o'n huchel gais,
Er bod yn uffern; gan yn uffern gwell
Teyrnasu, nag yw gweini yn y nef.
Ond ein cyfeillion ffyddlon y'nt o'n ffawd
Yn cyfranogi, pa'm eu gadael wnawn
Mewn gwallgo i orwedd yn y dwfwn lyn,
Ac heb eu galw yma i fwynhâu
Eu cyfran yn ein diffaeth drigfod hon;
Neu brofi beth yn nef a ellir gael
Trwy arfau, neu pa goll yn uffern mwy?"
  Gorphenodd Satan; yna *Beelzebub*—
"Arweinydd yr arfogion dysglaer draw,
Na threchai dim ond Hollalluog nerth;
Os clywant ond dy lais, a roddai nerth
A gobaith tan bob ofnau, ac mor aml
Fu 'n hyder mewn peryglon, ac ar fin
Enbydus frwydrau, yn ddilysaf nôd,
Hwy 'n fuan a ymddewrant; er eu bod
'Nawr yn ymgreinio ar y llyn o dân,
Mewn syndod trwm, fel gynau 'r oeddem ni;
Nid rhyfedd, gwedi 'r fath ddifrodus
    gwymp."
  Prin gorphen wnaeth cyn at y làn nesâu
O Satan yn ei frys; a'i darian fawr,
O naws nwyfreol, bwysig, helaeth, gron,
O'i ol a daflai ef; ei llydan gylch
Oedd ar ei ysgwydd fel y lloer, yr hon
A sylwa 'r Tysciaid â drych-beiriant craff
O ben Fesolé neu Valdarno, yn
Yr hwyr er canfod tiroedd teg neu fôr,
Neu fryniau, yn ei gwyneb brychlyd hi.
Ei waewffon o anferth faint, wrth hon
Nid yw 'r hiraf un o'r sybrwydd ddaw
O elltydd Norway 'n hwylbren llong, wrth
    hon

Nid yw ond gwialen; ac â hi yn ei law,
Er cynnal camrau blin dros danllyd bridd,
Nid fel pan gerddai gynt lâsrodion* nef:
Ac hefyd poenai ef yr ardal boeth
A'i nen o dân: ac etto goddef wnaeth
Er hyn nes dod at draeth y tanllyd fôr!
Ac ar ei lengau galwodd ef, a hwy
Mor amled a dail Hydref yn y cudd,
A dew bentyrant tan gysgodau 'r glyn;
Neu fel yr hesg yn drwch ar wasgar, pan
Gyffröodd Orion arfog y Môr Coch,
A chreulon wyntoedd, tònau 'r hwn wnaent gynt
Orchuddio 'r balch Busiris a'i holl lu,
Tra 'n erlid o ddygasedd bradus llwyr
Alltudion Gosen; ef a welsant hwy,
A'i dorf yn feirwon ar y dòn, a'u holl
Gerbydau yn chwilfriw: felly yr oedd y rhai'n,
Gorweddynt o drwch hagr ar led, gan doi
Y llif; a syneat hylled oedd eu gwedd.
Crochlefodd nes dadseiniodd uffern oll:—
"Penaethiaid, tywysogion, cedyrn rai,
Goreuon nef, hon genych unwaith oedd;
Ond 'nawr ar goll, os syndod o'r fath hyn
All lenwi bryd ysbrydion. Ai 'r lle hwn
A ddewisasoch ar ol ymdrech blin,
Eich lludded trwm i esmwythâu,
Trwy huno yma fel ym mröydd nef?
Neu a addolwch yn yr agwedd hon
Y Trechydd? 'r hwn a genfydd 'nawr
Fod Cerub a phob Seraph yn y llif
Yn treiglo, a didrefn eu harfau oll:
Gwel hefyd ei erlynwyr o byrth nef
Y cyfle; a chan ddisgyn tan eu traed
Ni'n llesg a sathrant; neu â thorchog fellt
Ein clymu wnant wrth waelod y pwll hwn.
Deffrowch, codwch, neu byddwch byth ar goll."

Erglywsent, ac o warth ar aden fry
Adlament, fel y gwylwyr pan eu ceir
Yn cysgu gan y neb a ofnant hwy,
Cyffröant cyn bo iddynt lwyr ddeffroi.
Er nid heb feddwl am eu cyflwr gwael,
A theimlo eu dygn boenau; etto hwy,
Afrifed dorf, i'w blaenor ufuddhâent.
Fel yn nydd gofwy 'r Aipht, y dygai ffon
Mab Amram, gwmwl du, echryslon haid,
O Lindys, ar adenydd dwyrain wynt,
Fel nos a d'w'llent deyrnas Pharaoh i gyd;
Fel hyn 'n aneirif, yr angelion drwg,
Ar aden welid o fewn nen y cau,
Rhwng tân otanodd, ogylch, ac uwch ben;
Hyd nes wrth amnaid roed, trwy dderchu o'u Pôr
Ei waewffon i gyfarwyddo eu hynt,
Disgynent mewn llawn drefn ar ufel dwys
A llanwent yr holl wastad. Cyfryw dorf
Ni fwriai 'r hiliog ogledd ddim erioed
O'i rewlyd groth, i fyned dros y Rhine
Neu Danaw, pan y daeth ei anwar blant
Fel dylif dros y de, islaw Gibraltar,
Hyd barthau Lybia. Brysiant oll, bob llu
A byddin, i'w wydd ef, y Llywydd mawr;
Penaethiaid, tywysogion o bob gradd,
Arddullion, lluniau dewraidd, pell uwchlaw
Dyniadon byd, uchelion urddasau,
Galluoedd ar orseddau yn y nef
Gynt a eisteddent, er nad oes goffâd
Am danynt yno 'n awr, nac enwau chwaith,
O herwydd eu gwrthryfel; ac nid oedd
Dim enwau etto iddynt ar y llawr;
Hyd nes, yn crwydro trwy oddefiad Nef,
Ar hyd y byd er profi dynolryw,
Trwy dwyll a dichell yr hudasant hwynt
I adael eu Creawdwr, ac i droi
Gogoniant 'r anweledig i wael lun
Anifail, a'i addurno gan fawr gost,
Er porthi mympwy a dych'mygion ffol,
Ac i addoli diawliaid yn lle Duw;
Yna eu hadwaen hwynt wrth enwau wnaed,
Ac wrth eu delwau trwy 'r cenhedlig fyd.

*(I'w barhâu.)*

* *Green routs, or comus.*

---

## Y BARDD A'I AWEN.

### BARDD.

Ffarwel it' fy Awen, ffarwel iti mwyach,
Ffarwel i dy bleser, dy swyn, a dy gân;
Cydymaith fy mebyd, er nad oes dy hyfryttach,
A gwn na chaf gwrdd â chydymaith amgenach,
Wna 'm pen yn oleuni, a'm calon yn dân

Ond rhaid ini ysgar—ac ofer fy rhodres—
Ond anhawdd yw gadael hen gyfaill fy mron:
Dim mwy ni chei drigo yn llon yn fy mynwes,
Yn sio fy nwydau â'th freuddwyd a'th anwes,
Nes hela pob gofid o'm calon o'r bron.

Dim mwy rhwng fy nwyfron yn glyd ni chei aros
Yn dyblu pob pleser, yn gloewi pob drych;
Na chreu y fath ddelwau pleserus a gwiwdlos,
I lòni fy enaid, a thwyllo yr hirnos;
Cydymaith fy mebyd, fy swynwr—Bydd wych.

AWEN.

Beth, beth sydd yn bod, a phaham y'm gadewi,
 Fy hoenwych lettywr, fy mhrydydd, fy mardd?
A ballodd o'th gôf dy addewid i'm llochi,
Pan addewais yn ffyddlon am hyn dy gyfodi
 Y'mhlith beirdd dy genedlaeth yn enwog a hardd?

BARDD.

Mi gofiaf y cynghrair, a'r dagrau 'n llifeiriant
 A helant eu gilydd yn chwim dros fy ngrudd:
Fy nhad a'm hathrawon er hyn a'm dychrynant,
Difriant fy Awen, a beunydd dywedant
 O dan dy felusedd fod gwenwyn yn gudd.

Dywedant am Feirdd sydd yn awr yn eu beddau,
 Syrthiasant yn ebyrth i'th dwyll ac i'th swyn;
Tra 'r byd yn gorsynu uwch ben eu caniadau,
A miloedd yn moli ac yn hoffi eu henwau,
 A hwythau 'n llewygu heb gysur, heb gwyn!

Dangosant hyll ddrychau iselder a thlodi,
 Ac eisiau, a chyni, a gwaeledd, a nych;
Er maint yw fy nghariad, er mwyned dy gwmni,
Mae 'n ormod yw ddyoddef, mae 'n ormod caledi,
 Er mwyn dy gyfeillach, am hyny bydd wych.

AWEN.

Yn araf, f' anwylyd, os hyn yw y cyfan,
 Boed imi wrandawiad diweddaf i'm llais
Ni byddai fy ngeiriau it' gynt yn annyddan,
Na'm llef yn ddirmygus, nac attal fy yngan,
 Yn gwbl er boddio cybydd-dod a thrais.

Pe caet dy ddylenwi â chyfoeth a golud,
 A phob rhyw esmwythder a allant ei roi;
A gweis a morwynion yn dysgwyl yn astud,
O'th gylch i gyflawni 'th archiadau yn esgud,
 A llu o wenieithwyr o'th amgylch yn troi.

Er gorphwys mewn gwychder ynghanol byd addien,
 A gwledda ar ddanteithion goreuon y byd;
A fyddit yn ddedwydd pryd hyn heb dy Awen,
Dy enaid yn siriol, dy galon yn llawen,
 Neu oni f'ai 'r cwbl yn wegi i gyd?

Da gwyddost y byddai—ond os caf breswylio
 Y'nghelloedd dy enaid yn dawel mal cynt;
Os goleu dy ddydd mi a wnaf ei oreuro;
Os du a chymylog mi wnaf ei oleuo;
 P'le bynag y crwydri bendithiaf dy hynt.

BARDD.

Wel, tyred fy Awen â'th arabfwyn eiriau,
 Os mawr fydd fy nhlodi fy mhleser fydd mwy;
Can's rhyddid i mi ydyw gwisgo 'th gadwynau;
A gwenwyn os llecha y'mhlith mêl dy wefusau;
 Mi ganaf ynghanol fy nghystudd a'm clwy'.

Cei, Awen serch-swynol, fy mynwes cei drigo,
 O foreu fy mywyd mwy hyd y prydnawn;
Fy oriau dysglaeriaf cei ddod i oreuro;
A gauaf du cystudd a thrallod cei oleuo;
 A boed imi drengu pan drengo fy nawn.

MONTALTO.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### FFRAINC.

Er fod anghydfod wedi dygwydd rhwng Aelodau y Llywodraeth, yr hwn a barodd ofn nid bychan y byddai ychwaneg o derfysg yn nhaleithiau Ffrainc, da genym hysbysu fod pob achos o anghytundeb wedi ei symmud ymaith. Dir yw fod niferoedd o'r celfyddydwyr wedi ymdrechu cyfodi terfysg, a bod llawer o Gymdeithasau anghyfreithlon wedi eu sefydlu yno, etto rhoddwyd hwynt oll i lawr drwy ddyfalwch diysgog y Llywodraeth. Y mae y Senedd yn brysur yn awr gyd â'r cyhuddiadau a ddygwyd yn erbyn swyddogion y Brenin diweddar; ac er nad oes amheuaeth na cheir hwynt yn euog o fradwriaeth, hydera cyfeillion dynoliaeth yr arbedir eu bywydau, ac y carcherir, neu yr alltudir, hwynt dros eu hoes. Eithr ni bydd y gosbedigaeth hon yn debyg o foddloni y nifer luosocaf o werinos Ffrainc. Gorchymynodd y Llywodraeth i 108,000 o filwyr gael eu casglu yn ddioed. Parodd hyn lawer o gynnwrf yn Ffrainc a Lloegr, rhag bod y Llywodraeth yn bwriadu myned i ryfel; ond ymddengys oddiwrth hysbysiadau diweddaraf nad oes dim tebygolrwydd y bydd i Ffrainc afaelyd yn y cleddyf; ac mai unig ddyben y gorchymyn oedd diwallu yr eisieu a achoswyd drwy ddiddymiad y Gosgorddion, a dinystriad y byddinoedd yn Algiers. Am ba hyd y llwydda teyrnas sydd yn dianrhydeddu Duw, ac yn troseddu ei orchymynion sanctaidd mewn modd mor gywilyddus ag y gwneir yn Ffrainc, ni ellir dyweyd; ond nid yw y cyfryw lywodraeth wedi ei sefydlu ar sail gadarn. Nid ydyw y terfysg wedi terfynu; rhaid iddo gynnyddu; oblegyd fod amryw o bleidiau gelyniaethol yn awr yn blodeuo yn y wladwriaeth.

Nid anlluosog yw nifer cyfeillion yr hen Frenin. Amrai o bleidwyr sy gan fab Buonaparte, a lluaws sydd am sefydlu gwerin-lywodraeth; ond efallai mai plaid y Llywodraeth bresenol yw yr un gryfaf: pa fodd bynag, llawer o ddoethineb a phwyll sydd yn angenrheidiol er rheoli y wladwriaeth yn dda, ac i rwystro cynhyrfiadau a therfysg.

Un amgylchiad a ddengys deimladau rhai o'n cymmydogion tramor yw, fod un gwr wedi cynnyg yn y Senedd i esgyrn Buonaparte gael eu trosglwyddo i Brifddinas Ffrainc, ond gwrthwynebwyd y cynnygiad.

Danfonwyd Tywysog Talleyrand yn Genhadydd o Ffrainc i Lundain. Nid ellir cael un dyn dan haul i'w gystadlu â'r Tywysog hwn mewn pob math o ddichellion mewn materion gwladwriaethol.

### YR ISELDIROEDD.

Er ein Rhifyn diweddaf bu brwydrau gwaedlyd yn Brussels rhwng milwyr y Brenin a'r gwrthryfelwyr. Wedi i'r milwyr Isellmynaidd ymdrechu yn ofer am dridiau i gael meddiant o'r dref, a darostwng eu gwrthwynebwyr, gorfu arnynt newid eu sefyllfa, a chilio oddiwrth y dref. Yr oedd trigolion Brussels wedi ymbarotoi i'w gwrthwynebu hyd angeu. Nifer y lladdedigion sy fawr; a gwnaethpwyd distryw ofnadwy i'r adeiladau yn y ddinas. Ymddygodd y milwyr yn anwraidd iawn: a bydd i'w gorchfygiad annog trigolion trefydd ereill ddilyn esampl preswylwyr Brussels, y rhai ydynt yn awr yn deimladwy o'u cryfder eu hunain. Y gwrthryfelwyr a osodasant lywodraethwyr arnynt; y rhai a gyhoeddasant fod y milwyr Belgiaidd yn rhydd oddiwrth eu llw o ffyddlondeb i'r Breninol Deulu; ac o'r achos hyn amrai o'r swyddogion milwraidd a ymadawsant o fyddinoedd y Brenin, ac a aethant i ymladd o blaid y bobl. Y mae llawer o'r caerau cryfaf, megys *Tournay*, *Mons*, *Ghent*, *Ath*, yn meddiant y gwrthryfelwyr. Dymuniad y Belgiaid ydyw ymuno â Ffrainc, er na fyddai yn ddoeth i'r wlad hòno eu derbyn y pryd hyn.

Penderfynodd y ddau dŷ Senedd y bydd yn angenrheidiol gwahanu y ddwy wlad; a dywedir i'r Brenin fynegi ei foddlonrwydd i golli holl Belgium, yn hytrach na goddef i Brussels fod yn ddarostyngedig i hòll ganlyniadau dychrynllyd tân a rhyfel.

Pa beth fydd diwedd y terfysgiadau hyn nid ellir dirnad; ond ofnir yn fawr y bydd iddynt dori yr heddwch sydd wedi teyrnasu dros Ewrop dros 15 mlynedd; a phe byddai i ryfel unwaith ddechreu ni byddai iddo yn hawdd derfynu.

### PORTUGAL.

Dyfynwyd yr hyn a ganlyn o lythyr a dderbyniwyd o Lisbon. Parhâ y gormesdeyrn i lywodraethu dros y wlad anffodus hon. Teflir y dynion mwyaf heddychlon i garchar, yn gystal a'r gwyr a ofynant am dâl am eu llafur gan y llywodraeth. Mynegir fod yr hysbysiadau diweddaf o'r Hispaen yn mynegi analluogrwydd y Brenin

i roddi unrhyw gynnorthwy i'r adyn Don Miguel pe dygwyddai i'w ddeiliaid wrthryfela yn ei erbyn; ac felly bydd raid i Don Miguel ymddibynu ar ei nerth ei hun.

Hysbysir fod nifer mawr o wrthryfelwyr wedi ymgynnull ar gyffiniau gogleddol Portugal, a bod rhan fawr o ddwy fyddin o'r milwyr wedi cyduno â'r werinos. Yr oeddynt yn aros i rai o'r pendefigion o Loegr gyrhaedd hyd atynt cyn iddynt gychwyn tu a'r dehau.

## GERMANI.

Hamburgh.—Y Newyddiaduron a hysbysant fod Dug Saxe Gotha wedi casglu ei ddeiliaid yn wirfoddol, ac addaw cydsynio â'u dymuniadau rhesymol, a symmud ymaith bob achos o orthrymder ac anfoddlonrwydd.

Brunswick.—Y mae y Duc William wedi datgan ar gyhoedd ei foddlondeb i dderbyn y swydd o lywodraethu y wlad am ryw bryd. Y deiliaid a foddlonwyd yn fawr yn yr amgylchiad hwn; ac ymddengys fod y Tywysog hwn yn bur garuadus ym mhlith y werinos. Ei frawd sydd etto yn Lloegr, ond ni oddefir iddo fyned i bresenoldeb y Brenin, er iddo haeru fod ei Fawrhydi wedi rhoddi y derbyniad mwyaf croesawgar iddo.

## YR HISPAEN.

Mae terfysgiadau wedi tori allan yn y wlad anffodus hon, yr hyn sydd wedi peri dychryn anarferol i'r anwylyd Ferdinand: ac ni ryfeddem pe byddai iddo gael ei ymchwelyd oddiar ei orsedd, yr un modd ag y cafodd Siarls X. yn Ffrainc. Mae nifer mawr o wrthryfelwyr yn erbyn y brenin wedi ymgynnull ar gyffiniau Ffrainc; ond y mae anghydfod yn eu plith, a thra pery hyn nid oes lle i obeithio y cynnysgaeddant eu cydwladwyr â rhyddid crefyddol.

# CARTREFOL.

## YR ALBAN.

*Dienyddiad Henderson.*—Cafodd yr adyn hwn ei ddienyddio ddydd Iau, y 7fed o'r mis diweddaf, oddeutu tri o'r gloch, am lofruddio Mr. Millie. Cysgai yn drwm fel arferol, oddieithr nos Fercher, yr hon a dreuliodd yn darllen, ac mewn ymarferiadau defosiynol. Oddeutu un o'r gloch dydd Iau, gwnawd y parotoadau arferol ar y fath achlysur: gweddïodd y Parch. Mr. Watson, a darllenodd y Parch. Mr. Birrell ran o'r ysgrythyr, a chanwyd salm. Yn yr holl ddefosiynau hyn yr oedd Henderson yn ymddangos fel yn cyduno o'i galon. Pan ddaeth ef at y dienyddle, rhoddwyd cadair iddo, yr hon a drodd efe, fel na wynebai y lluaws ag oedd wedi ymgasglu i weled ei ddienyddiad. Gweddïodd Mr. Birrell drachefn, ac ymddangosodd Henderson ar weddi fel pe buasai ar syrthio oddiar y gadair; cynnaliwyd ef gan ddau swyddwr, ac ni thynodd y cadach oddiar ei lygaid yn yspaid yr holl amser. Anerchodd Mr. Birrell y lluaws, ar ol y weddi, fel hyn:—"Mae 'r troseddwr yn deisyfu arnaf ddywedyd ei fod yn cydnabod cyfiawnder y ddedfryd, a'i fod yn dymuno ar bawb gymmeryd rhybydd o'r canlyniadau echryslawn a ddeilliant o gadw cyfeillach drwg, ac o esgeuluso cynghorion rhïeni, a'r drwg mawr o dori 'r Sabbath. Dymuna arnaf ym mhellach, ddweud ei fod yn marw mewn tangnefedd â phawb, ac mewn gobaith, trwy haeddedigaethau yr Iachawdwr, yn marw mewn heddwch â Duw." Ar ol hyn, cymmerodd Henderson ei le ar y crogbren, a chyflawnodd y dienyddwr ei swydd.—Ni ddienyddiwyd neb o'r blaen yn Cupar er y flwyddyn 1743.

## YR IWERDDON.

Y mae Daniel O'Connel wedi ysgrifenu amryw o lythyrau at ei etholwyr yn Sir Waterford. Mae yn addaw llawer o ryfeddodau yn y Senedd nesaf. Prophwyda, yn un o'i lythyrau, y bydd iddo cyn pen tair blynedd lwyddo i ddiddymu yr undeb rhwng yr Iwerddon a Lloegr.

Ymosododd nifer o derfysgwyr yn ddiweddar ar dŷ amaethwr yn Swydd Clare, a saethwyd tri o'r preswylwyr yn eu hymdrech i'w gwrthwynebu hwynt. Bu ymosodiad o'r un fath yn nghymmydogaeth y teulu Doyle o'r blaen, tafodau dau o'r rhai a dorwyd ymaith ychydig fisoedd yn ol. Gwel Rhif. 84. tu dal. 166.

*Pregethu yn yr Iaith Wyddelig.*—Y mae tri o Offeiriaid, dan nodded Archesgob Armagh, yn awr yn teithio yn eu cylchdro trwy 'r Iwerddon, gan bregethu yn yr iaith Wyddelig i bawb a'u gwrandawant. Pregethodd Mr. Beamish yn ddiweddar i gynnulleidfa hardd yn eglwys Newtownforbes. Ond clywsom fod y gwr boneddig hwn yn gorfod ymadael o faes ei lafur yn yr Iwerddon, o herwydd ei fod wedi cymmeryd arno ofal Capel Gwyddelig yn St. Giles, Llundain, cyn diwedd y mis hwn. Cafodd hamdden i bregethu yn yr iaith Wyddelig i nifer mawr o Babyddion yn Esgobaeth Tuam, Swydd Galway, a thraethu iddynt ryfeddodau mawrion Duw yn eu hiaith gysefin.

## LLOEGR.

Y Senedd.—Bydd i'r Senedd gyfarfod i ymdrin â materion y wladwriaeth ddydd Mawrth, y 27ain o Hydref; dysgwylir y gwneir mwy, ac y siaredir llai, nag yn y Senedd ddiweddaf. Haerir y bydd raid i swyddogion y Llywodraeth nerthu eu plaid cyn y gallont wynebu eu gwrthwynebwyr y tro hwn. Dywedir fod Mr. Brougham wedi datgan ei benderfyniad i wrthwynebu y Duc Wellington â'i holl allu, gan nad oes tebygolrwydd iddo gael ei ddyrchafu i swydd uchel yn y Gyfraith tra y bydd y Duc yn mwynhâu ei oruchafiaeth presenol. Nid yw y Duc mor boblogaidd a chynt; ond tybir y cymhellir ef er adferu serch a hyder y werinos i gynnysgaeddu rhai o'n trefydd mawrion â'r fraint o ethol Cynnrychiolwyr yn y Senedd. Pa fodd bynag, ymdrecha y Duc ei oreu i gadw ei sefyllfa, er iddo golli ei holl gyfeillion presenol. Mae lle i feddwl y cymhella ei Fawrhydi y Brenin iddo leihâu traul y wladwriaeth, ac hefyd lleihâu y cyfryw drethi ag a wasgant fwyaf ar y tlodion. Os cyflawna ei Fawrhydi y gorchwyl dymunol hwn bydd yn fwy poblogaidd nag erioed. Rhaid i ryw gyfnewidiad ddygwydd, a hyny yn fuan, ni ddichon pethau barhâu yn eu cyflwr presenol. Dylai pawb gyduno yn ddiffuant âg archiad ein Heglwys "am i'r Arglwydd lywio a llwyddo eu holl ymgynghoriadau er dyrchafiad i'w ogoniant, er daioni i'w eglwys, ac er diogelwch, anrhydedd, a llwyddiant i'n Harglwydd Frenin a'i deyrnasoedd."

---

## CYFREITHIAU NEWYDDION.

Trwy weithred y Senedd, er Hydref 12, 1830, diddymwyd y dreth oedd ar y Cwrw, 9s. 10c. ar bob *barril*—ac yn awr gall unrhyw berchen tŷ (*house-holder*) gael *licence* i'w werthu, ond iddo fod yn atebol am gadw iawn drefn yn ei dŷ—os cymmwysant feddwon yn eu tai maent i dalu am y trosedd cyntaf nid mwy na £5. na llai na £2.—os troseddant yr ail waith, nid mwy na £10. na llai na £5. am droseddu y drydedd waith, nid mwy na £50. na llai nac £20. ac i gael eu hanghymmwyso i werthu Cwrw dros yspaid dwy flynedd. Nid ydynt i gadw eu tai yn agored cyn pedwar o'r gloch y bore, nac wedi deg o'r gloch y nos, tan y dirwy o 40 swllt am bob trosedd; ac os ceir hwynt yn euog o werthu Cwrw ar ol deg o'r gloch y nos, neu cyn pedwar o'r gloch y bore, ar unrhyw ddiwrnod, neu rhwng deg o'r gloch y bore ac un o'r gloch prydnawn, neu rhwng tri a phump o'r gloch prydnawn Dydd Sul, Dydd Gwener y Groglith, Dydd Nadolig, neu unrhyw ddydd neillduedig i fod yn Ddydd Ympryd neu Ddiolchgarwch, dirwyir hwynt i 40 swllt—a chyfrifir pob tro y gwerthir diod yn yr oriau gwaharddedig yn wahanol drosedd.—Pris y *licence* yw dau giui, i'w hadnewyddu bob blwyddyn.

Er y 12fed o Hydref, 1830, ac o hyn allan, y mae yr holl achosion yn Mrawdlysoedd Cymru i gael eu gweinyddu yn ol yr un drefn ag yn Lloegr. I'r perwyl hwn, y mae tri o Farnwyr wedi eu chwanegu at y deuddeg oedd o'r blaen yn Lloegr.

Y mae hefyd gyfnewidiad yn amser y Sessiwnau Chwarterol: yn lle iddynt fod yn ol y Gwyliau Symudol, sef y Pasc, &c. trefnwyd hwynt i gael eu cynnal rhagllawfol y canlyn:—yr wythnos gyntaf ar ol yr 28ain o Ragfyr:—yr wythnos gyntaf ar ol yr 31ain o Fawrth:—yr wythnos gyntaf ar ol y 24ain o Fehefin:—yr wythnos gyntaf ar ol yr 11eg o Hydref.

---

*Ympryd anarferol gan yr Iuddewon.*—Cynnaliwyd uchel-wyl ryfeddol yn ddiweddar gan yr Iuddewon yn Llundain. Ymgasglodd yr holl Israeliaid o bob parth o Brydain yno ar yr achlysur. Ar godiad yr haul cyrchasant i'r synagogau, ac arosasant yno tan ei fachludiad, heb na bwyta nac yfed dros yspaid y diwrnod. Y rhai manylaf o honynt a wisgent yr amdöau yn y rhai y bwriadant gael eu claddu. A'r rhai a fuont euog o fwyta y pethau a waherddir yn nghyfraith Moses, a gyd-gyfarfuasent â'u brodyr i'r dyben o wneuthur iawn am y cyfryw drosedd. Cyn gynted âg yr ymddangosodd y ser, yr holl gynnulleidfa a ganodd "*The Hymn of Death*," sef Emyn Marwolaeth, â llais uchel dair gwaith drosodd. Gwedi hyny udganwyd mewn udgorn i gyhoeddi fod yr ympryd, yr hwn a barhaodd am yspaid 24ain awr, wedi terfynu, a gollyngwyd y lluaws.

*Caeth-wasanaeth.*—Cynnaliwyd cyfarfod lluosog gan drigolion tref *Leeds*, Swydd Gaerefrog, i'r dyben o gymmeryd dan sylw yr addasrwydd o ddanfon Eirchion at y Brenin, a dau dŷ y Senedd, i erfyn am gwbl ryddhad y Negroes yn nhaleithiau Brytanaidd yr India Orllewinol. Areithiodd yr Arglwydd Morpeth a Mr. Brougham yn hyawdl ac yn wresog o blaid gwrthddrych y Cyfarfod. Areithiodd hefyd amryw foneddigion ereill yn effeithiol iawn ar yr achos. Dywedir fod dros 5000 o bobl yn wyddfodol ar yr achlysur. Y mae Cyfarfodydd cyffelyb wedi cael eu cynnal mewn llawer o ddinasoedd a threfydd yn Lloegr. Pa bryd y deffry ein cydwladwyr i dystio eu hanfoddlondeb o barth y masnach anghristionogol hwn!

Y *Railway* rhwng Lle'rpwll a Chaerfmancon.—Dywedir fod nifer yr ymdeithwyr ar hyd y ffordd newydd hon o ddydd

Gwener, yr 17eg o Fedi, hyd ddydd Sadwrn, y 25ain o'r un mis, yn 6104, yr hyn sydd oddeutu 768 bob dydd. Yr arian a dderbyniwyd oedd £2034 11s. sef oddeutu 254 o bunnau bob dydd; ac yr ydys yn deall fod nifer yr ymdeithwyr yn cynnyddu o hyd.

*Nifer yr Iuddewon yn y Byd.*—Ymddengys fod y bobl hyn mor lliosog ag y buont erioed er genedigaeth Crist. Maent yn cyfanneddu ym mhob teyrnas yn Ewrop, oddieithr Hispaen, Portugal, a Sicily, lle ni oddefir iddynt drigiannu. Yn Ewrop, eu rhif ydyw 1,674.000; yn Affrica, 480,000; yn Asia, 542,000; yn Polynesia, 2,000; yn America, 32,000; y cwbl yn 2,730,000. O hyn tybir fod 25,000 yn byw yn Lloegr, Iwerddon, a Hanover. Clywsom nad ydynt yn byw yn yr Alban, ond nid yw hyn yn gywir. Er fod yr Iuddewon yn bobl wahanedig, ac yn cadw eu defodau nodedig eu hunain; etto dysgant yn gyffredin arferion ac iaith trigolion y gwledydd y trigant ynddynt. Eu heithoedd mwyaf cyffredin ydynt yr Arabic, yr Italaeg, German, y Tyrcaeg, a'r gangen-iaith a arferir gan yr Iuddewon yn Poland.

*Poblogaeth y Byd.*—Cyfrifir 895,300,000 o drigolion yn y byd. Os tybir fod oes dyn yn parhâu am 30 mlynedd, yna y nifer uchod a enir, ac a fyddant feirw, yn yr ysbaid hwnw: o ganlyniad, bydd 81,760 yn marw bob dydd, 3,470 bob awr, neu 56 bob mynyd.

---

## CYMRU.

### MEDDYGDAI CYMRU.

Yn Newyddiaduron Caer a Bangor, y mae llythyr wedi ei gyfeirio at Gofiaduron Meddygdai Cymru; a chan fod gwrthddrych clodwiw yr ysgrifenydd mor dra rhagorol a dymunol, a'i siampl haelionus a gwladgarol mor deilwng o efelychiad, dymunem ddodi ger bron ein darllenwyr gyfieithiad o'r llythyr:

AT GOFIADURON Y MEDDYGDAI CYMREIG.

*Bendithion o ffynnon y Dawn.*

Megys cyfaill i'r Elusendai hyn, ystyriais bob amser eu dyfodiad megys bendith fawr i'm cydwladwyr teilwng sydd a'u sefyllfaoedd yn isel yn y byd, a lle nad oedd dim help meddygol iddynt pan ddygwyddai clefyd neu anffawd i'w rhan. Yn Ariandy (*Bank*) y Meistriaid Williams, Hughes, & Co. Caerlleon, chwi a gewch,

I Feddygdy Arfon a Môn, sefydledig yn Bangor ............ } PYMTHEG GINI.
I Feddygdy Dinbych.... DEG GINI.
I Feddygdy Treffynnon .. DEG GINI.

Y Sefydliadau hyn, yn gystal a'u bod yn foddhad meddwl i'w cynnalwyr, ydynt yn anwyleiddio ein Cyfeillion Meddygol i'w gwlad trwy eu dyfalwch teimladwy a chanmoladwy tu ag at y cleifion tlodion.

Y mae TREF Y BALA, yn ucheldiroedd Meirion, etto heb un Meddygdy. Rhydd ddywenydd i mi i roddi DEG GINI *ar y gareg sylfaen.*

R. LLWYD.

*Caerlleon, Medi* 15, 1830.

Diau y bydd trigolion tref y Bala, a'r Sir, yn ddiolchgar i'r boneddig uchod, ac y bydd ei haelioni ef yn achos i gynhyrfu ein boneddion i gynnysgaeddu eu cydwladwyr tlawd â'r cyfryw Sefydliad defnyddiol.

---

*Damwain.*—Ychydig yn ol, tra yr oedd Mr. J. W. Bacon, o Llanddwrog *Cottage*, yn dychwelyd o Gaerfyrddin yn ei drol marchnad gyda dau o'i blant, a phan oedd yn dyfod i lawr allt Nant-y-caws, darfu i fachgen oedd yn dyfod ar ol Mr. B. ddychrynu ei geffyl, yr hwn a redodd tua dibyn ceunant cyfagos. Pan welodd Mr. Bacon fod ei blant mewn perygl o gael eu taflu i lawr y dibyn, ymdrechodd a llwyddodd i gipio un allan tra 'r oedd y drol ar ymyl y ceunant, a'i daflu ar y ffordd. Yr oedd yn rhaid iddo anturio ei fywyd ym mhellach er achub bywyd y plentyn arall, am fod y drol yn myned ar hyd y llechwedd. Neidiodd Mr. B. ar ddernyn o bren amrai latheni islaw y dibyn, a llwyddodd i afaelyd yn nillad y plentyn pan oedd bron yn nghrafangau angeu a dygodd ef yn ddiogel i'r ffordd, er iddo ef, yn gystal a'r plentyn arall, gael eu briwo yn dost. Pe torasai y pren, cwympasai Mr. B. i waelod y ceunant. Lladdwyd y ceffyl, a chwilfriwyd y drol.

*Rhybydd i Rieni.*—Dygwyddodd i wraig amaethydd cyfrifol, ym mhlwyf Llanfair Pwll Gwyngyll, ym Môn, fyned i ymweled â'i mam, yr hon a breswyliai o fewn ychydig o latheni, a gadawodd ddau blentyn yn y tŷ, heb neb gyda hwynt: oed un oedd tair blwydd, a'r llall ddeunaw mis. Ym mhen ychydig o fynydau, clywodd eu tad, yr hwn oedd yn dyrnu mewn ysgubor cyfagos, eu hoernadau, a phrysurodd i'r tŷ, lle y canfyddodd yr ieuengaf yn amgylchedig gan fflamau, a'r hynaf yn ymdrechu i'w diffodd. Bu y bychan fyw am 24ain awr, ac yna trengodd.

*Gwaredigaeth Ryfeddol.*—Yn ddiweddar, dygwyddodd genethig fechan 5 oed, merch i Mr. John Davies, Crydd, o dref y Bala, gwympo o ffenestr uchaf ystafell tŷ, yr hon oedd oddeutu 9 llath o uchder, ac er syndod i bawb a'i gwelodd, yr unig niweid a dderbyniodd oedd clais ysgafn ar ei braich a'i hochr.

*Damwain Angeuol.*—Pan oedd llangc, oddeutu 20 mlwydd oed, o'r enw Edward Llwyd, yn dyfod i fynu o un o byllau gwaith glo Sweeney, ym mhlwyf Croesoswallt, cwympodd darn o briddfaen o ochr y pwll ar ei ben, a syrthiodd allan o'r cadwynau, yn y rhai yr oedd yn dyfod i fynu, i waelod y pwll, lle y cafwyd ef yn gelain farw. Bydded hyn yn rhybydd i orchwylwyr y cyfryw weithiau i adgyweirio ochrau y pyllau mewn pryd, fel nad achosont mor fynych farwolaeth eu cydddynion.

*Daeargryn.*—Dywedir fod trigolion Amlwch a Llangefni wedi teimlo daeargryn rhwng 8 a 9 o'r gloch nos Fercher y 13eg o Hydref. Ni pharhaodd ond am ychydig o fomentau, ac ar ei ol clywsant sŵn megys sŵn taranau. Ysgydwyd amrai o'r tai i'r fath radd ag i gymhell y trigolion i ffoi allan yn yr arswyd mwyaf. Syrthiodd tô un ystafell i lawr. Yr oedd y prydnawn yn braf heb un awel o wynt.

*Conwy.*—Dywenydd genym adrodd fod boneddigesau Conwy a'r gymmydogaeth wedi sefydlu Ysgol Rad yn y dref hono, yn yr hon yr hyfforddir oddeutu cant o enethod i ddarllen ac i wnïo. Byddai dda pe dilynai boneddigesau trefydd ereill Cymru yr esampl hon, yn lle gwastraffu eu harian wrth gefnogi rhedegfeydd a dawnsiau: fel hyn gwnaent ddaioni iddynt eu hunain ac i'w cyd-genedl.

*Rhybydd i Dafarnwyr.*—Ymddengys oddi wrth y *North Wales Chronicle*, fod y dyhirod ag a gânt eu cynnaliaeth wrth anfon hysbysiadau i'r *Excise* am y tafarnwyr a werthant wirodau heb fraint-lythyr, yn myned trwy rai o barthau Swydd Gaernarfon yn cyflawni gorchwylion eu galwedigaeth *garuaidd a chymmwynasgar.* Un o'r cyfryw ddynion a aeth i dŷ tafarn, ac er ei fod yn gwybod yn dda nad oeddynt yn gwerthu gwirodau, etto cymmerodd arno fod yn glaf, a pherswadiodd forwynig anwybodus i gyrchu iddo wydraid o *rum;* ac wedi iddo ei yfed yno, a thalu am dano, aeth allan, ac mewn ffordd o ddiolchgarwch am y gymmwynas a dderbyniasai, hysbysodd i swyddogion y llywodraeth fod gwraig y dafarn hòno yn gwerthu gwirod. Gwr arall yn dilyn yr unrhyw alwedigaeth a aeth i dafarn, a galwodd am wydraid o wirod; ond methodd a chael un, am hyny cymmerodd gwrw; a chan ei fod yn arferyd gwneuthur simnai o'i geg, perswadiodd wraig y tŷ i fyned i geisio ceiniog-werth o ffwgws: wedi iddo yfed ei ddiod, achwynodd arni am werthu ffwgws heb fraint-lythyr. Nid dymuniad y llywodraeth yw cymmeryd mantais ar anwybodaeth y tafarnwyr tlodion, am hyny gobeithio y bydd i Ynadon Heddwch nacâu derbyn achwyniadau gan y cyfryw adynod a'r ddau ddyn a enwyd.

Yn ddiweddar, bwriwyd David Edmund, *alias* Dai Cardi, i garchardy Caerfyrddin, am lofruddio yn wirfoddol Wm. Kelly, yn nhref Llanelli.

Drwg genym adrodd fod y troseddau o ladrata ceffylau yn cynnyddu yn ein gwlad. Dygwyd ceffyl yn ddiweddar o Landrillo.

Mynegir yn y Newyddiaduron fod y Brenin a'i swyddogion wedi penderfynu lleihau y trethi ar ffenestri, meirch, &c. yn y Senedd nesaf; ynghyd â lleihau cyflogau y gwyr mawrion hyny ag ydynt yn llenwi sefyllfaoedd dan y llywodraeth.

---

## HYSBYSIADAU LLEENYDDOL.

Dywenydd genym hysbysu fod Cymdeithas newydd wedi ei ffurfio yn Llundain, dan yr enw "*The Literary and Translation Society of Wales;*" dyben yr hon fydd taeniad gwybodaeth ddefnyddiol ym mhlith trigolion y Dywysogaeth. Ac er cyflawni y dyben clodwiw hwn, bwriedir argraffu cyfres misol o gyhoeddiadau rhad wedi eu hysgrifenu mewn iaith ddeallus, yn cynnwys Crynodeb o hanes amryw deyrnasoedd y bedysawd; traethodau byrion ac eglur ar amaethyddiaeth; addysgiadau mewn amrai o gangenau Gwyddoriaeth a Chelfyddyd; o'r llyn i gyd mae y Cymro uniaith yn hylwyr anwybodus; a diau y bydd i'r rhan fwyaf o'n cydwladwyr roddi derbyniad mor groesawgar i gyhoeddiadau y Gymdeithas hon ag i annog ei haelodau i fyned ym mlaen gyd â'u gorchwyl gwladgarol. Gallwn ychwanegu fod llawer o ddysgedigion ac offeiriaid Cymru wedi addaw cynnorthwyo y Gymdeithas; ym mhlith y rhai gellir enwi y Dr. W. O Pughe; Aneurin Owen, Ysw. y Parchedigion Walter Davies; Thomas Richards, Llangyniew; Thomas Thomas; a Griffith Howel; C. Temple; J. B. Williams; A. D. Johnes, Ysweiniaid; ac amryw foneddion yn Nghaerludd.

### LLYFRAU NEWYDD EU CYHOEDDI.

Wedi hir oediad, cafodd "Y Gwyneddion" ei gyhoeddi; a chynnwysa y Traethodau a'r Awdlau canlynol a ddanfonwyd i Eisteddfod Dinbych:—*Essay on the Flintshire Castles;* Traethawd ar Angenrheidrwydd Cyfraith i gynnal moesau da; Awdlau ar Wledd Belsassar, gan G. Williams, R. Parry, a'r Parch. E. Evans; Cywydd ar Ymdrech Buddug yn erbyn y Rhufeiniaid; Galarnad ar Farwolaeth y Gwir Barch. Dr. Heber; *Merits of Mr. O. Jones,* Myfyr; Cywydd o Goffadwriaeth am Owain Myfyr; Cywydd ar Gantre 'r Gwaelod; Awdl ar Amaethyddiaeth; yr Englyn Buddugawl ar yr Awyren. Gan ein bod yn bwriadu adolygu y gwaith hwn, nid ychwanegwn yn awr, ond yn unig iddo

gael ei argraffu ar bapur da â llythyren hardd.

Y BARDD, neu y Meudwy Cymreig; yn cynnwys Teithiau difyr ac addysgiadol y Bardd gyda Rhagluniaeth, gan W. E. Jones, Cawrdaf. Cyflwynir y Llyfr hwn i'r gwladgarwr hynaws Archdiacon Beynon. Derbynia y sawl a ddarlleno y llyfryn lawer o fudd a difyrwch.

Ymofyniad i'r prif bethau mewn dadl rhwng y Bedyddwyr a Bedyddwyr Babanod am ddeiliaid a dull Bedydd, a gyfieithiwyd o waith y Parchedig J. Munro, Knockando, gan Michael Roberts, Pwllheli. Cymmeradwya y Parchedig P. B. Williams, Llanrug, y llyfr hwn o barth yr egwyddorion a'r iaith.

Daeth yr 8fed Rhifyn o'r CAMBRIAN QUARTERLY i law, a chynnwysa y cyfraniadau canlynol:—Sir William Jones, and the eminent British Lawyers; Elegiac Stanzas on the Death of George the Fourth, last Prince of Wales; Sonnet; On the Settlement of the Normans in Wales; Griffith Gryg's Satire on Davyth ab Gwylym; The Vengeance of Owain; Alynton, a Tale; Fame; Hector to Hecuba, on her offering him Wine when returning from Battle; The Anti-national spirit of the Welsh Borders; Song; Epigram (from the German) on an old coquette; Olion; Antient Names of Places in Wales queried by Dr. Meyrick; Unpublished Letter from Edward Williams (Iolo Morganwg) to Owen Jones (Myvyr); Monumental Inscriptions in Mold Church; Cowydd i Dydecho Cant, yn amser Maelgwyn Gwynedd; Welsh Lexicography; The old Britons not Barbarians: The popular air Peggy Ban, an Irish Melody; Unpublished Letters, Nos. 1 to 4, of Edward Llhyd, of the Ashmolean Library in Oxford; Reviews of new Books—Account of the Royal Denbigh Eisteddfod held in September 1828, together with the Prize Essays and Poems on the subjects proposed for adjudication at that meeting; Thomson's Welsh Airs; An Account of the Convincement, Exercises, Services, and Travels of that ancient Servant of the Lord, Richard Davies; comprising some information relative to the spreading of the Truth in North Wales; Literary Notice; London and Provincial News; Prices of Canal Shares, English and Foreign Stocks.

Yn barod i'r Wasg, ac a gyhoeddir mor fuan ag y ceffir nifer digonol o Danysgrifwyr, "Ceinion Awen Gymreig:" sef detholiad o waith y Beirdd godidocaf, hen a diweddar; ac hefyd amryw Bryddestau Cysefin a Chyfieithion; gan T. LL. JONES. Cyflwynedig, trwy ganiatad, i W. Owen Pughe, Ysw. A.C.F. A.C.H.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Dyrchafwyd y Gwir Barch. Dr. H. Bethel, Esgob Exeter, i fod yn Esgob Bangor; rhydd trwy farwolaeth Esgob Majendie.

Ar 5ed o Hydref cyflwynwyd y Parch. T. Vaughan, A. C. a Chaplan i'r Wir Anrhydeddus Arglwyddes Antrim, i Berigloriaeth Llandyfaelog, yn Sir Frycheiniog. Noddwr, y Brenin.

Ar yr un pryd, dyrchafwyd y Parch. Josua Davies, Ficer Llanybydder i Gôrberigloriaeth Llandygwydd yn Eglwys Golegaidd Aberhonddu; rhydd trwy farwolaeth y Parch. Dr. Roche.—Noddwr, Esgob Tŷ Ddewi.

---

## PRIODWYD,

Ar y 6ed o Hydref, yn Nhreffynnon, gan y Parch. J. Jones, B. D. y Parch. John Smalley, M. A. Curad Cwm, â Mary, merch hynaf y diweddar Mr. Lloyd o'r dref hono.

Ar y 9fed o'r un mis, yn Eglwys St. James, Llundain, gan y Parch. H. Crawley, Ficar Steeple Ashton, y Parch. John Griffiths, Cymmrawd Coleg Emanuel, Caergrawnt, Prebend. Rochester, a Ficar Llangynhafal, â Mary Elizabeth, unig ferch y Parch. James Baker, o Neuadd Hildersham, Swydd Caergrawnt.

---

## MARWOLAETHAU.

Anghofiasom grybwyll yn ein Rhifyn diweddaf am farwolaeth y Parch. Maurice E. Lloyd, Periglor Trefaldwyn. Yr oedd Mr. Lloyd yn cyflawni dyledswyddau ei swydd fel Offeiriad ac Ynad Heddwch yn dra ffyddlon a diwyd; a maith a thrwm fydd y galar ar ei ol ym mhlith ei blwyfolion a'i gydnabod.

Yn ddiweddar y Parchedig Dr. Roche, Ebrwyad Dinbych, Sir Benfro.

Y'Nghastellnedd, y Parch. R. Howell, Ebrwyad Llancarfan, a Churad Bontfaen a Llanblethian.

---

GWALL YR ARGRAFFWASG.—Yn y Rhifyn diweddaf, tu dal. 345, llinell 20, colofn 2, yn lle "*rhesymol*," darllen "*afresymol*."—Tu dalen 346, llinell 29, colofn 2, yn lle "*athrywyngar*," darllen "*athrywyngar*."

# Y GWYLIEDYDD.

## RHAGFYR, 1830.

### SYLWADAU AR HEB. ii. 3.

*(Parhâd o du dal. 369.)*

III. Y mawr berygl o'r fath ymddygiad. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" A ddiangwn ni rhag eiddigedd yr Hollalluog Dduw, y Bod hwnw yn nwylaw pa un y mae canlyniadau bywyd a marwolaeth? Onid ennyna ei lid megys tân yn erbyn y rhai hyny a esgeulusasant yr iechydwriaeth, yr hon a barotôdd efe gyd â'r fath ddoethineb, gan ei gosod o'n blaen mewn mawr ostyngeiddrwydd, ac yn ein gwahodd oll i fod yn gyfranogion o honi, a hyny mewn trugaredd a daioni rhyfeddol? Iachawdwriaeth ydyw a bwrcaswyd â chymmaint gwerth, dim llai na gwaed ei anwyl Fab, yr hwn ni's arbedodd efe, ond a'i traddododd i angeu yn rhad drosom ni oll: iachawdwriaeth ydyw a ddygwyd o fewn ein cyrhaeddiadau trwy weithrediad yr Ysbryd Glân, yr hwn a roddir i bawb a'i ceisiant mewn gweddi daer a difrif: iachawdwriaeth a amlygwyd mor eglur yn y llyfr sanctaidd, y Bibl, yr hwn yr ydym bawb yn ei feddiannu yn awr mor rhad: iachawdwriaeth sydd yn gymmwys ym mhob modd i'n bendithio, ac i'n gwneud yn ddedwydd yma, ac yn y byd nesaf; i'n rhyddhau ni yma ar y ddaear rhag holl ddrygau y cwymp a'i drueni, ac i ehangu ei bendithion tu hwnt i'n dychymmygion a'n meddyliau yr awr hon tros holl oesoedd diderfyn tragywyddoldeb. A ellir esgeuluso yn ddiogel yr holl ddarpariad hwn o drugaredd ddwyfol, yr holl ymddangosiad dysglaer hwn o gariad a gras nefol? A fedr efe, yr hwn (trwy ba ryw achos bynag) sydd yma yn nydd ei ymweliad yn esgeuluso neu yn gwrthod yr efengyl, gaffael dim i'w gynnyg er lleihau a thynu ymaith ei euogrwydd? Fel y dywedodd ein Harglwydd bendigedig gynt am yr Iuddewon, yn yr un modd y llefara efe mewn perthynas i chwi os esgeuluswch ef: "Oni bai fy nyfod a llefaru wrthynt, ni buasai arnynt bechod; ond yr awrhon nid oes ganddynt esgus am eu pechod." Y'mhellach, pa fodd y diango neb o honom ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth mor fawr? i ba le y ffown am ddiogelwch? at bwy arall yr awn, ond at yr hwn sydd ganddo eiriau y bywyd tragywyddol? A oes unrhyw grefydd arall yn y byd a chanddi rith o wirionedd yn perthyn iddi, heblaw crefydd yr efengyl? a pha beth fydd yr efengyl ei hun os cauwn allan Iesu Grist fel Iachawdwr? Pa ryw le o nodded a gawn ni i'n hamddiffyn rhag y Bod hwnw, yr hwn y darfu i'n pechodau cyn amled ei ddigio (fel y tystiolaetha ein cydwybodau ni oll) oddieithr yr Iachawdwr sydd

yn awr yn gosod ei hun ger ein bron "yn ymguddfa rhag y gwynt, ac yn lloches rhag y dymhestl?" Bydded i bawb o honom fyfyrio ar y pethau hyn: meddyliwn am danynt yn ddwfn ac yn brysur, tra y pery dydd iachawdwriaeth, a phan y gwelwn etto y pethau a berthynant i'n heddwch, cyn y symudir hwynt am byth allan o'n golwg. Y mae Iesu yn awr yn cynnyg ei hun megys cyfaill o'ch blaen chwi oll—cyfaill pechaduriaid, er y bydd yn elyn pechod yn y dydd hwnw pan yr "ymddengys efe o'r nefoedd fel Barnwr, gyd â'i angylion nerthol, a thân fflamllyd."

Ond os ydyw 'r perygl a'r trueni o wrthod ac esgeuluso yr iechydwriaeth hon mor fawr, pwy a fedr ddarlunio yn iawn y diogelwch, yr hapusrwydd a feddianna y sawl sydd yn ei derbyn o'r galon, ac yn ufuddhâu iddi yn ffyddlawn ac yn ddiffuant? Pob peth sydd yn eiddo i chwi; pob peth gwir angenrheidiol er eich daioni yma, a chyflawnder dedwyddwch ar ddeheulaw Duw yn oes oesoedd. Dymunaf arnoch ond yn unig gofio, fod ffydd y Cristion yn ffydd weithredol, yn arwain i sancteiddrwydd calon a buchedd. "Yn Nghrist Iesu ni all enwaediad ddim, na dienwaediad; ond ffydd yn gweithio trwy gariad." Y ffydd hòno sydd gymmeradwy ger bron Duw, ac o leshâd i'n hiechydwriaeth ein hunain, y mae hi yn cyfranu sylwedd ac eglurhâd i'r "pethau ni welir;" ac y mae hi yn sicrhâu holl wirioneddau mawrion yr efengyl cyn belled ag i argraffu arnynt egwyddorion gweithredol, bywiog, a pharhâus. Y mae yr apostol ardderchog, yr hwn sydd ym mhob lle yn amddiffynwr nerthol o *athrawiaeth rhad ras*, yn cynghori yn wastadol ei ganlynwyr ar "rodio o honynt yn addas i'r alwedigaeth eu galwyd iddi." Os chwi, gan hyny, a dderbyniasoch Iesu Grist fel eich Hiachawdwr; os edrychwch i fyny ato ef yn unig am iechydwriaeth, bydded i'ch ymarweddiad ddangos eich bod yn rhodio gyd âg ef. Megys ag y mae efe i chwi yn fywyd, yn gyfiawnder, ac yn nerth, ystyriwch ef hefyd megys eich siampl. Os eich ffydd sydd o natur a nodweddiad gwirioneddol, fel yr eiddo Moses, hi a bery, gan "weled yr hwn sydd anweledig." Eich Hiachawdwr, yn wir, a gymmerwyd allan o'r byd hwn; ond ffydd a'i canlyna ef i'r lle y dyrchafwyd ef ar ddeheulaw ei Dad; ac yno y mae efe yn eiriol ac yn ymddadleu dros bawb a'i carant, ac a ufuddhânt iddo. Y mae ei bresenoldeb ysbrydol, yr hwn a deimla yr enaid trwy ffydd, yn ei gadw rhag drygioni, yn ei gefnogi yn ei ddyledswyddau, yn gymmorth ac yn noddfa tan bob cystudd. Y mae calon y gwir Gristion yn hyderu ar yr Arglwydd, i'r hwn yr ymddiriedodd ei holl orchwylion, dros amser a thragywyddoldeb, ac efe a all fyned ar hyd ei ffordd yn llawen: mewn hawddfyd yn ostyngedig, ac yn foddlonus ym mysg adfyd a gorthrymder; gan "arfer y byd hwn megys heb ei gamarfer, a gwybod fod ei ddull yn fuan yn myned heibio." Ac wedi gosod ei holl ofal ar ei fendigedig Iachawdwr, yr hwn a addawodd ofalu am dano, y mae yn credu yn sicr, os "ceisia efe yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, pob peth angenrheidiol a chwanegir iddo ef." Fel hyn, gyda Duw yn gyfaill i chwi, Crist yn Iachawdwr, a'r Ysbryd Glân yn arweinydd ac yn ddyddanydd, ac hefyd y nef yn gyfran i chwi, a fydd arnoch eisieu dim daioni? Ymgedwch rhag y byd, gan weled ei fod yn ofer, yn bechadurus, yn llawn gofalon ac anghrediniaeth. Cofiwch nad yw y Cristion o'r byd. Pan fyddo yn y byd yn gofalu ynghylch ei orchwylion a'i alwedigaethau angen-

dragwyddol, trwy ffydd efe a orchfyga y byd, ei wynfyd, a'i drueni. Gweddi ei galon yw—"Arglwydd, dyrcha arnom lewyrch dy wyneb.—Rhoddaist lawenydd yn fy nghalon mwy na'r amser yr amlhaodd eu hŷd a'u gwin hwynt." Bydded i chwi fyw fel hyn; a'ch cael felly pan raid ymadael â'r byd hwn; ac wedi dilyn yn ffyddlawn, er yn anmherffaith, eich Hiachawdwr yma ar y ddaear, efe a gymmer eich ysbryd iddo ei hun, "A chwi a dderbyniwch ddiwedd eich ffydd, sef iachawdwriaeth eich eneidiau." Amen.

J. J. CALEDFRYN.

---

SYLWADAU AR PREG. xi. 10.

"Gwagedd yw mebyd ac ieuengctid."

FE greodd Duw ddyn ar y cyntaf yn berffaith ac yn uniawn, ac ar ei ddelw ei hun; ac a'i gosododd ef yn arglwydd ar "bysg y môr, ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar bob peth byw a ymsymudai ar y ddaear." *Gen.* 1. 28. Ac i chwanegu at ei ddedwyddwch, gosododd ef mewn gardd baradwysaidd a hyfryd, yn llawn o brenau "dymunol i'r golwg, a daionus yn fwyd," (*Gen.* 2. 9.) ac a ganiataodd iddo gael bwyta o bob un o honynt, oddigerth un, sef o bren gwybodaeth da a drwg, gan fygwth, ar yr un pryd, os bwytâi o hono, gan farw y byddai farw. *Gen.* 11. 17. A hyn a wnaeth Duw i brofi ufudd-dod y dyn. Yr oedd y gorchymyn yn ysgafn ac yn hawdd ei gadw: ond, er esmwythed ydoedd, fe'i torodd, trwy gael ei demtio gan Satan, a chymmeryd ei berswadio ganddo ef; a thrwy hyny efe a syrthiodd o'r ystâd wynfydedig hòno, er condemniad iddo ei hun, a'i holl hiliogaeth. Y mae holl ddynolryw wrth naturiaeth yn blant digofaint. "Pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw." *Rhuf.* 3. 23. Nid yw hyd yn nod pobl ieuaingc, na mabanod, yn lân oddiwrth bechod; ond, yn ngeiriau 'r testun, "Gwagedd yw mebyd ac ieuengctid."

Y mae dau ystyr i'r geiriau *mebyd* ac *ieuengctid*.

I. Gellir eu cymmeryd am yr *amser* hwnw ag sydd o dan oedran gwr.

II. *Mebyd* ac *ieuengctid* a arwyddocâ *rai* o'r blynyddoedd neu 'r oedran hwnw, sef, plant a phobl ieuaingc. A chymmeraf y geiriau yn yr ystyr olaf, "Gwagedd yw mebyd ac ieuengctid."

1. Gwagedd ydynt mewn perthynas i'w cyrph. "Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidawgrwydd fel blodeuyn y maes." *Esa.* 40. 6. Y mae gan y gwr ieuangc grymusol ei anadl yn ei ffroenau: yn ol rheol natur, gall fyw yn hŵy na hen bobl; etto, trwy freuolder natur, gall farw o flaen y dyn hynaf. O wr ieuangc! yr ydwyt yn edrych ar angeu megys ym mhell oddi wrthyt; ond fe allai mai y fory y byddi yn gorfod ei wynebu. Mae hadau marwolaeth ynot ti: ni elli wrthsefyll un cennad angeu: mae y ddedfryd yn gyhoeddedig i'th erbyn; a phechod, achos marwolaeth, yn glynu wrth dy ieuengctid. I ba ryw nifer o ddamweiniau yr ydwyt yn ddarostyngedig iddynt bob mynyd? Gallu Duw a'ch cadwodd chwi, blant, yn fyw hyd yn awr, gystal a'r hen wr pedwar ugain.

2. Gwagedd ydynt mewn perthynas i'w meddyliau a'u moesau. Y mae Ysbryd Duw yn ein rhybuddio i beidio rhodio yn oferedd ein meddyliau. *Eph.* 4. 17. Mae oferedd yn aml yn cael ei roddi am bob pechod. 2 *Bren.* 17. 15. Mae holl ffyrdd pechod yn ofer: ac mae pechod yn haeddu yr enw oferedd oddiwrth yr ystyriaeth hon; sef, nad ydyw yn cael ei wneuthur i un

dyben gwerthfawr, ie yn hytrach, mae yn darfod yn yr hyn sydd ddinystriol, ac yn llawer gwaeth nag yn unig yn ddifudd. Ond, fe allai, y gofyn rhywun, Pa ant y mae hyn yn cael ei osod i lawr mor gyffredinol, fod yr holl bobl ieuaingc fel hyn yn ofer? I'r cyfryw yr wyf yn ateb,

(1.) Oblegid fod y rhan fwyaf o bobl ieuaingc yn ofer. Am un ag sydd yn sobr ac yn bwyllog, pa faint sydd yn wylltion? Am un ag sydd yn dduwiol, y mae llawer yn ddrwg ac annuwiol. Mae plentyn crefyddol bron yn rhyfeddod. Duwioldeb mewn blynyddoedd cynnar sydd yn bur anfynych. Pan mae 'r haint mor gyffredin, mae y cwyn yn briodol megys yn erbyn y cwbl.

(2.) Mae yr holl bobl ieuaingc yn dueddol i fod yn ofer: oferedd yw llithiad yr oes hòno. Er y gall gras wared rhai o honynt rhag awdurdod gwagedd; etto, ni lanhâ mo honynt oddiwrth bob gogwyddiad ato. Mae yn crogi o'u deutu, ac yn byw, er wedi ei ffrwyno. Mae pobl ieuaingc yn dueddol i lawer o bechodau ag sydd yn ofer hynod. Mae rhai pechodau neillduol, y rhai, yn eu natur, a ddangosant fwy o wagedd na phechodau ereill: maent yn dwyn meddwl ofer iawn i'r dyn a'i gwnant. Mae gan ieuengctid lawer o'r pechodau hyn. Yn awr amcanaf wneuthur ychydig sylwadau ar y rhai hyny ag y mae pobl ieuaingc yn fwyaf tueddol iddynt.

Y cyntaf a enwaf yw, *Ffolineb.* Mae 'r Ysbryd yn cyhuddo ein blynyddoedd boreuaf â'r bai hwn: "Ffolineb sydd yn rhwym yn nghalon plentyn," *Diar.* 22. 15. Ond, a yw hwn yn perthyn yn unig i blant? Nac ydyw; "Dyn ieuangc heb ddeall ganddo," (*Diar.* 7. 7.) a welir yn rhy fynych. Nid eisieu y doethineb ar na ddysgwylir yn eich oedran ydyw y bai hwn, bobl ieuaingc; eithr y mae y fath ffolineb ag a ellir ei feddyginiaethu yn eich blynyddoedd chwi; ac y mae wedi ei wneud i fynu o ddallineb a chamgymmeriadau yn erbyn y goleuni hwnw a roddodd Duw i chwi.

Yn ail, *Anystyriaeth.* Mor anhawdd ydyw cael gan ieuengctid feddwl am, neu osod y pethau mwyaf eu pwys wrth eu calonau! nid ydynt yn gofalu mewn na dyledswydd na pherygl. Maent mor ddiystyr yn achos eu heneidiau a'r anifeiliaid direswm. Pa mor lleied a ofynasant yn ddifrifol i'w hunain ryw eiriau tebyg i hyn—A gafais i fy ail-eni, ai naddo? I ba le yr arwain fy mhechodau fi? Pan eilw Duw fi i roddi cyfrif iddo am fy ngweithredoedd, pa beth a ddywedaf wrtho? Pa fodd y dyoddefaf boenau tân tragywyddol? Y mae yn rhy gyffredin gyd âg ereill megys yr oedd gyd â'r gwr ieuangc hwnw, "Efe a'i canlynodd hi ar frys, fel yr ych yn myned i'r lladdfa, neu fel ynfyd yn myned i'r cyffion i'w gospi: hyd oni ddryllio y saeth ei afu ef; fel yr aderyn yn prysuro i'r fagl, heb wybod ei bod yn erbyn ei einioes ef." *Diar.* 7. 22, 23. Ni chymmerodd amser i edrych beth a fyddai canlyniad ei bechod: poen anocheladwy sydd yn rhoddi y rhag-olwg cyntaf o'i berygl, pan y buasai dwys ystyriaeth ym mlaen llaw yn foddion i'w attal yn ei waith drygionus.

Yn drydydd, *Ystyfnigrwydd.* Y mae pobl ieuaingc yn dueddol iawn i'r drwg hwn. Maent yn torri trwy attaliadau, ac yn ddisylw o gyngor; nid yw ymbiliau o fawr les: ie, blant, er y'ch cymherir i fagwraeth tyner, y mae ynoch lawer o gyndynrwydd. Ni wrandewch ar lais eich rhieni: pan geryddant hwy, yr ydych fyth yn ystyfnig. Y mae athrawon yn eich argyhoeddi; ond ni chymmerwch chwi sylw o honynt: gweinidogion y gair a alwant yn daer arnat, O wr ieuangc! i

droi ô'th lwybr dinystriol; eithr yr ydwyt ti yn myned ym mlaen, ac yn troi clust fyddar atynt; cydwybod yn aml a siarada, ac a ddangosa i ti dy euogrwydd; ond yr wyt ti megys wedi penderfynu myned i ddistryw; ie, Duw ei hun hefyd a saif yn dy ffordd, fel yr angel â'i gleddyf noeth yn ei law; eithr diarswyd ydwyt ti, ac mewn effaith yn dweud, Myfi a bechaf, doed a ddelo; tyfed euogrwydd, tarawed Duw, bydded farw fy enaid, yr holl bethau hyn ni chânt fy rhwystro y'mlaen.

Yn bedwerydd, *Digter a gwyllltineb.* Mae plant yn chwannog i fod yn anniddig a chroes, gwŷr ieuaingc yn llawn gwylltineb. Mor fuan y cyneua y tân, ac mor danbaid y fflamia! Mae pobl ieuaingc yn aml yn ddig wrth eu cyfeillion goreu, hyd yn nod am y pethau y dylent fod yn ddiolchgar am danynt; mae pethau gwaelion a distadl yn eu cyffroi yn ddirfawr; a pha ryfedd; canys tywyllwyd eu rheswm rhag gweled canlyniadau angeuol eu ffyrnigrwydd. Cainech parhaol, ymrysonau, a llofruddiaethau, ydynt yn rhy fynych effeithiau y poethder afreolus hwn. O ŵr ieuangc, "bwrw ddig oddiwrth dy galon," *Preg.* 11. 10. cofia eiriau Crist, "Yn eich amynedd meddiennwch eich eneidiau." *Luc* 21. 19.

Yn bummed, *Diogi.* Yn wir, y mae rhyw gyfran o'u hamser, pan y maent yn anallnog i ddysgu na gwneuthur unrhyw beth; ond pan y gallant mor gyffredin y maent yn esgeulus a diog! Rhoddant y tymmor gwerthfawr hwn o'u hoes i ryw wag chwareuon diles. Ychydig a wnant tu ag at y byd hwn a thragywyddoldeb. O bobl ieuaingc, mor werthfawr ydyw yr amser yr ydych yn ei gam dreulio! a pha fath gyfrif athrist a raid i chwi roddi am yr oriau hyny a'r ni ellir eu galw yn ol! Cyfod yn awr, ynte, ŵr ieuangc, a gweithia; a "pheth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni: canys nid oes na gwaith, na dychymmyg, na gwybodaeth, na doethineb, yn y bedd, lle yr wyt ti yn myned." *Preg.* 9. 10.

Yn chweched, *Difyrwch a Digrifwch Cnawdol.* Mae y bai hwn yn gyffredin iawn yn eu mysg. Siaradant yn ysgafn, ymwisgant yn wychion, carant glywed chwedlau, ac ymhoffant edrych ar wagedd; "Ymhyfrydant mewn camwedd." *Diar.* 14. 9. Nid ydynt yn ystyried i ba le y maent yn cael eu harwain ganddo, nid ydynt yn edrych ar ei ganlyniadau. O na welent y poenau a gant yn wobrwy yn y diwedd—hwy gant eu difyrwch penaf yn awr angeu yn fwyd chwerwaf. O ynfydion! yn dewis y fath bleserau, a'r na allant roddi un math o gysur yn ngwyneb marw, ond a fyddant yn sicr o fod yn clyw marwol iddynt: gan hyny, "Gwell yw digter na chwerthin: canys trwy dristwch yr wynebpryd y gwellhëir y galon." *Preg.* 7. 3.

Yn seithfed, *Celwydd.* Y pechod hwn a ymddengys yn foreu mewn plant, ac y mae yn gwreiddio mor ddwfn ynddynt, fel ag y mae yn anhawdd eu cael i'w adael ymaith. Y mae yn awr yn wir am lawer, "O'r bru y cyfeiliornasant, gan ddywedyd celwydd." *Ps.* 58. 3. Dywedant gelwydd wrth eu rhieni, i guddio eu beiau; wrth Dduw, trwy dori eu haddunedau bedydd; wrth eu cydradd, er mwyn digrifwch neu ennill. Mor aml y siaradant yn amgen nag y meddyliant, ac yn wrthwyneb i'r hyn maent yn ei wybod, gan dwyllo y rhai yr ymddyddanant â hwynt! O ieuengctid, rhoddwch ymaith yr arfer bechadurus hon, yr hon sydd yn eich gwneud yn debyg i'r diafol ei hun, yr hwn yw tad y celwydd, *Ioan* 8. 44. a dilynwch gyngor yr apostol, yr hwn a ddywed, "O herwydd paham, gan

fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymmydog." *Eph.* 4. 25.

Y drwg diweddaf a gaf i sôn am dano, ag sydd yn dilyn ac yn gwylied ieuengctid, yw *Trythyllwch* ac *Anlladrwydd*. Och, lwybrau mor aflan y mae llawer o ieuengctid yn eu cerdded! "Brwnt yw adrodd y pethau a wneir ganddynt hwy yn ddirgel." *Eph.* 5. 12. Mor lleied sydd yn "meddiannu ei lestr ei hun mewn sancteiddrwydd." 1 *Thes.* 4. 4. neu yn cyrhaeddyd oedran gwr, heb yspeilio gwyryfon o'u diweirdeb a'u gwyryfdod! O na chymmerai ieuengctid ein gwlad gyngor yr apostol, yn 1 *Cor.* 6. 18. "Gochelwch odineb." Pe byddai ofn syrthio i'r bai, gochelid yr achlysur. O wyr ieuaingc, pa fodd y sefwch o flaen Barnydd yr holl ddaear, i roddi cyfrif am eich gwaith yn denu a themtio gwyryfon gweiniaid i gyd bechu â chwi i'w distrywio eu hunain?

Yn awr, ieuengctid, gan fy mod wedi cyffwrdd â rhai o'ch pechodau mwyaf hynod, deisyfaf arnoch chwithau, er mwyn Iesu a'ch eneidiau gwerthfawr eich hunain, ddodi yr ychydig ystyriaethau hyn at eich calonau, a holi eich hunain, a ydych chwi yn euog o un o honynt? a gweddïwch ar Dduw am ymwared oddi wrthynt, a gras i fyw i'w ogoniant ef. Rhodiwch yn ol esampl Iesu—fe'i temtiwyd yn ei ieuengctid yn fynych i bechu, ond er hyny i gyd ni phechodd, ac ni chaed twyll yn ei enau ef. Os ydych yn meddwl bod yn dragywyddol ddedwydd, rhaid i chwi gofio nad oes modd bod felly trwy ...ru y byd a'i bethau; rhaid i chwi ...l rhyw beth heblaw pleserau ...fodedig y llawr, i gyrhaeddyd ...nfydedigrwydd diddarfod. Gan ...y, "Tro ymaith ddrwg oddi... dy gnawd: canys gwagedd ...w mebyd ac ieuengctid."

I. W.

## CYFARCHIAD YR ENAID I'R CORPH AR EU HYSGARIAD YN ANGEU.

Bydd wych, Gorph! dos, cymmer dy hir gwsg yn dy gyd-ryw ddaear!

Ti a wnaethost i mi lawer o wasanaeth. Trwy dy lygaid y gwelais ogoniant y greadigaeth; y nefoedd uchod, y rhai sydd yn pregethu gogoniant eu Gwneuthurwr, a'r ddaear isod, prydferthwch yr hon sydd yn dangos doethineb, gallu, a daioni yr Arglwydd. Trwyddynt hwy y'm galluogwyd i ddarllen gair Duw, argraff-len fawr ein hiechydwriaeth. Trwyddynt hwy y cyd-gyfranodd meddwl â meddwl mewn tristwch a llawenydd, heb gyfryngiad geiriau.

Trwy dy glustiau y'm difyrwyd â phersoriaeth offerynau soniarus, â melusdra y llais dynol, ac â pheraidd dônau caniedyddion y goedwig. Trwyddynt hwy y clywais y newyddion llawen am iechydwriaeth trwy Iachawdwr croeshoeliedig, ac y mwynheais gyfeillach fy nghyd-Gristionogion.

Trwy fy undeb â thydi y'm llonwyd â pher-arogledd y rhosyn a llysiau peraidd ereill.

Trwy dy dafod, yr hwn oedd dy ogoniant, y'm galluogwyd i gyfranu fy meddyliau i'm brodyr, ac i ddatgan moliant y Goruchaf.

Tra yr wyf yn addef fy rhwymedigaeth i ti, mae 'n rhaid i mi, wrth ymadael, ddwyn ar gôf i ti y niweid a dderbyniais oddi wrthyt.

Dy lygaid, y rhai a roddwyd i ti er gogoniant Duw, a'th gysur a'th ddyddanwch dy hun, a fuont yn adwy i ollwng llawer o ddrwg i mewn. Pa nifer o demtasiynau a ymosodasant arnaf trwy dy fod yn esgeuluso gwylied y porth hwn yn ddigon manwl. Pa mor aml yr edrychaist ar waith y Jehofah, neu y syll-dremaist ar ryfeddodau y greadigaeth, heb feddwl am dano Ef, yr hwn a roddodd yr haul i

lywodraethu y dydd, a'r lloer a'r ser i lywodraethu y nos. Pa mor aml yr aethost ar ol gwrthddrychau gwaharddedig, a thrwy hyny y dygaist euogrwydd a thywyllwch arnaf fi.

Dy glustiau, y rhai a ddylasent ymhyfrydu yn unig mewn gwirionedd, a wrandawsant yn fynych ar lais y gwenieithwr, ac ar sibrwd y goganwr.

Dy dafod, yr hwn a ddylasai gymmeryd deddf cariad i'w cyfarwyddo, a fu yn aml yn brathu fel cleddyf, dy ymadrodd a fu yn aml yn ddiffygiol o symlrwydd Cristionogol, ac allan o'th enau y daeth bendith a melldith.

Pa faint o'm hamser gwerthfawr a dreuliaist yn cysgu ac yn darbod dros dy angenion, a pha mor daer a fuost am gael boddhâu gwangc dy natur? Mae y pethau hyn yn rhy fynych wedi fy ngwneuthur i yn anaddas i ymarferiadau mwy uchel ac ardderchog.

Diolchgar ydwyf, yn wir, fod dy boenau a'th afiechyd wedi bod yn offerynol i ddysgu ï mi fod yn amyneddgar a gostyngedig i ewyllys Duw, ac yn deimladwy o'm cwbl ymddybyniad arno ef am bob daioni.

Nyni a deithiasom ynghyd am fwy na deng mlynedd a thriugain; caruaidd a chyfrinachol fu ein hundeb—daioni a thrugaredd a'n dilynasant ar hyd y ffordd: ac felly nid allaf lai na theimlo rhyw ofid dwys wrth feddwl am ymadael: ond mae y gobaith o gael ein huno drachefn, pan fydd llais yr arch-angel ac udgorn Duw yn deffroi y meirw yn fy nghysuro.

*Y pryd hyny* yr ymgyfarfyddwn mewn amgylchiadau tra gwahanol: yn fuan fe'th roddir di i'r llwch yn dalp o lygredigaeth, y pryd hyny fe'th gyfodir *mewn anllygredigaeth:* yn awr *mewn ammharch,* y pryd hyny *mewn gogoniant:* yn awr *mewn gwendid,* y pryd hyny *mewn nerth:* yn awr *yn gorph anianol,* y pryd hyny *yn gorph ysbrydol,* cyffelyb i gorph gogoneddus yr Iachawdwr.

Mor ogoneddus fydd y newidiad! Dim mwy o bechod, nac afiechyd, na thristwch—dim mwy o dreulio amser yn cysgu, oblegid ni bydd nos yno; nac yn darbod dros dy angenion, "oblegid yr Oen, yr hwn sydd y'nghanol yr orseddfaingc, a'n bugeilia, ac a'n harwain at ffynnonau bywiol o ddyfroedd: a Duw a sych ymaith bob deigr oddiwrth ein llygaid."

T. G. C.

---

DARLITH AR FWNAI, &c.

(Parhâd o du dal. 375.)

YN ein darlith olaf dywedasom, mai *dau* eisieu corphorol sydd ar ddyn, sef *ymborth* a *dillad;* a gan ei fod eisieu y ddau beth hyn bob amser, i dori y ddau eisieu hyny y mae dyn yn byw; *heb* eisieu nis gallai fyw, a *thrwy* eisieu nis gallai fyw. Gwir fod dyn eisieu, neu yn hytrach *chwant* pethau ereill, gyd â'r ddau a enwid, megys *tai, tir, meirch, cerbydau, gleinion, gwychedd, bri, &c.* ond pethau blysiol ynt hyn oll, ac eisieu *rheidiol anhebgorol* ynt y lleill.

Addefom y gall boneddig gael ei *winoedd,* ei *wirawd,* ei *lynoedd,* ei *gwrw,* a phethau o'r fath yn ddiawd; ac *adar, pysg, cigoedd, plithfaeth, blysolion,* a *danteithion,* yn fwyd; ond, os tori ei syched, a llenwi ei fol oedd ei ddyben, buasai *dwr* a *llaeth enwyn, uwd* a *llymry,* yn gwneud yr un peth; yr unig ragoriaeth yw, rhywogaeth ymborth y naill ac y llall. Gall boneddig hefyd wisgo *sidan* a *beli* am ei gorph, er cuddio ei noethni—a gwisgo ei weision, nes o braidd y gwelir lliw eu peisiau gan grest o aur; etto, nid ydynt ond *dillad,* gwnai *brethyn llwyd cartref* yr un gwasanaeth.

Sylwch.—Pe meddai dyn dir, a meddiannau Ynys Prydain, a thwr o aur o faint yr *Wyddfa*, yn *Swydd Gaernarfon*, nis gallai gael ond y ddau beth a enwid, o ran ei *ddir* angheniou. Ym mhellach, o fod eisieu ar ddyn bob amser, o ei febyd hyd ei fedd; y mae *cyfnewidiadau* bob amser yn dygwyddo *ynddo*, ac *arno!* ac nid yw y dyn yr *un un*, un amser o ei fywyd. Gŵyr pawb, nas gall corph dyn sydd ddwy lath o uchder, a hanner llath o led, fod yr un, ag oedd ei gorph, pan yn dri mis oed—"Na wn i," medda rhywun, "Twm Jones oeddwn i y pryd hyny, a Thwm Jones ydwyf etto."—Ië, *enw* yw hyny sydd ar dy *gorph*, i'th wahaniaethu. —"Gwir," medda rhywun arall, "fy mod i ar droeau yn *eillio* fy *marf*, yn tori fy *ewinedd*, a chael tori fy *ngwallt;* ac nis gall yr hyn a dorais ymaith fod genyf, na bod yn rhan o honof mwy." Mor wir a hyny yw, bod pob rhan o gorph dyn, *bob amser* yn cyfnewid: beth debygech chwi yw yr achos fod dyn a gafodd ei lawn ddigoni â bwyd wyth o'r gloch y boreu eisieu ychwaneg am ddau o'r gloch brydnawn, gwedi hyny ychwaneg am chwech yn yr hwyr, a deg yn y nos? onid yw yn amlwg mai rhyw ranau, neu yn hytrach *pob* rhan o'i gorph sydd yn cyfnewid, a bod yr hyn ei digonodd ddwy awr yn ol, gwedi treuliaw yn ei wasanaeth: a rhaid ei drosi at ryw ddefnydd arall. Onid yw yn amlwg hefyd, bod *adar, pysgod, ychain, defaid, ceirw, moch, llysiau, etrin*, a mil o bethau a ellid eu henwi, yn troi yn *esgyrn, gïau, mer, gwaed*, a *chnawd* dyn: chwi wyddoch, pe byddai dyn fyw ar *gig* moch yn *unig, cig* moch a fyddai arsillodd ei gorph, er nad *mochyn* a fyddai y *dyn*, mwy na byddai *mochyn* yn *ddyn*, a ymborthai ar gnawd dyn. Oddiwrth y cyfnewidiadau a ddygwyddai yn ar *ar* y dyn yn y byd hwn, mae genyf sail i feddwl mai ar gyfnewidiadau olynol y bydd dyn fyw yn y byd gwedi hwn; ond pa *fath* gyfnewidiadau a fyddont, nid awyf yn bresennol i holi.

Chwi wyddoch fod *dwy* neu *dair* o wahanawl ansawdd bodoliaeth ar fywiolion, yn y byd hwn; ac os gellir barnu oddiwrth *gyffelybiaethau*, bydd cymmaint o ragoriaeth rhwng dyn yn y byd nesaf o ran ei *fodoliaeth*, ag sy rhwng sefyllfa y cyw yn yr ŵy, ac wedi iddo ddyfod o hono. Mae plentyn, yn ei sefyllfa gyntaf yn y bru, yn gyflawn o ranau, ac yn cyfnewid bob amser; er hyny, mae ganddo bob peth mor addas, *erddo* ac *iddo* yn y sefyllfa gyfyng hono, ag sydd gan ddyn yn ei *ail* sefyllfa gwedi ei eni. Ddarfu i chwi erioed sylwi ar y cyfnewidiadau a gymmerynt le mewn *ilir*, neu loyn-byw? Pan bo ilir yn ei sefyllfa gyntaf yn yr ŵy, mae o yn byw mewn ychydig le, a rhyw olwg *llwydaidd gwael* arno—yn ei *ail* sefyllfa, mae ei *sym*, ei *liw*, ei *lun*, ei *ymborth*, a'i *ryddid*, yn wahanol: ar ol hyny, gorwedda enyd, megys marw, a gwedi amser penodawl, rhwyga allan o'i hen dŷ i ryddid diderfyn, a galluoedd newydd ganddo, ei *liw* a'i *lun* yn *odidocach*, *cyflym* a *hoyw* yn *gwibiaw*, *ymhyfryda* ac *ymbortha* ar flodau heirdd eu gwedd, a chweg eu chwa, heb un attalfa arno; oddiwrth hyn o grybwylliad, gadawaf i chwi wneud y casgliad y mynoch am ddyn.

Ym mhellach, nid yw y cyfnewidiadau hyn berthynol i ddyn yn unig, mae pob peth *gweledig* ac *anweledig*, *byw* a *difyw*, yn cyfnewid mewn un ai *lle*, *lliw*, *llun*, neu *ansawdd;* a hyny bob amser.

Mae yr haul yn saethu ei belydrau gwawl yn ddibaid olynol, er y dechreuad; ac felly yn cyfnewid bob amser. Edrychwn ar y dwr, mor aflonydd y mae mewn *ffynnonau*, *afonydd*, *cymylau*, a *môr;* a'r

bywiolion ynddynt, y naill yn byw ar y llall, a thraws gymmysgu a chorpholi eu gilydd mewn cyfnewidiad parhaus. Edrychwn ar wyneb y ddaear, a gwelwn *dyfolion*, *llysiau*, *glaswellt*, a *choedydd*, bob amser yn cyfnewid—y *glaswellt* yn troi yn *adar* ac yn *ddefaid*—ac *adar* a *defaid* yn troi yn *gnawd-dyn*, a *chnawd dyn* yn troi yn *bryfed*, &c. Edrychwn ar yr elfen dân, fel mae hòno yn *llosgi*, yn *toddi*, yn *berwi*, a chyfnewid pethau. Edrychwn i'r bydoedd wybrenawl, a gwelwn drefn y rhod, a phob peth yn cylchdroi yn ol ei rhaith. Y tymhorau hefyd yn yr un modd—gwelwn *ddydd* a *nos*, *hâf*, *cynyeuaf*, *gauaf*, *gwanwyn*. Ac er bod y fath gyfnewidiadau dibaid yn dygwyddo yn y byd, *un* yw y *defnyddiau creedig*, yn eu holl gyfnewidiadau: er llosgi miloedd o dunelli o lo bob dydd, y glo yn troi yn *dân*, *mwg*, *gwyr*, a *lludw*, nid yw sylwedd y glo fymryn llai.

Er berwi afonydd o ddyfroedd bob blwyddyn, yn *darth* ac yn *agerdd;* ac er i ni yn Llundain yfed afon ein hen wiwglod Gymro, *Syr Hugh Middleton*, a hyny bob dydd, nid oes ddafn llai o ddwr yn bresennol nag oedd pan creid dwr gyntaf. "Yn araf," medda rhywun, "oni ddywedasoch, *fod yr haul yn saethu pelydrau o ditiau mân bob cythrym o amser;* ac y mae yn rhaid i'r haul gael cynnorthwyon newydd o hyd cyfatebol i'r hyn yr ymadai âg ef, onidê diffoddai; fel canwyll yn bwrw ei hasau goleu tra caiff gynnorthwy, ond pan methai y *gwêr* a'r *cotwm*, ni *chânai y gwyll mwy*." Gwir, ond sylwch, er i'r ddaear ymadael â'i chnwd, er ys miloedd o flynyddoedd, i borthi yr holl greaduriaid arni—y mae y cwbl yn chwelyd yn ol at eu hen elfen, eu mam. Ac er berwi llynoedd, ac yfed afonydd o ddwfr bob blwyddyn, mae pob diferyn yn myned yn ol at ei elfen, fel y dyweda y Sais, "*Fountains run to rivers, rivers run to seas.*" Erbyn hyn gwelwch y gall yn yr un modd tiliau pelydrau yr haul gael eu porthi yn ddibaid.

Pe addawem, yr hyn ni wnawn, bod llai o ddwr bob blwyddyn yn y byd, hoffwn yn neillduol wybod, i ba le yr aeth hyny a gollid? "O," meddai rhywun, "E aeth i'r *cymmylau;*" meddai arall, "E aeth i'r *ddaear.*" Wele, os felly, y mae y dwr etto mewn bod, ac ni chollid dim. Etto, un yw sylwedd y dderwen fraisg ei bôn, ac osglawg ei changenau, ag a oedd pan yn fesen bach: ie, nid oes mwy na llai o goed yr awron ar y ddaear, o ran sylwedd, nag oedd pan creid hwynt. Sylwch ym mhellach, nid oes mwy o *ddynion* yn y byd y pryd hwn, o ran *sylwedd*, nag a oedd pan gwnawd ond Adda ac Efa; ac ni bydd mwy ychwaith. Ië, sylwch etto—yr oedd pob dyn, o ran ei *sylwedd*, mewn bod cyn ei eni; oblegid nid oes na mwy na llai o ddim yn y greadigaeth, o ran ei ddefnydd cynnwynol, nag oedd pan ei llefarid i fod. *Cyfnewidiadau* ac *amgylchiadau* sydd yn achosi mwy o goed, a mwy o ddynolryw, ar y ddaear y pryd hwn ragor yn nyddiau Adda; ond *defnydd* y cyfnewidiadau sydd yr un. Nid yw rhanu pethau yn eu *difodi*, nac yn gwneyd eu sylwedd yn *fwy*, nac yn *llai*.

Er dangos, pe torid swllt yn *ddau*, *tri*, neu *ychwaneg* ddarnau, *un* fyddai sylwedd y swllt; a phe malid y darnau hyny yn llwch, a'r gwynt eu chwalu ar led, arosa y *sylwedd* yr un. Os oes mwy o un peth nag oedd yn nechreu y greadigaeth, rhaid iddo gael ei greu gwedi hyny; os felly, ni orphenwyd gwaith cread mewn chwech dydd, ac ni orphwysid y seithfed. *Ac*, os oes llai o un peth nag a oedd yn y dechreuad, rhaid bod difodiad yn y peth a greid, a dyn, yr hwn ei difodai, yn lle bod yn *greadur*, gwedi troi yn *greawdwr;* oblegid

mae yn gofyn yr un gallu i *ddifodi* ag i *greu;* h. y. gallu i wneyd defnydd *o ddim*, a gwneyd defnydd *yn ddim*. Ond y gwir yw, mae gwaith creu gwedi peidio er agos i chwech mil o flynyddoedd, ac nid oes na mwy na llai o ddim yn y byd yr awr hon nag oedd yn nechreu amser.

O fod cyfnewidiadau beunydd a beunos yn dygwyddo *yn* a *thrwy* yr holl greadigaeth, nis gall un peth un amser fod yn *union* yr un fath. "Buos yn gofwyo hen wlad fy ngenedigaeth yn ddiweddar," meddai rhyw un, "ac mae yr hen dderwen wrth dalcen tŷ fy mam, yn union yr un fath ag a oedd ddeng mlynedd yn ol." Nac ydyw hithau; nid oes yno fymryn o honi yr un fath. "Oni thorais fy enw ar ei bon," meddai efe drachefn, "ac y mae o yno etto." Gall y llythyrenau fod yno o ran llun, ond nid ydynt yr un. Sylwch, pe yr un fath fyddai y pren, mae yr un *dail*, yr un *brigau*, yr un *bywun*, yr un *rhisg*, yr un *nodd*, &c. yno ag oedd ddeg mlynedd yn ol; a gŵyr pawb, wrth ystyried, na's gall hyny fod. Etto, nid yn unig y mae pob peth bob amser yn cyfnewid, ond nid oes yn yr holl greadigaeth un peth fel peth arall. Ni's gwn am ddim tebycach, y naill a'r llall, na *gwibed*; ond pan creffir arnynt trwy wydrau chwydd, gwelir fod cymmaint rhagor rhyngddynt ag sydd rhwng y naill ddyn a'r llall. Wrth syllu yn ddiweddar ar dywod y môr, yr oedd miloedd o honynt yn ymddangos i'r llygad heb wahaniaeth rhyngddynt; aethym ag oddeutu llonaid llaw gyda fi adref, ac erbyn dodi y gronynau dan y chwyddwydr, gwelwn fod cymmaint, os nad mwy, o ragor rhyngddynt ag sydd rhwng y naill goeden a'r llall. Os oes y fath ragoriaeth, fel y mae yn wir y bod, yn nhywod y môr, pa a ddywedwn am bethau ereill?

Oddiwrth yr hyn a wedasom, gyfeillion, am *gyfoeth*, am *lafur*, am *dalben*, am *aur* ac *arian*, am *fwnai*, am *eisieu*, am *gyfnewidiadau*, &c. ni allwn lai na synu a rhyfeddu!—Nid oeddem yn bwriadu ond agor cil y drws megys ar bethau; a gwnaethom hyny, gan adu i chwi fyned a thremio arnynt yn fanylach. Diamheu y cewch *ddifyrwch*, os nad *lles*, wrth fyfyrio arnynt etto: mae môr o ryfeddodau ym mhob peth, ac nid oes dim yn wael mewn bod; uchod, isod, pob peth yn ei *le*, yn gywir, a doeth; cyfnewidiadau dibaid heb rwystro na dyrysu naill y llall, ond hytrach, ymunodent fel rhyw beiriant perffaith, er cyflawni rhyw ddyben doeth odidog iwys, teilwng o Berydd a Llywydd mawr y byd; yr hyn ddyben a amlygir yn helaethach etto i ni, pan wedi ein cymmwyso yn y byd tu hwnt y bedd.

CAERFALLWCH.

---

## ARAITH*

### I'R DDERWEN Y'NGHOEDWIGFA WYNNSTAY,

*Yr hon a elwir yn gyffredinol*, "Brenhinbren Park Wynnstay," *Testun areithyddol Eisteddfod y Cefn Mawr, a gynnaliwyd yn Chwefror*, 1829.

BARCHEDIG MR. LLYWYDD,—Dymunaf barhâd eich amynedd dros ychydig yn hŵy, nid am fy mod yn alluog i ddywedyd ychwaneg, nac yn fwy godidog nag y mae fy nghyfeillion hyawdlaidd a medrusawl wedi dywedyd eisoes; na, pell o'm meddwl ydyw y pethau hyn: ond gan mai yn amlder tystion y sicrheir braidd bob peth, a chan fod genych alwad gyffredinol ar bawb ag sydd yn bresennol i ymdrechu i ddywedyd ychydig ar y testun hwn, cynnygiaf finau yn fyr y sylwadau canlynol ar y Brenhin-

---

* Barnwyd yr Araith hon yn fuddugol ar y testun.

bren oedranus ag a osodwyd i'n hystyriaeth; sef, y Dderwen Freiniol, yr hon sydd yn Nghoedwigfa Syr W. W. Wynn.—Derwen yw y gwerthfawrocaf a'r mwyaf defnyddiol o un pren a wyddys am dano yn y byd adnabyddus, ac ystyried pob peth gyd â'u gilydd. Ond nid sylwi ar werthfawrogrwydd Derw yw fy ymgais presennol, ond yn unig ar y Dderwen dan sylw. Y mae y Dderwen hon yn dri chant a deuddeg ar hugain oed, os ydwyf yn cyfrif yn uniawn: planwyd hi yn y flwyddyn O. C. 1490, sef yn y flwyddyn 21 o oedran Ellis Eutin, Ysw. Watstay, ac sydd hyd heddyw yn sefyll yn golofn goffadwriaethol am y gwron enwog hwnw.

Yn awr, Mr. Llywydd, cynnygiaf araith alegoraidd ar y testun hwn, sef yw hyny, gosodaf y Dderwen i lefaru trosti ei hunan, a ninau oll fel gwrandawyr; a thybiaf mai yn debyg i hyn y llefarai hi wrthym.

Chwychwi ddynion, gwrandewch, a thraethaf i chwi fyrdd o ryfeddodau, a phethau damweiniol ereill. Myfi, fel chwithau, a gefais fy nechreuad o'r ddaear laith ac oerddu, mewn magwyr ym mysg miloedd o'm brodyr; ond ym mhen ychydig flynyddau, symudwyd ni y naill oddiwrth y llall. Ac wedi y symudiad hwn bu feirw miloedd o'm chwiorydd tyner, o herwydd oerfelgarwch y tywyddau, a mathr creaduriaid; rhai hefyd a ddiwreiddiwyd gan yr ystormydd a'r corwyntoedd; ereill a wahanwyd i amryw blanfeydd a choedwigfaoedd heblaw y goedwigfa hon, ac a lwyddasant, a thyfasant yn brenau mawrion cedyrn nerthol, nes oeddynt yn addurn cymmydogaethau, ac yn goronau gwladwriaeth. Ond wedi hyny torwyd hwynt i lawr, at wahanol ac amrafel achosion. Rhai o honynt a gymmerwyd i adeiladu tai harddwych i foneddigorwychaidd—ereill i wneuthur llongau rhyfel mawrion, gan gludo gyda hwy y magnelau, y pylor, a'r pelenau chwimiawg; a hwyliasant fel hyn dros y weilgi laswerdd bron i bedwar ban y byd, i ddistrywio yr hiliogaeth ddynol:—ereill yn llongau marsiandyddawl, i gludo perlysiau, presgwydd, ffrwyth y corsynau pêr, gwin, gwirod, balm, myglys, ac olew, ynghyd â'r cotwm, a'r sidanau, at gynnaliaeth a gwasanaeth dyn. Ond myfi sydd yn sefyll hyd y dydd heddyw, heb fy symud na'm diwreiddio, er cymmaint o ystormydd a chorwyntoedd a gurasant arnaf fyrddiynau o weithiau, pryd, ar rai troiau, yr ysgythrwyd, holltwyd, ac y diwreiddiwyd miloedd o'm cyfoedion, ac ereill oeddynt yn ieuengach na myfi, a hyny yn y goedwigfa hon. Ac Och! gymmaint o gyfnewidiadau a gymmerasant le yn yr ardal hon, a'r palas hwn, Watstay (yn bresennol Wynnstay) yn fy oes a'm dyddiau i! Nid oedd y goedwigfa hon, na'r palas hwn, ond megys congl fechan, a bwth gwael, wrth yr hyn ag ydynt yn awr. Ac wrth feddwl am y teuluoedd hoywaidd ag oedd yma yn byw yn amser fy ieuengctid i, pa rai oeddynt fel y lawryf gwyrdd, a rhosynau hâf, ac mewn meddiant o bob hyfrydwch a feddai natur—syndod meddwl! eu gwaeledd oll yn awr ym mynwent Rhiwabon, wedi eu bwyta gan y pryfed mân—a'r rhai'n wedi dychwelyd i'w llwch, a chydymgymmysgu â'r ddaear, nes ydynt hwy, a'u henwau, braidd wedi eu llwyr anghofio o blith dynion; ie, y mae eu holl ogoniant wedi disgyn i'r bedd. Pa le y mae yr hen enwogion a fuont yma gynt, sef, Ellis Eutin, Eutin Ellis Eutin ei fab, Eutin Evans ei wyr, a Sion Bellis Eutin ei orwyr? nid oes braidd sôn am danynt: am yr olaf yn unig y mae côf-ddarlun godidog yn Eglwys Rhiwabon; canys efe

ydoedd ryfelwr cadarn gynt. A mab i'r crybwylledig Sion Bellis Eutin ydoedd Eutin Evans (yn hytrach Eutin Ieuan) i'r hwn yr ydoedd merch o'r enw Jane o'i wraig Catharine, yr hon ydoedd ferch i Ellis Llwyd, Ysw. o'r Rhiw Goch. Ganwyd Jane Evans yn y fl. 1580, a phriodwyd hi â Harri, wythfed mab Syr John Wynn, Gwydir (Gwaedir) gerllaw Llanrwst, yn y fl. 1610; a mab iddynt hwy ydoedd Syr John Wynn, Barwn, Wynnstay; a'i dad Harri Wynn, Ysw. a fu farw yn yr ail flwyddyn o oed ei fab John—a'i fam yn y bummed flwyddyn o'i oedran; yntau ydoedd dan ymgeleddwyr, nes y deuai i'w oedran: ond pan y cyrhaeddodd ef ei ddwy flwydd ar bymtheg, efe a aeth yn filwr, ac a fu allan ddeng mlynedd ar hugain, heb ddychwelyd yn ol. Yn y tymmor hirfaith hwn, enwogodd ei hun yn enwog iawn mewn rhyfelwriaeth, ac iddo y bydd oesawl goffadwriaeth am ei orchestion. Yn y fl. 1530, priododd William, ail fab Syr Robert Wynn o Wydir, Anne unig ferch Thos. Llwyd, Ysw. Gwern y Brychtyn, yr hon, trwy briodasau eu hynafiaid, ydoedd berthynas agos i Sion Bellis Eutin; ac o ganlyniad yn debyg o fod yn etifeddes Watstay, os na byddai yno blant. Ac i'r rhai hyn y bu un ferch, yr hon a briododd Edward Thelwall, Yswain, Dyffryn Clwyd: ac iddynt hwythau y bu un ferch, yr hon a briododd Syr William Williams, yr ail, o Lanfordor: ac iddynt hwy y bu tri mab, nid amgen—1. Syr Watcyn W. Wynn—2. Robert Williams, Erbistoc—3. Richard Williams, yr hwn a briododd unig ferch ac etifeddes Arthur Howel Wynn, Ysw. Penybedw (yn gathredig Penbed) Swydd y Gellt. Syr Watcyn y cyntaf a anwyd yn y fl. 1690: ei wraig gyntaf ydoedd ferch ac etifeddes Edward Fychan, Ysw. Llangedwyn; a'i ail wraig ydoedd Frances, merch Sior Shackarley, Gwersyllt. Syr W. W. Wynn, yr ail, a briododd yn gyntaf *Lady* Somerset, merch Duc Beauford; a'i ail wraig ydoedd *Lady* Siarlot, merch y Gwir Anrhydeddus George Grenville, a chwaer i'r Ardalydd Buckingham: ac iddynt bu tri mab, y presennolion, Syr W. W. Wynn, yr Anrhydeddus Charles W. W. Wynn, a'r Anrhydeddus Henry W. Wynn. Ond, gan i mi anghofio gyneu, dywedaf i chwi yn awr mai gwraig Syr William, y cyntaf, ydoedd Margaret merch Watkin Cyffin o'r Glasgoed.* Ond i ddychwelyd yn ol at y crybwylledig Syr John Wynn, yr hwn, wedi dyfod o hono yn ol adref, gan ei fod yn gyfoethog iawn erbyn hyn, a ddechreuodd adgyweirio y Plas hwn, ac a'i galwodd, yn lle Watstay, yn Wynnstay, ac efe a adeiladodd adeiladau heirddwych, ac a adblanodd filoedd o goedydd yma; ac a wnaeth bysgod-lynoedd, a llawer o orchestion, pa rai sydd yn sefyll yn goffadwriaethau o'i weithrediadau hyd y dydd hwn. Ond am nad ydoedd plentyn iddo, chwi a welwch, yn ol yr achau uchod, fod ei etifeddiaeth yn disgyn i Syr W. Williams, Llanfordor, yr hyn a wyddai Syr John Wynn yn dda; ac efe ydoedd dad bedydd i Syr Watcyn y cyntaf, yr hwn, wedi marwolaeth Syr John, a ddaeth i Wynnstay i fyw, a'u hiliogaeth sydd yn cyfanneddu yno hyd heddyw, fel ag y gwelir. A dymuniad pawb yw ar i'r rhai'n a'u hiliogaeth anneddu yn ein plith tra haul yn ffurfafen Gwalia.

Yn awr, pe meddyliwn fod eich côf yn ddigon cryf, mi a roddwn i chwi amryw hanesion y gwleddoedd mawrion a gynnaliwyd yn Wynnstay yn fy oes i. Y gyntaf

* Casglwyd yr achau uchod gan y cyfoedydd o âch-lyfr Wynnstay.

a nodaf, ydoedd y wledd a gynnaliwyd yma ar ddychweliad Syr John Wynn adref, wedi ei absenoldeb o ddeng mlynedd ar hugain, yr hyn a ddygwyddodd Medi 15, 1658. Cynnaliwyd y wledd hon am naw niwrnod, yn mha le yr ydoedd boneddigion braidd o'r holl deyrnas, yn cynnwys 4 Duc, 7 Arglwydd, 80 Barwn, a boneddigion ereill lawer iawn; a gellir galw y wledd hon, yn ol fy meddwl i, yn "Bedwaredd Wledd Ynys Prydain." Yr ail wledd a soniaf am dani (gan adael heibio y gwleddoedd ar ddyfodiad Syr Watcyn y cyntaf i'w oed, a'i briodasau) ydyw y wledd ar ddyfodiad Syr Watcyn yr ail i'w oed, yr hon a gynnaliwyd am dair wythnos; pryd y rhanwyd dwy fil o bunnau yn arian rhwng tlodion Rhiwabon, Croesoswallt, Gwrecsam, Dinbych, Rhuthyn, ac amryw fanau ereill. Rhoddwyd hefyd yn y wledd hon 40 o eidionau, 100 o ddefaid, a llawer iawn o wisgoedd i dlodion Rhiwabon. Rhifedi y boneddigion ni chofrestrwyd ar yr achlysur. Ond pe bawn yn myned i sylwi ar bob cyfnewidiadau a fu yma, ac yn y deyrnas hon, yn fy amser i, byddai raid fod llestr eich côf yn fwy nag Eglwys St. Pawl cyn y gallech eu cynnwys. Ac y mae genych chwithau yn awr, er dirfawr anrhydedd a llesiant i chwi, *Ser*, *Gwyliedyddion*, *Goleuadau*, *Eurgrawniadau*, a *Grealau*, i ddysgu i chwi "helyntion a hanesion yr hen oesau." Pe bawn yn myned i sôn am y rhyfeloedd a'r caledi a fu yma, yn dwyn perthynas â'r deyrnas hon, yn fy nyddiau i, cymmerai hyny amser mawr iawn: neu, pe bawn yn myned i sôn am greulonder y Pabyddion, byddai hyny yn destun galar i chwi am eich oes.

Yn awr, cyn diweddu, tybiaf mai cyfiawnder ydyw i mi eich annog i gofio nad ydyw y presennol Syr W. W. Wynn ddim yn amddifad o'i rinweddau clodadwy mwy na'i henafiaid; na, y mae iddo ei rinweddau tra chanmoladwy, os nad mwy canmoladwy na *neb* o'i henafiaid: yr hyn a welwch ond i chwi gofio ei fynediad i'r Iwerddon ac i Ffraingc, &c. Hefyd, gwir garwr yr Iaith Omeraeg ydyw ef. Pan ddarfu i Arglwydd —— ymgeisio yn y Senedd am i'r iaith Saesoneg gael ei harfer yn ffurf gwasanaeth Eglwys Loegr, a hyny trwy holl Gymru! Dywedodd y gwron Syr Watcyn, iddo fod tros ei esgidiau mewn gwaed, ond yr ai tros ei fotasau cyn y collai yr Iaith Gymraeg o Dywysogaeth Cymru. Ac nid ar air nac ar dafod y mae efe yn pleidio ei wlad a'i genedl, ond mewn gweithred a gwirionedd. Tystion i mi am hyn ydyw Cymreigyddion Rhosllanerchrugog, ac Eisteddfod Rhiwabon, i'r rhai y cyfranodd yn helaeth. Ond meddyliaf mai ofer ydyw i mi yn y dull hwn eich blino yn hwy.

GWERFYLYN.

---

## EISTEDDFOD BRYN EGLWYS YN IAL.

MR. GWYLIEDYDD,—Erfyniaf eich trwydded i'r ysgrif hon gael lle yn rhyw gongl o'ch Cylchgrawn, gan obeithio y caniatêwch i'r cyhuddedig amddiffyn ei hun yn wyneb ei gyhuddwr.

Synais lawer pan ddarllenais gabl-draith enllibaidd Mr. William Jones yn y Gwyliedydd am Awst diweddaf, yn gwawdio ac yn difrio mor wrthun ac ysgeler, a hyny ar gam. Ond syndod mwy na fedrai gwr mor hunan-ddoeth a Mr. Jones, Bryn Eglwys, gyfansoddi *un* llythyr i ymddangos ger gwydd y byd, heb ladrata oddiar *Brutus*, yn Seren Gomer, Rhif. 109. tu dal. 402. Geiriau *Brutus* air wrth air sydd ganddo ef yn dechreu ei ffiloreg blentynaidd, yr hyn sydd yn

dangos mai gwr heb adael heibio ladroniaeth yw ef wrth ysgrifenu i'r Gwyliedydd, ac wrth ffug wneuthur traethodau; sef, rhedeg mewn esgidiau, marchogaeth ar feirch, ac ehedeg ar adenydd rhai ereill! Ac yn y pethau hyn y mae yn fwy goddefol gweled "moch mewn tresi, mulod yn nghrwyn llewod, neu glywed epäod yn hôni uwchafiaeth, a'r ystlymod harddwychder," nag ydyw gwrando cleber corachod ceecrys a chrintachlyd, yn chwennych gwneuthur eu hunain yn fawr ar draul dysgedigion ereill, fel ag y mae Mr. Jones wedi ymgeisio yn ei draethawd ar yr "*Enfys*," ac yn y Gwyliedydd am Awst. "Y ffol tra tawo a gyfrifir yn ddoeth." Am ei waith yn difrio Mr. Pedr Llwyd, gadawaf y Bardd ariandlysawg hwnw i'w amddiffyn ei hun: digon genyf ddywedyd, na fyddai mil o fath Mr. Jones ond fel us o flaen corwynt i'w cystadlu a Pedr Llwyd; ac y mae yn ddiammeu genyf fod ffiloreg benglogaidd Mr. J. is law ei gwawdio (chweithach ei hateb) gan P. Ll. a chan bob un arall, ond iddynt gael gwybod y gwirionedd ynghylch yr Eisteddfod grybwylledig. Am hyny, Mr. Gwyliedydd, mi a roddaf i chwi, ac i'ch holl ddarllenwyr deallus, gyflawn hanes yr Eisteddfod hon, mor belled ag y mae yn dwyn perthynas â'r ddadl bresennol; ac wedi i mi ddywedyd, gwatwared Mr. Jones, ond heriaf ef i'm gwrthwynebu yn y geirwiredd o'r hyn a ddywedaf. Mr. D. Hughes, yr hwn a farnwyd yn fuddugol ar "*Gofid*," a Mr. Jones, sef *Amicus*, oeddynt *wreiddiol* achos o fodoliaeth yr Eisteddfod hon, a hwy a ddewisasant y testynau. Ond am fy mod wedi cael gwahoddiad i weithredu tu ag at ddwyn yr Eisteddfod hon i gyffelyb drefn ac anrhydedd ag ydoedd Eisteddfod Glyn Dwr, mi a ysgrifenais at y clodwiw Fardd Mr. R. Davies, Nantglyn, i erfyn arno ddyfod trosodd i Bryn Eglwys i farnu yr Awdlau; ac aethym at y Parch. —— i ofyn a farnai ef y Traethodau: yntau a atebodd, y gwnai yr hyn oll a allai yn yr achos, os deuwn i a'r cyfansoddiadau i'w dŷ ef; a gofynodd pwy oedd i farnu yr Awdlau. Atebais inau, fy mod wedi anfon at R. Davies, ond fy mod yn deall fod rhywun arall wedi gofyn i Pedr Llwyd. I'r hyn yr atebodd, y dymunai ef weled yr holl gyfansoddiadau, a bod P. Llwyd yn berffaith mewn Rheolau Barddoniaeth, ac yn ddigonol i fod yn farnwr ar y tro hwn. Ac ymmhellach, eb efe, "Meddwl yr ydwyf fi na ddaw R. Davies ddim trosodd ar y fath dywydd ag ydyw hi yn awr; ond os deuwch chwi a'r cyfansoddiadau yma, mi a ymdrechaf fi a P. Llwyd i'w beirniadu." Ond yn y dyddiau hyny clywn fod Mr. Jones wedi cyfansoddi ei draethawd, ac yn ei ddarllen yma ac acw i hwn a'r llall, ac yn herio *neb* i fuddugoliaethu arno, os cai ef gyfiawnder mewn barn; ac na wyddai ef am neb digon abl i farnu y fath gyfansoddiad yn yr holl ardal hono, gan feddwl, mae yn debygol, nad oedd neb yn ardaloedd Iâl, Glyndwr, nac Edeirnion, yn meddu ar y fath wybodaeth a'r hon oedd yn ei glopa ef. Ond i fyned ym mlaen—ar y dydd gosodedig i'r cyfansoddiadau fod mewn llaw, am fy mod yn brysur gyd a'm galwedigaeth, anfonais un Harri Jones i geisio y cyfansoddiadau, fel y gallwn fyned a hwy i ——, yn ol fy adduned, ond gommeddwyd i mi eu cael: ac ar y nos hono yr oedd yno amryw o'r ymgeiswyr wedi dyfod a'u cyfansoddiadau, ac yn eu hagor a'u darllen i'r presenolion, ac yn agor llythyrau rhai ereill, ac yn eu darllen ar gyhoedd! ac fel hyn gwrthodasant i mi eu cael i fyned i ——, ac anfonasant

hwy i P. Llwyd. Ac ar ddydd yr Eisteddfod mi aethym yno, a daeth P. Llwyd yno a'r cyfansoddiadau oll gyd âg ef, ac a alwodd arnaf i ofyn pa fodd, yn hytrach paham, yr anfonwyd y cyfansoddiadau ar yr "*Enfys*" iddo ef. Minnau a ddywedais yr achos iddo mor bell-ed ag y gwyddwn. "Wele, ebe P. Llwyd) dyma y cyfansoddiadau, edrychwch hwy." Minnau a atebais na wnawn i wneud un farn arnynt, am fy mod y dydd hwnw wedi gwybod pwy oedd awdwyr dau o honynt, a'm bod wedi addaw darllen traethawd un o honynt. "Wele (ebe P. Llwyd) yr wyf fi wedi darllen ac ystyried llawer ar bob un o naddynt: ac yr wyf yn benderfynol yn fy marn, hyd eithaf fy ngwybodaeth, mai *Trebor Newroc* sydd fuddugol; a hyny oddiwrth y pethau canlynol:—1. Am mai traethawd rheolaidd a chelfyddgar iawn ydyw.—2. Am fy mod yn cael y lle cadarnaf i gredu mai cysodiad yr awdwr ei hun ydyw.—3. Am ei fod wedi ei gysodi yn ol trefn eleu eglur yr ysgrythyrau am yr *Enfys*.—4. Am ei fod yn cynnwys athrawiaeth iachus o dduwinyddiaeth godidog. Ac ym mhellach, fy meddwl i yw (eb efe) mai gwobrwyo *cysodwyr* ac nid *cyfieithwyr* ac *asiedyddion* o waith ereill, ydyw dyben yr Eisteddfod hon; ond os cyfieithwyr, &c. sydd i gael y wobr, meddyliaf yn sicr mai *Amicus* sydd fuddugol; canys y mae ganddo gasgliadau ardderchog o waith athronwyr goreu y byd ar ei bwngc. A dyma fy marn i." Minnau a ddywedais y modd yr oedd W. J. yn myned ym mlaen er's llawer dydd, a bod arnaf ofn mai yn orphwylleg yr ai ef os collai y wobr. Atebodd P. Llwyd, os byddai anfoddlonrwydd, mai gwell fyddai cadw y wobr nes i ——, neu ryw un arall, ail edrych drostynt. A pha beth oedd decach, meddwch chwi, Mr. Gwyliedydd? Pa fodd bynag, ni chyhoeddodd P. Llwyd ei farn yn yr ystafell ar yr *Enfys*, ond galw ar bawb wrth eu ffug enwau i ddarllen eu gwaith; a chyn gynted ag y darfu Mr. Jones (*Amicus*) ddarllen ei waith, dechreuodd i warthruddo a difenwi pawb o'i gwmpas. Yna y gorchymynwyd i'r Trysorydd gadw y wobr hyd ryw amser arall: ond Mr. M. Roberts, gwr tangnefeddus a doeth, a ofynodd i Mr. Jones, a foddlonai ef i rannu y wobr rhag ychwaneg o ystwr. Atebodd Mr. Jones, ei fod yn foddlon o galon i hyny; ac felly y gwnaed. Am waith Mr. Jones yn difrio ein hanwybodaeth, sylwaf ar hyny y tro nesaf: safed ef o fy mlaen ar fwrdd areithyddiaeth os gall, er nad wyf un ymffrostio mewn dim. Bellach, Mr. Gwyliedydd, byddwch wych.——Wyf yr eiddoch,

IFOR DRWYN HIR.

---

## ARDDYGRAFF GYMREIG.

MR. GWYLIEDYDD,—Er mwyn cynnal i fynu yr ymresymu (ni chwennychwn ei alw yn *ymddadlu*) o berthynas i'r *Arddygraff Gymreig*, yr wyf yn gwneuthur met-ëon a'ch cyfarch yn fyr y mis hwn drachefn, a hyny oddiar ddwy achlysur yn fwyaf enwedigol; sef, yn un peth, er mwyn rhagflaenu edliwiant oblegid dau neu dri o wallau llythyrenol a ddiangasant yn amryfus yn fy llythyr diweddaf, yn rhyw fodd rhwng fy ysgrifell fy hun a bysedd y cysodydd. Y rhai hyny, yn bènaf, oeddynt, darfod dodi yn yr ugeinfed linell o'r ail golofn yn tu dal. 345, y gair *rhesymol*, yn lle *afresymol*; ac yn y llinell olaf ond pump o'r llythyr, y gair *uthrywyngar* yn lle *athrywyngar*.

Peth arall a ganfyddais wrth ddarllen fy llythyr mewn argraff, oedd, mai ychydig iawn a ddywed-

aswn dan pen II, sef, ynghylch "cydseiniaid dwyol" *(double consonants)*. Heb draethu i fanwl feithder fy marn ar y pwngc hwn y tro yma chwaith, dywedaf gymmaint a hyn:—Gan mai yr unig reswm, hyd y medraf gofio, sydd yn cael ei ddwyn o blaid arferyd cydseiniaid dwyol, ydyw rhag colli sain gynnenid y geiriau y byddont ynddynt, megys, rhag i *can-nu* fyned yn *ca-nu*; *car-reg* fyned yn *ca-reg*; *hyn-ny* fyned yn *hy-ny*; *llon-ni* fyned yn *llo-ni*, &c. &c.—Yngwyneb hyn, gofynaf, Pa air o'r fath sydd wedi llygru ei sain ar ol tuag ugain mlynedd o arferiad gan gynnifer o ysgrifenwŷr Cymru o adael allan un o'r cydseiniaid yn y cyfryw eiriau? Hefyd, pa fodd, o herwydd yr un achos, na buasai y Saeson yn colli sain y geiriau, *balance*, *agony*, *apology*, *opulent*, *infinity*, *chapel*, *habitual*, *familiar*, *famine*? &c. &c.

Ond er mwyn rhagflaenu tramgwydd a rhagfarn amddiffynwŷr yr hen ddull, ewyllysiwyf hysbysu iddynt na rwgnachai pobl y drefn newydd mor llawer er rhoddi iddynt gydseiniaid dyblyg yn y fath eiriau a'r rhai'n: *cymmeryd*, *cymmesur*, *cymmifer*, *cynnulliad*, *cyssoni*, *cyssylltu*, *cyssegru*, &c. a'r lle na chydsyniant â hyny, rhoddant iddynt yn fynych *h* yn lle un o'r cydseiniaid, megys, *cymhortha*, *cymharu*, *cymhwyso*, &c. Erbyn hyny ni byddant mor llawer ar eu colled, ac nis geddyf yr iaith nemawr anafod trwy y dull newydd, tebygid.

IOTA.

*Glàn Efyrnwy.*

---

CYFARFOD EGLWYSIG LLANGYNIEW.

MR. GWYLIEDYDD,—Ni's gwn yn iawn pa faint yw eich oed, nac ym mha le yr enwyd chwi; etto, yr wyf yn meddwl eich bod yn ddigon hen i wybod bod llawer peth da yn cael ei gablu mewn anwybodaeth, ac nad yw pob chwedl i'w chredu a'i derbyn. Yn wir, ni's gwn i am fawr o bethau y dylid bod yn ochelgarach wrth eu derbyn nag wrth dderbyn chwedlau: canys y mae pob adroddwr ages yn barnu y dylai, yn ol ei fympwy ei hun, roddi atynt, neu dynu oddi wrthynt; ac am hyny nid anfynych y ceir y chwedl yn dra annhebyg yn y diwedd i'r hyn ydoedd yn y dechreu, ac i'r hyn a roddodd fod iddi. Tyst o hyn yw yr hyn a glywais yn ddiweddar am beth a ddygwyddodd o dan fy sylw, ac yn yr hwn yr oeddwn yn gwneuthur fy rhan. Nid all fod yn anhysbys i chwi yr hyn a gymmerodd le mewn Plwyf yn Swydd Drefaldwyn, ym mis Mai diweddaf. Ond er chwalu pob chwedl anwireddus am y peth, rhoddaf ger bron eich darllenwyr hanes cywir am y cwbl. Ryw bryd ym mis Ebrill diweddaf, yr oedd Offeiriad Llangyniew yn ciniawa lle yr oedd amryw Offeiriaid ynghyd; ac ar ol ciniaw, efe a'u gwahoddodd i'w dŷ ddydd Iau, yr 20fed o Fai, yr hwn ydoedd Ddydd Iau Dyrchafel. Holwyd yn gyntaf, a oedd gwasanaeth i rwystro neb y diwrnod hwnw. Hyspyswyd y byddai gwasanaeth a phregeth yn y boreu am un-ar-ddeg, ac yn y prydnawn am dri; ac yr oedd pob Offeiriad i ddyfod yn barod i ddarllen y gwasanaeth, neu i bregethu, yn ol dewisiad Offeiriad y Plwyf. Yn y cyfamser efe a wahoddodd, ar air neu trwy lythyr, holl Offeiriaid ei gymmydogaeth. Dydd Iau Dyrchafel a ddaeth, a daeth ynghyd cyn un-ar-ddeg yn y boreu bymtheg o Offeiriaid. Methodd dau gyrhaedd y lle cyn dechreu y gwasanaeth, ac un yn ychwaneg a ddaeth yno yn y prydnawn. Am un-ar-ddeg, pan yr oedd cynnulleidfa liosog wedi dyfod ynghyd, canwyd y gloch, a

darllenodd un Offeiriad y gwasanaeth am y dydd, sef Dydd Iau Dyrchafel, *yn llawn*—a phregethodd ysgrifenydd y llythyr hwn, ar galedi yr amseroedd, a'n dyledswydd yn y cyfryw amseroedd, oddiwrth *Galar*. 3. 39, 40, 41. Cyhoeddwyd, ar ol y gwasanaeth hwn, y byddai gwasanaeth a phregeth am chwech yn yr hwyr, yn ol taer ddymuniad amryw o'r plwyfolion, y rhai a ddymunent hyny er lles eu gweithwyr a'u gweinidogion. Wedi hyn ciniawodd yr Offeiriaid, ac amryw ereill, gwreng a boneddig, yn y Persondy; a threuliwyd yr amser mewn ymddyddanion crefyddol a llëenawl. Am dri, canwyd y gloch, a chynnulleidfa hardd a ddaeth ynghyd: darllenwyd y gwasanaeth prydnawnol am y dydd, *yn llawn*, gan —— Offeiriad Plwyf ——; a phregethodd Offeiriad Plwyf C——s, ar ddyledswydd gyffredin pob Cristion, sef gwyliadwriaeth, oddiwrth eiriau ein Hiachawdwr yn *Marc* 13. 37. Nid yw yn perthyn i mi ddywedyd dim am y pregethau, onidê byddai yn hawdd i mi helaethu ar y pen hwn. Os oes ar neb chwant gwybod, gofyned i rai o'r gwrandawyr, ac nid oes ammeu genyf na chaiff foddlonrwydd. Ar ol y gwasanaeth hwn, aeth amryw o'r Offeiriaid tu ag adref, a rhai a arosasant yn y Persondy. Yr wyf yn meddwl, pe buasai y mwyaf rhagfarnllyd yno, y buasai yn gorfod dywedyd, i'r amser rhwng hyny a chwech gael ei dreulio mewn ymddyddanion adeiladol. Am chwech awd i'r Eglwys drachefn, ac yr oedd mor llawn ag am dri. Darllenwyd y gwasanaeth prydnawnol am yr 20fed dydd o'r mis *yn llawn*, ac wedi hyny pregethodd Offeiriad Ll—b—d—rn F—r, hen gyfaill i Offeiriad y Plwyf, ar y dydd, neu ar ddyrchafiad Crist i'r nef, oddiwrth *Heb*. 9. 12. os nad yw fy nghof yn fy nhwyllo. Wedi hyn aeth agos bawb adref: arosodd yn y Persondy saith o Offeiriaid hyd dranoeth.

Yn awr, fy nghydwladwyr, wele ger eich bron gywir hanes am yr hyn a wnaethpwyd, yr 20fed o Fai diweddaf, yn Llangyniew, ac am yr hyn y cadwodd rhai dynion lawer o swn. Yr wyf yn gofyn yn syml i bob dyn ystyriol, pa ddrwg i wlad, neu eglwys, a wnaethom yn hyn? pa gyfraith o eiddo Duw, neu ddyn, a droseddasom yn hyn? Ac os na wnaethom niwed i wlad, nac eglwys; ac os na throseddasom na chyfraith Duw, na chyfraith dyn, paham y beiir arnom, ac y'n ceblir? Fe allai y gwneir hyny o herwydd chwedlau: canys cyfaill i mi a ddywedodd wrthyf yn ddiweddar, iddo glywed, yn Nyffryn Clwyd, na ddarllenasom y gwasanaeth na'r boreu na'r prydnawn, ond darfod i ni bregethu, un, dau, tri, y naill ar ol y llall, yn yr un addoliad. Pe buasai hyn wir, yr wyf yn cyfaddef y buasem i feio arnom, ac yn agored i gosp, yn ol trefn pethau yn y dyddiau hyn; etto, nid wyf yn meddwl y *buasai hyn* yn groes i air Duw, *prif reol y Cristion*, nac arferiad y brif Eglwys. Cofied Gweinidogion mai eu prif ddyledswydd hwy, fel Gweinidogion, yw pregethu 'r gair. Ordinhâd ddynol yw darllen y gwasanaeth; ond ordinhâd ddwyfol yw pregethu 'r gair; a gwae ni oni phregethwn yr efengyl. Na feddylied neb wrth hyn fy mod yn dibrisio y gwasanaeth; ac os gwna, cofied nad yw un yn dibrisio arian wrth ddywedyd ei fod yn llai ei werth nag aur. Dymunaf ar bob un a ddarlleno hwn, ac sydd yn barod i feio ar gyfarfodydd o'r fath a ddarluniwyd uchod, ddarllen yn ystyriol Lythyr yr Archesgob Grindal at y frenhines Elizabeth, ar y pen hwn. Y mae wedi ei gyhoeddi gan Strype, yn hanes bywyd Grindal, ac hefyd gan Eras-

mus Middleton; ac fe allai y cewch chwithau ef, Mr. Gwyliedydd, os byddwn byw ychydig yn hŵy,—— Ydwyf, Mr. Gwyliedydd, yr eiddoch yn ddidwyll hyd angeu,

RICHARD RICHARDS.

*Caerwys*,
Tach. 8, 1830.

---

## BEDD MERCH Y LLAETHWR.*

WRTH deithio yn ddiweddar (medd un) gyda chyfaill, yn yr ynys hyfryd hono, Ynys Gwy (*Isle of Wight*) daethom i bentref Arreton, ym mynwent yr hwn y gorwedd ELIZABETH WALLBRIDGE, Merch y Llaethwr; nodedig oddiwrth yr hanes addysgiadol a melus a roddir am dani gan y Parch. Legh Richmond, hanes a weinyddodd fudd sylweddol ac hyfrydwch dirfawr i mi flynyddoedd cyn yr amser hyn.

Aethom i weled ei bedd. Perffaith ddystawrwydd oedd o'n hamgylch, ond etto dychymmyg a glywai ymadroddion cyffelyb i'r rhai hyn, yn esgyn i fynu o dan y pridd:—"Byddwch ddilynwyr i mi, megys y dilynais innau Grist. —Byddwch barod i gyfarfod â'ch Duw." Cynghorion pwysfawr! Ysbryd Sanctaidd Duw, arwain fi at yr hwn sydd yn addasu pechaduriaid i etifeddu gwlad well. "Mor sicr," ebe fy nghyfaill, "o adgyfodiad gogoneddus ydyw y corph sydd yn malurio yn y beddrod hwn." "Ydyw," atebais, "ei hysbryd sydd wedi ei ogoneddu gyd â'r Iesu, y Pen dyrchafedig, ac ni âd efe i'r corph orwedd yma byth." Eiddo Crist yw cyrph y saint; ac er iddynt lygru yn y llwch, efe a'u hadfera, ac a'u hadfywia, ac a'u hadgyfyd yn y dydd olaf. Canys yr udgorn a gân, a'r meirw a gyfodant; a'r meirw yn Nghrist a gyfodant yn gyntaf. Y rhagolwg bendigedig hwn a fedr lyfnhau ein llwybr i'r bedd, er garwed yw. Sicrwydd o'i hawl yn ei hanwyl Geidwad oedd o hyd yn codi Elizabeth uwchlaw dychryn angeu. Ychydig fynydau cyn ei marwolaeth, hi a ganodd yn beraidd—"Buddugoliaeth! Buddugoliaeth! trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Sefydledig oedd ei ffydd ar Graig yr oesoedd—ei gobaith oedd eisoes tu fewn i'r llen. Hi a wyddai fod Iesu wedi gwneuthur iawn dros bechod, wedi dwyn i mewn gyfiawnder tragywyddol, ac wedi cymmeryd ymaith golyn angeu ar ran ei saint.

Soddi yn raddol i'r bedd y gwelwyd hi, yn y profiad hyfryd fod ei Phrynwr yn fyw, ac yn y sicrwydd cadarn, er i bryfed ddyfetha ei chorph, y cai hi weled Duw yn y cnawd.

Yr hyn a ganlyn sydd yn ysgrifenedig ar ei chareg-fedd:

ER COFFADWRIAETH AM ELIZABETH WALLBRIDGE, MERCH Y LLAETHWR, YR HON A FU FARW MAI 30, 1801, YN Y 31AIN O'I HOED.

*"Y mae hi wedi marw yn llefaru etto."*

Os damwain estron, neu ryw deimlad gwir,
A ddaeth â'th draed i'r cyssegredig dir
Lle gorphwys hon, paid syllu ar ei bedd,
Ond meddwl am ei hysbryd pur mewn hedd.
Gwael yma oedd ei gradd, ond Crist ei brawd,
Yr hwn a efengylodd gynt i'r tlawd,
A roddodd iddi brofi yn y byd
O'i ras, a'i holl drysorau dwyfol drud.
I'w dal mewn cystudd blin ca's fywiol ffydd,
A gobaith i w goleuo lawr i'r pridd,
A hedd na allai uffern ymaith ddwyn,
A chariad Crist i loni' henaid mwyn;
Ni feddai angeu golyn iddi hi,
Ca'dd nefol flâs cyn myn'd i'r Ganaan fry;
O ddedwydd Sant! fel hon bo'm ninnau byw,
Yn angeu caffom orphwys gyda Duw!

---

* Gwel draethodyn bychan, a elwir "*The Dairyman's Daughter.*" a ysgrifenwyd gan y diweddar Barch. Legh Richmond, ac a gyfieithwyd i'r Gymraeg gan y Parch. Richard Richards, Periglor Caerwys, dan yr enw "Merch y Llaethwr."

# BARDDONIAETH.

---

## COLL GWYNFA.

CYFIEITHIAD O WAITH IOAN MILTON.

(Parhâd o du dal. 383.)

*Llyfr* I.

Gwed, ynte, Awen, wrth eu henwau, pwy
O'r rhai'n ddihunwyd ar eu gwely tân,
Gan arch eu Llywydd mawr, o uchaf fri
A ddaethant gyntaf i'r lle safai ef,
Tra draw hyd hyn 'r arosai 'r wen dorf.
Y penaf hwynt a grwydrent gwedi hyn
O'r dwfn i ysglyfaethu yn y byd:
Ac, O anfadrwydd mawr, wrthorsedd Duw
A feiddient osod eu gorseddau eu hun,
A'u ffiaidd allorau wrth ei allor ef;
A chael addoliad gan y wlad o gylch,
A feiddient sefyll yn ngwydd Duw, yr hwn
O Sion a daranai, 'n trigo rhwng
Y Cerubim; ie, mynych yn ei deml
Gosodent eu halloreu, ac a wnaent
Halogi ei ddefodau, a sarhâu
A'u du dywyllwch ei oleuni ef.
Y cyntaf, Moloch, oedd hyll un, yn grest
O waed aberthau dynol, ac o hallt
Ddagrau rhieni, er na chlywid gwaedd
Eu plant a aent i'w ddelw ef trwy dân,
Gan sŵn tabyrddau. Ef addoled gan
Hil Ammon oll, yn Rabba, Argob, ac
Yn Basan, ac hyd afon Arnon draw.
Nid wrth ei fodd yn eofn agos fod,
Ond twyllodd Solomon, er doethed ef,
I adeiladu, ar y gwarthus fryn,
Ei demyl ef ar gyfer temyl Dduw:
Ac ym mro hyfryd Hinnom gwnaeth ei lwyn,
Am hyn a elwid gwed'yn Tophet neu
Gehenna, darlun gwir o uffern bwll.
Yn nesaf, Cemos, anllad Dduw 'r Moabiaid,
O Aroer hyd Nebo, ac hyd wyllt
Deheuol barth Abarim, yn Hesbon, lle
Teyrnasa Sehon, a thu draw i fro
Flodeuog Sibma, ardal gwinwydd bras,
Ac Elëale hyd y marw fôr.
Ei enw Peor oedd pan hudo wnaeth
Israel yn Sittim, ar eu taith o'r Aifft,
I anllad warth a barodd iddynt wae.
Ei gastiau trythyll hefyd ddygodd ef
I'r halog fryn, lle 'r ydoedd ei lwyn ef,
Y llofrudd Moloch; nwŷd a chas ynghyd,
Nes gyrodd hwynt Josiah i uffern ddu.
Daeth gyd â'r rhai'n, hwynthwy, o ffrŵd yr hen
Euphrates, hyd y nant a bartha rhwng
Yr Aifft a Syria, a gyfenwid gynt
Baalim neu Astaroth, o wrw ryw
Y naill, y llall benywaidd; can's wrth raid
Cymmerent un o'r rhywiau hyn neu 'r ddwy
Mor feddal a digymmysg yw eu llwyr
Sylweddau, gan gymmalau nid yn rhwym,
Nac o esgyrn brau yn derbyn nerth,
Fel llwythog gnawd; ond ar y wedd a'r llun
Y mynont, eang neu yn fyraidd, du
Neu 'n oleu, gwnant eu wybrol fryd
O gariad neu elyniaeth. Ac er mwyn
Y rhai'n gadawsai 'n aml had Israel
Eu bywiol nerth, a'i hardd alloreu ef
Gan wrthod, ymgrymasent yn dra ffol
I dduwiau anifeilaidd; ac am hyn
Eu penau grymed gan elynion gwael.
A chyda hwynt Astaroth ddaeth, yr hon
A elwir yn Phænicia Astarte,
Brenines nef; ac i'w gwych ddelw hi
Y talai merched Sidon yn y nos
Eu haddunedau, ac y canent hwy;
Ac nid heb fawl yn Sion ydoedd hi;
Teml adeiladwyd iddi ar y bryn
Tramgwyddus gan y gwreigar deyrn, yr hwn
Er mawr ei fri, gan au-addoles deg
A hudid i addoli delwau ffol.
Yn nesaf, Tammuz ddaeth, archoll yr hwn
Yn Lebanon bob blwyddyn trwy fawr dwyll
Lodesi Syria ddenai ar ddydd haf
I wylo ei dynged ef mewn odlau serch,
Tra rhedai dwfr Adonis tu â'r môr
Yn goch gan waed y clwyf, yn ol eu tyb,
A gae 'n flynyddol. Llygrodd y chwedl hon
Forwynion Sion, anllad nwydau 'r rhai
A welid gan Eseciel yn y lle
Sancteiddiol, pan mewn gweledigaeth wnaeth
Olygu budyr adeiladau gau
Llwyth Juda wrthgiliedig oddiwrth Dduw.
Daeth gwed'yn Un a wylai 'n chwerw dost,
Pan 'nafwyd gan yr arch ei ddelw fud,
Y pen a'i ddwylaw yn ei deml ei hun,
Yn chwilfriw ar y trothwy, ar y llawr
Ei hunan, i'w addolwyr oll yn warth:
Ei enw Dagon, môr-anghenfil oedd;
Ei uchaf ran yn ddyn, ei isaf yn
Bysgodyn; etto yn Azotus, teml
A goded iddo; ofnid ef yn Gath,
Ac Ascelon, a Gaza, trwyddynt oll.
Ef Rimmon a ganlynai, trigfa 'r hwn
Oedd deg Damascus, ar geulanau bras
Abana a Pharphar, gloyw ffrydiau hardd.
Un gwahanglwyfus unwaith gollodd ef,
Ond ennill wnaeth ef Frenin, Ahaz ddwl,
Ei drechydd; hwn a hudodd i sarhâu
A symmud allor Duw, ac yn ei lle
Roi un o Syriaidd ddull, i losgi arni
Aberthau ffiaidd, ac addoli 'n ffol
Y duwiau dinerth a orchfygai ef.
Ar ol y rhai'n oc ymddangosai haid,
Osiris, Isis, Orus, a'u holl lu;

Y rhai, o luman anferth, trwy rym swyn
Yr Aifftiaid coelgrefyddol dwyllent gynt
I ddewis duwiau ar 'nifeilaidd lun
Yn hytrach nac ar ddynol; ac nid rhydd
Oedd Israel o'r drwg hwn, pan wnaethant lo
O aur yn Horeb; a mwy etto fu
Y pechod hwn yn Bethel ac yn Dan,
Pan i wael ych y cyffelybed Duw:
JEHOFAH, 'r hwn mewn un nos pan trwy 'r Aifft
Yn tramwy, a ddinystriodd yr un wedd
Eu cyntanedig oll a'u duwiau gau.
Yn olaf, deuai Belial, ac nid oedd
Anfaded un o'r colledigion drwg
Fel drwg a garai, er na choded teml
Nac allor iddo, etto neb mor aml
Ag ef mewn temlau, wrth allorau, pan
Droe 'n ddidduw yr offeiriad, fel y gwnaeth
Plant Eli a lanwasant demyl Dduw
A nwyd a thrais. Ac hefyd rhwysga ef
Mewn llysoedd a phalasau, ac nid llai
Mewn trefydd glythus, lle y dyrcha twrf
Gloddestau a chyflafan lawer uwch
Na'u tyrau uchaf; a phan ddel y nos,
Hwynt, feibion Belial, trwy 'r heolydd ânt
O wîn a thraha 'n llawn; ardystia hyn
Heolydd Sodom, a'r gwarth anfad wnaed
Gynt yn Gibeah, pan ddanfoned gwraig
I'r heol, er gochelyd trais oedd waeth.
A dyma 'r mwyaf rai mewn nerth a bri;
Maith gwedyd am y lleill, er mawr eu clod,
Sef duwiau Ionia o hil Javan; hwynt
Yn dduwiau elwid, etto ie'ngach o'ent
Na nef a daear, o'r rhai yr hânent hwy.
Gosoded Titan, cynfab nef, a'r hil
Luosog, gan ddewr Sadwrn, ie'ngach dduw,
Ac ef gan ddewrach Iau, ei fab ei hun,
A Rhea ei wraig; ac felly Iau trwy drais
Deyrnasai: adnabyddus hwynt yn Crete
Yn gyntaf, ac yn Ida, wed'yn ar
Eiryawg ben Olympus oer; a'u nef
Uchelaf ydoedd canol awyr; yno hwynt
Deyrnasent, neu ar glogwyn Delphi hen,
Neu yn Dodona, a thrwy hyd a lled
Tir Doria; neu adwaenor gyntaf hwynt
A ffoisent gyda Sadwrn dros y môr
I dir Hesperia, neu tu draw, i blith
Y Celtiaid yn ynysoedd pella 'r byd.

*(I'w barhâu.)*

---

## CAROL NADOLIG.

TÔN,—"FFARWEL NED PUW."

PAN grewyd nef a daear lawr
Fe welwyd mawr orfoledd;
Cydgânodd sêr y boreu glân,
Nefolaidd gân gogonedd;
A gorfoleddodd meibion Duw
Wrth wel'd y cyfryw arfaeth,
Gan edrych ar weithredoedd mâd
Duw, ogylch creadigaeth:
Ond Mab Duw pan welsant mor fawr ei urdduniant,
Rhyw rai a lidiasant, gan falchder a soriant
Ni roisant ogoniant i'w GWIWNER;
O'r nef y cwympasant; a deuddyn mewn llwyddiant,
Ar *ddelw* Duw gwelsant, ac a'u hanurddasant,
O ddelw a mwyniant eu MUNER.

Llid Satan gas at ddelw Duw,
A barai 'r distryw dwysdrwm;
Ac anufudd-dod Adda ynghyd,
I'r byd i gyd roes godwm:
Ar ddelw diafol daeth y dyn,
Gan golli *llun* ei Grewr;
Fe gwympodd o'i oruchel ran
I dlawd ac aflan gyflwr:
Ei Grewr a'i gwelodd, ac wrtho tosturiodd,
Ac arno fe alwodd, am "Hâd y Wraig" traethodd,
A bywyd gyhoeddodd i Adda;
Rhoes iddo ffydd fywiol i gredu 'n obeithiol
Am Geidwad dyfodol, i ddatod yn hollol
Weithredoedd y diafol a'u difa.

Addewid Duw am Hâd y Wraig
Oedd cadarn graig yr oesau,
O oes i oes i Adda a'i hil,
Hyd bedair mil o flwyddau:
A goruchwyliaeth dywell oedd,
Rhwng miloedd o gymmylau,
Heb le i weled Crist na'i wyrth,
Ond cyfyng byrth aberthau:
Trwy ladd colommenod, ŵyn, bustych, a hyrddod,
Anerau, a bychod, amlygid y cysgod,
O Geidwad i ddyfod o Ddafydd:
A gair y Prophwydi oedd i'w calonogi,
Trwy ddyfal gyhoeddi fod Bachgen i'w eni,
Gan ddatgan mawrhydi 'n Gwaredydd.

Daeth yr addewid bur i ben,
Fe aned Bachgen ini,
Ym Methlehem cyn tori 'r wawr,
Dilynodd mawr oleuni;
A holl angylion gwlad y gwawl
A seiniodd fawl Hosana,
Mewn nefol gân, pan aned gwir
Fab Duw ar dir Judea:
Pyrth uffern gynhyrfodd, y ddraig gynddeiriogodd,
I'w erbyn pan welodd ei *ddelw* sancteiddfodd,
Yr hon a anhuddodd yn Adda:
Amcanodd y diafol roi codwm trag'wyddol
I'r Iesu IOR oesol; ond er mor angerddol
Ei lid dialeddol ni lwydda.

O'r nef y daeth ein Penaeth pur
I wisgo natur ddynol,
Er rhoddi tâl am bechod dyn,
A threchu 'r gelyn diafol,

A rhoi i'r ddeddf anrhydedd iawn,
A pherffaith lawn foddloni
Cyfiawnder pur y dwyfol Dad,
Er mwyn ein mâd gymmodi:
A thrwyddo daeth rhoddion, sef clyw i fyddarion,
A golwg i ddeillion, tafodiaith i fudion,
A bywyd i feirwon lefaru;
Troes allan gythreuliaid o ddynion oedd weiniaid,
Gan symmud y niwaid o'r annuw druein-iaid,
Ac achub yr enaid a'i brynu.

Goddefodd bwys a gwres y dydd
I wneud yn rhydd yr eiddo;
Ar Galfari efe a roes
I lawr ei einioes yno;
Gorchfygodd angau, byd, a bedd,
Bu'n gorwedd yn y beddrod;
Cyfodai 'r trydydd dydd yn glau,
I gyfiawnhâu ei briod:
I'w orsedd gyfryngol aeth ef yn fuddugol
Ar deyrnas y diafol, a'i allu yn hollol
Ddigonol i'n rhadol waredu;
Daw 'r noeth a'r newynog, y llwythog, blinderog,
I'r lân yn galonog, gan bwyso 'n ddiysgog,
Ar nerth ein Tywysog Crist Iesu.

Ffown, ffown rhag diafol elyn du,
I ddilyn Iesu 'n isel,
Mae ef yn gwahodd dynolryw
I hedd â Duw yn dawel;
Gan waeddi 'Dewch mwynhewch yn awr
Y breiniau mawr a brynwyd;
Adferodd ini 'r *ddelw* hardd,
Yn Eden ardd a anurddwyd;'
A'i *ddelw* ysbrydol ar enaid y duwiol
Sy gas gan y diafol, i'w herbyn yn hollol,
Y mae yn grymusol ymosod:
Mae pob rhyw gyfreidiau yn arfdŷ ein Meichiau,
*Gwirionedd ei enau;* yn hwn y cawn ninau
Ei Ysbryd a'i arfau i orfod.

GUTYN PERIS, neu,
GRIFFITH WILLIAMS, *Braichtalog.*

---

## ENGLYNION

### *AR ENEDIGAETH CRIST.**

GWRANDEWAIS, clywais sain clod,—llu eurgain,
Llewyrgoeth nef uchod;
Ar foreuddydd newydd nod,
I'r Iesu a'r ddae'r isod.

Minau yn lew heb dewi—a ganaf
Ogonedd i'm Celi,
Modd ffrawdd am ei nawdd i ni,
Y'nghanol tost angheni.

Pechai dyn, adyn ydoedd—anarbwyll,
Yn erbyn y nefoedd;
A Duw, er y pechod, oedd
Arbedus, syna 'r bydoedd!

Rhag i'r ddeddf, nid lleddf, wneud lladdfa—iornawl,
Arnom am ein traha;
Trefnai cynghor Duw IOR da,
Yn addfwyn i ddyn noddfa.

Y NER a roddai erom—ei anwyl,
A'i unig Fab drosom,
Dan y felldith dryblith drom,
Hyddwysaf a haeddasom.

Caid o Fair y Gair rhagorawl—gorddawn,
Y Gwir-Dduw trugarawl,
Er mynu llwydd tragwyddawl,
I'r bobloedd, miloedd a'i mawl.

Duw Goruchaf, NAF y nefoedd,—a PHOR,
A PHERYF y bydoedd;
Caid o forwyn, addwyn oedd,
Dawnedig, a *Dyn* ydoedd!

Peth sanctaidd, puraidd ddarpariad,—oedd ef,
O ddifai genedliad;
A'i galon heb ogiliad,
Yr un reddf a deddf ei Dad.

Daeth i'r byd y pryd prïodawl,—ar oed
Yr adeg arfaethawl;
Pan ei genid gwelid gwawl
Ei seren, arwydd siriawl.

Y Doeth a'r Hollgyfoethog—un a ddaeth,
Yn ddieithr anenwog,
I'r byd, ac o gryd i grog,
Y'nghyni bu anghenog.

Yn y preseb, heb fwy hawl,—ei ganed,
Ac yno 'n fabanawl,
Y rhodded i'n IOR haeddawl,
Dair cardawd† a mêlwawd mawl.

Porth y gwân ei rân a'i RI,—rhag croester,
Yw Crist wedi 'i eni;
Angor gref o nef i ni,
Oen cadarn idd ein codi.

CUNEDDA AP CEREDIG.

---

* *Danfonwyd yr Englynion uchod, amrai flynyddoedd yn ol, i'r Waenifor, ar wahodd-iad, i ymgais am oreuaeth a gwobrwy; ond ni chafodd* CUNEDDA *druan na goreuaeth na gwobrwy, nac ychwaith weled yr Englynion a fernid yn oreu, er danfon at y Beirniad* (DANIEL DDU) *yn ostyngedig i geisiaw hyny o gymmwynas. A chlywai* CUNEDDA *na chaffai neb weled yr Englynion uchod gan* D. DD. *ar ol dydd y prawf, fal ei gelwir, efe ei hun a ŵyr oreu paham y mynai eu dir-gelu. Gellid dywedyd ychwaneg am hoced y tro hwnw, ond "taw a'i piau hi."*

† *Aur, Thus, a Myrr.* Mat. 2. 11.

EMYN NADOLIG.

MELUSACH sain yw enw 'r ION,
Nag unrhyw dôn ddaearol;
A hwn yw 'r enw heddyw sydd
Yn newydd i'r annuwiol.

'Nol cwympo i lawr o'n cyflwr coeth,
Tro annoeth llawn trueni,
A syrthio 'n euog dan y farn,
Duw cadarn ddaeth i'n codi.

Angylion canent pan y daeth,
Ogoniant ffraeth i'w Crewr;
Pwy ddylai ganu 'n uwch na ni,
Am eni y Gwaredwr?

Rhyfeddwn fawredd dwyfol ras
I druain ddygasogion;
Teyrnfradwyr cas heb haeddu byw,
Gwael annuw a gelynion.

Ond rhyfedd! ein cymmodi wnaed,
Trwy dywallt gwaed ein Ceidwad;
A'i ddryllio 'n lle troseddwyr ffol,
O fawr ragorol gariad!

Gan i etifedd mawr y nef
Ddyoddef cosb euogion;
A marw trosom ni yn glau,
'Fydd ein tafodau 'n fudion?

Na—rhaid ini foli 'r Ion,
Y mae mor ddyrchafedig;
Canys pe dyn canu nis gwnai,
Yna y llefai cerig.

Dyrchafwn mwyach enw cu
Yr Iesu yn oes oesoedd;
Cyflwynwn iddo fawl di lyth,
Heb dewi byth byth bythoedd.

GLYN MYFYR.

---

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## LLOEGR.

### Y SENEDD.

AR ddydd Mawrth, Hydref 26ain, cyfarfyddai y Senedd; a dechreuwyd yr Eisteddfod drwy dyngu i mewn yr aelodau. Penderfynwyd na byddai i'w Fawrhydi ymddangos yn y Senedd cyn yr 2fed o Dachwedd; ac yn foreu y diwrnod hwnw yr oedd heolydd y Brif-ddinas yn llawn o bobl yn chwennych canfod y Brenin. Oddeutu un o'r gloch y prydnawn ei Fawrhydi a'i swyddogion a gychwynasant o Balas St. Iago; ac wrth dramwy yr amryfal heolydd ar ei ffordd i'r Senedd, derbyniodd ei Fawrhydi arwyddion eglur o serch a gorbarch ei ddeiliaid, yr hyn ni allai lai na chyffroi yn ei fynwes deimladau o hyfrydwch a boddlonrwydd. Cyrhaeddodd ei Fawrhydi Dŷ yr Arglwyddi ychydig wedi dau o'r gloch, ac yn ddiatreg cymmerodd ei eisteddle ar yr orsedd, yr hon a amgylchwyd gan amrai gangenau o'r Teulu Breninol. Y Duciaid Cumberland, Cambridge, a Sussex; y Tywysogion Sior Cumberland, a Chaergrawnt; y Dduges Kent, a'r Dywysoges Vittoria. Wedi i'w Fawrhydi gymmeryd llw yn erbyn Trawssylweddiad, ei Fawrhydi a draddododd yr Araith ganlynol:—

"FY ARGLWYDDI A BONEDDIGION,—

"Gyda mawr foddlonrwydd yr ydwyf ich cyfarfod yn y Senedd, ac yr wyf yn 'g, yn yr amser presennol, i gyrchu at cynghor.

"Er diddymiad y Senedd diweddaf amgylchiadau o'r pwys mwyaf a ddygwyddasant ar Gyfandir Ewrop.

"Nid yw canghen henaf Tŷ Bourbon mwyach yn llywodraethu yn Ffrainc, a galwyd Duc Orleans i esgyn yr orsedd dan yr enw 'Brenin y Ffrancod.' Gan i mi dderbyn oddiwrth y Brenin newydd ddilysrwydd o'i ddymuniad cryf i goleddu y dealldwriaeth da, ac i gynnal yn ddilwgr yr holl ymrwymiadau sy mewn grym rhwng Ffrainc â'r wlad hon, ni phetrusais barhâu fy mherthynasau swyddol a'm cyweithasrwydd â'r Llŷs Ffrengaidd.

"Gyda gofid dwys y sylwais ar ansawdd amgylchiadau yn yr Iseldiroedd. Drwg genyf na ffynodd llywodraeth ddoeth y Brenin i wared ei wladwriaethau rhag terfysg a gwrthryfel, ac na ddeilliodd unrhyw ganlyniad boddlongar oddiar ei weithred doeth a phwyllog i gyflwyno dymuniadau a chwynion ei ddeiliaid i ystyriaeth y Senedd a ymgynnullodd i'r dyben arbenig hwn. Yr ydwyf fi, ynghyd a fy nghynghreiriaid, yn ymdrechu cael allan y cyfryw foddion er adferu tawelwch ag a fyddant yn gydweddol â llywodraethiad dda yr Iseldiroedd, ac â diogelwch dyfodol teyrnasoedd ereill.

"Arwyddion o derfysg ac annhrefn a achosasant aflonyddwch mewn gwahanol barthau o Ewrop; ond y sicradau o gyfeillgarwch a barhâwyf i dderbyn oddiwrth yr holl Gadeirnion Tramor a gyfiawnhânt y dysgwyliad y galluogir fi i gynnal bendithion heddwch i fy mhobl. Yn ddwys ystyriol bob amser o'r angenrheidrwydd i barchu ymrwymiadau gwladol, dilys genyf

mai fy mhenderfyniad i gadw mewn cydsyniad â fy nghyngreiriaid yr ammodau cyffredin hyny, trwy y rhai y sefydlwyd trefniadau llywodraethol Ewrop, fydd y diogelwch goreu er parhâu llonyddwch y byd.

"Nid ydwyf etto wedi rhoddi hollol drwydded i fy nghenad yn Llŷs Lisbon; ond gan i Lywodraeth Portugal benderfynu cyflawni gweithred gyfiawn a dyngarol, drwy ganiatâu deddf i ebargofi pob trosedd yn erbyn y Brenin er ei esgyniad ar ei orsedd, tybiwyf y prysura yr amser, pan y bydd yn rheidiol, er budd masnachol fy neiliaid, i adnewyddu y perthynasau hyny ag a ffynasant am amser mor faith rhwng y ddwy deyrnas.

"Cymhellir fi, gan y gofal dwys a deimlwyf o barth llwyddiant fy neiliaid, i gyflwyno i'ch ystyriaeth cynar y darpariadau fydd yn gymmwys eu gwneuthur ynghylch cyflawniad dyledswyddau y Freniniaeth, pe rhyngai bodd i'r Hollalluog derfynu fy einioes cyn i'm dilynydd gyrhaedd yr oedran gofynedig.

"Parod fyddaf i gyduno â chwi i ffurfio y cyfryw drefniadau a ymddangosant yn gyfaddasaf i amddiffyn heb waethygiad sefydlogrwydd a bri y Goron, ac felly cadarnhâu diogelwch rhyddid gwladol a chrefyddol fy neiliaid."

"Foneddigion Ty y Cyffredin,—

"Archais osod ger eich bron, yn ddiatreg, y cyfrifon am y rhan o'r flwyddyn hon na ddarparodd y Senedd diweddaf ar eu cyfer. Darbodir y cyfrifon am y flwyddyn ddyfodol gyda sylw dyledus at ymgadw rhag afraid, yr hyn y penderfynwyf wneuthur yn holl ganghenau traul y wladwriaeth.

"Trwy farwolaeth galarus fy mrawd, ei Fawrhydi diweddar, y mae cyllidau y *Civil List* wedi darfod.

"Gadawaf i chwi ddefnyddio, yn hylwyr fel y dymunech, fy hawl yn yr Ardrethi Treftadol, ac yn y cyllidau hyny a ddeilliant oddiwrth *droits* y Goron a'r Môr-lŷs, oddiwrth ardrethi yr India Orllewinol, neu oddiwrth ardrethi damweiniol, pa un ai yn fy meddiannau tramor, neu yn y deyrnas gyfunol.

"Wrth roddi i fynu i chwi fy hawl yn yr ardrethi a gadwyd gynt i'r Goron, llawenhâf yn yr arfod i arddangos fy hylwyr hyder ar eich serch dyledus, a'm ymddiried y darbodwch yn siriol yr hyn a fyddo angenrhaid i weinyddiad y Llywodraeth wladol, ac i anrhydedd a bri y Goron."

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,—

"Dwys alarwyf fod eiddo fy neiliaid, mewn rhai parthau o'r wlad, yn cael eu niweidio drwy gyd-fwriadau i ddinystrio peiriannau, a bod colledion mawr wedi dygwydd iddynt o herwydd gweithredoedd dyhirod maleisus.

"Ni allaf, heb ofid a digter, nodi yr ymdrechiadau a wneir yn ddyfal er cyffroi ysbryd o anfoddlonedd ac anserchogrwydd tu ag at y Llywodraeth, ac i ddiddymu yr undeb a ffyna yn ffodus rhwng y rhânau hyny o'r deyrnas, cyssylltiad y rhai sydd yn anhebgorol i'w nerth cyffredin, ac i'w dedwyddwch cyffredin. Penderfynwyf ddefnyddio, hyd eithaf fy ngallu, bob moddion a ymddiriedwyd i mi gan y Gyfraith a'r Llywodraeth er cosbi bradfwriad, a darostwng yn union derfysg ac annhrefn. Ym mysg holl anhawsderau yr amser presennol, ystyriwyf, gyda boddlonrwydd mawr, am ffyddlondeb ac ymlyniad serchog y rhan fwyaf o fy neiliaid.

"Dilys genyf eu bod yn ddyledus werthfawrogi manteision y ffurf-lywodraeth ddoeth hòno, dan yr hon, drwy ganiatâd Rhagluniaeth y nef, y mwynhâodd ein gwlad, am nifer mawr o flynyddoedd, mwy o heddwch tumewnol, mwy o lwyddiant masnachol, mwy o wir ryddid, mwy o'r hyn a wna i fynu ddedwyddwch cymdeithasol nag a ddygwyddodd i ran unrhyw deyrnas arall yn y byd. Gwrthddrych penaf fy einioes yw cynnal y cyfryw fendithion i fy mhobl, ac i'w trosglwyddo yn ddigyfnewid i'r cenhedlaethau a'n dilynant: a chefnogir fi i gyflawni y ddyledswydd bwysfawr a ymddiriedwyd i mi, gan hyderu ar ddoethineb y Senedd, ac ar gymmorth diffuant fy neiliaid ffyddlon."

Yna gohiriwyd y Tŷ, ac ail ymgynnullodd oddeutu 6 o'r gloch. Ar ol i'r Arglwydd Ganghellydd ddarllen araith y Brenin, cyfododd *Ardalydd Bute* i gynnyg yr anerchiad i'w Fawrhydi, yr hwn, fel arferol, oedd yn gydseiniol â'i araith. Cefnogwyd y cynnygiad gan *Arglwydd Monson.*

Iarll Winchelsea a gymmeradwyodd y gyfran hòno o'r araith a ddatganai amcan y Brenin i ddefnyddio pob cynnildeb yn nhraul y llywodraeth: ond llefarodd yn erbyn parhâu yr ardrethi ar angenrheidiau bywyd. Llawer a ddywedwyd o barth y terfysgiadau yn Kent; ond ei dyb cadarn ef oedd, mai nid gwerin onest a diwyd y Swydd hòno ydoedd achos y cyfryw gynhyrfiadau.

Ardalydd Camden a haerai nad oedd tlodi presennol trigolion Kent gymmaint ag oedd y llynedd. Y gwir yw, fod yr amgylchiadau a ddygwyddasant ar y Cyfandir wedi cyffroi dynion drwg yn y wlad yma. Cynghorai feddiannwyr tiroedd i olrhain yn fanwl i'r modd y defnyddir treth y tlodion, ac i roddi gwaith i'r llafurwyr.

Iarll Darnley a gadarnhai haeriad *Iarll Winchelsea,* mai nid llafurwyr diwyd

y Swydd oedd yn achosi y tanau a'r terfysg yn Kent. Pan roddwyd ei deisi ef ar dân, tlodion y gymmydogaeth a ymdrechasant â'u holl egni i ddiffodd y tân, er fod y Newyddiaduron yn hyspysu iddynt edrych ar y fflamiau gyda gradd o foddlonrwydd. Teimlodd hyfrydwch mawr yn talu i'r tlodion am eu llafur, ac yn diolch iddynt am eu cynnorthwy amserol.

Arglwydd Farnham a haerai fod cymmaint o drethi ar yr amaethwyr nad allent oddef mwy. Cynghorai ef y Llywodraeth i wneuthur i'r cyfoethogion hyny ag a feddiannent arian yn y gyllidfa i dalu treth. Meddyliai mai yr achos penaf o'r tlodi a'r eisieu yn yr Iwerddon oedd, fod y Senedd wedi goddef i'r Pabyddion gael eu cais: ac os goddefid i'r Uniad gael ei ddiddymu, achosai hyn wahaniad y ddwy wlad.

Iarll Grey a ddatganodd ei hylwyr ymddiried yn synwyr da, a ffyddlondeb trigolion yr Ynys hon: a phe iawn drefnid gyllidau y deyrnas, buan y diflanai pob perygl. Cydsyniai yn hollol âg araith ei Fawrhydi o barth yr ymdrechiadau a wneir er aflonyddu pobl ffyddlon a dewr yr Iwerddon i geisio gwahana yr Iwerddon oddiwrth Brydain, a distrywio y ddwy wlad. Sylwodd ei Arglwyddiaeth ar araith *Arglwydd Farnham*—a dywedodd, mai nid caniatâd cais y Pabyddion, ond oediad y caniatâd oedd achos tlodi y Gwyddelod. Ac nid allai gydsynio âg araith ei Fawrhydi ynghylch ymyraeth â threfniadau tufewnol gwledydd Tramor: ac wedi canmol y Ffrancod am wrthsefyll gormesdeyrn Siarls X. a'i Swyddogion, terfynodd trwy ddywedyd, er nad allai dan bob amgylchiad, gymmeradwyo yr anerchiad i'w Fawrhydi, tybiai iddo gyflawni ei ddyledswydd drwy beidio ei gwrthwynebu.

Duc Wellington, wedi canmol rhan o araith hyawdl *Iarll Grey*, a amddiffynodd araith ei Fawrhydi, ac ymddygiad ei Swyddogion ynghylch ansawdd yr Iseldiroedd. Mynegodd ei ddysgwyliad y llwyddai i adferu tawelwch yno heb orfod myned i ryfel. Llawer a soniwyd am dlodi anarferol yr Iwerddon—dychweled pendefigion a boneddion yr Iwerddon yno i'w cartref-leoedd, a threuliant eu hamser, a gwariant eu harian ar eu heiddo, yna y rhoddent waith i'r llafurwyr, diwallent eu hangenrheidiau, a llwyddent i adferu llonyddwch a digonoldeb i'w cydwladwyr. Mewn perthynas i ddiwygiad yn y Senedd, hyspysodd y Duc ei farn, nad allai neb wellhau y modd presennol o ddethol Cynnrychiolwyr, ac nad oedd efe wedi darparu unrhyw gynllun o ddiwygiad y Senedd: a thra yr arhosai efe yn ei swydd, gofalai efe na byddai i'r Llywodraeth gynnyg yr un mesur i'r perwyl hwn.

Yna cytunwyd i'r Anerchiad, a phenderfynwyd iddo gael ei gyflwyno i'w Fawrhydi.

## TY Y CYFFREDIN.

Dydd Mawrth, Tachwedd 2fed, wedi i'r Aelodau ddychwelyd o Dŷ yr Arglwyddi, gohiriwyd y Tŷ am ychydig. Ar ei ailgynnulliad rhoddodd Mr. Brougham rybudd y cynnygiai efe, ar yr 16eg, fesur er diwygio y Senedd. Ni foddlona efe oni bydd iddo achosi diwygiad mawr yn y modd o Gynnrychioli y bobl. Ei wrthddrych oedd adgyweirio, nid tynu i lawr, Ffurf-lywodraeth y wlad hon.

Wedi i'r Llefarydd ddarllen Araith y Brenin cyfododd *Arglwydd Grimstone* i gynnyg anerchiad i'w Fawrhydi, a chymmerodd achlysur i sylwi ar brif byngciau yr Araith, i fynegi ei fwriad i gefnogi mesurau Gweinidogion y Brenin, am ei fod yn sicr yr amddiffynent ddiogelwch yr Eglwys, rhyddid y werinos, a bri y Goron.

Mr. R. Dundas wrth gefnogi y cynnygiad a gyfeiriodd at yr Adchwyl diweddar yn Ffrainc, a datganodd ei ofid fod y Brenin wedi cael ei ddadymchwel oddiar orsedd ei Hynafiaid: ond dywenydd oedd iddo adrodd fod y Brenin presennol yn dymuno coleddu y cyfeillgarwch a ffyna rhwng y ddwy deyrnas. Er na thraethai yr Araith Freninol ddim ynghylch amgylchiadau Groeg, etto gallai efe sicrhâu nad oedd Gweinidogion y Brenin ddim yn anystyriol o honynt.

Arglwydd Althorp a draethodd ei anhyder yn ngallu y Gweinidogion presennol i drin achosion y wladwriaeth yn yr amser hwn; ond rhoddai efe ei gynnorthwy iddynt ym mhob mesur a duedda er lles y deyrnas.

Ardalydd Blandford a gynnygiodd ychwanegiad at yr anerchiad, yn beio ar ymddygiad y Senedd ddiweddaf a'r rhai blaenorol, a'r modd y dewiswyd hwynt, ac yn galw ar y Brenin i ddefnyddio ei awdurdod i symmud ymaith angen a chwynion ei bobl. Cefnogwyd y cynnygiad gan O'Connell.

Wedi i *Mr. Pelham*, *Mr. Long Wellesley*, a *Mr. Hume*, areithio yn erbyn rhyw rânau o'r Araith, cyfododd *Syr R. Peel*, ac ymddiffynodd yr Araith, a holl fesurau y Llywodraeth. Mewn perthynas i'r tlodi sy'n gwasgu y wladwriaeth, os oes angen mewn rhai parthau, tosturiwyf drostynt; ond ni chaiff fy mhenderfyniad i roddi i lawr bob terfysg a gyfoda yn y wlad fy rhwystro rhag olrhain achos y cyfryw eisieu, ac ymdrechu rhoddi y feddyginiaeth. Nid yw pobl y deyrnas hon yn trengu o eisieu lluniaeth. Nid oes cymmaint o dlodi yn eu plith ag a haerir gan amrai Aelodau. Yna sylwodd ar berthynasau tramor y deyrnas, ac ar amgylchiadau yr Iwerddon.

Ceryddodd y gwrthwynebwr O'Connell yn l·y m am ei ymdrechiadau niweidiol i gyffroi digter y Gwyddelod yn erbyn eu Huniad â'r wlad hon. O! na fydded i ni chwarae â phwnc mor bwysfawr. Na fydded i ni enynu anghydfodau crefyddol. Ai hyn yw ein cyflwr, y bydd raid i ni ddadwneud yr hyn a gyflawnasom? Wedi i ni oresgyn Cymru, cyssylltu yr Alban, a chyduno yr Iwerddon, a raid i ni ddiddymu yr undeb sydd yn awr rhwng rhânau y deyrnas hon? Os dechreuwn trwy ddiddymu yr Undeb rhwng yr Iwerddon, oni haera gwledydd ereill eu hawl am anymddibyniaeth? Ni anobeithiaf allu profi, mewn amser cyfaddas, nad ellir cwblhâu y cyfryw fwriad heb dywallt gwaed goreu y ddwy wlad, ac heb gynhyrfu llonyddwch a thawelwch y ddwy deyrnas.

Mr. O'Connell a ymddiffynodd ei hun rhag cyhuddiadau y Barwnig; hysbysodd ei benderfyniad yn ngwrthwyneb i holl fygythion y Llywodraeth i fyned ym mlaen yn ei ymdrechiadau i ddiddymu yr Uniad.

Wedi i Mr. Brougham areithio yn hyawdl, a Syr H. Parnell, Mr. Fitzgerald, a Syr H. Hardinge, draethu eu barn yn erbyn diddymiad yr Uniad, cynnygiwyd ychwanegiad Ardalydd Blandford, yr hwn a wrthwynebwyd, a phenderfynwyd i'r anerchiad gael ei gyflwyno.

*Dydd Iau*, Tachwedd 4ydd, aeth y Llefarydd, ac amrai o Aelodau Tŷ y Cyffredin, i gyflwyno yr anerchiad i'w Fawrhydi, ac wedi dychwelyd adroddasant ateb ei Fawrhydi, yr hwn a ddiolchai i'r Senedd am eu dilysrwydd o'u ffyddlondeb a'u hymlyniad serchog, ac a ddywedai na byddai dim yn eisieu ar ei ran ef i hyrwyddo lles, a haeddu serch ei bobl.

Cynnygid lluaws o Erfyniadau o blaid Rhyddhâd y Caethion yn yr India Orllewinol gan amrai o Aelodau.

Mr. Sadler a rybuddiodd y byddai iddo, ar ol y Gwyliau, ddyfod a chynnygiad i mewn mewn perthynas i sefydliad Deddf y Tlodion yn yr Iwerddon.

*Dilead o Lwon afreidiol*—Mr. Wynn a ofynodd ganiatâd i gynnyg penderfyniad o barth dileu amrai o lwon afreidiol, yn enwedig y llw i ymwadu â theulu y Stuartiaid, gan fod yr olaf o'r teulu hwnw wedi marw ar y 26ain yn ol. Cefnogwyd y cynnygiad gan Mr. Ferguson, Mr. O'Connell, ac Arglwydd Nugent. Syr Robert Peel a gyfaddefodd na ddarfu iddo erioed ystyried yn ddyledus y pwnc hwn, ac am hyny ni ymwystlai i gefnogi nac i wrthwynebu y cynnygiad, er y meddyliai na ddylid gwneuthur unrhyw ddeddf mewn brys, a dichon i ganlyniadau ddeillio oddiar ddilead y llwon hyny na ddychymygodd Mr. Wynn erioed am danynt. Syr C. Wetherell a dybiai na ddylid dileu y llw o ymwadiad â'r Stuartiaid, gan fod rhai Pabyddion yn ystyried fod gan Deulu Sardinia ryw hawl i orsedd y deyrnas hon.

*Dydd Gwener*, Tachwedd 5ed, cyflwynid 60 o Erfyniadau o blaid Rhyddhâd y Caethion yn yr India Orllewinol.

*Cyflwr y Wlad.*—Ar gynnyg Canghellydd y Trysorlys i'r Tŷ ffurfio ei hun yn Gydeisteddfod i ddiwallu hawl y wladwriaeth, gofynai Mr. Kenyon, ai amcan y Gweinidogion ydoedd cynnyg rhyw fesur arbenig er lleihâu angen y bobl. Syr Robert Peel a atebai, mai nid eu bwriad oedd gwneuthur hyny. Mr. Waithman a alarai yn ddirfawr wrth glywed dywediad y Barwnig, a mynegai ei amcan i gynnyg fod i'r Tŷ olrhain i angenion y bobl, ac i ddyfod â chynnygiad i mewn i ddileu treth y ffenestri. Mr. Hume a deimlai mai ei ddyledswydd oedd gofyn drachefn, a oedd y Llywodraeth yn bwriadu lleihâu y trethi? Syr R. Peel a nacâodd roddi ateb iddo.

## EI FAWRHYDI.

Ar ddydd Mawrth, y 9fed o Dachwedd, yr oedd ei Fawrhydi, ynghyd â holl aelodau y Teulu Breninol, wedi addaw ciniawa gyd âg Arglwydd Maer Llundain, ar yr achlysur o'i ddetholiad i'w swydd. Ond gan fod y Duc Wellington, a Syr R. Peel, wedi derbyn llythyrau oddiwrth amrai o swyddogion y ddinas, yn datgan eu hofnau y byddai terfysg drwy yr holl ddinas, ac yr ymdrechid llofruddio y Duc Wellington os deuai y Brenin i'r ddinas, penderfynodd ei Fawrhydi oedi ei ymweliad â dinasyddion Llundain, yr hyn a achosodd siomedigaeth nid bechan i luaws mawr o bobl. Ymddengys fod y Duc Wellington wedi bod mewn perygl am ei fywyd fwy nag unwaith wrth fyned i'r Senedd, gan fod cannoedd o ddyhirod cythreulig yn ymgynnull oddeutu y Senedd-dai, i regi ac i daflu cerig at bob un ag sydd yn wrthddrych eu llid.

O'Connell.—Mae y gwr hwn yn cael ceryddon tra llym gan Aelodau Tŷ y Cyffredin am ei ymdrechiadau i gyffroi digter yn y Gwyddelod anffodus tu ag at y Saeson, a'i haeriadau celwyddog o barth adsawdd yr Iwerddon a wrthbrofir bob dydd yn y Senedd. Os goddefa y Gwyddelod i greadur distadl fel hyn eu rheoli hwynt maent yn haeddu y tlodi a'r anghen sydd yn eu gorthrymu. Mae y rhan fwyaf o drigolion cyfrifol yr Iwerddon yn erbyn diddymiad yr Uniad. Pa le mae prophwydoliaethau cefnogwyr Rhyddhâd y Pabyddion, y byddai i'r weithred hono adferu llonyddwch a helaethrwydd yn y rhan hono o'r deyrnas?

*Terfysg.*—Drwg genym hysbysu fod eiddo Amaethyddion a Boneddigion yn Siroedd Kent a Sussex yn cael eu distrywio

bob nos drwy dân. Nid oes o'r braidd noswaith heb i ysguboriau, teisi gwair, ac ŷd, gael eu difa yn hylwyr, ac ni ellir cael hyd i'r rhai a'u bachosant. Yn y parthau hyny mae cannoedd, os nid miloedd, yn byw wrth werthu gwirod, &c. a ddygir i'r arfordir o Ffrainc; ond oblegyd fod cymmaint o dlodi yn mhlith yr amaethyddion a'r werinos nid all y môr-ladron hyn werthu eu gwirod; ac, o ganlyniad, ni allant gael dim i'w cynnal. Tybir mai yr adynod hyn ydynt achoswyr yr holl ddinystr yn y swyddau hyny, ac nid y werinos. Os ceir hyd iddynt, mae y Llywodraeth yn penderfynu rhoddi y gyfraith mewn grym hyd eithaf eu gallu, er mwyn gosod esampl i ereill.

*Coeg-Feddygon.*—Dywenydd genym fynegi fod Mr. St. J. Long, am yr hwn y soniasom yn Rhif. 90. tu dal. 353 wedi cael ei brofi yn euog o *Manslaughter* Miss Cushin, a dyfarnwyd ef i dalu dirwy o £250. Dywedir fod un arall o'r cleifion dan ei ofal wedi marw. Llawenychem o'n calon glywed fod y coeg-feddygon sydd yn twyllo trigolion syml Cymru wedi cael eu halltudio, am eu bod yn haeddu hyny ganwaith mwy na'r lladron penaf a alltudiwyd erioed. Ar yr un pryd, rhaid cydnabod os goddefa dynion gael eu twyllo gan y coeg-feddygon eu bod yn haeddu i'w hiechyd gael eu niweidio, a'u bywyd ei golli.

## CYMRU.

Cynnaliwyd cyfarfod blynyddol "Cymdeithas Amaethyddol Swydd Fflint," yn y Wyddgrug, ar ddydd Mercher y 3ydd o Dachwedd. Wedi i r ceffylau, gwartheg, a defaid, gael eu dangos yn y boreu, y gwyddfodolion a giniawsant ynghyd yn y *Black Lion.* Syr E. P. Lloyd yn y Gadair. Rhanwyd yr amrywiol wobrwyon yn ol teilyngdod yr ymgeiswyr, enwau y rhai ydynt ry luosog i'w cofrestru yn y Rhifyn hwn.

*Sessiwn Chwarterol Trefaldwyn.*—Y carcharwyr canlynol a gafwyd yn euog o'r troseddau a ganlyn:—Edward Pugh am ddwyn dwy ystyllen dderw, tri mis o garchar. Sarah Price am ladrata gown, eiddo Elizabeth Davies, arffedog a chapan, eiddo Elizabeth Jones, a chadach sidan, eiddo y Parch. D. Hughes, Llanfyllin, tri mis o garchar. Sarah Syer am ladrata llian bwrdd, a phethau ereill, eiddo E. Bowen, Amaethydd, chwe mis o garchar.

## NEWIDIAD GWEINIDOGION Y BRENIN.

*Traul y Goron.*—Dydd Llun, y 15fed o Dachwedd, cynnygiodd Syr H. Parnell i adael y cwestiwn ynghylch y darpariaeth at draul y goron i Eisteddfod o Ddirprwywyr detholedig, yr hyn a wrthwynebwyd gan weinidogion y Brenin; a rhanwyd y tŷ, pan yr oedd dros gynnygiad Syr H. P. 234, yn ei erbyn 204, a thranoeth rhoddodd gweinidogion ei Fawrhydi ei swyddau i fynu. Y canlyniad a fu i'r Brenin ymgynghori âg Iarll Grey ynghylch sefydlu gweinidogion newyddion; ac enwyd y pendefigion canlynol i lenwi swyddau y rhai a ymadawsant.

Earl Grey, *First Lord of the Treasury.*
Mr. Brougham, *Lord Chancellor.*
Lord Althorp, *Chancellor of the Exchequer.*
Lord Melbourne, *Secretary for the Home Department.*
Lord Palmerston, *Secretary for the Foreign ditto.*
Lord Goderich, *Secretary for the Colonial ditto.*
Lord Auckland, *President of the Board of Trade.*
Mr. Poullett Thomson, *Vice President of ditto.*
Lord Duncannon, *Secretary at War.*
C. Grant, *President of the Board of Controul.*
Sir J. Graham, *First Lord of the Admiralty.*
Marquis of Lansdowne, *President of the Council.*
Lord Durham, *Lord Privy Seal.*
Lord Holland, *Chancellor of the Duchy of Lancaster.*
Lord Hill, *Commander of the Forces.*
Sir H. Parnell, *Master of the Mint.*
Duke of Richmond, *Master General of the Ordnance.*
Viscount Dungannon, *Surveyor of Woods and Forests.*
Mr. Spring Rice, *Secretary of the Treasury.*
Marquis of Anglesea, *Lord Lieutenant of Ireland.*
Mr. Stanley, *Chief Secretary for ditto.*
Lord Plunkett, *Lord Chancellor of ditto.*
Mr. Denman, *Attorney General.*
Mr. R. Grant, *Judge Advocate.*
Duke of Devonshire, *Lord Chamberlain.*

Fe allai nad ydyw y cofrestr uchod yn hollol gywir, cymmerasom ef o'r Newyddiadur a elwir "*Sunday Times.*"

DIWEDD Y SEITHFED LLYFR.

ARGRAFFEDIG GAN R. SAUNDERSON, BALA.

Y

# GWYLIEDYDD;

SEF,

## CYLCHGRAWN O WYBODAETH FUDDIOL,

*ER BUDD I'R CYMRO UNIAITH.*

TAN OLYGIAD GWEINIDOGION YR EGLWYS SEFYDLEDIG.

AM Y FLWYDDYN 1831.

**LLYFR VIII.**

"Yn WYLIEDYDD y'th roddais i dŷ Israel." *Ezec.* xxxiii. 7.



BALA:

ARGRAFFEDIG GAN ROBERT SAUNDERSON.

1831.

# Y RHAGYMADRODD.

---

Mis Rhagfyr a rydd i ni etto hamdden i dalu ein diolchgarwch goreu i'n Gohebwyr a'n derbynwyr am eu cymhorth a'u nodded trwy y flwyddyn a aeth heibio, ac i erfyn estyniad o'u hewyllys da am y flwyddyn a ddaw.

Wrth edrych dros ein Cyhoeddiad am y deuddeng mis diweddaf, nis gallwn lai na theimlo boddiant uwch nag arferol. Dengys ein tu dalenau, mai nid ofer a fu ein bost, pan ddywedasom bod rhai o ddysgedigion enwocaf y Dywysogaeth gwedi addaw i ni gynnorthwy calon a llaw. Ac nid hyn yw y cwbl—da genym weled fod ein Gohebwyr yn deall ysbryd ac amcan ein Cylchgrawn; ac felly, bron bob amser, yn cadw addfwynder a buddioldeb yn bethau penaf mewn golwg. Y mae yn wir y dichon fod ambell ymadrodd wedi dianc i mewn y buasai yn well genym, wrth ail edrych, ei fod wedi ei adael allan: etto yr ydym yn gobeithio na ddiangodd dim o'n llaw â thuedd ynddo i ofidio un meddwl teilwng: os digwyddodd hyn mewn un linell, y linell hòno a ddymunem ddileu.

Wrth fwrw golwg, fel Gwyliedyddion, dros droion yr amseroedd, a llènyddiaeth Gymreig yr oes, nis gallwn lai na galaru, fod rhai o Ohebwyr y Seren, y Dysgedydd, a'r Cymmro, yn parâu i feddwl mai enllib, gwyrni, ac anfri, ydynt offerynau goreu eu hachos. Nid ydym yn ofni dim am ddiogelwch ein Heglwys hybarch oddiwrth ymosodiad y dynion hyn—rhaid i warth yr ymosodiad ddisgyn ar yr ymosodwyr: etto fel Cristionogion, dylem ofyn iddynt gofio un peth y maent wedi ei anghofio hyd yn hyn—*cofio dywedyd y gwir*. Mwy anrhydedd i ni o lawer ydyw bod yn nod i ergydion y dynion hyn, nag yn perthyn i'w plaid. Iddynt hwy y perthyn dangos pa fodd y gellir gwisgo mantell *Rhyddid barn*, fel "cochl malais," fel y medront guddio dagr yn ei phlygiadau. Ynddynt hwy y gwelir pa fodd y gellir aberthu *ysbryd* Cristionogol i ddigasedd at *blaid* Gristionogol. Iddynt hwy y perthyn profi, os medrant brofi, pa fodd y mae yr Eglwys a siglodd gestyll Anghrist hyd y sail—yr Eglwys a gyssegrwyd â gwaed merthyri, ac a fendithiwyd âg "ewyllys da preswylydd y berth," wedi y cwbl ei hunan yn aelod diledryw o Anghrist: hyn

yw eu haeriad. Iddynt hwy, o dan rith pleidio llywodraeth, y perthyn y gwarth o athrodi a chamgyhuddo uchafion a goreuon y genedl. Iddynt hwy y perthyn yr ymdrech i dynu i lawr golofnau gwirionedd ac iawn drefn, er mwyn eu gosod yn wasarn i anwiredd, haerllugrwydd, a therfysg. Ai tybied y maent mai am nad yw Eglwyswyr yn gydwybodol yn caru eu trefn eu hunain—mai am nad ydynt yn ofni niweidiau Annibyniaeth—mai am hyny y maent yn tewi? Na! ni allant byth anghofio y diwrnod y cafodd egwyddorion Annibyniaeth y llais uchaf yn Senedd ein teyrnas: ac onid oes rhai ysgrifenwyr Cymreig fel yn llafurio i ddwyn i ben ddiwrnod cyffelyb? Y mae yn drwm genym orfod arfer ymadrodd mor galed am neb: ond pwy, gwedi darllen yr haeriadau disail a maleis-ddrwg a wnaed yn erbyn ein Heglwys a'i Hesgobion yn y Cyhoeddiadau a enwyd, trwy ystod y flwyddyn ddiweddaf, a all ddywedyd ei fod yn rhy galed?

Yr ydym yn byw mewn amseroedd blinion—pan y mae teyrnasoedd cedyrn yn cael eu chwyldroi, a'r gorseddau hynaf yn crynu—pan y mae rhwymau pob cymdeithas yn bygwth ymddatod—pan y mae deiliad yn myned i edrych ar ei reolwr fel gormesdeyrn, a'r gwas yn ystyried pob meistr fel gorthrymydd—pan y mae anesmwythder yn drygu y gwerinos, ac anghytundeb yn niweidio y graddau uwch. Mewn cyfwng fel hyn, onid gwell a fyddai i bleidiau crefyddol, yn lle annelu pob arf yn erbyn dynion sydd am wasanaethu eu Duw a'u cenedl mor gydwybodol a llwythau, ymdrechu dwyn y rhai sydd o dan eu gofal i ysbryd cym[illegible]'r [illegible]ser, a'u cadw yn ddiderfysg "o dan bob dynol ordinhad," trwy gyfeirio eu golwg at "deyrnas ddisigl"—"dinas ag iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw?" Hyn yr ydym yn hyderu, o dan bob anfri ac erledigaeth, a fydd ymddygiad Gweinidogion ein Heglwys—hyn a fydd unig ymgais y Gwyliedydd tra y byddo hen wersig y Cyhoeddiad, "PERCHWCH BAWB—CERWCH Y BRAWDOLIAETH—OFNWCH DDUW—ANRHYDEDDWCH Y BRENIN"—yn unig reol y

Y CYHOEDDWYR.

PENTREF Y GWYLIEDYDD,
*Tach.* 26, 1831.

# Y GWYLIEDYDD.

## IONAWR, 1831.

### AR AMRYWIOL ENWAU DUW YN Y BIBL.

MR. GWYLIEDYDD—Ym mhlith yr afrifed Fiblau a gyhoeddir ym mhob iaith yn yr oes frwdfrydig hon, ni thynodd un fy sylwad yn fwy egnïol na'r Rhan gyntaf o Fibl Saesneg wythblyg, a gyhoeddwyd yn nechreu y flwyddyn hon (1830). Cyfieithiaf ei *ditl* fel y canlyn—

"*Y Bibl Cyssegr-lân, yn ol y* "*Cyfieithiad awdurdodig, oddieithr* "*y cyfleuad o'r Enwau gwreiddiol* "*Hebreaidd yn lle y geiriau Saes-* "*neg LORD a GOD*" (neu, yn Gymraeg, yn lle y geiriau ARGLWYDD a DUW.)

Rhaid i mi gyfaddef i fyw achreth fy nhreiddio ar y golwg cyntaf, gan ofni bod rhyw neidr yn llechu yn ngwraidd y meillion; ond cefais fy hybu yn ebrwydd drwy yr hyfrydwch o ganfod mai llafur un o ffyddlon weision Crist ydoedd; ac mai rhai o fwriadau penaf y Cyhoeddwr oedd—argyoeddi plant Abraham yn ol y cnawd, bod eu *Messiah* hwynt wedi ymddangos yn wir, yn hanfod Iesu o Nazareth;—ac hefyd gadarnhâu mabanod yn Nghrist, drwy ddangos yn dra eglur bod yr Enwau ysgrythyrol yn yr iaith wreiddiol, y rhai a gyfieithiwyd i ni y Cymry yn ARGLWYDD a DUW, yn llewyrchu goleuni ysblenydd ar swyddau a phriodoliaethau gwahanol y Tad—y Mab—a'r Yspryd Glân.

Oddiar y grediniaeth uchod, meddyliais na byddai cyfieithiad o rai o resymau y Cyhoeddwr ym mhlaid ei orchwyl, a'i eglurhâd o'r Enwau Dwyfol Hebreaidd, y'mha rai y rhyngodd bodd i'r Goruchaf wneyd ei Hun yn adnabyddus i'w greaduriaid o ddynolryw, yn annerbyniol gan ddarllenyddion uniaith y Gwyliedydd: a dyma hwynt at eu gwasanaeth. KESEPH yw yr enw a gymmerodd y Cyhoeddwr arno, cymmeraf finnau yr enw

MORGAN.

### RHAGLITH.

Y Dadguddiad y rhyngai bodd i JEHOVEH ei wneyd yn ei gylch ei hun, sydd trwy enwau darluniadol o'i anian a'i hanfod, a chyfaddasol i'r ddull y derbynia y meddwl dynol wybodaeth a chyfarwyddyd. Ai nid yw, gan hynny, yn beth o'r pwys mwyaf, bod, yn holl gyfieithiadau y Bibl, i'r Enwau Hebreaidd gael eu cadw, trwy ba rai y gwelodd JEHOFEH ALEHIM yn dda wneuthur ei Hun yn adnabyddus? Yn ysgrythyrau yr Hen Destament dynodir JEHOVEH ALEHIM, y *Rhai Sanctaidd*, trwy enwau gwahanryw, sef ALEH y TAD—AL y Mab—a RUACH yr Yspryd Glân, y rhai a arwyddant yr hyn a elwir genym ni Hanfodau *(persons)*—gan

y Groegiaid *Hypostases*, a chan yr hen Iuddewon *Sephiroth* yn JEHOVEH.

Yn y 4edd benod o Daniel—8, 9, a 17 *adn.* gelwir y RHAI SANCTAIDD yn benodol y SANCTAIDD ALEHIM: felly, a siarad yn gyson â'r iaith ysgrythyrol, nid yw SANCTAIDD a SANCTEIDDRWYDD yn gymhwysiadol ond at JEHOVEH yn unig; oblegid "JEHOVEH yn unig sydd sanctaidd." *Dad.* xv. 4.

Dyma yr achos ein bod yn cyfarfod mor fynych yn yr ysgrythyrau â'r cyfenw sydd mor gymhwys i'r anian Dduwfol, sef, y SANCT, y SANCTAIDD, cyfenw a roddir yn gystal i'r naill ag i'r llall—sef i ALEH yn *Esay* 43. 3.—i AL yn *Hos.* 11. 9.—ac i RUACH yn *Esay* 63. 10. y rhai hefyd a enwir yn wahanol ADON, ALEHIM, a JEHOVEH. Gresyn, gan hynny, weled yr Enwau Hebreaidd JEHOVEH—JEH—ADON—AL—ALEH—ALEHIM, ac ALUEH, yn cael eu cyfieithu, yn ddiwahaniaeth, drwy yr enwau ARGLWYDD a DUW, y rhai nid ydynt yn ddarluniadol o'r Hanfod Duwfol, nac yn wir arwyddocaol o'r Enwau.

* * * *

* * * *

Er bod ALEHIM yn enw lliosog, cysylltir ef weithiau â berf *(perwyddiad)* yn y rhif unigol, gan ei fod yn cael ei gymhwyso yn gyffredin at ALEH, AL, a RUACH; megys yn yr adnod gyntaf o Genesis—ALEHIM *bera* (Duw a greodd)—yr hwn (ALEHIM) a wyddom drwy dystiolaeth anffaeledig yw y GAIR digrëedig. *Ioan* 1. 1,—3. Gelwir y Mab hefyd yn ALEHIM yn 45 Psalm. Yr apostol at yr Hebreaid a ddeallai y geiriau yn y Psalm uchod yn fynegol am y Mab: "Dy orsedd di, O ALEHIM, sydd byth ac yn dragywydd; teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen dy frenhiniaeth di. Ceraist gyfiawnder, a chaseaist ddrygioni, am hynny y'th eneiniodd ALEHIM, sef dy ALEH di, âg olew llawenydd yn fwy na'th gyfeillion." *Ps.* 45. 5, 6. Llawer o ysgrythyrau eraill a ddynodant Hanfod y Tad drwy yr enw ALEH, a Duwdod Crist drwy yr enw ALEHIM. * * * *

Cyfaddefa y Cyfieithydd iddo ddilyn esamplau plant *Israel*, yn ei orgraff o'r enwau Duwfol, yn hytrach nag unrhyw ddychymygion dynol. Mor ofalus oeddynt hwy yn ngheidwadaeth yr ymadroddion Duwfol, fel ag y bu iddynt oesau yn ol—rifo nid yn unig y geiriau, ond hefyd y llythyrenau cynnwysedig ym mhob llyfr, i gadw eu ysgrifau yn ddilwgr rhag chwanegiad atynt na lleihâd o honynt. *Deut.* 4. 2. Y mae yr ysgrif o'r gyfraith, sydd ganddynt yn eu synagogau hyd y dydd heddyw, heb nodau *(points)* gan felly ateb i gynysgrif Moses, yr hyn ni wrthddadleuir; a'r Iuddewon a ddywedant bod ysgrifenu yr Hebraeg felly yn angheonrheidiol, cyn y bydd yn gyfatebol i gynllun Moses.

Arwyddocâd yr Enwau anhalogadwy a gyfleir yn yr Argraphiad (Saesneg) yn lle ARGLWYDD a DUW.

ADON, y sylfan—a gynneil unrhyw beth—llywydd—perchenog—ac Arglwydd y cwbl. Y mae yn arwyddocâu hefyd, nerth—gallu—anghyfnewidioldeb—parhad—mawredd, a phob priodoldeb hanfodol i'r Crëawdydd. Cymhwysir yr enw yn briodol i'r Tad—i'r Mab—ac i'r Yspryd Glân. Gwel *Dan.* 9. 9. *Ps.* 90. 1, 2. ac *Esay* 61. 1.

ADONIM, y rhif lliosog o ADON.

AL, un o'r enwau mwyaf anhawdd yn yr iaith Hebraeg yw hwn. Rhai a'i cyfieithant Y CADARN. *Parkhurst* a dybia ei fod yn arwyddocâu *Cyfryngydd,*

*Rhagflaenydd*, &c. Ond fe'i ceir yn fynych yn unedig â SHADDAI—KANNOA—JEHOVEH—ac ALEHIM: a dywedir yn hysbysol ei fod yn enw *Mab* ALEH. Gwel *Esay* 9. 6.

ALEH, un a dyngodd, neu a ymrwymodd trwy lw i gyflawni y cyfammod a wnaeth. Gwel *Deut*. 29. 12. Cyfarfyddir â'r enw gyntaf yn *Gen*. 9. 26; a dylid ei ddarllen fel hyn—" JEHOVEH fy ALEH, bendithia Shem," &c. Dywed JEH Crist (*Ioan* 6. 45.)—" Y mae yn ysgrifenedig yn y prophwydi—Pawb a fyddant wedi eu dysgu gan ALEH. Pob un, gan hynny, a glywodd gan y Tad, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod ataf fi." Os edrychir i lyfr y prophwydi lle y gwneir yr addewid, fe'i ceir yn *Esay* 54. 13. ac yn *adn*. 5. o'r un bennod, ceir tystiolaeth—" ALEH yr holl ddaear y gelwir Ef."

ALEHIM, rhif lliosog o ALEH, a gellir ei gyfieithu—Cyfammodwyr trwy lw. Cyfarchir pob un o'r RHAI SANCTAIDD yn fynych dan yr enw hwn. Ym mhlith llawer o ysgrythyrau, gwel 1 *Bren*. 18. 36. *Gen*. 35. 11. 2 *Cron*. 15. 1.

ALUEH, un a felldithiwyd, neu a fyddo yn ddarostyngedig i felldith: ac felly AL mab ALEH a ymddarostyngodd i'w *wneuthur drosom ni*. *Gal*. 3. 13. " Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom ni; canys y mae yn ysgrifenedig—Melldigedig yw pob un sydd yngbrôg ar bren." *Deut*. 21. 23. *Job* a ddywed ar yr un testun (19. 25,—27.). " Myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac y saif yn y diwedd ar y ddaear; ac er ar ol fy nghroen i bryfed ddifetha y corph hwn, etto caf weled ALUEH yn fy nghnawd (h. y. un a wnaed yn felldith drosof fi), yr hwn a gaf fi i'm fy hun ei weled, a'm llygaid a'i gwelant, ac nid arall (neu yn hytrach, nid un dieithr) er i'm harennau ddarfod ynof."

EHJEH, ni cheir yr Enw hwn ond yn *Ecsod*. 3. 14. lle y cyfieithir YDWYF YR HWN YDWYF. Ei ystyr yn ddiammeu ydyw—" Ydwyf yr Hwn sydd, a'r Hwn a fydd." Gellid ei gyfieithu yn un â'r adnod ganlynol fel hyn—" Ydwyf JEHOVEH—ALEH Abraham, ALEH Isaac, ac ALEH Jacob, wrth yr enw hwn a ddywed—fy mod i JEHOVEH, ac y byddaf yn ALEH iddynt yn dragywyddol."

JEH, a gyfarfyddir gyntaf yn *Ecsod*. 15. 2. " Fy nerth a'm cân yw JEH, ac y mae Efe yn iachawdwriaeth i mi." Cyfansoddir yr enw o ddwy llythyren, y gyntaf a'r olaf o'r enw JEHOVEH. Y mae yn un o enwau AL, y Mab. *Dad*. 1. 8.—22. 13. Ac efe a glodforir dan yr enw hwn pan fyddo ei holl elynion yn faingc i'w draed Ef—*Hallelu* JEH. *Dad*. 19. 1—3. Gwel *Ps*. 68. 18. " Dyrchefaist i'r uchelder, caethiwaist gaethiwed; derbyniaist roddion i ddynion; ie, i'r rhai cyndyn hefyd, ym mhlith pa rai y preswyliaist, JEH ALEHIM." Ac y mae esponiwr diffaeledig (*Ephes*. 4. 7, 8.) yn cyfeirio y geiriau yn bendant at Grist.

JEHOVEH, sydd enw anghyfranadwy, na roddwyd un amser i'r un creadur. *Lightfoot* ar *Esay* 42. 8. Yr oedd gan yr Iuddewon y fath barchedigaeth i'r enw hwn fel na arferent ef, ond ar yr achosion mwyaf pwysig. Dywed *Eusebius* y byddai yr Iuddewon yn ei amser ef yn ysgrifenu yr enw sanctaidd hwn mewn llythyrenau Samaritanaidd, fel na byddai i enau y dienwaededig ei halogi. Cytunir yn awr, na wybu neb, yn ol y dychweliad o gaethiwed Babilon, pa fodd i roddi cywir sain i'r enw. Rhif unigol yw, heb liosowgrif iddo, ac y mae yn enw ar bob un o'r RHAI SANCTAIDD, er ar-

ddangos eu hundod. Y mae y *Tad* yn JEHOVEH. Cymharer *Ps.* 110. 1. â *Mat.* 22. 44. "Dywedodd JEHOVEH wrth fy ADON—Eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn faingc i'th draed." Y mae y *Mab* yn JEHOVEH: "Wele y dyddiau yn dyfod, medd JEHOVEH, y cyfodaf i Ddafydd Flaguryn Cyfiawn, a Brenin a deyrnasa ac a lwydda, ac a wnâ farn a chyfiawnder ar y ddaear. * * * a hyn fydd ei enw, JEHOVEH ein Cyfiawnder." *Jer.* 23. 5, 6. Y mae yr Yspryd Glân yn JEHOVEH: "O! yr hon a elwir Tŷ Jacob, a fyrhawyd RUACH JEHOVEH?" *Micah* 2. 7.

IMMANU-AL, y mae genym dystiolaeth mai deongliad yr enw hwn yw AL (Theos) DUW gyda ni. Y mae yn hynod ddarluniadol o'r anian ddynol yn un â'r Dduwfol yn Hanfod *Crist.* Gwel *Esay* 7. 14. "Wele *Almah* (morwyn bur) a fydd feichiog, ac a esgor ar fab, ac a eilw ei enw ef IMMANU-AL:" a *Micah* 5. 2. "A thithau *Bethlehem* * * * o honot ti y daw allan un i fod yn llywydd yn *Ishral*, yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er FY NYDD TRAGYWYDDOLDEB."

KANNOA, y gair hwn a gyfieithir weithiau—*Eiddigus*, mewn manau eraill *Zel* (brwdfrydedd). Gwel *Ecsod.* 34. 14. "Oblegid JEHOVEH, KANNOA yw ei enw, sydd AL KANNOA." Gwel hefyd *Nahum.* 1. 2.

RUACH, yn ein cyfieithiadau ni, rhoddir am y gair hwn, weithiau *gwynt*, weithiau *anadl*, waith arall *yspryd;* ond yn *Gen.* 3. 8. *awel* (yn y Saesneg *cool*). Tybygid y deallid yr adnod hon yn well pe cyfieithid fel hyn—"Ac wedi, hwy a glywsant y LLAIS, JEHOVEH ALEHIM yn ymddiddan â RUACH yn yr ardd y dydd hwnnw: a'r dyn a'i wraig a ymguddiasant o olwg JEHOVEH ALEHIM ym mhren-canol yr ardd." Wrth gymharu *Gen.* yr ail a'r 3ydd *pen.* â *Dad.* 22. nyni a ganfyddwn bod *pren y bywyd* ynghanol yr ardd: ac i ba le y gwnai ein rhieni cyntaf ffoi ar ol eu cwymp truenus, ond at Bren y Bywyd? Ac etto, mewn trugaredd hwy a attaliwyd rhag bwyta o hono, *rhag iddynt*, fel y mynegir, *fyw yn dragywyddol*, yn gaethion i bechod, wedi ymddieithro oddiwrth ALEH, yn gas gan, ac yn casâu, eu gilydd.

Yr *Un Sanctaidd*, a elwir yn y Testament Newydd yn *Yspryd*, ac yn *Yspryd Glân*, a elwir yn yr Hen Destament RUACH. Megys y mae JEHOVEH, yr Hwn yn unig sydd *sanctaidd* (*Dad.* 15. 4.) yn Yspryd—felly y mae yr Yspryd Glân yn JEHOVEH, pe amgen, ni elwid Ef yn *sanctaidd.*

Y mae yr YSPRYD GLAN, yn gystal a'r *Tad* a'r *Mab*, yn meddiannu yr holl briodoliaethau perthynol i JEHOVEH. 1. *Hollwybodaeth:* "Pethau ALEHIM nid edwyn neb ond YSPRYD ALEHIM." 2. *Holl-bresenoldeb:* "I ba le y ffôaf oddiwrth dy YSPRYD?" 3. *Sancteiddrwydd:* "Na chymmer dy YSPRYD GLAN oddiwrthyf." 4. *Tragywyddoledd:* "Yr YSPRYD TRAGYWYDDOL."

Dynodir yr *Yspryd Sanctaidd* trwy yr enwau JEHOVEH—ALEHIM—ADON—y SANCTAIDD—y GORUCHAF—YSPRYD y BYWYD, y GWIRIONEDD, y GRAS, y MABWYSIAD, y DOETHINEB, y FFYDD, y GWYBODAETH, yr ADDEWID;—OFN yr ARGLWYDD—y SANCTEIDDYDD—y DIDDANYDD—yr Hwn a erys gyda phobl ALEH yn dragywyddol. Yn y Testament Newydd gelwir Ef yn *Yspryd Crist;* ac yn yr Hen Destament yn RUACH-AL.

SABAOTH, (neu yn hytrach *Tzabaoth*) *Byddin*, neu *luoedd*—Enw ydyw a unir yn fynych at JEHOVEH, pan fynegir yn fwy penodol ei *allu*, a'i *fawrhydi*. "Mil filoedd a'i gwasanaethent, a myrdd fyrddiwn a safent ger ei fron." *Dan*. 6. 10. "A'r nefoedd, O! JEHOVEH, a foliannant dy ryfeddodau, a'th wirionedd *ynghynnulleidfa y saint*. Canys pwy yn y nefoedd a gystedlir â JEHOVEH—pwy a gyffelybir i JEHOVEH ym mysg meibion y cedyrn? AL sydd ofnadwy iawn ynghynnulleidfa y saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd."

SHADDAI. Cyfieithir y gair hwn yn Lladin *Fulminator* (Taranydd) ond yn Gymraeg *Oll-allnog*. Rhai a dreiglant yr enw o wreiddyn yn arwyddo *dinystriad*. Job, dan deimlad o gasineb JEHOVEH at bechod, a lefodd (*pen*. 6. 3, 4.) "Fy ngofid sydd drymach na thywod y môr, o herwydd y mae saethau SHADDAI ynof, y rhai y mae eu gwenwyn yn yfed fy yspryd. Dychrynfäau ALUEH (h. y. un a felldithiwyd dros bechod) a ymfyddinasant i'm herbyn." Y waith gyntaf yr ymddengys yr enw hwn sydd yn *Gen*. 17. 1.

SHILOH. Unwaith y ceir yr enw hwn yn yr Hen Destament. Llawer o ddeongliadau a roddir i'r gair; megys, Mab—anfon—un anfonedig—cenad—i wneyd heddwch—i waredu—i ddioddef—y dioddefwr—y gorphenydd: ond addefir yn unfarn mai un o enwau y *Messiah* ydyw, yr Hwn "a gasglai ynghyd yn un blant ALEH y rhai a wasgarasid." Y mae peth dyryswch yngbyfieithiad yr adnod, yn yr hon y mae Jacob yn bendithio Judah. *Gen*. 49. 10. "*Hyd oni ddel* Shiloh:" nid yw hyn gytunol âg iaith y brophwydoliaeth, na'r cyflawniad o honi chwaith. Os ystyrir y geiriau yn yr iaith wreiddiol, mynegant yn eglur—"na ymadawai y deyrnwialen o Juda, na deddfwr oddirhwng ei draed ef *dros byth*, canys deuai SHILOH ac a gynnullai bobloedd ato." Yr Iuddewon a dystiasant ger bron Pilat—bod y deyrnwialen *wedi* ymadael o Juda, pan lefasant, "Nid oes i ni frenin ond Cæsar." Ond nid oedd y deyrnwialen i ymadael *dros byth*, canys daeth y SHILOH i gasglu ynghyd yn un, blant ALEH a wasgarasid. Teyrnwialen cyfiawnder yw teyrnwialen ei frenhiniaeth Ef: ei deyrnas Ef sydd deyrnas dragywyddol, a'i lywodraeth Ef sydd o genedlaeth i genedlaeth. A'r angel a ddywedai wrth Fair—"Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf; ac iddo Ef y rhydd JEHOVEH ALEH orseddfa ei Dad Dafydd. Ac Efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd, ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd."

Geiriau Hebreaidd, a gyfieithir yn ein Biblau ni, *Dyn*, *Gwr*, &c.

1. *Adam*—*Gen*. 1. 26. "*Gwnawn Adam* (ddyn) ar ein delw ni." Arwyddocâd yr enw yw *daear*; ac a gymhwysir yn gyffredin at ddyn yn ei gyflwr anianol.

2. *Ish*—*Gen*. 2. 23. "Hon a elwir *Isha*, oblegid o *Ish* y cymmerwyd hi." Arwydda yr enw *ddyn* mewn awdurdod, ac a gymhwysir gan mwyaf at un enwaededig. Yr oedd Noah yn *Ish* cyfiawn, Joseph yn *Ish* llwyddiannus, &c.

3. *Gibbor*—(rhif llios. *Gibborim*) gwr cadarn, penaeth, arglwydd, athraw, &c. *Gen*. 6. 4. "Pan ddaeth meibion ALEHIM at ferched ADAM, a phlanta iddynt, dyma y *Gibborim* a fu *Anashim* enwog gynt.

4. *Anash*—dyn llesg, gwael—un cenedlig—gweinidog. *Gen*. 18. 2. "A chododd Abraham ei lygaid, ac a welodd dri *Anashim* (gwyr llesg) yn sefyll * * * Ac efe a ddywedodd, Fy ADON" (Ar-

glwydd) &c. Tybygol mai dyma y waith gyntaf y cafodd Abraham oleufynag eglur o ymddarostyngiad a chnawdoliaeth Crist. Pa ddadguddiad rhyfeddol sydd yma o addfwynder a gostyngeiddrwydd *Immanu-al.* Ni arddangosir Ef yma drwy ei enw mynychaf GIBBOR (h. y.) Athraw, Penaeth, Arglwydd: ond trwy ymddarostyngiad anghyffelyb, Efe a ymddangosodd i dad y ffyddloniaid ar ddull ei gyflwr isel pan fyddai yn "wr gofidus a chynnefin â dolur"— "ynghyffelybiaeth cnawd pechadurus." (*Rhuf.* 8. 3.) Oddiar yr hyn a ganlyn ym mhellach yn y benod, y mae yn eglur i Abraham â llygad ffydd weled yn ei ofwywr "Ogoniant megys yr unig-anedig oddiwrth y Tad, llawn o Ras a Gwirionedd." "Oni wna Barnydd yr holl ddaear Farn?" "O na ddigied Fy ADON, &c.

---

## Y GWASTRAFFYDD GLODDESTGAR.*

"Ac yno efe a wasgarodd ei ddâ, gan fyw yn afradlon." *Luc* 15. 13.

Ni a welsom yn barod i'r mab afradlon hwn gymmeryd ei daith i wlad bell; canfyddwn yn awr pa fodd yr *ymddygodd* yno. Ni's gallwn ddysgwyl clywed hanes da am un a wnaeth ymddwyn mor ammharchus tu ag at ei dad. Blinodd ar ei dŷ a'i lywodraeth, ni oddefai un attaliad; ac yr oedd mor hunangar fel y mynai bob peth dan ei ofal ei hun; nid ymddiriedai yn ei dad i drefnu drosto; ond tybiai y gallai drefnu yn well drosto ei hun: gan hyny ceisiodd yn goegfalch ei ran. Boddhawyd ef yn y cwbl a ofynai: a'r dyn ieuangc, yn ddiatreg, a gyrchodd i fyned i wlad bell, fel na byddai mwy dan reolaeth ei dad.—Cyn gynted ag y gwna drosto ei hun, â yn waeth yn y fan; a gwaeth yw ei hanes bob dydd. Try y gwrthgiliwr yn wrthryfelwr, a gwaria 'r golud a roddes ei Dad iddo. Pellaf yr elom oddiwrth yr haul, dyfnaf y syrthiwn mewn tywyllwch. Pellaf yr êl pechaduriaid oddiwrth Dduw, helaethaf llywodraeth a gaiff pechod arnynt. Pan adawont Dduw, beth a ellir ddysgwyl oddi wrthynt ond cynnyddu fwyfwy yn eu gelyniaeth tu ag ato. "Gwasgarant ei ddâ, gan fyw yn afradlon."

Pa ddarlun cywir o lawer o'n *hieuengctid* yw hwn! Llawer, pan dyfont i fynu, ar gyffiniau cyflawn oed, sy'n blino ar dŷ eu tad, ac yn ceisio eu mwynhâd penaf oddi cartref. Y pryd hyn, pan lunier sail y fuchedd, amryw o honynt a dyfant yn hynod falch a hunanol, a thybiant lawer gwell am danynt eu hunain nag sy'n unol â'u cymmwysderau a'u cynneddfau da. Maent yn dueddol o edrych ar orchwylion gwasanaethgar islaw eu sylw; ac mor uchel eu bryd, fel y dirmygant aros yn hŵy dan ddisgyblaeth eu rhïeni, er cymmaint eu caredigrwydd a'u doethineb. Ac nid oes neb mor flin ganddynt eu cartref, ac mor anoddefol ganddynt eu llywodraethu, a rhai plant diras *rhïeni duwiol.* Mae gwarafunion crefydd iddynt yn anoddefol; a brysiant i ryddhâu eu hunain o'r rhwymau hyn, i fyned mor belled ag y gallont oddiwrth olwg eu rhïeni, fel y gwastraffont ac y gloddestont heb un attaliad. Hyn a alwant yn rhyddid, pan nad yw ond y caethiwed gwaelaf. Cyfnewidiant lywodraeth rhïeni call serchiadus am ormes-reolaeth nwydau pechadurus. Tra yn dilyn eu mwyniant llygredig, ymdrechant gredu, mai ewyllys a thuedd eu calon yw rheol dyledswydd, a'r ffordd i ddedwyddwch. Pan ddelont unwaith i'r pwll tro hwn,

---

* Parhâd o Rifyn Tachwedd, 1828, tu dalen 330.

ânt mor benfeddw, fel y collont bron bob amgyffred o'r gwahaniaeth sydd rhwng drwg a da; à byddant barod i unrhyw waith neu wasanaeth a chwennycho Satan iddynt gymmeryd mewn llaw.

Etto, tra yn dilyn y llwybr drwg afradlon hwn, gwag dybiant fod ganddynt *hawl gyfiawn* i dreftadaeth eu rhieni, a gofynant yn rhyfygus eu rhan, i'w gwario ar eu nwydau afreolus. A phan gaffont eu rhan, buan y treuliant hi, ac y denant i dlodi ac angen. Marchogant eu ceffyl mawr, a gyrant yn ynfyd; ond buan eu ceir yn ymdrybaeddu yn y llaid. Cyflymaf yr hèlant yn eu gyrfa ynfyd o wastraff, cyntaf eu gwelir yn llanw eu boliau â chibau moch. Ond, garw yw addef, mae Satan yn peri i'r merched feddwl, mai rhempwyr *(rakes)* wedi diwygio, a wnant y gwŷr goreu! Ond a allwn, ar un sylfaen resymol, ddisgwyl i'r rhai a adawsent bob egwyddor rinweddol, ac a feithrinient bob drwg nwydau, fod yn well na'r rhai a faethasent yn ofalus bob peth hawddgar a serchiadus yn yr anian ddynol? Twyll a chyfeiliorni a lanwant y byd: a'r rhai a dwyllir, a syrthiant yn ddifeth i drueni yn y diwedd. Yna, uwchlaw pob peth, cais y ddoethineb a ddaw oddi uchod; mwy eu gwerth yw na'r meini gwychaf. "Yr hwn a gaffo ddoethineb sydd yn caru ei enaid ei hun"—" ond ffyliaid a ddiystyrant ddoethineb ac addysg." *Diar.* 1. 7.

I. Mae pob pechadur, wedi ymadael â Duw, *yn hollol wastraffiyd, yn byw yn afradlon.*

Ni wnant ddim ond gwario arian eu Harglwydd. Mor gynted ag y derbyniont eu rhan, gwastraffant hi; treuliant hi yn fuan, a byddant wir dlawd, heb ddim ond euogrwydd am eu buchedd ddrwg. Mae pob pechadur allan o Grist yn gwario pob rhodd a dawn a dderbyn gan ei Grewr. Cymmerir ffyrdd gwahanol i wneud hyn, ond yr un peth a wneir. Mae 'r fuchedd yn amrywiol, ond yr un yw yr anian. Maent oll, yn eu ffyrdd eu hun, yn gwario yr hyn a roddodd Duw iddynt, ac yn esgeuluso trysori dim erbyn y byd nesaf.

1. Mae pawb *yn derbyn rhan o'u da* gan yr Arglwydd. Cyfranir rhai rhoddion a doniau i bob dyn: nid oes neb heb ryw deithi neu gynneddfau, heb ryw gyfleusderau i wneuthur daioni. Eglur yw, y derbyn rhai fwy nag ereill. Ymddwyn Duw yn hyn megys y Goruchaf, yn gwneuthur a fyno, "gan rannu i bob un o'r neilldu, megys y mae yn ewyllysio." 1 *Cor.* 12. 11. Rhydd i rai un ddawn, i ereill ddwy, ac i ereill bump. Gŵyr beth a wna, a gwna yr hyn sydd oreu; a dylem ni fod yn foddlon. Nid yw ein defnyddioldeb na'n dedwyddwch yn sefyll ar helaethrwydd y pethau a dderbyniom, ond ar y defnydd a wnelom o honynt; a gwna rhai fwy o ddaioni âg un ddawn, nag ereill â deg. Ein doniau yw cynneddfau yr enaid a'r corph—ein hamser a'n bywyd—ein trysorau daearol—ein manteision â'n cyfleusderau i wneuthur daioni —efengyl Crist—a holl foddion gras.

*Goruchwylwyr* Duw yw pawb. "Eiddo yr Arglwydd y ddaear, a'i chyflawnder." Ni rydd Duw fyth i fyny ei hawl i'w eiddo. Er yr ymddiried ei ddâ yn nwylaw dynion, etto ceidw ei hawl ynddynt. Pwy a all ddweud, mai eu heiddo yw eu cyrph a'u heneidiau, pan y traetha Duw hyn yn eglur—" Nid ydych yn eiddoch eich hunain; canys er gwerth y prynwyd chwi: gan hyny gogoneddwch Dduw yn eich cyrph, ac yn eich yspryd, y rhai sydd eiddo Duw." 1 *Cor.* 6, 19, 20. Derbyn dynion ddoniau, nid fel eu heiddo eu hunain, ond megys arian eu Harglwydd. Maent " yn oruchwylwyr am-

ryw ras Duw." Pan roddo iddynt ei ddoniau, dywed wrthynt—"'Marchnatêwch hyd oni ddelwyf,' byddwch ffyddlon, masnachwch â'm harian, defnyddiwch hwynt yn ol fy ngorchymyn, fel y rhoddoch gyfrif da yn nydd y cyfrif." Nid ydynt i wario ceiniog ar eu nwyddau, a mwyniant y cnawd; ond y cwbl yn ngwasanaeth ac er gogoniant eu Harglwydd. "Pa un bynag gan hyny ai bwyta ai yfed, ai beth bynag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw." 1 *Cor*. 10. 31. Ni ddylem "fyw i ni ein hunain, ond i'r hwn a fu farw trosom." Ni ddylem fyth anghofio, nad ydym yn eiddo ein hunain, ac na feddwn ddim a allwn alw yn eiddo i ni. Eiddo yr Arglwydd yw pob peth, a goruchwylwyr yn unig ydym ni: ac "yr ydys yn disgwyl ar oruchwylwyr gael un yn ffyddlon;" fel y gallont roddi i fynu eu cyfrif gyda llawenydd, ac nid mewn tristwch, yn nydd mawr Duw.

2. Ond nid yw pechaduriaid yn eu cyflwr anadnewyddol yn gwneuthur dim ond *gwastraffu* y dâ a roddir iddynt, a'u gwario ar eu chwantau. Er canfod hyn, sylwch ar gyflwr y byd, pa fodd y mae dynion yn byw, a pha ddefnydd a wnant o'u hamrywiol ddoniau. Camarferant alluoedd eu *cyrph*, a threuliant hwynt yn ngwaith pechod. Bwriadodd Duw y corph i fod yn llestr glân, cyssegredig i'w wasanaeth ef, yn llestr i anrhydedd, ac i fod yn deml i'w Yspryd. Ond pa amrywiol ffyrdd sydd gan ddynion i halogi a dinystrio eu cyrph? Ond os haloga neb deml Dduw (neu yr hyn a ddylai fod yn deml iddo) Duw a'i dyfetha ef. Afradlonant hefyd alluoedd yr *enaid* anfarwol. Rhoddwyd y rhai'n iddynt er dybenion da a goruchel—i wasanaethu ac anrhydeddu Duw, ac i amlygu ei foliant—i fwynhâu cymdeithas sanctaidd âg ef—i'w fawrygu am ei ras, a'i ogoneddu dros byth. Yn lle hyn oll, claddant eu heneidiau yn y ddaear, ac arferant eu galluoedd i bechu yn erbyn Duw mewn miloedd o wahanol ffyrdd.—Camarferant hefyd eu *trysorau daearol*. Addola llawer hwynt gan osod eu calonau arnynt, ac nid ar y rhoddwr; a dewisant hwynt yn hytrach o lawer na rhoddion gwerthfawr Crist. Gellir meddwl eu bod yn pentyru golud, ond ei wario y maent; a cherddant y ffordd a arwain i dlodi diddiwedd. Treulia ereill drachefn y cyfan ar eu hamrywiol chwantau; a thalant yn ddrud am bethau a ddistrywiant gorph ac enaid. Pa ddefnydd bynag a wneir o drysorau byd, gwastraff fydd y cwbl, onid yr hyn a dreulir yn ngwasanaeth ac er gogoniant Duw. Gofelwch, ynte, anrhydeddu Duw â'ch sylwedd. Rhoddwch y cwbl iddo, a chwi a gedwch y cwbl: a'r hyn a wrthodwch sydd wastraff a cholled.

*(I'w barhâu.)*

---

## DWYFOLDEB YR YSGRYTHYRAU,

*Yn cael ei brofi yn y Cyflawniad o rai o'r Prophwydoliaethau mewn perthynas i'r Iuddewon.*

Y MAE Cristionogaeth wedi ei hadeiladu ar yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Y Bibl ydyw unig sylfaen ein ffydd. Y mae ein golygiadau am Dduw, am danom ein hunain, ein dyledswydd, ein perygl, a'n hiechydwriaeth, ac am fywyd tragywyddol, wedi eu tynu o'r Hen Destament a'r Newydd. Am hyny y mae o'r pwys mwyaf ein bod yn gwybod yn sicr fod yr Ysgrythyrau yn ddwyfol, ac nad oedd yr ysgrifenwyr yn dwyllwyr, neu yn cael eu twyllo, ond "dynion sanctaidd Duw, a lefarasant," ac a ysgrifenasant, "megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân." A gellir profi eu bod felly, mewn dwy

ffordd: yn gyntaf, trwy y gwyrthiau a wnaethant i gadarnhâu eu tystiolaeth; yn ail, trwy gyflawniad y pethau a rag-ddywedasant am danynt. Yr oedd y gwyrthiau hyn yn cael eu gwneuthur trwy allu dwyfol, ac ni's gellir meddwl am fynyd y buasai y Duw Hollalluog yn rhoddi ei allu i gynnal twyll. Ond nyni a sylwn yma yn benaf ar *gyflawniad y prophwydoliaethau*, megys yn rhoddi y prawf mwyaf cadarn a diddadl fod y dynion sanctaidd a'u llefarasant wedi eu derbyn oddiwrth Dduw; ac, o ganlyniad, fod yr Ysgrythyrau yn wirionedd, a bod y grefydd a adeiladwyd arnynt yn wirioneddol, ac y gallwn roddi pwys ein gobaith am fywyd tragywyddol ar yr athrawiaethau a'r addewidion sydd yn y Bibl. Am hyny yr ydym yn dal—fod y Bibl yn cynnwys rhag-ddywediadau am lawer o amgylchiadau, yr hyn na allai un synwyr dynol eu rhagweled, a'u bod wedi eu cyflawni yn fanwl—a bod hyn yn rhoddi prawf diamheuol fod y Bibl yn air Duw.

Yr ydys yn gwybod yn dda fod y Bibl yn cynnwys llawer o brophwydoliaethau am bethau i ddyfod. Yn awr y mae yn sicr mai Duw yn unig a ŵyr pa bethau a ddigwydd ar ol hyn. Y mae hyn yn un o'i ragoriaethau; ac y mae yn hèrio eilunod y Paganiaid i ddangos y cyfryw rag-wybodaeth. Y mae efe yn dywedyd, "Mynegwch y pethau a ddaw, fel y gwypom mai duwiau ydych:" ond ni allant wneuthur hyn. Y mae'n wir bod offeiriadau y temlau Paganaidd yn cymmeryd arnynt wneuthur hyn; ond byddent yn aml wedi eu geirio yn y fath fodd fel ag y gellid rhoddi dau ystyr iddynt; neu, byddent yn dweud fel y boddhaent y gwŷr mawr, y rhai a fyddent yn gofyn ac yn talu am gael clywed pa beth a rag-ddywedent. Ond y mae tystiolaeth ddiamheuol fod Duw wedi datguddio ei feddwl ynghylch pethau i ddyfod i Adda, Enoch, Noah, Abraham, Moses, a rhes faith o brophwydi, hyd nes y daeth ein Hiachawdwr; ac yr ydym yn darllen am gyflawniad llawer o honynt; ac y mae rhai ereill yn cael eu cyflawni yn awr; ac yr ydym yn sicr y cyflawnir y cwbl yn eu hamser priodol.

Y mae yn ammhossibl mewn un traethawd bỳr sylwi ar *lawer* o honynt. Am hyny sylwaf ar rai o'r prophwydoliaethau a berthynant i'r Iuddewon—rhai o honynt a gyflawnwyd er's llawer o amser yn ol —ac ereill a gyflawnir bob dydd o flaen ein llygaid, fel ag y mae pob Inddew a gyfarfyddwn âg ef yn dywedyd—"Yr wyf fi yn dyst byw fod yr Ysgrythyrau yn wirionedd."

Nyni a gyfarwyddwn ein darllenwyr i *Deut.* xxviii. a *Lef.* xxvi. Oddiwrth yr Ysgrythyrau hyn a lefarwyd gan Moses, canfyddwn fod rhyfel-gyrchoedd, gwarchaeoedd, dyoddefaint, dinystr, gormesiad, gwasgariad, a chadwedigaeth yr Iuddewon, wedi eu rhag-ddywedyd gannoedd o flynyddoedd cyn iddynt gymmeryd lle; am hyny ni's gall neb ddywedyd, gyd â'r cysgod lleiaf o reswm, mai wedi i'r dygwyddiadau gymmeryd lle yr ysgrifenwyd y prophwydoliaethau: oblegid y mae y llyfrau ym mha rai yr ysgrifenwyd y prophwydoliaethau hyn, wedi bod yn nwylaw yr Iuddewon o'r amser hwnw hyd yn awr, ac ni's gall neb a'u darlleno hwy, reu eu cyflawniad, dybied mai twyll ydynt.

Nyni a ddechreuwn gyd â'r *rhyfelgyrchoedd* a wnaed ar eu gwlad, ac yn enwedig Jerusalem. Sicrhaodd Moses iddynt, ychydig cyn ei farwolaeth, os cadwent orchymynion yr Arglwydd, a'i addoli ef, y byddent yn dra llwyddiannus; ond, ar y llaw arall, os gadawent ef, ac yr addolent eilunod, y goddiweddai pob math o felldithion

hwynt—ac y gwnai plâ, newyn, a'r cleddyf eu dyfetha. Ac ym mysg llawer o felldithion ereill, y maent yn cael eu bwgwth â *rhyfelgyrch*, "Yr Arglwydd a ddwg i'th erbyn genedl o bell, sef o eithaf y ddaear, mor gyflym ag yr eheda yr eryr, cenedl yr hon ni ddealli ei hiaith; cenedl wyneb galed, yr hon ni dderbyn wyneb yr henafgwr, ac ni bydd raslawn i'r llange. A hi a warchae arnat ti yn dy holl byrth, hyd oni syrthio dy uchel a'th gedyrn gaerau." Cyflawnwyd hyn, oddeutu naw can mlynedd wedi hyny, gan y Caldeaid; ond fe'i cyflawnwyd yn fwy llwyr oddeutu deugain mlynedd ar ol esgyniad Crist. Y pryd hyny anfonwyd am Vespasian, ac Adrian, dau dywysog mawr ym mhlith y Rhufeiniaid, o Brydain, yr hon a elwid y pryd hyny yn "eithaf y ddaear;" ac, yn wir, yr ydoedd buddugoliaethau y Rhufeiniaid yn gyflym, fel yr "eheda yr eryr," (ac y mae hefyd yn beth nodedig mai yr *eryr* ydoedd arwydd y Rhufeiniaid): yr oeddynt yn genedl wyneb-galed, a'u hiaith ydoedd anadnabyddus i'r Iuddewon; ac yr oedd eu hymddygiad y pryd hyny yn dra chreulon, ac yn annhebyg i'w harferiad cyffredinol. Dywed Josephus, yr hanesydd Iuddewig, pan ddaeth Vespasian i mewn i *Gadara*, iddo ladd pawb, heb ddangos trugaredd i neb; ac hefyd, yn *Gamala*, na ddarfu gymmaint a gwared y plant ieuengaf, ond taflodd bawb i lawr o ben y tŵr.

Pan warchaewyd ar Jerusalem, gan y Rhufeiniaid, o dan Titus mab Vespasian, gorchymynwyd i'r milwyr, ar ol llawer o ruthriadau, wneuthur gwarch-glawdd o'i hamgylch, i gadw y bobl i mewn o bob tu. Felly y rhag-ddywedodd ein Hiachawdwr ychydig cyn ei farwolaeth; a chyflawnwyd hyn gyd â'r manylrwydd mwyaf; oblegid, trwy ddiwydrwydd y milwyr, gwnaethpwyd y gwarch-glawdd, yr hwn oedd waith misoedd, mewn tri diwrnod, er ei fod yn bum milltir o hŷd, ac wedi ei gadarnhâu â thri ar ddeg o dyrau; felly torwyd ymaith bob gobaith am ddiangfa.

Oblegid hyn daeth *newyn* mawr, yr hwn oedd yn dost tu hwnt i ddesgrifiad. Rhag-ddywedodd Moses, (*Lef.* 26. 29.) y bwytâent "gnawd eu meibion, a chnawd eu merched;" ac yn *Deut.* 28. 56. "Y wraig dyner a'r foethus yn dy fysg, yr hon ni phrofodd osod gwadn ei throed ar y ddaear—hi a fwyty ei phlant yn ddirgel, pan ballo dim arall yn y gwarchae." Yn awr cyflawnwyd hyn yn fanwl ym mhen 1500 mlynedd ar ol amser Moses; ac yr ydym yn darllen yn Josephus hanes neillduol am foneddiges yn lladd ac yn bwyta ei phlentyn sugno: yr oeddynt wedi lladrata ei bwyd, a'r hyn oll oedd ganddi—lladdodd ei baban, a berwodd ran o hono; a chafwyd y rhan arall y dydd canlynol, gan y rhai oedd yn chwilio am fwyd. Dywed Josephus hefyd, "fod holl serch y meddwl wedi cael ei orchfygu gan y newyn. Gwragedd a ddygasant y bwyd oddiar y gwyr, meibion oddiar eu tadau, a'r olygfa druenusaf o'r cwbl ydoedd gweled gwragedd yn cymmeryd y bwyd o enau eu plant, ac nid oedd arnynt gywilydd i ddwyn oddi arnynt y diferynau hyny o laeth a ddarparwyd er eu maethu. Iawn y gallai ein Hiachawdwr, trwy rag-weled y pethau ofnadwy hyn, ddywedyd wrth y gwragedd oedd yn wylo wrth weled ei ddyoddefiadau ef, "Ferched Jerusalem, na wylwch o'm plegid i; eithr wylwch o'ch plegid eich hunain, a'ch plant; canys y mae y dyddiau yn dyfod, yn y rhai y dywedant, Gwyn eu byd y rhai ammhlantadwy, a'r crothau ni eppiliasant, a'r bronau ni roisant sugn."

(*I'w orphen yn y nesaf.*)

## TRAETHAWD BYR AR GNAWDOLIAETH CRIST.

Yr amser presennol a'n geilw i ystyried gyda diolchgarwch ddarostyngiad rhyfeddol yr ail Berson yn y byth fendigedig Drindod yn cymmeryd y natur ddynol i undeb â'i Ddwyfol hanfod. Y mae yn debygol bod ei ymddangosiad yn y cnawd yn radd is yn ei ymostyngiad na'i farwolaeth ar y groes; gan ei bod yn llawer mwy rhyfeddol i Dduw ddyfod yn ddyn, nag i ddyn gael ei groeshoelio a marw. O holl ddirgelwch duwioldeb a ddatguddiwyd i ni yn y dwyfol wirionedd, un o'r mwyaf yn ddiddadl ydyw i Dduw ymddangos yn y cnawd—i Dad tragywyddoldeb ddyfod yn faban llai na diwrnod oed—i'r Gair ei hun ddyfod heb fedru llefaru. Mynych y mae dynion, am na's gallant dreiddio i ddyfnderoedd y dirgelwch annirnadwy hwn, yn methu canfod yr angenrheidrwydd anhepgorol i Dduw ddanfon ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf, er prynedigaeth a mabwysiad y pechadur; ond wrth y cyfryw y dywed yr Arglwydd, "Nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i.—Canys fel y mae 'r nefoedd yn uwch na'r ddaear, felly uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, a'm meddyliau i na'ch meddyliau chwi." Am mai "cyfiawn yw yr Arglwydd yn ei holl ffyrdd, a sanctaidd yn ei holl weithredoedd," ni allasai gymmodi â phechadur heb i'r ddeddf sanctaidd, gyfiawn, a da, gael ei hanrhydeddu, a chyfiawnder dwyfol gael iawn, ac i'r diben o wneuthur hyny rhaid oedd i'r ddwy natur gyfarfod yn yr un Person; oblegid oni buasai y Person hwn yn ddyn ni allasai ddioddef a marw, ac oni buasai yn Dduw yn gystal ag yn ddyn ni fuasai ei ddioddefiadau a'i farwolaeth o werth a haeddiant digonol i ddiecnegi yr euog, i gyfiawnhau yr anghyfiawn, i sancteiddio yr halogedig, a'u gwneuthur yn gymhwys i gael rhan o'r etifeddiaeth yn y goleuni. Ond gan fod y Person gogoneddus a aeth i ddeddfle pechadur yn berffaith Dduw a pherffaith ddyn, yr oedd yr aberth a daledd o anfeidrol werth; a chymhwysiad o hono gan yr Yspryd Glan sydd ddigon rhinweddol i roddi bywyd i feirw, llygaid i ddeillion, clustiau i fyddariaid, tafodau i fudion, traed i gloffion, ac iechyd ysprydol i gleifion o bob math. Y cyfryw, yn ol rhagddywediadau 'r prophwydi, ydyw yr effeithiau dafonus a grasol o ymddangosiad Crist yn y cnawd. Mawr achos, gan hyny, a fu, sydd, ac a fydd gan hil syrthiedig Addu i ogoneddu Duw y'nghân y llu nefol hyny a ymddangosodd ar enedigaeth Crist i'r bugeiliaid yn Methlehem, gan ddywedyd, "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Holl briodoliaethau y JEHOFAH ydynt yn awr mewn bri a gogoniant wrth ddwyn heddwch, tangnefedd, ac ewyllys da i ddynion. Gan i Grist, y "Gwirionedd," gymmeryd y dyndod (yr hwn sydd o'r ddaear) at Dduw, cyfiawnder a edrych i lawr yn heddychol o'r nef ar bob pechadur edifeiriol—"Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant; cyfiawnder a heddwch a ymgusanesant. Gwirionedd a dardda o'r ddaear; a chyfiawnder a edrych i lawr o'r nefoedd." Gan fod Duw yn anfeidrol yn ei holl berffeithiau, yn ei gyfiawnder yn gystal ag yn ei drugaredd, "yn rhoddi barn wrth linyn, a chyfiawnder wrth bwys," a chan na allasai un briodoledd gael ei gogoneddu er dianrhydedd i un arall, gwelodd Dwyfol Ddoethineb yn dda drefnu ffordd yn unol â'i berffeithiau pur a sanctaidd, i gymmodi â throseddwyr ei gyfreithiau gwir, ei ddeddf-

au a'i orchymynion daionus; sef, trwy roddi cymhorth trueiniaid ar un cadarn, a derchafu un etholedig o'r bobl—trwy i fachgen a'i enw yn Rhyfeddol gael ei eni—trwy i fab, a hwnw yn Dduw cadarn, gael ei roddi—trwy i forwyn esgor ar fab a elwid Immanuel (Duw gyda ni) —trwy i'r hwn sydd yn cynnal pob peth trwy air ei nerth gael ei ymddwyn a'i gynnal gan un o'i greadwriaid—trwy iddo ddyfod yn ŵr gofidus, a chynefin â dolur, a'i demtio ym mhob peth yr un ffunud a ninnau, ond etto heb bechod. O! ynte, ddyfnder golud, doethineb a gwybodaeth Duw, yn trefnu ffordd, a'i briodoliaethau oll mewn bri a gogoniant, i adferyd dyn syrthiedig ar ei ddelw sanctaidd ei hun, mewn cyfiawnder, gwybodaeth, a gwir sancteiddrwydd, yr hon a gollwyd yn yr Adda cyntaf, ond a geir yn Adda yr ail.

G. I.

---

## TRANC Y FLWYDDYN 1830.

Neithiwr pan oedd "llwyd gyfliychwyr wedi tuddo yn ei liw cynefin bob rhyw beth," caeais fy llygaid; a pha un ai yn nghwsg ai yn effro, ai ynte rhwng y ddau yr oeddwn, nis gwn yn iawn, ond dychymygais weled a chlywed fal y canlyn. Yr oedd hynaf wraig yn gorwedd ar wely o ddail crinion—ei gwallt oedd wyn gan y barug—ei llais oedd grug a garw—ei llun oedd agos mor grin a'r dail y gorweddai arnynt, a'i hunig gwrlid oedd mantell o eira un-nos. Deallid wrth ddistawrwydd ei chalon, a byrdra ei hanadl, fod ei hawr olaf yn agosâu.

Gwyddwn, heb ofyn i neb, mai y Flwyddyn 1830 oedd yr hen wraig a welwn; a chan fod pawb o fy narllenwyr yn ei chofio yn feinir hoyw, a'i grudd yn goch a'i throed yn ysgafn, hwyrach na bydd yn ddrwg ganddynt glywed rhai o'i hymadroddion diweddaf. Yr oedd ei merch *Rhagfyr*, yr olaf o'i deuddeg plentyn, yn parhau i gynnal pen ei mam yn ei llesgedd; ond nid ydyw hithau debyg i fyw yn hir. Tybia y meddygon gorau y bydd y fam a'r ferch farw ar unwaith. Dyma rai o'r ymadroddion a gesglais oddiar dafod bloesg yr hynaf wraig:—"Merch ydwyf fi," ebe hi, "i *Amser*, a myfi ydyw y ddiweddaf o'i eppil liosog. Bu i fy nhad bum mil, wyth gant, a deg ar hugain o honom, ond ni bu ganddo erioed ychwaneg nag un ar unwaith; y mae yn rhaid i un o'i blant farw yn wastad cyn i un arall gael ei eni. Meddylia rhai fod yr hen wr ei hun yn dechreu adfeilio bellach, ac y bydd iddo, gwedi genedigaeth ychydig gannoedd o honom yn ychwaneg, weled ei deulu yn gyflawn, a marw ei hunan."

Yna galwodd yr Hen Flwyddyn am ei llyfr cyfrif, ac edrychodd dros ei ddalenau gyda llygad llawn. Ymddengys ei bod wedi cadw cyfrif manwl o'r holl fynydau, oriau, dyddiau, a misoedd, a roddasai allan; ac hefyd wedi cofnodi yma a thraw pa fodd y treuliasid hwynt. Rhy faith fyddai ysgrifenu yma y cwbl a ddywedodd yr hen wraig ar y pen hwn; gofyned pob darllenydd i'w gydwybod ei hun, pa achwyniadau allasai hi ddwyn i'w erbyn ef. Ond rhaid sylwi ar un amgylchiad. Wrth edrych ar un tu dalen o'i llyfr, gwelwn y dagrau yn llifo dros ei gruddiau llwydion. Ni allwn lai na gofyn yr achos. "Yma," ebe hi, "y mae cofrestr o ddeg Sabbath a deugain fy mywyd: y rhai hyn oeddynt fy rhoddion penaf, ac etto, y rhai hyn a ddirmygwyd ac a wastraffwyd fwyaf gan blant dynion. Nid oedd genyf ond deuddeg a deugain o honynt i'w rhoddi. O! leied o sylw sobr a defnyddiol a dalwyd iddynt. Yn fy mabandod, yr wyf yn cofio clywed myrddiynau yn addaw yn

uchel y cyssegrent bob dydd i wasanaeth y nef, os caent eu harbed i fyw yn fy nghwmni hyd ddiwedd fy ystod. Eiriolodd Un ar eu rhan 'gad y flwyddyn hon etto,' a llwyddodd. Wrth eu cyfarch bob boreu, fy nyledswydd oedd gofyn iddynt, dros fy Nghreawdwr, 'Pa le y mae yr adduned? yr ydych chwi a minneu heddyw yn nes i farw nag erioed; nid oes nac edifeirwch na maddeuant yn y bedd: pa le y mae yr adduned?' Fel hyn y byddwn yn gofyn; ond gwawd a chrechwen a gefais yn dal am fy nghofal gan lawer iawn. Y mae eu hadduned heb gael ei thalu etto; ac y mae yn debyg y bydd raid i mi eu gadael yn ddyfnach mewn bai, ac yn galetach mewn ysbryd nag erioed. Ond yr wyf yn teimlo mwy o dosturi nag o ddigter tu ag at y trueiniaid hyn: y maent yn elynion llawer mwy creulon iddynt eu hunain nag ydynt i mi. Arferasant lawer dull i fy anmharchu, ond iddynt hwy y mae y dirmyg. Cyflogasant fintai o garn-ladron i fy ysbeilio, ond iddynt hwy eu hunain y gwnaethant y golled. Y gwaethaf yn y fintai oedd un a alwent Mr. *Oedi*: hen elyn a wnaeth lawer o gam i fy nhad a'i holl hiliogaeth. Yr oedd gan hwn dri o gyfeillion o'r un reddf a dyben drwg ag yntef: *Cwsg*, *Diogi*, a *Phleser*. Ni wyr neb pa faint a oddefais oddiwrth y dyhirod hyn. Ond y mae diwrnod wedi ei ordeinio, pan y gelwir holl drigolion y byd i roddi cyfrif am y modd yr ymddygasant tu ag ataf: dielir am fy anmharch ar bawb a fernir yn euog.

"Am danaf fi, rhaid i bawb gyfaddef i mi wneuthur fy nyledswydd tu ag at elynion a chyfeillion. Cynnorthwywyd fy ymdrechiadau gan fy neuddeg plentyn, bob un yn ei dro. Yr oedd eu gwedd a'u tymherau, yn wir, yn amrywiol, ond daioni a darddodd yn y diwedd oddiwrthynt oll. Gwedd led arw a wisgodd fy nghyntafanedigion; etto, ni wnaeth eu teimlad oer, a'u hanadl lem, ond teneuo eppil pryfaid niweidiol, a phuro yr awyr oddiwrth ddefnyddiau afiechyd ac anghysur. Ond meiriolwyd llyffetheiriau y ddaear gan anadl olaf *Chwefror*; a chyn hir daeth fy mhlant yn Alban Eilir i hulio y berllan lom â dail ac â blagur; ac i ddwyn eu hawrhegion o flodau cynnar a pheraroglaidd. Bachgen brochus anfoneddigaidd oedd *Mawrth*; ond o dan ei holl ymddygiad ystormus yr oedd yn cuddio calon dda. Daeth *Mai* a *Mehefin* yn olynol yn mlaen, gwedi eu coroni â'r haul, â rhôs yn eu dwylaw. Hoffder y naill fel y llall oedd dawnsio ar y twmpath glas, gerllaw y llyn mynyddig, i chwibaniad lleddf yr awel foreu. Geneth lariaidd, dynergalon, oedd *Gorphenaf*: wylodd lawer o herwydd claddu ei chwaer *Mehefin*. Gwelodd Brydain yn wylo hefyd am i angeu ddringo i mewn i'w phalasau—taro ei bicell yn nghalon ei Brenin tirion, a throi gorsedd a gwisg freninol yn arch ac yn amdo. Gwelodd Ddyngarwch yn wylo uwch ben Ffrainc wrth weled heolydd ei phrif ddinas yn gochion gan waed ei phlant: ofer oedd sibrwd fod y Chwyldroad yn angenrheidiol; ni wnai hyny ond peri i Ddyngarwch wylo mwy. Gwyddai mai dechreuad gofidiau oedd hyn oll; a phwy a wyr yn mha le y diwedda? Gwelodd fy mhlant diweddarach fwy o wrthryfel a chelanedd yn yr Iseldiroedd, a gwlad y Pwyl. Gwelsant hefyd heddwch yn cael ei adferu i Ffrainc; a gwelsant orsedd Prydain yn cael ei llenwi gan ei gwir etifedd—y mwyaf gwladgarol a thirion yn mhlith breninoedd. Bu *Medi* farw yn nghanol pelydr yr haul; ac yn yr hwyr y cenais ei farwnad, clywais glogwyni Cymru yn diaspedain

gan y "Fedel fawr." Hir, hir y cofir am fy mab *Hydref:* yn ei oes ef y dygodd trigolion Deheudir Lloegr warth eu rhandir—brithasant dywyllwch eu nosweithiau trwy wneuthur coelcerthi o dai ac ydlanau eu cymydogion. Nid oes prin un ardal lle y gallaf gael llonyddwch i dynu fy anadl olaf heblaw Cymru. O! pe medrai fy hen aelodau fy nghludo i gopa yr Eryri, i weled yr haul yn machludo arnaf y tro diweddaf, tebygwn y byddwn farw wrth fy modd."

Daeth rhyw grynfa dros yr hen wraig y pryd hyn: gwnaeth ei merch *Rhagfyr* gymmaint ag a allai erddi; nid oedd ei gallu ond byr—nid oedd ei llaw ond oer. Gwedi adfywio ychydig aeth yr Hen Flwyddyn yn mlaen mewn llais dwysach:—" Nid oes achos i neb gymmeryd yn chwith fod un a gafodd driniaeth mor annheilwng a mi, yn gorfod sôn peth am dano; ond os oes neb, wrth glywed fy ngalarnad, yn teimlo edifeirwch am ymddwyn tu ag ataf mor anmhirion, dymunwn ddywedyd, fod ganddynt hamdden etto i ddangos eu parch i mi am yr ychydig ddyddiau sydd yn aros i mi yn ol. Bydded iddynt dystio gwirionedd eu hedifeirwch trwy ddangos eu cariad at *Ragfyr*, fy mhlentyn unig ac olaf. Er ei bod bellach wedi cyrhaedd haner ei dyddiau, y mae ganddi lawer o drysorau anmhrisiadwy etto i'w cyfranu. Y mae ganddi ddau Sabbath gwerthfawr, a Gwyl arbenig, yn llawn o freintiau goruchel: byddai yn gysur i fy mynydau olaf pe gwyddwn fod y rhai hyny gwedi cael eu defnyddio a'u gwerthfawrogi yn well na'r rhai a aethant heibio. Gwedi i mi farw, y mae yn debyg y bydd llawer yn gofidio na buasai eu hymddygiad tu ag ataf yn well: iddynt hwy dymunwn adael hyn fel fy ngorchymyn diweddaf, i beidio treulio eu hamser mewn tristwch diles. Ni wna eu holl edifeirwch a'u dymuniadau byth fy ngalw i drachefn i fywyd. Ni ddychwelaf byth, byth mwy. Pe wylent eu henaid yn ddagrau heilltion, ni allant byth alw un awr, un mynyd, un fraint, un cyfleusdra, a roddais iddynt i'w meddiant yn ol. Y maent oll yn nhragywyddoldeb; a byddaf finnau yno yn mhen ychydig ddiwrnodau, ac yno yr arosaf i ddwyn tystiolaeth yn erbyn y rhai a ddiystyrasant fy llais, ac a ddibrisiasant fy anrhegion. Etto na ddigaloned fy nirmygwyr penaf: cant faddeuant llawn os ymddygant yn deilwng tu ag at fy chwaer ieuanc sydd i ymddangos yn eu plith cyn bo hir. Y mae yn anmhosibl i mi gael ei gweled; bydd raid i mi drengu cyn y gall hi ennill hanfodiad. Gobeithiaf y caiff hi dderbyniad croesawgar; gobeithiaf y caiff ei rhoddion eu defnyddio yn well nag y defnyddiwyd fy rhoddion i; ac yn lle addunedau teg, ac addewidion twyllodrus, y caiff hi weled cyflawniadau difefl, ac ymdrechiadau effro a diysgog yn yr hyn sydd dda."

Gwedi dywedyd hyn, syrthiodd yr Hen Flwyddyn yn ol ar ei gorweddle: agorais innau fy llygaid, ac ysgrifenais yr hyn a aethai drwy fy mryd. Yn awr goddefed darllenwyr y Gwyliedydd i mi alw arnynt, fel Cymry, ac fel Cristionogion, i dalu eu diolch i'r Goruchaf am drugareddau y flwyddyn sydd yn myned heibio; i edifarhau am eu cam arfer; ac, mewn ymorphwysiad ar nerth Ysbryd y Gras, i ymroddi byw drwy weddill eu hoes fel y gweddai i rai sydd i breswylio tragywyddoldeb.

ALUN.

*Rhagfyr* 17, 1830.

LLYTHYR

*A anfonodd Cymro genedigol yn Pensylfania, oddeutu 1723, at Gâr iddo yn agos i'r Bala, yn Meirionydd.*

MR. GWYLIEDYDD—Cefais y llythyr canlynol mewn ysgrif-lyfr o waith y diweddar barchus fardd Rowland Hugh o'r Graienyn, gerllaw y Bala. Clywais hefyd ei fod wedi cael ei argraffu yn y flwyddyn 1806 mewn Cyhoeddiad a elwid "Y GREAL," a ddechreuwyd yr amser hwnw yn Llundain, tan olygiad Cymdeithasau y Gwyneddigion a'r Cymreigyddion; ond gan fod y llyfr rhagorol a difyrus hwnw mor dra anadnabyddus yn y wlad, fel nad oes un o fil yn gwybod dim am dano, ni phetrusais ei anfon i'w ail-gyhoeddi yn y Gwyliedydd, os byddwch cystal a rhoddi lle iddo.

Ydwyf, &c.

BRYN YR HYDD, GOWER.
*Rhagfyr 15fed*, 1830.

*Fy nghâr Hugh Jones,*

Derbyniais lythyr oddi wrthyt, a ysgrifenasid yr 8fed o Fai diweddaf (1705); a bu wych genyf fod un o'm ceraint, yn yr hen wlad y clywais gymmaint o son am dani, yn cofio am danaf fi. Mi glywais fy nhad yn son am lawer o hen Gymry: ond fe a'm ganwyd i yn y wlad goediog yma—y wlad newydd hon.

Mi a'i clywais yn son am blwyf Llanycil, plwyf Llanuwchllyn, plwyf Llanfor, a Llangwm, y Bala, Llangower, a Llyn Tegid, Arenig Fawr, y Fron Dderw, y Brynllysg, a Phenbryn, a'r Cyffdy, Glanllafar, y Fron Goch, a Llaethgwm, Hafodfadog, Cwm Tir y Mynach, Cwm Glan Lleidiog, Trawsfynydd, y Tai Hirion yn Mignaint, a llawer ereill. Fe allai nad ydyw ond chwedl cymmysglyd genyt ti enwi yr holl fanau yma; etto y mae yn hoff gan i feddwl am danynt, er na wn pa fath leoedd ydynt; ac y mae arnaf hiraeth am eu gweled, wrth gofio am fy nhad, a glywais yn chwedleua am hen bobl ddiniweid a'r sydd y rhan fwyaf gwedi marw yn y manau hyny; a llawer mwy nag a fedraf fi yn awr gofio, yn ddifyr wrth y tân amryw nosweithiau gauaf, nes y byddai lawer o'r nos; ac wedi myned i'w gwelyau, ni fedrent weithiau lai na galw y naill ar y llall, i son am ryw ddyn, neu fryn, neu dŷ, neu ryw greigiau. Mae yn anhawdd i mi ddangos i ti mor ddifyr gan yr hen bobl ddiniweid son am y pethau hyny; sef eu hen drigfanau, mamau, brodyr, a chwiorydd—ac heb obaith gweled eu gwynebau mwy; ac wedi dyfod er ys 24 blynedd oddi yno i wlad boll a dieithr. Na fydded ddifas genyt fy mod fel hyn; o herwydd yn wir ni fedraf ymattal pan gofiwyf yr hen bobl ddiniweid hyny.

Ac weithian, fy nghar, mi roddaf i ti hanes a helynt fy nhad, a'i fywioliaeth, o'r amser y dychwelodd o Gymru hyd ddydd ei farwolaeth ef. Tair wythnos i'r amser cyntaf y clywodd son am Bensylfania, Ffair Wyl Bedr yn y Bala, y cymmerodd ei genad â'i gymmydogion a'i geraint, y rhai oeddynt yn cymmeryd sylw o'i waith yn myned i'w gychwyn tua Llundain. Fe fu dri mis yn aros am long; ac wedi cychwyn yn y llong gyntaf, fe aeth allan o Loegr ar enw William Penn. Hwy fuont ar y môr mewn tywydd blin yn ymboeni lawer o wythnosau; ac wedi dyfod i olwg y tir, ac amryw weithiau yn agos i olwg yr afon yma (Delaware) etto, gan wyntoedd a chynhwrf terfysglyd y dyfroedd, fe ddrylliwyd yr hwyliau, a thorodd y llyw; fe'u llwyr ddigalonwyd, fel y bu gorfod arnynt ddychwelyd i Barbadoes; a bod yno dair wythnos, yn bobl ddala, etto yn gwario llawer yn cyweirio y llong i fyned i daith eilwaith; ac yn hwylus hwy a ddaethant i'r afon ar yr 16eg o Ebrill, a deg wythnos

ar hugain wedi iddynt fyned allan o Lundain. Yn y daith hir yma fe ddysgodd chwedleua a darllen Saesoneg yn o dda. Yno y daethant i fynu i'r afon chwech ugain milltir, lle mae Philiadelphia yn awr; nid oedd yno y pryd hyny, fel y dywed y Cymry, na thŷ nac ymogor, ond y coed gwyllt; nac undyn i'w croesawu i'r tir. Golwg go chwithig i ddynion wedi bod cyhyd ar fôr, a rhai o honynt wedi gwario yr ychydig oedd ganddynt. Nid oedd yma i sefyll yn llonydd: rhaid oedd myned i ryw le. Fe gododd fy nhad yn wysg ei ben wrtho ei hunan, ar a fedrai ddeall neu gofio, i edrych beth a welai. Hiraeth oedd arno am laeth. Fe gyfarfu ar ryw lwybr hen wr o ddyn meddw, na fedrai na Chymraeg na Saesoneg, a gymmerodd sylw o ddyn dieithr, ac a'i cymmerodd ef adref gyd âg ef i'w dŷ, lle yr oedd ganddo wraig ac amryw feibion yn deulu o bobl wynion a lletteugar: Swedwys oeddynt. Yma gwnaeth ei gartref hyd onid oedd ganddo dŷ ei hun.

Fel y cai glywed, yn yr haf hwnw (1682) y daeth yma ein llywodraethwr William Penn, Yswain, gyda llawer o wyr o Loegr, a brynasai diroedd yma o Loegr. Yna dechreuasant ranu y wlad yn dyddynod, a gosod allan dref Philadelphia, yn fwy na dwy filltir o hŷd, yn heolydd, ac yn *lotiau*, ac yn rhandiroedd. Prynodd hefyd lywodraeth y wlad gan yr Indiaid, dynion gwylltion oedd yn byw yma erioed, ar a wyddom ni. Nid oes ganddynt mo'u hanes, o ba le, na pha bryd y daethant. Dynion afresymol, ar a fedraf feddwl; ond mae ganddynt fath o reswm a chynneddfau hynod yn eu ffordd; y maent yn eu cadw yn fanwl ac yn fwy difeius na nyni yn awr. Yr oedd yma wlad a thref heb dai ond ambell gaban.

Yn yr Hydref hwn y daeth amryw o Gymru: Edward ab Rhys, Edward Jones o'r Bala, William ab Edward, ac amryw ereill. Erbyn hyn yr oedd yma gymmydogaeth; er nad oedd fawr i neb i'w wneuthur dros eu gilydd. Yr oeddynt yn gwneuthur bythod hyd y coed weithiau, dan ochr rhyw graig, neu geulan, yn nglan rhyw nant: pawb wrth ei *ffansi* yn llechu. Nid oedd na gwartheg, na cheffylau, i'w cael am arian; "Os cawn fara, ni a yfwn ddwfr, ac a ymlyfwn," meddynt hwy; etto ni bu eisieu ar neb; ac yr oedd yn dda wych gan bawb yn gyffredin am eu gilydd—yn llawer gwell nag ydyw ganddynt pan ydynt yn cael llawnder a thymhoreiddiwch o bob peth.

Yn yr amser cymmysglyd truan ar olwg yma, dechreuodd ein llywodraethwr adeiladu plasdai hyd yn ddeg milltir a deugain o'r dref, pan oedd yn edrych yn chwithig yr amser hwnw, er bod y lle yn nghanol gwlad.

Y llywodraethwr oedd yn wr deallgar, a doeth, a golwg hynod ar bethau; ymadroddwr hardd, ac areithiwr glân; gwr boneddig yn ddiammeu, er iddo golli gafael ar y budd; fe ellid dywedyd am dano fel y dywedodd Edward Morys—

"Ni chadwodd yr henddyn o'i synwyr friwsionyn;
Hi gollodd i ganlyn y golud."

Yn yr amseroedd hyn yr oedd fy nhad, Tomas Sion Evan, gwybydd, yn byw y'mysg y Swedwys, fel y soniais, yn bwriadu beunydd ddychwelyd i Gymru; ond fel yr oedd amser yn *pasio*, yr oedd y wlad yn gwellhau. Y'mhen tair blynedd yr oedd amryw mewn golwg teg ar fywioliaeth. Dechreuodd yntau ymroi i aros gyda hwy. Nid oedd erbyn hyn ddim tir i'w gael ar werth ddim llai na deuddeg milltir o'r dref. Yna y prynodd dyddyn go fychan; ac a briododd wraig weddw, a fuasai yn briod â Tomas Llwyd o Benmaen. Chwi glywsoch son yn Nyffryn Clwyd

am Domas Llwyd o Benmaen. Yna fe aeth i ddechreu byw i'r coed wrtho ei hun. Yr oedd yn beth anaml a gwych iawn glywed ceiliog cymmydog yn canu. Nid oedd ganddo y pryd hyny ond un ceffyl bychan; a'r wraig yn crynu o'r cryd tridiau. Nyni allwn dybied fod llawer peth a dreiglai i feddwl dyn yn y fath gyflwr a hyn; ond ni chlywais mo'no erioed yn achwyn ar galedi yr amser hwnw. Ond yr oedd pob peth yn ddifyr i'r bobl ddiniweid hyny: er bod ar brinder o ryw bethau presennol; etto yr oedd ganddynt heddychol gymdeithas a thiriondeb cariad tu ag at eu gilydd yn wastadol yma yn y pryd hwnw. Fe lwyddodd yr ychydig yr oedd yn ei drin, fel y daeth i feddiannu ceffylau, gwartheg, a phob peth a'r a oedd raid iddo, ac oedd yn ei chwennych, hyd yr wyf yn ei ddeall: nid oedd efe un amser yn chwennych llawer. Yr oedd yn perchen deuddeg o wartheg blithion da y blynyddoedd diweddaf o'i amser. Fe fu iddo wyth o blant; ond ni feddai hŷn na myfi. Yn ol byw yn y modd y soniais bedair blynedd ar hugain, wedi hyn fe aeth yn o fethiantus, a musgrell, a gwanllyd, a chryn ddiffyg anadl arno ddiwedd ei amser gwaith. Gwr esgyrnog oedd ef; a go drapherthus a helbulus ynghylch y peth a fyddai ganddo mewn llaw. Diwedd mis Gorphenaf, deunaw mlynedd i'r Gorphenaf diweddaf, fe glefychodd, ac a aeth yn egwan drwy lawer o glefyd; ond y diffyg anadl a fu fwyaf cyfyngder arno; ac a barhaodd felly dros bum wythnos; ac yna fe ymadawodd; ac a adawodd i fy mrawd a minnau bob un dyddyn bychan, ac i'm chwaer gynnysgaeth gyfatebol, ac i fy mam fodd gweddaidd i fyw yma. Ein chwaer, gwedi priodi Rhisiart ab Tomas ab Rhys, dyn a hoffais ac a gerais cyn ei briodi, ac yr ydwyf yn ei garu etto. Yr ydwyf fi a'm brawd yn byw gyd â'n mam, fel yr oeddem o'r blaen, yn ceisio cadw pob peth yn ei le, fel y byddai ein tad; ond heb fedru cadw pethau mor wastad a chryno. Y mae ein mam yn wraig driugain mlwydd a thair ar ddeg, yn o fusgrell; ond yn gyffredin mewn iechyd rhagorol o'i hoed.

A dyna i ti, fy nghar mwyn, hanes fy nhad a minnau, os bydd difyr genyt ei glywed. Danfon dithau i minnau ryw hanes: os bydd peth newydd hynod, fe fydd wych genyf ei glywed.—Rhaid i mi ddiweddu fy llythyr.—Dy gâr,

HUGH JONES.

---

## ARDDYGRAFF GYMREIG.

MR. GWYLIEDYDD—Gan fod yn wybyddus i chwi, ac yn ddealladwy i'ch darllenwŷr, fy mod wedi ysgrifenu y llythyr o'm heiddo a ymddangosodd yn Rhifyn Rhagfyr, cyn gweled o honof lythyrau EPSILON a'r CYMRO DIWEGI yn Rhifyn Tachwedd; gan hyny, meddaf, yr wyf yn ystyried fod genyf hawl i gael y flaenoriaeth arnynt o ran fy hunan-amddiffyniad, cyn cyhoeddi o honynt ddim sylwadau pellach ar fy llythyr blaenorol. Ar y sail hon yr wyf yn erfyn eich nawdd chwi a'u hamynedd hwythau i lefaru ychydig eto yn Rhifyn Ionawr.

Pan o ddamwain y dygwyddodd i mi ymyraeth â'r ddadl a gychwynasid yn ddiweddar yn eich Cylchgrawn, o berthynas i'r ARDDYGRAFF GYMREIG, fy unig ddyben oedd rhoddi iddi dipyn o hwb, fel (os byddai galluadwy) y dygid hi yn gynt i benderfyniad, gan ddysgwyl yr un pryd mai cyfeisor ydoedd amcan eich Gohebwŷr ereill a ysgrifenasent ar y perwyl. Ond pan ymddangosodd eu hysgrifiau yn Rhifyn Tachwedd, cefais le i dybied mai nid felly yr oedd, eithr

mai ymddèru ac ysmaldodi â'u gilydd ac âg ereill yw eu dewis fympwy. Ond fe'u siomir yn swta os dysgwylient i minnau chwareu yr un gampwri. Nid wyf fi yn bwriadu gwnëyd nemawr sylw o'r hyn a daflont at eu gilydd nac ataf finnau, ond mor belled ag y perthyno i'r perwyl mewn llaw. Cymmaint o'r fath yma ag a ddywedodd EPSILON yn ei lythyr diweddaf, sydd gyda golwg ar gyfnewidiad y gydsain ddechreuol yn yr enw gwan "*prïodol.*" Mae yr hyn a ddug efe yn mlaen i geisio cadarnâu ei gywirdeb yn y peth yn bradychu ei anghydnabyddiaeth â rhëolau cyfnewidiad y cyfryw gydseiniaid.

O chaniatâ efe i mi, anturiaf yn ostyngedig egluro y peth, fel yr ymddengys i mi:—Cyfnewidiadau y gydsain *P* sydd mewn dadl. Tybia EPSILON mai yr enw cadarn benywaidd "*llythyren*" sydd yn cyfnewid y *P* i'w sain feddal *Ph.* Gadawer yn awr i hyny fod. Onid enw cadarn benywaidd hefyd yw *sain?* ac os felly, onid yr un effaith a ddilyn y naill fel y llall? Os dywedir, *sain* phrïodol, yna rhaid dywedyd, *llythyrèn* phrïodol. Eithr tybiwyf fod yr olaf yn rhŷ afrywiog i glust Mr. E. ac mai dewisach ganddo ymroi i ddywedyd hefyd *sain brïodol.*

Ond cyn myned yn mhellach, sylwer mai nid gair o hirbell sydd yn newid cydsain ddechreuol gair, cynnag pa mor agosed fyddo perthynas y cyfryw air i'r gair arall a fyddo yn dechreu â chydsain gyfnewidiol; eithr bob amser (hyd yr wyf yn ei gofio yn awr) y gair rhagflaenol agosaf iddi sydd yn dwyn ynddo y cyfryw effaith. Wele gynllun o'r pedair sain:—

| | |
|---|---|
| CYSEFIN. | Llythyren ag iddi enw *prïodol.* |
| YSGAFN. | Llythyren ag iddi sain *brïodol.* |
| MEDDAL. | Llythyren nad yw lafar na *phrïodol.* |
| CHWERN. | Llythyren am fy *mhrïodol* enw. |

Gallaswn brofi y peth amryw ffyrdd ereill oni buasai fy mod am ochelyd meithder afreidiol, ac yn tybied y gwêl fy nghyd-wladwr ei gam-gymmeriad oddiwrth yr hyn a ddywedwyd yma. Gobeithiwyf hefyd, pan ysgrifeno EPSILON nesaf i'r Gwyliedydd, y cydnebydd efe fod rhyw radd o rym yn y rhesymau a ddygais dros yr ymwrthodiad a *di* ac *an* fel Arddodiaid cadarnâol.

Yn awr gyda golwg ar lythyr y CYMRO DIWEGI, nid ydwyf ("a dywëyd y caswir") yn medru canfod ynddo nemawr ddim prïodol i berwyl yr ARDDYGRAFF GYMREIG, namyn *gwegi* a gwawd y'mron o ben bwygilydd; ofer, gan hyny, y barnwyf wneyd odid sylw arno; o ethryb nad yw y cyfryw ddefnyddiau nac addurn i'r Gwyliedydd, nac adeiladaeth i'w ddarllenwŷr. Pa berthynas sydd rhwng "Pab Rhufain" a "Gwylan dinddu" ag ORGRAFF y Gymraeg?

A dywëyd y gwir, mae yn rhaid i mi gyfaddef nad wyf allnog i ddirnad amryw o eiriau ac ymadroddion y Gohebydd arebawl hwn; ac am hyny rhaid i mi ofyn ac aros i weled a fydd efe mor fwyn a'u hegluro. Pa awdwr o'i flaen ef a arferodd, a pha Eirlyfr sy'n dëongli "*llythyregiad*"—"*celchwar*"—"*ceyd feiyw feia*"? *&c.* Yn mha ddynsawd, modd, ac amser, y mae efe yn golygu y perwyddiad "*bydda*" yn ngwahanol barthau ei lythyr?

Gwybydded mai yr hyn yr oeddwn i yn ei olygu wrth "*eiriau damweiniol,*" oedd, y cyfryw eiriau ag y mae pleidwyr yr Orgraff newydd yn eu hysgrifenu yn wahanol i bleidwŷr yr hên, megys, *angelion* yn lle *angylion*; *brenin* yn lle *brenhin; cenedloedd* yn lle *cenhedloedd; ieuanc* yn lle *ieuangc*, *&c.* &c. Byddai yn ddigon dymunol gènyf fi pe rhoddai Mr. C. D. i'r cyfryw eiriau ryw enw mwy prïodol na rhai "*damweiniol,*" yn gyfystyr i'r geiriau Seisnig *miscellaneous* neu *promiscuous.* Wrth ddywedyd fod y cyfryw eiriau yn "*annosbarthadwy,*" synied yr oeddwn nad oedd-

ynt yn dyfod yn brïodol dan yr un o'r pedwar dosbarth a grybwyllaswn, ac mai nid hawdd ffurfio dosbarth rheolaidd o honynt.

Nis gwn pa beth yn *anghanmoladwy* yr oedd Mr. *C. D.* yn ei ganfod yn yr ymadrodd "*dau gydwladwyr;*" ac nis gwn pa gangen o *Retoreg* sydd yn cyfiawnâu ei gyffelybu i "*Deg niwliog ddiwrnod gwlawog oerllyd gwresog!*" Ni fuasai waeth genyf fi ddywedyd *dau gydwladwr,* pe buaswn yn medru gweled deddf ramadegol yn gwahardd i'r enw cadarn fod un amser yn y rhif lliosog ar ol enwau gweiniaid niferol. Ac os bydd o ryw foddâd iddo ef gael enghreifft o'r cyfryw ddull, darllened y mânau canlynol o'r Bibl Cymreig, yn yr hwn y cyfaddefir bod yr iaith mor bur ag yn un llyfr a gyfansoddwyd ynddi:—*Gen.* xviii. 2. a xix. 8, 15, 30, 36. *Deut.* xxi. 15, 2 *Sam.* xxiii. 9, 16, 17, 22. 1 *Cron.* iv. 5. 2 *Cron.* xxiv. 3. *Diar.* xxvi. 16. *Ezec.* xiv. 14, 16, 18. *Act.* vi. 3. a x. 19. a xxi. 9. Yn mhlith y rhai hyn caiff weled, "tri wŷr"—"tri cedyrn"—"saith wŷr"—"dwy ferched"—"dwy wragedd"—"pedair merched," &c. Ond y mae hyn yn perthyn i gystrawen yn hytrach nag arddygraff, am hyny nid doeth ychwanegu; ac mi a welaf fod fy llythyr eisoes wedi myned yn rhy faith i mi ddychwelyd at fy sylwadau addawedig ar gangenau ereill arddygraff.

IOTA.

*Glàn Efernwy.*

---

## AD-OLYGIAD Y WASG.

*Testament Newydd ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist, Argraffiad Ystrydeb—Rhydychain,* 1828.

I PLAENORI ad-olygiad y testun uchod, gallesid arwain y darllenydd i wastadedd *Sinar,* gan ymorol pa mor debyg oedd tafodaeth floesg yr heidiau a ddylifodd o'r cwch dwyreiniol—i'r famiaith gyntefig a lefarid gan Sem, Ham, a Japheth:—pa lwythau a grwydrasant i'r cylchau gwres ac oerfel, a pha rai a osodasant eu pebyll ar lanau Môr y Canoldir mewn claiarwch tymherus:—pa effeithiau a gafodd yr hinsoddau amrywiol hyn ar gyrph, ar feddyliau, ac ar alluoedd ymadrodd, eu hamryfal drefedigion:—pa amgylchiadau a barodd i un genedl ragori cymmaint ar un arall mewn dysg a gwybodau:—pa fodd y bu i rai llwythau ysgrifo eu geiriau mewn dull amgen nag y llafarir hwynt, megys y mae heddyw gan drigolion Lloegr, Ffrainge, a'r Iwerddon: ond nid dyma y lle i'r cyfryw orchwyl maith. Yn y Geiriaduron *Gwyddelig,* dysgir yr ieuainge a'r anwybodus pa fodd i lafaru y gair ysgrifedig fel hyn—*laethe-amhail* (beunyddiol) dywedir *lahal,* neu *lahawil.* Y *Saesneg* a'r *Ffrangeg, &c.* ydynt agos yn yr un gyflwr, yn anhardd i'r golwg, ac yn ddyrys i'r sawl a fynant ddysgu.

Nid yw y *Gymraeg* yn gofyn y fath gyfarwyddiadau. Geill yr hwn a redo ei darllen. Ni fedd hi ddim cydseiniaid mudion, na chydsain na llafariad nad ydyw yn cadw ei sain priodol ei hun ym mhob sefyllfod; oddigerth y llafariad *y,* yr hon mewn ychydig eiriau a fenthyca sain ei chwaer *u,* megys yn y gair *ystyr,* ond hi a ardder eilwaith ei sain priodol yn y treiglair *ystyriol.* Dylai ein brodyr yn Nyfed gofio hyn. Y mae y Gymraeg yn hyn yn fwy rheolaidd efallai nag un iaith arall sydd ar lafar gwlad; yr hyn sydd yn rhwyddineb diwad i'r sawl a chwennycho ei dysgu. Ei hunig hagredd ydyw ei bod yn gorfod benthycio allan o'r egwyddor Rufeinig *ddwy* lythyren i fynegi *un* sain, megys *ch, dd, ff, ll, mh, ng, ph, rh, th,* &c. Rhoddwyd cais, bedair gwaith o leiaf, gan

wyr dysgedig yn eu hoes, i gymmeradwyo i arfer gwlad *arwyddion unigol* yn lle amrai o'r rhai uchod; ond gan mor afrwydd ac anhylusg yw cenedl gyfa o nifer, ond candryll a milddryll trwy fympwyon gwahanol, gallesid dywedyd yn iaith y ddiareb wrth bob un o naddynt—"*Gwan dy bawl yn Hafren.*"

Heblaw yr un uchod, ychydig yw y diwygiaeth sydd yn niffyg ar ein hiaith. Flwyddau yn ol, cyfrifwyd y Bibl unplyg, 1620, yn rheol safadwy i'w ddilyn yn llythyraeth geiriau. Ni wrthwynebwyd hyn yn gyhoeddus hyd ddechreuad y ganrif bresenol, pan ddigwyddodd yr ymrafael ar y pwngc rhwng y diweddar barchedigion T. Charles o'r Bala, a J. Roberts o Ddin Meirchion. *Garmon* yn ei ddegfed lythyr yn y Gwyliedydd am Fawrth 1829, a roddodd ychydig o hanes yr ymgyrch hwn, gan ddynodi y ddwy blaid, un yn A, a'r llall yn B; ac, fel na byddai ei hun yn bleidiol, y mae efe yn sefyll megys yn y canol rhyngynt; ac, yn ostyngedig gobeithiaf, y mae yn amddiffyn y blaid A ar yr anghenrheidrwydd o gadw *am* negyddol, *di* gadarnhaol, megys yn *am*mharchus, *di*ben, *di*oddef, &c. *h*, yn arwydd uchenaid yn bywhau, &c. Ac ar ochr y blaid B, myn ymwrthod â gormodedd o lythyrenau lle na byddo tarddiadau geiriau yn eu gofyn, rhag ein bod yn hyn yn debyg i'r Gwyddelod: myn hefyd ochel sillgolliant, megys "llwybrau y bywyd," yn lle "llwybrau'r bywyd:" er y dylai y goll sefyll yn rhai manau, megys "y gyfraith a'r prophwydi;" canys hir-llaes y seiniai y "gyfraith ac y prophwydi." Rhaid ymgynnefino â pheth ammherffeithrwydd, ond gwrthoder gormod.

Cymhwys i mi bellach gyfaddef mai myfi a anfonodd i'r Gwyliedydd y llythyrau dan enw *Garmon*, o ran bod cyhuddiadau ar droed fy mod wedi *rattio*, neu *droi*, oddiwrth y blaid A at y blaid B. I hyn atebaf, nad wyf o blaid yn y byd, ond o blaid y *gwirionedd*, gan ddymuno o'm calon na byddai yr un blaid arall. Os wyf yn gyfeiliornus ar un pwngc, cerydder fi yn garedig, ac mi a ymostyngaf yn ebrwydd. Gan bod *Bibl Cymraeg* wythplyg i'w gyhoeddi gan y Gymdeithas er Helaethu Gwybodaeth Cristionogol, a'r llythyraeth *(orthography)* a gynhwysir ynddo i ymddibynu ar farn dysgedigion Cymreig y pedair talaeth, pa un a ganlynir megys cynllun, ai un y *Bibl 8plyg* 1809, ai un y *Testament Rhydychain* 1828, gan eu bod yn amrywio ychydig yn eu llythyraeth; bum mor ëon a danfon fy sylwiadau ar lythyraeth y Testament uchod i'r Gwyliedydd, gan fy mod yn ei gyfrif yn fwy haeddawl o fod yn gynllun na'r llall. A dymunwn ei fod yn gynllun safadwy tra byddo Cymraeg yn llafaredig yn Nhrawsfynydd Meirion, ac yn Ystrad Dyfodwg Morganwg.

Os i'm Sylwiad beiad bydd,
Agored wyf i gerydd.

WALTER DAVIES.

*Rhagfyr* 18, 1830.

## GWELLIADAU YN Y TESTAMENT 1828.

MATH. v. 44. *niweid*: yn 1809, niw*e*id; yn eraill niwed: niwaid yw y goreu, a threiglir i *niweidiol*, fel rhaid, rheidiol, &c.

Pen. vi. 30. *yfory*, yn un-gair: yn 1809, y foru (deuair) *the* morrow.

Pen. viii. 1. i *waered:* yn 1809, i wared. Efe a ddaeth i *waered*, He came *down*. Efe a ddaeth i *wared*, He came to *deliver*.

Adn. 17. ac a *ddyg:* yn 1809, a ddug. Dyg, dygodd, &c.

Pen. xii. 1. *twys:* yn 1809, *tywys*, sef arweiniad, tywyso, tywysog, &c. *Twysen o ŷd*, sydd air cyffredin.

Pen. xiii. 30. *cynauaf*: yn 1809, cyn*h*auaf (cyn-gauaf) collir yr *g* mewn cyfansoddiad; *gwin*, "yfwch *win*," &c.

Pen. xv. 13. *planigyn:* 1809, plan*h*igyn: gormes yw *h*.

Pen. xvi. 3. *a thaenwyd:* 1809, a than*wyd. Ni ddywedir amser cynauaf—gwair ar *dân*, ond gwair ar *daen*.

Marc i. 1. *Mab* Duw: 1809, *fab* Duw. Efengyl Mab Duw, nid Efengyl fab Duw.

Adn. 20. *ac yn y fan* (straightway) 1809, *yn y man.* Y diweddaf, yn rhai manau, a ddynoda, amser i ddyfod, ymhen tipyn, nid *yn ebrwydd.*

Pen. ii. 2. *hyd yn nôd:* 1809, hyd yn *oed.* Y mae rhyw nôd yn y cyntaf i gyfeirio ato: nid oes dim yn yr ail.

Pen. v. 7. *dyngedu:* 1809, dynghedu: treigler twng, tyngu, tynged, tyngedu, &c.

Pen. vii. 37. *byddariaid:* 1809, byddair. Y cyntaf yn fwy dealladwy.

Pen. x. 25. *trwy grai:* 1809, trwy *grau:* gwaed yw crau, ac felly yn fwy priodol at *flaen* nodwydd na'i *chrai.*

Pen. xii. 14. *Caesar:* 1809, Cesar, eraill Cæsar: goreu yw y cyntaf.

Pen. xiii. 3. *olew-wydd*, mwy cyflawn nag olewŷdd 1809, &c.

Adn. 31. *y geiriau mausi:* 1809, mau fi. Gwell na'r ddau a fyddai y geiriau ar ymyl y ddalen yn 1809, sef, *fy ngeiriau* i.

Luc i. 5. *brenin Judea:* 1809, frenhin Judea: Yn nyddiau *b*renhin, nid yn nyddiau *f*renin.

Pen. xiv. 19. *ychain:* 1809, ychen. Y mae mwy o sain lliosog yn *ain* nag *en*, yr hyn yn gyffredin sydd derfyniad unigolion, *derwen, mesen, &c.*

Pen. xx. 37. *hysbysodd:* 1809, hyspysodd: y cyntaf megys yn dangos *â bys* ☞, nid yw pys ond math o ffrwythau y ddaear.

Pen. xxiii. 32. Gwelliant mawr yn yr adnod hon, ragor 1809. Gwallus yw pob argraphiad o honi, ond rhai 1588, 1812, 1814, a 1828.

Adn. 38. *ar-ysgrifen*, mwy cyflawn nag arsgrifen 1809, &c.

Act. iv. 35. *anghen:* 1809, angen. *Anghenyf*, nid oes cenyf, I have not, hence necessity, want. *An*, yn negyddu *c*, a fyn *ngh*, megys cariad, anghariad. Y mae anghen ac anghariad yn geraint mewn mwy o ffyrdd nag un.

Pen. vi. 14. fel *gwyneb* angel: 1809, fel *wyneb;* yr hyn a wanhâ y gair heb achos.

Pen. vii. 14. *a thriugain:* 1809, a thrugain, gair anghyfa yw y diweddaf.

Pen. viii. 3. *darllen:* 1809, darll*ain.* Dywedwn, *efe a ddarllenodd*, nid efe a ddarlleiniodd.

Pen. xiv. 2. *anghrediniol:* 1809, anghredadwy; sef rhai nas gellid eu credu. Arferwyd y gair hwn gan y Dr. Morgan yn 1588. Yn 1620 y Dr. Parry a'i newidiodd i *anghredadyn*, yr hyn a ddynoda *un* Iuddew heb gredu. Ac felly y parhaodd y gair trwy bob argraphiad hyd 1799, pan adferwyd yn ol *anghredadwy* y Dr. Morgan. Yn 1814, Mr. T. Charles a'i newidiodd i *anghredadin;* gair cymhwys i'r Sultan Sal*adin* o barth ei gyfansoddiad. Yn mhestun yr adolygiad hwn, yn 1828, yr ymddangosodd *anghrediniol* gyntaf, a rhaid cyfaddef mai y goreu hyd yn hyn ydyw. Rhodder cenad imi ofyn, ai annerbyniol a fyddai "Iuddewon anghred?" Y mae *dynion anghred* yn ddywediad digon cyffredin.

Pen. xiv. 7. *efengylu:* 1809, ac oll—efangylu; gair a ofyn efangyl yn sylfaen iddo.

*Ammheüusion, a Gwallau, yn y Testament Newydd* 1828, *ac yn y Bibl* 1809.

Math. vi. 25. *na ofalwch:* yn 1809, ac eraill, na ofelwch. Treiglir gofalu, gofelwch; fel caru, cerwch, &c.

Pen. vii. 2. *ych bernir:* 1809, &c. y'ch bernir. A oes dim yngholl rhwng *y* ac *ch?*

Pen. xii. 4. *i dŷ Duw:* yn 1809, &c. i dŷ *D*duw. Gramadeg a ofyn y cyntaf; ond beth a ddywedir am arfer gwlad dros gannoedd o flwyddau? Dywedir Carnedd *Dd*afydd, Carnedd *Ll*ywelyn, Ffynnon *D*dewi, &c. Yn yr un modd, *ffordd Duw*, yn Math. xxii. 16.

Pen. xiv. 22. tra *f*yddai, felly yn 1809, tra fyddwyf, tra fyddo, &c. Gwell a chryfach Cymraeg yw, tra byddai, byddwyf, byddo. Nid yw *tra, er*, &c. yn newid y *b.*

Pen. viii. 3. *glanheir di*, felly yn 1809. Y ddau yn feius—*glanhäer*, yn y modd gorchymmynol.

Pen. xxi. 20. disy*m*wth: yn 1809, disy*mm*wth: felly hefyd yn y Testament 1828 mewn pum man.

Pen. xxii. 44. Dywedodd yr *Arglwydd:* 1809, Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd; gan felly wahaniaethu rhwng *Jehovah* (y Tad) ac *Adon* (y Mab). Y mae y Testament yn gywir yn Luc xx. 42. ac Act. ii. 34. gan ateb i Ps. 110.

Pen. xxvi. 59, 60. *gau-dystion:* felly yn 1809: ond yn 1828, ceir au-dystion Moses Williams yn Act. vi. 13.

Pen. xxvii. 54. y ddaear-gryn (ban.)—adn. 20. daear-gryn *mawr:* felly yn 1809. Cymmysg rhywiau.

Marc v. 41. Cromfachau yn niffyg, fel yn 1809; canys hebddynt, nid yw cyfieithad *Talitha cwmi* mor eglur.

Pen. vi. 53. *lanniasant:* 1809, laniasant, a gwell.

Pen. vii. 8. *orchymmyn:*—9. gorchymmyn: yn 1809, orchymmyn yn y ddeufan, a gwell.

Pen. viii. 12. y genedlaeth *yma;* felly yn 1809, a phob argraphiad gwedi un y Dr. Morgan, yr hwn a ysgrifenodd yn gywirach "y genedlaeth *hon.*" Yn yr un modd yn Marc xiv. 71. "y dyn *yma*," y dyn *hwn*, meddai yr esgob.

Pen. ix. 2. weddnewidiwyd, heb wahan-nod: felly hefyd, gydymholi, arogldarth, ddïwnïad, oddiisod, oddiuchod, &c.

**Adn. 42. gwell *oedd* iddo: felly ymhob argraphiad: καλος εστιν—pulcher *est*. It *is* better. Ni chytuna yr un o'r rhai hyn ag *oedd*.**

**Pen. xiv. 51. *llian*: yn 1809, &c. lliain. Llieiniau sydd air sathredig; i ba un y mae yn rhif lliosog, ai i llian, ai i lliain?**

**Pen. xv. 44. er *ysmeityn*: yn 1809, er ys meityn. Y mae genym er ys deuddydd, er ys wythnos. Pa fodd y mae ysgrifenu y rhai hyn? Yn Luc viii. 27. ceir *ys talm* yn wahanedig, yn y Testament 1828.**

**Luc i. 73. *a'r* roddi i ni: 1809, *ar* roddi i ni. Gwell nag yr un yw y Dr. Morgan, *ar ei* roddi i ni; sef y cyfammod trwy lw i Abraham.**

**Pen. vi. 17. *gwastatir*: yn 1809, gwastattir. Pe ysgrifenasai y Dr. Morgan, *gwastadedd*, buasai yn well.**

**Pen. xiii. 11. *ymunioni*: 1809, ymuniawnu.**

**Pen. xxiv. 17. at *eu* gilydd: felly yn 1809: at *eich* gilydd a gytunai yn well ag *yr ydych;* heb gymmysgedd hanfodau (*persons*).**

**Ioan iv. 20. *y man*: Pen. v. 13. *y fan*: felly yn 1809; cymmysgedd rhywiau.**

**Pen. vi. 12. *a weddillasai*: felly yn 1809, a phob argraphiad arall gwedi un y Dr. Morgan, yr hwn a gyfieithodd yn gywir—*a weddillasid*.**

**Pen. vii. 25. Hierosolymitaniaid: ac yn 1809. A oes modd i fyrhau y gair hwn?**

**Pen. xviii. 6. *can* gynted: 1809, *cyn* gynted. Dywedir bod y cyfansoddair *cyn*-ddrwg yn erbyn y diwygiad hwn. Chwilier i hawl *can* a *cyn*.**

**Adn. 18. *ymdwymno*: felly yn 1809. Ai nid gwell ymdwymo, o *twym* yn lle *twymyn*?**

**Pen. xxi. 4. ar y *lann*: 1809, ar y lan. Dyma un *n* yn ol i A; ac un arall yn Act. x. 32.**

**Act. ii. 8. *yn* ganed ni; y'n ganed ni; h. y. *y ein* ganed.**

**Adn. 30. trwy *lâ*: 1809, heb y fachell, a gwell.**

**Pen. iii. 14. a *ddeusyfasoch*—gwell na—"a ddeusyfiasoch," 1809.**

**Pen. vi. 18. *mo* Joseph: felly yn 1809, &c. gellid hebcor *mo*.**

**Pen. viii. *Phylip* a Philip bob yn ail—Phylip drwy y benod yn 1809.**

**Pen. ix. 2. i *Ddamascus*: adn. 3. i Damascus: yn 1809, y ddeufan yn *Dd*. Ond nid addas cymmell estron-eiriau i ostwng eu gwarau i'r iau Gymreig. Gellid newid Dafydd i Ddafydd, Pedr i Bedr, Mair i Fair, &c. o herwydd ein bod megys wedi eu mabwysiadu hwynt i'n hiaith: ond gadawer Paul, Barnabas, Babilon, Gath, Galilea, heb eu heillio o'u blaenoriaid. Boneddigaidd yw dangos parch i ddieithriaid.**

**Pen. xiv. 17. *yn ddidyst*: felly yn 1809, &c. ond nid felly ym Meiblau y tri esgob,** 1588, 1620, a 1690; yn y rhai hynny, yn ddi-dyst: a gwell, o ran bod y gwahannod yn ei wneyd yn fwy dealladwy i'r anhyddysg. Moses Williams a'i trodd i ddidyst gyntaf, yn 1717.

Cyn diweddu, dymunol a fyddai gofalu am roddi i *Gwyliwch*, γρηγορειτε, *Watch*, ac i *Gwiliwch*, βλεπετε. cavete, *Beware*, eu lleoedd priodol. *Gwiliwch* sydd yn gwbl yn yr hen Fiblau. A thra annosparthus y ceir sefylliad *mab* a *fab* yn yr holl Fiblau. Yn y Testament 1828, gwelir yn Ioan vi. 71. "am Judas Iscariot *fab* Simon:" ac yn Ioan xiii. 26. "i Judas Iscariot, *mab* Simon." A ydyw y ddau hyn yn ateb i un rheol? Gwel Gen. xxv. 12. a xli. 46. Barn. iv. 6, 11, &c.

Cymhwys iawn yw y gwahaniaeth rhwng *Iachawdwriaeth* yr enaid trwy Grist, ac *iechydwriaeth* y corph trwy iachâd clefyd. Gwel Act. iv. 22. Nid oedd y gwahaniaeth hwn yn yr hen Fiblau.

Yr wyf bellach wedi treiddio trwy y pedair Efengyl a'r Actau, a dymunol a fyddai i ryw garwr y Bibl a'r bobl fyned yn y blaen drwy yr Epistolau a Datguddiad Ioan; ac anfon ei sylwiadau i'r Gwyliedydd erbyn Rhifyn Chwefror.

Yr eiddoch, W. D.

---

## HEN WEDDI

***A arferir gan yr Abyssyniaid yn eu Gwasanaeth Dwyfol.***

**"O fy Arglwydd a'm Duw, Iesu Grist, Mab y byth-fywiol Ior, ymbiliaf ac a atolygaf arnat faddeu fy mhechod a'm trosedd. Tydi yr hwn mae ei drugaredd yn annherfynedig! Pa ddyn ni phecha! Pa le mae 'r coed ni losgent! A phwy yw efe ym mhlith meibion gwragedd nad yw yn gwneuthur pechod! At bwy yr edrychi di, O Arglwydd Iesu Grist! Nid oes neb da a phurlan heblaw Tydi! Ac yn awr, O Arglwydd, maddeu fy mhechod a'm hanwiredd; dilëa ysgrifenlaw y dyled sydd i'm herbyn yn dy drugaredd a'th dosturi; canys trugarog a thosturiol ydwyt ti. Bydded gogoniant a mawl i'r Tad, i'r Mab, a'r Yspryd Glân, yn y nef ac ar y ddaear, beunydd o hyn hyd byth, Amen!"**

# BARDDONIAETH.

## COLL GWYNFA.—Llyfr I.

*(Parhâd o du dal. 430.)*

Y rhai'n a mwy ynghyd a dyrfent oll,
A golwg brudd, ac etto yn eu gwedd
Odlywyn o lawenydd, am nad oedd
Eu pen mewn llwyr anobaith, chwaith na hwynt
Eu hunain, er ar goll, yn llwyr ar goll.
Hyn barodd i'w wedd yntau fod yn brudd;
Ond yn adgofio 'n glau ei uchel fryd,
A geiriau mawr chwyddedig, ac o bwys,
Mewn rhith yn unig adgyweiriai ef
Eu hyder, a gwasgarai ffwrdd eu braw.
Ac yna archodd yn y fan, wrth sain
Yr udgorn floedd, ei luman mawr
Ddyrchafu; i'r anrhydedd hwn ei hawl,
Azazel dal, hònai, ac yn ddi oed
Y faner benadurol daenai ef,
Yn uchel fry, yn nofio ar y gwynt,
Dysgleiriai hon, fel awyr dân yn llawn
O emau, euraidd ddullion er coffhau
Seraphaidd ddewr orchestion; yr un pryd
Crochfloeddiai 'r udgyrn mawr filwraidd sain.
Ar hyn y cyfan lu a roisant floedd
A rwygodd entrych uffern, a gwnaeth fraw
I deyrnas fawr y cymmysg, a hen nos.
Ar d'rawiad amrant gwelid drwy y cudd
Fanerau gloyw fyrdd yn chwareu fry;
A chyda hwynt y dyrchai waywffyn
Aneirif, a phenoran 'n tyrru y'nghyd
A welid, a tharianau nad oedd rif
Na mesur ar eu hacuan: yn y fan
Symmudent yn bedryfan gyflawn gron,
Wrth sain soniarus piban mwyn, hoff gan
Y Doriaid gynt; y fath a wnaent ddeffroi
Mewn arfog gedyrn dewr arwraidd nwyd,
Ac yn lle llid wrolder pwyllig cryf
Diysgog gan ofn angau byth i ffoi;
Tawelent hefyd ddwys feddylian blin
A'u peraidd sain, a gyrent ymaith ing
Draw, tristwch, alaeth, poen, o farwol neu
Anfarwol fryd. Fel hyn yn drefnus aent
Ym mlaen, yn unol dorf, wrth hibau mwyn,
A ddofent gamrau blin dros danllyd dir.
Ac 'nawr mewn golwg safent hwy yn llu
Ofnadwy o anferthol faint, ac oll
Yn arfog, fel y cedyrn gynt, yn dwyn
Y waywffon a'r darian, ac wrth arch
Eu Pen yn disgwyl. Ef trwy 'r rhesi hyn,
Tan arfau, daflai dreiddiol lygad craff,
A buan sylwai ar y cyfan lu,
Eu trefn a'u golwg, ac fel duwiau eu maint,
Ac ar eu rhif yn olaf. Yna ef
Ymchwyddai o falchineb, yn ei nerth
Ymorfoleddai; can's er cread dyn
Ni chasglwyd y fath dorf; wrth hon ni f'ai
Y mwyaf un erioed ond fel llu mân
Y corgwn, er pe cyfarfyddai y'nghyd
Hil dewraidd Phlegra â holl gedyrn rai
Wrth Thebes ac Ilium â ymfrwydrent gynt,
Yn nghyd â'r duwiau g'a cyfnerthent hwy;
A'r lluaws oedd 'n ol chwedlau gan fab Uther,
Urddolion Prydain ac Armoria;
A lluoedd, cred neu anghred, yn ol hyn
A frwydrent yn Aspramont neu Montalban,
Damasco, neu Marocco, neu Trebisond,
Neu 'r rhai ddanfonid o lân Affrig gynt
I Fontarabia, lle y syrthiodd ef,
Siarls mawr, a'i holl uchelion. Felly 'r rhai'n
A bell ragorent ar holl farwol nerth;
Ac etto ufuddhâent i'w Llywydd mawr:
Fel twr y safai ef, o wedd a dall
Yn llawer uwch na'r lleill; can's ei wedd
Ni's collai oll, o'i lewyrch gynt dim llai
Yr ymddangosai nac Archangel coll;
A'i lewyrch mawr tan gudd, fel pan yr haul
Wrth godi welir trwy y niwlog wybr,
Heb ei phelydrau, neu tu cefn y lloer,
Tan ddiffyg du, y taeno oleu gwan
Dros hanner gwlad, gan beri ofnau mawr
I draws benaethiaid. Felly tywyll oedd,
Ac etto 'n glaer uwchlaw 'r rhai ereill oll;
Ond gwelid ar ei wyneb greithiau dwfn
Wnaed gan daranau; safai ar ei wedd
Ordrymder, ond dangosai ei aeliau mawr
Anorfod ddewredd, a darbodus fryd
Ymddial; creulon oedd ei lygad tra
Amlygai gnofa mewnol wrth wel'd llu
Ei gydwrthgilwyr a'i canlynent ef
Yn ei wrthryfel, 'nawr a'u rhan mewn poen
Trag'wyddol; myrdd o fodau am ei fai
Tan farn y nef, ac am ei wrthgil ef,
O'u disglaer fanau deflid, ac o hyd
Yn ffyddlon, er gwywedig eu tra mawr
Ogoniant gynt; fel pan oddeithiai tân
Wybrenol dderw 'r goedwig, ac y saif
Yn ddeilffol eu braisg frigau. Ef yn awr
Bar'todd lefaru; yna troisant hwy
Eu rhesi dyblyg ogylch iddo ef,
Ac yn y canol ef a'i gedyrn oll.
Distawai pawb; tair gwaith ymgeisiai ef
Lefaru, a thair gwaith, er maint ei wawd,
Y tallodd ddagrau, fel y fath a wyl
Angylion: allan torodd eiriau balch
O'r diwedd, ac och'neidiau dwfn fel hyn:—
"Ysbrydion fyrdd anfarwol, dewrion lu!
Nad neb ond Hollalluog drechai; nid
Heb glod ein hymdrech, er anffodus fu,
Fel tystia 'r dwfwn hwn, a'u cyflwr gwael
Rhy gas i'w adrodd! Ond pa feddwl byth,
Yn iawn ragweled trwy wybyddiaeth lwyr
O'r hyn a fu ac oedd, ofnasai ddim
Y trechid y fath lu o dduwiau mawr!
Ond pwy all etto gredu, er ar goll
Y metha 'r llengau cedyrn hyn, y nef
Trwy encil a waghasant, esgyn fry
Trwy hunan nerth, ac ennill etto eu braint!
Andystied lluoedd mawr y nef, os trwy
Wall cyngor genyf fi, neu unrhyw fai,
Y colled ein holl obaith. Ond efe
Sydd unig Ben yn nef, a oedd hyd hyn
Yn ddiogel ar ei orsedd fry trwy fraint
Hynafiaeth, arfer neu gydsyniad nef;
A'i rwysg breninol a amlygai, ond
Cuddiedig oedd eu nerth;—hudasai hyn
Ein hymgais, a pheri wnaeth ein cwymp.
Ei nerth a wyddom 'nawr, a'u nerth ein hun,
Fel nas cynhyrfem rhyfel mwy, neu os
Cynhyrfer ef, nac ofnem; erys in'
Yr oreu ran, er gwneud trwy frad neu dwyll
Yr hyn nas gallai nerth, fel yn ddi feth
Y gwelo ef mai hanner gorfod wna
Ei elyn, pan orfodo ef trwy nerth.
Yr hang hwyrach newydd fydoedd ddwg;
Can's lledai son yn nef, y gwnae ef greu
Rhyw fyd cyn hir, a gosod yno hil
A garai yn gyffelyb i blant nef.
Ac yno, efallai, bydd ein hymgyrch ni
Yn gyntaf, yno, neu i arall fan;
Gan na cha 'r pwll uffernol hwn dros byth
Ysprydion nefol ddal yn gaeth, na'r dwfn
Tan wyll eu cuddio 'n hir. Ond am hyn beth
Rhaid ymgynghori 'n ddwys: fe ddarfu hedd:
Pwy feddwl am ymostwng? Nid oes dim
Ond rhyfel, rhyfel cudd neu gyhoedd mwy."
Llefarodd: ac er cymmeradwyaeth, myrdd
O lafnau gloyw allan dynid gan
Y llu Cerubaidd, a discleirio wnaent
I bellder maith trwy 'r dwfn, cynddarent hwy
Yn erbyn y Goruchaf; a thwrf câd,
Ar eu baneriau seinient o lawn lid,
Gan luchio melldith tu ag entrych nef.

*(I'w barhau.)*

## ENGLYNION*

AR "MARWOLAETH Y PARCH. R. B. CLOUGH, A. C."

Pwy all ddàl cynnal mewn co'——mawr alar,
Marwolaeth fath Gymro;
Perl ac enaint, braint ein bro,
Bu les mawr, heb lesmeirio?

Och! erfawr dirfawr derfyn——ar einioes
Wr enwog mor sydyn!
Offeiriad, gwir offeryn
I 'w'llys Duw a lles dyn.

Ynad o hedd diwahân,——mawr alwad
Oedd marwolaeth (weithian)
Clough anwyl—cloi 'i hoff anian
Gre', dewr, mŷg, mewn grodir mân!

Gwnai farn, yn gadarn gydiol,——cyfundeb,
Mewn cyfiawnder deddfol;
Pwyllus ŵr, pell, a siriol,
O destyn ffals dystion ffol.

Dyddanus parod ddoniau,——a medrus
Ymadrodd ei enau,
Caed ran hedd, er cadarnhâu
Brawdgarwch, bwriad gorau.

I'w Wraig a'i Ferch oer rwyg a fu,——wylant
Weled ei ddaearu;
Ow! ein gwlad fwyn geinfad gu,
Ei cholofn wedi chwalu!

Colofn deg eofn ar g'oedd——i'r eglwys
Drwy eglur weithredoedd;
Colofn gwlad fûd ef ydoedd,
A'n cu lefn iaith colofn oedd.

Llais dyrchal, erchal eirchion,——mal utgorn
Mawl, atgof i ddynion,
Lles o air ewyllys Ion,
Gwr bugeiliwr o galon.

O'i siriol, eiriol araeth,——gwag ogledd,
Gwag eglwys, ysywaeth,
Gwag Eisteddfod, syndod saeth,
(Môr o alar) marwolaeth!

Pa gân yn ddian wnawn addef——lwysaidd,
Pa bleser wnawn oddef,
Pa lais, ddewis-lais oslef,
O les yw? heb ei lais ef!

Ow! noddwr Awenyddion,——Ow! collwyd
Y callaf Fardd tirion;
Mae'n rhwygiad a brathiad bron,
Ow! darniwyd nerth Edeirnion!

Och! oer gri i ni a wnaeth,——a gwallus,
Mawr golled a hiraeth;
Iddo ef yn dangnef daeth,
A mawr elw oedd marwolaeth!

Bu farw i bob oferedd,——holl ofwy
Hyll ofid a llygredd;
Byw wedi hyn byd o hedd,
Eiddo ei Dduw yn ddi ddiwedd.

I fyd dwys drwy fywyd daeth,——Ow! i farw,
Ofered cnawdoliaeth;
Ond yn angau 'r angau 'r aeth,
I fyw 'r ail, trwy farwolaeth.

I'n goror neb hawddgarach,——ei pherl oedd,
Ffarwel iddo bellach!
E alwodd Ion i wledd iach,
Fywyd ef o fyd afiach.

IOLO GWYDDELWERN.

## EREILL AR YR UN TESTUN.

Un diwrnod hynod henwaf——a welais,
Ail Sul o Orphenaf,
Ganol tesog haulog hâf,
Trwy newid yn troi 'n auaf.

Dydd blin, dydd heb oleuni,——a dydd oer,
Nid oedd haul yn gweini;
Dydd trallod diwedd troelli,
Dydd trist yn athrist i ni.

A'r achos, Duw mawr uchod——a nododd
Genadwr i ddyfod
I ddwyn Clough addien y clod
Oddi arnom â'i ddyrnod.

Gyd â'i ddart troes i'w gartref,——o gyni
I ganol llŷs tangnef;
Dylaith fu 'n achos dolef,
A briw dwys i'w briod ef.

Blodeuyn gloyw-wyn ein gwlad——a wywodd,
O! wewyr diymwad;
I'w ferch wên fawr ei chwyniad,
Cyllaeth oedd pan collai 'i thad.

Collwyd anhuddwyd un addien——callaf,
Collwyd Athraw Corwen;
Ar ei arch a'i dywarchen
Mae 'r eglwys a phwys ei phen.

Collwyd Bugail cail ddyn culwys,——collwyd
Y callaf o'r eglwys;
Gresyn ddyfod dyrnod dwys,
Mawr gam ar ddyn mor gymwys.

Yn y byd bywyd trwy barch——a gafodd,
Ein hen gyfaill hybarch;
Gofid ni cheir ei gyfarch,
Wedi 'i roi dan gaeadr arch.

Pwy 'n ei oes mwy pen isel,——a difalch,
Er dofi gwrthryfel;
Pwy gryfach a sicrach sêl,
A diwyd am fyw 'n dawel?

Ni bu undyn yn bendant——cywirach,
Yn caru pob llwyddiant;
Heb un os na dangos dant,
Ni fyddai yn ei feddiant.

Trugarog enwog anian,——maddeugar,
Ymddygiad boneiddlân,
A gafwyd ynddo 'n gyfan,
Blodeuog oedd o blaid gwan.

O'r achos y bydd hir ochain,——a gwelw,
O! galar am Dydain,
Am Ifor egwyddor gain,
Am Ynad brad i Brydain.

Periglor pur o'i eglwys——a ddygwyd
I ddiogel orphwys
At Dduw Tad i Baradwys,
Cadd fwynhâd o rad wlad lwys.

Aeth well well pan yr aeth allan——unwaith,
Yr enaid o'i thrigfan,
Esgynodd syw i Ganaan,
Yn flaenor ar y côr cân.

Aeth i fyd gwynfyd, nid i gwynfan——dim,
Nid oes dant yn rhincian,
Na gwagedd gwarth na gogan,
Na llesg lais yn y llŷs glân.

THOMAS EDWARDS, *Corwen.*

## ENGLYNION*

"DIOLCHGARWCH AM Y CYNAUAF 1830."

Duw Nef Dad wiw rad Waredydd——hael iawn,
Eleni fu 'n Llywydd,
Rhag i'n bara rhedfa rhydd,
Gael egin o'r gwlawogydd.

Cynauaf gan Naf, Gun nefawl,——cawsom
I'n cysur tymhorawl;
Rhown iddo, Dad rhinweddawl,
Air glân fyth o'r galon fawl.

* *Yr Englynion uchod a farnwyd yn fuddugol yn Eisteddfod Edeirnion, Tachwedd* 5, 1830.

* *Yr Englynion uchod a farnwyd yn fuddugol yn Eisteddfod Edeirnion, Tachwedd* 5, 1830.

Darparodd Duw roi purfwyd——ddigonedd
  I gynnal ein bywyd;
Ef a'i ofal, Benial byd,
  Yw 'n huchel borth a'n hiechyd.

Byth am ei ddinam ddaioni——di dawl,
  Da dylem ei foli;
Nid ei fryd yw 'n difrodi,
  Da iawn iawn fu Duw i ni.
    Amaethwr, *neu*, Iolo Gwyddelwern.

---

## CAN NOS-GALAN.

*Ar y dôn "Diniweidrwydd," neu y dôn Emyn Jordan;* "Love Divine, all love excelling," &c. *i'w chanu ar Wylnos grefyddol, yn yr oriau diweddaf o'r Hen Flwyddyn: hon a fwriadwyd i Rifyn Rhagfyr diweddaf.*

Blwyddyn etto 'hedodd heibio,
  Gwnawn fyfyrio arni 'n faith!
Llawer brawd a chwaer a hunodd,
  Angau a'u daliodd ar y daith:
Pa le yw penod eu preswylfod?
  Ai 'r Nef uchod hynod hedd?
Neu ai ynte drigfa dreigiau,
  Aswy barthau is na'r bedd?
Trwm fyfyrdod, llawn o chwithdod,
  Angau a chawod ing a chur;
I'r ammharod gaethwas pechod
  Y mae'n ddyrnod mwy o ddur!

Clyw was pechod lais Cydwybod,
  Cais fyfyrdod am y farn;
Na ddirmyga amynedd *Alpha*,
  Ei ddeddf na sanga 'n hwy fel sarn:
O bechadur! llwfr gysgadur,
  Cas dy ddolur cais dy Dduw;
Os cei faddeu dy bechodau,
  Er bedd a beiau byddi byw;
A byw 'n drag'wyddol! briddyn marwol!
  Ond rhyfeddol yw ei fod
(A düed ydoedd) tros oes oesoedd,
  Yn aer y nefoedd oreu nod.

Amser hudol sy ar 'hedlad,
  I'r un daliad awr nid oes;
I'r balch flaguryn angau 'n sydyn,
  Daw i ddirwyn diwedd oes:
Amser! amser! O mor ofer!
  Y treulia llawer trwy hyll wedd;
Amser ydyw mesuredig,
  Mawr yw perygl marw heb hedd;
Hedd a chymmod Crist dros bechod,
  Llawn ollyngdod a gwellhâd;
Gwellhâd buchedd trwy drugaredd,
  Rhinwedd rhyfedd y Mab rhad.

Y mae 'r Dialydd yn ein dilyn,
  Y mae 'r gelyn, mawr yw 'r gwg,
Yn cyhuddo, a'r ddeddf yn damnio,
  Dyn i drigo gyd â'r drwg:
Bara y Gyfraith yw Marwolaeth!
  A oes dim gobaith ini gael?
Oes, mae gobaith Iechydwriaeth,
  O ras helaeth Iesu hael!
*Halelwia!*—croes Calfaria,
  Yn ddinas noddfa i ni wnaed;
Yr anghyfiawn, trwy ffydd gyfiawn,
  Wneir yn gyfiawn drwy y gwaed.

Esgyrn sychion y'nt gysgodion,
  O rai meirwon dirym hâd;
"Ac aml iawn ar wyneb dyffryn,"* 
  Mae 'r esgyrn hyn ar wasgarhâd:
Nis geill *human* byth ddihuno,
  Yspryd nef raid deffro dyn,
A gwisgo 'r esgyrn sydd ar wasgar,
  A gian liwgar yn eu llun:
Anadla 'n nerthol, Yspryd bywiol,
  Trwy ragorol ddawn y Gair;
A thrwy weithred ar bob enaid,
  Pâr eu myned at Fab Mair.

* *Ez.* 37.

Fel *briwedig* at y Meddyg,
  Fel y *llesg* am wellhâd,
Fel y *deillion* am olygon,
  Fel y *mudion* am lais mâd:
Beth a wnawn! bydd byth yn niwaid,
  Colli enaid o wall cael
Ffydd i gredu ac edifaru,
  Nef fo'n mynu i ni 'r mael!
O! am ganfod mawrddrwg pechod,
  A'r anafod i ni wnaed;
A gras i 'nabod Crist yn aberth,
  Parhâus o werth yw pris ei waed.

O! ystyriwn, edifarwn,
  A gweddiwn bawb ar Dduw,
Am gael teimlad yspryd cariad,
  Adnewyddiad bwriad byw;
A ffydd fywiog, cariad gwresog,
  At enneiniog, Oen y Ne',
A garodd gynta' eppil Adda,
  Aeth i'r lladdfa yn eu lle
O ddyfnderoedd cariad cyhoedd!
  Ni all lluoedd Nef a llawr,
Fyth ddatganu 'r mawl mae 'n haeddu,
  Er rhyfeddu ato 'n fawr.

Dewch flinedig a sychedig,
  At y Meddyg i gael maeth;
Dewch o gulni gwlad trueni,
  I gael eich lloni â gwin a llaeth:
Defaid Israel, clywch y Bugail,
  Ei air fel sêl yn wir a sai':
Gan bod Ceidwad am eich cadw,
  Pa'm y byddwch feirw ar fai?
Clywch y galwad a'r gwahoddiad,
  Y mae â chariad atoch chwi;
Na ato Ion i'w gariad tyner
  Dreulio 'n ofer arnom ni.

Gwyliwn! gwyliwn! a gweddiwn,
  Na ryfygwn fyw ar fai;
Clywn leferydd Rhad Waredydd
  Yn rhoi rhybydd i bob rhai;*
Clywn rybuddion ei Genadon,
  Yn galw i Sion, gwlad y saint;
Na segurwn, ond ymdrechwn,
  Ymhyfrydwn yn y fraint;
Y fraint o gredu 'n haeddiant Iesu,
  A chael ein nerthu ganddo 'n awr,
I aros ynddo heb wrthgilio,
  Nes ein llithro i wely 'r llawr.
    M.

* *Marc* 13. 37

---

## AMSER.

Cwyno yr wyf ond wyf yn ffol,
  Nid cwyno ar ol pleser,
Na chwaith am nerth na thegwch pryd,
  Na phethau 'r byd, ond *Amser.*

Os cefais nerth a chlod a pharch,
  Caf hefyd arch ar fyrder:—
Fy nghur sy am na chaf fy nghais,
  Yr hyn a gollais, *Amser.*

Ba les i mi balasau mawr,
  A byw mewn dirfawr wychder;
Ac yn y diwedd fod yn ol,
  Wrth dreulio 'n ffol fy *Amser?*

Pe gwyddwn rif y sêr bob un,
  Eu lliw, a'u llun, a'u pellder;
Gwell gwybodaeth, a mwy braint,
  Ystyried maint fy *Amser.*

Pe medrwn ieithoedd pobloedd pell,
  Heb neb yn well eu ffraethder;
Doethineb byd i gyd yn grwn,
  Beth dalai hwn heb *Amser?*

"'Rwy 'n goddef cam," medd hwn a'r llall,
  "Pa beth, ai dall cyfiawnder?"
Na, byr y bydd, daw boreu i ben
  Y gwelir dyben *Amser.*

Y truan bach mae troion byd
  Mor ynfyd hefyd ofer;
Yn dwyn dy feddwl, beth a wnai?
  Nid byth y cai di *Amser*.

Pwy mor ffol a dd'weda, "y byd
  "Sydd imi o hyd yn flinder?"
Ni fydd hyd dy fyd di fawr,
  Oes genyt awr o *Amser?*

Dyfyrwch a phleserau byd,
  Eu cael i gyd a'u harfer;
Pa beth a dalant, wagedd mawr?
  Rhyw fynyd awr yw *Amser*.

'Dyw oes y byd ond ysbaid bach,
  Rhyw leiach yw o lawer
Yr oes a roed i ddyn i fyw,
  A hyny yw ei *Amser*.

Poenoll hwnt gagenfôr mawr
  Mewn chwerw dirfawr drymder,
Y mae rhyw dorf, a'i hechryn gri
  Yw, "Gwae fi golli *Amser*."

Ni fyddaf faith, ni chanaf fi,
  Rhag bod i ti yn flinder;
A phe b'ai y gân yn fwyn,
  Ni fynaf ddwyn dy *Amser*.

ELLIS OWEN.

*Cefn y Meusydd.*

---

## LLINELLAU

AR SYLWEDD PREGETH A DRAODODWYD GAN Y PARCH. E. EVANS, ODDIWRTH CANIAD SOLOMON, PEN. V. 16. YN EGLWYS CLYNNOG, GORPHENAF 25, 1830.

---

*"Dyma fy anwylyd, dyma fy nghyfaill, O ferched Jerusalem."*

---

NODWEDDIAD Cristion didwyll da,
  Yr hwn ni rodia 'n ynfyd,
Yw caru Crist, yr Oen difai,
  Ei Gyfaill a'i Anwylyd.

Ei garu am mai cariad pur
  Sydd yn ei natur hyfryd;
Rhêd ei ddaioni 'n ffrwd ddi drai,
  Ei Gyfaill a'i Anwylyd.

Disgleiria mewn sancteiddrwydd llawn,
  A chyfiawn harddwch hefyd,
Ac nid â'r llewyrch byth yn llai,
  Ei Gyfaill a'i Anwylyd.

Ei garu am mai addas yw
  I ddynolryw mewn adfyd;
A hoff yw ganddo drugarhâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

Pan lefont arno, clyw eu llais,
  Ystyria 'u cais am fywyd;
A digon yw; cânt eu fwynhâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

Ei garu am ei roddion llawn
  Mae pawb o uniawn yspryd;
Cânt o'i ddaioni 'n ddi nacâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

O! 'r fath ragorfraint ydyw hon
  I dawel Gristion diwyd;
Cael Duw ac nid creadur gwag,
  Yn Gyfaill ac Anwylyd.

Er mwyn ei bobl, ar agwedd gwas
  Aeth Rhoddwr gras a bywyd;
Ei waed tywalltodd i'w glanhâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

Mae 'n Hollalluog, ni thry 'n ol,
  Fe'u dwg i ganol gwynfyd;
Un cadarn ydyw i iachâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

Anghyfnewidiol yw, paham
  Yr ofnant am eu bywyd?
Ni edy hwynt, ni wna 'u casâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

Pan soddant dan eu trallod trist,
  I'r lân eu Crist a'u cyfyd;
A dyry nerth i'w cadarnhâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

Mae 'r sawl a'i câr yn ufuddhâu
  I'w lân gyfreithiau hefyd;
Eu serch i'w achos sy'n cryfhâu,
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

Ac wedi gorphen gyrfa fèr,
  A darfod amser bywyd;
Cânt yn y Nef am byth fwynhâu
  Eu Cyfaill a'u Hanwylyd.

EBENEZER.

*Clynnog.*

---

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

---

## TRAMOR.

---

### TERFYSG YN POLAND.

DERBYNIWYD newyddion tra phwysfawr o Poland. Nos Lun, Tachwedd 29ain, cyfododd terfysg yn Warsaw. Dechreuodd ym mysg 600 o'r gwŷr ieuainc yn yr ysgol filwraidd, y rhai a ymarfogasant, ac a aethant allan i alw ar eu cyd-ddinasyddion, ac ymosodasant ar y lle y cedwid yr arfau, ac mewn tair awr llwyddasant i'w gymmeryd. Rhanasant arfau i'r werinos: rhai byddinoedd o'r milwyr a unasant â'r terfysgwyr, a chychwynasant i ymosod ar balas y Duc Constantine, yr hwn a ddiangodd i *Praga*, gyda nifer o'i osgorddion. Cymmaint oedd llid y terfysgwyr fel y llofruddiwyd bagad o filwyr am ommedd rhoddi arfau i'r werinos. Lladdwyd 40 o *Colonels*, wrth ymdrechu cadw y milwyr mewn ufudd-dod. Tybir yn Warsaw y bydd i'r holl filwyr ymuno â'r terfysgwyr. Y Cadfridog Klopecki a ddewiswyd i fod yn flaenor ar y byddinoedd, yr hwn sydd yn ymdrechu i adferu tawelwch. Dywedir fod ganddo 16,000 o filwyr dan ei lywyddiaeth. Y mae Gosgorddion Gwladol yn cael eu trefnu. Y Gweinidogion a drefnwyd gan Ymerawdwr Rwssia a gymmerasant arnynt lywodraethu y deyrnas, gan gydnabod awdurdod yr Ymerawdwr, ar yr ammod fod y ddelwy

deyrnas i gael eu gwahanu, ac na fydd i fyddin Rwssiaidd ymsefydlu yn Poland. Pa effaith a gaiff y terfysg hwn ar ansawdd Ewrop, ni ellir rhag-fynegi; ond os bydd i Rwssia ymdrechu eu gorthrechu, mae 'n debyg y bydd i'r Polandiaid ymofyn am gymmorth o Ffraingc.

## SWITZERLAND.

Torodd terfysgiadau allan mewn gwahanol barthau o Switzerland: ac y mae Llywodraeth Berne wedi cael ei diddymu gan y werinos. Yr holl Daleithiau ydynt mewn cyflwr tra aflonydd. Eu dymuniad ydyw cael diwygiad yn y Llywodraeth. Y mae 'r Pabyddion yn bwriadu ymadael o'r wlad gan gymmaint yw llid y trigolion tu ag atynt.

## YR ISELDIROEDD.

Nid oes dim newyddion pwysfawr wedi cyrhaedd o'r wlad anffodus hon. Y trigolion ydynt wedi penderfynu na chaniatânt i neb o aelodau y Teulu Breninol lywodraethu arnynt: ond nid ydynt wedi cytuno pwy a ddewisant i'r swydd oruchel hon. Nid oes dim tebygolrwydd y bydd i'r deyrnas hon, na theyrnasoedd ereill, ymyraeth âg ymrafaelion y Belgiaid.

## FFRAINC.

Nid oes braidd sôn am ddim arall yn Newyddiaduron Ffrainc ond am brofiad gweinidogion Siarls X. yr hyn ni fyddai o fawr fudd i'w adrodd i ddarllenwyr y Gwyliedydd yn gyffredinol. Sonir mewn perthynas i Poland, os bydd i lywodraethau Prwssia ac Awstria gytuno i gynnorthwyo Rwssia yn yr ymdrech i ddarostwng y Pwyliaid, yr ystyrir hyny gan Ffrainc megys cyhoeddiad rhyfel.

# CARTREFOL.

## Y SENEDD.

### DIWYGIAD YN Y SENEDD.

Dydd Llun, Tachwedd 22. *Ardalydd Lansdown*, wrth gynnyg eirchiau o Glasgow am ddiwygiad yn y Senedd, a fynegai ei gydsyniad â dymuniadau yr Eirchiaid. Golygai mai nid priodol oedd i'r trefydd mawrion fod heb Gynnrychiolwyr; a chefnogai unrhyw gynllun o ddiwygiad a dueddai roddi iddynt y fraint o ddethol Cynnrychiolwyr. Tyblai fod yr amser wedi dyfod pan y dylai y Senedd gymmeryd y mater hwn dan ei sylw.

Iarll Grey a gofleidiai yr hamdden presenol i draddodi yn fyr yr hyn a'i cymmellodd i dderbyn y swydd oruchel a gynnygiwyd iddo gan ei Fawrhydi. Mewn perthynas i ddeisyfiad yr Eirchiaid o Glasgow, nid rhaid iddo ef ddywedyd ond ychydig: yr oedd ei olygiadau ef ar y testun hwn yn hysbys i'w gydwladwyr. Yn wir, cymmerodd achlysur ar y noswaith gyntaf o'r Sessiwn i ddatgan ei dybiadau, a haerodd y pryd hyny, pan nad oedd yn un o Swyddogion y Brenin, yr hyn a haerai yn awr, fod yn angenrheidiol i'r Llywodraeth gymmeryd o dan ei sylw yn ddiatreg y modd y cynnrychiolir y werinos yn Nhŷ y Cyffredin, i'r dyben i ddiwygio y diffygiadau a ddygodd amser i mewn, ac er adferu ymddiried y bobl yn ei ymgynghoriadau. Hysbysasai y pryd hyny nad oedd efe o nifer y rhai a gefnogent y cynlluniau hyny o ddiwygiad, y rhai a dueddant i anllywodraeth a therfysg. Ni chefnogodd erioed yr egwyddor o oddef i bob dyn gael llais yn newisiad Seneddwyr. Dymunai sefyll gymmaint ag a allai at hen sefydliadau y deyrnas: a chan deimlo fod rhyw ddiwygiad yn anhebgorol, dymunai wneuthur cymmaint a hyny o ddiwygiad ag a ddiogelai i'r bobl ddylanwad dyledus yn y Senedd, lle y cynnrychiolir hwynt yn fwy arbenig; a thrwy y moddion hyn a adferai hyder ym mhenderfyniadau y Senedd, heb yr hwn ni allai y Llywodraeth fyned ym mlaen gyda chysur a diogelwch. Diwygiad o'r fath hyn a ddymunai weled, ac nid y cyfnewidiad mawr a disymmwth a dueddai i aflonyddu, os nad i ddadymchwel sefydliadau y wladwriaeth. Wrth draethu ei dybiadau hyn, addas oedd iddo ddatgan ei amcan i wrthwynebu y cyfnewidiadau hyny, pe gwneid hwynt, a achosent anghydfod, yn lle cytundeb a theimlad da, rhwng dau dŷ y Senedd. Ychwanegai fod ei Fawrhydi wedi caniatâu iddo ddweyd, nad oedd ei Fawrhydi yn erbyn y cyfryw ddiwygiad. Wedi amlygu ei feddwl ar y testun hwn, âi ym mlaen i ystyried materion ereill mor bwysfawr a hwn. Mewn perthynas i ansawdd y wlad, gallai sicrhâu y byddai i anghenion y tlodion ddenu sylw cyntaf a manylaf y Swyddogion. I ddiwallu yr eisiau hyny fyddai eu hymdrech cyntaf: ond rhaid iddo ddywedyd, ei fod ef, a'i gyd-swyddogion oll, yn hollol benderfynu i roddi i lawr bob terfysg yn llym, hyd eithaf y gyfraith. Dilys ganddo mai llymder ar y cyntaf oedd y ffordd oreu i rwystro lledaeniad aflonyddwch. Er mor awyddus oedd i leihâu anghenion y wlad, dymunai i bawb wybod yn eglur, na fyddai dim diffyg eofndra ar ran Swyddogion y Brenin

i orthrechu y terfysgiadau, yn y rhai y twyllwyd pobl Lloegr—maddeued Duw iddo am ddwyn cyhuddiad mor ddisail yn eu herbyn—rhai o honynt i fod yn gyfranogwyr, gan mai effaith y cyfryw derfysgiadau fyddai dinystrio yn hylwyr bob moddion i roddi gwaith i'r tlodion pan yr oeddynt yn grwgnach o'i eisieu. Hwyrach iddo ddyweyd digon am amgylchiadau tufewnol y wladwriaeth, oddieithr un—sef, lleihâd pob traul afreidiol. Bwriad diysgog y Swyddogion, oedd gadael pob sefydliad anhebgorol er cynnaliaeth a nerth y Llywodraeth: ond ar yr un pryd nid oeddynt yn bwriadu peidio tòri ymaith oddiwrth y sefydliadau hyny bob peth a ellid, heb fod yn niwed i'r wladwriaeth. Nid oedd ond un peth arall iddo sylwi arno—perthynas y wlad hon â theyrnasoedd y Cyfandir. Teimlai efe, a'i gydswyddogion, mai eu dyledswydd fyddai coleddu heddwch trwy bob moddion cydsyniol âg anrhydedd y deyrnas. Mewn perthynas i ansawdd amgylchiadau y Cyfandir, dywedais o'r blaen mai dyledswydd Lloegr yw gommedd ymyraeth â hwynt mewn modd yn y byd. Rhwng dwy deyrnas fel Lloegr a Ffraingc dylai fod, ac nid amheuai na ffynai yr undeb agosaf yn eu hymddygiadau tu ag at deyrnasoedd ereill. Afreidiol fyddai iddo ychwanegu, oddieithr iddo ddatgan ei ddiolch am yr hyder a'r hynawsedd a ddangosodd ei Fawrhydi tu ag ato ef, yr hyn a'i galluogodd ef i ddewis dynion mor alluog i fod yn gyd-swyddogion âg ef.

Iarll Radnor a haerai, os na wnai Diwygiad Seneddol y Llywodraeth ddim ond rhoddi Cynnrychiolwyr i drefydd mawr, a pharhâu y bwrdeis-drefi bychain a distadl, na roddai foddlonrwydd i'r wlad yn gyffredin.

Arglwydd Wharncliffe a ddywedodd, mai ffolineb fyddai i'r Swyddogion ymdrechu rhwystro Diwygiad yn y Senedd: ac os byddai i *Iarll Grey* gyflawni y cwbl a amcanai—diwygio y diffygion yn y Senedd, a chynnal yr Unbennaeth o hen Sefydliadau y deyrnas—byddai iddo ef ei gynnorthwyo â'i holl egni.

Iarll Carnarvon a haerai, mai nid Diwygiad yn y Senedd a ddiwallai angenrheidiau y tlodion. Gobeithiai y byddai i'r Swyddogion olrhain i'r pwngc hwn, a chael allan ryw foddion i roddi gwaith i'r tlodion.

Dydd Llun, Tachwedd 29. Arglwydd Wynford a ddywedodd, iddo glywed, gyda boddlonrwydd mawr, am benderfyniad Swyddogion ei Fawrhydi i olrhain i anghenion, a rhoddi i lawr y terfysgiadau yn y deyrnas: a gofynodd, a amcanai y Swyddogion gynnyg rhyw fesur yn y Senedd er chwilio i helaethder ac ansawdd yr angen a'r eisiau a bwysai ar y tlodion: ac hefyd, a amcanent gynnysgaeddu yr Ynadon Heddwch â mwy o awdurdod, i'w galluogi hwynt i roddi terfyn ar yr aflonyddwch.

Iarll Grey a atebodd, fod anghenion y wlad wedi bod dan sylw parhaus Swyddogion y Brenin er pan ddaethant gyntaf i'w swyddau. Nid ei fwriad oedd cynnyg Cyfeisteddiad Seneddol i olrhain y peth: ac ni thybiai fod un angenrhaid i helaethu awdurdod yr Ynadon. Ym mharthau mwyaf terfysglyd y deyrnas, tybiai fod awdurdod yr Ynadon yn ddigon i adferu llonyddwch; ac ni ddymunai ehangu awdurdod yr Ynadon, os na byddai hyny yn hylwyr angenrheidiol. Eithr os dygwyddai y cyfryw anghenrhaid, gobeithiai na fyddai efe yn esgeulus i ofyn i'r Senedd am gymmaint o awdurdod ag a dybid yn ddigonol.

Yr Arglwydd Ganghellwr (*Arglwydd Brougham*) a gydsyniodd yn hylwyr â golygiadau ei gyfaill ardderchog. Tybiai mai hollol anfuddiol fyddai gwneyd cyfreithiau newydd i roddi i lawr derfysgiadau a barhaent ond am ychydig cyn i effeithioldeb y cyfreithiau presenol gael ei brofi. Yn y cyfamser defnyddir pob moddion, drwy roddi mewn grym y cyfreithiau er attal y terfysgiadau ag ydynt yn peri ammharch mawr ar yr ardaloedd y dygwyddant ynddynt. Nid oedd gwirionedd mwy anwadadwy na hyn, sef, po mwyaf yr aflonyddir yr heddwch, mwyaf yn y byd fyddai angen y rhai hyny ag ydynt yn awr yn gorwedd dan bwys tlodi ac eisiau. Ofnai fod lliaws o foneddigion cyfaddas i lenwi swydd Ynad Heddwch wedi cael eu hanghofio; a chynghorai *Lord Lieutenant* pob Swydd i beidio colli amser cyn rhifo y cyfryw foneddion ym mhlith yr Ynadon.

Iarll Eldon a fynegai ei dyb fod awdurdod gan yr Arglwydd Ganghellwr i ddewis y sawl a ewyllysiai i fod yn Ynadon Heddwch; ond yr oedd o'r pwys mwyaf i'w Arglwyddiaeth gael cyngor y rhai a wyddant yn dda am nodweddiad y cyfryw ddynion ag a gynnygir i fod yn Ynadon. Mewn perthynas i'r aflonyddwch yn amrai barthau o'r wlad, dylid arferu y gofal mwyaf wrth ymdrin â materion mor beryglus. Clywai, gyd â'r boddlonrwydd mwyaf, fod Barnwyr wedi cael eu hanfon i'r ardaloedd terfysglyd o un pwrpas i egluro y gyfraith i'r bobl.

Yr Arglwydd Ganghellwr a ddywedodd, na feddyliodd erioed i ymyraeth â Rhaglawiaid y Swyddau—ond yn unig i awgrymu fod enwau rhai boneddion wedi cael eu cau allan o restr yr Ynadon. Rhoddodd rybydd y dygai i fewn Ddydd Iau gynnygiad "*er hyrwyddo gweinydd-*

iad cyfiawnder drwy sefydliad Llysoedd Cyfleol (*Local Courts*)." Dygai y mesur hwn dan eu sylw mor fuan fel y gallent gael digon o amser i'w ystyried.

Arglwydd Melbourne a gydsyniai â'r hyn a ddywedodd yr Arglwydd Ganghellwr ynghylch detholiad yr Ynadon. Tybiai fod llawer o'r terfysgwyr yn hylwyr anhysbys o ansawdd eu troseddau; a chredai mai anghenrhaid oedd i'r gyfraith gael ei hegluro i'r cyfryw ddynion. Gobeithiai y rhoddid y gyfraith yn ei grym, er attal yr aflonyddwch: ond lle yr ymddengys fod y trueiniaid wedi cael eu harwain i dòri yr heddwch gan ddynion drwg, dylid gweinyddu y gyfraith mewn modd mor llarlaidd ag a fyddai bosibl. Eithr os taenai y terfysgiadau, penderfyniad diysgog Swyddogion y Brenin oedd i'w rhoddi hwynt i lawr, i gynnal heddwch, ac i ddiogelu meddiannau y trigolion.

Duc Wellington a haerai, nad oedd dim angenrhaid i newid y cyfreithiau presenol. Y terfysgiadau oeddynt o ddau fath—un oedd ymgynnulliad lliaws i aflonyddu yr heddwch—ac nid oedd dadl nad allai y gyfraith rwystro y cyfryw gyfarfodydd. Y llall oedd dinystriad eiddo drwy dân. Ni lwyddodd y Llywodraeth i gael hyd i achoswyr y cyfryw dânau. Tybiai rhai mai tramoriaid oeddynt ddechreuwyr yr holl derfysgiadau; ond nid oedd dim sail fod y dyb hon yn gywir. Cynghorai efe i'r Arglwydd Ganghellwr ommedd ymyraeth â'r Rhaglawiaid yn newisiad yr Ynadon.

Iarll Winchelsea a ddatganodd ei farn, nad tramoriaid oeddynt yn euog o'r troseddau a briodolwyd iddynt. Credai fod y cyfreithiau presenol yn ddigon i ddiogelu heddwch yn y wlad. Gwyddai fod y llafurwyr yn Swydd Kent yn hylwyr anwybodus o echryslondeb y troseddau a gyflawnir mewn amrai barthau o'r Swydd hòno.

TRETH Y TLODION.

Ardalydd Salisbury a ddygodd ym mlaen gynnygiad i'w Harglwyddi ddewis Cyfeisteddwyr i olrhain i weinyddiad deddfau y tlodion. Areithiodd yn hyawdl, gan ddangos yr effaith niweidiol a wna y deddfau hyn ar y tlodion—a'r budd a ddeilliai oddiwrth lafur y Cyfeisteddwyr, drwy ddiwygio y camarferiadau mewn amryw barthau—gwellhau cyflwr a moesau y tlodion.

Iarll Grey a ddisgwyliai y byddai cynnygiad yr Ardalydd yn lles mawr i'r wladwriaeth; am hyny cefnogai y cynnygiad yn wresog.

Wedi hyny dewiswyd 21 o Gyfeisteddwyr i olrhain i'r modd y gweinyddir y deddfau ynghylch y tlodion.

## TY Y CYFFREDIN.

LLEIHAD TRAUL Y WLADWRIAETH.

Dydd Mawrth, Rhagfyr 7. Canghellydd y Trysordy a fynegodd ei fwriad i gynnyg Ddydd Iau nesaf, fod Cyfeisteddwyr Arbenig i gael eu penodi i olrhain pa faint y gellir lleihau cyflogau Swyddogion y Brenin, y rhai ydynt Aelodau o'r Senedd. Ar yr un pryd rhoddodd rybydd, y cynnygiai fod i'r Cyfeisteddwyr ganiatâu i'w Fawrhydi gymmaint o arian ag a'i galluogai i gario ym mlaen achosion y deyrnas. Tybiai fod y Senedd yn hysbys i Swyddogion presenol y Brenin anghymmeradwyo y modd y trefnwyd y cyfrif am draul y deyrnas gan y Gweinyddwyr diweddaf. Hyderai y goddefai y Tŷ iddo ef, a'i gyd-swyddogion, gael digon o amser i olrhain i'r pwngc hwn, ac i drefnu y modd y gwneir y cyfrif hwn rhagllaw. Yr oedd yn amlwg i bawb nad allai efe, heb gael amser, olrhain y peth hwn mewn modd a foddhai y Senedd, ac a foddhai y wlad yn gyffredin. [Yn ddioed ar ol y Gwyliau, dygai efe ei gynnygiad ym mlaen.]

Mr. G. Dawson a ddywedodd, na wrthwynebai efe Weinidogion ei Fawrhydi. Dymunai ofyn un peth iddynt—A oedd Syr Anthony Hart ar fedr rhoddi ei swydd i fynu, sef Canghellydd yr Iwerddon:—os oedd—pa un ai yn wirfoddol neu beidio, gan y byddai iddo gael *pension* o £4000 yn y flwyddyn.

Canghellydd y trysordy oedd yn analluog i ateb y gofyniad.

Mr. J. Wood a ddatganai ei ddywenydd pan glywodd gynnygiad Canghellydd y Trysordy; a hyderai yn fawr y rhoddai foddlonrwydd, nid yn unig i'r Senedd, ond (yr hyn oedd o'r pwys mwyaf) i'r wlad yn gyffredin. Nid oedd dim yn fwy rhesymol nag i'r Swyddogion gymmeryd amser i edrych i ba gymmaint y gallant leihau traul y deyrnas.

CYFREITHIAU HELWRIAETH.

Ar y cynnygiad fod i'r Ysgrifen berthynol i Helwriaeth gael ei hail-ddarllen,

Mr. Fyler a achwynai yn erbyn y modd aneglur yr ysgrifenwyd y Weithred. Yn ei farn ef, addas fyddai ystyried pob un a dueuai i dir gwr arall â dryll yn ei law fel troseddwr. Yr oedd yr holl gyfreithiau yn gyfeiliornus mewn perthynas i gymmwysderau. Pe byddai gan ŵr £100,000 yn y Gyllidfa, ni allai saethu na hela; ond gallai swyddog milwraidd wneuthur hyny, am fod y Brenin wedi ei osod yn y swydd hòno.

Colonel Wood a gefnogai y Weithred, er nad oedd yn hylwyr gydsyniol â'i olygiadau ef. Y ddau brif bethau a ofynwyd oeddynt, gwneyd gwerthiad adar ac ys-

gyfarnogod yn gyfreithlawn, fel y gellid diwallu y wlad, a gwneuthur y gyfraith i'r cyfoethog a'r tlawd yr un futh.

Arglwydd J. Russell a dybiai fod y Weithred bresenol yn well na'r un a fu o'r blaen, er nad oedd mor eglur ag y dymunai. Am dano ei hun, ei farn ef oedd, i'r cyfreithiau hyn fod yn dra niweidiol i'r wlad. Gobeithiai y diwygid yr Ysgrifen yn yr Eisteddfod yn y fath fodd ag i allu-ogi y Senedd i wneuthur rhywbeth er dileu y gwaradwydd hwn oddiar ein gwlad, rhywbeth i gymmodi gwerinos Lloegr â chyfoethogion y deyrnas.

Mr. Warburton a gyd-lawenychai â'r Senedd a'r deyrnas fod yr amser wedi dyfod i ddileu y cyfreithiau hyn—y cyfreithiau mwyaf gwarthus a wnaethpwyd erioed. Y cyfreithiau hyn a lanwant ein carcharau â dynion dieuog o droseddau yn haeddu y cyfryw gospedigaeth; ac er nad allai gymmeradwyo yr Ysgrifen hon yn hollol, etto, cefnogai hi yn wresoglawn. Ni wyddai am un wlad lle yr oedd cyfreithiau helwriaeth cyffelyb i'n rhai ni, oddieithr yn un o Ynysoedd y Môr Tawel. Darllenodd, yn hanes y Tonga Islands, fod y llygod mawr yn cael eu cadw yno fel y cedwir ysgyfarnogod yn y wlad hon: ac er y caniateir i bawb fwyta llygod mawr, etto nid yw gyfreithlawn i neb eu lladd, oddieithr disgynyddion eu breninoedd a'u duwiau.

Arglwydd Althorp, Canghellydd y Trysordy, a gydsyniai â holl ddywediadau ei gyfaill ardderchog *(Arglwydd Russell)*: a gallai sicrhau iddo y teimlai y Llywodraeth yn ddedwydd i gyd-weithredu âg ef i wneuthur unrhyw ddiwygiadau yn yr Ysgrifen. Teimlai yn ddiolchgar fod yr Ysgrifen wedi cael ei dwyn i mewn. Goreu po gyntaf y newidir y cyfreithiau hyny ag ydynt yn llenwi ein carcharau â dynion iachus a heini, yn eu hyfforddi mewn drygioni, yn gwneuthur iddynt gymdeithasu â throseddwyr, ac yn eu troi hwynt yn rhydd wedi caledu i gyflawni pob trosedd.

Wedi hyny darllenwyd hi yr ail waith.

### ARDRETH AR LO.

Dydd Mercher, Rhagfyr 8. Mr. Wilks a gynnygiodd erfyniad o dref Lincoln am ddiddymiad o'r ardreth ar lo a drosglwyddir ar y môr o'r naill barth o Brydain i'r llall.

Mr. Ormsby Gore a gydsyniai yn hollol â'r erfyniad. Nid allai un dreth fod yn fwy anghyfiawn ar drigolion y parthau hyny ag oeddynt ym mhell oddiwrth y gweithiau glo. Yr oedd y dreth hon, nid yn unig yn niweidio diwydrwydd y deyrnas, drwy fod yn faich ar berchenogion amryw weithfâau, ond hefyd andwyai iechyd y tlodion: oblegid ceir bob amser fod clefydau tost yn ffynu yn y parthau hyny lle y mae y tanwydd yn ddrud. Os na chymmerai neb arall y pwngc mewn llaw, amcanai ei ddwyn dan sylw y Senedd yn fuan ar ol y Gwyliau.

Mr. O'Connell a dybiai y byddai diddymiad o'r dreth hon er lles mawr i Loegr a'r Iwerddon.

Dydd Iau, Rhagfyr 9. Canghellydd y Trysordy a gynnygiodd fod Cyfeistedd-wyr i gael eu dewis i chwilio i ba gymmaint y gellir lleihau cyflogau Gweinidogion y Brenin. Yr oeddynt yn dymuno lleihau eu cyflogau eu hunain, fel y gallent alw ar ereill i wneuthur yr un modd—er eu bod yn teimlo nad ellid disgwyl ond ychydig o les i'r wlad mewn ffordd o leihad yn y draul; ond rhydd foddlonrwydd i bawb fod y Gweinidogion yn ddiffuant yn eu hymdrechiadau.

---

### TERFYSGIADAU.

Y terfysgiadau a soniasom am danynt yn ein Rhifyn diweddaf ydynt wedi cyrhaedd amrai o Siroedd yn Lloegr, a dinystriasant lawer o eiddo amaethyddion, ea hydoedd a'u peiriannau dyrnu, gan eu bod yn tybied mai yr offerynau hyn a achosent eisieu gwaith, a chyflogau isel i nifer o lafurwyr. Ond trwy ddyfalwch y llywodraeth yn anfon milwyr i'r ardaloedd terfysglyd, ac eofndra yr Ynadon a'r Boneddion, rhwystrwyd llawer o derfysgiadau, daliwyd y blaenoriaid, a thaflwyd hwynt i garchar, ac anfonwyd Barnwyr yn unswydd i'w profi. Cafwyd llawer yn euog; alltudiwyd rhai, a charcharwyd ereill. Ammhossibl fyddai adrodd y terfysgiadau a ddygwyddasant y'mhob man, am hyny hysbyswn ond ychydig.

*Swydd Lincoln. Spilsby.* Y tânau ydynt yn cynnyddu yn y gymmydogaeth hon. Dinystriwyd gwerth can punt o eiddo gwr boneddig. Yn *Rasen* llosgwyd naw tâs o ŷd, gwerth chwe chant o bunnau, eiddo un Mr. Moore.

*Swydd Huntingdon. Alconbury.* Yr ardal hon a fu yn bur derfysglyd am rai dyddiau. Ymgyrchodd tyrfaoedd o dri i bedwar cant o ddynion, a distrywiasant lawer o beiriannau. Daliwyd 30 o'r terfysgwyr.—*Huntingdon.* Y mae y gymmydogaeth mewn terfysg mawr o achos distrywiad peiriannau gan derfysgwyr: cymmerwyd 50 o honynt.

*Swydd Bucks. High Wycombe.* Ymgynnullodd tyrfa fawr o derfysgwyr yn y gymmydogaeth hon wedi eu harfogi â bwyill, morthwylion, &c. ac aethant tua melin bapur y Meistri Lane; ac wedi tori y pyrth a'r drysau, rhuthrasant i mewn i'r adeilad, a dinystrasant yr holl beiriannau. Cyrch-

ilsant oddi yno tua melin arall tu draw i'r dref, yr hon a ddinystriwyd yn yr un modd. Heb eu boddloni yn hyn, aethant at felin bapur arall. Ymdrechodd y meddiannydd eu lluddias i ruthro i fewn drwy sicrhau iddynt ei fod wedi tynu ei beirianau i lawr, fod ganddo 60 o weithwyr, ac os dinystrid ei felin, byddai y rhai hyn allan o waith; ond ni lwyddodd i'w boddloni, a dechreuasant ddinystrio y cwbl. Daeth Ynad yno, a darllenodd y *Riot Act*. Wedi hyny aeth y lliaws tua thŷ amaethydd, gan yr hwn yr oedd peiriant dyrnu, torasant ef yn chwilfriw. Dinystrasant amrai o beirianau ereill. O'r diwedd daeth y Prif swyddwr, ynghyd â lliaws o foneddion, y rhai a wrthwynebasant y terfysgwyr; ac ar ol brwydr dost, llwyddasant i ddal deg o'r terfysgwyr, y'mhlith y rhai yr oedd y blaenor, yr hwn sydd yn hollol ddieithr yn y gymmydogaeth hôno. Tybir fod yr eiddo a ddinystriwyd yn werth deuddeg cant o bunnau.

*Swydd Caerwrangon*. Rhag. 10. Gan fod gwneuthurwyr nodwyddau yn *Redditch* yn defnyddio peiriant i dreiddio crai y nodwyddau, ymgynnullodd lliaws o'r llafurwyr yr wythnos ddiweddaf, a dinystrasant y peirianau hyny. Aeth Iarll Plymouth â bagad o geisbyliaid i wasgaru y dorf, a llwyddasant i ddal chwech o'r blaenoriaid, y rhai ydynt yn awr y'ngharchar. Pump ereill a garcharwyd am ddinystrio peiriant dyrnu yn perthyn i amaethydd yn ymyl Doddingtree.—Ynadon y Swydd ydynt yn olrhain i achos dra pheryglus dau wr ieuangc o'r enwau George Brown a —— Atkins. Y cyntaf sydd fab i gludydd ac ŷd-werthydd parchus yn Tewkesbury; a'r llall yn fab i ŷd-werthydd yn Banbury. Ymddengys iddynt wrth ymdeithio mewn cerbydau o Droitwich i Bromsgrove ymofyn am anneddle y Parch. Mr. Biggs, a gorchymynasant i ddyn tylawd ag oedd ar y ffordd i rybuddio Mr. Biggs i wylied ei deisi ŷd, onidê y llosgid hwynt. Y dyn a hybysodd hyn i Mr. Biggs, yr hwn a benderfynodd ddilyn y dynion, gan iddo ychydig ddyddiau cyn hyny dderbyn llythyr oddiwrth "*Swing*" yn bwgwth yr un peth. Daliwyd y ddau langc; carcharwyd hwynt, a holwyd hwynt amryw weithiau. Tybir iddynt wneuthur hyn er digrifwch; ond ni ellir eu rhyddhâu o garchar heb ganiatâd swyddogion y Brenin: ac y mae lle i feddwl mai hwy oeddynt ysgrifenwyr y llythyr a arwyddwyd "*Swing*" a dderbyniodd yr offeiriad uchod; os felly, yr ydys yn ofni y rhaid iddynt dalu yn ddrud am eu digrifwch: dim llai na'u heinioes!

*Swydd Gloucester*. Bwriwyd 16 o derfysgwyr i garchar ddydd Sadwrn, y 4ydd o Ragfyr, am dori a llosgi peiriant dyrnu a fenthyciasid gan amaethydd yn Telbury oddiar gymmydog iddo. Ar yr un pryd yr oedd terfysgiadau mewn amrai o'r ardaloedd cylchynol, a llwyr ddinystriwyd dros ugain o beirianau. Y dydd Llun canlynol yr oedd lliaws terfysglyd i ymgyrchu i gymmydogaeth Southdrop; ond gan fod eu bwriad yn hysbys i'r Anrhydeddus Mr. Moreton, casglodd y gwr boneddig hwn nifer o foneddion a cheisbyliaid: a phan oedd y terfysgwyr ar ddechreu ar eu gwaith dinystriol, rhuthrodd Mr. Moreton arnynt, daliodd amrai, a gwasgarodd y lleill. Bwriwyd 29 o honynt i garchar. Oddeutu yr un amser coddodd terfysg yn Bibury. Dinystriwyd nifer mawr o beirianau; ond trwy ymddygiad dewr y boneddion, daliwyd 15 o'r terfysgwyr, a bwriwyd hwynt i garchar.

*Swydd Henffordd*. Cafodd ŷd yn perthyn i amaethydd yn nghyffiniau tref Henffordd ei losgi yn ulw yn nechreu Rhagfyr; ond ni chafwyd hyd i'r adyn a'i hachosodd.

*Swydd Wilts*. Y mae uwchlaw 260 o garcharorion y'ngharchar Devizes, y rhai ydynt yn euog o godi terfysg, a dinystrio peirianau.

*Swydd Derby*. Yn fore ddydd Sul, y 5ed o Ragfyr, rhoddwyd tâs o ŷd ar dân yn *Eyton*, oddeutu saith milltir o *Nottingham*. Derbyniwyd amryw lythyrau bygythiol yn yr ardal hon.

Ar nos Iau, yr 2fed, llosgwyd tŷ a meddiannau Mr. Lovedren yn *Kempton*. Y dydd canlynol llosgwyd teisi gwair yn *Denton*; a'r nos sul wedi hyny llwyr ddifethwyd amaethdŷ gan dân yn *Cumner* yn Swydd Rhydychain.

*Ashton-under-Lyne*. Ymgynnullodd rhai miloedd o wehyddion ddydd Sadwrn, y 4ydd o Ragfyr, i wrthwynebu eu meistriaid i ostwng eu cyflogau. Trefnasant eu hunain fel milwyr; rhodiasant yn rheolaidd trwy'r heolydd â baneran triliwiawg yn chwifio uwch eu penau. Os na chydsynia y meistriaid â chais y gweithwyr, ofnir y teflir o 30 i 40 mil o wehyddion allan o waith.

Ychydig nosweithiau yn ol llosgwyd tâs o ŷd o eiddo y Dug Wellington, er i'r Dug osod chwech o ddynion y dydd, a deg bob nos, i warchadw ei feddiannau. Oni buasai i'r gwynt droi ni's gallasid arbed llawer ereill o deisi rhag llosgi. Gwelwyd dau ddyn oddeutu y lle y dydd o'r blaen, ac un o honynt a ofynai i ryw ddyn, eiddo pwy oedd y teisi hyny? a chan fod y dyn yn cymmeryd arno na wyddai, "O," ebe y llall, "y mae y cwbl oddeutu yma yn perthyn i'r Dug."

Dywedir fod 11 o deisi ŷd wedi eu llosgi mewn un noswaith yn Bengeld. Ymddengys i ribyn o bylor gael ei osod o'r naill dâs i'r llall.

## CYMRU.

### EISTEDDFOD EDEIRNION.

Tachwedd 5, 1830, Cynnaliwyd Eisteddfod Beirdd, Araithwyr, a Datgeiniaid, dan arwydd y "Derwydd," gerllaw Corwen, Swydd Feirion. Y Parchedig P. W. L. Williams, Periglor Llangar, yn Llywydd. Am chwech o'r gloch cymmerodd y Parchedig Lywydd y Gadair, a thraddododd araith fywiog a brŵdfrydig; sylwedd yr hon sy fel y canlyn:—

Boneddigesau a Boneddigion, Gyfeillion a Chydwladwyr.—Y mae'n hysbys i'r rhan fwyaf o honom fod cynnal Eisteddfodau yn hen arferiad ag sydd etto yn parhâu ym mhlith ein cyd-genedl, er coleddu ac amddiffyn Llëenyddiaeth Cymreig. A phan ddymunwyd arnaf i fod yn Rhaglaw i'r Eisteddfod hon, ni phetrusais rifo fy hun ym mhlith ei ffyddlonaf amddiffynwyr; nid am fy mod yn barnu fy hun yn addas ac yn ddigonol i gyflawni yr un swydd, ond am fy mod yn barod bob amser i gefnogi ac amddiffyn pob sefydliad ag sydd yn tueddu at helaethu gwybodaeth a llesiant i'm gwladwriaeth. Ond y mae un anffawd wedi ein cyfarfod heddyw, oddiwrth ba un yr wyf yn teimlo yn ddwys, sef, absenoldeb y Parch. D. L. Jones, yr hwn ag ydoedd i fod yn Llywydd i'r Eisteddfod hon; ond yr amgylchiad a ddaeth yn anocheladwy, ac felly gosodwyd yn orfodawl arnaf fi i eistedd yn ei le, ac ymdrechaf, hyd y mae ynof, i ddwyn pob peth ym mlaen yn y dull mwyaf deheuawl. Terfynaf yn awr, trwy ddywedyd fy mod yn barod bob amser i weithredu yn llesiant y gwiw Frythoniaid, a hyny tra gwaed yn rhedeg yn fy nghwythenau, ac anadl yn fy ffroenau; a'm hoffus-air yw, ac a gaiff fod, "*Oes y Byd i'r Iaith Gymraeg.*"

Yna adroddodd D. Hughes, Cynwyd, Englynion ar Agoriad yr Eisteddfod; ac areithiodd *Gwerfylyn* ar yr un achos. Yna traddodwyd areithiau ar "*Angau,*" gan Mr. William Jones, Bryn Eglwys, a *Gwerfylyn*. Wedi hyny aed ym mlaen i gyhoeddi y feirniadaeth am y 15 Englyn goreu ar "*Farwolaeth y Parch.* Roger Butler Clough, *A. C.*" barnwyd Edward Jones, Bodorlas, (*Dryw Bach*) ac Edward Evans, Gwyddelwern, (*Iolo Gwyddelwern*) yn gyfartal, a rhanwyd y wobr rhyngddynt; a rhoddwyd Cyfieithiad y Dr. G. O. Pugh o Goll Gwynfa yn ail wobr i D. Hughes, Cynwyd. Am yr Araith oreu er profi "*Pa un ai Tlawd Doeth ni Goludog Balch sy fwyaf llesawl i'r wladwriaeth,*" barnwyd *Gwerfylyn*, a Robert Humphreys, Corwen, yn gyfartal, a rhanwyd y wobr rhyngddynt. Am y Pedwar Englyn goreu ar y "*Cynauaf*" barnwyd Edward Evans, Gwyddelwern, yn fuddugawl. Wedi hir a medrus ymdrech rhwng y Datgeiniaid, barnwyd Robert Jones, Bryn Eglwys, yn fuddugawl. Wrth ddibenu y Cyfarfod areithiodd y Parch. J. E. Hughes, Llangwm, yn hyawdl ar yr achos. A chafodd yr Eisteddfod hon ei dwyn ym mlaen yn y modd mwyaf anrhydeddus, er dirfawr glod i'r Parchedig Lywydd a'r Boneddigion ereill, a chafodd pawb o'r presennolion y boddlonrwydd mwyaf yn ei holl gyflawniadau.

---

*Diwygiad Seneddol*, Dydd Llun, Rhagfyr 13eg, cynnaliwyd cyfarfod yn y Trallwng, i anfon deisyfiad i'r Senedd i ddiwygio y dull presennol o ddethol cynnrychiolwyr, ac i leihau traul y wladwriaeth. Lliaws o foneddigion ac offeiriaid o bob parth o Swydd Drefaldwyn a ymgynnullasant i lysdy y dref; ac oddeutu deuddeg o'r gloch cymmerwyd y gadair gan H. A. Proctor, Ysw. Prif Swyddwr, yr hwn a alwodd ar rai o'r boneddion i annerch y cyfarfod. Cyfododd Wm. Owen, Ysw. Glansevern, ac a areithiodd yn hyawdl am ddwy awr, gan brofi fod achos i ddiwygio y diffygiadau sydd yn y Senedd; fod y dull presennol o ddethol Seneddwyr yn gwneuthur y bobl, yn enwedig trigolion Bwrdeisdrefi, yn ddiog ac anfoesol; a diweddodd trwy gynnyg fod Eirchiad i gael ei anfon o Swydd Drefaldwyn i'r Senedd o barthed y pyngciau uchod. Cefnogwyd y cynnygiad gan T. B. Browne, Yswain, Mellington Hall. Cyfododd y Colonel Davies i gynnyg penderfyniadau ereill, a haerodd y dylid aros nes y gwelai y wlad pa beth a gyflawnai Gweinidogion y Brenin. Cefnogwyd y penderfyniadau hyn gan Panton Corbett, Ysw. Wedi hyn areithiodd y Parch. D. Nihill yn ardderchog o blaid penderfyniadau Mr. Owen. Dilynwyd araeth y gwr Parchedig hwn â bonllefau o gymmeradwyaeth. Y Parchedig T. C. Luxmore, Periglor Guilsfield, a gynnygiodd benderfyniad arall gwahanol i'r rhai blaenorol; eiliwyd hwynt gan T. Price, Ysw. o Gunley. Ar ol i Arglwydd Clive, Syr W. W. Wynn, a'r Gwir Anrhydeddus C. W. W. Wynn, gyfarch y Cyfarfod, penderfynwyd fod i Eirchiad gael ei anfon i'r Senedd yn gydsyniol â chynnygiad Mr. Owen—fod i'r Arglwydd Ganghellydd gynnyg yr Eirchiad i Dŷ yr Arglwyddi, ac Arglwydd Althorpe i Dŷ y Cyffredin.

*Etholiad Seneddwr.*—Dydd Mercher, y 15eg o Ragfyr, etholwyd y Gwir Anrhydeddus Charles W. W. Wynn i fod yn Seneddwr dros Swydd Drefaldwyn.

Dewiswyd D. Pugh, Yswain, Llanerchydol, i fod yn *Recorder* Bwrdeisdref y Trallwng yn lle Iarll Powys, yr hwn a roddodd y swydd i fynu.

# Y GWYLIEDYDD.

## CHWEFROR, 1831.

### PERERINDOD YR AFRADLON.

#### Y GWASTRAFFYDD GLODDESTGAR.

*(Parhad o du dal. 8.)*

3. Mae pechaduriaid yn nghyflwr natur yn afradloni *dydd eu hiachawdwriaeth*. Dydd pwysig! dydd na's gall neb gyfrif ei werth—dydd y derbyn miloedd o rai colledig drugaredd a gras er achubiaeth enaid—a dydd yr esgeulusa miloedd mwy yr iachawdwriaeth fawr, er eu dinystr byth. Y tymmor byr a fedd dyn ar y ddaear, sydd dymmor neillduol. Yma y gwneir y cwbl dros dragywyddoldeb. Yma y rhaid ein creu o newydd, diosg yr hen ddyn, a gwisgo Crist. Yma y rhaid i ni geisio iachawdwriaeth, dychwelyd at Dduw, a'n gwneud yn blant iddo. Yma y rhaid i ni dderbyn bywyd tragywyddol, cymmwysder i'r nef, a gras i'n harwain yno. Ië, dydd iachawdwriaeth yw amser hau; a "pheth bynag a hauo dyn, hyny a fed hefyd." Fel y treuliom ddydd iachawdwriaeth, felly y byddwn dros oesoedd tragywyddoldeb. "Os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch; eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corph trwy yr Ysbryd, byw fyddwch." *Rhuf.* 8. 13. Os saif cymmaint ar iawn dreulio dydd gras, gellid disgwyl y byddai dynion yn llawn gofal am eu bythol gyflwr, yn gweithio allan eu hiachawdwriaeth mewn ofn a dychryn, yn ddiwyd i wneuthur eu galwedigaeth a'u hetholedigaeth yn sicr, yn brysio i'r deyrnas cyn machludo yr haul.

Ond, er gwaethaf peth, ni wnant felly. Mae y rhan fwyaf *yn treulio dydd gras yn ofer*. Maent yn byw yn y byd, fel pe na byddai byd arall. Maent yn synio pethau daearol, yn anghofio Duw, ac yn marw. Trysorant eu trysorau ar y ddaear, yn lle ymgyfoethogi tu ag at Dduw. Rhodiant mewn gwag gysgod, ac ymdrafferthant yn ofer; yn ofalus, yn wir, am lawer o bethau, ond yn esgeulus o'r un peth angenrheidiol—achubiaeth yr enaid anfarwol. A dyma fel ag y mae ym mhlith pob gradd yn y wlad.—Ewch at *y gwyr mawr*, sydd ganddynt ddigon, heb weithio—pa fodd y treulia y rhai hyn ddydd iachawdwriaeth? Yn amlwg, nid trwy barotoi i gyfarfod eu Duw, gan nad yw "Duw yn eu meddyliau;" a gwir grefydd yn llwyr ddirmygus ganddynt—yn eu golwg yn anghymmwys i neb ond i ynfydion ofergoelus. Rhodia y rhai hyn, yn wir, mewn gwag gysgod, mewn elfen ddisylwedd, mewn awyrgylch heintiol. Coeg-ddigrifwch, mwyniant afradlon, a boddhad y cnawd, ydynt yr holl ddedwyddwch a wyddant am dano, a'r holl nefoedd a chwennychant, neu a geisiant. Fel hyn yr ofer-dreulia

y rhai hyn ddydd gras, y collant deyrnas Dduw, ac y syrthiant i fyd o dywyllwch.—Dos yn nesaf at ddynion *masnach*, gwerthwyr nwyfau, maelerwyr *(merchants)* neu lafurwyr; tafl fanwl olwg arnynt, a phwysa hwynt yn nghlorian y cyssegr. Sylwa pa ddefnydd a wnant o'u meddyliau, o'u nerth, o'u hamser, a'u doniau—fel y barnot yn gywir am y modd y treuliant ddydd eu hiachawdwriaeth. Ai nid eglur yw, fod y rhan fwyaf o'r rhai hyn yn claddu eu rhoddion yn y ddaear, yn rhoddi eu serch ar bethau'r byd, yn "synio pethau daearol?" Mae cariad at gyfoeth, a gofalon y byd, yn llanw eu calonau, yn difa eu hamser, ac yn tynu eu sylw gymmaint, fel na feddont un hamdden na thuedd i ofalu am eu gorchwylion ysbrydol a thragywyddol. Felly, â dydd gras heibio, heb iddynt wneuthur un darpariaeth erbyn y byd i ddyfod.—Dos at *y genedl ieuangc*, y rhai sydd etto heb ofalon y byd, a gwel beth y maent hwy yn ei ganlyn. Ym moreu eu bywyd y maent yn llawn egni a bywiogrwydd. Os gadewir hwynt i ddilyn tuedd eu hanian, ânt yn ddiammeu ar gyfeiliorn. Ac yn aml, er yr addysgiadau goreu, torant bob cadwyn i ganlyn gogwyddiad cryf eu calonau llygredig, ac i uno â'r lliaws i wneuthur drwg. Mae ieuengctid pob oes, bron i gyd, yn rhedeg yn yr un llwybr; sef, yn anghofio Duw, yn caru pechod, ac yn gwrthod ystyriaeth. Denant ac annogant eu gilydd i fyw yn afradlon. Yn eu dallineb, a'u hanystyriaeth, rhoddant oreuon eu dyddiau i wagedd ac oferedd; heb feddwl dim am y niwed mawr a wnant i'w heneidiau, trwy grwydro oddiwrth Dduw. Ieuengctid anwyl, aroswch fynyd, a gwrandewch yn astud ar y geiriau dwys hyn:—"Mae dydd gras yn myned heibio, â heibio yn fuan; ac fe allai y machluda yr haul cyn yr achubir yr enaid."—Dos, yn olaf, at *y tlodion llafurus*, a gwel pa fodd y defnyddiant hwy ddydd iachawdwriaeth. Pregethir iddynt yr efengyl, ac amryw a'i gwrandawant yn llawen; canys dewisodd Duw dlodion y byd hwn i fod yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion ei deyrnas. Ond, ym mhlith y rhai hyn, cawn lu oedd yn byw ym mhell oddiwrth Dduw. Llafuriant am y bara a dderfydd, ond nid am y bara a bery i fywyd tragywyddol. Awydd mwyaf y tlodion diras yw, naill ai gochelyd gwasgfa tlodi, neu foddhau eu chwantau â diota a meddwdod. Cam-dreulia y rhai hyn hefyd ddydd gras, a chollant ddau fyd.——Os anghywir y darluniad hwn o ymddygiad pawb, ym mhob gradd, gwrthod ef; ond os cywir, wyla dros dy frodyr pechadurus, sydd yn afradu dydd gras, ac felly yn colli bywyd tragywyddol.

4. Pechod yw *y gwastraffydd gwaethaf*, a'r afradwr mwyaf. Mwy a â i'w gynnal nag i ddiwallu holl eisieu dyn. Mwy yw traul un pechod, na chant o deuluoedd. Haloga, gwastraffa, a difroda bob peth a gyffwrdd. Danfonodd lu o angylion o'r uchelder i fythol boenau. Dyfethodd fyd ym mynwes Adda, pan oedd Adda ym mynwes Duw. Lladdodd Arglwydd y gogoniant; a bydd yn boenydd ei holl weision a'i gariadau byth. Gwel y fath ddifrodwr yw pechod! Pa ddedwyddwch a ddyfethai a pha nifeiri a ddinystria! Gwiddfaa y byd oll dan ei law ddifrodol. Tawdd i'r dim y meddiannau helaethaf. Tyn i'r llawr y palasau gwychaf. Dadymchwel orseddau; a difa deyrnasoedd. Difroda hefyd beth o fwy gwerth na'r cwbl—difroda fywydau dynion, trwy eu cadw rhag ystyried eu gofal a'u gwerth mawr.

Os myni wybod fath ddifawr yw pechod, edrych ar y colledigion yn

*nydd angeu.* Difrodasant bob peth, ac ni feddant ddim, ond pechod, a'i gyflog, sef marwolaeth. Yr oedd ganddynt unwaith ddydd gras; ond treuliasant *hwn*, ac aeth heibio. Meddasent unwaith Sabbothau, i fyned i gynteddau Duw, ac i wrando yr efengyl dragywyddol; ond ofer dreuliasant hyn oll, ac ni's mwynhânt mwy. Pa wastraffwyr a fuont! Difrodasant amser, doniau, nerth, a bywyd; difrodasant foddion gras, ac amryw gyfleusderau er achub yr enaid: ond derfydd pob peth yn awr. Gadawant y byd heb *Dduw*, heb obaith, heb iachawdwriaeth. A oes tlodi tebyg i'w tlodi hwy? Ystyriant hyn, neu beidio, dyma gyflwr pob pechadur sydd heb Grist yn awr angeu. *Treuliasant* y cwbl; ac ni feddant yn awr ddim i'w ddwyn ganddynt i fyd tragywyddol onid euogrwydd, tlodi, a thrueni.

5. Medd plant gras drysorau *na's gallant fyth dreulio.* Gwir gyfoeth parhaus ydyw, na dderfydd. Plant gras yn unig a ymddygant yn ddoeth; gwnaethant ddewis doeth a da. Dewisasant yn drysorau ac yn etifeddiaeth bethau na *dderfyddant*, ond a barhânt yn ddiddiwedd. Dewisasant drysorau mor *anfeidrol fawr*, fel na threuliant fyth; sef "cyflawnder Crist, yn yr hwn y trig pob cyflawnder." Ac mor *ddiogel* eu rhan ag yw yn barhaus. Y mae yn Nghrist, wedi ei sicrhau iddynt trwy "gyfammod tragywyddol, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr." Eu hetifeddiaeth a gedwir iddynt yn y nefoedd; a hwy a "gedwir gan allu Duw, trwy ffydd i iachawdwriaeth." Gwrando gân orfoleddus pob gwir bererin, wrth deithio trwy yr anialwch:—"Duw yw rhan fy enaid, am hyny y gobeithiaf: efe hefyd yw fy iachawdwriaeth." Rhydd Duw annogaeth i'w gân o'r nefoedd, a dywed—"Fy iachawdwriaeth fydd yn dragywydd—myfi yw eich Duw, a chwithau fyddwch yn bobl i mi." Wrth glywed hyn, tania eu calon, ac uchel floeddiant—"Y Duw hwn yw ein Duw ni dros byth ac yn dragywydd: bydd yn arweinydd i ni hyd angeu."

A ofyn neb etto—Pa *fanteision* a fedd plant gras ar blant y byd? Atebwn—Meddant ran lawer gwell, ac etifeddiaeth fwy parhaus. Pan dreulio bydolion eu holl ddâ, ac y delont i'r dim, bydd digon gan blant Duw, digon yn "ei gyflawnder ef, sydd yn cyflawni oll yn oll." Meddant ffynnon bywyd dros fyth, pan y byddo plant y byd, â'u pydewau toredig na ddaliant ddwfr, heb ddefnyn i dori eu syched. Ni pharhâ neb trysorau yn hir, onid trysorau y rhai a gredant yn Nghrist. Pe meddai pobl y byd holl gyflawnder y byd, gwarient ef yn fuan, a deuent i dlodi. Darfodedig yw pob peth bydol; a'r byd ei hun sydd yn myned heibio. Pan suddo'r llong i'r môr, sudda hefyd yr holl nwyddau sydd ynddi, er cymmaint eu gwerth. Pan elo y byd heibio, pa le bydd eich trigfanau, eich trysorau, a'ch etifeddiaethau? Collir hwynt dros fyth.

Gwelwn, ynte, fod pobl y byd, o bob gradd, yn treulio eu bywyd ar y ddaear heb wneud dim ond afradloni y dâ a roddodd eu Tad nefol iddynt, a hyny mewn gwlad bell oddiwrth Dduw. Ym mhen ychydig flynyddau, gwariant y cwbl, ac yna syrthiant i dlodi diddiwedd.

II. Nid yn unig treulio yr holl ddâ, a'r doniau a rydd eu Creawdydd iddynt, a wna pobl y byd, ond treuliant hwynt trwy *fyw yn afradlon.*

Dyma y cwyn a ddygir yn erbyn holl feibion dynion, nes y delont yn feibion Duw; nid yn unig yn erbyn pechaduriaid nodedig, sy'n warth i'w cymmydogion, ond hefyd yn erbyn pawb a ommeddant y galon i Dduw, ac a wrthodant y Gwaredwr, pa mor foesol a dichlynaidd

bynag a fyddont. Pawb nad ydynt feibion a merched i Dduw, ydynt fradwyr a gwrthryfelwyr. Y rhai sydd heb ddychwelyd at Dduw trwy Grist, ydynt etto mewn gwlad bell. A phawb ym mhell oddi wrtho a elygir yn afradloniaid; o herwydd,

1. Diarddelant *lywodraeth* Duw.

Ein Brenin a'n Llywydd yw yr Arglwydd. Ei frenhiniaeth sydd dros yr holl ddaear; a'i thrigolion oll ydynt ei ddeiliaid. Ar ei haelioni y mae pawb yn byw, ac "ynddo y mae pob peth yn cyd-sefyll." Efe sydd yn cynnal ein bywyd, yn diwallu ein hanghenion, ac yn ein hamddiffyn rhag gelynion. Rhwym ydym am bob peth i Dduw; a medd bob hawl i'n llywodraethu: ac yr ydym dan bob rhwymau i'w garu, i lawen ufuddhau iddo, ac â'n holl allu i ogoneddu ei enw. Ond ni wneir hyn.

Llawn yw yr holl ddaear o *wrthryfel.* Byd afradlon yw. Y mae holl ddynolryw, hyd nes eu dygir dan arglwyddiaeth gras Crist, yn blino ar lywodraeth Duw, ac yn ceisio mewn pob ffordd i'w diarddel. "Syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw;" a'r syniad hwn sydd ym mhob dyn, yn y Pharisead dichlynaidd, yn gystal ac yn y pechadur afradus, hyd nes y dêl Crist i drigo yn y galon trwy ffydd. Hawdd yw yn wir weled, y ceisia y rhai hyn oll ryddid oddiwrth lywodraeth Duw; y pethau a ganlyn a ddengys hyn:—Gwrthwyneba eu *hewyllysiau* bob amser ewyllys Duw, a meddyliant y dylai ewyllys Duw roddi lle i'w hewyllysiau hwynt. Ai nid y gwrthryfel mwyaf yw hyn yn erbyn y nef, a'r byw afradlonaf? Ni foddlonir hwynt yn aml gan *drefn ragluniaethol* Duw. Beiant yn wastadol ar sefyllfa pethau yn y byd, y tymhorau a'r tywydd; a thybiant yn rhyfygus y gŵyra Duw yn aml, ac y gallent hwy wneud pethau yn well. Beth yw yr holl *rwgnach* a leinw 'r byd, onid ymryson â llywodraeth Duw, a dymuned ei gwrthod? Ac os *cerydda* Duw hwynt am eu beiau, pa achwyniad uchel, mai caled y driniaeth? Ai tebyg hyn oll i ymddarostyngiad i Dduw goruchaf? Mae 'r byd, o un pen i'r llall, yn llawn *anufudd-dod*; a phob gweithred o anufudd-dod sydd ymgais i wrthod llywodraeth y nef. Ac a all fod byw mwy afradlon na hwn?

2. Gwnaeth Duw *gyfreithiau* i'w deyrnas ar y ddaear, cyfreithiau doeth a chyfiawn, na ellir eu cyfnewid na'u diwygio, gan eu bod yn berffaith, "yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda." Trefnwyd y cyfreithiau hyn er hyfforddiad dyn, i ddangos iddo pa fodd y gall foddloni Duw, fel deiliad ei deyrnas. Rheolau ydynt er cyfarwyddo 'r galon a'r bywyd yn ffyrdd sancteiddrwydd a chyfiawnder, ac i "gyfeirio ein traed i ffyrdd tangnefedd." Dedwyddwch dyn a saif mewn ufudd-dod i'r cyfreithiau hyn; a'i drueni a dardd oddiwrth anufudd-dod. Gorchymyn Duw o'r uchelder i bob dyn, ym mhob lle, roddi ufudd-dod i'r cyfreithiau a osododd; a bygythia, y teflir pawb na ufuddhaont "i ganol ffwrn o dân poeth."

Ateba dynion ef o'r ddaear, a dywedant—"Nid ydym yn gofalu ateb i ti yn y peth hwn;—bydded hysbys i ti, Frenin, na ufuddhawn ni i'r cyfreithiau a sefydlaist; ond gwnawn ein hewyllys a'n bodd ein hunain; a rhodiwn yn ffyrdd ein calonau." Amlwg yw, yn wir, y diystyra pawb, na ddychwelasant at Dduw, ei gyfreithiau yn fawr. Pa bryd yr ymofynant—"Beth, Arglwydd, yw dy ewyllys, fel y gwnelom ef?" Pa bryd y chwiliant y gair dwyfol, i wybod pa fodd y dylent fyw a boddhau Duw? Nid byth. Y deddfau yn eu *haeladau*, a llygredigaethau eu haniau,

ydynt y rhai y chwiliant hwy am danynt. Darlunia y gair hwynt fel hyn:—"Cnawdol ydynt, ac nid ysprydol, wedi eu gwerthu dan bechod, yn cyflawni chwantau y cnawd a'r meddwl, yn gwasanaethu amrywiol nwydau a phleserau, yn byw yn ol y cnawd, ac nid yn ol yr Yspryd." Cywir, yn wir, y gellir galw hyn yn *fyw afradlon*. Beth arall a wna dyn, pan yn byw iddo ei hun, ac nid i Dduw; pan yn dilyn tueddiadau ei galon, ac yn diystyru gorchymynion y Goruchaf?

3. Ac yn olaf, pan adawo dynion Dduw, ac y diarddelont ei lywodraeth, ac y dirmygont ei ddeddfau glân, rhoddant eu hunain dan dywysiad *gelyn penaf* Duw a dyn. Ant dan faner Satan, i wrthryfela yn erbyn eu Tad nefol. Pan gaffo y gelyn unwaith lywodraeth arnynt, fe "weithia" ynddynt, defnyddia hwynt yn ei orchwylion, a denfyn hwynt yma ac acw fel ei weision. Dywed wrth un, "Cerdd, ac efe a â; ac wrth arall, dos, ac efe a ddaw; ac wrth ei was, gwna hyn, ac efe a'i gwna." Nid yw carcharorion Satan, na chaethion pechod, yn *drwg-dybio* dim, eu bod yn y fath gyflwr distadl; ond tybiant mai hwynt yw y rhai a fwynhant ryddid, am y gwnant a fynont; heb feddwl dim y gwasanaethant bechod a Satan, ac y cyffroant lid yr Hollalluog. Beth sydd yn dallu ac yn twyllo y caethion annuwiol hyn? Blys y cnawd, a mwyniant pechod. Hwyliant yn hyfryd gyda ffrwd tueddiadau eu calon, a thybiant hyn dros amser yn ddedwyddyd mawr. Ond, ai nid byw afradlon yw hyn?

Beth a all fod yn *fwy afradlon* na bywyd y rhai annychweledig? Gadawsant Dduw, a gwrthodasant ei lywodraeth. Sangant ar ei ddeddfau, a nacânt ufuddhau iddo. Ni charant ef, na'i ofni; ac ni ddymunant droi ato. Tra yn y wlad bell hon, maent yn nheyrnas Satan, yn ddeiliaid ac yn filwyr iddo, i ymladd yn erbyn Duw y nefoedd. Tra yr arweinir hwynt yn gaethion wrth ei ewyllys, beth a ellir ddisgwyl oddi wrthynt ond gwrthryfel yn erbyn y Goruchaf? Byw afradlon, yn wir! A phan na lywir dynion gan reolau a sefydlodd Duw, ond gan eu mympwy eu hunain, gan eu chwantau llygredig, beth arall yw eu byw? Hyn, ynte, yw hanes galarus dyn pan adawo Dduw. Gloddesta y mae mewn gwlad bell; treulia y cwbl, a bydd farw.

4. Pa mor wahanol i hyn yw bywyd y rhai a ddychwelasant o'r wlad bell hon i dŷ eu Tad? Gwaredwyd hwynt, trwy drugaredd, o dan iau ddygn pechod a Satan, a throsglwyddwyd hwynt i deyrnas y Gwaredwr, i fwynhau rhyddid gogoneddus plant Duw. Ni lywodraetha pechod arnynt mwy; a chollodd Satan ei arglwyddiaeth yn eu calonau fyth. Rhoddasant eu hunain, ar eu dychweliad, dan aden llywodraeth ac amddiffyniad y Cyfryngwr, yr hwn a'u cuddia yn ei babell, ac a'u hamddiffyn rhag pob drwg. Y rhai oeddent unwaith yn weision pechod, ydynt yn awr yn weision Duw, yr hwn a ogoneddant â'u henaid, ac â'u corph; canys ei eiddo ydynt. Ni's gallant mwy dreulio gweddill eu hamser er boddloni chwantau, ond er gwneuthur ewyllys Duw. Maent yn farw i bechod, ac ni's gallant fyw iddo mwy. Canys gras Duw sydd yn dwyn iachawdwriaeth, a'u dysg "i ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, ac i fyw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon." *Tit*. 2. 12.

Pa mwy dedwydd yw bod dan *lywodraeth gras*, na than deyrnasiad pechod; i rodio yn ol deddfau glân Duw, na chael ein harwain gan lygredigaethau gwael ein hanian

lygredig? Mae deddf, cariad, ac ofn Duw yn blanedig yn nghalonau y cyfryw ag a ddychwelasant ato; a rhydd yr egwyddor hon derfyn ar eu byw afradlon, a chyfeiria eu calon a'u bywyd yn y ffyrdd glân, a arweiniant i ogoniant, i ufudd-dod Crist, ac o'r diwedd i'r orphwysfa sydd yn ol i bobl Dduw. Gwnaed afradloniaid wrando, ac ystyried hyn; a gwnant ddychwelyd at y Duw a adawsant, ac ymostwng i deyrnasiad hyfryd ei ras, a chânt fyw byth.

*(I'w barhau.)*

---

DWYFOLDEB YR YSGRYTHYRAU.

*Yn cael ei brofi yn y Cyflawniad o rai o'r Prophwydoliaethau mewn perthynas i'r Iuddewon.*

(Parhâd o du dal. 10.)

YR ydoedd *lladdfa* yr Iuddewon cyn y gwarchae, yn amser y gwarchae, ac ar ol y gwarchae, yn fawr iawn; yn fwy, y mae 'n debygol, na'r un genedl arall, mewn un oes o'r byd. Yr ydoedd Jerusalem yr amser hwnw yn llawn o bobl, y rhai a ddaethant yno naill ai i gadw y Pasg, neu i gymmeryd noddfa mewn dinas gaerog. Mae Josephus yn dywedyd, fod yr holl rai a fuant feirw, yn amser y gwarchae, yn *un miliwn ac un can mil*, a llawer iawn ar amserau ac mewn lleoedd ereill; oblegyd heblaw y rhai a fuant feirw yn y fan, dyfethwyd llawer a anfonwyd o'r wlad. Dywedodd Moses, "diwreiddir chwi o'r tir yr wyt yn myned iddo i'w feddiannu." Ac felly y dygwyddodd; oblegyd danfonwyd lluoedd i'r Aipht, a llawer o'r rhai a anfonwyd ymaith mewn llongau a fuant feirw o eisieu ymgeledd, trwy long-ddrylliadau, a damweiniau ereill. Danfonwyd y rhai oedd tros ddwy ar bymtheg oed (900,000 o rifedi) yn rhwym i'r Aipht; a'r rhai oedd tan yr oedran hyny a werthwyd yn gaethion, nes yr oedd y marchnadoedd wedi cael ei gorlenwi yn y fath fodd fel na's gellid cael neb i'w prynu, a'r rhai a werthid a fyddent yn myned am bris isel iawn. Ar ol hyn, rhwystrid hwy, o dan boen marwolaeth, i fyned i Jerusalem, neu, fel y dywed Tertullian a Jerome, fyned yn agos i'r tir.

Ar ol hyn cymmerodd eu *gwasgariad* rhyfeddol le. Dywedodd Moses, *adn.* 25, "a thi a fyddi ar wasgar dros holl deyrnasoedd y ddaear;" hefyd, yn *adn.* 64, "a'r Arglwydd a'th wasgar di ym mhlith yr holl bobloedd, o'r naill gwr i'r ddaear hyd y cwr arall i'r ddaear." Ac onid ydynt felly? Onid ydyw yr Iuddewon i'w cael agos yn holl wledydd Ewrop, ac mewn llawer o fanau yn Affrica, a'r India Ddwyreiniol a'r Orllewinol. A fu pobl erioed ar y ddaear mor wasgaredig a hwynt? Pa le bynag y mae arian a marchnad, y mae yno Iuddewon i'w cael, fel y galwyd hwynt yn gyflawn yn "farsiandwyr yr holl fyd."

Y maent nid yn unig wedi eu gwasgaru, ond wedi eu *gorthrymu*: y mae yn ysgrifenedig, *adn.* 29. "Diau y byddi orthrymedig ac anrheithiedig byth;" ac yn *adn.* 65, a 66, "Ac ym mhlith y cenhedloedd hyn ni orphwysi, ac ni bydd gorphwysdra i wadn dy droed: canys yr Arglwydd a rydd yno it' galon ofnus, a darfodedigaeth llygaid, a thristwch meddwl, a'th einioes a fydd yn nghrog gyferbyn â thi, a thi a ofni nos a dydd, ac ni byddi sicr o'th einioes." Y mae hyn wedi cael ei gyflawni yn arswydus. Mewn rhai gwledydd anfonwyd hwynt ymaith, yna eu galw yn ol, ac wedi hyny eu danfon ymaith drachefn. Yspeiliwyd hwynt o'u cyfoeth, ac alltudiwyd hwynt o Loegr yn amser Iorwerth y cyntaf. Alltudiwyd hwynt hefyd o Ffrainc, o Portugal, o'r Hispaen, ac o leoedd ereill.

Yr oedd eu meibion a'u merched i gael eu rhoddi i bobl ereill, *adn.* 32. Gwnaed hyn yn yr Hispaen a Phortugal, lle y cymmerwyd eu plant oddi wrthynt trwy drais, i'w haddysgu yn y grefydd Babaidd, ac i ymarfer â'u defodau eilunaddolgar.

Nid rhyfedd ynte, fel y rhagddywedwyd, " y byddent *wallgofus* o herwydd gweledigaeth eu llygaid," oblegid yr oedd y creulonderau a ddioddefasant yn ddigon i'w gwallgofi. Pan warchaewyd ar nifer mawr o honynt yn nghastell Massada, lladdasant yn gyntaf eu gwragedd a'u plant, yna dewiswyd deg o wyr i ladd y gweddill; ac wedi hyny un o'r deg i ladd y naw ereill; yr hyn pan wnaed, efe a'i trywanodd ei hun. Cymmerodd y cyffelyb amgylchiad le y'Nghaer Efrog yn amser y brenin Risiart y cyntaf.

Yr oeddynt i fod yn " syndod, yn ddiareb, ac yn watwargerdd, ym mhlith yr holl bobloedd," *adn.* 37. Ac onid ydynt felly hyd y dydd hwn? Onid yw cybydd-dod, a thwyll, a chalon-galedwch, yr Iuddewon yn ddiarebol yn ein plith ni, ac mewn gwledydd ereill? " A ydych chwi yn tybied mai Iuddew ydwyf?" sydd ofyniad cyffredinol; ac, " Yr ydych yn twyllo fel Iuddew," sydd gyhuddiad cyffredin. Ac yr oedd yr holl drueni yma i barhâu. Dywed Moses, y byddai eu plâau yn rhyfeddol a pharhâus. Wele, y maent wedi parhâu yn agos i 1800 o flynyddoedd! O! pa bryd y terfynant!

Ac etto, er y cwbl, parhânt yn *bobl unig, ac ar eu penau eu hunain.* Yn *Lef.* 26. 44. rhagddywedir fel hyn, " Ac er hyn hefyd, pan fyddont yn nhir eu gelynion, nis gwrthodaf ac ni ffieiddiaf hwynt i'w difetha." Ac y mae hyn hefyd wedi ei gyflawni; y maent yn gyffelyb i'r berth a welodd Moses yn llosgi, ond heb ei difa. Er eu bod wedi eu gwasgaru, eu gorthrymu, eu caethiwo, a'u herlid, etto y maent yn aros yn bobl unig, ac ar eu penau eu hunain, yn adnabyddus wrth eu gwynebpryd, ac heb ymgymmysgu â'r cenhedloedd ym mhlith y rhai y maent yn ymdaith. Yn Mrydain, yn Ffrainc, yn yr Hispaen, y mae y prif genhedloedd wedi ymgymmysgu â'u goresgynwyr a'u cymmydogion. Yn ein gwlad ein hunain pwy a fedr ddywedyd gyda sicrwydd pa deuluoedd sydd yn disgyn o'r hen Brydeiniaid, a pha rai o'r Rhufeiniaid, a'r Saeson, &c. ond y mae yr Iuddewon yn parhâu yn bobl unig, ac yn genedl neillduol.

Gellid dwyn llawer o bethau ereill i'r un perwyl, ond chwyddai hyny y traethawd yn ormodol. Ni's gellir ond ychwanegu rhai casgliadau byrion fel y canlyn.

Dechreuwyd y traethawd hwn trwy ddywedyd fod y " Bibl yn cynnwys llawer o ragddywediadau am ddamweiniau, y rhai ni allai deall dynol eu rhagweled, pa ragddywediadau a gyflawnwyd yn fanwl; a pha gyflawniad sydd yn profi yn eglur fod y Bibl yn air Duw." Ac onid ydym wedi profi y pwngc? A allai Moses, neu ryw un arall, ddychymmygu am y digwyddiadau hyny? A allai synwyr dynol ragweled trefn, ymddygiad, dioddefiadau, a gwasgariad yr Iuddewon, 1500 mlynedd cyn i hyny gymmeryd lle; neu, wedi eu gwasgaru, y byddai iddynt barhâu 1800 o flynyddoedd yn ychwaneg yn y cyflwr truenus hwnw? Yr oedd yn ammhossibl. Dilys yw gan hyny fod genym brawf mor gadarn ag a allem ddymuno o ddwyfoldeb yr ysgrythyrau, ac " nad trwy ewyllys dyn y daeth gynt brophwydoliaeth; na'i bod o ddeongliad priod: eithr dynion sanctaidd Duw (o ba rai yr oedd Moses yn un) a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Yspryd Glân;" ac y mae genym

yr un rheswm am greda y cwbl a ysgrifenwyd ac a ragddywedwyd gan Moses, ag sydd genym i gredu y brophwydoliaeth neillduol hon. Cyflawnwyd ei ragddywediadau mewn perthynas i Grist yn yr un modd. Cadarnhaodd Crist ei hun dystiolaeth Moses trwy lawer o wyrthiau; ac y mae yn sicrhau i ni, "oni wrandawn ar Moses a'r prophwydi, na chredem chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." Felly, gan hyny, gwelwn fel y mae yr Iuddewon, megys y rhagddywedodd Moses, "yn arwydd ac yn rhyfeddod byth," *adn.* 46. Oni allai pob un o honom arfer geiriau yr Esgob Newton ar y mater—"Pa fodd yr effeithiai hyn ar ereill, ni's gwn; ond am danaf fy hun, rhaid i mi addef, eu bod nid yn unig yn fy argyhoeddi, ond yn peri i mi synu a rhyfeddu tu hwnt i adroddiad."

Y mae addysg arall—addysg bwysig ac arswydus—a allem, ac a ddylem, gymmeryd oddiwrth hyn; sef, *canlyniadau ofnadwy anghrediniaeth!* Paham y dioddefodd yr Iuddewon yr holl bethau hyn? O herwydd eu hanghrediniaeth. Dywed St. Paul, *Rhuf.* 11. 20. mai "trwy anghrediniaeth y torwyd hwynt ymaith;" ac efe a chwanega, fel rhybydd i'r Cristionogion proffesedig, "A *thithau* sydd yn sefyll trwy ffydd: na fydd uchel-fryd, eithr ofna; canys onid arbedodd Duw y canghenau naturiol, gwylia rhag nad arbedo dithau chwaith." "Edrychwn, gan hyny, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymado oddiwrth y Duw byw."

Drachefn, bydded i ystyriaethau o'r pethau hyn ein cynhyrfu i dosturio, ac i daer weddïo dros yr Iuddewon. Yn lle eu casâu, a'u dirmygu, bydded i'w hanes a'u dioddefiadau dros gynnifer o oesoedd, a'r cyflwr o dywyllwch a chalongaledwch y maent yn parhâu ynddo hyd heddyw, gael effaith dyladwy ar ein meddyliau. Wylodd ein Hiachawdwr ffrydiau o ddagrau, ar ei ymweliad diweddaf â Jerusalem, pan welodd y ddinas boblog oddiar fryn cyfagos, a chan ragweled ei thrueni yn nesâu, efe a lefodd, "Pe gwybuasit dithau, ïe, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynent i'th heddwch! eithr y maent yn awr yn guddiedig oddiwrth dy lygaid." Bydded i ni deimlo megys y teimlodd efe; a bydded i ni offrymu gweddïau taerion am eu hadferiad, ac am fendith Duw ar y moddion a arferir er eu troedigaeth. A gallwn "weddïo mewn ffydd," oblegid y mae gan Dduw drugaredd y'nghadw iddynt. "Ni wrthododd Duw ei bobl y rhai a ragwybu; onid arhosant yn anghrediniaeth, impir hwynt i mewn drachefn yn yr olew-wydden; canys fe all Duw eu himpio hwy i mewn drachefn." Trwy eu cwymp hwy y daeth iachawdwriaeth i'r Cenhedloedd—bu eu cwymp hwy yn olud ysprydol i ni, pa faint mwy y cyfoethogir ni trwy eu cyflawnder hwy? "canys os yw eu gwrthodiad hwy yn gymmod i'r byd, beth fydd eu derbyniad hwy ond bywyd o feirw?"

Terfynaf yn ngeiriau y Colect ardderchog hwnw o eiddo ein Heglwys, "Trugarhâ wrth yr holl Iuddewon, Tyrciaid, anffyddloniaid, a hereticiaid, a chymmer oddi wrthynt bob anwybodaeth, caledwch calon, a dirmyg ar dy air; ac felly dwg hwynt adref, wynfydedig Arglwydd, at dy braidd, fel y b'ont gadwedig ym mhlith gweddillion y gwir Israeliaid, a bod yn yr un gorlan, dan yr un bugail, Iesu Grist ein Harglwydd, yr hwn sydd yn byw ac yn teyrnasu gyda thydi a'r Yspryd Glân byth yn un Duw, heb drangc na gorphen. Amen.

*Cyfieithiad* ZIGMA.

# LLYTHYR

## YR ARCHESGOB GRINDAL AT Y FRENHINES ELISABETH.

MR. GWYLIEDYDD,—Addawyd i chwi Lythyr yr Archesgob Grindal at y frenhines Elisabeth, wele efe yn awr at eich gwasanaeth. Cyfieithiais ef allan o Hanes yr Eglwys gan Fuller, a Bywyd yr Archesgob gan y Parch. Erasmus Middleton. Dywed Fuller fel y canlyn am y Cyfarfodydd a elwid y pryd hyny "Prophwydoliaethau:"—

"Sylfaenwyd hwynt ar eiriau yr apostol, yr hwn a ddywed, 'Canys chwi a ellwch oll brophwydo bob yn un, fel y dysgo pawb, ac y cysurer pawb:' 1 *Cor.* 14. 31. ac ychwanegwyd at hyn y cyfryw reolau o'u heiddo eu hunain ag ydoedd raid, yn y modd canlynol—

1. Gweinidogion yr un ardal, yn ol cytundeb yn eu plith eu hunain (heb gadw yn fanwl at yr hen raniadau Deoniaethawl) a gyfarfyddent yn y lle penaf yn yr ardal.

2. Gweinidog ieuengaf a âi yn gyntaf i'r Bregethfa, ac am hanner awr, mwy neu lai (yn ol ei allu i ddwyn ynghyd ei fyfyrdodau gyd âg eglurdeb) a sylwai ar ryw gyfran o'r Ysgrythyr, yr hon y cytunasent o'r blaen yn eu Cyfarfod i sylwi arni. Yna pedwar neu bump yn ychwaneg, yn ol eu hoedran, a'i dilynent ef, gan sylwi ar yr un testun.

3. Yn olaf, Hen Weinidog, dewisedig i hyn (fel *Tad y Cyfarfod*) a safai i fynu i wneuthur y bregeth olaf. Sylwai ar gyflawniadau y rhai blaenorol, gan roi clod lle yr oedd clod, a cherydd lle yr oedd cerydd yn haeddiannol. Yna diweddid y cwbl gyda gweddi, megys y dechreuwyd. Ar giniaw, y Gweinidogion hyn ynghyd (a llawer o foneddigion yn wyddfodol) a sefydlent yr amser y cyfarfyddent nesaf, a'r testun yr oeddynt i sylwi arno, a'r Pregethwyr—a dewisent Reolwr newydd, os nid arosai yr hen yn ei swydd; yna ymadawai pawb tu ag adref."

Y Cyfarfodydd hyn, er y byddent yn fynych yn hir, nid oeddynt flinderus. Er y deuai dynion o bell i'r Cyfarfodydd hyn, etto, ni theimlent eu blinder; canys amrywiaeth Pregethwyr a'u cadwent yn effro a gwrandawgar. Etto, er hyn, fe welwyd rhai pethau annymunol, a mwy a ragwelid (neu o'r hyn lleiaf a ddychymmygid gan rai ofnus) gan ddynion doeth, os âi y Prophwydoliaethau yn gyffredin drwy 'r holl wlad; megys,

1. Llawer o Weinidogion gwylaidd, er yn Bregethwyr defnyddiol yn eu Plwyfau, oeddynt anewyllysgar i ymddangos fel hyn yn y cyhoedd; ac o herwydd hyny iselid hwynt ac esgeulusid hwynt, er yn hollol ddiachos.

2. Llawer o Weinidogion ieuaingc yn meddu mwy o ëondra na dysg, a mwy o hyawdledd na sylwedd, a ennillent yr enw, er mawr ddigalondid i ereill, hynach o ran dyddiau, a chryfach o ran eu galluoedd.

3. Y Pregethwyr hyn ni chytunent bob amser yn eu plith eu hunain, a hyn a barai lawer o ymddiddanion diles ac annymunol.

4. Llawer a aent oddiwrth eu testynau i lefaru yn erbyn y ddisgybliaeth a llywodraeth yr Eglwys; a'r Pregethwyr hyn oeddynt fwyaf cymmeradwy gan y bobl, y rhai yn gyffredin a barchent y rhai hyny fwyaf, y rhai a ddangosent fwyaf o anfoddlonrwydd tu ag at yr awdurdod.

5. Yr oedd yn fynych angen am wr doeth i reoli y rheolwr, yr hwn yn fynych a ganmolai neu a geryddai, nid yn ol cyfiawnder, ond yn ol ei serch ei hun.

6. Y bobl yn *bartiol* a ganmolent

rai y Gweinidogion hyn, ereill rai ereill, er gwarth i ordinhâd Duw.

7. Y Prophwydoliaethau hyn, y rhai a ellid eu galw Ffeiriau pethau Ysprydol, a leihaent Farchnadoedd Wythnosol y pethau hyny ar Ddydd yr Arglwydd, ac a barent esgeuluso y Gweinidogion yn eu Plwyfau eu hunain.

8. Mewn gair, yr oedd y frenhines wedi ei pherchenogi mor llwyr gan ragfarn yn erbyn y *Prophwydoliaethau* hyn, fel yn rhagfynegi rhwygiadau ac anghydfod, fel yr ennynodd ei digofaint yn anghymmodlon yn erbyn yr Archesgob Grindal, fel eu prif annogwr a'u tadmaeth. Ac un tro, pan oedd yr Archesgob yn y llys, hi a ddywedodd wrtho, ei bod yn ddigofus o herwydd rhifedi Pregethwyr a'u gweithrediadau, a bod yn rhaid iddo ddiwygio y naill a'r llall o honynt; gan ychwanegu, mai da oedd i'r Eglwys gael ychydig o Bregethwyr—y gallai tri neu bedwar ddiwallu Sir, a bod darllen yr Homiliau yn ddigon i'r bobl. Am hyny hi a orchymynodd iddo leihau rhifedi 'r Pregethwyr, a dilëu y *Prophwydoliaethau*. Hyn a barodd ofid nid bychan i feddwl a chydwybod yr Archesgob, am hyny efe a benderfynodd ysgrifenu ei feddwl at y frenhines, a gwnaeth hyny yr ugeinfed o Ragfyr, 1586, yn y modd canlynol:—

At Eich Mawrhydi,

Gyd â'r gostyngeiddiaf goffadwriaeth o'm rhwymedig ddyled i'ch Mawrhydi, fe allai y rhynga bodd i'r unrhyw wybod i'r ymadrodd, y rhyngodd bodd i'ch Mawrhydi ei draddodi wrthyf fi pan ddiweddaf yn gwasanaethu eich Uchelder, ynghylch lleihau rhifedi Pregethwyr, a dilëu pob ymarferiadau llëenawl a chynnadleddau ym mhlith Gweinidogion yr Eglwys, caniatâedig gan eu Hesgobion a'u Rhaglawiaid, beri i mi yr ofnau a'r annyddanwch mwyaf. Nid cymmaint oblegid bod yr ymadroddion hyny yn seinio yn lled galed yn fy erbyn i, yr hwn nid wyf ond un, ac nid i'w ystyried ond o ychydig ganlyniad, ond yn neillduol oblegid y gall yr ymadroddion hyny dueddu i wneuthur niwaid cyhoedd i Eglwys Dduw, i'r hon y dylai eich Mawrhydi, o herwydd eich swydd, fod yn fammaeth; ac hefyd, o herwydd y baich trwm a rydd y pethau hyn ar eich cydwybod chwi ger bron Duw, os rhaid eu cyflawni yn fanylaidd. Nid oedd eich Mawrhydi yn foddlon y pryd hwnw, canys nid oedd amser i hyny, i wrando arnaf yn hir ar y ddau beth traddodedig; am hyny bernais yn ddyledswydd arnaf, drwy ysgrifenu, wneuthur rhan o'm meddwl ar hyn yn hyspys i'ch Uchel-radd, gan ddeisyfu arnoch yn amyneddgar ddarllen drosodd yr hyn a wnel ysgrifenais â'm llaw fy hun; yr hyn a ymddengys yn hwy nag yw, oblegid hyny. Dywedaf gyd âg Ambrose, "Ysgrifenais â'm llaw fy hun, fel y caech chwi yn unig ei ddarllen."

Madam,

Yn gyntaf oll, gwnaf, a dylwn, dros fy holl fywyd, gydnabod nad wyf mor ddyledus i un creadur daearol ag wyf i'ch Mawrhydi, yr hon, er fy holl annheilyngdod (yr hyn a esyd allan yn eglurach eich haelioni chwi) a'm hanrhegasoch â chymmaint ac â chynnifer o roddion, y rhai nis gallaswn i byth obeithio am danynt, llawer llai eu haeddu. Yr wyf, o herwydd hyn, fel y mae yn rhwymedig ddyled arnaf, gyda phob diolchgarwch, yn mwyaf tu ag at eich Mawrhydi galon fwyaf gostyngedig, ffyddlon, a diolchgar, a hyn a wyr Chwiliwr y calonau; ac ni throseddaf un amser mewn un modd yn erbyn eich Mawrhydi, os na rydd achos Duw a'r Eglwys, o herwydd y swydd a baich cydwybod, angenrhaid arnaf i wneuthur felly: ac yn y cyfryw amgylchiadau (y rhai, gobeithiaf yn Nuw, na ddeuant byth i'm cyfarfod) pe arferwn ddistawrwydd rhagrithiol neu wenieithus, ni ddangoswn ond y diolchgarwch gwaelaf i'ch Mawrhydi am y rhoddion mawrion ac aml a roddasoch i mi: canys wrth hyny fe allech chwi fyned i enbydrwydd yn y pethau a berthyn i Dduw, a minnau i ddinystr tragywyddol.

Y mae 'r prophwyd Eseciel yn ein galw ni, Gweinidogion yr Eglwys, *Gwylwyddion*, ac nid *Gwenieithyddion*; os gwelwn ni y cleddyf yn dyfod, o herwydd troseddau yn erbyn Duw, y mae yn rhaid i ni rybuddio, ac onidê gwaed y rhai a ddinystrir a ofynir ar ein llaw ni. Am hyny myfi a atolygaf ar eich Mawrhydi, fy ystyried i felly, nid fel un yn meddwl yn ddrwg am danoch, er nad allaf gydsynio â chwi yn y ddau beth a ddywedasoch wrthyf. Yr wyf, gyd â'ch holl ddeiliaid ffyddlon ereill, yn cydnabod derbyn o honom o dan eich llywodraethiad chwi, lawer o ddoniau rhagorocaf, ym mhlith ereill, rhyddid

cydwybod, dilëad eilun-addoliaeth, pregethiad didwyll o'r Efengyl, a heddwch cyhoeddus a thangnefedd. Y mae yn sicr genyf hefyd, yn y pethau hyn yr ydych yr awrhon yn eu gorchymyn, bod eich amcan o'r fath oreu. Dygwyddodd fel hyn i lawer o'r tywysogion goreu a welodd daear, etto ni wrthwynebasant dderbyn gwell hyfforddiad allan o Air Duw ar ol hyny. Nid oedd gan y brenin Dafydd, yr hwn a fawr ganmolir yn yr Ysgrythyrau, fwriad drwg pan y gorchymynodd rifo 'r bobl. Barnodd yn lles gwladol, wybod pa rifedi, o ddynion a allai efe eu harwain allan yn erbyn gelynion ei Arglwydd, os byddai achos am hyny; etto, ar ol hyny, megys y dywed yr Ysgrythyr, ei galon a'i tarawodd, a Duw hefyd, trwy y prophwyd Gad, a'i ceryddodd, a rhoddodd iddo ei ddewisiad o dri phla, newyn, rhyfel, a haint. Y brenin duwiol Hezeciah, o'i hynawsedd a'i serchogrwydd, a ddangosodd i genhadon brenin Babilon holl drysorau tŷ yr Arglwydd a'i dŷ ei hun; ac etto y prophwyd Esaiah a ddywedodd wrtho, iddo anfoddloni 'r Arglwydd wrth wneuthur hyny. Y brenin da Johosaphat, wrth wneuthur cyngrair â'i gymmydog, brenin Ahab (gyda chyffelyb fwriad da yn ddiau) a geryddwyd gan Jehu y prophwyd yn y modd hwn, "Ai cynnorthwyo yr annuwiol, a charu y rhai oedd yn casâu yr Arglwydd a wnait ti?" Ambrose hefyd yn ysgrifenu at yr Ymerawdwr Theodosius, a ddywed fel hyn—"Myfi a adwaen dy dduwioldeb mewn pethau tu ag at Dduw, a'th diriondeb tu ag at ddynion, ac yr wyf fi fy hun o dan rwymau i ti o herwydd dy anrhegion:" etto, y mae yr un Ambrose, yn yr un llythyr, yn ymdrechu yn ddifrifol i ddarbwyllo yr un Ymerawdwr i alw yn ol ddeddf annuwiol o'i eiddo, yn gorchymyn i Esgob duwiol adeiladu drachefn Synagog Iuddewig, yr hon a dynesid i lawr gan bobl Gristionogol. Ond i ddyfod at y pwngc mewn llaw, gallaf finnau, gyd â'r priodoldeb mwyaf, ddefnyddio 'r geiriau uchod o eiddo Ambrose, am eich Mawrhydi, a dywedyd, "Myfi a adwaen eich duwioldeb tu ag at Dduw, a'ch tiriondeb i ddynion, a myfi fy hun ydwyf o dan rwymau i chwi o herwydd eich anrhegion." Ond etto, yn sicr nid allaf synu yn ddigonol, wrth ystyried bod meddwl mor rhyfedd a hwn wedi cael lle yn eich mynwes am yr amser lleiaf, "bod yn dda i'r Eglwys gael ond ychydig o Bregethwyr." Och, Madam! a yw yr Ysgrythyr yn eglurach ar un pen nag ydyw ar hyn, sef, y dylid pregethu Efengyl Crist yn ddigonol, ac y dylai digon o weithwyr gael eu hanfon i gynhauaf yr Arglwydd, yr hwn sydd fawr ac eang, ac am hyny mewn angen, nid am ychydig, ond am lawer o weithwyr. Fe ddanfonwyd i adeiladu teml Solomon gant a hanner o filoedd o greffiwyr a gweithwyr, heblaw tair mil a thri chant o arolygwyr; ac a allwn ni feddwl bod ychydig o Bregethwyr yn ddigon i sylfaenu ac adeiladu teml ysprydol Crist, yr hon yw 'r Eglwys? Crist, pan y danfonodd ei apostolion, a ddywedodd wrthynt, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur." Nid ellir hyfforddi holl greaduriaid Duw yn yr efengyl, oddieithr i bob moddion dichonadwy gael eu harferyd i gael lliaws o Bregethwyr ac Athrawon i bregethu iddynt. St. Paul a ddywed wrth y Colosiaid, "Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth;" ac wrth Timotheus y dywed, "Pregetha y gair; bydd daer mewn amser, ac allan o amser; argyhoeddа, ceryдda, annog." Y pethau hyn nid ellir eu cyflawni heb fynych a llawer o bregethu. Ac â hyn y cytuna arferiad yr apostolion, *y rhai a ordeiniasant henuriaid ym mhob Eglwys.* St. Paul hefyd, yn ysgrifenu at Titus, a ddywed, "Er mwyn hyn y'th adewais yn Creta, fel yr iawn drefnit y pethau sydd yn ol, ac y gosodit henuriaid ym mhob dinas;" ac yna yn ymhelaethu, gan ddangos pa fath ryw ddynion y dylai yr henuriaid hyn fod, nid y cyfryw ag yr ydym ni o wir angenrheidrwydd yn gorfod eu derbyn (neu adael llawer o Eglwysydd heb un math o Weinidog) ond y cyfryw ag ydoedd alluog i "gynghori yn yr athrawiaeth iachus, ac argyhoeddi y rhai sydd yn gwrth-ddywedyd." Ac yn y lle hwn, myfi a atolygaf ar eich Mawrhydi i sylwi yn neillduol ar un peth teilwng o sylw, yr hwn yw hyn; os gorchymynodd yr Yspryd Glân yn bendant osod Pregethwyr *ym mhob dinas*, pa fodd y gellir yn iawn feddwl, bod tri neu bedwar yn ddigon mewn Sir?

Pregethiad cyhoedd a pharhâus o Air Duw yw y modd a'r cyfrwng cyffredin iechydwriaeth dynolryw. St. Paul a'i geilw *gweinidogaeth cymmod* dyn â Duw. Drwy bregethu gair Duw yr helaethir ei ogoniant ef, y megir ffydd, ac y cynnyddir cariad. Drwy hyn yr hyfforddir yr anwybodus—y deffroir ac yr annogir yr esgeulus—y ceryddir yr ystyfnig—y dyddenir y gwan eu cydwybod—ac y cyhoeddir i bawb a bechant yn faleisus ddigofaint Duw. Trwy bregethu hefyd y plenir yn nghalonau deiliaid ufudd-dod i dywysogion Cristionogol a'u swyddogion. Oblegyd o gydwybod y tardda ufudd-dod, a chydwybod a sylfaenir ar air Duw, a gair Duw a effeithia hyn drwy bregethu; oblegyd yn gyffredin lle nad oes bregethu nid oes ufudd-dod. Ni chafodd un Tywysog erioed eglurach prawf o hyn nag a gafodd eich Mawrhydi yn eich amser, ac a ellwch

gael yn feunyddiol. Deued eich Mawrhydi mor fynych ag y mynoch i ddinas Llundain, pa gyfarchiadau, pa lawenydd, a pha ymgasgliad o ddynion a welir yno? ie, pa fonllefau, a pha weddiau at Dduw am hir oes i chwi? a pha arwyddion eglur ereill o wir a diffuant gariad tu ag atoch, ynghyd âg ufudd-dod gostyngedig a chalonog a glywir yno? O ba le y tardd hyn, Madam, ond o barhâus bregethiad gair Duw yn y ddinas hono? Trwy hyn fe'u cyflawn addysgwyd hwynt yn eu dyledswydd at Dduw, a thu ag at eich Mawrhydi. O'r ochr arall, pa beth a barodd y gwrthryfel yn y gogledd? ai nid Pabyddiaeth, ac anwybodaeth o air Duw o ddiffyg ei bregethu? Ac yn amser y gwrthryfel hwn, ai nid oedd pob dyn, o bob cyflwr, yr hwn oedd yn proffesu yr efengyl, yn barod i roddi ei fywyd i lawr er eich ymddiffyn chwi? Yn gymmaint a darfod i un plwyf tlawd yn Swydd Efroc, yr hwn, trwy barhâus bregethu, ydoedd wedi ei hyfforddi yn well na'r lleill (Halifax yr wyf yn ei feddwl) gynnyg dwyn i'r maes dair neu bedair mil o wyr grymus i'ch cynnorthwyo yn erbyn y gwrthryfelwyr hyn, pa fodd y gall eich Mawrhydi gael prawf eglurach o wahanol ffrwyth llawer ac ychydig o bregethu? Un yn dwyn ffrwyth ufudd-dod o'r fath ffyddlonaf, a'r llall yn dwyn ffrwythau anferthaf anufudd-dod a gwrthryfel. Ond meddwl rhai bod llawer yn cael eu derbyn yn bregethwyr, etto ychydig yn alluog i wneuthur hyny yn iawn. Y mae 'n bur angenrheidiol symud o'r ffordd bregethwyr analluog, os iawn ystyrir gallu a digonolrwydd. Ac yn hyn yr wyf yn credu y gwnawd ac y gwneir cymmaint ag a ellir; canys yr wyf fi, o'm rhan fy hun (dyweder hyn heb un math o ymffrost) yn hynod ofalus i dderbyn yn unig y cyfryw fel pregethwyr ag sydd alluog a digonol i bregethu, yn gystal o ran eu gwybodaeth yn yr Ysgrythyrau, ac o ran tystiolaeth dda am eu bywyd a'u hymarweddiad crefyddol. Heblaw hyn, myfi a roddais orchymyn neillduol i'm brodyr, yr Esgobion, yn y dalaeth hon, am iddynt hwythau hefyd fod yn ofalus. Ni dderbyniwn un dyn i'r weinidogaeth yr hwn a broffesa Babyddiaeth neu Buritaniaeth. Yn gyffredin, Graddwyr o'r Prif Ysgolion yn unig a dderbynir i fod yn bregethwyr; oddieithr rhyw ychydig, y rhai a feddant ar fedrusrwydd neillduol yn yr Ysgrythyrau, ynghyd â dawn ymadrodd hyawdl, a medrusrwydd duwiol o ddarbwyllo. Ceisiais i fy hun, mewn llai na chwe blynedd, fwy na deugain o bregethwyr dysgedig yn Raddwyr, i'w gosod yn Esgobaeth Efroc, heblaw y rhai a gefais yno, ac yna y gadewais hwynt. Ffrwyth eu llafur hwy yn pregethu y mae eich Mawrhydi yn debyg o'i dderbyn yn feunyddiol trwy ufudd-dod sicraf a ffyddlonaf eich deiliaid yn y lleoedd hyny. Ond, yn wir, y mae 'r oes hon yn barnu yn galed, ac nid yn annhueddig am allu pregethwyr ein hamser ni; yn barnu nad oes neb agos, yn ol eu tyb hwy, yn alluog i hyn. Y farn gyfyng hon a dardd o amryw dueddiadau drwg dynion. St. Paul a ganmola bregethu Crist heb *odidawgrwydd ymadrodd*; ond yn ein dyddiau ni y mae clustiau llawer mor foethus fel na foddlona un math o bregethu hwy os na fydd wedi ei addurno â phob harddwch a godidawgrwydd ymadrodd; yr hyn beth a euogfarna yr Apostol, a hyny o herwydd y rheswm hwn, fel "na wneler croes Crist yn ofer." Y mae rhai hefyd yn anfoddlon i'r Diwygiad duwiol mewn crefydd a sefydlwyd, gan ewyllysio yn wir na fyddai pregethwyr o un math; ac felly, wrth gablu Gweinidogion yn rhyfela yn erbyn crefydd, nid trwy ymosodiad cyhoeddus ond trwy ei diseilio yn ddichellgar; yn debyg i'r Esgobion Pabaidd, yn nyddiau eich Tad, y rhai a ewyllysient alw yn ol y Cyfieithiad Saesoneg o'r Bibl, oblegyd ei fod yn feius; ac hefyd i'r cyfieithiad newydd gael ei roddi iddynt hwy, yr hyn nid oeddynt fyth yn bwriadu ei wneuthur.

Y mae rhifedi (a hwnw yn aml iawn) a rhai o hono yn hollol fydol o ran eu meddwl, a'u hunig ymgais am gasglu eiddo a meddiannau y byd hwn, yn gwasanaethu mammon ac nid Duw. Y mae ereill yn rhifedi mawr wedi rhoddi eu hunain i fynu i bob meluswedd cnawdol, gwageddlyd, ac afradlon; i fywyd o drythyllwch; "yn caru melus-chwant yn fwy nag yn caru Duw; y rhai a ymroisant i drythyllwch, yn gwneuthur pob aflendid yn un chwant." Ac oblegyd bod pregethiad gair Duw, yr hyn sydd i bob Cristion yn hyfryd a melus, yn chwerw a gofidus iddynt hwy, y rhai y mae eu cydwybod wedi ei serio â haiarn poeth; canys megys y dywed St. Ambrose, "Pa fodd y gall gair Duw fod yn felus yn eu genau hwy, yn y rhai y mae chwerwder pechod?" am hyny y dymunant hwythau hefyd na fyddai pregethwyr. Ond gan na feiddiant yn union-gyrchol ddyfarnu y swydd o bregethu mor bendant wedi ei gorchymyn yn Ngair Duw (canys hyny fyddai gabledd cyhoeddus) hwy a droant, a chyd â'r un bwriad ag ereill, a chwiliant am achosion yn erbyn y rhai a dderbynir i fod yn bregethwyr. Ond, na ato Duw, Madam, i chwi agor eich clust i unrhyw o'r darbwylliadau anwireddus hyn; nac mewn un modd fyned ynghylch lleihau pregethiad efengyl Crist. Canys hyny yn y diwedd a ddygai gwbl ddinystr; canys *lle ni bo gweledigaeth, methu a wna y bobl*, medd Solomon. *(I'w barhâu.)*

## ANERCHIAD AT Y BRENIN.

MR. GWYLIEDYDD—Nid allaf ddatgan yr hyfrydedd a deimlais wrth ddarllen eich Rhagymadrodd yn Rhifyn Rhagfyr; a pha le bynag yr âf, clywaf bawb yn ei ganmawl. Darllenais y geiriau hyn drachefn a thrachefn, " Yr ydym yn caru ein Heglwys, —— ei hallor hi," &c. Nid wyf yn anhysbys mai arfer rhyw nifer o'm cydwladwyr ydyw haeru fod undeb yr Eglwys â'r Llywodraeth yn anysgrythyrol; ond gellir amddiffyn yr undeb hwn â rhesymau anwadadwy; eithr nid hyn yw fy nyben ar hyn o bryd. Fy amcan presennol yw rhoddi ger bron eich darllenwyr yr Anerchiad canlynol, a gyflwynwyd yn ddiweddar i'w Fawrhydi, gan Archesgob Caergaint, yr Esgobion a'r Offeiriaid yn nhalaeth Caergaint, ag oeddynt wedi ymgynnull yn y Gymanfa (*convocation*). Os cymherir yr Anerchiad hwn â'r hwn a gytunwyd arno, ac a gyflwynwyd yn enw y tair plaid o Ymneilldu-wyr, sef y Sociniaid, yr Anymddibynwyr, a'r Bedyddwyr, gwel eich darllenwyr gymmaint y rhagora y naill ar y llall o barth symlrwydd a syniad Cristionogol.

### ANERCHIAD GWEINIDOGION EGLWYS LOEGR AT Y BRENIN.

" Yr ydym ni, Archesgob, Esgobion, ac Offeiriaid talaeth Caergaint, deiliaid ffyddlawn eich Mawrhydi, ymgynnulledig yn ein Cymanfa flynyddol, yn ostyngedig yn erfyn am ganiatâd i ymddangos ger bron eich Mawrhydi, i sicrhâu yn ddiffuant ein serch a'n ffyddlondeb, ac i gyd-lawenhâu â'ch Mawrhydi, ar eich esgyniad i orsedd y deyrnas hon.

" Ar yr un pryd, atolygwn eich Mawrhydi i dderbyn ein cydalar di-ragrith ar farwolaeth y Brenin diweddar, ymlyniad yr hwn wrth egwyddorion iachus llywodraethawl, am y rhai yr ydoedd ei deulu ardderchog bob amser yn nodedig, a ddatguddiwyd ar bob achlysur yn ngwârder a chyfiawnder ei lywyddiaeth, ei ofal am freintiau ei ddeiliaid, a'i serch at ein hen sefydliadau yn yr Eglwys a'r Llywodraeth.

" Gan ein bod yn arfer edrych am nodded oddiwrth y Brenin, yr hwn, dan Dduw, yw prif amddiffynydd ein ffydd apostolaidd, cofleidiwn yn llawen yr hamdden presennol i ddatgan ein diolch am y sicradau y rhyngodd bodd i'ch Mawrhydi eu rhoddi yn fynych o gred yn athrawiaethau, a gofal am achosion, ein crefydd sanctaidd, o barch at ordinhadau ein Heglwys, o'ch penderfyniad i gynnal ei breintiau, a'ch tueddfryd serchog at ei Gweinidogion.

" Ac ni allwn lai na chyfeirio, gyda mawr foddlonrwydd, at Gyhoeddiad eich Mawrhydi yn datgan eich bwriad a'ch penderfyniad Breninawl i rwystro a chospi pob math o ddrygioni, halogrwydd, ac anfoesoldeb, ac i barchu dynion duwiol a rhinweddol, âg arwyddion o'ch Breninawl garedigrwydd.

" Yr ydem a achoswyd gan yr hysbysiad o olygiadau eich Mawrhydi ar yr achosion pwysfawr hyn, a gadarnheir pan y cofiom am rinweddau nodedig eich cywely ardderchog. Yr esampl o ragoriaeth a rydd ei Mawrhydi a'n tuedda i ddisgwyl y canlyniadau dedwyddaf oddiwrth yr effaith a gaiff hyn ar nodweddiadau y rhyw fenywaidd. yn enwedig yn yr urddau goruchel, lle y mae yn fwyaf agored i sylw, ac y caiff yr effaith mwyaf ar gymdeithas.

" Yr ydym yn barnu y pethau hyn o'r pwys mwyaf, pan yr ystyriom y rhuthriadau a wneir ar ffydd, disgyblaeth, a llywodraeth yr Eglwys, yr hon ni fu erioed mewn cymmaint angen am gynnaliaeth a nawdd ag yn yr amser presennol: y dirmyg ar orchymynion Duw, a chyfreithiau y tir, yr hwn yr ydym yn ofni sydd yn ymdaenu yn gyflym, er niwed annhraethol i egwyddorion yr holl drigolion, ac yn enwedig i'r ieuaingc a'r anwybodus. Mewn perthynas i'r pwnc olaf hwn, dilys genym, Syr, pe dangosai boneddigion, a gwyr mewn awdurdod, yn eu hymarweddiad, barch diffuant tu ag at grefydd, y llwyddai eu hesampl yn fawr i ddiwygio moesau yn gyffredinol, yn gystal yn ei effaith uniongyrchol ar dybiadau y cyffredin, a'i dueddiad i rwyddhâu gweinyddiad dyledus y deddfau yn erbyn annuwioldeb a dirasedd—taeniad cyhoeddiadau anllad—ac halogiad dydd yr Arglwydd.

" Etto, Syr, yr ydym yn teimlo bod yn rhaid i gynnaliaeth gwir grefydd, a rhinwedd dda, ymddibynu yn fwyaf ar Offeiriaid yr Eglwys Sefydledig, ar iachusrwydd eu ffydd, effeithioldeb eu haddysgiadau, a sancteiddrwydd eu bucheddau; a chyfrifem ein hunain yn hylwyr annheilwng o'r breintiau a sicrhâwyd i'r Eglwys gyda golwg ar fudd y cyffredin, pe gommeddem gyflawni, gyda zel diflino, ein dyledswyddau crefyddol. Ein hymdrech parhâus fydd, gan hyny, nid yn unig i hyfforddi, ceryddu, a chynghori, gyda phob diwydrwydd a thaerineb wrth gyflawni gorchwyl,

ion cyffredin ein Gweinidogaeth; ond hefyd i gynnorthwyo i daenu gwirionedd, i gynnyddu duwioldeb, i rwystro gorphwylldra crefyddol, ac i ddiwygio drygioni pa le bynag y cyrhaedd ein hawdurdod. A thra y deuwn ym mlaen, fel y dylem, i amddiffyn ein ffydd, ac i wrthddadleu gau athrawiaeth, ymdrechwn i reoli ein hymarweddiad yn ol deddfau cariad Cristionogol mewn perthynas i egwyddorion gwrthwynebwyr didwyll, gan ateb yn llariaidd a hynaws wrthwynebwyr o wahanol nodweddiad, a chaniatâu rhyddid cydwybod i bob dyn.

"Os oes, Syr, rai yn ein plith a ammharchasant eu proffes drwy esgeulusdod, gwarthus o'u dyledswyddau, neu drosseddiad, gallwn ddywedyd yn eofn fod y rhan fwyaf o'r Offeiriaid yn gofidio dros, ac yn ffieiddio eu hymddygiad; ac edrychwn ym mlaen gyda boddlonrwydd am ganlyniad yr olrheiniad a wneir yn awr dan nawdd eich Mawrhydi i ansawdd y cyfreithiau Eglwysig, gan hyderu y darperir, yn effeithiol, ryw foddion i ddiwygio yn fuan y cyfryw afreolaeth rhag llaw.

"Wrth derfynu, anturiwn sicrhâu eich Mawrhydi mai ein gwrthddrych parhâus ni fel corph, ac yn ein hamryfal sefyllfaoedd yn yr Eglwys, fydd i gyflawni ein dyledswyddau yn y cyfryw fodd ag i deilyngu nodded ein Brenin, a chymmeradwyaeth pob dyn da. A thrwy fendith Duw, ar ein llafur hyderwn yr arbedir y deyrnas hon am byth oddiwrth yr ymweliadau hyny o ddigofaint Duw, ag a achosir ryw bryd neu gilydd gan ddifaniad duwioldeb a llygredd moesau. Gallwn felly, gyda phob gostyngeiddrwydd, ddisgwyl am dderbyniad wrth ddyrchafu ein herfyniadau ar ran eich Mawrhydi ar i yspryd doethineb a nerth, trwy yr hwn y teyrnasa breninoedd, ac y barna y penaethiaid gyfiawnder, reoli a llwyddo ymgynghoriadau eich Mawrhydi, a thueddu calonau eich pobl i ufuddhâu yn wirfoddol oddiar ddwys deimlad o rwymedigaeth crefyddol, parch at awdurdod cyfreithlawn, a diolch am y bendithion a fwynheir dan lywodraeth tadawl eich Mawrhydi."

ATEB EI FAWRHYDI.

"Yr wyf yn diffuant yn diolch i chwi am yr Anerchiad ffyddlon a pharchus hwn.

"Y golygiadau a ddetgyn, a'r sicrwydd a rydd o serch tu ag ataf fi, a thu ag at fy anwyl gydymaith y Frenines, ydynt yn bur dderbyniol, ac yn peri yr hyfrydwch mwyaf i mi.

"Gallwch ymddiried yn fy ngharedigrwydd a'm nodded parhâus, ac yn fy nghyd-weithrediad zelog yn eich holl ymdrechiadau er hyrwyddo achos duwioldeb, moesoldeb, a gwirionedd crefyddol.

"Ystyriaf yr Eglwys Sefydledig fel un o'r amddiffynfeydd penaf o ryddid crefyddol a gwladol fy mhobl; a rhwymedig ydwyf, gan y darbwylliad cadarnaf o'u pwysfawrogrwydd, yn gystal a'r ymrwymiadau sobraf, i gynnal ac amddiffyn breintiau yr Eglwys Sefydledig."

Yn y dyddiau hyn, pan y mae cymmaint o eilun-addolwyr, addolwyr *Rhyddid Barn*, yn ein gwlad, hyfryd yw clywed Penaethiaid yr Eglwys yn dyrchafu eu llais yn erbyn pechodau yr oes, yn datgan eu cred yn athrawiaethau yr Efengyl ger bron y Brenin a'r wlad. Mae yr Eglwys yn deffro fwy fwy, ei haelodau yn cynnyddu mewn nifer a duwioldeb; a thra yr ydwyf yn rhwydd i gydnabod fod rhai cam-arferiadau yn yr Eglwys Sefydledig, etto; tra parhâo ei Gweinidogion i gyflawni eu dyledswyddau fel y dylent, nid oes achos brawychu o herwydd rhuthriadau y dynion hyny ag a gynhyrfir gan genfigen i ddymuno distrywiad yr Eglwys, fel y gallont hwy eu hunain gael rhan o'r elw bydol a fwynheir yn awr gan ei Gweinidogion. Nid ymhelaethaf ym mhellach y tro hwn. Ar i chwi fyned ym mlaen i oleuo trigolion y Dywysogaeth, trwy gyfrannu iddynt wybodaeth fuddiol, i ddangos iddynt ragoroldeb yr Eglwys Sefydledig, a'u cynghori i gyduno â hi, yw gwir ddymuniad eich gyfaill brwdfrydig,

CLYWEDOG.

---

CAETH-WEISION.

MR. GWYLIEDYDD—Llawer ac aml yw yr ymryson a'r cam-gymmeriadau a welir o ddydd i ddydd yn y byd, a hyny yn gyffredin o eisiau ychydig ystyriaeth ac amynedd. Eglurir hyn yn awr yn yr Eirchiadau a wneir i'r Senedd ym mhlaid Caeth-weision duon yr India Orllewinol. Haerir o hyd fod y Grefydd Gristionogol yn bennodol yn gwahardd y cyflwr hwnw.

o gaethiwed. Ond ni a wyddom yn dda, na ddaeth Crist i roddi cyfreithiau daearol, neu newid cyfiyrau altanol pobl. Yr oedd pob parth yr amser hwnw yn llawn o weision, ie, o gaeth-weision. Am ba achos y dywed yr apostol, 1 *Cor.* 7. 21. "Ai yn was y'th alwyd? na fydded gwaeth genyt; etto os gelli gael bod yn rhydd, mwynhâ hyny yn hytrach." Rhydd ddeongliad y duwiol Dr. Doddridge ar y geiriau sydd fel hyn:—"A alwyd di i eglwys Grist pan oeddit mewn gradd isel, nid yn unig yn was cyflog, eithr yn *gaeth-was;* nac *ymofidia* o herwydd hyny; eithr os gelli gael rhyddid, a hyny heb wneuthur anghyfiawnder, derbyn hyny yn hytrach, megys peth ynddo ei hun sydd ddymunol iawn, ond nid yn anhepgorol angenrheidiol er hapusrwydd dyn da." I brofi hyn, yr ychwanega yr Apostol—"Canys yr hwn ac efe yn was (caeth-was) a alwyd yn yr Arglwydd, gwr rhydd i'r Arglwydd ydyw," &c. Caethwas hefyd, yn ddiammeu, oedd Onesimus, yr hwn a ddiangodd oddiwrth ei feistr Philemon, ac yn y cyflwr hwnw y trodd St. Paul ef i'r ffydd Grist'nogol, ac felly a'i hanfonodd yn ol i'w feistr, yn llawer mwy gwerthfawr na phan giliodd mor feius oddi wrtho. Ni thybiodd yr apostol erioed fod ganddo hawl i'w ddal ef yn ol oddiwrth ei arglwydd priodol, a haeru ei fod yr awrhon ar ol ei droedigaeth yn rhydd, ac y gallai ei ddal yn ei wasanaeth. Ym mha le bynag, yn wir, y cafodd crefydd Crist dderbyniad a llwyddiant, yno y diflanodd caeth-wasanaeth; hyny oedd yr effaith dedwydd, a'r canlyniad oddiwrth athrawiaeth yr efengyl, â'r hon ni ddichon dim sydd greulon ac anhynaws fyth gyd-ddwyn. Gwel 1 *Tim.* 6. 1, 2. *Tit.* 2. 9. 1 *Petr* 2. 18. *Eph.* 6. 5, 6. *Col.* 3. 22.

HOFFWR Y GWIR.

## LLYTHYR PERERIN.

MR. GWYLIEDYDD—Y mae yn ofynol i bob graddau o ddynion yn y dyddiau hyn ymarfer â chynnildeb *(economy)* a chwtogi llawer o draul afreidiol; ac yn hyn y mae ein brenin tirion wedi rhoddi i ni gynllun teilwng o'i efelychu.

Fel engraifft o'r cynnildeb yma, ceisiaf ddangos fod ymdaith *ar draed* yn llawer gwell nag ymdaith *ar geffyl;* a hyny ar dri o ystyriaethau.

1. Y mae yn fwy diogel; o herwydd nid oes mo'r fath berygl i ddyn ar ei draed anafu aelod, neu golli bywyd, trwy wylltineb anifail direswm.

2. Y mae yn fwy hyfryd: o herwydd (er y byddai yn anhawdd gan rai goelio hyny) y mae llai o ludded, ac yn sicr llai o flinder meddwl: hefyd, y mae yr ymdeithydd yn cael mwy o hamdden i sylwi ar degwch y greadigaeth; a phan ddelo i ben ei daith, dyna ben ar ei ofalon teithiol.

3. Y mae yn rhatach. Wrth gadw ceffyl, ac ymdaith âg ef, y mae braidd yn anghredadwy faint o arian a dreulir am borfa, gwair, ceirch, pedolau, tollbyrth, marchweision, &c. Pa faint o ddaioni a wnai y swm hyny, pe'i rhenid ym mysg y tlodion, ac at achos crefydd?

Yr unig wrthddadl o bwys a ddichon gyfodi ydyw, bod ymdaith ar geffyl yn gyflymach nag ar draed. Ond os ystyrir gymmaint o amser a gollir wrth ymbarotoi, ac oblegid anwastadrwydd y ffyrdd; heblaw y pethau a ddywedwyd o'r blaen, fe welir ou bod yn dirymu yr wrthddadl hon: canys pa faint mwy rhagorol ydyw dyn na cheffyl?

Oblegid yr egwyddorion hyn, gan fod genyf geffyl, mi a'i gwerthais i gyfaill, yr hwn a farnai yn union i'r gwrthwyneb am y rhesymau uchod.

Y mae hefyd amryw bethau er-

eill, yn y rhai y gellir cynnilo, megys bwrw heibio ddiodydd cryfion, ac amryw fath o ymborth, dillad, a dodrefn afreidiol.

Yr arian a gynnilir yn y modd hwn ni ddylem eu trysori ar y ddaear, ond eu defnyddio er gogoniant Duw, trwy wneuthur daioni yn ein dydd a'n cenhedlaeth.—— Ydwyf, yr eiddoch yn ddiffuant,

PERERIN.

---

Y GOLEUNI GOGLEDDOL.

Y GWYLIEDYDD HYBARCH,— Os nad wyf yn camsynio, y mae llawer, heblaw Moore a'r Cyfaill o Ddulyn, yn darogan drygfyd. Ac, yn wir, ni ddylai un dyn pwyllus ammeu hyn, medd pobl y Tylwyth Têg, a theulu Ffynnon Elian: canys y mae Ifan Ofergoel, a Bodo Benwan o Gwm Chwedlau, yn dywedyd yn sicr, na bu y fath ymddangosiadau yn yr wybren, ond o flaen Brâd y Cyllill Hirion—Rhyfel America—Chwyldroad Ffrainc—a byd o derfysg, gwaed, a galanastra. Nid all yr ymddangosiadau hyn fod yn anhyspys i chwi, Wyliedydd hybarch; oblegid ni ryfygaf feddwl eich bod chwi un diwrnod, na hwyr na boreu, heb edrych i fynu i'r nef; am hyny chwi a sylwasoch ar ymddangosiad y rhan ogleddol o'r wybren, nos y 25ain o Ragfyr diweddaf, a'r 7fed o'r mis hwn. Ac onid oedd, ŵr da, yn iaith Penllyn, yn rhyfeddol i'w ryfeddu? Canys tua naw, a chyn ac ar ol hyny, o nos y seithfed, yr oedd rhan o'r wybren, yn y parth gogleddol o honi, yn goch fel gwaed—rhan yn wyn goleu—rhan yn wyn gwanaidd, yn tynu at felyn—rhan yn wawrgoch tanlliw—a rhanau ereill o liwiau annarluniadwy mewn ysgrifen. Y cwbl yn ymddangos mal colofnau amryliw, bonawg, brigfain, yn pwyntio tu a'r deheu; ac ar un amser, y noson uchod, yn terfynu mewn cylch crwn, ychydig i'r gogledd o'r Twr Tewdws, yn Arwydd y Tarw. Y cwbl hefyd yn ymddangos fel yn symud; ac ar rai prydiau yn cyfnewid eu lle, a'u lliw, gan wau trwy 'u gilydd mor gyflym ag y gallai llygad eu dilyn; a phrydiau ereill, yn arafaidd, mal wedi blino, yn chwareu plith draphlith yn yr ehangder diderfyn. Ond, Wyliedydd anwyl, fel y byddo i'ch darllenwyr weled mai chwedlau disail yw siarad Ifan a Bodo ar y testun hwn, rheddaf ger eu bron, trwy 'ch cennad chwi, allan o lyfrau'r doethion, ychydig o hanes y Goleuni Gogleddol, barn y doeth a'r deallus am dano, ynghyd â'r achos o'i ymddangosiad.

Ni chofheir am y Goleuni Gogleddol ond anfynych yn llyfrau yr hen oesoedd, a hyn a bair i rai feddwl, mai anfynych yr ymddangosai y goleuni hwn yn y dyddiau hyny; ond ereill a feddyliant, mai nid yn yr ymddangosiadau yr oedd yr anfynychdra, ond yn y coffadwriaethau am danynt. Y gwr cyntaf a roddodd ychydig o hanes am y goleuni hwn, ydoedd y Seryddwr nodedig Halley, yr hwn a anwyd yn Llundain, yn y fl. 1656, ac a fu farw yn y fl. 1742. Yr ymddangosiad cyntaf y coffâ efe am dano allan o lyfrau, ydoedd ar y 30ain o Ionawr, yn y fl. 1560. Y nesaf a ddigwyddodd ar y 7fed o Hydref, 1564. Ymddangosodd hefyd ddwy noswaith yn olynol, sef y 14eg a'r 15fed o Dachwedd, 1574. Gwelwyd ef ddwywaith yn yn fl. 1575, sef y 13eg o Chwefror, a'r 28ain o Fedi. Darlunir yr ymddangosiadau hyn, gan ŵr dysgedig yn edrych arnynt, trwy eu cyffelybu i waewffyn, dinasoedd caerog, a lluoedd yn ymladd yn yr awyr. Dywed un arall, ar y Cyfandir, iddo weled y goleuni hwn seithwaith yn y fl. 1580. Ymddangosodd mewn modd rhyfedd yn Ebrill a Medi, y flwyddyn 1581, ac ar

amserau ereill yn yr un flwyddyn; ond nid mor gryf a thanbaid. Y nesaf a sonir am dano, a ymddangosodd yn y fl. 1621, i'r hwn y rhoddwyd yr enw *Goleuni Gogleddol* gyntaf, gan ŵr dysgedig o Ffrainc, o'r enw Gassendus. Ni sonir ar ol hyn gan ysgrifenwyr Seis'nig am y goleuni hwn hyd y fl. 1707. Yn y flwyddyn hon, fe ymddangosodd y Goleuni Gogleddol ym mis Tachwedd; a gwelwyd ef bum waith yn ystod y flwyddyn hon, a'r flwyddyn 1708. Yr olaf a goffheir am dano gan Halley, a ymddangosodd ym mis Mawrth, 1716—16. Yr oedd ei ymddangosiad y tro hwn mor ysblenydd a bywiog, fel y tynodd sylw cyffredinol; a dywedai y diddysg, a'r ofergoelus, ei fod yn rhagddangos pethau dychrynllyd. O'r amser hwn hyd yn awr, ymddangosiad y goleuni hwn a fu yn beth mor gyffredin, fel na chadwyd coffadwriaeth am amserau neillduol ei ymddangosiad. Ond, i weled y Goleuni Gogleddol yn ei berffeithrwydd, y mae yn rhaid i ni, medd Ymdeithwyr, fyned i Ynysoedd Môr y Gogledd, ac ardaloedd oerion Siberia. Yn Ynysoedd Shetland, fe ddywedir wrthym yr ymddengys y *Dawnswyr Chwareus*, fel y galwant hwy y goleuni hwn, bob noswaith ddigymylau yn eu gauaf. Ac fe ddywedir wrthym, fod ymddangosiad y goleuni hwn yn ddychrynllyd ac ofnadwy yn Siberia. Darlunia un ef fel y canlyn:— Y Goleuni Gogleddol a ddechreu ymddangos yn golofn unigol ddisglaer, yn cyfodi o'r gogledd, ac agos ar yr un pryd o'r gogledd ddwyreiniol. Ymledant yn raddol nes gorchuddio rhan fawr o'r wybr. Yna ymchwifiant o le i le, gyd â'r cyflymdra mwyaf. Y ffrydiau hyn o oleuni, ar ol hyn, a welir megys yn ymgyfarfod yn entrych awyr; ac felly yn ymddangos mal pe buasai babell eang amryliw, wedi ei lledu yn yr wybren. Ymddangosiad harddach, nid ellir ei ddarlunio. Ond nid all un dyn edrych arno y tro cyntaf, heb ofn a dychryn nid bychan: canys y mae yn cydfyned â'r goleuni hwn ryw sŵn a chlindarddach dieithrol yn yr awyr, yr hyn a ddarlunia'r trigolion mewn ymadrodd yn arwyddocäu, *bod y llu cynddeiriog yn myned heibio.* Y mae y sŵn hwn yn fynych mor ddychrynllyd, fel y gorwedd eu cŵn hela hwynt ar y ddaear yn llonydd, pan yn dilyn eu hysglyfaeth, hyd nes bo'r sŵn drosodd.

Fe fuwyd yn hir yn ammheuus pa un a oedd goleuni cyffelyb i hwn yn ymddangos ynghylch Pegwn y Deheu. Y mae hyn yn awr yn sicr: canys fe ddywed un a fordwyodd i'r deheu gyd â'r Cadpen eofn Cook, iddo weled goleuni cyffelyb i'r Goleuni Gogleddol yn uchel yn y deheu. "Ymddangosodd neithiwr, a heno (medd efe) Chwefror 17, 1773, yr hyn hefyd a welwyd y nosweithiau canlynol, ymddangosiadau ardderchog yn yr wybren, nid amgen na cholofnau hirion o oleuni cànaidd, yn saethu i fynu o'r terfyngylch dwyreiniol hyd agos entrych awyr, ac yn raddol yn ymledaenu dros holl ran ddeheu yr wybren. Ac er eu bod yn y rhan fwyaf o bethau yn debyg i'r Goleuni Gogleddol; etto yr oeddynt yn wastad yn amrywio yn eu lliw oddi wrtho; canys yr oedd yn wastad yn wyn. Yr wybr ydoedd, gan amlaf, yn ddigwmwl pan y gwelid y goleuni, a'r awyr yn oer a rhewaidd." Wrth sylwi ar y Goleuni Gogleddol, fe welir bod ffrydiau y goleuni yn rhedeg i gyd tu a'r deheu; ac y mae yn debyg hefyd bod ffrydiau goleuni y deheu yn rhedeg tu a'r gogledd; ac felly, os y'nt yn para i redeg, hwy a ymgyfarfyddant yn yr wybren uwch canolgylch y ddaear. Peth arall a welir yw, nad yw y goleuni hwn yn ymddangos ond pan y bo'r awyr yn oer a rhewllyd; ac am hyny

yn amlaf yn y gauaf, ac yn yr ardaloedd oeraf.

Yn awr am farn y doethion am y Goleuni Gogleddol. Hir y buwyd yn ammheuus i ba beth y priodolid yr ymddangosiadau rhyfedd hyn; ond yn awr priodolir y cwbl gan bawb agos i wefryddiaeth *(electricity.)* Fe ymddengys bod rhyw aw treiddiol, a elwir gan Anianyddion, Aw gwefrawl *(Electric fluid)* yn perthyn i bob rhan o anian adnabyddus i ni. Hyn sydd sicr:—Bod pob peth sylweddol adnabyddus i ni yn meddu mwy neu lai o'r aw hwn:—Nad yw y cyfran a feddiennir gan unrhyw beth, yn gyffredin, yn peri un cyfnewidiad neillduol ynddo; ond pan y chwanegir, neu y lleiheir y cyfran perthynol i unrhyw beth yn ol trefn anian, yna y mae yn peri ymddangosiadau neillduol, trwy oleuni, sŵn, tyniad, neu wrthyriad:—Ei fod yn symud gyd â'r cyflymdra mwyaf, gan y gwyddis ei anfon ar hyd *wifr* (*wire*) lawer o filltiroedd o hŷd mewn dim o amser; ac am hyny, fe allai, yr amgylchai y ddaear mewn mymryn o amser: gellir ei gasglu yn nghyd i'r cyfryw raddau, fel y lladdai y creadur cryfaf ar unwaith:—Y gellir tynu allan o gorph dyn wreichion bywiog a thanllyd o'r aw hwn, os bydd y dyn yn sefyll ar ystôl â thraed gwydr iddi:—Y gellir ei dynu i lawr o'r wybr gyd âg offerynau addas i hyny:—Mai yr un yw yr aw hwn a'r mellt; neu, nad yw y mellt ond yr aw hwn mewn cyflwr gweledig, yn symud o'r nef i'r ddaear trwy offeryniaeth y cymylau:—Bod yr awyr yn meddu llawer o'r aw hwn; a bod y rhanau uchaf o'r awyr yn llawnach o hono na'r rhanau isaf:—Y rhed yr aw hwn ar hyd rhai pethau, ac na red efe ar hyd pethau ereill:—Y rhed ar hyd rhai pethau mewn un cyflwr, pan na red ar hyd iddynt mewn cyflwr arall. Ni red gyda rhai pethau pan yn oerion, er y rhed ar hyd iddynt wedi eu twymo, &c. Fe gafwyd allan y gwna rhai pethau yn gynnes arwain yr *aw gwefrol*, megys awyr gynnes, gwydr cynnes, ystor cynnes, dwfr cynnes, cŵyr cynnes, &c. ond pan oeront, ni wnant hyny.

Yn awr, gan i'r Creawdwr bendigedig gynnysgaeddu pob rhan ac elfen o'r ddaear, a'i pherthynolion, â chyfran angenrheidiol o'r aw hwn—a chan fod mymryn o hono yn dyrchafu yn barhaus o'r ddaear gyda phob mymryn o darth dyrchafedig gan wres, &c. o'r ddaear—a chan fod y tarth, a'r awyr agosaf i'r ddaear, wrth ei hanadlu a'i defnyddio gan ddyn ac anifail, &c. yn ysgafnhau—a chan fod yr awyr ysgafn yn dyrchafu i barthau uchaf yr awyr—y mae yn eglur ganlyn, y gorlenwid rhanau uchaf yr awyr â'r aw hwn, os na ddychwela yn ol, ac yr yspeilid y ddaear o beth angenrheidiol i'w ffrwythlondeb. Ond gan na red yr aw hwn ar hyd awyr o ryw radd o oerni—a chan fod yr awyr ym mharthau oerion o amgylch pegwyni y ddaear, yn y gauaf, wedi ei oeri is y gradd hwnw—a chan ei fod ar rew wedi ei oeri felly i raddau pell oddiwrth y pegwyni yn y cylchoedd tymherus—y mae yn ymddangos yn lled debyg, nad all yr aw hwn ddychwelyd o'r ddaear yn yr ardaloedd hyny, cyhyd ag y pery yr awyr yn y gradd hwnw o oerni ag y cyfeiriwyd ato.

Yn nesaf, pan yr ystyriom bod awyr wedi ei gynnesu i ryw raddau, yn arweinydd dengar i'r aw gwefrol—a phan ystyriom bod yr haul, trwy ddisgyniad unionsyth agos ei belydrau ar awyr canolgylch y ddaear, a'r parthau amgylchiadol iddo, yn ei wresogi i'r graddau hyny—a phan ystyriom bod yn angenrheidiol i'r aw hwn ddychwelyd yn ol i'r ddaear, yn ol deddf creadigaeth, er cyflenwi y gwagle a wnaethpwyd ynddi trwy

y dyrchafiad tarthol, &c.—pan ystyriom yr holl bethau blaenorol, nid ymddengys yn afresymol ddywedyd, mai yr awr gwefrol, wedi dyrchafu i barthau uchaf yr awyr, ac yn analluog, o herwydd oerni yr awyr o amgylch y pegwyni, &c. i ddychwelyd yn ol i'r ddaear yn y parthau oerion, ac yn profi dylanwad anaawdd arweinyddol awyr gynnes y canolgylch yn ei dynu i ddylifo i'r ddaear trwy'r parthau cynnes o'r awyr, yw yr hyn a elwir Goleuni Gogleddol. Ansoddau amrywiol rhanau amrywiol y môr diderfyn o awyr y rhed yr aw gwefrol drwyddynt ar ei daith o'r pegwyni i'r canolgylch, sydd ddigonol i beri yr amrywiaeth a welir yn ei ymddangosiad, o ran llun a lliw. Cyfnewidiadau diddarfod ein hardal i ni, o ran graddau oerni a gwres, o ran gwlybaniaeth a sychder, oran tawelwch a thymhestl, &c. a rydd, fe allai, gyflawn foddlonrwydd i'r ymofyngar, paham, gan iddo weled y Goleuni Gogleddol Nos Wener y 7fed o Ionawr, na welsai ef hefyd ar yr 8fed, y 9fed, &c. Y mae achos, yn ddiau, yn peri iddi ddechreu rhewi ryw awr o ryw ddiwrnod, a diau fod achos paham y dechreuodd ddadlaith ryw fynyd o ryw awr o ryw ddiwrnod arall. Ond pwy a fedr gael allan yr achos hwnw? Felly y mae achos paham yr *ymddangosodd* y Goleuni Gogleddol nos y 25ain o Ragfyr diweddaf, a nos y 7fed o'r mis hwn; ond pwy, heblaw Rheolwr mawr y bydoedd, a fedr ddangos yr achos hwnw, ni's gwn i. Y mae anian yn parhaus weithio yn y dirgel, ac yn y cyhoedd—yn y tywyll, ac yn y goleuni; ac weithiau fe rynga fodd iddi i symud y gorchudd, a dangos i ni ryw ran o'r gwaith sydd yn parhaus fyned yn y blaen. Rhan o'r gwaith hwn yw y Goleuni Gogleddol; ac y mae, fel pob rhan o'r gwaith, yn cyhoeddi yn uchel ddoethineb a gallu, mawredd a daioni Arglwydd y lluoedd, Duw ein hiachawdwriaeth. Nid er ein lladd y gwnaeth efe y Goleuni Gogleddol: ac nid i ddarogan drygfyd y mae efe yn ei ddangos ef i ni yn awr ac yn y man; ond er ein dwyn i gydnabod ei fawredd, i ryfeddu ei ddoethineb, i ganmol ei ddaioni, ac i'w addoli yn ei holl berffeithrwydd diderfyn.——Ydwyf, y Gwyliedydd hybarch, un o'ch hen Ohebwyr,

*Ionawr* 17, 1831. Y MOFYNWR.

---

## ANWYBODAETH Y CYMRY O'R GYFRAITH.

Barchedig Wyliedydd—Yn eich Rhifyn am Dachwedd 1830, tu dalen 387, dangosasoch garedigrwydd i'n cenedl drwy hysbysu yn helaeth am Gyfraith y Tafyrn a'r Bragawdlyn. Crybwyllasoch hefyd, fod achosion brawdlysoedd Cymru, o hyn allan, i gael eu gweinyddu yn ol yr un drefn ag yn Lloegr, &c. Ond, Ow! Ow! nid oes mo'r un o gant o'r Cymry a ŵyr y drefn yn Lloegr, nac yn deall yr iaith y gweinyddir y gyfraith ynddi: a'r rhan amlaf o'r ychydig Gymry a ddeallant yr iaith, ac a wyddant y gyfraith, cynt y cymmerant y fantais hono, er mwyn eu helw, i dwyllo yr anwybodus, a'i dynu i afael y gyfraith, nag y dysgant ef ynddi.

Mae rhagluniaeth y nef wedi ehangu arnom mewn hedd a rhyddid gwladol a chrefyddol, ym mhell tu hwnt i'r hyn a fwynhaodd ein hynafiaid; a chenym ein câr William IV. ar orsedd Prydain yn ein caru, ac yn caniatâu i ni ogyfuwch breintiau ag i neb o'i ddeiliaid: ond bychan a ŵyr ef ein bod ni (o ddiffyg ein bod oll yn gwybod y gyfraith) fel pysg yr eigion yn ymborthi ar eu gilydd. Mi a ddymunwn na bo cenedl tan y nef yn y fath gaethiwed a'r Cymry, yn rhwym i sefyll at gyfraith na's

gwyddant ddim o honi, nac o'r iaith y gweinyddir hi ynddi; ac y maent mor ddarostyngedig i'r gosp am ei throseddu ag ydyw y rhai a'i gwyddant hi oreu, er i'r naill ei throseddu heb wybod, a'r llall trwy wybod. Ac, yn wir, ni waeth i ni ofyn i'r Pab am ddirgelwch ei grefydd, neu i'r physygwr am ddefnydd ei gyfferi, na cheisio ein dysgu yn y gyfraith gan y Cymry a'i gwyddant hi; oblegid eu gwybodaeth hwy, a'n hanwybodaeth ninnau, o honi, yw eu dyrchafiad hwy, a'n darostyngiad ninnau. Gan hyny, Syr, meiddiaf ofyn, yn ostyngedig, a wnewch chwi, gyd â'ch Gohebwyr dysgedig a dyngarol, gyhoeddi dernyn o'r gyfraith y'mhob Rhifyn o'ch Cylchgrawn buddiol? Mae pob rhan o'ch Cyhoeddiad yn hoff a derbyniol. Rhyfedd yw hanes "*Gefeilliaid Siam*;" difyrus yw gwybod "*Poblogaeth y byd*;" athrawus a gedidog yw y "*Ddarlith ar Fwnai*," a'r "*Araith ar y Dderwen yn Ngwig Wynnstay*;" heblaw amryw felysion ereill ynddi, hi a rydd gyfarwyddyd mawr i'r achwr olrhain gwaedoliaeth Syr Watcyn W. Wynn, yr hwn waed a ddylifodd trwy galon Gruffydd ab Cynan ab Iago ab Idwal, &c. Tywysog Gwynedd, coleddwr Beirdd a Barddoniaeth Gymreig, a thrwy wythi ei fab, Owen Gwynedd, a Rodri, Arglwydd Môn, Caradog, Gruffydd, Dafydd, Howel, Meredydd, Robert, Ieuan o Gesailgyfarch, Meredydd Wynn ab Ieuan o'r Gesail, a fagwyd yn y Crug, adeiladydd Penamnen yn Nolyddelen, a Gwydir,* gerllaw Llanrwst, Syr John Wynn, Syr Robert, a William Wynn, Gwydir, a thrwy y cyfryngau a soniai *Gwerfylyn* i wytheni Syr Watcyn W. Wynn, a'i fab. Ond er mor ddifyrus yw gwybod pethau fel hyn, llawer gwerthfawrocach i ni wybod, yn gyntaf, y modd i ymddwyn tu ag at ein gilydd yn ol cyfraith ein gwlad; a hyderaf y bydd i chwi a'ch Gohebwyr gwladgarawl ein cyfarwyddo i'w gwybod, trwy gyhoeddi, o dro i dro, ranau o honi yn eich Rhifynau misol.

Ac, yn gyntaf, dymunaf wybod, pa fodd y mae i mi ymddwyn yn deg a chyfiawn, yn ol y gyfraith, ataf fy hun, ac at fy nghymmydog, yr hwn sydd yn nacâu talu deunaw swllt ar hugain sy ddyledus arno i mi?

Ac at un arall sydd arno i mi dair punt a deg swllt?

Ac at un arall sydd yn byw mewn tŷ i mi, ac yn nacâu talu i mi am y tŷ?

Ac at ddyn arall yn byw mewn tŷ i mi, ac yn nacâu ymadael o'r tŷ, er i mi ei rybuddio yn brydlawn i ymadael?

IARDDUR.

Arllechwedd, Swydd Gaerynarfon,
*Rhagfyr* 21, 1830.

---

ACHAU TEULU CEFN LLANFAIR YN LLEYN, SWYDD GAERYNARFON.

HUW ap Huw, ap Rhys, ap Huw, ap Gruffydd, ap Huw, ap Rhisiart, ap Dafydd, ap Llywelyn, ap Cynfrig, ap Bleddyn, ap Ifan, ap Cynfrig Fychan, ap Cadwgan, ap Llywarch Fychan, ap Llywarch Goch, ap Llywarch Howlbwrch, ap Pill, ap Cenau, ap Einion, ap Gwrydr, ap Helig, ap Glanog, ap Gwgan, ap Caradog, ap Llŷr Merini, ap Einion Yrth, ap Cynedda Wledig,

---

* Gwydir yw gwir enw y lle, oblegid y byddai afon Gonwy yn llifo dros y dolydd, gan gludeirio gyda hi weiriau, ydau, a choed, "A'u nofiad yn efrydd o Gonwy i fôr Gwerydd," fel y dywedai Merddin ap Morfryn; ac felly y mae hi etto, ar lifddyfroedd mawrion, er maint a gloddiwyd. Gallasai *Gwerfylyn* hepcor y gair "Gwaedir." Ni's gwn pa un ai Gwaedir, ai Gwaed-ir, a feddylia ef. Nid oes sail i'w alw ef yn "Waettir," fel yr arferwyd gan rai; canys Gwy-dir oedd ac yw ei enw.

breinin Gwynedd a Deheubarth Cymru.

Yr oedd Huw ap Rhisiart ap Dafydd yn un o'r boneddigion a fu yn ngharchar yn Llundain o achos *Fforest* y Wyddf. Yr oedd yn Fardd. Efe a ganodd lawer yn y carchar. Efe a gânt i'r Eos yn ail Eisteddfod Caerwys, 1565, y nawfed flwyddyn o deyrnasiad Elisabeth. Gelwir ef yno Huw Llyn. Yr oedd iddo fab a elwid Rhisiart Huws, ac mewn swyddau uchel dan Elisabeth, a than Iago I. Y mae Cywydd ei Farwnad yn werth sylw i'w deulu (pe gwypid pwy ydynt) a phob Hynafiaethydd, ac yn hawdd ei gael. Dywedir ynddo—

"Huw, pur rosyn, ap Rhisiart,
"Hwn, pe'i byw, oedd ben pob art,"

Sef Huw Llyn, tad Rhisiart Huws. Ac am Richard Hughes y dywedir—

"Bu was hael, hapus helynt,
"Oes byth gof, i Elsbeth gynt;
"Bu 'r un wedd, fab Barwn iaith,
"Was alwant i Siams eilwaith.
* * * *
"A'i was fu, gu ragoriaeth,
"Hyd yr awr o'r byd yr aeth.
* * *
"Ulyses dan law Iesu,
"Ector, tros for mentrus fu,
"Dim nid oedd drwy 'r ieithoedd draw,
"Doeth rwyddwalch, dieithr iddaw.
"Pasio pawb hapusa pen,
"Bu ei rywiog ber awen:
"Canu 'r iaith gwiriaith gwarant,
"A thalu am ganu i gant.
"Peth rhyfedd, wiw fawredd fodd,
"O fiwsig a ddyfeisiodd.

Sonir yn Nghyfrinach y Beirdd (gan Iolo Morganwg) am Ramadeg o waith y Rhisiart Huws hwn. Gallai fod ei dad Huw Llyn, y Bardd (ac fe allai ei gyfwladwr a'i gydoeswr William Llyn) gwedi sylfaenu y cyfryw un. Bu Richard Hughes farw yn ddiblant, a'i frawd Gruffydd a ddaeth i'r etifeddiaeth. Yr oedd yn Sirydd Swydd Gaerynarfon yn y flwyddyn 1615. Yn y flwyddyn 1685, un Love Parry oedd etifedd Cefn Llanfair. Pa fodd y collwyd y cyfenwad Huws, a pha un ai yr un teulu sydd yn ei feddiannu hyd heddyw, ni's gwn. Dymunol fyddai i Mr. Evan Richards (Ieuan Lleyn) neu ryw Hynafydd o'r ardal, chwilio allan, ac amlygu pwy sydd o epil Huw Lleyn heddyw—a pha un ai ei epil ef, ai ereill, sydd yn meddu Cefn Llanfair, a'r Wern Fawr.

GUTYN.

---

LLYTHYR HEDDWCH.

FANYLORAFF WYLIEDYDD—Yn nghlyw y llais anwylaf, ac ar liniau y dyneraf o famau, y'm magwyd; pob peth a ewyllysiwn a gawn: pob gwaedd lem yn yr heol a'i briwiai, os o'r golwg y byddwn i. Fy nhad hefyd yr un modd a roddai i mi a'm boddiai: amryw a heirdd oeddynt fy nheganau: ond y'mora dydd fy egwan oes, deuai cwmwl rhyngwyf a haul fy llawenydd, brochodd digrifwch, a'm holl wendidau a gydgyfarfu yn fy llygaid, gan fy rhoddi i alar a thristwch, a'r dagrau a gwysai fy mochdyllog grynion ruddiau, drwy i law frawychus angeu gymmeryd ymaith fy nhad i'w fedd, yr ardal lonydd; ei enw ydoedd TRYDYDD.

Ond er y digwyddiad galarus uchod, cefais fy iachau, drwy fod yn hawdd iachau plentyn, â chusan melys fy oedranus fam, a'i henw Undeb. Tebyg oedd i'r wraig yn y Diarhebion, yn edrych ar ffyrdd tylwyth ei thŷ, pob peth a wnai yn dda; er iddi berchen llawer o weithfeydd, yr oedd pob peiriant o'i heiddo mewn perffaith hwyl; yr olwg arni yn serchog, ei chalon yn llawn cariad, a'i holl weision a morwynion a fyddent bob sabboth yn cydfyned law yn llaw i'r addoldy i alw ar, ac i dalu teyrnged o fawl i Grëwr y bydoedd. Ond, O! Wyliedydd, er eich manyled, y mae rhai o weision fy mam wedi ei gadael; ac, fel pob rhai drwg, anaml yr ymrodiant hyd y nos; ac

y maent yn dyfod i ganol meusydd fy mam, gan sathru yn drymion eu gwyrddlas feillion; ânt i'r ardd, a dinystriant y per-aroglaidd flodau tryliw oll; andwyant ei magwyrydd, ysglyfaethant ei hanifeiliaid, ac o'i chnwd brasaf y gwnant goelcerthi; nes y gwrida yr awyr, mal un fai yn cywilyddio drostynt. Os digwydd i chwi gwrdd â rhai o honynt yn eich gwyliadwriaeth, Wyliedydd hawddgar, dywedwch wrthynt fod genyf frawd hynach na mi, ag sydd ddistrywiwr o'i febyd, a'i enw Rhyfel, yr hwn sydd yn awr dros y môr, ond fy mam a'i disgwylia adref ddydd a nos. Yr wyf yn ceisio gwneud yn dda rhwng y gweision hyn a fy mam, hyd y gallaf, eithr hyd yn hyn ni lwyddais. Hefyd, y mae y gweision sydd gartref yn bwgwth cyfodi yn erbyn y gwrthgilwyr, ac os unwaith yr ymranant, tŷ fy mam ni saif: a thrwy fod henaint wedi ei dal, a hithau yn fethiant, ni's gall ddiangc o'r dinystr, a rhaid mai marw yn ei ganol a wna; a thrwm fydd gan rai cyfeillion i minnau dori fy nghalon am y tro. Eithr, gan obeithio y goreu, fanylgraff Wyliedydd, ydwyf yr eiddoch ar glaf-wely, HEDDWCH.

---

GWARADWYDDIAD ANGHREDADYN.

Y'mharthau gorllewinol Swydd Gaerefrog, yr oedd glowr gostyngedig a duwiol, a fyddai yn fynych yn cael ei wawdio gan ei gydweithwyr annuwiol am roddi cred i'r Bibl. Byddai y Llyfr hwn yn fynych yn destun gwawd a chabledd yn ei glywedigaeth ef, megys Llyfr yn cynnwys dim ond twyll a chyfeilliornadau. Mynych yr ymffrostient eu gydweithwyr yn eu medrusrwydd yn dadleu, a mynych y rhoddent hèr i'r glowr ddyfod allan i faes ymddadleuaeth. Gwyddai ef mai nid er buddioldeb, ond er gwag-ogoniant, yr oeddynt yn dymuno dadleu; am hyny gwrthodai yn aml ymryson â hwynt. Eithr, ar ryw achlysur, pan oedd nifer mwy nag arferol wedi ymgynnull ynghyd o'r rhai a addefent eu hanghrediniaeth yn y cyfan o'r Bibl, ymosodasant arno yn watwarus, a galwasant arno amddiffyn ei gred. Cynhyrfwyd ei yspryd y tro hwn i'w gwrthsefyll, ac i roddi rheswm am y gobaith oedd ynddo. Cytunodd i wrando ar eu gwrthddadleuon, ar yr ammodau hyn—na byddai i neb daro un arall â ffon, nac â'i ddwrn—na byddai i neb dyngu—ac na byddai i neb ymwylltio. Gwedi penderfynu hyn, gofynodd i'w wrthwynebwr anghrediniol, ar ba ran o'r Bibl yr ewyllysiai ddechreu? "Dechreuaf gyda Moses," ebe 'r gwatwarwr. "O'r goreu," ebe 'r crediniwr; "eithr, yn gyntaf, profwch i mi a fu y fath ŵr a Moses yn byw ar y ddaear; canys ni wiw sôn am un na fu erioed mewn hanfodiad." "Beth, nid ydych am wadu hanfodiad Moses?" ebe 'r gwatwarwr. "Nid yr ymofyniad yw, pa beth yr wyf fi yn ei wadu: gofynaf i chwi brofi hanfodiad gwr na cheir dim hanes am dano ond yn y Bibl yn unig, y Llyfr, yn yr hwn, meddwch chwi, nid oes dim ond swrn o ddychymmygion a chelwyddau." Tarawyd y cablwr yn fud. Daliwyd ef yn rhwyd ei anghrediniaeth ei hun; ac ni allai ei gymdeithion ei ddwyn allan o'i ddyryswch. Chwerthodd pawb am ei ben, yr hyn a friwiodd ei falchder, ac a'i gyrodd allan o'r ystafell yn waradwyddus. Yr oedd hyn yn oruchafiaeth gostyngeiddrwydd a gwirionedd dros ryfyg ac anwybodaeth.

GWILYM EDWEN.

---

GOFYNIAD.

Pa bryd, ac ym mha le y gwelwyd neu y lladdwyd y Blaidd diweddaf y'Nghymru? G.

# BARDDONIAETH.

### COLL GWYNFA.—Llyfr I.

*(Parhâd o du dal. 23.)*

Yn agos safai bryn, a'i erwin ben
Gyfogai dân a mŵg; a'r arall ran
Yn glaer gan elriaŭ grest, diammeu nod
Y cuddiai yn ei groth fettelaidd ŵn
Ac ufel. Yno cyrchai gyda brys
Lluosog fintai, fel cloddeidiaid lu,
A chanddynt gaib a rhaw, ar frys o flaen
Y gwersyll redant, er gwneud ffos mewn maes,
Neu godi gwrthglawdd. Mammon oedd eu pen;
Ef, Mammon, yr ansythaf ysbryd oll
O'r nef a syrthiodd: can's yn nef, i lawr
Y crymai byth ei fryd, gan hoffi 'n fwy
Y palmant aur o dan ei draed nac un
Peth dwyfol, pur, a sanctaidd, a fwynhêid
Mewn gwynfyd fry: yn gyntaf ganddo ef
Y dysgwyd hefyd ddynion, anfad waith!
I chwilio am drysorau gwell yn nghudd,
Ac i anrheithio ymysgaroedd dae'r
Eu mam. Tra buan agor wnaeth yr haid
Yn uffern helaeth glwyf, a chloddio ais
O aur o honi. Na ryfedded neb
Am dyfu yn uffern olud; tebyg fod
Y gwenwyn drudfawr hwn yn gweddu ei thir.
Ac yma dysgent hwy o ymffrost mawr
Am farwol bethau, a grybwyllant am
Orchestion Babel a hen Memphis gynt,
P'odd y rhagorir ar eu pennaf waith,
Trwy nerth neu ddyfais wneir, yn hynod hawdd
Gan goll angelion, ac y gwnant mewn awr
Yr hyn mewn oes, trwy ludded mawr a phoen,
Prin gan aneirif dorf o ddynion wneir.
Yn agos ar y gwastad parottöid
Gan luaws arall amryw gell o dân
Toddedig, oddi tanodd dynid o'r poeth lyn
Trwy bibau; yn ddyfeisgar toddent hwy
Y trymaidd ŵn, gan ddifa'r sothach ffwrdd.
Gwnae'r trydydd amryw wrthlun yn y llawr,
Ac o'r tawdd-gellau, trwy ryfeddol drawdd,
Gorlanwent bob cell wâg; fel ag y gwna
Un chwŷth o wynt i lenwi piban aml
Yr organ. Yn y fan adeilad gwych
O'r ddae'r gyfododd megis tarth, a sain
Cynghanedd melus a glywid ar bob tu:
Fel teml yr oedd, colofnau roed o'i chylch,
Pileriau Doric â gwrthrwyon aur
Yn addurnedig; nid heb dalaith chwaith
Yn llawn cerfiadau, ac yn rhwydwaith aur
Ei phen. Nid Babilon na Chairo fawr
Ei gwychder gyfartalent, yn eu bryd
Uchelaf i amdeenlu Belus neu
Serapis, eu gau-dduwiau, neu pan wnaent
Orseddau i'w breninoedd, o fawr gais
I gael y clod am gyfoeth mawr a rhwysg.
O orwych uchder safai'r adail fawr;
Ei drysau pres yn agor, dangos wnaent
O'i mewn lyfn loriau, ac eang leoedd maith.
O'r nen, trwy swyn, dibynai amryw res
O ddisglaer lygyrn, a feithriaid gan
Y Nephtha a'r Asphaltus; goleu ro'ent
Fel goleu'r wybyr. Tua ryfeddu ãe
Y dorf i mewn ar frys; rhai canmol wnaent
Y gwaith, a rhai yr adeiladydd, gynt
Adwaenid fry trwy amryw adail hardd,
Lle cyfaneddai, mewn hynodawl fri,
Angelion yn benaethiaid, wedi cael
Rhagorfraint gan yr uchaf Nêr i fod
Yn llywodraethwŷr ar urddolion glân.
Nid chwaith anhyglod oedd ei enw ef
Gynt yn mhir Groeg; ac yn Ausonia hwynt
A'i galwent Mulciber; a ph'odd o'r nef
Y syrthiodd, gwed eu chwedlau, sef i lau
O lid ei daflu dros y muriau claer:
A syrthio bu o foreu i nawn, o nawn
Hyd wlithog hwyr ar hir ddydd hâf, ac ar
Fachludiad haul o'r entrych cwympo wnaeth
Fel seren wib yn Lemnos: dyma 'r modd
Y gwedant, mewn camsyniaeth; can's cyn hyn
Ym mhell syrthiasai ef a'i wrthban lu!
Dim lles oedd iddo 'nawr chwaith yn y nef
I godi uchel dyrrau gynt; ac er
Ei holl beiriannau ni ddiangodd ddim;
Ond gyrwyd ef a'i gyfrwys haid i'r pwll
Anaele i adeiladu yno mwy.
Pryd hyn, wrth arch goruchel allu 'r dwfn,
Yn ol defodau brawl, gyda bloedd
Yr udgyrn, cyhoeddasid trwy'r holl lu
Am gynnal cynghor gorddwys yn ddi oed
Yn y Gethern-dŷ, prif oruchel lŷs
Y gwrthblaid a'i urddolion. Gelwid hwy
Y mwyaf anrhydeddus o bob torf,
A thyrfai miloedd a myrddiynau ynghyd.
Tyn-lenwid bob dyfodfa, 'r eang byrth
A'r maith gynteddau, ac yn fwyaf oll
Y neuadd fawr, oedd helaeth fel y maes,
Lle 'y marchogai cedyrn arfog, ac
Wrth gadair Sultan mawr a feiddient holl
Fyd anghred i ymrafael marwol neu
I yrru 'r waywffon. Ar lawr y llŷs,
Ac yn ei nen yr heidient; ac o ffrwst
Pe siai eu hadenydd tryst iol. Fel
Y gwenyn, pan gydreda 'r haul â rhod
Y tarw, yn drwch heidiau allan ddont
O gylch y cwch; brys-wibiant yma a thraw
Rhwng blodau, neu ar astell lefn gar bron
Eu hadail wnaed o wellt, dadleuant am
Fatterion eu gwladwriaeth. Felly 'n drwch
Yr heidiai yr awyrawl dorf; a'r lle
Oedd yn rhy gyfyng, nes i arwydd gael
Ei rhoi, ac wele, ryfedd beth! y rhai
Hyd hyn a faith ragorent gewri 'r byd,
A droid yn llai na'r côrod lleiaf sydd.
Tros rif hwy dyrrent i gul le, fel cynt
Y còraidd hil tu hwnt i fynydd India;
Neu fel y tylwŷth teg, nos-gampiau 'r rhai
Wrth lwyn neu nant, y gwladwr hwyrol wêl,
Neu dybia a wêl; tra 'r lloer yn llywied fry
Uwchben, ac yn agosach at y ddae'r
Yn cyrchu yn ei gwelw rawd, hwynthwy
A'u serch ar ddifyr ddawns, â llawen gerdd
Ei glust a swynant, ac ar gylch gan ofn
A llonder llawn, adlama ei galon ef.
Fel hyn 'r ysbrydion o anferthol faint
A aent i'r dulliau lleiaf, ac yn rhydd
Tramwyent neuadd yr uffernol lys,
Er yn afrifed. Ond ym mhell tu fewn,
Ac yn eu priod faint eisteddai 'nghyd
Yr holl arglwyddi o'r seraphaidd lu,
Mewn cilfa gudd ar gynghor dwys, ac ar
Orseddau aur yn dduwiau fil. Ar ol
Bêr osteg a chyhoeddi 'r wŷs ar led,
Yna dechreuodd yr ymgynghor mawr.

Diwedd y Llyfr I.

---

### "CLEDDYF YR ARGLWYDD A GEDEON."

Clyw osgordd y dwyrain, mae 'n nghysgod y deri,
Yn Ophrah, genhadydd gordanbaid o nef;
Gwae ddifa hyd Gaza, heb esgus yn peri,
Doreithiawg gnwd Israel gan fyddin oedd gref.

Câs fyddin y gelyn, dy eirf y'nt enbydus,
Aml galon drywanaist ym mhoethder dy wŷn;
Dy gwymp a fydd aruthr, a'th dranc yn echrydus,
Difodir dy ormes â'th gleddyf dy hun.

Ti, *Midian*, andwyir ym malchder dy galon,
Dy orthrech ostyngir, medd prophwyd sydd wir;
Och! dithau *Amalec*, i Israel wyt alon,
Dy ddewrion fydd 'sglyfaeth i'r waywffon hir.

"Tyr'd, cyfod, Gedeon."—"Na, fi yw 'r distadlaf,
"A llai wyf na'r lleiaf o dylwyth fy nhad;
"Is cawod o saethau, pa fodd yr anadlaf?"
"Taw—cyfrif dy ddynion, gorchfygi di 'r gâd."

"Faint, myrdd?"—"Gormod."—"Mil?"—"Gormod,
—Tri chanwr sy ddigon,
"Oddiar gledrau eu dwylaw a lepiant o ddw'r;
"Nid gorchest dy arfau, na'th wymp bendefigion,
"Rydd it' fuddugoliaeth, mysi yw dy Dw'r.

"Cei brawf o'r cadarnaf fy ngwrawl *Gedeon*,
"Trwy dânio dy aberth, drwy wlithaw dy gnu',
"Ac hefyd drwy freuddwyd, bâr it' fod yn eon,
"O herwydd fod grymus Dduw Jacob o'th du.

"Tor'dy biseran, arddengys eu breuder,
"Dy udgorn anadlo ei adlais yn gref; {der,
"Boed ddisglaer dy lampau, prawf hyny 'th ddeheu-
"*Cleddyf yr Arglwydd a Gedeon* o'th lef."

Ha! wele! *Salmunnah* a'r cedyrn freninoedd,
*Penuel* a *Succoth* heb fan i ysgoi:
Sain genau plant Israel ysgarai fyddinoedd,
Tri chanwr ro'i ddengmil ar encil i ffoi.

Pe hidlant hwy ddeigryn am bob un o'r hadau,
A ddifasant o Israel, y locust di Ddûw,
Ni byddai 'n drugaredd i'r cyfryw genhadau
Gael cadwen yn ngharchar, na'u gôddef yn fyw.

O! 'mlona, fab *Joash*, boed wênawg dy ddynion,
Ond trwm fod heirdd dlysau i'th ephod yn frith;
Do, sathraist yn lewaidd ar warau 'th elynion,
Gorchfygaist, ŵr cadarn, rif amlder y gwlith.

Crechwena di Israel, a thyr'd o'th lochesau,
Na fydded dy ymffrost na'th udgyrn yn llaes;
O! gwêla wasafau dy elyn yn rhesau
Gwaedffrydiog yn gorwedd ar wyneb y maes.

Cân dithau ferch *Sion*;—chwi fleiddiaid ymleddwch,
Yr Iesu sy'n ymyl bydd ingol eich loes:
Wi! gloywed yw cleddyf y Duw bia heddwch,
Ymchwardda ferch *Sion*, cwyd faner y groes.
Robert Parry, neu, Robyn Ddu, Eryri.

---

## Y GAUAF.

Nych in' ydyw ni chân adar——y Gauaf,
Gwae fo 'n anlletygar;
Rhy oeraidd yw i orwedd ar
Y dolydd nac un dalar.

Gwedi oerion gawodydd——ie, dwysgu,
Diosgir y coedydd;
Y deiliach hyd y dolydd
Yn grinion feirwon a fydd.

I arddwr y mae'n oerddrych——y barug
Yn berygl i'w fresych,
Ac i'w gloron gwynion gwych,
Y rhew a fo 'n rhy fynych.

Daw oerwynt troellwynt i'n dryllaw——o'i flaen,
E flwng wrth fyn'd heibiaw,
A sŵn aruthr dan ruthraw,
Ar y glyn eira a gwlaw.

I'r Creawdydd Ior credwn——eres yw,
Ei ras a erfyniwn;
A'i ddaleniau ddilynwn
I gyflawnhâu y Gauaf hwn.

Erioed y caed gwir arwydd——y Bod mawr,
Byd yw hwn a dderfydd;
O Dduw, gobeithio ni bydd,
In' y gauaf tragywydd.
*Trellynian.* J. Roberts.

## PENNILLION

*Myfyrdod ar ben Mynydd, wrth edrych ar y Wybren deg; ond buan y daeth Cymmylau duon i dristhâu fy ysbryd; ac ni fedrwn lai na meddwl am y tir y'm ganwyd ynddo, hen gyfeillion, a llawer tro ar fyd.*

O! Arolwydd Dduw trag'wyddol, mor wyrthiol
yw dy waith!
Wrth weled dy weithredoedd ar dir a moroedd maith;
Mae 'r haul yn nghanol wybren, y lân ffurfafen fawr,
Yn anfon i wresogi ei deg oleuni i lawr.

Mae tröad y planedau o ddechrau borau byd,
Wrth chwilliaw 'r goruchellion yn gyson iawn i gyd;
Mae gair y nefoedd hawddgar yn dâl y ddaear ddu,
A'r lleuad hardd ei llewych yn troi o'i hamgylch hi.

Nid wyf ond pryfyn marwol a flaen anfeidrol Fod,
Ac etto 'n cael trugaredd yn rhyfedd is y rhod:
Ymadael â'r ddaearen mae 'r haul hoff lawen fflwch;
Mae noswaith hir yn nesu rhaid myn'd i'r llety llwch.

Yn *Llanbrynmair* a *D'rowen* bu'n llawen gynt fy lle,
Y manau caredicaf anwylaf dan y ne';
Difyrwch llawer adeg ar redeg yno 'r aeth,
A diwedd ar bleserau yr hyfryd ddyddiau ddaeth.

Mae hiraeth ar fy nghalon am yr hyfrydlon fro;
I'w dynion pur diragrith da fendith Duw a fo:
*Darowen* oleu wiwlon fro dirion hyfryd iach,
Ar lle y deilliais allan ydyw 'r *Cwmbychanbach*.

Da heddwch y Duw addwyn i feibion *Baldwyn* boed,
Ymadael â'i phlant hoewgain a wnes yn ugain oed;
Er's deunaw mlynedd hynod ces lawer diwrnod da,
A llawer trom ochenaid yn hollti f' enaid fa.

Wrth rodio Cymru lawer a Lloegr sy gerllaw,
Mi gefais beth dyddanwch a thristwch yma a thraw;
Wel dyma ran niferoedd o'r lluoedd ar y llawr;
O! eglur iawn y gwelaf na fyddaf yma fawr.

Mae llawer o'm cyfeillion oedd ddynion gloywon
glwys,
Yn isel oeraidd garchar priddellau 'r ddaear ddwys;
Y mae fy nhad a nheidiau tan bwysau tyn y bedd,
Ni fedraf lai nag wylo wrth gofio am eu gwedd.

Er imi rodio gwledydd i grefydd yn lled groes,
Mae gobaith i bechadur dan lafur ei dyn loes;
Mi dreuliais dalm o nyddiau yn erbyn deddfau Duw;
O! dwg fi, Arglwydd nefol, i edifeiriol fyw.

Mae diwedd ar flynyddoedd amseroedd yn nesâu;
Plant Adda mewn gweithredoedd yn lluoedd fo'n
gwellhâu;
Aed sain efengyl hawddgar dros bedwar bân y byd,
A deled y rhyw ddynol i gammol Duw i gyd.

Yn nghanol trwm ofidiau pob gorthrymderau dwys,
Yn yr efengyl olau mae 'r pethau mawr eu pwys!
Er bod fy nghorph i bydru, neu fraenu 'n wael ei fri,
Mae enaid hir barhâol anfarwol ynof fi.

Yn nwylaw 'ngelyn olaf na cholla f' enaid chwaith,
Yn nyffryn cysgod angau, poen dyddiau pen y daith;
O Arglwydd mawr y lluoedd y nefoedd fyddo'm nyth,
Pan elo 'r hen ddaearen yn bellen dân am byth.
R. P.

---

## BEDD-ARGRAFF

*YM MYNWENT EGLWYS FACH.*

Myned oedd raid i minau——ar alwad
Rheolwr fy nyddiau;
Cysgod yw dyn briddyn brau,
Yn oer ingol awr angau.

Hawddgar o'r ddaear ryw ddydd——cyfodaf,
Caf adwedd ysblenydd;
Agorir marwol geurydd,
Yna y rhoir finau yn rhydd.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### FFRAINC.

Pan oedd ein Rhifyn diweddaf yn y wasg, yr oedd Senedd Ffrainc yn brysur profi pedwar o swyddogion brenin Siarls X. am gyhoeddi cyfreithiau a achosodd yr adchwyl ym mis Gorphenaf diweddaf. Treuliwyd amrai ddyddiau yn yr ymholiad, a chafwyd hwynt yn euog o ymdrechu distrywio rhyddid Ffrainc, a dyfarnwyd hwynt i gael eu carcharu am eu heinioes yn Nghaer Ham. Tra y parhâodd yr ymholiad, yr oedd cyflwr Paris yn dra therfysglyd: y trigolion yn ymgynnull yn dyrfaoedd aneirif, ac yn gwaeddi am ddienyddiad y swyddogion, yn enwedig y Tywysog Polignac. Ond drwy ymddygiad dewr y milwyr a'u llywyddiaeth, llwyddwyd i wasgaru y terfysgwyr heb dywallt gwaed. Pan oedd y carcharwyr ar eu ffordd tu a'r carchar, lle y treuliant y rhan sydd yn ol o'u bywyd, ymdrechodd trigolion rhai trefydd eu cymmeryd i ddial arnynt; ond gorthrechwyd hwynt gan y gosgorddion. Y cynhwrf a achoswyd gan y dygwyddiad uchod sydd wedi tawelu; ac y mae y Llywyddiaeth yn trefnu cyfreithiau mewn perthynas i etholiad Seneddwyr, ac amryw faterion ereill angenrheidiol er llwyddiant y deyrnas. Y werin bobl a'r mawrion hefyd ydynt yn hiraethu am ryfel; a dywed Newyddiaduron Ffrainc fod rhyfel yn erbyn Gogledd Ewrop yn anocheladwy. Y mae gan yr hen deulu breninol nifer o bleidwyr, y rhai ni fuont yn ddiflino yn eu hymdrechiadau yn Neheudir Ffrainc, i gynhyrfu y trigolion i godi yn erbyn y llywodraeth, ond nid yw yn debyg y llwyddant.

### RWSSIA A POLAND.

Cynnwysa y Newyddiaduron Gyhoeddiad o eiddo Ymerawdwr Rwssia at ei ddeiliaid yn Poland, yn galw arnynt ddychwelyd at eu ffyddlondeb, a gomedd codi gwrthryfel yn erbyn eu Pen-llywydd cyfreithlon. Hysbysa hwynt, os na ymostyngant yn wirfoddol, y darostynga efe hwynt â'r cleddyf. Yn gydunol â hyn, gorchymynodd yr Ymerawdwr i'w fyddinoedd ymddarparu i gychwyn tua Poland, ac y byddai yntau yn barod i'w blaenori hwynt ar y 14 o Ionawr. Pob peth a arddangosa benderfyniad diysgog yr Ymerawdwr i ddwyn ym mlaen y rhyfel, ac i ddarostwng y terfysg a'r gwrthryfel yn y modd creulonaf. Ar y llaw arall, mynega hanesion o Warsaw, nad ydyw y Pwyliaid yn segur er gwneud pob darpariad, megys adeiladu amddiffynfeydd a chaerau cadarn, i'w galluogi i wrthwynebu rhuthriadau eu gorthrymwyr: dygir perlau ac arian i'r gyllidfa bob dydd i gynnal yr Adchwyl, hyd yn nod y plant a gyfranant at yr un gwrthddrych; a'r Iuddewon hefyd a ymarfogant gyd â'r dyhewyd mwyaf. Dywedir fod terfysgiadau wedi dechreu yn Persia, y rhai ydynt debyg o effeithio yn annymunol ar Rwssia, yr hyn a fydd yn lles mawr i'r Pwyliaid. Yr holl drigolion yn nghymmydogaeth Mynydd Caucasus ydynt yn dechreu taflu iau yr Ymerawdwr oddi arnynt. Sonir hefyd am wrthryfel yn Ffinland. Gyd â'r holl derfysgiadau hyn ni fydd yn orchwyl mor hawdd i'r Ymerawdwr ddarostwng y Pwyliaid ag y disgwyliodd ar y cyntaf. Er y rhyfel gyd â'r Tyrciaid mae Rwssia yn bur wan: collodd y pryd hyny 200,000 o filwyr, ac 20,000 o feirch. Y cyllidfa sydd yn wag: yr arlwy rhyfel a fwriadwyd yn erbyn Ffrainc a ddodwyd yn nghaerau Modlin a Zamose, y rhai ydynt yn awr ym meddiant y Pwyliaid.

### YR ISELDIROEDD.

Ymddengys fod Cadeirnion Ewrop wedi penderfynu cydnabod Belgium fel teyrnas anymddibynol, ar ddau ammod—y bydd y llywodraeth yn unbenol—ac na ddewisir neb o feibion brenin Ffrainc i fod yn frenin yno. Ac y mae 'r Senedd yn ymgynghori yn bresenol ynghylch dethuliad brenin. Tybir yn gyffredin fod y rhan fwyaf o'r mawrion yn ewyllysio cael y Tywysog Orange yn Benaeth arnynt; ond ofnir y llwydda pleidwyr un o'r tywysogion dieithr a enwir isod, Tywysog Luchenburgh, mab Eugena Beauharnois, ac Otho, ail fab i frenin Bavaria, gwr ieuanc 16eg oed. Nid oes tebygolrwydd y llwydda pleidwyr Ffrainc, y rhai a ddymunant ddistrywio anymddyniaeth eu gwlad, a'i gwneuthur yn dalaeth dan Ffrainc. Disgwylir y bydd i frenin Holand nacâu cynnygiadau y Cadeirnion, a phenderfynu amddiffyn ei iawnderau â'r cleddyf.

### GWRTHRYFEL YN PERSIA.

Y mae gwlad Persia yn awr yn ysglyfaeth i wrthryfel tra dychrynllyd. Y mae mab hynaf yr Ymerawdwr wedi cyfodi baner wrthryfel yn erbyn ei dad, tra y mae ei frawd, y Tywysog Abbas Mirza, yn prysuro i gynnorthwyo ei dad, ac i ymladd yn erbyn ei frawd. Y mae y rhan fwyaf o'i fyddin wedi ei haddysgu yn ol y drefn

Ewropaidd o drin arfau. Dywedir hefyd fod trigolion y Caucasus, gwlad yn Asia yn perthyn i Rwssia, wedi blino dwyn iau Rwssia, ac wedi codi gwrthryfel mewn rhai manau cyfagos i'r Môr Du a'r Môr Caspia.

### RHUFAIN.

Gomeddasom yn ein Rhifyn diweddaf fynegi am farwolaeth y Pab, yr hyn a ddygwyddodd yn niwedd y flwyddyn 1830. Dywedir fod Cardinal Weld i gael ei ddewis yn Bab. Sais ydyw hwn o ran ei enedigaeth, ac y mae ganddo eiddo lawer yn Swydd Dyfnaint.

---

## CARTREFOL.

### YR IWERDDON.

Yn niwedd mis Rhagfyr, dychwelodd Mr. O'Connel o Lundain i'r Iwerddon; ac ychydig o fynydau wedi iddo lanio yn Kingstown, ymgynhullodd lliaws o'i gydwladwyr truenus, y rhai a gyfarchodd efe mewn araith nodedig am ei thueddiad i gyffroi nwydau gwresocaf y gwrandawyr; a therfynodd, drwy orchymyn na byddai i neb o honynt ddangos unrhyw arwydd o barch i Ardalydd Môn, yr hwn oedd ar fedr dyfod yno i gymmeryd lle Duc Northumberland. Ond pan gyrhaeddodd yr Ardalydd dewr yno, dangoswyd pob parch iddo gan drigolion cyfrifol y brif ddinas, er i rai o greaduriaid O'Connel ymdrechu cyffroi y werinos i ddangos eu hanghymmeradwyaeth.

Ar ddydd Llun, y 27ain o Ragfyr, yr oedd masnachwyr Dublin wedi penderfynu ymgynhull o flaen annedd O'Connel, i gynnyg anerchiad iddo; a thybid y buasai dros 40,000 o ddynion afreolus yn ymgasglu ar yr achlysur. Barnodd Gweinidogion y Brenin y byddai rhyw derfysg yn sier o dori allan, os goddefid iddynt ymgasglu ynghyd; ac oblegid hyny darfu i Ardalydd Môn, ar Ddydd Nadolig, gyhoeddi ei orchymyn na byddai iddynt gyfarfod. Boreu dranoeth (Sul) Mr. O'Connel a gyfarchodd nifeiri o adynod a ymgynhullasai yn yr heol, ger bron un o'i Swyddfäau, gan felo yn enbyd y Rhaglaw am anfon allan ei Gyhoeddiad, a chan gynghori iddynt fod yn ddifline nes i'r Uniad rhwng y ddwy deyrnas gael ei ddirymu. Ond ar ddydd Mawrth aeth lliaws o ddirprwywyr dros y masnachwyr i dŷ Mr. O'Connel i gynnyg anerchiad iddo, yr hwn a ddarllenwyd gan Mr. Costello: wedi hyny cyfarchodd Mr. O'Connel y dyrfa; a chroch lefodd un o honynt, "Ni a ddilynwn eich cyngor chwi: ni a ufuddhâwn i chwi, ond nid i Gyhoeddiad y Rhaglaw. Gall y Llywodraeth ddiolch i chwi, ac nid i'w dernyn o bapur, am ein hufudd-dod." Ereill a floeddiasant, "Pa beth bynag a ddywedwch chwi, ni a'i gwnawn."

Dygodd y bradwr hwn eisys £50,000 o logellau ei gydwladwyr tlawd; ond gyd â'r digywilydd-dra mwyaf, cynghorodd iddynt wneuthur casgliadau yn eu hamrywiol addoldai i'w anrhegu ef â gwobrwy am ei ymdrechiadau gwladgarol!!! Yr adyn dideimlad yn ymddifadu y trueiniaid o'r geiniog a ddylai fyned tu ag at gynnaliaeth eu teuluoedd. Disgwylir y cair uwchlaw £50,000.

Y mae y Rhaglaw wedi cyhoeddi hyfforddiadau i'r Ynadon Heddwch pa fodd y maent i ymddwyn yn nghyflwr terfysglyd presenol yr Iwerddon. Y mae hefyd am alw y Marchogion allan drwy bob Swydd, i gynnal heddwch, ac i amddiffyn meddiannau deiliaid llonydd ei Fawrhydi. Hysbysa y Newyddiaduron fod y werinos yn nghymmydogaeth Kilkenny, yn dechreu ymgynhull ynghyd, ac yn bwgwth yr Offeiriaid, os na ostyngant y degwm. Y boneddigion a'r Ynadon Hedd ydynt wedi gwneud pob darpariad i wrthsefyll y gwrthryfelwyr, os ymdrechant godi terfysg.

*Daliad Mr. O'Connel, &c.*—Fel y disgwylid, danfonwyd swyddogion i gymmeryd i fynu Mr. O'Connel, Mr. Barret, Mr. Reynolds, Mr. Steele, a Mr. Lawless, am feiddio cynnal cyfarfodydd yn groes i amryw gyhoeddiadau y Rhaglywydd. Gorfu ar bob un o'r aflonyddwyr hyn roddi machniaeth i ateb dros eu hymddygiad bradwraidd, pan alwer arnynt i hyny; sef Mr. O'Connel am £1,000, â dau feichiau am £500 bob un; y lleill am £200 bob un, a dau feichiau am £100 bob un.

### LLOEGR.

#### CARCHARIAD MR. SWING.

Yn niwedd mis Rhagfyr aeth gwr mewn cerbydan drwy *Stradishall, Suffolk*, a chyfranodd bapurau a arwyddwyd "*Swing*." Gwr boneddig o'r enw Brown a aeth ar ei ol, ac yn *Stoke* a'i daliodd, ac a'i dododd yn ngharchar. Chwiliasant ei logellau, a chawsant lawer o bapurau wedi eu hysgrifenu fel y canlyn:—

"O! chwi amaethwyr a phlwyfolion, rhoddwch gyflogau i'r dynion tlawd, oni rhoddwch gyflogau i'r dynion tlawd, ondé gwnaf i chwi ofni——Swing."

"Offeiriaid Eglwys Loegr, y rhai ydych yn hidlo gwybedyn ac yn llyncu camel, gwae, gwae, gwae i chwi, derbyniwch eich gwobr ryw ddydd!——Swing."

Yr oedd ganddo dros £700 o arian yn ei feddiant, a Thestament, a nifer o Hymnau ysgrifenedig, un am y Millenium. Bwriwyd ef i garchar *Bury* i aros ei brofiad yn y Sessiwn nesaf. Ei enw ydyw Joseph Saville, yn byw yn *Gamblingay*, yn Swydd *Huntingdon*. Dywedodd wrth lawer o'r

ant, os na ddeuent i fynu, y dinystrient hwy y peiriant tân, ac y torent y rhaffau. Wedi i'r gweithwyr ufuddhâu, a dyfod i'r lân, rhoddodd un o lowyr Penarlâg Fibl iddynt oll, y naill ar ol y llall, i dyngu y byddent yn ffyddlon i sefyll allan am gyflog. Yna dychwelodd y dieithriaid yn heddychol i'w cartref, wedi penderfynu y byddai iddynt oll fyned ynghyd dranoeth tu a Rhiwabon. Yn ystod y dydd hwn (dydd Llun) anfonwyd cenhadydd o Wrecsam at Mr. Eyton, Coed Llai, i ymofyn a oedd y terfysgwyr yn bwriadu dyfod i Wrecsam. Oddeutu pump o'r gloch yn y prydnawn dychwelodd yn ol gyda llythyr o Benarlâg yn dymuno ar Syr Watkin a'i farchogion brysuro yno y noson hono, neu yn fuan boreu dranoeth.

*Dydd Mawrth.* Cyn wyth o'r gloch y boreu hwn yr oedd y marchogion ar eu ffordd tu a'r parthau terfysglyd yn Swydd Fflint; ond cyn iddynt gyrhaedd terfynau Swydd Dinbych, wrth Gefn y Bedd, clywsant fod y glowyr wedi myned i'r Rhosllanerchrugog, i ymuno â'r glowyr yno ar eu ffordd at weithydd yr Acrefair. Ar hyn prysurai y marchogion ar hyd y ffordd agosaf tu â Rhosllanerchrugog; ac wedi cyrhaedd yno, gwelsant gannoedd o lafurwyr wedi ymgynnull ynghyd, pawb yn gwbl heddychol, heb ddangos y tueddfryd lleiaf i godi terfysg, nac i niweidio neb o'u gwrthwynebwyr. Ymresymodd Syr Watkin â'r rhai oedd agosaf atto o'r werinos, a gofynodd, Pa beth oedd eu gwrthddrych wrth dramwyo ar hyd y wlad? Atebasant hwythau mai eisieu gwaith, ac ychwaneg o gyflog oedd arnynt. Cynghorodd Syr Watkin hwynt i ddychwelyd adref yn heddychol, gan nad allai efe wneuthur dim iddynt; ond darfu iddynt naill ai camddeall, neu nacâu cydsynio â chynghor Syr Watkin, ac nid aethant oddi yno. Ar hyn darllenwyd y *Riot Act*, yn Saesoneg, gan Mr. R. M. Lloyd, Ynad o Wrecsam. Dygwyddodd hyn wrth Allt y Gwter. Safodd y bobl yn syn, gan syllu ar eu gilydd, nes daeth Mr. Roberts, Tan y Clawdd, gwr parchus iawn, a pherchenog gweithydd glo yn y gymmydogaeth, ac erfyniodd ar Syr Watkin anfon y marchogion ymaith, gan ei fod yn gwybod yn sicr na wnae y bobl ddim drwg. Wedi hyny, cyfarchodd y bobl oeddynt yn sefyll ar yr Allt a orchuddid gan relyw cerig haiarn toddedig. Dywedasant nad oedd arnynt eisieu y marchogion, a dymunasant ar Mr. R. symud i'r neilldu, gan fod ganddynt ddigonedd o gerig os byddai achos. Ym mhen enyd ciliodd Mr. R. ymaith, a thaflwyd ychydig o gerig gan wragedd a phlant; ond ni wnaethant niweid i neb. Cyffrodd hyn ddigter un o'r marchogion, sef Mr. Charles Bowen, o Wrecsam, ac ymdrechodd yru ei geffyl i fynu y llechwedd, a phan esgynasai ychydig o latheni, gollyngwyd y *steam* o badell agerdd-beiriant oedd yn agos, yr hyn a frawychodd y ceffyl nes yr oedd efe â'i farchog yn ymdreiglo i lawr y llechwedd, er difyrwch nid bychan i'r holl edrychwyr. Darfu i dri neu bedwar o'r marchogion saethu uwch ben y werinos, ond ceryddwyd hwynt yn llym gan Syr Watkin: un o honynt oedd gigydd a yfasai ormodedd o gwrw yn y boreu. Wedi hyny daliwyd tri o ddynion; ac yn ddioed rhwymwyd un o honynt wrth un o'r marchogion, ac arweiniwyd ef gan chwech ereill, dan lywyddiaeth R. M. Lloyd, Ysw. tu a'r carchar yn Ngwrecsam; yr oedd eu drylliau wedi eu llenwi yn eu dwylaw yn barod i ergydio pwy bynag a feiddiai ymyraeth â hwynt. Dygwyddodd fod y dref yn dra llawn o bobl y wlad, am mai "ffair y ffyliaid" oedd y dydd hwnw; a phan oedd Mr. Llwyd yn dychwelyd oddiwrth y carchar, darfu y "ffyliaid" ei *hissio* yn erchyll, yr hyn a effeithiodd gymmaint arno nes y gorfu arno orwedd yn ei wely drwy y dydd dranoeth. Yn y cyfamser, cludwyd y ddau garcharor ereill i dŷ yn y gymydogaeth, dan wyliadwriaeth Mr. Johnson, o'r *Eagles*, un o'r marchogion, yr hwn, er diogelu y carcharorion, a fariodd y drws oedd yn y naill ochr i'r tŷ, ond a anghofiodd y gallai fod drws yn yr ochr arall. Hyn a wyddai y glowyr, a rhuthrasant i mewn i ryddhâu eu cyd-ymdeithion, yr hyn a wnaethant, er dychryn annhraethol i'r gwyliwr, yr hwn a safai yno â chleddyf noeth yn un llaw, a gwydraid o *frandi* yn y llaw arall. Wedi hyn gwasgarodd y marchogion; ond nifer mawr o'r glowyr a frysiasant tu a Gwrecsam i ryddhâu eu cydweithiwr. Ond cyn iddynt gyrhaedd y dref, cyfarfuasant y carcharor yn dyfod adref, wedi ei ryddhâu gan yr Ynadon. Pan welsant ef, rhoddasant floedd dair gwaith, yna ymwasgarasant; trigolion y Rhos yn dychwelyd yn ol, a thrigolion Brymbo yn myned tu a'u cartref. Daeth Major Lloyd, Bryn Estyn, gyd â'r glowyr ar hyd y ffordd, ac ni welodd y tueddiad lleiaf ynddynt i wneuthur niweid i neb.

*Dydd Mercher*, Rhagfyr 29. Ymgynnullodd y marchogion yn foreu, a chyrchasant tu a'r Acrefair, lle yr oedd glowyr y Rhos wedi ymuno â glowyr yr ardal hòno. Er fod yr hin yn oer, a'r eira yn disgyn drwy y dydd, yr oedd nifer y werinos yn lluosocach na'r diwrnod o'r blaen. Darllenwyd y *Riot Act*, er fod y terfysgwyr yn llonydd, oddieithr rhoddi bloedd yn'awr ac yn y man pan gaafyddent nifer ychwaneg o'u cymdeithion yn ymgyrchu atynt. Ymddiddanodd Cadben Morris â hwynt, a gosododd eu cwynion ger bron Syr Watkin.

Yr oedd Mr. Wood, goruchwyliwr gweithydd yr Acrefair, yn bresenol, yr hwn a wnaeth ei hun yn dra anghariadus yn y gymmydogaeth drwy ei fod yn cadw ac yn cyndyn gefnogi *Tommy Shop* a gedwir drosto gan ddyn o'r enw *Chambers* yn yr Acrefair. Heblaw achwyniadau ereill y glowyr, achwynent yn erchyll yn erbyn y drefn o dalu cyflogau trwy werthu nwyddau yn lle rhoddi arian iddynt; yr hyn, meddent, a dynai eu cyflog i lawr bron i ddim, gan fod gorfod iddynt brynu nwyddau gwael am bris uchel. Y maent yn talu wyth geiniog am bwys o siwgr a brynent mewn masnachdai ereill am bum ceiniog, ac un geiniog ar bymtheg am lathen o wlanen a werthir yn Ngwrecsam am hanner hyny. Ond nid hyn yw y cwbl, haerent fod pwysau Mr. Wood yn anghywir. Gofynodd Syr Watkin i Mr. Wood, a allai efe gydsynied â dymuniadau y gweithwyr, a rhoddi ei fasnachdy i fynu? Atebodd Mr. Wood, nad allai; a gwadodd fod ei bwysau yn anghywir. Dywedodd Syr Watkin y danfonai efe dranoeth geisbwl i fasnachdy Mr. Wood i brofi ei bwysau; ond gwr boneddig, a wyddai yn dda y gallai Mr. Wood doddi pwysau newydd cyn y boreu, a anfonodd am bwys o siwgr o fasnachdy Mr. Wood, ac am glorian a phwysau o Riwabon. Pwyswyd ef yn y fan, a chafwyd ei fod yn rhy ysgafn o ddwy owns. Yr esgus a roddwyd am hyn, oedd, fod amser maith er pan bwyswyd y siwgr!! O'r diwedd cytunwyd y byddai i'r Meistriaid gyfarfod yn Rhiwabon am 10 o'r gloch boreu dranoeth, ac y deuai Syr Watkin ac ereill yno fel eiriolwyr dros y gweithwyr.

*Dydd Iau*, Rhag. 30. Cyn 10 o'r gloch yr oedd lliaws mawr o lowyr yr ardaloedd cymmydogaethol wedi ymgyrchu i bentref Rhiwabon. Er fod yr hin, fel y diwrnod o'r blaen, yn dra anghysurus, daeth y Meistriaid yno erbyn yr amser a bennodwyd, ac arosasant dan hanner dydd yn disgwyl rhai o Ynadon y gymmydogaeth i ddyfod atynt. Yr oedd Mr. Lewis, meddyg o Wrecsam, wedi dyfod yno ar ddymuniad un o Feistriaid y glowyr, am y byddent yn debyg o wrando arno ef: ond hysbyswyd iddo mai nid un cyhoeddus oedd y cyfarfod, am hyny ni allai fod yn wyddfodol; a dywedwyd wrtho y gelwid chwech o'r glowyr i mewn i glywed penderfyniad y Meistriaid. Wedi dyfodiad Mr. Pickering, yr hwn a aethai i edrych am Syr Watkin, galwyd chwech o ddynion i mewn, a mynegwyd iddynt nad allai y Meistriaid godi eu cyflogau; a chynghorwyd hwynt i ymwasgaru, a dychwelyd i'w cartrefi yn heddychol. Hysbyswyd penderfyniad y Meistriaid i'r dyrfa oddi allan, yr hyn a'u cynddeiriogodd i'r fath radd fel y rhuthrasant i'r tŷ lle yr oedd y Meistriaid, gyda llwyr fwriad i ddial arnynt. Mr. Pickering a Mr. Greenhow a ddiangasant ar feirch i Wynnstay; Mr. Parry, Mr. John Jones, a Mr. Pritchard, a ymguddiasant mewn ystafell yn y tŷ, lle yr oeddynt wedi gosod 20 o ddynion a ddetholwyd o blith eu gweithwyr i'w hamddiffyn. Ond cafodd y glowyr afael yn Mr. Wood, o'r Acrefair, yr hwn a ymguddiasai wrth dâs o wair, a dygasant ef o'i ymguddfa yn ddioed. Dechreuasant ei guro yn ddidrugaredd, a drwg genym hysbysu iddynt ei glwyfo yn gigyddlyd. Ymdrechodd Mr. Lewis, y Meddyg, lonyddu y dyrfa, ac arbed Mr. Wood; ond rhai o drigolion yr Acrefair, i'r rhai yr oedd Mr. Lewis yn anadnabyddus, a ddechreuasant ei guro yntau, ond rhedodd i'r *Wynnstay Arms*, lle yr oedd Mr. Wright, a Mr. Joan Roberts, y rhai a ddaethant gyd âg ef yn ebrwydd i arbed Mr. Wood, a llwyddasant i'w gludo i ryw fwthyn cyfagos. Cymmerwyd Mr. W. i'r llofft, a rhoddasant *fonnet* a *chlog* hen wraig am dano, a gollyngwyd ef i lawr drwy ffenestr ar ben beudŷ, ac oddi yno diangodd i goedwigfa Wynnstay. Pan wybu y glowyr fod Wood wedi dianc, yr oeddynt yn gynddeiriog; a phe buasent yn cael gafael ar Mr. Greenhow buasent yn dial arno yntau yn dost. Yn y prydnawn anfonodd Syr Watkin am chwech o'r glowyr i Wynnstay, lle yr oedd Mr. Pickering, un o'r Meistriaid. Dymunodd arnynt osod eu hachwynion ger ei fron, ac addawodd wneuthur ei eithaf ar eu rhan. Mynegasant y cwbl iddo. Yr oedd arnynt eisieu 3s. yn y dydd o gyflog i'r gweithwyr goreu, 2s. 9c. i'r ail oreu. a 2s. 6ch. i'r trydydd math. Rhoddasant hefyd yr Adroddiad canlynol i Syr Watkin, yr hwn a barodd syndod nid bychan iddo. Wele gyfieithiad o hono.

"Foneddigion.—Ymdrechwn hysbysu i chwi y prif anhawsderau a rwystrant drigolion y plwyf hwn rhag ennill eu bywioliaeth.——Yn 1af. Y mae meddiannwyr y tir yn cadw y *royalty* i fynu i'r un radd a phan oedd cynnyrch y tir yn gwerthu am dri chymmaint ag y mae 'n awr.——Yn ail. Y mae y Meistriaid yn cyduno â ni i godi y glo i'w werthu i'r wlad am bris gweddol; dywedwch 8s. 6ch. am gwrs, yn cynnwys 24 cant. Pan ddel rhyw un i brynu cwrs gwerthant iddo 36 neu 40 cant am bris cyffredin 24 cant, sef naw swllt. Fel hyn ymddifedir ni o'n cyflog am godi 12 neu 16 cant ym mhob llwyth, ac ymddifedir meddiannwyr y tir o'r *royalty*. I attal hyn, dylai y meddiannwyr benodi dyn sobr i gymmeryd cyfrif o'r hyn a werthir bob dydd, a buan y gwelant y budd o hyny.——Yn 3ydd. Yr ydym yn talu gymmaint o *rent* yn awr a phan oedd ein cyflogau yn uchel. Yr ydym yn talu, yn y plwyf hwn,

o 1s. 3c. i 1s. 6c. yn yr wythnos am ddwy ystafell, heb lathen o dir gyda hwynt.

"Yn awr, Foneddigion, cymmerwn genad yn ostyngedig ac yn barchus i fynegi i chwi ein gofynion am gyflog wrth y dydd, a'r anhawsderau i weithio bob dydd yn yr wythnos.——Yn 1af. Ein gofyniad yw 3s. yn y dydd, yr hyn a ellir gyfrif yn 18s. yn yr wythnos; ond yr anhawsderau a'n rhwystrant rhag gweithio ydynt yn 1af, diffyg gwynt, yr hwn sydd elyn a fyrha ein heinioes, ac a yrodd lawer o'n tadau i'r bedd. Yn ail, Toriad peiriannau. Yn 3ydd, Damweiniau yn y gwaith; megys twymp ar ffordd y *waggon*, yr hyn a raid i ni ei *dresio* heb ddim cyflog gan y Meistriaid. Yn 4ydd, Yr hin. Yn 5ed, Y rhaffau, &c. yn tori. Yn 6ed, Y gwagenydd; neu un o'r glowyr, yn absenol drwy afiechyd, a achosa i bawb yn y pwll fod yn segur am y diwrnod hwnnw. Yn 7fed, Yr ydym yn gallu gweithio yn dra rheolaidd yn y gauaf; ond yn yr hâf rhwystrir ni gan leied o lô a werthir; ac ni oddefa y Meistriaid i ni godi *stock*: ac y mae llawer o honom ni yn methu gweithio rhagor na dau ddiwrnod yn yr wythnos; ac ni allwn, at eu gilydd, weithio rhagor na thri diwrnod a hanner yn yr wythnos drwy y flwyddyn."

Wedi hir ymddadleu ynghylch yr Addoddiad uchod, ysgrifenodd Mr. Pickering bapuryn yn hysbysu dymuniadau y glowyr, yr hwn a arwyddodd efe, ac a addawodd ei gyflawni ar yr ammod y gwnai yr holl Feistriaid ereill yr un peth. Aeth y gweithwyr ymaith yn falch iawn o herwydd eu llwyddiant; a sicrhâodd Syr Watkin wrthynt, os gallent gael y Meistriaid i arwyddo y papuryn, yr edrychai efe am iddynt gyflawni eu haddewidion.

*Dydd Gwener*. Anfonwyd y papur a ysgrifenodd Mr. Pickering i Wrecsam, at Mr. Greenhow, gyda dau o oruchwylwyr ei waith ef. Dilynwyd hwynt gan nifer o lowyr Rhiwabon, y rhai a arosasant yn nghyffiniau y dref am ateb. Ym mhen ychydig adferwyd y papur iddynt gan Cadpen Morris, wedi ei arwyddo gan Mr. Greenhow a Mr. Briscoe. Cymmaint oedd diolch y glowyr i'r Cadpen Morris am ei ymdrechiadau clodwiw ar eu rhan, fel y darfu iddynt ei ddwyn ar ei hysgwyddau drwy yr heol. Oddi yno dychwelasant at breswylfa Mr. Parry, Garthen, yr hwn, ynghyd â Mr. James Kyrke, a arwyddodd y papur.

*Dydd Sadwrn*. (Dydd Calan). Aeth nifer o lowyr Rhiwabon at Mr. Pritchard, o'r Gledred, St. Martins, Swydd Amwythig, i ddymuno arno godi cyflogau y gweithwyr, fel y darfu y Meistriaid ereill. Yn y cyfamser aeth tyrfa o'r glowyr at waith Mr. Pritchard i rwystro i'r gweithwyr weithio, ac i'w tyngu hwynt i fod yn ffyddlon. Wedi i Mr. Pritchard gydsynied â'u gofynion, dychwelasant adref.

Heddyw y prydnawn, am ddau o'r gloch, cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn llysdy tref Gwrecsam, i'r dyben o dderbyn enwau dynion ieuaingc i gofrestru eu henwau i wneuthur byddin o wyr traed er cynnal heddwch y wlad. Ni ddaeth ond ychydig y'mlaen, ac o'r ychydig hyn yr oedd y rhan fwyaf wedi colli eu nodweddiad. Sylwodd un boneddig yno, "Nid oes ar y rhai hyn eisieu dim ond *arfau i hela*." Ni chynnygiodd neb o drigolion cyfrifol y dref ddyfod y'mlaen ar yr achlysur, am eu bod yn teimlo ac yn gwybod nad oedd dim angen am y cyfryw fyddin. Yr oedd eu hymddygiad yn profi yn eglur fod ganddynt yr hyder mwyaf yn ffyddlondeb eu cymydogion tlodion, at anghenion y rhai y maent yn cyfranu yn ddibaid.

Ymddengys fod rhai o lowyr y Rhos a'r Acrefair wedi bygwth y byddai iddynt oll fyned ynghyd i'r Parc du a Chastell y Waen, ac oddi yno at weithydd Llwyn-ymaen, yn agos i Groesoswallt. Daeth hyn i glustiau rhai o Ynadon Swydd Amwythig, y rhai a ddechreuasant yn unfryd wneuthur pob darpariad i wrthsefyll y terfysgwyr. Cymmaint oedd dyhewyd un o honynt, yr hwn sy mor nodedig am gefnogi y grefydd Brotestanaidd, a rhedegfeydd ceffylau, ag i gymmell rhai o drigolion Bwrdeisdref Caernarfon i'w ddethol yn Aelod o'r Senedd, fel y gorfu ar ei weinidogion weithio drwy y Sabboth yn tori planhigion derw yn nghoedwigfa eu Meistr, a'u darparu hwynt yn ffyn i'w ceisbwliaid. Gyda theimladau o alar yr ydym yn crybwyll y gwirionedd uchod, am y tybiasem fod gan y gwr boneddig hwn fwy o barch i ddeddfau ei wlad, heb son am ddeddfau Duw, na bod yn euog o'r fath ymddygiad.

*Dydd Llun*. Ionawr 3. Yr oedd Ynadon, Marchogion Swydd Amwythig, a chad o filwyr, ynghyd â lluaws mawr o drigolion Croesoswallt, y rhai a dyngwyd i mewn yn geisbwliaid, wedi ymgynnull yn y dref hono. Cychwynasant oddi yno tu a therfynau Swydd Amwythig a Dinbych, gyda phenderfyniad diysgog i wrthsefyll pob terfysg, ond i ochel er dim ffyrnigo y glowyr yn ddi achos. Yr afon Ceiriog yw terfyn y ddwy Swydd. Wedi iddynt gyrhaedd yr afon, tybiwyd mai gwell fyddai i'r marchogion fod allan o'r golwg; am hyny gosodwyd hwynt mewn cae oddeutu hanner milltir oddiwrth y terfyn, fel y gallent ddyfod i gynnorthwyo yr Ynadon os byddai achos. Aeth yr Ynadon ym mlaen at Lan y Waen i gyfarfod y glowyr, i ymresymu â hwynt, ac i'w rhybuddio rhag troseddu y gyfraith drwy eu hymgynnulliadau anghyfreithlon. Dy-

wedasant hefyd mai eu bwriad oedd cynnal heddwch, a rhwystro aflonyddwch; ond nid oeddynt ar un cyfrif yn amcanu ymyraeth rhwng y gweithwyr â'u Meistriaid. Yna y gweithwyr a osodasant eu hachwynion ger bron yr Ynadon, y rhai a gydunasant â hwynt o barthed anghyfiawnder y drefn o roddi nwyddau i'r gweithwyr yn lle arian. Wedi ymddyddlan ym mhellach, mynegodd yr Ynadon eu penderfyniad i'w hattal rhag myned oll yngbyd i Swydd Amwythig; ond goddefent i ddau o honynt fyned âg erfyniad a ysgrifenwyd gan y Parch. Mr. Temple at Meistri Croxon, ac at Meistri Ireland, a Chym. Derbyniwyd y cynnygiad hwn gan bob un o'r gwyddfodolion gyda bonllefau o gymmeradwyaeth. Yna gwasgarodd yr Ynadon a'r glowyr; ond prin y cyrhaeddodd yr Ynadon at Bont afon Ceiriog cyn i luaws mawr o'r glowyr eu dilyn hwynt. Ar hyn darllenodd yr Anrhydeddus Mr. Kenyon y *Riot Act*, a rhybuddiodd hwynt, os na wasgarent cyn pen yr awr, y cymmerai efe bob un a arosai yno yn garcharor; ond er i amryw o'r boneddigion eu hannog i ddilyn cynghor Mr. Kenyon, yno y safasant. Wedi i'r amser penodedig ddyfod i ben rhuthrodd Mr. Kenyon ar un o'r glowyr, a rhoddodd ef i gadwraeth Mr. Farlow, Swyddog (*Police*) o'r Amwythig; daliodd Mr. Ormsby Gore un arall, a Mr. Kenyon y trydydd. Anfonwyd y tri hyn i Groesoswallt; ond dyn o'r enw Sampson Jones, yr hwn oedd yn nodedig fel blaenor, ac fel tyngwr i mewn, a ddiangodd drwy yr afon. Yna gwasgarodd y glowyr, a dychwelodd yr Ynadon a'r marchogion i Groesoswallt, a bwriasant y tri dyn uchod i garchar yr Amwythig, i gael eu profi yn y Sessiwn nesaf. Gellir ychwanegu i Mr. Temple fyned gyda dau ddyn yn ei gerbyd at Mr. Croxon, a pherchenogion y gweithydd yn nghymmydogaeth Croesoswallt, ond nacasant ganiatâu holl ofynion y gweithwyr.

*Dydd Mawrth*. Ionawr 4ydd. Er fod glowyr Brymbo, y Mwnglawdd, a Rhiwabon, yn prysur weithio, yr oedd llawer o gynnwrf yn nhref Gwrecsam, ac yr oedd y marchogion yno yn barod i brysuro i ba le bynag y byddai angen am danynt; ond da genym adrodd na bu achos na galwad am danynt.

*Dydd Mercher*. Ymgynnullodd lluaws o lowyr Rhiwabon a'r amgylchoedd yn agos i Newbridge, gyda bwriad i fyned i'r Amwythig i ryddhâu y tri dyn a anfonwyd yno ddydd Llun. Ond cyfarfu amryw o'r Ynadon â hwynt yno, a chynghorasant hwynt i ddychwelyd adref, a myned at eu gwaith, yr hyn a wnaethant. Yr oedd y marchogion yn barod i gychwyn o Wrecsam i'r Amwythig ar y rhybudd lleiaf, pe buasai y glowyr yn cyflawni eu bwriad. Yn ystod y dydd hwn darfu i ŵr boneddig o Wrecsam, yr hwn a ddangosodd ei hun bob amser yn gyfaill i'r tlawd, argraffu, ar ei draul ei hun, nifer mawr o'r llythyr a ganlyn, yn Gymraeg a Saesoneg, a'u dosbarthu hwynt i'r glowyr; ac os iawn barnu oddiwrth y Meistriaid yn galw am ail argraffiad o hono, ymddengys iddo gael effaith ddymunol ar y gweithwyr.

"AT Y GLOWYR YM MHLWYFAU RHIWABON A GWRECSAM."

"GYDWLADWYR.—Mae y dygwyddiadau a gymmerasant le yn eich plith, yn ystod yr wythnos ddiweddaf, yn peri teimladau mwyaf effro a phoenus yn meddyliau eich holl gymmydogion, nid yn unig mewn perthynas i'w diogelwch a'u cysur eu hunain, ond yn fwy neillduol gyda golwg ar eich lles presennol a dyfodol chwi. Atolwg, ystyriwch yn ddifrifol pa beth yr ydych yn ei gylch; o herwydd, bydded sicr i chwi, mai nid rhuthr, dirdrais, a therfysg, yw y moddion addas i esmwythâu unrhyw ofidiau, na lleihâu dim cyfyngderau. Nis gall neb wadu nad ydych yn dyoddef yn llymdost, ac y mae llaweroedd yn dra gofidus yn cydymdeimlo â chwi, ac a wnaent, yn ewyllysgar, lawer i'ch cynnorthwyo, os bydd i chwi ymdrechu i ymddwyn fel y gweddai i ddeiliaid da, cymmydogion gonest, ac aelodau heddychol cymdeithas. Na chymmerwch eich annog na'ch cynhyrfu gan ddynion o ddrwg amcanion i wneuthur dim trawsineb yn erbyn neb dynion na'u heiddo, nac i weinyddu llw on anghyfreithlawn y naill i'r llall, yr hyn, yn anocheladwy, a'ch gwna yn agored i gosb ddwys a chyfiawn.

"Gwybyddwch fod llaweroedd o'ch cyd ddeiliaid cam-arweinedig, o fewn yr ychydig ddyddiau diweddaraf, wedi dyoddef eisoes eithaf llymder cosbedigaeth y gyfraith, a bod llawer ychwaneg dan ddedfryd marwolaeth, a nifeiri lawer i gael eu halltudio dros ystod eu hoes am gyd-ymgynnull yn anghyfreithlawn. Cofiwch eich bod yn byw dan deyrnasiad un o'r brenhinodd tirionaf a mwyaf poblogaidd a fu erioed yn llywodraethu Ymerodraeth Brydain, a bod genym lywyddiaeth ag sydd yn gwneud, ac wedi penderfynu ymroddi i wneud, pob peth i leihâu cyfyngderau y bobl; ond sy hefyd wedi penderfynu darostwng pob terfysgwaith, dirdrais, a thrawsineb yn y modd mwyaf cyflym ac effeithiol.

"Beth bynag a wneloch, gochelwch droseddu cyfreithiau eich gwlad. Beth bynag a wneluch, "Ofnwch Dduw, ac anrhydeddwch y Brenin.——CYMRO."

GWRECSAM, *Ionawr* 5, 1831.

Yn hwyr Nos Fercher, clywodd Arglwydd Kenyon fod y glowyr Cymreig, a

glowyr Swydd Stafford, yn bwriadu ymuno naill ai wrth Bont Overton, neu Bont Bangor-is-coed; galwyd marchogion Maelor ynghyd ar frys, a gosodwyd un gyfran o honynt i amddiffyn Pont Bangor, a'r gyfran arall i wylied wrth Bont Overton. Yr oedd yno hefyd 200 o geisbwliaid wedi ymarfogi â gefeiliau tân, traed padelli twymo, a ffustiau, &c. Wedi iddynt aros dros ennyd o amser wrth Bont Overton, clywsant fod glowyr Rhiwabon yn cysgu yn dawel yn eu gwelyau, a thybiasant nad allent wneuthur yn amgenach na dilyn eu hesampl, am hyny gwasgarasant a phrysurasant i'w cartrefleoedd. Ymgynnullodd marchogion Gwrecsam ddydd Iau; ond gan nad oedd eu heisieu yn rhagor, cawsant eu difyddino. Er hyny hyd yn awr mae y glowyr wedi bod yn heddychol, ac yn dilyn eu gwaith fel arferol; ac os ymddyga y Meistriaid tu ag at y gweithwyr fel y dylent, ac fel yr addawsant, nid rhaid iddynt byth ofni y cyfyd y gweithwyr yn eu herbyn.

*O. S.* Gwel y darllenydd ammhleidgar a deallus, mai nid gwrthryfel yn erbyn y llywodraeth wladol a barodd y "terfysg" ym mhlith y glowyr uchod. Er nad ydym, mewn un modd, am geisio amddiffyn na chyflawnhâu eu gwaith yn gweinyddu llwon y naill i'r llall, ac yn dirgymhell eu gilydd i beidio gweithio hyd oni chaent godi eu cyflogau, &c. etto cyfiawnder ydyw i ni addef na buasai dim terfysg na rhuthr yn eu plith, na chanddynt, pe buasai y Meistriaid yn gyffredinol yn ddynion ystyriol, cydwybodol, a chyfiawn. Na feddylied y gweithwyr, er hyny, fod gorthrymder rhai o'r Meistriaid yn ddigon o esgus iddynt hwy wneuthur dim ar fai. Cofiwn bawb ein bod oll yn gyfrifol i Dduw, ac mai barn gyfiawn yw ei farn ef. Cofiwn hefyd mai efe sydd yn darostwng y naill, ac yn cyfodi y llall; ac mai nid o *ddamwain* y mae y cyfyngderau sydd wedi goddiweddyd cynnifer o drigolion ein gwlad. Nagê; ond y mae ein pechodau yn uchel alw am geryddon a barn hefyd. Duw o'i ras a roddo i ni edifeirwch i gydnabod ein beiau, a'u gadael; ac yna gallwn yn ostyngedig hyderu y "tyn efe ymaith ei wialen oddi arnom; canys nid o'i fodd y blina efe nac y cystuddia blant dynion."

---

***Rhybydd i halogwyr Sabbothau.***—Dydd Sul, Rhagfyr 5, amryw o weision amaethwyr yn Mhlwyf Trefaldwyn a gytunasant i chwareu pel-droed am y goreu. Pan oeddynt yn myned i'r maes, dywedai un o honynt wrth y cymdeithion am fyned yn mlaen, fod arno ef eisieu gorwedd i lawr am ychydig. Ond gan ei fod yn aros yn hŵy nag y disgwyliasent, dychwelasant ato: ac, arswydus yw adrodd, cawsant ef yn gelain farw! Gwysiwyd ef i'r farn ar y weithred o droseddu gorchymyn Duw.

*Ysgol Sabbothol.* Pregethodd y Parch. Mr. Parker, Ficer Llanyrewig, yn Eglwys y Drefnewydd ar yr 28ain o Dachwedd, o blaid yr Ysgol Sabbothol a fwriedid sefydlu yn yr Eglwys hôno. Ar ol y bregeth casglwyd dros ugain punt. Y sul canlynol dechreuwyd yr Ysgol, yn yr hon yr ydoedd oddeutu 150 o blant. Ar yr un diwrnod ymwelodd Lieut. Dixon, Cynnrychiolwr Cymdeithas yr Ysgol Sabbothol yn Llundain â'r holl Ysgolion yn y dref, a boddlonwyd ef yn fawr gan ymddygiad gweddus y plant.

*Dygwyddiad galarus.*—Ychydig yn ol cyfarfu Mr. Lewis Edwards, ail fab Mr. Edwards, Glasgrug, yn agos i Aberystwyth, â'i farwolaeth yn y modd a ganlyn:—Prynasai Mr. Edwards ddryll, yr hwn nid oedd yn ei foddhâu yn hollol, ac anfonodd am grefftwr o'r gymmydogaeth i'w drwsio; a phan ar fedr saethu yn y tŷ certwyn, daeth Mr. Edwards, yr hwn a aethai o'r tu ol i golofn, ym mlaen i ymofyn beth oedd y mater, ac, echrydus i adrodd, derbyniodd gynnwysiadau y dryll yn ochr aswy ei gorph. Bu farw bron yn ebrwydd. Cafodd amser yn unig i ofyn i'w gydymaith ei roddi yn esmwyth ar y llawr; a phan oedd ar anadlu ei anadl olaf, rhoddodd ei freichiau o amgylch gwddf ei chwaer. Gellir dychymygu yn haws na darlunio teimladau galarus ei rieni, y rhai a gollasant fab serchus a diwyd. Yr oedd y trengedig yn 31 oed, a mawr fydd galar ei gydnabod ar ei ol.

*Haelioni.*—Trwy haelioni C. T. B. Roper, Ysw. Rhydyn, Edward Oakley, Ysw. Hartsheath, a John Price, Ysw. Hope Hall, diwallwyd 58 o deuluoedd tlodion â dillad gwelyau.——Syr Edward Mostyn, o Dalacre, a gyfranodd, ar ddydd Calan, gyfran helaeth o gig eidion, gwrthbanau, a gwlaneni, i 150 o deuluoedd ym mhlwyf Llanasa, a'r gymmydogaeth.——Darfu i Major a Mrs. Williams, o Blas Penbedw, gyfranu ymborth, dillad, ac arian, i 200 o deuluoedd ym mhlwyfau Nannerch a Cilcen.——Syr Thomas Mostyn a gyfranodd, ar y prydnawn cyn dydd Nadolig, i dlodion yr ardaloedd o amgylch ei breswylfa dros 1800 pwys o gig eidion, a £5 o arian. Ac ar ddydd Calan rhoddodd ragor na 500 o latheni o wlanen i'r tlodion.——Yn Rhosllannerchrugog cyfrenir dros 800 o chwartiau o *Soup* da a maethus i'r trigolion bob wythnos.——Ar ddydd Calan darfu i Arglwydd Clive gyfranu glo i'r tlodion yn amgylchoedd Castell Coch. Cafodd 600 o deuluoedd eu diwallu.——Yn Llanidloes darfu i ryw foneddigesau haelionus wneud casgliad tu ag at ddiwallu y tlodion â gwrthbanau. Cyfranasant rai i ragor na 115 o deuluoedd. Gwnaethpwyd hefyd gasgliadau i'r dyben o brynu glo i'w werthu i'r trigolion angenus am isel bris. Yn yr wythnos gyntaf o fis Ionawr gwerthwyd 14 tunell, am hanner pris, rhwng 390 o deuluoedd. Dysgwylir y bydd iddynt werthu 15 tunell bob wythnos, am dri mis, am hanner pris.——Mae trigolion Machynlleth wedi dilyn yr un esampl dda.——Gwnaethpwyd casgliad hefyd yn y Bala a'r gymmydogaeth; a phrynwyd llawer o dunelli o lo i'w rannu yn rhad ym mhlith tlodion lluosog pum plwyf Penllyn.——Ni all y fath haelioni lai na chyffroi teimladau diolchgar y'mynwesau yr angenog.

*Tro lled anghyffredin.*—Yn Eglwys Plwyf Llangynhafal, ychydig amser yn ol, bu tair priodas olynol; yr oedd y tri priodfab yn dwyn yr un enw, *sef* William; yr oedd y tri yn wyr gweddwon; priodwyd y tri ddydd Mawrth; ac yr oedd y tair priodas yn dwyn perthynas â'u gilydd. J. W.

---

GWALL.—Gwnaed cam-gymmeriad yn y Mân-gofion Barddonawl yn Rhifyn Gorphenaf diweddaf. *William Elias, Plas y Glyn*, a gyfansoddodd Feddargraff Owen Gruffydd, Llanystumdwy, ac nid *Michael Prichard*, o *Lanllyfni*, fel y dywedwyd. Michael Prichard a ganodd ei Farwnad. Llyma 'r Beddargraff:—

Dyma 'r fan syfrdan y sydd——oer glôd,
Ar glanwych lawenydd,
Cerdd a phwyll cywir ddda ffydd,
Awen graff Owen Gruffydd.

Dwys fyfyr difyr dioferedd,——gamp,
A gwympwyd i'r dyfnfedd;
Pen clo cân, pinacl ceinwedd,
Gloyw wych fawl, gwelwch ei fedd.

Ei oedran 87.——WM. ELIAS a'i *cânt*.

*Cefn y Meusydd.* ELLIS OWEN.

# Y GWYLIEDYDD.

## MAWRTH, 1831.

### BARNEDIGAETHAU DUW.

2 SAM. XXIV. 16.

"A phan estynasai yr angel ei law at Jerusalem i'w dinystrio hi, edifarhaodd ar yr Arglwydd y drwg hwn, ac a ddywedodd wrth yr angel oedd yn dinystrio y bobl, Digon bellach: attal dy law."

YMA y gwelwn engraifft o gyfiawnder dïaleddol y Duw byw, yn cospi cenedl bechadurus, a brenin rhyfygus, âg ymweliad yr *haint;* yr hon mewn yspaid naw awr a laddodd ddeng mil a thriugain o'r bobl o Dan hyd Beer-sheba. Yr oedd Israel wedi mwynhau blynyddoedd o heddwch a llwyddiant daearol, heb fod yn ddiolchus i'w pen-llywodraethwr; a'u brenin a rifasai y bobl, ei gantoedd o filoedd o wyr grymus yn tynnu cleddyf, gan felly ymddiried mewn braich o gnawd, yn lle yn yr Hwn a'i hachubasai o grafangc y llew, ac o balf yr arth. Efe a rifasai y bobl heb gymmeryd sylw o ddeddf osodedig yr Arglwydd ar yr achos, yn *Exod.* xxx. 12. Ond yr haint a'i dygodd i edifeirwch—"A'r Arglwydd a gymmododd â'r wlad, a'r bla a attaliwyd oddiwrth Israel," wedi yr offrymiad o aberth hedd ar fryn *Moriah.**

* Bryn *Moriah* (ofn yr Arglwydd) ydyw y bryn hynotaf ar wyneb daear; ond ystyried y dyfynion canlynol: "Dos rhagot i dir *Moriah*, ac offryma yno dy unig Isaac yn boeth-offrwm ar un o'r mynyddoedd yr hwn a ddywedwyf wrthyt."—*ALEHIM wrth Abraham, yn Beer-sheba.* Gen. xxii. 2.

Yn *Ezec.* xiv. 21. *ei bedair drygfarn* y geilw JEHOVEH ALEH —"y cleddyf, newyn, bwystfil niweidiol, a *haint.*" O'r pedair drygfarn, haint yw yr ymweliad mwyaf ofnadwy, ac iawn y gelwir yn fwyaf penodol yn "*llaw Duw,*" (1 *Sam.* v. 11.) yr Hwn yn unig sydd yn rhoddi ei fyllt dinystr yn llaw ei angel pan fynno, ac yn peri i'w haint rodio yn y tywyllwch, fel na wel dynion o ba le y mae yn dyfod, na pha fodd i'w ochel. Nyni a wyddom achosion rhyfel a newyn, ond tarddell *haint,* pwy a'i chwilia i fanyldeb?

Gosodir yma restr byr o ymweliadau *haint* yn amryw wledydd:

Yn y fl. 767 cyn geni Crist bu haint dros yr holl fyd.

Yn y fl. 78 o oed Crist, yn ninas Rhufain, bu feirw o'r haint ddeng mil, mewn pedair awr ar hugain.

Yn 954, yn yr Alban *(Scotland)* lladdwyd deugain mil.

Yn 1348, yn Llundain, bu feirw 50 mil; yng Nghaer Lyr *(Leicester)* 15 cant; yng ngwlad yr Ellmyn *(Germany)* 90 mil.

Yr haint hon a ddechreuodd ym mhorthdrefydd dwyreiniol Môr y Canoldir yn y

"Dos i fynu, cyfod allor i JEHOVEH yn llawr dyrnu Aranïah y Jebusiad."—*Y prophwyd Gad wrth Ddafydd.* 2 Sam. 24. 18.

"A Salomon a ddechreuodd adeiladu tŷ JEHOVEH yn Jerusalem ym mynydd *Moriah*, y lle a ddarparasai Dafydd ei dad ef, yn llawr dyrnu Aranïah y Jebusiad." 2 *Cron.* iii. 1.

"Ac hwy a'i harweiniasant Ef allan o'r ddinas, i le a elwid Golgotha, ac yno y croeshoeliwyd Ef."—*Y Pedair Efengyl.*

fl. 1346. Masnachwyr a'i trosglwyddodd i'r Ital. Yn 1348, aeth dros y mynyddoedd *Mynnau* i Ffraingc; a'r flwydd ganlynol mordwyodd i Loegr; y flwydd wedi ymwelodd â gwlad yr Ellmyn, a gwledydd gogleddol eraill. Ei barhâd oedd o gylch pum mis ym mhob gwlad. Yn ninas *Florence* (Ital) bu farw tri o bob pump.

Yn 1362, yn Llundain, a Pharis yn Ffraingc, bu yr haint yn hynod o'r dinystriol.

Yn 1407, yn Llundain, bu feirw 30 mil.

Yn 1477, yn Lloegr: lladdodd yr haint y flwyddyn hon, fwy o rifedi nag a ddifethodd y cleddyf yn y 15 mlynedd blaenorol o ryfel gwaedlyd rhwng yr ymdrechwyr am y goron, sef pleidiau *Yorc* a *Lancaster*.

Yn 1499, yn Llundain, bu feirw 30 mil.

Yn 1594, colledwyd Llundain o'r bedwaredd ran o'i thrigolion.

Yn 1603, ym mis Rhagfyr, dechreuasai yr haint yn Llundain, a chynnyddasai i radd ddychrynadwy yng ngwres yr haf canlynol. Y brenin Iago I. newydd ei ddyrchafu i orsedd Lloegr, a giliodd rhag yr haint i *Wilton*, un o balasau William Herbert, iarll Penfro. Yn y fl. 1407, ciliasai y brenin Harri IV. o Lundain, i gastell Leeds yn Kent: ac yn y fl. 1499, aeth y brenin Harri VII. i Calais yn Ffraingc, rhag y cornwyd. Yn 1604 bu farw 30,578.

Yn 1611. Dywedir farw yng Nghaer Custenyn y flwyddyn hon o'r haint 200 mil.

Yn 1665, bu farw yn Llundain 68 mil.

Gan mai am alanastra yr haint ddiweddaf hon y ceir yr hanes cyflawnaf, rhoddir yma ddyfynau allan o Lyfr Saesneg, a gyhoeddwyd dan yr enw—"*Hanes y Cornwyd yn Llundain yn y fl.* 1665; *yn cynnwys sylwiadau ac argofion o'r pethau hynotaf a ddigwyddasant yn y tymmor ofnadwy hwnnw: Gan ddinesydd oedd yn anneddu drwy yr holl amser yn Llundain.*"

O gylch dechreu mis Medi 1664, bu i mi ac eraill o'm cymmydogion yn heol *Aldgate*, glywed drwy chwedleuon bod y *Cornwyd* wedi dychwelyd i Holand, canys buasai yn ddinystriol iawn yno, yn enwedig yn ninasoedd Amsterdam a Roterdam, yn y fl. 1663; i ba fanau y daethai, meddai rhai, o'r *Ital*, o'r *Levant*, meddai eraill: ond ni waeth o ba le, y pwngc o bwys oedd, ei fod wedi dychwelyd i Holand, a phawb a gytunent ar hyn.

Nid oedd genym y fath beth a Newyddiadur yn y dyddiau hynny, i daenu newyddion, ac i chwanegu atynt drwy ddychymmygion dynion, fel y gwelais arferu gwedi hynny. Ambell i lythyr rhwng masnachwyr oedd yr holl sylfan i'r chwedlau; ac yn y modd hyn y lledai y newyddion o enau i enau yn unig, ac ni threiddient drwy y wlad yn ebrwydd fel y gwnant yr awrhon. Ond tybir bod y llywodraeth yn gwybod y gwir, canys cynnhaliwyd cyfrin-gynghorau i ddychymmygu y moddion mwyaf tebygol i luddias y cornwyd i'n gwlad, ond cadwyd y cwbl yn ddirgel. Oddiar hyn diflanodd y son, a dechreuodd pobl ei anghofio megis peth nad oedd yn perthyn i ni, a pheth y gobeithiem nad oedd yn wir. Tua diwedd mis Tachwedd, neu ddechreu Rhagfyr, 1664, bu farw dau ddyn, dywedwyd mai Ffrangcod, o'r *Cornwyd*, yn *Long Acre*, tua phen uchaf *Drury Lane*. Y teulu, lle yr oeddynt yn cyfanneddu, a geisient gyfrinachu y peth gymmaint ag a allent, ond gan i'r chwedl gynnyddu o dŷ i dŷ, daeth i glyw swyddogion y brenin, y rhai a anfonasant ddau feddyg cyfarwydd i chwilio y tŷ, ac i roddi eu barn ar ansawdd y cyrph trengedig. Ni ruсodd y meddygon farnu, eu bod wedi marw o'r cornwyd, ac yn ol y drefn ddinesig cyhoeddwyd yn yr wythnosol *Restr Marwoldeb*—

Marw o'r cornwyd, 2.—Plwyfydd heintus, 1.

Ar hyn, tarawyd y bobl â braw mawr drwy yr holl ddinas; ac yn fwy felly yn yr wythnos ddiweddaf o Ragfyr, pan fu dyn arall farw yn yr un tŷ, ac o'r un clwyf. Yna buom megis yn ddigyffro trosogylch chwech wythnos: gan na bu neb farw â nodau haint arno, tybiwyd ei bod wedi cilio. Ar ol hynny, tybiaf mai o ogylch y 12fed o Chwefror, y bu un arall farw mewn tŷ cyfagos, ond yn yr un plwyf, ac

o'r un clefyd. Hyn a dynnodd sylw y bobl at y pen hwnnw i'r ddinas, ac nid âi neb drwy heol *St. Giles*, os na byddai achos mawr yn ei yrru.

O hyn allan, yr wythnosol *Restrau Marwoldeb* a gynnyddasant o 240, eu rhif arferol, i agos 500; ac ogylch Gwyl Ieuan fedyddiwr, dechreuwyd claddu o fewn un plwyf (*St. Giles*) 120 yn yr wythnos, o ba rai oddeutu 100 a gyfaddefwyd eu marw o'r *haint*.

Hyd yn hyn yr oedd y clefyd wedi dal yn yr un ddosparth ag y dechreuasai ynddo, ond bellach yr oedd yr holl ddinas yn llygredig, a rhyw nifer a syrthient yma ac acw drwy ei 97 o blwyfau.

Nid oedd dim ammheuaeth erbyn hyn nad oedd angel y cornwyd wedi gyrru ei saethau ar hediad drwy yr holl ddinas. Braw a syndod oedd y canlyniad ar y trigolion drwy ei holl barthau; a phawb a allent gilio o gyrhaedd perygl, a ymbarotoisant i ymadael.

Yr oedd fy annedd i yn *Aldgate*; a chan na threiddiasai yr haint etto i'r parthau hynny, yr oedd meddyliau y trigolion yn lled dawel. Ond ym mhen arall y ddinas, yr oedd braw rhyfeddol wedi cymmeryd meddiant o galon pawb. Y rhai mwyaf cyfoethog a boneddig yn y parthau hynny a ymdrechent i fyned o'r ddinas am y cyntaf, ynghyd â'u tylwythau a'u gweinidogion. Gwelwyd y terfysg hwn yn dra hynod yn yr heol lydan yr oeddwn i yn byw ynddi. Nid oedd braidd ddim i'w ganfod ond pedrolfeni a throlfenau, yn llwythog o eiddo, merched, plant, a gweinidogion; cerbydau llawnion o'r pendefigion mwyaf, dynion ar feirch yn eu canlyn, a phawb yn prysuro i ffoi. Yna menni hirion a byrion yn dychwelyd o'r wlad yn weigion—blith draphlith drwy eu gilydd, i gyrchu ychwaneg o'r dinasyddion ymaith: heblaw nifer mawr o ddynion ar geffylau, rhai yn unig, eraill â'u gweision gyda hwynt; ac yn gyffredin pawb yn llwythog o ryw eiddo neu gilydd, wedi eu parotoi i'r daith; fel y gallai pawb wybod eu bwriad wrth y golwg arnynt.

Golwg echryslawn oedd hwn; a chan nad allwn lai nag edrych arno o'r llwyd foren hyd dywell nos, ac yn wir nid oedd braidd ddim arall i mi sylwi arno, fe'm llanwyd â meddyliau difrifol iawn ynghylch y trueni oedd i ddisgyn ar y ddinas, a chyflwr greaynus y rhai a adowid ar ol.

Y cyfryw oedd ffrwst y trigolion dros rai wythnosau, fel ag yr oedd braidd yn anelluadwy gyrhaedd drws y Maer-dy gan y dyrfa yn ymwthio am y cyntaf i gael ardystiadau o iechyd, a thrwyddedau i ymadael, canys heb y pethau hyn, ni chaniateid i neb dramwy drwy dref neu ddinas ar eu taith, nac ychwaith i lettŷa mewn gwest-dai ar y ffordd.

Fe barhaodd y ffrwst hwn dros rai wythnosau, hynny yw, drwy y misoedd Mai a Mehefin; a hynny yn fwy gan bod si ar led y gosodid, drwy arch y llywodraeth, lidiardau a rhwystrau eraill ar y priffyrdd i luddias pobl i ymdeithio; ac hefyd na byddai i drefydd ganiatau i ffoedigion Llundain fyned trwyddynt, rhag y byddai iddynt ddwyn yr *haint* gyda hwynt; er nad oedd y chwedlau hyn ond si heb sylfaen.

Tramwyasai y clefyd erbyn hyn yn gyflymach tua y dwyrain, ac nid oedd lle i ammau na ofwyai yr haint yr holl ddinas. Y teithwyr yn yr heolydd a dramwyent yn ofalus hyd eu canol hwynt, rhag myned yn agos i'r tai, ac fel y gochelent gyffwrdd y naill â'r llall. Nid oedd ond cip-edrychiad iseldrem a phruddaidd, yn lle ysgwyd dwylaw caredig, rhwng y cyfeillion mwyaf cydnabyddus, pan gyfarfyddent—pob tŷ a *siop* yn ganad —pob masnach drosodd—a phob crefftwr a llafurwr heb ddim i

wneuthur ond syn-feddylio uwch ben newyn a chlefyd. Y brenin a giliodd, a'i lys gydag ef i Rydychain—llysoedd y gyfraith yn glöedig—pob ymadawiad o'r ddinas a wrthwynebwyd gan drigolion y wlad o'i hamgylch; ac erbyn canol yr haf, yr oedd Llundain freiniol fel "dinas warchauedig."

Y pryd hyn gellid dywedyd am Lundain, yng ngeiriau y prophwyd am Jerusalem—"Pa fodd y mae y ddinas aml ei phobl yn eistedd ei hunan: y mae hi yn wylo yn hidl, ac y mae ei dagrau ar ei gruddiau." Ond nis gellid cymmhwyso ati hi eiriau y pregethwr—bod "*y galarwyr yn myned o bobtu yn yr heol*"—canys ni alarai neb yn Llundain y pryd hyn, mewn gwisgoedd duon, ar ol eu cyfeillion anwylaf. Ond, uchel, uchel, y clywid sain wylofain yn yr heolydd—oer-gri gwragedd a phlant yn y ffenestri a drysau eu tai, lle yr oedd eu perthynasau agosaf ac anwylaf naill ai ar ben, neu wedi, rhoddi i fynu yr yspryd. Yr oedd y galar-gwynion echrydus hyn, gan mor fynych y clywid hwynt wrth dramwy yr heolydd, yn ddigonol i hollti y galon galetaf. Dagrau heilltion galar chwerw a welid bron ym mhob tŷ, yn enwedig yn nechreuad y clefyd; canys tua ei ddiwedd, yr oedd teimladau dynion wedi caledu, a marwolaeth mor gynnefin iddynt, fel na theimlent gymmaint ymadawiad eu cyfeillion, gan eu bod ar ddisgwyl yr un dynged iddynt eu hunain yn yr awr nesaf.

*(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR

### YR ARCHESGOB GRINDAL AT Y FRENHINES ELISABETH.

*(Parhad o du dalen 44.)*

Yn awr, ynghylch y meddwl fod darllen yr Homiliau da, a gyhoeddwyd trwy awdurdod, yn ddigon, yr wyf fi etto yn parhau o'r un meddwl ag yr oeddwn pan ddiweddaf gyd â'ch Mawrhydi. Y mae i ddarllen yr Homiliau ei fuddioldeb; ond nid yw ddim wrth ei gydmaru â'r swydd o bregethu. Y mae 'r pregethwr duwiol yn cael ei alw yn yr efengyl, "Y gwas ffyddlon a phwyllog, yr hwn a osododd ei Arglwydd ar ei deulu, i roddi iddynt eu bwyd yn ei bryd," yr hwn a all gyfnewid ei ymadrodd yn ol amrywiaeth amser, lle, a gwrandawyr, yr hyn ni ellir wneuthur wrth ddarllen Homiliau. Heblaw hyn, yr Homiliau a gyfansoddwyd yn nyddiau eich brawd, gan Esgobion duwiol, o herwydd yr angen yn unig, oblegid diffyg pregethwyr; ac ydynt yn ol y gyfraith, nid i'w dewis o flaen pregethau, ond, yn y gwrthwyneb, i roddi lle iddynt, pa bryd bynag y gellir eu cael, ac ni farnwyd hwynt erioed yn ddigonol o honynt eu hunain er hyfforddi Eglwys Loegr. Ac fe welwyd y pryd hyny, fel y gwelir yn awr, fod Eglwys Loegr, trwy briodoliad, wedi ei hyspeilio, a hyny nid heb gyssegryspail, o'r Bywiolaethau, y rhai, ar y cyntaf, a osodwyd er cynnal pregethwyr ac athrawon. Y Bywiolaethau hyn a briodolwyd yn gyntaf at Fynachdai; yna fe'u cymmerwyd at y goron; ac wedi hyny fe'u rhanwyd rhwng dynion fel etifeddiaethau neillduol, heb gymmaint a gobaith yr adferir hwynt byth i'w dyben dechreuol. Ac o hyn y mae, yn ol fy meddwl i, fod yn y dyddiau hyn saith o Eglwysydd, y rhai ni allant roddi cynnaliaeth i Bregethwr dysgedig, am bob un a all wneuthur hyny. Ac mewn llawer Plwyf yn eich teyrnas chwi, lle mae saith neu wyth mil o ddynion (fel y mae gwaethaf) nid oes gymmaint ag wyth bunt yn y flwyddyn wedi eu cadw tu ag at gynnal Gweinidog. Yn y cyfryw Blwyfau, nid yw yn ddichonadwy sefydlu Pregethwyr galluog, o herwydd nad oes gynnaliaeth iddynt yno. A phe byddai i bob cynnulleidfa gael Pregethwr yn Weinidog, yr hyn sydd i'w ddymuno yn hytrach nag i'w ddysgwyl, yna fe fyddai darllen yr Homiliau yn hollol afreidiol. Ond i gyflenwi y diffyg o bregethu Gair Duw, yr hyn yw ymborth yr enaid, yr hwn ddiffyg a dardd o'r angenrheidiau a sylwyd arnynt uchod, yn amser eich brawd yn gystal ag yn eich amser chwithau, fe gyfansoddwyd Homiliau duwiol, fel na byddai y bobl yn hollol ddihyfforddiad. Canys y mae yn hen ddihareb wir, "Bod hanner torth yn well na dim bara."

Yn awr am yr ail beth, yr hyn a berthyn i ymarferiad a chynnadledd Gweinidogion yr Eglwys. Myfi a ymgynghorais âg amryw o'm brodyr, yr Esgobion, trwy lythyrau, a thybiant hwy hyny, fel y gwnaf finnau, yn beth llesol i'r Eglwys; ac am

hyny, dylid eu cynnal. A gobeithiaf, yn hyderus hefyd, y bydd eich Mawrhydi o'r un meddwl, pan yr hysbysir i'ch Uchelradd y modd y cyflawnir hwynt, ynghyd â'r dyben o honynt. Pa *awdurdod* o'r Ysgrythyr sydd o'u plaid? pa *les* sydd yn deilliaw o honynt? a pha *niweid* a ganlyn os dilëir hwynt.

Awdwyr y Cyfarfodydd hyn, yw Esgobion yr Esgobaethau hyny lle y cedwir hwynt. I'r rhai hyn, yn ol Cyfraith Duw, a Chanonau a Gosodedigaethau yr Eglwys yn awr mewn grym, y perthyn awdurdod i osod ac ordeinio ymarferiadau ym mhlith y Gweinidogion israddol, er cynnydd gwybodaeth a dysgeidiaeth Ysgrythyrol, yn ol fel y gwelont hwy yn oreu: canys hyn a berthyn i ddysgyblaeth Weinidogaethol. Amser y Cyfarfodydd hyn, yw unwaith yn y mis, neu unwaith mewn deuddeng neu bymtheng niwrnod, yn ol fel y barno yr *Ordinari* yn oreu. Yr amser a dreulir yn y Cyfarfod, yw dwy awr. Y lle y'i cynnelir, yw Eglwys y dref a ddewiswyd i'w gadw. Y peth a drinir yno, yw rhyw destun o'r Ysgrythyr, yr hwn a gytunwyd arno o'r blaen. Eglurir hwn yn y modd canlynol:—1. Dangosir achlysur y geiriau:—2. Dyben y geiriau:—3. Ystyr priodol y lle:—4. Priodoldeb yr ymadroddion—y rhai hyddysg yn yr ieithoedd gwreiddiol yn dangos amrywiaeth eu hystyr:—5. Ym mha le yn yr Ysgrythyr yr arferir y cyffelyb ymadroddion:—6. Cyssonir y lleoedd a ymddengys fel yn gwrthddywedyd y testun:—7. Sylwir ar sylwedd y testun:—8. Dangosir pa rinweddau, a pha bechodau y cyfeirir atynt, ac i ba un o'r gorchymynion y perthyn y testun:—9. Pa fodd y camddefnyddiwyd y testun gan elynion, os angenrheidiol:—10. ac yn olaf, Pa athrawiaeth ffydd neu foesau a gynnwysir yn y testun. Gorphenir y cwbl gyd â'r Weddi dros eich Mawrhydi, a phob cyflwr, fel y gorchymynir yn Llyfr Gweddi Gyffredin, â Psalm. Fe gedwir y rheolau hyn hefyd yn y Cyfarfodydd hyn:—Pennodir dau neu dri o'r Gweinidogion doethaf a dysgedicaf gan yr Esgob yn Llywyddion y Cyfarfodydd. Nid oes neb i lefaru heb gennad yr Esgob, gyd â'r gocheliad hwn, nad oes yr un lleygwr i lefaru ar un achlysur. Nad oes yr un o'r dadleuon mewn rhwysg yn awr i sylwi arnynt: ac os ymgais un wneuthur yn y gwrthwyneb i hyn, y mae i'w ddistewi gan y Rheolwr. Nid oes neb i gyfeirio, yn ddirgel nac yn gyhoedd, at ddynion neillduol, ym mhlith is neu uwch radd; ac nid yw un i wrthddywedyd y llall. Os gwna un roddi camolygiad ar ryw ran o'r Ysgrythyr, y mae i'w argyhoeddi o hyny yn y dirgel, ac i'w hyfforddi yn well yn y pethau hyny gan y Rheolwyr a'u cyd-weinidogion. Os gwna un arferyd ymadroddion anniwair, neu ddangos ystumiau ammharchus, neu ymddygiad anaddas; neu, os tybir ei fod yn euog o'r cyfryw bethau yn ei fywyd, rhybuddir ef hefyd; ond yn y modd uchod. Os gwna unrhyw un yn ystyfnig droseddu y rheolau hyn, hysbysir ef i'r Esgob, yr hwn a'i cerydda.

Y mae sail arferiadau fel hyn ar awdurdod hen a goruchel. Canys Samuel a gynnaliai bethau fel hyn yn Naioth yn Ramah, ac yn Bethel. Felly y gwnaeth Eliseus yn Jericho. Y bobl fyfyrgar hyn a elwid y pryd hwnw, *meibion* y prophwydi; hyny yw, dysgyblion y prophwydi, y rhai a ddysgid yn ystyr a gwybodaeth gair Duw, fel y byddent hwythau mewn pryd amserol yn alluog i wasanaethu yn eglwys Dduw. St. Paul hefyd a ddywed yn eglur, bod y cyffelyb mewn effaith yn y Brif Eglwys; ac y mae yn gosod i lawr reolau pa fodd i gynnal y cyfryw, pan y dywed, "Llefared dau neu dri, a barned y lleill." Y gwaith hwn o eiddo yr eglwys y pryd hwnw a eilw St. Paul, *Prophwydo*—a'r llefarwyr, *Prophwydi*. Enwau a gaseir gan rai yn ein dyddiau ni, oblegid nad ydynt yn eu hiawn ddeall. Prophwydo, yn wir, yn y mannau hyn, a lleoedd ereill o eiddo St. Paul, ni arwyddocâ ragddywedyd pethau i ddyfod, yr hon ddawn ni roddir yn awr yn gyffredin i eglwys Dduw; ond arwyddocâ, yn ol cydsyniad yr awduron hynaf, egluro a deongli yr Ysgrythyr. Ac am hyn y priodola St. Paul i'r rhai a elwir Prophwydi yn y bennod, athrawiaeth er adeiladaeth, annogaeth, a chysur. Y ddawn hon o eglurhau yr Ysgrythyrau, a roddid yn wyrthiol i lawer yn nyddiau St. Paul, heb arferyd moddion; felly hefyd y rhoddid y ddawn o lefaru â thafodau dieithr, y rhai erioed ni ddysgasant. Ond yn awr, gwyrthiau a beidiasant; am hyny y mae yn rhaid cyrhaedd gwybodaeth o'r ieithoedd Hebraeg, Groeg, a Lladin, trwy lawer o boen a llafur, a Duw yn rhoddi y cynnydd. Ac felly hefyd yn yr un modd y mae yn rhaid i ddynion gyrhaeddyd y ddawn o eglurhau a deongli Gair Duw. Ac er cyrhaeddyd hyn, nid oes un peth mwy angenrheidiol na'r ymarferiadau o'r Cynnadleddau rhagddywededig ym mhlith Gweinidogion yr Eglwys. Ac nid yw amgen na'r hyn a wneir gan Fyfyrwyr yn y Prif Ysgolion, oddieithr eu bod hwy yn ei wneuthur mewn iaith ddealladwy, er adeiladaeth eu gwrandawyr annysgedig.

Pa chwedlau bynag a glywodd eich Mawrhydi am y Cyfarfodydd hyn; etto, myfi, a'r Esgobion canlynol, sef, Esgob Llundain, Esgob Caerwynt, Esgob Bath, Esgob Litchfield, Esgob Caerloyw, Esgob

Lincoln, Esgob Caerlleon, Esgob Rhydychen, Esgob Tŷ Ddewi, fel y tystiasant wrthyf trwy lythyrau, ydynt wedi cael allan, trwy brofiad, fod y budd a'r lles canlynol yn tarddu o'r Cyfarfodydd hyn:—1. Y mae Gweinidogion yr Eglwys eu hunain yn fwy medrus a pharod yn yr Ysgrythyrau, ac yn addasach i hyfforddi eu cynnulleidfaoedd.—2. Mae yn eu cadw rhag seguryd, rhodiana, chwareu, &c.—3. Rhai y tybid o'r blaen eu bod yn cyfeiliorni o ran athrawiaeth, a ddygwyd drwy hyn i broffesiad cyhoedd o'r gwirionedd.—4. Gweinidogion anwybodus a wneir i ddarllen a myfyrio, os nid o gydwybod, etto rhag cywilydd ac ofn dysgyblaeth.—5. Barn y Lleygwyr am segurdod y Gweinidogion a gyfnewidir.—6. Profiad hefyd a ddywed, nad oes un peth yn dilëu Pabyddiaeth fel y Cyfarfodydd hyn: canys ynddynt y mae Gweinidogion yn cynnyddu mewn gwybodaeth, fel y tystia rhai o'm brodyr, fel, lle nad oedd amser yn ol dri o Bregethwyr galluog, y mae yn awr ddeg ar hugain addas a galluog i bregethu ar Groes St. Paul, a deugain neu hanner cant ereill yn alluog i hyfforddi eu cynnulleidfaoedd. Felly profiad a ddywed, eu bod y moddion goreu i ychwanegu gwybodaeth yn y rhai anwybodus, ac i'w chadw yn y rhai sydd yn ei mwynhau. Yn unig y rhai sydd hwyrfrydig mewn crefydd, ac yn ddirmygwyr dysgeidiaeth yn y gwledydd ar led, sydd yn sori wrth y Cyfarfodydd hyn, yr hyn, mewn gwirionedd, sydd yn ganmoliaeth uchel iddynt. Y dilëad o honynt a roddai achos gorfoledd i'n gelynion, a llawer o flinder a gofid i gyfeillion crefydd. A hyn sydd groes i gyngor Eseciel, yr hwn a ddywed, "na ddylai calon y cyfiawn gael ei thristâu." Ac er i ryw ychydig wneuthur camddefnydd o'r Cyfarfodydd hyn, etto, nid yw hyny reswm paham y dylai eu dyggioni hwy wneuthur niwed i bawb o'r lleill. Gellir diwygio yr hyn sydd feius, a chadw yr hyn sydd ddefnyddiol. Ac ni ddylid tramgwyddo wrth y Cyfarfodydd hyn, os rhydd amryw ddynion amryw olygiadau ar yr un adnod o'r Ysgrythyr, os bydd pob un o honynt yn dda, ac yn cydredeg â chyssondeb a rhanau y ffydd: os amgen, rhaid i ni ffoi ar hen dadau ac athrawon yr Eglwys, y rhai, yn gyffredin, a eglurant yr un a'r unrhyw destun mewn amryw ffyrdd; ac etto y cwbl er llesâd i'r Eglwys. Am hyn y cydmara St. Basil yr Ysgrythyr i ffynnon, o'r hon, po mwyaf o ddwfr a godir allan, goreu a melusaf fydd y dwfr.

Gobeithiaf, ar ol i'ch Mawrhydi ystyried a phwyso yn ddifrifol yr hyn a ddywedwyd, yr ymdawelwch, gan gwbl gredu nad all y cyfryw aflesiant a drwg darddu o'r Cyfarfodydd hyn, ag a fynegwyd i chwi, ond yn hytrach yn llwyr wrthwyneb. Ond o'm rhan i, yr wyf yn dra sicr, trwy resymau, ac arbwylliadau allan o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, a phrofiad (a phrofiad yw sail sicraf gwir wybodaeth) fod y cyfryw Cyfarfodydd er deongli ac egluro yr Ysgrythyrau, ac er dwyn oddi yno allan annogaeth a chysur, yn dra buddiol, yn gystal er helaethu gwybodaeth yn mhlith y Gweinidogion ag er dwyn yn mlaen adeiladaeth y gwrandawyr. Gosodir rhaid arnaf fi am hyny, gyda phob gostyngeiddrwydd, etto yn eglur, gyhoeddi nad allaf, gyda chydwybod heddychlawn, ac heb bechu yn erbyn mawrhydi Duw, roddi fy nghydsyniad i attal y Cyfarfodydd rhagddywededig—llawer llai y gallaf fi anfon allan fy ngorchymyn am eu rhwystro a'u dilëu yn gyffredin. Dywedaf, gyda St. Paul, "Nid oes gennyf allu i ddinystrio, ond yn unig i adeiladu;" a chyd â'r unrhyw apostol, "Nid allaf wneuthur dim yn erbyn y gwirionedd, ond dros y gwirionedd."

Os yw ewyllys eich Mawrhydi am hyn, neu am ryw achos arall, i'm symud i o'r lle hwn, yr wyf yn barod, gyda phob gostyngeiddrwydd, i ymostwng i hyny, ac i roddi yn ol i'ch Mawrhydi yr hyn a dderbyniais genych. Yr wyf yn ystyried mai "peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw." Yr wyf yn ystyried hefyd ei fod ef, yr hwn a wna yn erbyn ei gydwybod (yn gorphwys ar gyfreithiau Duw) sydd yn adeiladu i uffern. A pha les a gawn ni, pe ynillwn (ni ddywedaf Esgobaeth) "ond yr holl fyd, a cholli fy enaid i?" Cyd-ddygwch â mi, Madam, os dewisaf yn hytrach eich digio chwi, na digio Mawrhydi Duw. Ac yn awr, wedi blino eich Mawrhydi mor hir, mi a dynaf tu a'r diwedd, gan ddymuno arnoch yn ostyngeiddiaf, ystyried yn dda y ddau ofyniad canlynol:—

Y cyntaf yw, Bod i chwi adael yr holl bethau eglwysig ynghylch crefydd, neu athrawiaeth a disgyblaeth yr Eglwys, i Esgobion a Duwinyddion eich teyrnas, yn ol esampl holl Ymerawdwyr a Thywysogion Cristionogol yn mhob oes; canys y maent yn bethau, fel y dywed un o'r hen Dadau, i'w barnu nid yn y *Palas* ond yn yr Eglwys, neu mewn cymmanfa Eglwysig. Pan y byddo gan eich Mawrhydi ryw beth o bwys ynghylch cyfraith eich teyrnas, nid ydych yn penderfynu hyny yn eich llys, ond chwi a'i hanfonwch at eich Barnwyr. Yn gyffelyb mewn pethau amheüus o barth athrawiaeth a dysgyblaeth Eglwysig, y modd cyffredin yw eu hanfon am atebiad at yr Esgobion a Gweinidogion penaf ereill yr Eglwys. Ambrose a ysgrifena fel hyn at Theodosius:—"Os ymgynghorwch mewn pethau yn perthyn

i [illegible] â'ch Blaenoriaid, pa faint mwy mewn pethau yn perthyn i grefydd, y dylech ymgynghori â Gweinidogion yr Arglwydd." Yr un Ambrose, yn ysgrifenu at yr Ymerawdwr da Valentinian, a ddywed fel hyn:—"Os ymddiddanwn ynghylch ffydd, dylem adael yr ymmddiddan i'r Offeiriaid, fel y gwnaed o dan Custenyn, tywysog i'w gofio gyda pharch, yr hwn ni's cyhoeddodd un gyfraith hyd nes rhoddai hwynt o flaen yr Offeiriaid, er cael eu barn hwy arnynt." Yn yr un lle, yr un Ambrose a ddywed, i Custenyn yr Ymerawdwr, mab y rhagddywededig Custenyn Fawr, "ddechreu yn dda wrth rodio yn ffordd ei dad, ond diweddodd yn ddrwg; canys cymmerodd arno ei hun farnu pethau 'r ffydd yn ei Balas (oblegid fel hyn y mae geiriau Ambrose) ac wrth hyny efe a syrthiodd i Ariaeth." Esampl ddychrynllyd! Yr un Ambrose, yr hwn a gannmolir gan bob hanesyddiaeth fel Esgob duwiol, sydd yn myned rhagddo etto ym mhellach, pan yn ysgrifenu at yr un Ymerawdwr, gan ddywedyd fel hyn, "Os yw Esgob i gael ei addysgu gan lëygwr, pa beth a ganlyn? Ymddadleued y llëygwr, a gwrandawed yr Esgob. Dysged yr Esgob gan y llëygwr. Ond os bydd i ni edrych ar drefn yr Ysgrythyrau a'r hen amseroedd, pwy a all wadu fod yn achosion y ffydd, yn achosion y ffydd, meddaf, Esgobion yn rhoddi barn mewn perthynas i Ymerawdwyr Cristionogol, ac nid Ymerawdwyr Esgobion." O gan Dduw na fyddai i'ch Mawrhydi ddilyn y drefn gyffredin hon; wrth wneuthur felly chwi a gaech lawer o dawelwch meddwl, chwi a ryngech fodd Duw, a'r Eglwys a lywodraethid mewn llonyddwch a thawelwch, er llawer o gysur i chwi, a budd i'ch teyrnas.

Yr ail erfyniad a roddaf o flaen eich Mawrhydi yw hwn, Na wneloch, pan yn ymdrin â phethau 'r ffydd a chrefydd, a phethau yn perthyn i Eglwys Crist, yr hon yw ei briod ef, yr hon a bwrcasodd â phris mor fawr, benderfynu mor bendant ag yr ydych arferol, megys trwy awdurdod, yr hyn a ellwch wneuthur mewn pethau gwladol ac allanol. Cofiwch yn wastadol, mai ym mhethau Duw, ewyllys Duw, ac nid ewyllys unrhyw greadur daearol, a ddylai gymmeryd lle. Llais anghristaidd y Pab yw, felly yr ewyllysiaf, felly y gorchymynaf, a bydded fy ewyllys i yn rheswm am hyny. Yn y pethau a berthynant i Dduw, rhaid i boll dywysogion ostwng eu teyrnwiail o flaen Mab Duw, a gofyn cynger iddo ef, pa beth sydd raid iddynt hwy ei wneuthur. Y mae Dafydd yn cynghori breninoedd a llywiawdwyr i wasanaethu yr Arglwydd mewn ofn. Cofiwch, Madam, nad ydych ond creadur marwol; ac edrychwch yn unig (fel y dywedwyd wrth Theodosius) ar eich gwisgoedd breninol, â'r rhai i'ch dilledir, ond ystyriwch hefyd ynghylch pa beth y gwisgir hwynt. Ai nid cig a gwaed yw? ai nid pridd a lludw yw? ai nid corph llygredig yw, yr hwn sydd raid iddo ddychwelyd i'w ddaear, Duw yn unig a wyr pa mor fuan? Ai nid rhaid i chwi hefyd ryw ddydd ymddangos ger bron brawdle ofnadwy y Crist croeshoeliedig, i dderbyn yn ol yr hyn a wneloch yn y corph, pa un bynag ai da ai drwg? Ac er eich bod chwi yn dywysoges alluog, etto cofiwch, bod yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd yn alluocach. Y mae efe, fel y dywed y Salmydd, "yn tori ymaith ysbryd tywysogion, ac yn ofnadwy i freninoedd y ddaear." Am hyny, yr wyf yn dymuno arnoch, Madam, yn ymysgaroedd Crist, pan yn ymdrin â phethau crefyddol, gosodwch fawrhydi Duw o'ch blaen, ac anghofiwch eich mawrhydi daearol. Penderfynwch ynoch eich hunan ufuddhau iddo ef, a dywedyd wrtho yn ostyngedig, "Nid fy ewyllys i, ond dy ewyllys di a wneler." Bendithiodd Duw chwi yn eich teyrnasiad yn rhyfedd dros lawer o flynyddoedd â llawer o ddedwyddwch. Cymmerwch ofal rhag cyfrif hyny i'ch haeddiant a'ch callineb eich hun, ond rhoddwch y gogoniant i Dduw. Ac fel offerynau a moddion, cyfrifwch yn gyntaf ddaioni yr achos yr oeddych yn ei gynnal; yn ail, ocheneidiau a griddfanau y duwiol yn eu gweddiau taerion at Dduw drosoch, y rhai hyd yma, fel y gellid dywedyd, a rwymasant ac a gylymasant ddwylaw Duw, fel nad allai dywallt ei bläau arnoch chwi ac ar eich pobl yn cyfiawn haeddu hyny. Cymmerwch ofal na wneloch unwaith feddwl am ymadael â Duw, rhag i hyny gael ei gyflawni ynoch chwi, a ysgrifenwyd am Uzziah: canys efe a lywodraethodd yn dda am lawer o flynyddoedd, ac a lwyddodd, ond "pan aeth yn gryf, ei galon a ddyrchafwyd i'w ddinystr ei hun; canys efe a droseddodd yn erbyn yr Arglwydd ei Dduw." Chwi a wnaethoch lawer o bethau da, etto, oddieithr i chwi barhau hyd y diwedd, ni ellwch fod yn wynfydedig. Os trowch oddiwrth Dduw, yntau a dry ei wyneb oddi wrthych chwithau. A pha beth mwy sydd i edrych am dano, ond rhyw ddisgwyl ofnadwy am farn Duw, a "thrysori digofaint erbyn dydd y digofaint." Ond ymddiriedaf yn yr Arglwydd, y gwna eich Mawrhydi yn wastad ymostwng dan alluog law Duw, a myned rhagddoch yn wresog i sefydlu gwir grefydd Duw, gan roddi yn wastad ufudd-dod a pharch dyledus i Air Duw, unig reol ffydd a chrefydd. Ac os gwnewch felly, er bod gan Dduw lawer o achosion cyfiawn i fod yn ddig wrthych

**chwi a ninnau am ein hanffyddlondeb, etto nid ammheuaf na wna, er mwyn ei enw ac er ei ogoniant, barhau i estyn ei law drugarog drosom i'n cadw a'n diogelu megys dan gysgod ei adenydd, fel y gwnaeth hyd yn hyn. Erfyniaf ar Dduw ein Tad nefol, am iddo dywallt yn helaeth arnoch ei ragorol Yspryd, ac arwain yn wastad eich calon yn ei ofn sanctaidd ef. Amen.**

Yr Archesgob, y'mhen ychydig amser ar ol y llythyr hwn, a orfodogwyd, a'r frenines a barodd anfon llythyrau at yr Esgobion am iddynt attal a dileu y Cyfarfodydd uchod, a phob Pregethwyr ac Athrawon, y rhai ni allesid yn gyfreithlon — —. Ond nid wyf yn bwriadu ymhelaethu ar hyn, na chynnwysiad y llythyr uchod, nac am y drwg neu 'r da o ddileu y Cyfarfodydd hyn, y tro hwn; am hyny distawaf, gan ddymuno i chwi, Mr. Gwyliedydd, flwyddyn newydd dda, a llawer o honynt, a boed pob un yn well na'r llall.——

Ydwyf yr eiddoch, hyd angeu,

RHYW UN ETTO,
*ac nid Rhyw Un arall.*

---

## ORIAU MARW.—RHIF. I.

### LUTHER.

YM mhrydnawngwaith ei ddyddiau nid oedd gan y gwr hwn, a ellir ei alw yn Dad y Diwygiad, ddim arall i'w wneuthur ond eistedd i lawr mewn tawelwch, a myfyrio ar y gwaith mawr a orphenasai. Efe a dreuliodd y rhan olaf o'i fywyd yn annog tywysogion, teyrnasoedd, a'r prif ysgolion, i gadarnhâu y Diwygiad a gyflawnasid trwy ei ymdrechiadau ef, ac yn gorphen ei ysgrifeniadau er hyfforddi a chynnorthwyo cenhedlaethau ar ei ol. Yr Ymerawdwr a'i bygythiai â chospedigaeth amserol â byddinoedd; a'r Pab â chospedigaeth dragywyddol â gwarantau a melldithion *(Bulls and Anathemas)*; ond Luther a ddirmygai y naill a'r llall. Ei gyfaill a'i gynnorthwywr Melancthon oedd fwy ofnus ac anhyderus, a mynych y dyddanai ac yr annogai Luther ef trwy ymadrodd ac ysgrifen. Mewn un o'i lythyrau atto y mae Luther yn dywedyd, "Yr wyf fi yn llawer gwanach na chwi mewn ymdrechiadau dirgel, os gallaf alw yr ymdrechiadau hyny yn ddirgel, y rhai sy rhyngof a'r diafol; ond yr ydych chwi yn llawer gwanach na mi yn gyhoedd. Yr ydych chwi yn llawn anhyder yn yr achos cyffredin. Myfi, yn y gwrthwyneb, ydwyf wresog iawn; oblegid fy mod yn hyderus mai achos cyfiawn yw achos Duw a Christ, yr hwn ni ddylai wneud i chwi gywilyddio nac ofni. Ond mewn perthynas i'm hymdrechiadau dirgel, yr wyf yn anhyderus; oblegid fy mod yn bechadur truan, ac am hyny genyf achos da i gywilyddio a chrynu. O herwydd paham, yr wyf yn gallu bod yn ddiofal a di gyffro er holl fygythiadau terfysglyd, a dadwrdd y Pabyddion; canys os syrthio a wnawn, teyrnas Crist a syrth gyda ni; ac os syrth hono, dewiswn syrthio gyda Christ, yn hytrach na sefyll gyda Cæsar."

Galwyd cymmanfa yn Smalkland, i'r hon y gwahoddwyd Luther a Melancthon. Yma fe ddaliwyd Luther gan afiechyd mor enbydus nad oedd ganddynt un gobaith o'i wellhâd. Yn y cyflwr hwn efe a fynodd deithio er pob peth a allai ei gyfeillion ddywedyd i'r gwrthwyneb, a hyny yn wir a drodd allan er lles iddo; canys y noson wedi ei ymadawiad efe a wellhâodd. Efe a wnaeth ei lythyr cymmun tra y dygwyd ef ar y ffordd; yn yr hwn y gadawodd efe ei gasineb tu ag at Babyddiaeth i'w gyfeillion a'i frodyr, yn gytunol â'r hyn a ddywedasai efe mor aml, "Pla Pabyddiaeth oeddwn yn fy mywyd, a'i ddinystr a fyddaf yn fy marwolaeth." Ar ol byw i ysgrifenu

llawer o lythyrau a chyfarchiadau cysurol, fe'i galwyd i wlad ei enedigaeth ar ryw orchwyl angenrheidiol; ac wrth groesi afon mewn tymmestl efe a ddywedodd wrth un oedd yn agos atto, "Onid ydych yn meddwl y llawenychai y diafol yn ddirfawr pe byddai i mi, a chwi, a'm tri mab foddi?" Ar ei ddyfodiad i'w wlad enedigol fe'i derbyniwyd gan gant o wyr meirch, a thalwyd iddo bob parch ac anrhydedd; ond afiechyd a'i daliodd o'r hwn ni wellhaodd byth mwyach. Ychydig cyn ei farwolaeth efe a ddeisyfodd ar y rhai oeddynt o'i amgylch weddio am daeniad yr efengyl; "oblegid Cymmanfa Trent, yr hon a eisteddasai unwaith neu ddwy, a'r Pab a ddychymmygent bethau rhyfedd yn ei herbyn." Bu fyw i weled ei ymdrechiadau ei hun yn llwyddo yn ddigyffelyb er dyddiau yr apostolion, i weled rhan fawr o Ewrop yn derbyn ei athrawiaethau, ac i siglo yr orsedd Babaidd hyd ei sylfaen, o flaen yr hon y buasai cymmaint o freniaoedd coedyrn yn crynu.

---

SYLWADAU AR Y PRIODASAU PATRIARCHAIDD.

Yn y priodasau Patriarchaidd, ar ol dyddiau Isaac o leiaf, fe ymddengys mai dymunol oedd bob amser i'r briod-ferch fyw ym mhell oddiwrth y priod-fab, ond iddi fod yn berthynas lled agos, ac o bossibl, yn gyfnither iddo. Tebygol mai gofynedig oedd y peth cyntaf oddiwrth iawn ymsyniad ar y perygl oedd i'r bobl ieuaingc wneuthur llosgach â'u gilydd, pod fuasent yn byw ynghyd yn aheulu yr un Patriarch. Angenrheidiol oedd yr ail rhag ofn anghytundeb rhwng y gwr a'r wraig ynghylch yr ordinhâd o enwaediad, yr hon, fe allai, y buasai i'r wraig sefyll yn ei herbyn (pan oedd ei maban ond wyth niwrnod oed) oddieithr iddi fod mewn rhyw fesur o hiliogaeth Abraham, yr hwn a ddygasai yr arferiad yma i mewn. Yn ganlynol, ni a welwn ddarfod i Zipporah, yr hon oedd Midianees, ac er hyny yn wraig i Moses, oedi y weithred hon cyhyd nes y bygythid ef â marwolaeth gan angel. Ar y bygythiad yma, yn wir, cydsyniodd y fam â'r ordinhâd; ond, ar yr un pryd, edliwiodd i Moses ddwywaith ei fod yn briod gwaedlyd iddi o'i herwydd. Datganodd meibion Jacob hefyd, am yr un achos, na phriodent ferched gwyr Sichem, hyd oni ufuddhasai holl wrrywiaid y dref hono i'r enwaediad.

Fe ganiateid i'r gwŷr briodi dwy o wragedd, er mai chwiorydd oeddynt; ond gan fod yn ddichonadwy mai ammhlantadwy a fyddai y ddwy, ni a welwn, fel yn achos Rahel a Leah, ddarfod iddynt dderbyn gan eu tad ddwy law-forwyn, y rhai a arferwyd ganddynt yn hollol megys eu priod eiddo eu hunain. Rhoddwyd y llaw-forwynion hyn gan y gwragedd ammhlantadwy i'w gwŷr mewn priodas; ac ystyriwyd y plant a anesid o honynt mewn rhyw fodd yn eiddynt eu hunain. I'r dyben i'w gwneuthur felly yn fwy cyflawn, esgorai y llawforwynion ar liniau eu harglwyddesau. "A phan welodd Rahel na phlantasai hithau i Jacob, hi a ddywedodd, Wele fy llaw-forwyn Bilhah, dos i mewn ati hi; a hi a blanta ar fy ngliniau i, fel y caffer plant i minnau hefyd o honi hi." *Gen.* 30. Fe ymddengys i mi y gellir yn deg dynu y casgliadau hyn oddiwrth y geiriau uchod: ac mi a ddarllenais fod arfer, rai oesoedd yn ol, mewn llawer o ardaloedd yn Lloegr, i'r wyres esgor, nid yn unig ar liniau ei nain, ond ei thaid hefyd. Rhydd y gwr ei wraig ar ei liniau i'r un dyben ym mhlith y werin yn Prwssia a Lapland.

Er yr ystyrid plant y llaw-for-

wyn megys wedi eu geni mewn priodas gyfreithlon, er hyny, tebygol yw, iddi hi a'i hiliogaeth barhau yn hollol dan allu yr arglwyddes; canys gorchymyna Sarai y cai Hagar a'i phlentyn eu gyru i ffordd i'r anialwch, yr hyn nid allai Abraham, er yn ewyllysio, ei wrthsefyll. Gelwir y cyfryw forwyn weithiau yn yr Ysgrythyr yn *wasanaethferch*. Etto, pan y boddlonwyd gwraig y tŷ âg ymddygiad ei llaw-forwyn, fe'i triniwyd hi a'i phlant agos yn yr un modd a'r wraig a'i phlant hithau. Fel y cadwai Joseph, mab Rahel, ddefaid gyda meibion Bilhah a Zilpah, y rhai oeddynt law-forwynion i Rahel a Leah; a'r unig reswm a roddir am fod Jacob yn hoffi Joseph yn fwy na'i feibion ereill yw, am mai *mab ei henaint* oedd.

Y brodyr hefyd a ddigiasant wrth Joseph o herwydd ei freuddwyd, am iddo feddwl fod hyny yn arwyddocau ei feistrolaeth ddyfodol ef arnynt. Fel hyn hefyd yr aeth Jacob, gyd â'i ddwy wraig, a'u llaw-forwynion, a'i un mab ar ddeg wrthynt eu hunain, pan yn myned i gyfarfod Esau, rhag ofn na'a derbynid ef yn roesawus; ond yr oedd y rhanau ereill o'i deulu, bywydau pa rai nid oeddynt mor werthfawr yn ei olwg, yn myned o'i flaen. Ymddengys, yn wir, bod rhyw radd o wahaniaeth rhwng y ddau fath o briodas a enwid, cyn belled ag y perthyn i'r mamau, er nid i'r plant; canys yr oedd cyfraith gyffredin yn y gwledydd cyd-derfynol â'r tir addawedig, y cai godineb gyda gwraig y briodas fwy arbenig ei gospi â marwolaeth. Ond os nad oedd y wraig dan y fath gyfundeb, fe roddai y tywysogion dwyreiniol hi yn aml yn nhŷ eu gordderch-wragedd. Yn hyn y golygaf siamplau Sarai pan yn yr Aipht, a Rebecca yn Gerar; ond ni rydd Llyfr Genesis un engraifft i brofi mai yr un troseddiad ysgeler y cyfrifwyd y pryd hyny gwneuthur godineb â llaw-forwyn y wraig, er y rhoddasid hi mewn priodas i'r gwr. Ar y llaw arall, gorweddai Reuben gyda Bilhah, llaw-forwyn Rahel, ar ol iddi gael ei rhoddi mewn priodas i Jacob (*Gen.* 35. 21.) ac ni ymddengys bod dim cospedigaeth na cherydd cyhoedd yn canlyn y weithred yn ddiattreg, er y "clybu Israel;" ond y mae'r Septuagint yn rhoddi iddi y carydd hwn, και πονηρον εφανη εναντιον αυτου: hyny yw, "a throseddiad ysgeler oedd hwn yn ei olwg ef." Parodd ymddygiad Reuben yn y mater hwn ofid mawr yn ddiamen i'w dad; canys ni a welwn ddarfod iddo ei gofio hyd ddydd ei farwolaeth. Yn ei anerchiad i'w feibion ar ei wely angeu, efe a ddywedodd wrth y godinebwr hwnw, "Reuben, fy nghyntaf-anedig, tydi oedd fy nghrym, a dechreuad fy nerth, rhagoriaeth braint, a rhagoriaeth cryfder. Ansafadwy oeddit fel dwfr: ni ragori di; canys dringaist wely dy dad: yna yr halogaist ef: fy ngwely a ddringodd." *Gen.* 49. 3, 4. I'r dyben i ochelyd y troseddiad hwn o odineb gyda gwraig y briodas fwy arbenig, nid yn unig y gwnaethpwyd troseddiad, o bossibl, ie, yn fwy ysgeler; canys pod ymdeithiai y Patriarch, a'i wraig, yn ngwladwriaethau rhyw dywysog dieithr, ymddengys mai nid arfer anghyffredin oedd ei lofruddio ef, gan fod y wraig wedi hyny yn weddw, ac nid yn wraig; trwy ba ddichell aruthrol, boddlonwyd, i bob tebygolrwydd, lythyren y gyfraith.

Gwaharddasid llofruddiaeth, yn wir, er amser Noah; ond ni chyrhaeddodd y gyfraith hon, mae'n debygol, i wledydd na phreswylid gan ei hiliogaeth agosaf a mwyaf digyfrwng. Canys pan lled ofnai Abraham gael ei lofruddio yn nheyrnas Abimelech, o achos Sarai ei wraig, y rheswm a roddodd efe

am ei ofnau oedd, am *nad oedd ofn Duw yn y lle hwnw;* wrth yr hyn y mae i'w ddeall, na chlywsai trigolion y wlad hòno am y gyfraith ddwyfol a roddasid i Moses a Noah yn erbyn llofruddiaeth; neu, o leiaf, na chadwyd mo honi yn ngwlad Abimelech, yn yr hon yr ymdeithiai Abraham yr amser hwnw. Ar yr un pryd, eglur yw, y cawsai godineb gyda Sarai (tra y parhaodd hi yn wraig i Abraham) ei gospi â marwolaeth: ac oddiwrth siampl arall cyffelyb, ni a welwn mai arferedig oedd yr un gyfraith yn nhir yr Aipht. Oddi yma hefyd y rhoddai Abimelech, pan wnaethpwyd ef yn hysbys mai gwr ac nid brawd i Rebecca oedd Isaac, gyhoeddiad ar osteg i'r holl bobl, gan ddywedyd, "Yr hwn a gyffyrddo â'r gwr hwn, neu a'i wraig, a leddir yn farw."

Gan na pherchid gwraig ond yn ol y rhifedi o blant a chwanegasai hi, a'i llaw-forwynion, at y teulu Patriarchaidd, y cam neu yr anghyfiawnder mwyaf a allai hi ei dderbyn, oedd cael ei rhwystro rhag mwynhâu y cyfleusdra cyntaf a boreuaf o ddwyn plant mewn priodas gyfreithlon. Yn unol â hyn, gan fod y ferch yn hollol ym meddiant ei thad, dywedodd Laban wrth Jacob, nad rhaid iddo ef ddim achwyn am gael ei dwyllo â Leah yn lle Rahel, am mai Leah oedd y chwaer hynaf; ac na ddylai hi ddim colli blwyddyn o'i hoedran planta, yr hyn a allai hi ei wneuthur o flaen ei chwaer ieuengaf.

Pan unwaith y symudasid gwraig o deulu y naill Batriarch at un arall, nid oedd modd i'w gyru yn ei hol, heb lawer o drafferth ac anghyfleusdra: heblaw hyn, prynwyd hi mewn gwirionedd, fel y dywedpwyd o'r blaen, i'r dyben i ddwyn plant; ac, yn ganlynol, ar farwolaeth ei gwr cyntaf, a thra y parhaodd hi mewn oedran planta, nid oedd dim amser i'w golli cyn ei chynnysgaeddu âg un arall, allan o'r un teulu ag a'i prynasai hi ar y cyntaf; a chafodd y brawd nesaf i'r gwr cyntaf mewn oed ei osod allan i gymmeryd ei le gyd â'r wraig weddw. *Deut.* 25. 5,—10. *Mat.* 22. 23,—27. Ymddengys hyn yn eglur iawn yn yr hanes a roddir (*Gen.* 38.) mewn perthynas i Tamar, yr hon a briodwyd yn gyntaf i Er, yr hynaf o dri brawd, y rhai oeddynt feibion Judah. Ar ol marwolaeth Er, priodwyd hi i Onan yr ail frawd, ac yn olaf dyweddïwyd hi i Selah y trydydd, pan y byddai ef wedi prifio i fynu i'w lawn gorpholaeth, *adn.* 11. Pan y dygwyddodd hyn, a hithau etto heb ei rhoddi iddo yn weithredol, tybiodd Tamar mai anghyfiawnder o'r fath waethaf a wnaethesid iddi: "Oblegid gweled yr oedd hi fyned Selah yn fawr, ac na roddasid hi yn wraig iddo ef." *adn.* 14. Wrth oedi cyflawniad eu priodas fel hyn, collodd Tamar y cyfleusdra cyntaf o ddwyn plant; ac er mwyn ymddial ar Judah, ei thad yn nghyfraith, hi a wnaeth losgach âg ef yn ddiarwybod iddo. *adn.* 15,—18. Ym mhen tri mis ar ol hyny, pan ddatguddiwyd pechod Tamar, trwy feichiogi o honi, cyfaddefodd Judah mai euog oedd efe ei hun o bechod trymach, trwy oedi cyflawniad y briodas rhwng Tamar a Selah, nag y buasai hithau trwy ei godineb, am yr hyn y gorchymynasai efe o'r blaen ei llosgi hi i farwolaeth. "A Judah a ddywedodd, Cyfiawnach yw hi na myfi; o herwydd na roddais hi i'm mab Selah." *adn.* 24, 26. Achosodd siomedigaeth o'r un fath farwolaeth ei hail wr Onan, yr hwn, y mae 'n debygol, a nacâodd gael plant o honi, gan dybied, fe allai, bod Tamar eisoes yn feichiog o Er, ei frawd hynaf.

Y mae engraifft arall o gyffredinolrwydd y tybiad, mai dyledswydd anhebgorol y gwragedd oedd

dwyn plant, yn ymddygiad merched Lot (*Gen.* 19. 31.) y rhai a wnaethant losgach â'u tad, oddiwrth yr annogiad a enwais; ac ni fwriwyd arnynt ddim bai na gwaradwydd, pan y gwnaethpwyd eu dichell yn amlwg. Fe ddywed gwr dysgedig a hyddysg yn yr ieithoedd dwyreiniol, fod enw y naill fab, hyny yw, Moab, yn arwyddocâu, "gan fy nhad;" ac mai ystyr y llall, sef Ammon, neu Ben-ammi, yw, "mab fy nghâr agosaf;" oddiwrth yr hyn enwau, eglur yw, mai eu dyben oedd, ynnill rhyw anrhydedd, ac nid dwyn gwarth a gwaradwydd arnynt eu hunain a'u plant. Heblaw hyn, fe ymgynghorodd y ddwy ferch yn ystyriol i ddwyn eu bwriad i ben, gan roddi megys rheswm am eu hymddygiad, "fod eu tad wedi heneiddio; ac nad oedd gwr yn y wlad i ddyfod atynt hwy, wrth ddefod yr holl ddaear." Ammhossibl, gan hyny, yw i ni feddwl mai anlladrwydd, neu anallu i reoli eu chwantau, oedd yr achos o'r weithred ddrwg a wnaethant.

Nid allaf ddibenu y sylwadau hyn ar y Priodasau Patriarchaidd heb grybwyll, mai, er yr ymddengys rhai o'u harferion yn y rhan hon mor anghynnefin, ac fe allai yn feius, yn ol eu trefniadau eu hunain; etto, rhaid i mi gofio, na chyhoeddwyd unrhyw gyfraith bendant o ddatguddiad dwyfol, hyd oni roddwyd y deng air deddf i blant yr Israel oddiar fynydd Sinai, oddieithr gwaharddiad llofruddiaeth yn amser Noah, a chyfammod yr enwaediad yn amser Abraham. Addasodd y Patrieirch, gan hyny, eu cyfreithiau i'w cyflyrau a'u sefyllfaoedd priodol eu hunain. BANWY.

---

## ALLAN O HEN YSGRIF-LYFR.

FE ddywed y celfyddgar Dr. Barrow, ewythr ac athraw y dysgedicaf Syr Isaac Newton, na byddai ar y sawl a garai lyfr fyth eisieu cyfaill ffyddlon, cynghorwr iachusol, na chydymaith llawen. Wrth fyfyrio, wrth ddarllen, ac wrth ystyried, y geill dyn ei ddyddanu ei hun yn ddiniweid, a'i ddifyru ei hun yn bleserus, ym mhob ffawd ac anffawd, yn gystal ag ym mhob ardymher. Ac o hyny dywed y Bardd—

O bydd llon hinon ddydd ha',—neu wybren
 Yn o brudd y gaua',
Y cyfaill goreu, cofia,
A lleufer dyn, yw llyfr da.

Y PARCHEDIG E. EVANS,
*neu'r* PRYDYDD HIR.

---

## DARLITH AR AWYROLAETH,

*A draddodwyd yn Nghymdeithas Cymreigyddion Caerludd, Nos Iau, Hydref 11eg, 1838.—Gan Mr.* GRIFFITH DAVIES.

MR. LLYWYDD—Erfyniaf goffa i chwi mai blwyddyn i heno y cefais yr anrhydedd o draddodi Darlith ar Fordwyaeth yn y Gymdeithas hon, a hanner blwyddyn i heno y dywedais ychydig drachefn yn eich clywedigaeth ar Ddaearyddiaeth: ac am fy mod yn y Darlithiau hyny wedi ymdrechu denu eich sylw at rai o brif nodweddau Môr a Thir, meddyliais, wrth ystyried pa destun a ddewiswn i ddywedyd ychydig arno heno, fod cysondeb yn gofyn i mi ddwyn eich sylw ar yr ELFEN AWYRAIDD; ei hansoddau, ei heffeithiau, a'i defnyddioldeb.

Wrth y gair AWYR yr wyf yn meddwl yr Elfen yn yr hon yr ydym yn anadlu, a'i hystyried mewn tawelwch neu lonyddwch, canys os mewn rhediad yr ystyrir, yna gelwir hi yn Awel, Gwynt, &c. Mae yn amlwg gan hyny nad yw yr Awyr fel y cyfryw yn wrthddrych yr un o'n synwyrau corphorol, oblegid nis gallwn ei weled, ei arogli, na'i archwaethu; ac, fel Awyr, mewn llonyddwch, ni allwn ei glywed na'i deimlo chwaith. O ganlyniad, gwelwn fod cysodiad iaith yn gorphwys ar y dybiaeth nad oes awyr yn bod, neu o leiaf nad yw yn elfen sylweddol; canys dywedwn am lestr ei fod yn wag, a soniwn am wagle, &c. megis pe na byddai un math o sylwedd ynddynt; onid yw, gan hyny, yn bryd i ni ymofyn, pa sail sydd genym i gredu fod y fath Elfen yn ein hamgylchu? ac os oes, i chwilio pa fath ydyw, ac olrhain ei hansoddau, ei heffeithiau, a'i defnyddioldeb.

Er profi bodoliaeth sylweddol yr Elfen Awyraidd, cymmerwn ddau Wydryn o wahanol faintioli, a thywalltwn ynghylch hanner llonaid y mwyaf o ddwfr, a rhodd-



wn ddarn o ysgawn, A, megys twythrisg (*cork*) neu bapyr gwyn ar ei wyneb; ac yna gosodwn y gwydryn bychan, â'i enau yn isaf, yn y dwfr, fel y byddo ei ymylau yn amgylchu yr ysgawn, ac yn cyd-gyffwrdd â'r dwfr o bob ochr. Os gostyngwn y gwydryn bychan yn arafaidd, gwelwn yr ysgawn yn gostwng ar yr un pryd, ac yn ymddangos fel pe byddai yn suddo. Ond os craffwn yn fanylach, gwelwn, wrth gyfodiad y dwfr yn y gwydryn mwyaf, nad yw y dwfr yn cyfodi ond ychydig yn y llall, a bod yr ysgawn A, yn parhau ar wyneb y dwfr dan y gwydryn lleiaf, ac o ganlyniad fod rhywbeth yn y gwydryn hwnw yn rhwystro i'r dwfr, yn ol ei elfen, gyfodi ynddo i'r un uchder ag y cyfoda yn y gwydryn mwyaf: ond pe torid twll yn ngwaelod y gwydryn lleiaf, fel y gallai yr Awyr sydd ynddo ddiangc, yna cyfodai y dwfr o'i fewn i'r un uchder a'r dwfr yn y gwydryn mwyaf. Gwelwn trwy y prawf hwn fod yr Awyr yn sylwedd corphorol, am ei fod yn rhwystro sylwedd arall i ddyfod i'r un lle nes yr elo ymaith; gwelwn hefyd, mewn bychanrith, y modd y gall dyn fyned o fewn llestr â'i wyneb yn isaf i eigion y môr heb wlychu ei ddillad.

Gellir profi ym mhellach, fod Awyr yn sylwedd corphorol, trwy ddangos yr attaliad a achosa i symud llenau trwyddo, a'r modd y mae hefyd yn attal cyrph i darawo eu gilydd, megys y gwelwch trwy yr offeryn sydd yn fy llaw, a enwir *Morthwyl Dwfr*, yn yr hwn y syrth dwfr ar waelod piben wydr gyda thwrf cyffelyb i dwrf morthwyl ar einion, o herwydd nad oes Awyr rhwng y dwfr a'r gwaelod i raddoli y tarawiad.

Wedi profi bod yr Awyr yn sylwedd corphorol, sylwaf y gellir dosparthu y gwahanol wrthddrychau ynt yn ein hamgylchu yn ddau fath; y naill yn fferedig, a'r llall yn rhedegol: a bod pob corph o'r fath gyntaf a'i ronynau yn cydlynu, fel na ellir yn hawdd eu gwahanu, ac na all un corph arall gael ei ddwyn i'r lle y mae, heb i'r cyfan gael ei symud ymaith; a bod cyrph neu elfenau o'r ail fath, a'u gronynau heb ond ychydig gydlyniad rhyngddynt, yn rhedeg heibio eu gilydd gyd â'r fath rwyddineb, fel y mae y cyffyrddiad lleiaf yn peri iddynt gilio, a rhoddi lle i unrhyw gorph arall fyned trwyddynt. Prin y meddyliwn fod yn angenrheidiol i mi ddywedyd fod Awyr yn elfen o'r fath olaf, canys gwyddom oll trwy brofiad fod ei ronynau yn rhedeg o'r naill du, gyd â'r fath rwyddineb, fel nas gellir braidd ei deimlo wrth redeg trwyddo.

Pa un a oes gwahaniaeth rhwng sylwedd cyrph o'r naill fath, a sylwedd elfenau o'r fath arall, nis gwyddom, oblegid adnabyddus i ni oll fod modd toddi y cyrph caletaf megys haiarn, pres, arian, ac aur; ac mae hefyd fodd i fferu pob un o'r elfenau rhedegol adnabyddus i ni, oddieithr yr elfen Awyraidd, yr hon nis gallwyd hyd yma ddyfeisio modd i'w rhewi. Ond heb fanylu ar hyn, cymmeraf yn ganiatâol fod gwahaniaeth rhwng y ddau fath o gyrph yn eu cyflwr cyffredin, ac y gellir nodi yr Elfenau rhedegol yn ein hiaith ni, trwy y gair *Awon* (*Fluids*). Os cymmerwn, gan hyny, fel ansawdd nodweddol yr Elfenau a gynnwysir dan y gair *Awon*, rwyddineb eu gronynau i lithro heibio eu gilydd, gwelwn fod yr effeithiau canlynol yn briodol iddynt oll:—

Yn gyntaf, Nis gall un o honynt orphwys oddieithr fod ei gwyneb yn llyrwelawl, hyny yw, yn gyfochrog â gwyneb y ddaear.

Yn ail, Os gosodir unrhyw gorph yn un o'r Elfenau rhedegol, bydd pwys y cyfryw elfen yn effeithio ar bob modfedd ysgwar, *o bob tu* iddo, fel gwasgiad cyfartal â phwys colofn o'r un elfen o fodfedd ysgwar, ac o'r un hyd ag ydyw dyfnder y man y saif.

Er amlygu gwirionedd yr honiad hwn, cyfeiriaf eich sylw at Gistaid o ddwfr;




canys yr hyn sydd wir am ddwfr, fel effeithiau pwys a rhediad, sydd felly hefyd am awon ereill. Os tybiwn fod y dwfr yn y gist A B C D, yn cael ei wahanu yn gaenenau megys dalenau llyfr, amlwg yw fod pwys y gaenen uchaf yn gorphwys ar yr ail, a phwys yr uchaf a'r nesaf ati yn gorphwys ar y drydedd, ac felly yn chwanegu o gaenen i gaenen o'r gwyneb hyd y gwaelod; ac o ganlyniad fod ar bob mod-

fedd ysgwar o unrhyw gaenen E F, bwys colofn o ddwfr o fodfedd ysgwar, ac o'r un hŷd ag sydd rhwng y gwyneb A D a'r gaenen E F; ac os ystyriwn y gaenen E F, fel gwaelod i'r rhan sydd oddi arni, a'i bod hefyd yn cael ei chynnal rhag suddo gan attaliad y dwfr sydd dani, amlwg yw fod y pwys oddi arnodd, a'r attaliad oddi tanodd, yn gydradd â'u gilydd; ac o ganlyniad fod gwasgiad i *lawr ac i fynu* ar bob modfedd ysgwar o'r gaenen E F, cyfartal â phwys colofn o fodfedd ysgwar, o'r un hŷd ag ydyw trwch y dwfr oddi arni. Ac os ystyriwn natur gwasgiad, ar yr hyn a all gilio o'r neilldu, gallwn weled hefyd fod y gwasgiad ochrog yn gydradd â'r gwasgiad syth. Ond er profi hyn ym mhellach, tybiwn fod mortais lefn o fodfedd ysgwar yn cael ei thori yn yr ochr D C, a'i chanol gyferbyn â'r gaenen E F, a thopyn llyfn, cymmesur â'r fortais, yn cael ei osod ynddi fel y llanwai hi yn ddiddos, ond heb fod yn dŷn; yna profem fod yr un egni yn angenrheidiol i attal y dwfr rhag gwthio y topyn allan, ag a fyddai yn ofynol i gynnal colofn o ddwfr o fodfedd ysgwar, ac o'r un hŷd ag ydyw dyfnder canol y fortais o wyneb y dwfr: ac am fod yn amlwg nad yw y gwthiad hwn na mwy na llai na'r gwasgiad ochrog sydd ar bob modfedd ysgwar o'r gaenen E F, a'i hystyried yn fodfedd o drwch rhwng yr ochr A B a'r ochr D C, a'n bod eisoes wedi profi fod y gwasgiad syth yn gyfartal â phwys y cyffelyb golofn, y canlyniad yw, fod pwys y dwfr mewn unrhyw ddyfnder yn effeithio yn y modd y dywedais yn yr honiad blaenorol.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gwelwn fod *pwys Elfen redegol yn effeithio yn gydradd bob ffordd yn yr un dyfnder, ac yn chwanegu hefyd po ddyfnaf yr elom.**

Yn yr ymresymiad blaenorol, sylwch ein bod yn cymmeryd yn ganiatâol nad oes ond pwys y dwfr yn unig yn effeithio; ond pe dychymygem fod unrhyw bwys ar y gwyneb A D, gallem ystyried y cyfryw bwys fel chwanegiad o ddwfr yn cael ei roddi yn y Gist, wedi codi ei hochrau yn uwch, ac yna gwelem y byddai y gwasgiad ar unrhyw gorph a osodid ar y gaenen E F, er hyny yn parhâu *yn gydradd bob ffordd*, er y byddai y cyfryw wasgiad yn fwy na phe buasai heb un math o bwys yn gorphwys ar y gwyneb A D.

Oddiwrth hyn, os addefwch fod pwys mewn Awyr, gwelwch *fod unrhyw gorph a osodir mewn dwfr, nid yn unig bwys y golofn ddwfr sydd yn gorphwys arno, ond hefyd bwys y golofn o'r Awyrgylch* (Atmosphere) *sydd yn gorphwys ar ei phen uchaf.*

Yn drydydd, Os gosodir unrhyw gorph yn un o'r Elfenau rhedegol, gorphwys yn llonydd os bydd yn gydbwys â llonaid ei le o honi; sudda os bydd yn drymach; ac esgyn os bydd yn ysgafnach na llonaid ei le o'r cyfryw elfen.

Gwyddoch oll trwy brofion beunyddiol fod y pethau hyn yn wir; ond nis gallaf lai na meddwl y bydd olrhain y modd y mae yr effeithiau yma yn tarddu, yn rhwyddhâu y ffordd i chwi amgyffred yr hyn a ganlyn. I'r diben yma cyfeiriaf eich sylw eilwaith at Gistaid o ddwfr A B C D, yn yr




hon tybiwn fod y corph O yn cael ei osod rhwng y ddwy gaenen E F ac G H; yn yr amgylchiad hwn, gwelwch oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, fod ar yr ochr uchaf bwys colofn o ddwfr o'r un ffurfder a'r corph O, ac o'r hŷd D F, a bod ar yr ochr isaf iddo wasgiad cyfartal â phwys cyffelyb golofn o'r hŷd D H; ac o ganlyniad, os bydd y corph O yn gydbwys â llonaid ei le o ddwfr, fod y gwasgiad oddi isod yn gyfartal â phwys y corph O, a'r dwfr sydd arno hefyd, ac nad oes, gan hyny, un egni yn peri iddo suddo nac esgyn. Ond os bydd y corph O yn drymach na llonaid ei le o ddwfr, rhaid fod mwy o bwys ar y gaenen G H, odditan O, nag ar un rhan arall o honi, ac o ganlyniad y cilia y rhan hono i lawr, gan godi y rhanau amgylchol i fynu; ac os bydd y corph O yn ysgafnach na llonaid ei le o ddwfr, rhaid fod pwys y dwfr, a'r corph ynghyd, ar y gaenen G H, odditan O, yn llai na phwys y dwfr ar y rhanau amgylchol, ac o ganlyniad y llithra y rhanau hyny i lawr, gan godi y corph O i fynu i 3, nes byddo rhan o hono o'r dwfr, a phwys y corph O (yn awr 3) a'r golofn sydd dano ynghyd, ar y gaenen G H, neu unrhyw gaenen arall odditan 3, yn gyfartal â'r hyn ydyw pwys y dwfr ar bob rhan arall o'r un gaenen.

Gan hyny, gwelwch fod *cydbwysiad ar bob rhan o'r un gaenen lyweliawl yn anhepgorol er llonyddwch Elfen redegol, pa sylwedd bynag a ffurfia yr hyn sydd yn gorphwys arni.*

Er arwain eich meddyliau at yr Elfen Awyraidd, oddiwrth yr hyn a ddywedais am ddwfr, tybiwn ym mhellach fod llestr bychan ysgwar o wydr teneu, a phiben fain hir yn gyssylltiedig â thwll yn ei gauad, yn

* Sylwed y darllenydd yn fanwl ar yr hyn sydd mewn llythyrenau Italaidd yn y tudalen hwn.

cael ei osod ar wyneb y Gistaid ddwfr a soniasom am dani, a bod dwfr yn cael ei dywallt trwy y biben i'r llestr, o ychydig i ychydig nes ei lenwi, ac y suddai yn raddol i eigion y dwfr yn y gist; yn yr amgylchiad yma, mae yn amlwg, oddiwrth yr hyn a ddywedais, y byddai y dwfr yn y gist, oddi allan i'r llestr, yn gwasgu fwy-fwy ar bob rhan o'i arwynebiad; ond er hyny byddai attaliad y dwfr o'i fewn yn cyferbynu y cyfryw wasgiad fel nad effeithiai mewn un gradd ar ei ochrau gweiniaid, ac ni byddai chwaith ond ychydig attalfa i'w symud i fynu neu i lawr trwy afael yn y biben oddi uchod. *Ond pe gallem dynu ymaith y dwfr o hono, gwasgai y dwfr allanol y llestr yn chwilfriw; a phe gollyngem y dwfr o'r gist oddi amgylch, gan ddal gafael yn y biben i gadw y llestr yn llonydd, gwnai y dwfr o'i fewn ei falurio yn yr un modd.*

Os ystyriwch yr hyn a ddywedais am lestr mewn dwfr, ar yr hwn nis dychymmygech fod na phwys na gwasgiad yn effeithio, heb symud ymaith y dwfr oddifewn, neu oddi allan iddo, gwelwch yr anhawsder i ddirnad pwys a gwasgiad Awyr ar gyrph ynddo yntau, heb symud ymaith ryw gyfran o hono, modd y gallom trwy hyny ddifa eu cyfartalwch; a bod yr anhawsder yma yn llawer mwy mewn Awyr, yn yr hwn yr ydym yn ymsymud ac yn anadlu, nag ydyw mewn dwfr, yr hwn a allwn ei olrhain oddifewn ac oddi allan; ac nad hawdd yw symud ymaith yr Awyr o un lle, am ei fod yn ein hamgylchu bob amser, yn llenwi pob llestr a gyfrifwn yn wag, ac hefyd bob gwegni yn y cyrph o'n hamgylch, ac yn nghysodiad ein cyrph ein hunain yr un modd. I'r diben i symud yr anhawsder hyn, defnyddir Sugn-beiriannau o amrywiol fath, un o'r rhai sydd o'r ffurfiad a amlygir trwy y darlun canlynol:—




Yn hwn y mae M N yn arwyddo ystyllen, a thaflen o bres wastadlefn arni: A, yn dangos Sugnai *(Pump)* wedi ei gydio wrthi, ac iddo Esgid C, i gael ei chodi a'i gostwng gyd â'r Rhoden B, a phiben ddwy-gaingc yn myned o waelod y Sugnai, un gaingc yn arwain i'r ochr uchaf, a Throellen *(Screw)* o fewn ei genau *r*, a'r llall yn rhedeg o'r naill du, a Thwsel *(Top or Cock) s*, i gau neu agor ei genau pryd y mynir. D, yn arwyddo Gwagell* *(Receiver)* âg ymylau gwastad iddi, fel y cyffyrddont o amgylch â'r daflen bres sydd ar y bwrdd M N; ac er rhwystro i'r Awyr redeg rhwng y bwrdd a'r Wagell, rhoddir ychydig o saim tan ei hymylau. Wedi gwneuthur y parotoad hwn, a chau y Twsel *s*, dechreuir sugno ymaith yr Awyr o'r Wagell D, trwy godi y Rhoden B. Yna fel y mae yr Awyr yn cael ei godi gan yr Esgid C, a gwegni yn cael ei wneuthur dani, rheda yr Awyr o'r Wagell D, trwy y biben *r t*, gan godi y tafod neu gafell *(valve) t*: ac wrth wthio y Rhoden B i lawr drachefn, mae y gafell *t* yn cau, a'r gafell *o* yn cael ei hagor gan yr Awyr sydd rhwng *t* ac C. Trwy barhau i godi a gostwng yr Esgid yn y modd yma, sugnir yr Awyr, o'r bron yn llwyr, odditan y Wagell D; a gollyngir ef yn ol iddi trwy agor y Twsel *s*.

Y peth cyntaf a brofwn trwy gymmorth y peiriant hwn yw, fod pwys neu syrthiant mewn Awyr; neu, mewn geiriau ereill, fod Attyniad *(Attraction)* y ddaear yn effeithio ar ei ronynau, yr un modd ag y gwna ar bob sylwedd arall. I'r diben yma, wele Gostrelan gron fel pelen, a phiben bres wedi ei chydio wrthi, a throellen ar ei genau, a thwsel yn ei gwddf. Yn awr pwyswn y gostrelan âg awyr ynddi, neu, yn ol ein dull cyffredin o siarad, a hi yn wag. Yna troellwn enau y biben wrth enau piben y peiriant, a sugnwn yr awyr o'r gostrelan; ac wedi gwneuthur hyn, cauwn y twsel sydd yn ngwddf y biben, fel na redo yr awyr i'r gostrelan yn ol, a datdroellwn hi oddiwrth y Sugnai, gan ei phwyso drachefn, a gwelwch nad yw gan drymed ag oedd o'r blaen, o ddiffyg pwys yr awyr a sugnwyd o honi: ond wedi gollwng yr awyr iddi yn ol, gwelwch fod ei phwys yr un ag oedd ar y cyntaf.

Pe byddai amser yn caniatâu, a chenym beiriannau diwall, gallem, drwy fesur ganiad y gostrelan, a nodi pwys ei llonaid o awyr, gasglu fod troedfedd gub *(cubical foot)* o awyr ynghylch chwe phummed rhan o *owns*; ac am y gwyddom fod yr un mesur o ddwfr yn fil o *ownsau*, casglwn fod unrhyw fesur o ddwfr dros wyth gant trymach na'r un mesur o Awyr; a bod mesur o'r aw a elwir Arian-byw, yr hwn sydd agos bedair-ar-ddeg trymach na'r un mesur o ddwfr, ynghylch un-mil-ar-ddeg trymach na'r un mesur o awyr.

Oddiwrth y prawf hwn, gwelwn hefyd fod yr un achos yn peri i Awyrenau *(Balloons)* a chymylau nofio yn yr awyr ag sydd

* Llestr o wydr, tebyg i gwch gwenyn. Mae rhai o'r llestri yma yn hirion, ac ereill yn benagored, a chaeadau arnynt.

yn peri i gyrph ysgafnach na llonaid eu lle o ddwfr nofio yn yr elfen hòno; ac yn peri i gerig, pres, haiarn, plwm, &c. nofio mewn arian-byw.

Yn ail, Wedi profi fod Pwysau mewn awyr, gellwch gasglu, oddiwrth yr hyn a ddywedais am awon yn gyffredinol, fod ar bob rhan o wyneb y ddaear bwys colofn o'r awyrgylch, yn cyrhaedd o'r ddaear i'r pen uchaf iddo, pa fesur bynag yw ei drwch. Er dangos hyn, gosodwn Wagell ar fwrdd y Peiriant, a sugnwn yr awyr o honi, a chwi a welwch ei bod yn cael ei chydio yn ddiysgog wrth y bwrdd gan bwys y golofn o'r awyrgylch sydd yn gorphwys arni, ac heb awyr o'i mewn i'w gyferbyniu. Ond trwy ollwng yr awyr i'r Wagell yn ol, gwelwch y gellir ei symud gyd â'r egniad lleiaf.

Yn drydydd, Er dangos etto yn amlycach, mai pwys yr awyr oddi uchod, ac nid rhyw effaith ddirgelaidd a briodolir i sugniad, sydd yn dal y Wagell wrth fwrdd y Sugnai, gosodwn Wagell fechan o fewn y llall, gan ei chrogi â bach wrth flaen gwialen lefn wedi ei gosod yn dèn mewn torch o ledr trwy gauad y Wagell fwyaf; a sugnwn yr awyr ymaith megys o'r blaen: yna gwelwch fod y Wagell allanol yn cael ei chydio wrth y bwrdd, a'r Wagell fechan yn hongian wrth y bach ar flaen y wialen. Yn nesaf, pwyswn ar ben y wialen, modd y gostyngom y Wagell fechan i lawr nes y byddo ei hymylau yn gorphwys ar y bwrdd dan y Wagell arall, ac o'r naill du i biben y Sugnai: ac yna gollyngwn yr awyr yn ol i'r Wagell allanol, a chwi a welwch fod hòno yn cael ei rhyddhau megys o'r blaen, a bod yr awyr a ollyngasom iddi, heb gael lle i redeg dan ymylau y Wagell fechan, yn ei gwasgu hithau wrth y bwrdd. O ganlyniad, amlwg yw, nad yr hyn a feddylir wrth y gair *sugniad* sydd yn ei dal wrth y bwrdd, ond yn hytrach pwys yr awyr oddi arnodd heb awyr oddimewn i ateb iddo.

Yn bedwerydd, Cymmeraf lestraid o'r aw a elwir Arian-byw, a phiben wydr ynghylch llathen o hyd, ac un pen iddi yn gauad a'r llall yn agored; llanwaf y biben o'r aw, a rhoddaf fy mys ar ei genau, gan ei throi â'i gwyneb yn isaf, a gosod ei blaen yn yr aw o fewn y llestr: yna, er symud fy mys odditan enau y biben, gwelwch nad yw yr aw sydd ynddi yn gostwng ond ychydig fodfeddau, gan lonyddu, a'i wyneb ynghylch naw neu ddeg modfedd ar hugain yn uwch na gwyneb yr aw o fewn y llestr. Yr achos yw, fod pwys yr awyrgylch yn gorphwys ar wyneb yr aw yn y llestr o amgylch y biben, a bod pen cauad y biben, yr hon a gynnelir gan y llaw sydd yn gafael ynddi, yn rhwystro iddo bwyso ar yr aw sydd o'i mewn.

Er amlygu hyn ym mhellach, wele ddarlun, lle y gwelwch enau y biben yn terfynu yn y gaenen G H, ar yr hon y mae pwys yr aw sydd ynddi yn gorphwys; a phwys y biben ei hun, a'r golofn o awyrgylch sydd ar ei phen, yn cael eu cynnal gan y llaw sydd yn gafael yn y pen E. Yn yr amgylchiad yma, ni's gall fod y llaw, na'r biben, yr hon sydd yn ben agored, yn un math o gynnaliaeth i'r aw sydd ynddi; ac o ganlyniad, rhaid ei fod yn hollol orphwys ar y gaenen G H. Onid yw gan hyny yn amlwg, oddiwrth yr hyn a ddywedais eisoes, na lonyddai yr aw o fewn y llestr heb fod pwys ar bob rhan o'r gaenen G H, cyfartal a'r hyn sydd ar y rhan o dan y biben? Ac os felly, rhaid fod pwys yr awyrgylch yn gydradd â phwys colofn o arian-byw, ynghylch naw neu ddeg modfedd ar hugain o uchder; yr hon, fel y gallwn brofi trwy ei phwyso, sydd ynghylch pymtheg pwys ar bob modfedd ysgwar.

Er profi ym mhellach mai pwys yr Awyr ar yr arian-byw yn y llestr, ac nad rhyw *wrthwynebiad gwegni mewn Anian*, yw yr achos fod yr aw o fewn y biben yn sefyll yn yr uchder y gwelwch, gallwn ddangos os na ostyngai un gradd mewn piben ferach na'r uchder y mae yn sefyll, ac mewn pibenau hŵy a ffurfach na lonyddai nes gostwng i'r un uchder, pa wegni bynag a adawai uwch ei ben.

Pe byddai ein Gwagell yn ddigon defn i osod y llestr a'r biben dani, ac i ni allu sugno ymaith yr awyr yn llwyr, fel na phwysai ar wyneb yr aw o fewn y llestr, gwelem y gostyngai yr aw yn y biben yn wastad â gwyneb yr aw o fewn y llestr.

Pe cadwem y biben yn y llestr am nifer o ddyddiau, gwelem y byddai yr arian-byw yn codi ac yn gostwng rai modfeddau, ac o ganlyniad, penderfynem fod pwys yr Awyr yn gyfnewidiol. Pan fyddo yr arian-byw yn codi rhaid fod yr Awyr yn trymhâu, ac yn peri i'r cymylau, y rhai ydynt yn nofio ynddo, esgyn; ac, fel canlyniad, sychder yn dilyn. Ond pan fyddo yr arian-byw yn gostwng yn y biben, rhaid fod yr awyr yn ysgafnhau, a'r cymylau yn iselhau, a gwlaw yn dilyn. Oddiwrth hyn, heb fanylu, gwelwch amcan yr offeryn a elwir Hin-nodydd (*Barometer*) er dangos tywydd. Gwelwch hefyd y camgymeriad o ddywedyd fod yr Awyr yn drwm ar dywydd mwygl, pryd y mae mewn gwirionedd yn ysgafnach nag ar amserau ereill.

Yn bummed, Cymmerwn lestraid o ddwfr, wedi ei liwio, fel y gwelwch ef yn amlycach mewn gwydr, a llanwn biben o hono, megys y gwnaethom o'r blaen â'r arian-byw, gan ei throi yr un modd â'i genau yn isaf i'r dwfr sydd yn y llestr. Gwelwch yn awr, nad yw y dwfr o fewn y biben yn gostwng un gradd, am fod pwys yr Awyr ar wyneb y dwfr, yn y llestr o'i hamgylch, yn fwy na phwys y dwfr o'i mewn, ac mewn rhan yn cynnal yr Awyr sydd yn gorphwys ar ben y biben yn gystal a'r dwfr sydd ynddi: ac os ystyriwn fod arian-byw yn agos i bedair-ar-ddeg trymach na dwfr, a bod pwys yr Awyr, fel y profwyd eisoes, yn ddigon i gynnal colofn o arian-byw dros naw modfedd ar hugain o uchder, gwelwn y cynnaliai yr Awyr bibenaid o ddwfr bedair gwaith ar ddeg naw modfedd ar hugain, yr hyn sydd ychydig dros un llath ar ddeg. Os torwn dwll ym mhen uchaf y biben, modd y byddo i bwys yr Awyr oddi uchod orphwys ar y dwfr yn y biben, gwelwch ei fod yn ddioed yn syrthio o honi.

Gwelwn, oddiwrth y prawf hwn, nad yr hyn a feddylir wrth y gair *Sugniad* sydd yn peri i'r dwfr esgyn dan yr Esgid mewn Sugnai; ond yn hytrach pwys yr Awyrgylch ar wyneb y dwfr sydd o'i amgylch. Nid yw yr Esgid yn gwneuthur dim mwy na chodi y dwfr sydd arni, a chynnal yr Awyr oddi uchod rhag pwyso ar yr hyn sydd tani.

Yn chweched, Er dangos etto yr un peth, cymmerwn fath o fwrdd crwn o bres, A B, a phiben, C D yn myned trwy ei ganol, a throellen ar un pen D iddi, a thwsel *s*, rhyngddi a'r bwrdd. Troellwn y biben wrth biben y Sugnai, fel y cynnalir y bwrdd yn sad; a gosodwn Wagell E, ar y bwrdd, gan sugno yr Awyr o honi trwy y biben C D. Yna cauwn y twsel *s*, datodwn y biben oddiwrth y Sugnai, a gosodwn ei phen isaf mewn llestraid o ddwfr, a gwelwch fod y dwfr o'r llestr yn pistillio i fynu trwy y biben i'r Wagell, am fod pwys yr awyr ar wyneb y dwfr o fewn y llestr, ac heb bwys Awyr ar ben y biben, yr hon sydd yn cael ei gorchuddio gan y Wagell sydd am dani.

Er amgyffred etto yn well, yr achos y mae y dwfr yn pistillio i fynu trwy y biben, gan bwys yr Awyr ar wyneb y dwfr o'i hamgylch, tybiwch ein bod yn gosod mewn cistaid o ddwfr lestr hir, a phiben yn myned trwy ei waelod, yna gwelem y dwfr yn pistillio i'r llestr yn yr un modd, gan bwys y dwfr o'i amgylch, yn enwedig os byddai blaen y biben o'r tu fewn i'r llestr yn feinach nag un rhan arall o honi.

Yn seithfed, Er dangos ym mhellach yr un peth, cymmerwn Wagell ben agored, a darn o chwysigen wedi ei chylymu yn gauad iddi, a gosodwn hi ar fwrdd y Peiriant, gan sugno yr Awyr o honi. Yna gwelwch fel y mae yr Awyr yn cael ei sugno o'r Wagell, fod y cauad croen yn pantio yn ei ganol, gan dynhau fwy-fwy, nes ydyw o'r diwedd yn rhwygo gyda thwrf fel ergyd.

Yn wythfed, Cymmerwn gwpan fechan o bren, a thopyn o bren sych caled yn ei gwaelod. Rhoddwn arian-byw ynddi, yr hyn a welwch ei bod yn ei ddal yn ddiddos. Ond gosodwn hi fel cauad ar Wagell agored, ar dorch o ledr gwlyb, fel na redo yr Awyr rhyngddi a genau y Wagell. Yna sugnwn yr Awyr o'r Wagell odditan waelod y gwpan, a chwi a welwch fod yr arian-byw yn rhedeg fel lluwch trwy chwysdyllau (*pores*) y topyn gan bwys yr Awyr ar wyneb yr aw yn y gwpan.

*(I'w gorphen yn y nesaf.)*

---

## Y GRAWYS.

Er mor wahanol yw barnau y dysgedig ynghylch yr amser, ym mha un y cafodd y tymhor hwn o ddeugain niwrnod gyntaf ei neillduo gan Lywodraethwyr ein Heglwys, i'r diben o barotôi ei haelodau, trwy gymmedroldeb ac edifeirwch, gyferbyn âg uchel wyl y Pasg: er fod rhai, ar awdurdod yr hen Esgob Irenæus, cyfaill Polycarp, yr hwn a adwaenai St. Ioan, ac ereill o'r apostolion, yn dywedyd ei fod wedi parhâu er y ganrif gyntaf, tra y mae ereill yn haeru nad yw bossibl i ni gasglu hyn oddiwrth yr hanes a roddir i ni yn ngwaith Eusebius. Y mae yn eglur i bawb nad yw yr ansicrwydd hwn yn gwneuthur unrhyw wahaniaeth yn ein dyledswydd ni; eithr heb wybod dim am yr amser, ym mha un y cafodd ei ordeinio, dylai gwybodaeth o'r dibenion, i ba rai y neillduwyd tymhor mor nodedig, fod yn ddigon i beri ynom yn y dyddiau

hyn ymcgnïad dïysgog i'w gadw mewn modd mwy difrifol a sanctaidd na chyffredin. Canys yn gymmaint a bod adgyfodiad Mab Duw oddiwrth y meirw yn amgylchiad mor ryfeddol, a'i bod etto yn fwy rhyfeddol iddo ymostwng i angeu gwaradwyddus y groes, er mwyn creaduriaid mor annheilwng a nyni—iddo gymmeryd arno y natur ddynol i'r unig ddiben hyn, a thraddodi ei holl ymadroddion, a chyflawni ei wyrthiau i gyd, i arwain ei wrandawyr i ddyfal ystyried achlysur mor hynod, y mae yn ddyledswydd anhepgorol ar bawb i gadw rhyw amser neillduol, bob blwyddyn o leiaf, mewn coffadwriaeth o hyn, gyda llawenydd a diolchgarwch diffuant, am y cymmod a wnaethpwyd rhyngom ni â Duw, a'r "gobaith bywiol, i ba un y cawsom ein had-genhedlu, trwy adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw, i etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig, yn nghadw yn y nefoedd." Eithr os chwennychwn gadw yr wyl hon mewn modd cyfatebol i'w phwys, dylem barotôi ein hunain ym mlaenllaw, gyda difrifoldeb mwy na chyffredin, at orchwyl mor uchel, dylem neillduo rhyw amser pennodol i'w rhagflaenu, i'r diben o gyffesu ein pechodau o flaen Duw, i ofidio o herwydd eu rhif, ac i erfyn yn ostyngedig am faddeuant o honynt, fel y gallem ei threulio gyda syniadau mwy dwys a bywiog ynghylch trugareddau Duw yn Nghrist Iesu; ac fel y gallem amgyffred yn well "gyd â'r holl saint, beth yw lled ac hyd, uchder a dyfnder, cariad anfeidrol ein Prynwr," ac yn ganlynol ymroddi ein hunain yn fwy hollol a defosiynol at addoliad mor angenrheidiol a sanctaidd; canys er fod aberthau dros bechod wedi peidio trwy yr iawn a wnaethpwyd unwaith ar Galfaria, etto yr ydym yn gwybod trwy brofiad galarus nad yw pechodau dynolryw wedi peidio, eithr y maent yn gyffredin, fel y mae gwaethaf y modd, mor aml a lliosog ag yr oeddynt o'r blaen, ac yn llawer mwy eu hatgasrwydd, o gymmaint a'u bod yn awr yn cael eu gwneuthur yn erbyn gwybodaeth mwy eglur, a rhwymedigaethau mwy pwysig.

I'r diben o ymbarotôi fel hyn at wasanaeth y Pasg y cafodd y Grawys ei ordeinio, a hyny yn oesoedd cyntaf y grefydd Gristionogol; canys y mae St. Chrysostom, yr hwn a ysgrifenodd yn y bedwaredd ganrif, yn gofyn, "Paham yr ydym yn ymprydio y deugain niwrnod hyn? o herwydd," medd efe, "fod llawer o'r blaen yn nesâu at y dirgeledigaethau sancteiddiol hyn (o gorph a gwaed Crist) heb barotôad cyfaddas; ac yn enwedig ar yr amser yma, pan yr ydym yn coffâu eu hordeiniad cyntaf. Y Tadau, yn gwybod yn dda y perygl o'r fath esgeulusdra, wedi ymgynnull ynghyd, a ordeiniasant ddeugain niwrnod o ympryd, a gweddi, a gwrando, a chydgynnulliad; fel y byddai i ni oll, yn y dyddiau hyn, wedi ein puro trwy weddi, ac elusenau, ac ympryd, a gwyliadwriaeth, a dagrau, a chyffes o'n pechodau o flaen Duw, nesâu, mor belled ag sydd bossibl, gyda chydwybod dda." Ac er nad ydym yn gwybod yr achos o neillduo deugain niwrnod yn fwy nac unrhyw nifer arall, etto, oddiwrth yr hanes a roddir i ni yn y Bibl, gallwn gasglu yn hawdd, fod y nifer hwn yn cael ei gyfrif, ym mhob oes o'r byd, megys yn neillduol addas i'r diben o ymostyngiad ac edifeirwch o herwydd ein pechodau. Yn ei Esponiad ar Lyfr y prophwyd Jonas, *pen.* 3. *adn.* 4. wedi dangos pa mor anghywir yw cyfieithiad y LXX. o'r adnod, sef, "Tri" yn lle "Deugain niwrnod fydd etto, a Ninifeh a gwympir," dywed St. Jerome fel hyn—"Y mae deugain yn nifer tra addas i edifeirwch, ac ympryd, a

gweddi, a sachliain, a dagrau, a dyfal barhâd mewn ymbil ar i Dduw roddi heibio ei lidiawgrwydd; am hâ achos yr ymprydiodd Moses ddeugain niwrnod ar fynydd Sinai; ac Elias, yn ffoi rhag Jezebel, pan oedd digofaint Duw wedi ennyn yn erbyn Israel, a ymprydiodd ddeugain niwrnod; ein Harglwydd ei hun hefyd, y gwir Jonas, yr hwn a anfonwwyd i bregethu edifeirwch i'r byd, a ymprydiodd ddeugain niwrnod: a chan adael i ni etifeddiaeth ei ympryd, y mae etto yn cymmwyso ein heneidiau i ymborthi ar ei fendigedig gorph trwy yr un rhif."

Ar y dydd cyntaf o'r tymhor sanctaidd hwn, sef ar Ddydd Mercher y Lludw, y mae ein Heglwys wedi trefnu fod i "ymadrodd cyffredin o felldithion Duw yn erbyn pechaduriaid anedifeiriol, y rhai a gasglwyd allan o'r seithfed bennod ar hugain o Deuteronomium, a lleoedd ereill o'r Ysgrythyr Lân," gael ei ddarllen; ac y mae yn galw arnom, gyda dwys fyfyrdodau ar ein mawr bechodau ein hunain, i gyfaddef cyfiawnder yr Hollalluog, trwy ateb "Amen" ar ddiwedd pob adnod. Yn y gwasanaeth hwn y mae yr Eglwys, yn enw a thrwy awdurdod y Duw byw, yn datgan colledigaeth sier a diddiwedd i bob pechadur gwrthnysig ac anedifeiriol; a thrwy yr un awdurdod goruchel y mae yn addaw maddeuant a thrugaredd a bywyd tragywyddol a dedwyddwch i bawb ar a edifarhânt ac a ddychwelant at Dduw gyda llawn fwriad calon; mewn gair, gyda holl ddifrifwch mam garedig y mae yn erfyn ar ei phlant i gofleidio ammodau grasusol yr iechydwriaeth, tra y mae etto le i edifeirwch; a chyda gonestrwydd diragrith gwir gyfaill, y mae yn dangos iddynt fod pawb "yn felldigedig sydd yn cyfeiliorni ac yn myned ar ddidro oddiwrth orchymynion Duw." Nid yw hi un amser yn gwenieithio i'w phlant yn eu hynfydrwydd, ac yn dywedyd, "Heddwch, heddwch, pan nad oes heddwch." Nid yw hi byth yn cadw yn ol un rhan o gyngor Duw oddiwrth y gynnulleidfa fawr, na chwaith yn celu ei addewidion grasol, a'i gynnygion trugarog ef o heddwch a maddeuant i feibion dynion. Eithr ar y dydd hwn yn fwyaf neillduol y mae yn casglu ynghyd holl daranau dychrynllyd y gyfraith, ar un llaw, ac ar y llaw arall, y mae yn dangos i ni holl drugaredd a daioni Duw y'Nghrist, ac yn tywallt allan yn ehelaeth holl drysorau gras, datguddiedig yn yr efengyl, fel y byddai iddi, trwy weithio ar ofnau rhai, a diolchgarwch ereill, addasu ei hun at deimladau pawb, dwyn pechaduriaid i edifeirwch, a chadarnhâu y cyfiawn mewn ffydd a rhinwedd dda. Nid yw hi, fel y dywed rhai, yn erfyn ar i felldith ddisgyn ar hen yr annuwiol; eithr mewn tosturi tu ag at eneidiau dynion, y mae yn cyhoeddi gyd âg awdurdod fod digofaint Duw yn sicr o orddiwes gweithredwyr anwiredd, i'r diben o beri iddynt ystyried eu ffyrdd mewn pryd, a phenderfynu, trwy gynnorthwy yr Yspryd Glân, i ddilyn buchedd well o hyn allan. "Y mae yn arfer y gwasanaeth hwn (hyd onid adnewydder y ddisgyblaeth dduwiol a arferwyd yn y brif Eglwys gynt) er mwyn, gwedi darfod felly eu rhybuddio am fawr ddigllonder Duw yn erbyn pechaduriaid, gallu eu gwahodd yn gynt i ddifrifol a gwir edifeirwch; a bod iddynt rodio yn diesgeulusach y dyddiau eubyd hyn, gan gilio oddiwrth y cyfryw feiau ag y maent yn sicrhau â'u geneuau eu hunain fod melldith Duw yn ddyledus am danynt."

Y mae yn ddigon gwir ei bod yn galw ar y bobl i ddywedyd "Amen" ar ddiwedd pob adnod yn yr ymadrodd, ond nid yn yr un ystyr ag y

maent yn ei arfer ar ddiwedd eu gweddïau, megis deisyfiad, eithr fel y maent yn ei arfer ar ddiwedd y Credo, megis cydsyniad â'r gwirioneddau a draddodwyd. Y maent yn arfer y gair yn yr un ystyr a'n Harglwydd bendigedig ei hun wrth ddywedyd, "*Yn wir*, meddaf i chwi;" canys "Amen" yw y gair gwreiddiol; a St. Paul hefyd, pan y dywed, "Holl addewidion Duw ydynt ïe ac amen;" hyny yw, y maent yn sicr ac anffaeledig. Felly yn y gwasanaeth hwn, pan y mae y gweinidog yn cyhoeddi fod yr anghyfiawn yn felldigedig, y mae y bobl yn ateb, "Amen;" hyny yw, y maent yn cyfaddef fod hyn yn wir; ac nid oes un a all ddywedyd yn amgen: canys allan o'r Ysgrythyrau Sanctaidd y cymmerwyd yr holl fygythion dychrynllyd hyn. A phe byddai i ni beidio a'u cyhoeddi uwch ben pechaduriaid, ni byddai i Dduw beidio a'u cwblhau: "Nef a daear a ânt heibio, ond gair yr Arglwydd sydd yn aros yn dragywydd." Pwy bynag, gan hyny, sydd euog o'r pechodau hyny am ba rai yr ydys yn datgan melldith Duw yn ddyledus, y mae y felldith yn crogi uwch ei ben tra y parhao efe ynddynt; ac os bydd efe farw yn anedifeiriol, caiff weled, er yn rhy ddiweddar, fod y pethau hyn oll yn sicr ac anffaeledig.

Fel hyn y mae yr Eglwys yn peri i ni ddechreu y tymhor prysur hwn. Y mae hefyd yn gofyn fod i rai o'r diwrnodau a ganlyn gael eu rhoddi heibio, mewn modd enwedigol, i'r fath feddyliau a gweithredoedd parotoawl ag a'n gwnelo yn fwy teimladwy o'n camweddau ein hunain, ac o anfeidrol drugaredd Duw y'Nghrist Iesu. Eithr yr wythnos olaf a gyflwynir yn y modd mwyaf neillduol at y gwasanaeth hwn: y dyddiau hyny y mae yn galw ar ei haelodau defosiynol i ymgynnull ynghyd, ac i ymddangos o flaen Duw yn feunyddiol, i fyfyrio ar ddioddefaint eu Harglwydd, a chyda chalonau edifeiriol a llawn fwriad o "farw i bechod" i'w ganlyn ef o hyny allan at y groes; ac yno, ar Ddydd Gwener y Croglith, gelwir arnom, gyd âg addasrwydd neillduol, i gyflawni y dyledswyddau deublyg o goffâu marwolaeth Crist, a galaru o herwydd ein pechodau ein hunain; canys megys nad oes genym obaith am faddeuant ond trwy yr iawn a wnaethpwyd ar y groes, felly coffadwriaeth fywiog o'r angeu hwnw a rydd i ni yr ymsyniad mwyaf dwys o atgasrwydd pechod, ac yn fwyaf neillduol o'n camweddau rhyfygus ac anniolchgar ein hunain yn erbyn cyfammod mor rasusol, yr hwn a seliwyd trwy werthfawrocaf waed y Cyfryngwr.

Ar ol ymroddi ein hunain dros un diwrnod yn rhagor i fyfyrdodau syml o'r fath hyn, y mae y Sadwrn o flaen y Pasg yn dibenu y Grawys; canys (wrth adael y Suliau allan o'r rhif, y rhai ydynt bob amser i'w cyfrif megys gwyliau) hwn yw y deugeinfed dydd: ac fe elwir arnom, ar ol disgwyl fel hyn am yr adgyfodiad gogoneddus oddiwrth y meirw, ar Ddydd y Pasg, i droi ein galar i orfoledd, ein tristwch i lawenydd, a pharhau yn helaethion y'ngwaith yr Arglwydd, "yr hwn sydd yn rhoddi i ni y fuddugoliaeth drwy ein Harglwydd Iesu Grist." Y mae yr Eglwys hefyd yn ein cyfarwyddo i dreulio y tymhor hwn, nid yn y fath galedi llym ag sydd yn cystuddio y corph heb unrhyw fudd i'r enaid, eithr yn y fath ymocheliad oddiwrth bleserau difyrus, a thrafferthion bydol, ag a ddangoso fod ein meddyliau a'n serchiadau wedi eu tynu oddiar bethau daearol, a'u gosod ar bethau nefol; gyd â'r fath ddwys ac iawn ymsyniad o'n pechodau ein hunain, ac o gariad anfeidrol Crist, a chyd âg erfyniadau mor daer am faddeuant

o'r hyn oll a aeth heibio, ac am ras a chynnorthwy dros yr amser i ddyfod, ac a roddo i ni achos parhaus i fendithio Duw am ddeugain nydd y Grawys, y rhai a neillduwyd at ddibenion mor angenrheidiol a sanctaidd.

---

## LLYTHYR ADFILWR IEUANGC.

MR. GWYLIEDYDD,—Gan i'r Goleuni Gogleddol (ymddangosiad yr hwn a fu er's rhai blynyddoedd yn lled anghyffredin yn y parthau yma) lewyrchu o'r nefoedd yn ddygwyddiadol am rai misoedd yn olgyda disgleirdeb anarferol, y mae yn ddiammheuol genyf y derbynir unrhyw hyfforddiad perthynasol i'w natur a'i achosion yn llawen gan eich darllenwyr; ond gadawaf yr eglurhad penodol yma i'ch gohebwyr mwy dysgedig a philosophyddaidd, gan fy nghyfyngu fy hun i ychydig o sylwadau a dychymmygion cyffredin a wnaethpwyd ar yr achos. Tybia llawer fod ymddangosiad y Sêr Cynffonog, yn gystal a'r Goleuni Gogleddol, yn rhagflaenu rhyfeloedd, terfysgoedd, ac aflonyddwch gwladwriaethol; ac e ba beth bynag y tarddant, tra eglur yw bod y drygau rhag-grybwylledig yn cydfyned âg ef ar yr achos presenol. Clywais hefyd gan amrywiol hen wragedd ddarfod i'r unrhyw weledigaethau ragflaenu y rhyfel annedwydd rhwng y wlad hon a'r America, yn yr hwn y collodd Lloegr un o'i thaleithiau goreu a mwyaf blodeuog, sef, y Taleithiau Cyngreiriawl (*the United States*). Clywais bod rhai yn rhoddi rheswm am hyn yn y modd canlynol: Dywedir bod meddyliau dynion yn ddarostyngedig i lywodraethau drwg-anianol yn amser yr ymddangosiadau hyn, a hyny trwy gyfrwng yr awyr. Cyfrifir y goleuni rhag-grybwylledig i fath o wefr-dyniad, yr hwn sy'n gwneuthur yr wybren yn afiachus a gwenwynllyd. Yr awyr wenwynllyd yma, meddant, sydd, (trwy gyfrwng yr ysgyfaint, a'r gwaed yn myned trwy'r ysgyfaint) yn llygru yn raddol yr holl ddyn, corph ac enaid; yn ei wneuthur yn anniodddefgar a grwgnachus tan bob llywodraeth, ac yn llenwi ei fynwes â meddyliau maleisus a dialeddgar. Cyfrifir dychweliad y Sêr Cynffonog hefyd (un o ba rai a welwyd yn y dwyrain am rai wythnosau yn ol) megys yn dwyn ar ddynolryw yr un effeithiau niweidiol a'r Goleuni Gogleddol. Yr wyf fi fy hun yn eithaf anfoddlon i ddwyn yr achwyniad hwn yn erbyn y Sêr Cynffonog diniwoid; ond gan fy mod eisoes yn sôn am bethau o'r fath, mi a gymmeraf genad i ddywedyd bod un "SEREN" ymneillduol, yr hon sydd yn tywallt allan belydrau duawg ac anian-ddrwg ar ran o hiliogaeth "GOMER." Dengys y goleuni sydd yn tarddu allan o'r "Seren" hon yn eglur i bwy y mae hi yn ddeiliad, sef, i "Dywysog llywodraeth yr awyr, yr yspryd sydd yr awrhon yn gweithio ym mhlant yr anufudddod." Un o'r Sêr gwibiog yn ddiammeu ydyw a grybwyllir am danynt yn *Judas* 13, un o briodoleddau pa rai ydyw cynhyrfu y diddrwg a'r anwybodus i "ddiystyru llywodraeth, a chablu y rhai sydd mewn awdurdod." Fe geisiodd un o Sêr penaf y goleuni, trwy ei siampl ei hun, yn gystal a'i ddwys gyngorion, annog ei ddilynwyr y'mha gyflwr bynag y byddent i fod yn foddlon iddo, a thalu ufudd-dod parod i'r awdurdodau sydd: "Megys yn rhyddion (medd efe) ac nid â rhyddid genych megys cochl malais, eithr fel gwasanaethwyr Duw." Ond y mae y "Seren" ragddywededig yn dangos o ba yspryd y mae, trwy guro ym mhenau pobl athrawiaethau llwyr wrthwynebol, a cheisio cynhyrfu ac annyn rhai o'r

anwydau gwaethaf a lechant yn y galon ddynol. Beth os llysenwa rhai o'r Sêr gosgordd eu hunain yn "Cristion," ac "Yr Oen?" Diammeu y geilw "Cristion" Grist yn "Arglwydd, Arglwydd;" ond pa beth a dâl hyny cyhyd ag y dengys ei leferydd ei fod yn estron i'w lywodraeth, ac nad ydynt yn perthyn i'r un deyrnas. Trachefn, y mae dannedd "Yr Oen," a soniwyd am dano, yn rhy hirion o lawer; dyma un o honynt—"Y mae pob un ag sydd yn codi y degymau yn gwadu yn ei weithredoedd bod Iesu Grist wedi ymddangos yn y cnawd:"—dyma un o belydrau disgleiriaf y "Seren," yr hon sydd yn ymrithio yn "Seren goleuni," a dyma 'r farn a rydd "Yr Oen" addfwyn yma yn erbyn holl weinidogion Eglwys Loegr. Fe ewyllysia "Yr Oen" yn ddiammeu i bawb gredu mai anghredinwyr ydynt oll; fel hyn yn ceisio, trwy lefaru pethau gwyrdraws am danynt, i dynu chwaneg o ddisgyblion ar ei ol ef ei hun a'i frodyr; canys diddadl yw ei fod yn ddysgedydd o ryw fath ei hun, ac yn frawd i'r "Dysgedydd," ac amryw ereill o'r un teulu addfwyn a gostyngedig. Ond nid oes yn yr oes hon neb mor annealllus ag i gamgymmeryd rhuad llew neu flaidd am frefiad oen; a phe bai blaidd yn ymddangos yn ein mysg wedi ei orchuddio â gwlan, a'r pyg-nod I. G. i'w weled yn eglur ar ei dalcen, er hyny byddai ysgyrnygiad ei ddannedd llymion, ei grafangau hirion, ei lygaid gwylltion, a'i ruad ysglyfaethus, yn profi yn eglur mai blaidd yn wir, ac nid "Oen," fyddai efe, er iddo ymddangos yn ngwisgoedd defaid.

Drwg yw genyf lenwi eich dalenau â sylwadau o'r fath hyn: ond, Syr, a ydych yn cofio pa beth yw eich enw? onid "Y Gwyliedydd" ydyw? Ië, yn Wyliedydd i'n Sïon y'th osodwyd di; ond er hyny ni thynaist dy gleddyf erioed o'i wain i amddiffyn ei chaerau fel y dylesit, er pan ddechreuaist ar dy orchwyl pwysig, er i ti weled rhuthriadau lawer gan ei gelynion yn erbyn ei muriau cyssegredig: a rhaid i mi ddywedyd mai nid dy wyliadwriaeth a'th rymusder di a'i cadwodd hi, ond dyfuder ei sylfaeniad ar graig yr oesoedd, ac anoresgynolrwydd ei rhagfuriau. Paham nad wyt yn cyflawni dy swydd yn well? Na ato Duw i mi ewyllysio dy weled yn troi allan yn ymgecrwr serenawg: ond y mae tawelwch dy yspryd yn peri i'th elynion feddwl nad oes genyt gleddyf yn dy wain, neu ei fod yn rhydlyd, neu ynte dy fod dy hun yn rhy ofnus ac anfedrus i iawn ddefnyddio dy arfau yn nydd y frwydr. Mi a wn nad yr un o'r rhai hyn yw y gwir achos o'th ymddygiad tawel, ond swydd i fod, hyd y mae ynot, yn heddychol â phob dyn. Ceisio yr ydwyt ufuddhâu i'r gorchymyn hwnw o eiddo ein Harglwydd bendigedig, "Cerwch eich gelynion, a gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt: ac i'r hwn a'th darawo ar y naill gern, cynnyg y llall hefyd." Ac yn wir, canmoladwy a fyddai dy ymddygiad pod fa'it yn wr diswydd; ond cofia fod genyt ti swydd bwysig iawn i'w chyflawni, y swydd o fod yn Wyliedydd i'n Heglwys Gymreig: a disgwylir i ti o hyn allan fod yn ffyddlon yn dy oruchwyliaeth. Y mae meibion lawer yn parotôi eu harfau i'th gynnorthwyo yn dy waith, y rhai a barhânt yn ffyddlon i gynnal dy freichiau ym mysg holl luoedd yr Amaleciaid, er bod rhai o'th gydryfelwyr gynt wedi dangos iddynt siampl o frâdwriaeth, trwy dy adael yn amddifad o'u hymgeledd, a throi yn elynion i ti heb achos, heb fod anwiredd yn dy ddwylaw.——Yr wyf, Wyliedydd hybarch, dy ufudd wasanaethwr,

ADFILWR IEUANGC.

*Ionawr*, 1831.

# BARDDONIAETH.

## LLINELLAU

*A gyfieithwyd gyntaf o'r Italaeg, a minau a geisiwn eu troi o'r Saesoneg, ar ddull efelychiad.*

CANFUM ei gwedd, ac O, ddedwydded oedd!
Yn ffaw gan obaith, a breuddwydion hoff
O lwys ddeleidrwydd; chwarddai ar ei grudd
Gain ddelw Llonaint: ar ei gwridgoch fin
Disglaerid felus wên,—hon hyfryd wen
Fynegai fath rinweddawl wynfyd glwys,
A lwyr ddatguddiai fod y galon leddf
A'i heddai yno, 'n llawn o nefawl hoen;
Ac nas meddiannai ei hanwyledd pêr
Braidd nerth i ddyrchu y dedwyddawl fron
A gurai wrth. A syllwn y pryd hwn
Ar lusern llonder a belydrai odd
Y llygad oedd anwyled ac mor wemp.
Canfum yr eirian olwg yn llathrau
Mal sêr y nen, anlygai fewnawl hedd;
Dirioned ddelw o wirioni gwiw!
Y gallai Llonaint yno rana gwawl
I fil lusernau. Eilwaith gwelwn hi;
Ar ei llwyd ruddiau llechai Gofid gwyw.
Y nefawl wên o deithi trlaid llon
Nis gwelid yno mwy; a'r brydferth wedd
A draethai wynfyd ddiflanasai hwnt.
Nychawl y llygad oedd orloewed gynt,
Gan chwyfiai Galar ei fanieri prudd;
Ac oll oedd hawddgar a charüaidd gynt
Sydd nan yn warged gwelw syn i'r drem.
Pa fodd y dygwydd hwn newidiad trist?
Gofynwch py y tardd gan feddrawd serch.

GWENFFRWD.

---

## AWDL ANERCHAWL

*I Gymdeithas Cymreigyddion Caer Efrog Newydd, Gogledd Amerig.*

TRA difyr frodyr yw 'r fraint——o buro
Y beraidd iaith gywraint;
Tynu 'r rhwd, rhag taenu 'r haint,
O'i hwyneb yn ei henaint.

Er anhwn a'i charennydd
Hyd y farn ei pharhâd fydd,
Er a eill balch ŵr lle bo
Wneud efo *Dic Sion Dafydd.*

Pwy yn awr a'i piau 'n waith
Ei choledd? braint uchelwaith!
Ai nyni, weinion ein hiaith,——a wnawn gadw
Rhag lladw a rhwyg llediaith.

Gwreiddiol Iaith, hoff, faith, hoyw ffyrdd,
Cadarn, hen, coder hi 'n hardd;
Helaeth a chain gwlith ei cherdd,
Mêl heb ball; mae ail ei bwrdd?

Os try 'n deg ar estron dir,
Ei phlant oll, caiff lanhâd têr,
Daw 'n brydferth cain werth cyn hir,
Prawf i'n byd mal prif un bêr.

Ei chodi 'n lwys a'i chadw 'n lân,
A'i choflo 'n llawn a chyfan;
Chwytha 'r ûs, a choethi 'r aur,
Da proff prid y prifaur;
Dysgu ysgrifenu 'n faith,
A siarad y syw eurlaith;
A glânddysg eilio ynddi,
Er budd yn awr byddwn ni:
Mae da waith y Gymdeithas
Mewn llaw, gwyliwn giliaw 'n gâs.

Anaddas oerfâs arfer——troi mewn rhôs
Yn esgeulus, dihoen weis gwylier.

Ein pleser fo'n bêr heb ball,
A diwall barhâad Awen,
Yn dwys wau yn ei da swydd,
Lwyr hylwydd ail i'r haulwen.

Y gan dystion enog, distaw
Oll a fyddant; pwy all feiddiaw
Drwg liwiaw 'r dêr aeg lawen,
Na'i harddelwyr yn heirdd hwylus,
Os cyd unwn weis cu dawnus,
Da gweddus diwg addien?

At waith cywir
Heddyw gwelir } swydd gwiwlwys:

Mawr Omeriaith
Yn iawn berffaith } wnawn heb orphwys.

Dechreu bychan,
Agwedd egwan,
Daw 'n wawr lydan } dan wir ledu;

Gwelir gwiwlon
Gymreigyddion,
Gwyr hoff union, } yn gwir ffynu.

Gwyliwn hau efrau 'n anghyfrwys;—
Trin ein gemmau tirion yn gymmwys,
Gan ddilyn da destyn dwys—y byddom,
Mwy uno wnelom anian wiwlwys.

Teilwng daw taliad,
A ffrwyth mwyth a maid
In' o'r coleddiad er cael addysg;
Gadael gwaith gwedi,
O'n hôl freiniol fri,
Cu iawn gyhoeddi cain a gwiwddysg.

Metha du ragfarn a meitha' drygfyd,
Ladd y wir duedd i luddio 'r diwyd;
Yr hyf hen hunan heriaf un enyd.
I darfu iawnfri dyrfa o unfryd:
Heb ing hallt, O! byw ynghyd——y byddwn,
A blas iawn ffynwn heb loes na phenyd.

Rhodd a gwaith IOR yw 'r rwyddgu iaith eirian;
Nid dyfais ddynol di oes ddu anian;
Ei rhin o'd'wyllwch ar hyn daw allan;
E wneir hoywon ddoethwyr ynddi weithian;
Diofer glod difyr glân——ei hanes,
Ni fedd wael gofres anfuddiol gyfran.

Gwŷd a gwarth yw gwadu a gwrthod
Duwies arail, a dewis sorod!
A gollo'i *Famiaith* gwell fai 'i ymod;
O! ba drueni! Ow! budr hynod!

GWILYM AP IOAN.

*Caer Efrog Newydd.*

---

## ENGLYNION I GAERHUN ISAF.*

HANESION am *Gaerhûn Isaf*——bellach
Heb balln a gofiaf;
I sôn am dano os âf,
Ei agwedd gynt mynegaf.

Newyddion dai aneddawl——a godwyd
Yn gedyrn ragorawl;
Diau syn ydyw y sawl
Edwyn y fan newidiawl.

---

* *Caerhûn Isaf sy mewn pantle yn agos i'r Perfedd-goed, yn mhlwyf Bangor, mewn lle a fu yn bwll dwfr, neu lyn melin Perfedd-goed, ar y ffordd rhwng Bangor a Phentir.*

Llyn oedd ef yn llawn o ddwr——di olwg,
Doe eilwaith well cyflwr
Iddo, pan ddaeth celfyddwr
Rhywfodd fe'i sychodd yn siwr.

Adeilad wiw sad osodwyd——arno,
Heb wyrni cyfodwyd
Hoff iawn-waith, a gorphenwyd
Ar y lle y bu dwr llwyd.

*Rhisiart Owen* yn benaf,——yn dawel,
Un diwyd i'r eithaf;
Er blino fu ŵr blaenaf,
Gael ar y rhŷd bryd mor braf.

A *Wiliam* ei fab eilwaith——yn hylaw,
Fu 'n hwylio 'r gorchestwaith;
Caed seiri meini mwyniaith,
Medrus a gweddus i'r gwaith.

Seiri coed yn ddi oedi——a ddaethant
Yn ddethau a heini';
Ac yn ei llaw cŷn a lli'
I goedio 'r anial gwedi.

Llechwyr a gwydrwyr gwiwdrefn,——rai hynod
Eu rhinwedd am iawndrefn;
Yn hylaw drwyddaw i drefn
Yr amrhyw gaed o'r annhrefn.

WM. SAMUEL, *Bryndreiniog, Bangor.*

## ERAILL.

Hanesyn am *Gaerhûn Isaf*;——y lle,
Pwll oedd ar y cyntaf;
Yn lle 'r twll a'r cörbwll câf
Y tri anedd tirionaf.

Ffrwyth ymgais a dyfais dyn
Mawr ei glod, call Gymro glân,
Wr tawel Rhisiart Owen,
Hynaws Fardd o ynys Fôn.

G.

---

## CODIAD Y WAWR.

HYFRYD edrych tu a'r dwyrain,
Pan ddel y wawr,
Ar ei glâs awyraidd adain,——Pan ddel &c.
Wele natur oll yn deffro,
Ac â bywyd yn ymwisgo;
Bellach ni ddywedir "heno"——Pan ddel &c.

Ffoa 'r tywllwch i'r gorllewin,——Pan ddel &c.
Dydd a'i hymlid hwnt yn ddiflin,——Pan ddel &c.
Adar a gwylltfilod rheibus,
Hwythau 'r lladron rai twyllodrus,
Diangc wnant yn gywilyddus——Pan ddel &c.

Gwedd ein daear sy'n llonychu——Pan ddel &c.
Wyneb nef sydd ami 'n gwenu——Pan ddel &c.
Trymder nis gall lai na lloni,
Cwsg ei hunan na sirioli,
Gan belydron y goleuni——Pan ddel &c.

Tywell ddunos a ddiflanna,——Pan ddel &c.
Dydd yn raddol a gynnydda,——Pan ddel &c.
Adar bach sy'n bore godi,
I eilio cân o rhwng cangheni;
Cân i'r dydd sydd newydd eni,——Pan ddel &c.

Yntau yr Amaethydd gwridog,——Pan ddel &c.
Hwnt i'w faes yr â 'n galonog,——Pan ddel &c.
Dacw ryw fachgenyn hoenus,
Rhagddo 'n ffol yn dra gofalus;
'Madael raid er mor ddifyrus——Pan ddel &c.

Caiff y gwyliwr ei ddysgwyliad——Pan ddel &c.
Afraid goleu 'r sêr na'r lleuad,——Pan ddel &c.
Mawr a bychan sydd yn llawen,
Mewn dysgwyliad gwel'd yr haulwen,
Draw yn esgyn y ffurfafen,——Pan ddel y wawr.

MEURIG AB CYBI.

*Caerlleon.*

## HIRAETH AM WLAD HEN GYMRU.

PAN welaf ambell fynydd dig
Yn codi 'i frig i fynu;
Mae 'n rhoi i'm bron ryw hiraeth dwys
Am wiwlwys wlad hen GYMRU.

Nid allaf ddim na nos na dydd,
Ond beunydd ddwfn riddfanu;
Gan mor agosed at fy mron,
Yw tirion wlad hen GYMRU.

Nid oes i mi ddyddanwch fawr,
Lle 'n awr 'r wyf yn trigiannu,
Y'ngwlad y Saeson, estron wŷr,
Y'mhell o dir hen GYMRU.

Mae 'n wir fod yma fawa di feth,
A phob peth i'm diwallu;
Ond beth a dâl danteithion gwell,
A bod y'mhell o GYMRU?

Pe cawn loddesta yma 'n frâs,
Heb gâs i'm hafionyddu;
Boddlonach fyddwn i yn siwr
Ar fara a dwr y'NGHYMRU.

Yno y cefais i fy mod,
Ac yno y ce's fy magu;
A dyna 'r fan a gaiff y clod,
Sef hynod wlad hen GYMRU.

Pan yn ieuanc ac heb nych,
Yn fynych awn i fynu,
I gribau uchel bryniau mâd,
Iachusol wlad hen GYMRU.

Ar hafaidd ddydd, o gam i gam,
Awn gyda mam anwylgu;
A'm llaw a gydiau 'n llaw fy Nhad,
Hyd fröydd gwlad hen GYMRU.

Ond heibio 'r aeth y dyddiau hyn,
Mae 'n syn i mi am hyny;
Na chawn i etto wel'd am dro
Ddymunol fro hen GYMRU!

Fy mherthynasau heirdd eu gwedd,
Mewn hedd sy'n cyfanneddu,
Dyffrynoedd cain, a moelydd bân,
Wiw lydan wlad hen GYMRU.

Yno yn wir mae 'n lodes lon,
Yr wy'n ei ffyddlon garu;
Ac yno finnau, O na bawn
Yn llawen iawn y'NGHYMRU!

Pe cawn fy newis o bob man,
Sydd dan y sêr disgleiriu;
Dewiswn lle mae mam a nhad,
Sef enwog wlad hen GYMRU.

Gobeithio câf cyn diwedd f' oes,
Heb groes i'm hamgylchynu;
Gael dod yn ol o boen a brad,
I dirion wlad hen GYMRU.

Ac hyd nes delo angau llym,
A'i gleddau i'm trywanu,
Gael byw yn llon mewn hedd o hyd,
A thawel fyd y'NGHYMRU.

CYNHAFAL.

---

## ENGLYN.

SYR.—Gorhoff gan eich darllenwyr llawenog weled yr Englyn olaf oll o waith yr enwog Fardd *Dafydd Ddu*, o *Eryri*, yn argraffedig, o bydd gwiw genych ei ddangos iddynt, gwna hyny ei gadw rhag myned i dir anghof, a'm boddloni innau.

BRAWYR.

*Owain ab Owain* a bian——ei gwrw,
A'i gerwyn a'i botiau;
Pob llestryn o briddyn brau
A dorir, a'r cadeiriau.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### RWSSIA A POLAND.

Y mae byddinoedd Rwssia o'r diwedd ar fedr cyrchu tua Poland, a'r blaenor, y Cadfridog Diebitsch, a hysbysodd i'r Polandiaid am y tro diweddaf y driniaeth a allant ddisgwyl oddiar ei ddwylaw ef. Anfonodd allan ddau Gyhoeddiad, un at filwyr a'r llall at deyrnas Poland; yn y rhai yr achwyna yn erbyn y cyntaf am eu hymddygiad yn yr Adchwyl, ac am adael eu baneran, ac yr adgofia yr olaf am eu hanniolchgarwch tu ag at lywyddiaeth dadol un o'r brenhinoedd goreu. Ond nid yw yn dal allan i'r naill na'r llall ddim ammodau ond llwyr ymroddiad i awdurdod ac anturiaeth yn nhrugaredd y buddugoliaethwr. Gorchymyna i'r trigolion adferu eu harfau i drysordai a sefydlir rhagllaw, i ddanfon cynnrychiolwyr at swyddogion y byddinoedd Rwssiaidd pan y cyrhaeddant i'r gwahanol ardaloedd, ac i ommedd ymddangos allan o'u preswylfeydd dan boen o gael eu trin fel gelynion; a'r rhai hyny a gymmerir gyd âg arfau yn eu meddiant a ddienyddir yn ebrwydd. Ar yr un pryd, addawa yr anghofir holl droseddau y sawl a ddychwelant at eu dyledswydd, oddieithr y rhai a olchasant eu dwylaw yn ngwaed y Rwssiaid: ac yr attaliai efe i'r milwyr ddistrywio meddiannau yn y wlad i dalu y draul am luniaeth iddynt. Dangosa hefyd bob ffyddlondeb tu ag at y sawl a dderbyniant yr ammodau a gynnygir iddynt. Nid yw yr Ymerawdwr wedi bod yn segur: anrheithiodd feddiannau y Polandiaid a ddigwyddasent breswylio yn Rwssia. Er yr holl ddarpariadau gan y Rwssiaid, nid ydyw ysprydoedd y Pwyliaid yn llwfrhau, ond yn hytrach y mae eu hawydd i wynebu eu gelynion yn cynnyddu. Dewiswyd y Tywysog Adam Czartoryski yn benaeth y llywodraeth, yr hwn a anerchodd y Senedd, ac a fynegodd iddynt, "Iddo am hir amser dybied y deilliai lles go fawr oddiar undeb Rwssia a Phwyl: ond yn awr fod ei olygiadau yn hollol groes i hyn. Rhaid i ni (eb efe) droi ein holl nerthoedd at filwriaeth; a'n hunig obaith sydd yn y cleddyf. Na oddefwch i'r croesau chwerwaf iselu ein hysprydoedd; ond dangoswch i'n gorthrymwyr fod amddiffynwyr eu gwlad yn Pwyl, llef y rhai yw, Buddugoliaeth neu farwolaeth."

Dywedir fod nifer milwyr Pwyl yn 100,000, a bod llawer iawn o wyr mawrion y wlad wedi rhestru eu hunain fel milwyr cyffredin ym mhlith eu lluoedd. Ymrwymodd byddinoedd cyfain hefyd yn y modd mwyaf difrifol na arferant bylor *(gunpowder)* yn eu brwydrau â'r Rwssiaid, ond ymladd â hwynt â'u pidogau *(bayonets)* yn unig. Os gwnant hyn, er y bydd y brwydrau yn dra gwaedlyd, nid oes yr ammheuaeth lleiaf na byddant yn fuddugoliaethus ar eu gelynion yn y diwedd.——Y mae byddinoedd Rwssia wedi cyrhaedd Pwyl; ac mae 'n debyg iddynt cyn hyn sefydlu yn nghymmydogaeth Warsaw.

### YR ISELDIROEDD.

Mae Senedd y Belgiaid wedi dewis ail fab brenin Ffrainc, sef Duc de Nemours, i deyrnasu arnynt: ond ymddengys fod y brenin wedi nacâu cydsynio â'u dymuniadau; am iddo ofni rhag i hyn achosi rhyfel cyffredin drwy y cyfandir. Cynghora y Cadeirnion Cyfunol iddynt ddewis brawd brenin Naples i lywodraethu arnynt, yr hwn sydd i briodi y Dywysoges Mair, merch brenin y Ffrangcod.

### TERFYSGIADAU YN YR ITAL.

Mae trigolion Bologna, Reggio, a Modena wedi codi yn erbyn eu llywodraethwyr; ac nid oedd y milwyr yn eu gwrthwynebu yn y dref gyntaf: a ffurfiwyd llywodraeth newydd. Yn y ddwy olaf, y rhai ydynt dan lywyddiaeth Duke Modena, yr oedd buddugoliaeth y werin yn ammheus. Yr Italiaid a gyfanneddant yn Ffraingc ydynt wedi cyduno â'u gilydd i gynnorthwyo eu cydwladwyr anffodus i ennill eu hanymddibyniaeth.

### YR INDIA.

Mae Cymdeithas yr India Ddwyreiniol yn derbyn teyrnged gan yr eilun-addolwyr yn yr India: ond ni wyddis yn gywir faint a dderbyniwyd oddiwrth yr holl demlau. Ond yn ol cyfrif Mr. Poynder, gwelir fod pedair teml wedi talu swm annhraethol o arian.

Derbyniwyd yn ystod y 17 mlynedd diweddaf oddiwrth addolwyr Juggernaut y swm o £99,205 15*s*.

Yn ystod y 16 mlynedd diweddaf, dros yr eilun Gya, derbyniwyd £455,980 15*s*.

Yn y 17 mlynedd diweddaf derbyniwyd dros Allahabad £159,429 7*s*. 6*c*.

Yn ystod yr un amser, dros Tripetty, derbyniwyd £205,509 18*s*. 6*c*.

Y cwbl yn £920,125 16*s*.

## CARTREFOL.

### YR IWERDDON.

Ymddengys fod rhagor na 200 o Gyfreithwyr wedi hysbysu eu barn y byddai diddymiad o'r Undeb sy rhwng Lloegr a'r Iwerddon yn dra niweidiol i lwyddiant y deyrnas yn gyffredin, ac yn hylwyr ddinystriol i lwyddiant yr Iwerddon yn neillduol.

Hysbysasom yn ein Rhifyn diweddaf fod Mr. O'Connell ac ereill wedi cael eu cymmeryd i fyny am droseddu 'r gyfraith, a bod yn rhaid iddo geisio meichiau. Er iddo gael rhybydd gan y Cyfreithiwr Cyffredin, y byddai raid iddo ymddangos yn Llys Barn bob dydd nes y gorphenir ei brofiad, etto ymffrostiai O'Connell wrth y werinos anwybodus y cychwynai efe o'r Iwerddon mewn pryd i fod yn wyddfodol ar ail gynnulliad y Senedd, yn nechreu mis Chwefror, er gwaethaf y gyfraith, a'r Rhaglaw a'i greaduriaid. Ac ar ddydd Llun, Ionawr 31, ymbarotôdd i gychwyn o'r ddinas tua Kingstown, i hwylio ar fwrdd agerdd-long: ond ychydig cyn iddo gychwyn daeth cennad oddiwrth y Cyfreithiwr i'w rybuddio rhag myned. Yr oedd tyrfa lïosog o bobl wedi ymgynnull o amgylch ei breswylfa, a chychwynasant ar y ffordd tua Kingstown, a Mr. O'Connell gyda hwynt. Wedi cyrhaedd at y porthladd, mynegodd i'r dyrfa nad allai efe fyned i Lundain yn ol ei amcan: ar hyn dychwelasant oll yn ol i'r ddinas, ond nid cyn cael eu goddiweddyd gan gawod drom o eira.

I'r diben o ragflaenu cael ei ddwyn ger bron y llys gwladol, y mae O'Connell wedi addef ei hun yn euog o'r cyhuddiadau yn ei erbyn: ond ni chyhoeddwyd y ddedfryd arno etto. Dywedir fod y llywodraeth wedi penderfynu ymddwyn tu ag at ei ymddygiad bradwrus yn ol eithaf llymder y gyfraith.

*Yr Hin.*—Nos Lun, Ionawr 31, disgynodd cawodydd o eira, y rhai a barhausant am lawer o ddyddiau. Yr oedd y *siopau* yn Nublin yn gauedig trwy ystod dydd Mawrth: ac oblegid dyfnder yr eira anhawdd iawn oedd tramwyo trwy yr heolydd. Dydd Mercher, yr oedd nifer o ddynion yn brysur yn symud yr eira oddiar y llwybrau yn y ddinas; ond nid oedd yn ddichonadwy i gerbydau fyned allan. Ni ddaeth y llythyr-gerbydau i Ddublin, o barthau tufewnol yr Iwerddon, na dydd Mawrth na Mercher. Mewn llawer ardal achosodd y dymhestl uchod gyfyngder tra mawr. Nifer o'r tlodion, y rhai ni wnaethant ddarpariad erbyn diwrnod caledi, a attaliwyd rhag myned allan o'u preswylfeydd, a bu agos iddynt drengu o eisieu ymborth. Rhwystrwyd y cerbydau am rai diwrnodiau, a gorfu ar y teithwyr orphen eu taith ar draed.

*Dublin, Chwefror 5.* Ymddengys oddiwrth y Newyddiaduron fod rhyw rai wedi dosbarthu hysbysiadau drwy y ddinas, yn enw cyfeillion O'Connell, y byddai i'r arian a gasglwyd i O'Connell drwy 'r holl Iwerddon, gael eu cyfranu ym mysg y tlodion ag oeddynt yn dioddef gan oerni y tymhor. Yn ganlynol i hyn ymgasglodd nifer mawr o tlodion o amgylch y *Parliamentary Office*, a phan welsant mai eu twyllo a gawsant, dychwelasant i'w cartref, gan regu y terfysgwyr, ac achwyn fod cyfraniadau y Gymdeithas Elusengar, a amcanwyd iddynt hwy yn amser adfyd a phrinder, wedi eu treulio gan gyfeillion O'Connell.

---

### LLOEGR.

#### *Y SENEDD.*

Dydd Iau, Chwefror y 3, cyfarfyddai y Senedd wedi y gohiriad dros yspaid y Gwyliau.

#### TY YR ARGLWYDDI.

##### *DIWYGIAD YN Y SENEDD.*

Iarll Grey, wrth gynnyg erfyniadau ar y pwnc hwn o amryw drefydd, a ddywedodd, mai afreidiol fyddai iddo adrodd, er nad allai fyned mor bell a'r erfyniadau ynghylch rhai pethau, ei fod yn hylwyr gydsynied â gweddi gyffredin yr Eirchiaid, sef *Diwygiad Seneddol*. Hysbysasai o'r blaen iddo gael ei ddarbwyllo pan yn ieuangc, ac wedi rhoddi mwy o ystyriaeth i'r mater, yr oedd ei dybiadau yn parhâu yn ddigyfnewid, y deilliai effeithiau tra dymunol oddiwrth Ddiwygiad yn y Senedd. Rhoddasai lawer o sylw i'r mater hwn, gyda golwg o gael allan ryw drefn effeithiol; ac er mai gorchwyl tra anhawdd oedd, dywenydd oedd ganddo hysbysu fod Gweinidogion ei Fawrhydi wedi llwyddo i ffurfio trefn o ddiwygiad a gyfatebai 'n gymmwys âg un o'r erfyniadau—trefn a fyddai 'n effeithiol heb fyned dros derfynau cymmedroldeb. Yr oedd holl aelodau 'r Llywodraeth wedi cydsynied yn unfryd i'r drefn, yr hon a gynnygir i'r Tŷ arall cyn gynted ag y byddo modd. Adroddai hyn yn awr fel y gallai eu Harglwyddi wybod amcanion y Llywodraeth.

Iarll Darnley a gynnygiodd erfyniad cyffelyb o ardal yn Kent, ac a ddatganodd ei hyfrydwch fod y Llywodraeth wedi cymmeryd y mater hwn i'w hystyriaeth. Gobeithiai y byddai iddynt wneud trefniadau er llonyddu y Chwaer Ynys, ac er gwellhâu cyflwr ei thrigolion.

Iarll Melbourne a obeithiai y byddai er boddlonrwydd i'w Harglwyddi glywed fod y Gweinidogion, er maint yr anhawsderau a'u cyfarfuasant er iddynt ddyfod i'w gwahanol swyddau, wedi rhoddi eu holl alluoedd ar waith i drefnu moddion a dueddai at ddiogelwch a llwyddiant yr Iwerddon. Cytunasant gynnyg yn dra buan reithfraith (*bill*) er rhoddi gwaith, a symmud y cyfyngdra, sydd yn pwyso mor drwm ar drigolion yr Iwerddon.

#### TY Y CYFFREDIN.

*Canghellydd y Trysorlys* a gododd i hysbysu y Tŷ y byddai Gweinidogion ei Fawrhydi yn barod i gyflwyno i'r Senedd y drefn yn yr hon y

bwriadant ddiwygio y Senedd, ar Wyl Ddewi. Yr oeddynt wedi awdurdodi ei gyfaill ardderchog, yr Arglwydd John Russell; i ddwyn y cynnygiad ym mlaen; a dewisant ei Arglwyddiaeth i gyflawni y gorchwyl, am yr athrylith a'r penderfyniad a ddangosodd o blaid Diwygiad, pan oedd hyny yn annerbyniol gan y wlad.

Syr C. Wetherell a ofynai oedd Arglwydd John Russell yn Aelod o'r Llywodraeth. Y Canghellydd a atebai nad oedd; ond os tybiai Syr Charles nad oedd holl Aelodau y Llywodraeth yn cydsyniad yn hylwyr â'r drefn o Ddiwygiad, a gynnygir i'r Senedd, camsyniai yn fawr. Bwriedir i'r Diwygiad gymmeryd lle yn yr Alban yn gystal a Lloegr.

## EGLWYSI NEWYDDION.

*Dydd Gwener*, y 4ydd, Mr. H. Hughes a gynnododd i gyflwyno Erfyniad oddiwrth nifer o Offeiriaid o Bristol, a'r gymmydogaeth, yn dymuno ar y Senedd i wneuthur Gweithred er galluogi y sawl a ddymunai i adeiladu a chynnysgaeddu Eglwysi Newyddion; ac iddo gael yr hawl am byth o ddewis y Gweinidog, wedi iddi gael ei chyssegru gan yr Esgob, heb geisio caniatâd yr Esgob, Noddwr, neu Offeiriad yr Eglwys Blwyfol. Gan ei fod yn ddisgwyl cyflwyno nifer o Erfyniadau cyffelyb, a chan ei fod am gynnyg i'r Erfyniad gael ei argraffu ni threuliai amser y Senedd wrth ddarllen unrhyw ran o honi. Ond ni allai ymattal rhag darllen dyfyniad o lythyr a dderbyniasai oddiwrth un o'r Eirchiaid; sylwa, "Yr ydwyf wedi gweled, er amser maith, fod yr attaliadau hyn yn cloddio dan y sylfaen; a gwnant, o angenrhaid, weithredu yn raddol ei llwyr ddymchweliad. Os edrychaf ar ansawdd fy mhlwyf fy hun, mae y drwg yn amlwg. Cynnwysa 11,000 o drigolion, ac un Eglwys yn ddigon helaeth i ddal oddeutu 1500 o addolwyr; ond nid oes dim lle i'r tlodion oddieithr yn rhodfeydd (*aisles*) yr Eglwys, y rhai a ddaliant 200. Pe na buasai anhawsdra ynghylch y Noddwr, gallaswn, er's yspaid maith, adeiladu Eglwys arall drwy gyfraniadau gwirfoddol."

## DARPARIAETH AT DRAUL Y GORON.

*Canghellydd y Trysorlys* a deimlai mai ei ddyledswydd oedd datgan i'r Senedd amcanion y Gweinidogion ynghylch y darpariaethau at Draul y Goron. Rhanwyd cof-restr (*civil list*) Gweinidogion diweddar ei Fawrhydi i 10 o ddosparthiadau; ond nid yw y drefn a gynnygiaf fi ddim yn cynnwys rhagor na phum dosparth. Y dosparth cyntaf yw cyllidfa ddirgel ei Fawrhydi; yr ail, cyflogau Gweinidogion teuluaidd ei Fawrhydi; y trydydd, traul y Tylwyth Breninol; y pedwerydd, rhoddion haelionus ac elusengar ei Fawrhydi; a'r pummed, y gwobrau Breninol. Mewn perthynas i'r dosparth cyntaf, cynnwysa ganiatâd am £110,000 yn flynyddol i gyllidfa ddirgel ei Fawrhydi; £60,000 i'r Brenin, a £50,000 i'r Frenines.—Yn yr ail dosparth mae gwahaniaeth. Canghellydd diweddar y Trysorlys a gynnygiodd £140,546 i dalu cyflogau blynyddol Gweinidogion teuluaidd ei Fawrhydi; cynnygiaf fi £130,300. Yn nghyfrif y gwŷr anrhydeddus y mae dwy swydd a ddylent fod dan arolygiaeth y Senedd: er engraifft, Gorachwyliwr y Gweithiau, ynghyd â'i weision a'i gynnorthwywyr, cyflogau y rhai ydynt £16,140 yn y flwyddyn; a Golygwr cyfrifon y Goron, traul yr hwn yw £2400 bob blwyddyn.—Y 3ydd dosparth a gynnwysa y traul am gynnaliaeth, &c. eu Mawrhydi a'u gweision, sef £210,500. Yr wyf yn rhydd i gydnabod, pan sylwais gyntaf ar y cyfrifon hyn, i mi dybied y gellid lleihau y treuliadau hyn wrth ystyried prisiau lluniaeth; ond nid ellir, yn fy marn bresenol, leihau y treulion hyn heb gyfyngu ar gysuron ei Fawrhydi, neu ei yru i ddyled; yr hyn ni ddymunai y Senedd ar gyfrif yn y byd. Rhaid cofio hefyd, fod y treuliadau hyn yn fwy yn bresenol am fod genym Frenines ar yr orsedd.—Am y 4ydd dosparth, sef Rhoddion haelionus ac elusengar ei Fawrhydi, mae'r swm yr un fath a chynnygiad y Gweinidogion diweddaf, sef £23,190.—Yn awr deuaf at y dosparth olaf, sef, y Gwobrau (*Pensions*) Breninol. Cynnygiad y Canghellydd diweddaf ar y pen hwn oedd, Gwobrau i Saeson £74,000; i Wyddelod £53,023; ac i Ysgotiaid £31,222; y cwbl, £159,175. Gwn mai bwriad y Gweinidogion diweddaf oedd, lleihau 'r draul hon: Gwobrau i Saeson £74,000; i Wyddelod £40,000; i Ysgotiaid £30,000; y cwbl £144,000; lleihâd £15,175. Y cynnygiad a wnaf fydd, nid am restrau gwahanol o'r gwobrau, ond am un restr; ac yn lle £144,000 cynnygiaf £75,000, yr hyn a erfyniaf i'r Senedd ganiatâu i mi. Arbeda hyn £69,000, wedi 'r lleihâd a fwriadai 'r Gweinidogion diweddaf. Gellir lleihau 'r restr wobrwyol mewn tair modd. Un modd yw gommedd caniatâu Gwobrwyon nes lleihâd y rhestr i'r swm a enwyd; ond byddai hyn yn annheg iawn tu ag at ei Fawrhydi presenol, am na byddai 'n allnog, efallai, i roddi un gwobrwy i neb. Modd arall fyddai caniatâu i'w Fawrhydi ryddid i roddi gwobrau i ryw radd; ond mae 'r drefn hon yn agored i wrthddadleuon. Modd arall, a'r hwn a anturiaf gymmeradwyo, yw hwn, i ganiatâu 'r gwobrau yn ol yr amser y rhoddwyd hwynt, nes y cyrhaeddant y swm a enwyd, £75,000, a throsglwyddo ereill i'r Gyllidfa gyd-sylweddol. Mewn perthynas i rai o'r gwobrau, gwir yw, ac nid oes neb yn barotach i gydnabod hyn na myfi, na ddylid byth eu caniatâu hwynt; ond rhwym wyf i chwanegu fod y rhan fwyaf o honynt wedi eu rhoddi o elusenad. Ni wna 'r adroddiad a osodais ger bron y Senedd ond arbediad bychan o draul, oddeutu £20,000; ond o'r Ddarpariaeth at draul y Goron, a gynnygiwyd gan y Gweinidogion diweddaf, bydd £460,000 dan reolaeth y Senedd. Gofynai hwynt am £970,000; y swm fydd arnaf fi eisieu yw £510,000. Chwennychwn chwanegu ychydig ar ymddygiad clodwiw ei Fawrhydi presenol. Ymddengys fod Brenines Sion III. a'r Dywysoges Siarlot, wedi derbyn £640,000 bob un i brynu gemau, addurniadau, a phethau angenrheidiol ereill; ac yr oedd y Gweinyddiad diweddaf, yn gystal a'r un bresenol, yn bwriadu gwneud yr un darpariad i'w Mawrhydi bresenol; ond pan grybwyllwyd am hyn wrth ei Fawrhydi, darfu iddo, gyd â'r ystyriaeth mwyaf am gyfyngder ei ddeiliaid, nacâu derbyn hyn.

Mr. Goulbourn a gymmeradwya rai o drefniadau 'r Gweinidogion o barth Traul y Goron.

Syr H. Parnell a ddatganai ei farn y gellid lleihâu cyflogau Gweinidogion Teuluaidd y Brenin i raddau mawr.

Mr. Hume a dybiai mai annheg fyddai gwneuthur sylwadau ar wahanol benau 'r gofrestr; ond pan eisteddai 'r Dirprwywŷr teimlai mai ei ddyledswydd fyddai gwrthwynebu rhai o'r cyfrifon.

Mr. Hunt a haerai y byddai i'r adroddiad a ddodwyd ger bron y Senedd beri anfoddlonrwydd ym mynwesau pobl Lloegr. Nid oedd neb yn teimlo mwy o barch i'w Fawrhydi nag oedd efe, ac ni ddymunai gyfyngu ar ei gysuron. Ond haerai y dylid dileu 'r gofrestr wobrwyol, yr hyn a roddai gyflenwdra i'w Fawrhydi benderfynu pwy oedd yn haeddu 'r hyn a dderbynient oddiwrth y wladwriaeth.

Syr J. Graham a amddiffynai ymddygiad Canghellydd y Trysorlys.

## TY YR ARGLWYDDI.

*Dydd Llun, Chwefror 7.*

### YR EGLWYS.

Arglwydd King a gyflwynodd amryw Erfyniadau ynghylch y modd presenol o gasglu 'r degwm. Achwynai 'r Eirchiaid fod y degwm wedi achosi llawer o dlodi a chyfyngder yn y deyrnas; a bod y drefn bresenol o'i gasglu 'n rhwystr i amaethyddiaeth. Bu amser pan yr ymfoddlonai 'r wlad ar dalu swm o arian yn lle 'r degwm; ond yn awr rhaid iddynt gael rhyw gyfnewidiad yn ol gwerth y tir.

ESGOB LINCOLN a ddymunai alw i gôf eu Harglwyddi fod rhan fawr o eiddo 'r Eglwys wedi cael ei adael iddi, o bryd i bryd, gan ddynion duwiol, er mwyn cael addoliad cyhoeddus, a gweinidogion sefydledig, yn amrywiol ardaloedd yn y wlad. Ni wyddai pa fodd y gallai 'r *Arglwydd King* brofi fod eiddo 'r Eglwys yn eiddo 'r cyffredin. Nid oedd yn dweud hyn i'r diben o wrthwynebu unrhyw gyfnewidiad o barth y degwm; na, os gellid sefydlu unrhyw drefn ar egwyddorion cyfiawn, o roddi tir yn lle degwm, byddai efe 'n barod i gefnogi 'r cyfryw weithred.

ESGOB BATH A WELLS a ddatganai ei barodrwydd i gefnogi rhyw gyfnewidiad teg ar y dull presenol o dalu 'r Offeiriaid; a theimlai 'n sicr y derbynid y cyfryw drefn yn ddiolchgar gan Weinidogion yr Eglwys Sefydledig. Yn y Bersonoliaeth gyntaf a gafodd ef, gwnaeth gytundeb â'i blwyfolion am y degwm yn ol pris yr ŷd, yr hyn a roddodd foddlonrwydd nid bychan i'w blwyfolion, yn gystal ag iddo ei hun.

ESGOB LLUNDAIN a ddymunai wneud sylw ar araith yr *Arglwydd King* am ddianneddiad yr Offeiriaid yn eu plwyfydd. Haerai mai 'r achos o hyn oedd, fod cymmaint o'r meddiannau Eglwysig yn nwylaw gwŷr lleŷg; ac oni bai hyn buasai 'r cyfryw annhrefn wedi ei ddiwygio er's amser maith. Darfu i'r gwŷr hyn wrthwynebu 'r drefn a gynnygiwyd i'r Senedd er cymmell i'r Offeiriaid breswylio 'n eu plwyfydd.

IARLL WINCHELSEA a gydsyniai yn hylwyr â sylwadau *Esgob Llundain*; a phe trefnai 'r Senedd weithred i gymmell pob gwr lleŷg i adferu 'r meddiannau eglwysig a ddylai fod ym meddiant yr Eglwys, tybiai gwnai les mawr i'r Eglwys. Yr oedd ganddo ef ddegwm; a byddai 'n dda ganddo pe cymhellai 'r Senedd ef ac ereill i'w adferu i'r Eglwys. Gallai efe ddweud yn gydwybodol fod ganddo eiddo na ddylai 'n deg fod yn ei feddiant.

## TY Y CYFFREDIN.

*Dydd Mawrth, Chwefror 8.*

### Y TERFYSGIADAU DIWEDDAR.

Mr. HUNT a gynnygiodd fod i Anerchiad gael ei chyflwyno i'w Fawrhydi i erfyn arno ganiatâu maddeuant cyffredinol i'r llafurwyr, ac ereill, a gyhuddwyd ac a brofwyd yn euog ger bron y Barnwyr a anfonwyd yn ddiweddar i'w profi hwynt. Areithiodd am ddwy awr, gan roddi hanes am ei deithiau ei hun drwy amrywiol barthau o'r wlad yn amser y terfysgiadau diweddar; cymmerodd achlysur i gyhuddo rhai o'r Seneddwŷr am ymddwyn yn anaddas tu ag at y terfysgwŷr. Y Seneddwŷr hyn a amddiffynasant eu hymddygiad, a dangosent yn eglur fod y rhan fwyaf o araeth Mr. Hunt wedi ei gwneuthur i fynu o gamddarluniadau, a chamgyhuddiadau yn erbyn boneddion ac amaethwŷr.

SYR JOSEPH YORKE a ddatganodd ei fwriad i wrthwynebu y cynnygiad. Pe buasai gweithfa *Blacking* wedi cael ei llosgi, ammheuai 'n gryf a gynnygiasai Mr. Hunt i'r dinystrwŷr gael eu gwyn-galchu.

Y *Cyfreithiwr Cyffredin*, Syr T. Denman, a amddiffynodd weithrediadau y Llywodraeth a'r Barnwŷr mewn araeth faith a hyawdl. Wedi i amryw aelodau areithio yn erbyn y cynnygiad, rhanwyd y Tŷ: o blaid y cynnygiad dau, sef Hunt a Hume; yn ei erbyn 200.

## CYLLIDAU Y DEYRNAS.

*Dydd Gwener, Chwefror 11.*

*Canghellydd y Trysorlys* a ddymunai nawdd y Tŷ tra dodai ger eu bron drefniadau gweinidogion ei Fawrhydi o barthed cyllidau'r deyrnas. Y swm a ganiatâwyd i ddiwallu traul y wladwriaeth yn y flwyddyn 1830 oedd £46,850,000, a'r trethi, &c. oedd £50,000,000; ond wedi tynu allan £2,910,000 o drethi a ddilewyd ar *cider*, lledr, a siwgr, bydd y swm yn £47,150,000; fel hyn bydd y cyllidau 'n fwy na'r draul o £300,000. Angenion y wlad a alwant am ostyngiad yn yr ardrethi; ond pa fodd y gellid cyflawni hyn? A i galluadwy fyddai diddymu 'r holl drethi a bwysant yn fwyaf arbenig ar y tlodion? Haerai nad oedd; oblegid nid yw'r tlodion yn defnyddio ond ychydig o nwyfau trethedig. Credai mai 'r modd goreu i ysgafnhâu cyfyngdra 'r werinos oedd i roddi gwaith iddynt, ac ni ellid gwneud hyn ond trwy ddiddymu 'r trethi a orthryment, yn fwyaf neillduol, fasnach y deyrnas. Rhanai y trethi i dri dosparth; y cyntaf a gynnwys y trethi ar y nwyfau hyny oddiwrth ba rai y gellid yn rhesymol ddisgwyl y deilliai mwy o gyllid i'r Llywodraeth pe gostyngid yr ardreth sydd arnynt. Yr ail a gynnwysa 'r trethi a bwysant ar gyfran o drigolion y wlad, ac nid ar bawb yn gyfartal. A'r trydydd a gynnwys y trethi a ymyrant â'n masnach, ac a gymmerant fwy allan o logellau 'r deiliaid nag a dderbynir gan y Llywodraeth.

Ar ol eglurhâu, yn dra manwl, y modd y pwysai 'r tri dosparth o drethi, y rhai 'r oedd efe ar fedr eu diddymu, sef Ffwgws, Newyddiaduron a Chyhoeddiadau, Glo a Llechau, Cotwm, Gwydr, &c. y peth nesaf oedd ystyried colled y Gyllid wladol o herwydd gostyngiad y trethi hyn. Byddai 'r golled flynyddol ar y nwyfau a enwir fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Ffwgws ........................ | [illegible] |
| Newyddiaduron a Chyhoeddiadau | 100,000 |
| Glo a Llechau .................. | [illegible] |
| Canwyllau ...................... | 200,000 |
| Cotwm (*printed*) .............. | 200,000 |
| Gwydr .......................... | [illegible] |
| Gwerthiant Tiroedd ............. | [illegible] |
| Amrywiaeth ..................... | [illegible] |
| Y cwbl | [illegible] |

Tybiai y gwnai ei gynnygiadau foddio masnachwŷr y deyrnas, er, efallai, na foddlonai berchenogwŷr arian yn y Gyllidfa, a meddiannwŷr tiroedd. Diweddodd ei araeth hyawdl drwy gynnyg fod iddynt ganiatâu £2,000,000 i'w Fawrhydi at draul y wladwriaeth yn y flwyddyn bresenol.

## YMPRYD CYHOEDDUS.

MR. PERCEVAL a gyfodai i gynnyg fod i'r Senedd gyflwyno Anerchiad i'w Fawrhydi, yn atolygu arno neillduo diwrnod o Ympryd drwy yr holl deyrnas. Teimlai mai anfynych y dygwyd ger bron y Senedd gynnygiad cyffelyb i'w gynnygiad ef; a gallai sicrhâu iddynt nad oedd dim ond ei ddyledswydd at Dduw, ac at ei wlad, a'i cymmellai i gyflawni y gorchwyl a gymmerasai mewn llaw. Yr oedd yn ddwys deimladwy o'i anghymmwysder i anerch y Tŷ ar yr achlysur hwn; nid oedd ganddo nac urddas, nac oedran, na doniau, i ddenu sylw y Tŷ at ei gynnygiad; nid oedd ganddo ddim ond ei enw, enw a brisiai yn fwy na dim trysor daearol, a gobeithiai nad ymddygai yn annheilwng o'r enw hwnw wrth ddyfod â'r cynnygiad hwn yn mlaen. Os oedd efe yn deimladwy o berygl y wlad; os darbwyllid ef nad oedd iddi ond un waredigaeth; a phe gommeddai ymdrechu ddangos i'r Tŷ y llwybr o waredigaeth, drwy ddychryn, neu ryw achos annheilwng arall, byddai hyny yn wrthuni o'r mwyaf iddo. Gobeithiai y cydnabyddai y Senedd fod ganddo sylfaen dda am eu hanerch hwynt. Ni chymmellwyd ef i feddwl am y cynnygiad hwn gan y terfysgiadau a gynhyrfasant amrai barthau o'r wlad; na,

meddyliasai yn barhâus am hyn yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf. Edrychasai yn hyderus i'r man o'r hwn yr arferai cynnygiadau o'r fath ddeilliaw yn yr amseroedd gynt; ond edrychai yn ofer. Arosasai hyd y mynyd olaf; ond gan iddo fethu canfod un arwydd fod y dynion hyny yn bwriadu cyflawni gorchwyl o'r fath, penderfynasai, cyn y Gwyliau, ddwyn y cynnygiad hwn dan sylw y Senedd. Teimlai fod un peth yn sicr, yr hyn a gyflawnhâi ei ymddygiad ar yr achlysur presenol, sef fod y wlad mewn cyflwr o annhrefn, a bod rhwymau cymdeithas wedi eu tori. Nid oedd dim boddlonrwydd yn y tir; dim serch rhwng y rheolwyr a'r bobl. Nid oedd dim rhwymyn o hyder rhwng amrywiol raddau o ddynion â u gilydd; dim ymlyniad rhwng y cyfoethog a'r tlawd, rhwng y gweithiwr a'r meistr; ond yr oedd anhyder, braw, a thwyll yn ffynu ym mhob gradd. Hen sefydliadau ein gwlad, arddangosiadau anrhydeddus o ddoethineb ein cyn-dadau, a fuont gynt yn destun ymffrost i bob Prydeiniwr, nid ydynt hwy mwyach yn wrthddrych o serch y bobl, na, edrychir arnynt gan bob gradd o'r bron gyda llid ac atgasrwydd. Y cyfryw ydoedd yr arwyddion o ryfel ac aflonyddwch, ac, efallai, o ddinystr, ag a welir yn awr, ag a ddylai, yn fy nhŷb i, ddarbwyllo pob dyn a ystyria yn ddifrifol mai ei ddyledswydd ydyw edrych i fynu at yr Hwn a reola ym mhlith teyrnasoedd y ddaear, ac a wna â hwynt fel y myno. Oddiar ystyriaeth dwys o'r hyn a ddigwydda yn y byd, teimlai yn sicr fod cleddyf yn tramwy trwy y tir; dilys ganddo, ac ni allai neb ystyriol ei ammau, fod terfysgiadau a chynhyrfiadau ar fedr digwydd yn y byd. Dan yr amgylchiadau hyn, pan edrychai ar ansawdd y wlad hon, a chanfod leied o sylfaen oedd am hyder, gymmaint am ofn a dychryn, erchylled y troseddau a gyflawnir yn y wlad, hyderai iddo wneuthur gwasanaeth i'w wlad drwy ofyn i'r Senedd gymmeryd y pethau hyn dan eu sylw, a chofio pwy yw Cyfranwr pob daioni a phob bendith â'r rhai y cynnysgaeddwyd y wlad hon mewn modd arbenig. Dymunai iddynt ymofyn, A ydym ni yn awr, fel cenedl, yn gyfryw ag y gadawodd ein cyn-dadau ni? onid ydym wedi ymlithro yn raddol oddiwrth y duwioldeb, a'r uniondeb yspryd, ag a'u cynhyrfodd hwynt? Haerai efe ein bod wedi ymlithro. Yr oedd y drwg yr achwynai efe yn ei erbyn mor eglur a'r haul hanner dydd; y drwg a'n bygythiai cyhyd sydd yn awr wedi tori allan, a hyny mewn modd ofnadwy. Gwerinos Lloegr ydynt wedi cyfodi yn erbyn meddiannau eu meistriaid. Y llwybr dinystriol o losgi ydau, a distrywio peiriannau, a ddilynwyd i bellder ofnadwy; a minteioedd o ddyhirod diddeddf a dramwyasant y wlad; a gweithrediadau erchyll oeddynt ar yr un enyd yn gyffredin yn ngwahanol barthau o'r deyrnas.' Dir yw fod y pethau hyn wedi cael attaliad am ryw hyd; ond ofnai fod yr achosion o honynt yn parhâu etto. A ellid dychymygu fod anfoddlonrwydd y werin, a'u hatgasrwydd at sefydliadau y wlad, wedi ei symud? "Na; mae y teimladau hyn yn ffynu gymmaint ag erioed. Cofied y Senedd yr hyn a glywyd nosweithiau yn ol, fod awgrym wedi ei roddi eisys i'r werinos gam arweinedig i wneuthur yr un modd gyda yr yd cyn iddo gael ei fedi; a gofynai pa gyfraith a allai attal y cyfryw weithrediad dinystriol? Hanes dynolryw a ddangosai y gall calon dyn ddychymygu y cyfryw droseddau; ond y cyflawniad o honynt a ymddibynai nid ar ewyllys dyn ond ar drugaredd y Duw a anghofiasom am gyhyd o amser. Atto ef, ynte, y galwai arnynt edrych am drugaredd ac amddiffyniad. . Dymunai gyfeirio sylwadau y Senedd at dyb a ymledaena yn gyflym ar hyd y wlad, nad oedd dim cyssylltiad crefydd a llywodddysg, y dylid alltudio llywod-ddysg o'r pulpud a chrefydd o'r Senedd. Yr angrediniaeth hwn yw sylwedd y penryddni a dramwya yn awr ar hyd y ddaear, ac sydd eisys wedi cynhyrfu teyrnasoedd y Cyfandir. Amlygwyd ef yn yr Adchwyl diweddaf yn Ffrainc; ymddangosodd yn ymddygiad cenedl Ffrainc; un o weithredoedd cyntaf yr hon oedd dileu oddiar arian bathol y deyrnas y geiriau "trwy râs Duw," a chyda rhyfyg cableddus dodi yn eu lle "trwy benaduriaeth y bobl." Os oedd eisieu profiad chwanegol o'r yspryd di grefydd a ffyna yn Ffrainc ceir ef yn hyn, sef fod y Llywodraeth wedi penderfynu talu cyflog i weinidogion yr Iuddewon fel ag i Gristionogion. Ar y pwnc pwysig hwn gymmaint a gyfeiliornasom oddiwrth ddoethineb ein hynafiaid! Tybiasant hwy fod crefydd yn anwahanol gyssylltiedig â'r Llywodraeth, o'r ffurf bwysfawr o goroni y Brenin gan yr Esgobion yn yr Eglwys, pan y cymmera lw i gynnal crefydd a chyfreithiau ei ddeiliaid, hyd at fynediad ei Farnwyr i weinyddu cyfiawnder yn ei enw; oblegid hysbys yw mai gweithred gyntaf y Barnwr, wedi iddo gyrraedd y dref, ym mha un yr oedd i weinyddu cyfiawnder, oedd myned i'r Eglwys i erfyn am fendith y Goruchaf ar ei ymdrechiadau i gyflawni ei swydd oruchel. Yr unrhyw yspryd crefyddol ein hynafiaid a ymddengys yn hen arferiad y Senedd, lle y rhwymwyd yr Aelodau at eu gilydd, fel Cristionogion, trwy lw i gadw y dilyniad Protestanaidd. Yr oedd hyn hefyd yn weledig yn arferiad beunyddiol y Senedd wrth ddechreu eu ymgyngoriad-

au gyda gweddi am i'r Arglwydd eu cynnysgaeddu â doethineb a deall i reoli yn gyfiawn. Y cyfryw oedd yspryd union a duwiol ein hynafiaid! Mor wahanol oedd yspryd y dyddiau hyn! Os try y deyrnas oddiwrth Dduw, Duw a dry oddi wrthi hithau. Hysbys i bawb oedd erchylldra camweddau y Ffrancod pan gymmerasant butain o'r heol a'i haddoli hi megys Duwies Rheswm! Dyma enghraifft o ddoethineb y dyddiau hyn. Yn ei dyb ef, nid yw yr oes bresenol mewn barn a doethineb ond babanod mewn cydmariaeth a'n hynafiaid; nid oes gan yr oes hon na doethineb, na rhinwedd, na chrefydd, na duwioldeb. Diangasant o flaen yr yspryd a ddarluniasai efe fel wedi taenu dros holl Ewrop. Yr oedd awdwr Coll Gwynfa wedi datgan y gwahaniaeth a dybiai efe oedd rhwng y genedl hon a'n hynafiaid; y rhai a ddarluniient yr olaf ydynt:—

.......... wrth eu gweddi
Cyfiawnion ddynion oeddent, llawn eu bryd
Ar iawn addoli Duw a gwybod ei
Weithredioedd cyhoedd, ac nid olaf hyn
A gadwai ryddid ac i ddynion hedd.

Ac, O! y fath adeilad o Ryddid a wnaethant i ni! Cywired y dysgrifir yr oes bresenol—

gwaddant fod
Mytyrgar ar bob oelf er addwynâad
Amsyniawl am eu Person, er eu dysg
Ô gan ei Yspryd gael, ei rhadau ni
Addefynt ..........

Adroddai etto fod y dyfyniadau hyn yn arddangos yn eglur y gwahaniaeth rhyngom ni a'n hynafiaid. Ni ddywedasai ond ychydig ar gyfyngder y tlawd, am ei fod yn anfoddlon i ymyraeth â phwngc mor ddadleuadwy. Os oedd tlodion y wlad hon mewn cyflwr mor gyfyng, gorthrymus, a thrangcedig, ag yr haerir gan rai dynion, onid yw hyn yn achos digonol o ddychryn? A allai fod pechod mwy enbydus, neu debycach i dynu i lawr sorriant yr Hollalluog na hyn, fod y tlodion yn y cyfryw gyflwr heb gael eu hesmwythâu? A ddichon fod rhyw achos pwysfawrocach i beri dychryn na bod y rhan fwyaf o'r werinos yn ystyried eu huchafion fel eu gorthrymwyr? Ond os nad oeddynt yn y fath gyfyngder a thrueni, ddyfned yw llygredigaeth y meddwl a allai wneuthur y cyfryw gamddarluniadau! yr oedd hyn yn profi yr angenrheidrwydd am ei gynnygiad ef. Yr oedd hanesiaeth pob teyrnas yn profi na thaenai llwgr moesau ond ychydig ym mysg yr isel-radd, oni byddai wedi ymledaenu yn fawr yn mysg yr uchel-raddolion. Ewyllys Duw oedd i'r uwch-raddolion amddiffyn a meithrin y rhai oedd danynt: a phe gwneuthid hyn drwy haelioni ac elusen, teimlai yn sicr y byddai y tlodion yn ddiolchgar, y dangosent eu diolch drwy eu hymddygiad heddychol, yn lle y cynnwrf a'r terfysg a'u hammharchasent mewn rhai parthau. Haerai mai drygioni yr uwch-raddolion a achosai lwgr moesau y tlodion.—Wrth nesu at bwnc arall, rhaid iddo ddatgan ei farn, fod llwyddiant y deyrnas y'nglŷn â llwyddiant yr Eglwys Sefydledig. Pe lleiheid diogelwch yr Eglwys, gallwn yn wir grynu am ddiogelwch y llywodraeth. Cefnogwn yr Eglwys fel y dylem, diogel fyddwn; os trown ein cefnau arni, rhaid i ni syrthio. Yr oedd yr offeiriaid presenol wedi gwellhau yn ddirfawr: ac os oes arferiad o droseddu y pedwerydd gorchymyn yn ffynu yn ein gwlad, bai y rhai hyny oedd i'r rhai yr ymddiriedwyd addysg ein hieuengctid: ac os goddefir i'r pechod ofnadwy hwn barhau, byddwn ni yn dra euog wedi cael y fath fanteision. A fyddai rhyw un mor galed a haeru, nad oedd ei gynnygiad i neillduo dydd i erfyn maddeuant o'n pechodau fel cenedl yn angenrheidiol? Gwyddai y dywedir iddo mai oddiwrth yr Eglwys y dylai y cyfryw gynnygiad darddu: gwyddai yr arferai yr Esgobion neillduo dydd i ymprydio ac i weddïo: ond yr amseroedd hyny a aethant heibio. Diolchai iddynt hwy, ac i Weinidogion y Brenin, am gyhoeddi y ffurf o weddi yn nghylch cyflwr terfysglyd y wlad. Diolchai hefyd i'r Senedd am eu tiriondeb yn gwrando arno mor syml. Canfyddai mai arferol ar ddyddiau ympryd oedd gwneud casgliadau i'r tlodion ym mhob Eglwys drwy y wlad, a thybiai mai arfer dda ydoedd. Terfynai trwy gynnyg fod i anerchiad gael ei anfon at ei Fawrhydi i erfyn arno neillduo diwrnod i ympryd a gweddi ar i Dduw droi oddi wrthym y drygau hyny ag a haeddasom, a llwyddo ymgynghoriadau y Senedd er lles yr Eglwys, a llwyddiant y deyrnas; a bod casgliadau i'w gwneuthur yn yr holl Eglwysi er lles i'r tlodion.

Mr. Hughes Hughes a gefnogai y cynnygiad. Afreidiol fyddai iddo chwanegu at yr hyn a ddywedwyd mor hyawdl gan Mr. Perceval.

*Canghellydd y Trysorlys* a wrandawsai ar araeth Mr. P. gyda hyfrydedd: ond dymunai fynegi mai ar ei Fawrhydi, a phenaethiaid yr Eglwys, yr ymddibynai neillduo diwrnod o ympryd a gweddi. Ni wrthwynebai y cynnygiad, ond cynghorai efe i Mr. P. adael hyn i ystyriaeth penaethiaid yr Eglwys.

Mr. Perceval a betrusai pa fodd i weithredu. Pan ddaeth i'r Tŷ penderfynai gael gwybod golygiadau y Senedd o barthed ei gynnygiad, oni chymmerai y Canghellydd ef o'i law ef. Ond wedi clywed araeth ei Arglwyddiaeth, cydsyniai i dynu yn ol ei gynnygiad.

## CYMRU.

*Haelioni.*—Y mae Syr W. W. Wynn wedi rhoddi 15 erw o faip i dlodion y Cefn Mawr; a dywedir fod dim llai nag 20 o deuluoedd yn byw ar yr hyn a gânt gan y Barwnig haelionus hwn. Ychydig o amser yn ol rhoddodd Syr Watkin £100 tu ag at gynnaliaeth tlodion plwyf Rhiwabon, heblaw anrhegion mawr o wlaneni, a dillad.

C. Hanbury Tracy, Ysw. a anfonodd £20 i'w gyfranu ym mysg tlodion Bettws, Trefaldwyn, gyda gorchymyn i'r Offeiriad roddi cymmaint drachefn os bydd cyfyngder y tlodion yn parhâu.

James Watts, Ysw. o Blas Aston, a archodd i'w oruchwyliwr, Mr. T. Jones, Doledowled, gyfranu gwerth £5 o wlanen ym mhlith tlodion Llanyn, Swydd Faesyfed.

Mrs. Llwyd, o Garthlwyd, a gyfranodd lawer o wlanen i dlodion plwyf Llanfair, a'r plwyfydd amgylchynol, yr hyn a arfera y foneddiges hon wneuthur bob blwyddyn.

Wilson Jones, Ysw. o Gelligynan, Llanarmon yn Ial, a gyfranodd, yn nechreu y Gauaf, wlaneni, dillad, &c. ym mhlith trigolion tlodion y plwyf hwnw a phlwyfydd ereill.

Cyfranwyd hefyd werth £60 o ddillad, a gwlaneni, yn Rhosllanerchrugog yn ystod y mis diweddaf. Ni all neb ddirnad y tlodi a'r cyfyngder sydd yn gorthrymu trigolion yr ardal hon.

## TRETH Y CEFFYLAU.

Gwyddis yn dda fod yr Amaethwyr ag sydd yn dal tyddynod dan £200 o ardreth yn gorfod talu Treth y Ceffylau mewn llawer o fanau yn Nghymru hyd hyn, o herwydd eu bod weithiau yn eu llogi, neu yn eu defnyddio i gludo am gyflog: ond dylid hyspysu iddynt, ddarfod, trwy ymdrechiadau gwr boneddig o Feirion yn ysgrifenu at yr Anrhydeddus C. W. W. Wynn, chwanegu fel y canlyn at yr *Act.* 6ed Geo. IV. cap. 7. § 8. i'r diben o ddangos fod y cyfryw Amaethwyr yn rhyddion oddiwrth y dreth. Geiriau yr *Act* ydynt:—"*And any* "*person or persons occupying a farm of* LESS "*annual value than* TWO HUNDRED POUNDS "*per annum, and making a livelihood prin-* "*cipally thereby, shall be exempt from duty* "*for any horses, mares, or geldings,* bona "*fide, kept and generally employed by such* "*person or persons for the purpose of hus-* "*bandry on such farms, although such horses,* "*mares, or geldings, or any of them, shall* "*be occasionally let to hire, or used by such* "*person or persons in drawing for hire or* "*profit.*"

*Treth ar Frâg.*—Ym mis Ionawr cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn Llys-dŷ tref Haverfordwest, i'r diben o ystyried y priodoldeb o anfon erfyniad i'r Senedd am lwyr ddiddymiad o'r dreth orthrymus uchod. Cynnygiwyd yr Erfyniad gan R. J. Ackland, Ysw. a chefnogwyd ef gan A. J. Stokes, Ysw. a phenderfynwyd yn unfryd iddo gael ei gyflwyno i'r Senedd.

*Tân.*—Nos Sul, Ionawr 30ain, torodd tân allan mewn amaethdy helaeth a elwir Glanferi, yn agos i'r Borth, Swydd Aberteifi, yn perthyn i'r Cadben Gwynne. Achoswyd ef drwy ddiofalwch yr Amaethydd, yr hwn a dafiodd ben canwyll ym mysg y gwair. Llwyr ddifethwyd y gwair ac amryw bethau ereill, yn yr ystafell; ond trwy ymdrechiadau amserol y gweithwyr diffoddwyd y tân cyn iddo gyrhaedd dim arall.

*Glowyr Rhiwabon.*—Cofia ein darllenwyr i ni fynegi yn ein hanes am yr anghydfod fu rhwng y Glowyr a'u Meistriaid, fod un Mr. Wood wedi cael ei ddolurio gan y gweithwyr. Yn nechreu y mis diweddaf daeth tri neu bedwar o swyddogion i lawr o Lundain, ac ynghyd â 40 o geisbwiliaid, a ymwelsant ag ardal y Cefn Mawr i ddal y dynion a fuont yn afreolus ychydig yn ol. Cymmerwyd dau ddyn i Wrecsam, a holwyd hwynt o flaen yr Ynadon, y rhai a'u bwriasant i garchar am ymosod ar Mr. Wood gyda bwriad i'w ladd! Y mae 'r dref a'r gymmydogaeth mor llonydd ag erioed; ond er hyn tybiwyd yn angenrheidiol anfon cǎd o filwyr i Wrecsam i gynnal heddwch y wlad.

*Hir-hoedl.*—Y mae 24 o bobl yn byw ym mhlwyf Llansantffraid, Trefaldwyn, oedran yr hai ynghyd ydynt yn 1980 o flynyddoedd; ac heblaw y 24 uchod, y mae yn yr un plwyf 20 o bobl, oedran y rhai ydyw 1500 o flynyddoedd.

*Rhybudd i Aflonyddwyr Teuluoedd.*—Dydd Sul, Ionawr 23, rhanwyd rhwng tlodion Llanfair Pwllgwyngyll, Llandysilio, Llanedwen, a Thre Walchmai, Môn, ar gost John Williams, gynt o'r Tafarn Riddaw, yn y plwyf olaf, werth Punt a phedwar Swllt, am nacâu myned o dŷ gwr boneddig am hanner awr wedi saith o'r gloch y boreu, ac yntau heb ddim neges *cyfreithlawn* yno, ac wedi hyny gwneuthur ymgyrch arno yn ei dŷ ei hun.

*Damwain angeuol.*—Nos Sadwrn, y 5ed o Chwefror diweddaf, mewn lle a elwir Cefnddwysarn, o fewn tair milltir i dre 'r Bala, lladdwyd dwy ddynes yn eu gwely, sef y fam a'i merch, trwy i ddarn o'r tŷ syrthio arnynt. Yr oedd merch arall i'r hen wraig mewn gwely yn agos atynt, ond ni dderbyniodd ddim niweid, yr hon mewn dychryn a redodd at dŷ cyfagos i alw am gynnorthwy. Erbyn dyfod rhai o'r cymmydogion at yr hen fwthyn penagored, yr oedd y cyrph wedi eu claddu o dan yr adfeilion, fel nad oedd dim ond braich yr

hen wraig yn y golwg. Cloddiwyd y cyrph i fynu o blith y clai a'r cerig, ond nid oedd na briw na chlais i'w weled ar yr un o honynt.

*Anffawd galarus.*—Dydd Mercher y Lludw, rhwng 11 a 12 gloch o'r nos, bu farw yn ddisymmwth, yn *Christ Church*, Rhydychen, Arglwydd Osborne, yn 19 mlwydd oed, mab i'r Dug Leeds. Wrth chwareu gyd â'i gyd arglwyddi derbyniodd ddyrnod, fel y tybygid, yn ei gylla gan un o honynt; ond ni wyddis yn iawn pa un ai y dyrnod, neu y cwymp a gafodd drwy hyny, a fu yn achos o'i farwolaeth. Cynnalid rheithiad ar ei gorff; a barnwyd iddo farw *per infortunium, chance medley*, sef drwy anffawd. Cofiwn yma yr hen ddiareb, "Tecaf y chwareu goreu fydd peidiaw."

## HYSBYSIADAU LLEENYDDOL.

Cyhoeddwyd, yn ddiweddar, "*A New Translation of Isaiah, by the Rev. J. Jones, A. M.* (Ioan Tegid) *Precentor of Christ Church, Oxford.*" Gobeithio yr anrhega ein cyfaill ei gydwladwyr â chyfieithiad Cymreig o'r un Prophwyd.

Cyhoeddir yn fuan, "Pregethau a draddodwyd yn Eglwys Treffynon, yn y blynyddoedd 1829 a 1830, gan y Parch. J. Blackwell, B. A. o Athrofa yr Iesu, Rhydychen, a Churad Treffynon.

## SIRYDDION CYMRU.

Gosodwyd y Boneddion canlynol gan ei Fawrhydi y Brenin i fod yn Siryddion y Dywysogaeth am y flwyddyn bresenol.

### GWYNEDD.

MON—*O. Owen, Ysw. Llan Fugail.*
ARFON—*Rice Thomas, Ysw. Coed Helen.*
MEIRION—*Hugh Lloyd, Ysw. Cefn Bodig.*
TREFALDWYN—*R. M. Bonner, Ysw. Bodynfol.*
DINBYCH—*Wilson Jones, Ysw. Gelli Gynan.*
FFLINT—*Sir Stephen Richard Glynne, Barwnig, Castell Penarlag.*

### DEHEUDIR.

CAERFYRDDIN—*Edward Hamlyn Adams, Yswain, Middleton-Hall.*
PENFRO—*John Mirehouse, Ysw. Brownslad.*
ABERTEIFI—*John Palmer Bruce Chichester, Ysw. Llanbadarn Fawr.*
MORGANWG—*Richard Hoare Jenkins, Ysw. Llanharran.*
BRYCHEINIOG—*Fuller Maitland, Ysw. Garth.*
MAESYFED—*Richard Duppa, Ysw. Llanshay.*

## SESSIWNAU CYMRU.

### GWYNEDD.

*(Y Gwir Anrhyd. Syr N. C. Tindal, Prif-farnydd.)*

TREFALDWYN—Sadwrn, Mawrth 5, prydnawn, *Trallwm.*
MEIRION—Iau, Mawrth 10, prydnawn, *Bala.*
ARFON—Llun, Mawrth 14, boreu, *Caernarfon.*
MON—Iau, Mawrth 17, boreu, *Beaumaris.*
DINBYCH—Sadwrn, Mawrth 19, prydnawn, *Ruthin.*
FFLINT—Mercher, Mawrth 23, prydnawn, *Wyddgrug.*

### DEHEUDIR.

*(O flaen y Baron Bolland.)*

MORGANWG—Iau, Chwefror 24, *Caerdydd.*
CAERFYRDDIN—Mercher, Mawrth 2, *Caerfyrddin.*
PENFRO—Mawrth, Mawrth 8, *Hwlffordd.*
ABERTEIFI—Llun, Mawrth 14, *Aberteifi.*
BRYCHEINIOG—Sadwrn, Mawrth 19, *Aberhonddu.*
MAESYFED—Iau, Mawrth 24, *Presteign.*

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Ar y trydydd o'r mis diweddaf (Chwefror) cyflwynawyd y Parch. H. W. White, A. C. Cyfaill o Goleg Iesu, Rhydychen, gan Esgob Bangor i Bersonoliaeth Dolgelley, yn yr un Esgobaeth; rhydd trwy ymadawiad y Parch. T. G. Roberts; tadog, yr Arglwydd Ganghellydd.

Ar yr un dydd, cyflwynodd yr un Esgob, y Parch. John Jones, A. C. i Bersonoliaeth Llangynhafal, yn Sir Ddinbych; rhydd trwy ymadawiad y Parch. John Griffith, Cyfaill o Goleg Emmanuel, Caergrawnt; tadog, yr Arglwydd Esgob.

Ar yr un dydd hefyd, cyflwynodd yr Esgob y Parch. John Davies (diweddar o Landdyrnog) i Bersonoliaeth Llanychan; rhydd trwy ymadawiad y rhag grybwylledig Barch. John Jones; tadog, yr Esgob.

Yn ddiweddar, cyflwynodd Esgob Llanelwy y Parch. T. G. Roberts, A. C. Cyfaill o Goleg Brasenose, Rhydychen, i Bersonoliaeth Llanrwst; rhydd trwy ymadawiad y Parch. H. Edwards, A. C. tadog, yr Arglwydd Esgob.

Y Parch. Ebenezer Williams i Guradaeth Parhâus Bryn Eglwys; rhydd, trwy farwolaeth y Parch. J. Denman; Noddwr Syr W. W. Wynn.

Y Parch. Wm. Rees, M. A. i Beriglorlaeth Talbenny, Swydd Penfro; Noddwr, Syr J. Owen, Barwnig, A. S.

Y Parch. E. P. Thomas i Guradaeth Parhâus Aberdare, Morganwg.

## URDDIADAU EGLWYSIG.

### ESGOBAETH LLANELWY.

Dydd Sul, Ionawr 23ain, cafodd Mr. Richard Briscoe, A. B. o Goleg Iesu, Rhydychen, a Churad Llangollen, ei urddo gan Esgob Bristol, drwy lythyrau cenadedig oddiwrth Esgob Llanelwy.

### ESGOBAETH BANGOR.

Ar ddydd Sul, y 30ain o Ionawr, urddwyd y Boneddigion canlynol, gan Esgob Bangor, yn

OFFEIRIAID,

Y Parch. John Griffith, A. C. o Goleg Iesu, Rhydychen, ar Guradaeth Llangelynin.

Y Parch. John Jones, G. C. o Goleg y Drindod, Dulyn, ar Guradaeth Caerhûn.

DIACONIAID,

Edward Evans, G. C. *Catharine Hall*, Caergrawnt.

Griffith Williams, G. C. o Goleg Iesu, Rhydychen, trwy lythyrau anfonedig oddiwrth Esgob Llanelwy i Guradaeth Llansantffraid Glân Conwy, yn yr Esgobaeth hono.

## BU FARW

Ar y 7fed o Ionawr, yn Bishopston, Sir Forganwg, yn y 76ain mlwydd o'i oed, y Parch. Edward Davies, F. R. L. S. Person y Plwyf uchod, Canghellwr Aberhonddu, ac Awdwr y "*Celtic Researches*," &c.

Ar y 24ain o Ionawr diweddaf, ar ol deuddydd o glefyd dygn a phoenus, Hugh Hughes, Clochydd Plwyf Llandderfel, Swydd Feirion, yn [illegible] oed. Gwr rhyfeddol o hynaws, llafurus, a sobr oedd H. Hughes, a chymmeradwy yn ei alwad.

"Pa lais ddewisiais oslef,
"O les yw heb ei lais ef!"

Gadawodd weddw a saith o blant i alaru ar ei ol.

Ar y 30ain o Ionawr, yn Llanarmon yn Iâl, y Parch. John Denman, ei oed 72ain mlwydd.

# Y GWYLIEDYDD.

## EBRILL, 1831.

### BARNEDIGAETHAU DUW.

*(Parhad o du dal. 68.)*

**Hanes y Cornwyd yn Llundain, yn y fl. 1665.**

**Yr** oedd coel-grefydd, a thwyll, a phenboethni, yn brysur, ïe, yn y dyddiau ofnadwy hyn. Yr oedd almanacau, a llyfrau tesni, mewn galwad mawr. Un llyfr a gyhoeddwyd tan yr enw "Rhybydd teg" (*Fair Warning*); arall, "Cofiadur Prydain" (*Britain's Remembrancer*); a'r trydydd a enwyd "Deuwch allan o honi hi, fy mhobl, fel na dderbynioch o'i phläau hi." Ac yn bellach na hyn, rhedai rhai hyd yr heolydd, gan brophwydo ar dafod-leferydd; ac un, yn enwedig, a gyhoeddodd, fel Jonah yn Ninifeh, "*Deugain niwrnod a fydd etto, a Llundain a gwympir.*" Un arall a redai drwy yr heolydd, yn noeth, heb ddim ond ei lodrau o amgylch ei lwynau (gan ddynwared mab *Hananiah* yn Josephus, yr hwn a waeddai, "Gwae, gwae, gwae! i Jerusalem," cyn ei dinystriad) ac a grochlefai ddydd a nôs, "*O! y Duw mawr ac ofnadwy!*" ac ni ddywedai ragor na hyn, er ei holi; ac ni arosai i ateb neb, ond prysurai yn ei flaen, â gwynebpryd llawn o ddychryn. Cyfarfum âg ef lawer gwaith, ond ni ynganai air wrthyf fi, nac wrth neb arall, ond parhau i lefain yr un geiriau.

Yr oedd y gau-feddygon hefyd yn brysur, fel cynt ac wedi;—y pyst a'r muriau yn dryfrith o gynnygion "*Cyffyriau anffaeledig rhag y pla;*" ac felly am ladrata elw anghyfiawn, megis o grafangau yr angeu ei hun!

Pan ddechreuodd yr haint ledaenu, ymgynghorodd y prif-swyddogion ynghylch y moddion goreu i luddias ei gynnyddiad. Gosodwyd chwilorion, meddygon, a chladdwyr, ym mhob dosparth o'r ddinas; a chan y gwŷr hyn yr oedd awdurdod i gau i fynu bob tŷ ac annedd y barnent fod yr haint wedi ymddangos ynddo; ac i osod croes goch, droedfedd o hyd ar ganol y drws, ac yn ysgrifen uwch ben y groes, "*Arglwydd, trugarhâ wrthym.*" Yr arwyddion hyn oeddynt i aros, nes yr agorid y tŷ yn gyfreithlawn. Gosodid dau o wylwyr, un yng ngwyneb y tŷ, a'r llall o'r tu cefn iddo, i rwystro pob dyfodiad i mewn, na mynediad allan: ac fel hyn yn gadael y cornwyd gwyllt i wneyd ei waethaf o fewn terfynau gosodedig, ac megis ei borthi âg ychydig luniaeth, i'w gymmell i ymarbed rhag mwy. Yr oedd rhai o osodedigaethau y Swyddogion wedi eu trefnu er lles y ddinas, ond yr ordinhâd hon, yn carcharu teulu fel hyn, oedd arswydus yn ei heffeithiau; canys yn lle lleihau, chwanegwyd at gynddaredd yr haint. Heb hyn, pe digwyddasai gweinidog neu lettywr fod yn glaf heintus, gallesid ei drosglwyddo i'r heint-dŷ, ac wrth hynny roddi

chwarau teg i'r trueiniaid eraill am eu bywyd. Wrth gloi y cwbl i fynu, iach ac afiach ynghyd, nid oedd y gobaith lleiaf wedi ei adael. Y canlyniad o hyn oedd, i lawer o deuluoedd, mewn anobaith, dorri allan o'u caethiwed, gorchfygu y gwylwyr, a diangc fel y digwyddai iddynt; ac wrth hynny yn lledu, yn lle cyfyngu, yr haint.

Y drefn o gladdu y meirw oedd annynol i'r eithaf; ond yr oedd yn un atebol i ofynion yr amser. Bob bore, cyn codiad yr haul, a phob nos, yr oedd elud-fen y meirw yn myned ei chylch; a phob tylwyth yn gymhelledig i ddwyn eu meirw allan, a'u bwrw iddi, ar ganiad cloch y cludydd. Pan lenwid y fen, prysurid i'r gladdfa, sef ffos ehang o hyd, a lled, a dyfnder, ac yno dymchwelid y llwyth, fel bwrw tail i domen. Ni ddarllenid gwasanaeth, a mud oedd y gloch. Nid oedd na brawd na chyfaill yn dilyn, nac un prysuryn yn beiddio ymddangos. Yr oedd nifer o'r offeiriaid wedi gadael y ddinas; ac yr oedd yn olwg newydd weled gweinidogion, o bob enw neu blaid, yn esgyn i'r areithfa mewn eglwys neu gapel, ac ni byddent un amser mewn diffyg o wrandawyr; canys yr oedd yr ymweliad echrys wedi troi llawer i weddïo, y rhai na weddïasant erioed o'r blaen. "*Pan laddai efe hwynt, hwy a'i ceisient, ac a ddychwelent, ac a geisient Dduw yn fore.*" Ps. 78. 34. Cynted ag y distewai un pregethwr, un arall, o gredo lledgroes i'r cyntaf, a esgynai yn ei le. Y cyssondeb brawdol hwn, ni pharhaodd ond tra estynodd yr angel ei gleddyf uwch ben y ddinas. Un o'r arwyddion cyntaf bod yr haint yn llareiddio, oedd adnewyddiad ymryson ym mhlith crefyddwyr. Yn nhrymder y clefyd yn unig, pan oedd ar bob dyn fwy o ofn ei gymmydog nag erioed, y bu yr eglwysydd fwyaf mewn diffyg gwrandawyr. Un o'r amgylchiadau hynotaf o drueni yr ymweliad hwn, oedd, bod ar bob dyn ofn ei gymmydog, yr hwn a welai yn rhodio yr heol, ac ar ymddangosiad yn ei iechyd arferol; er ei fod ef ei hun, ar yr un pryd, er yn anwybod iddo, yn dwyn yn ei gylch hadau ei farwolaeth ei hun, a llygriad pawb a nesäent ato.

Arwyddion amlycaf yr haint, oedd, penysgafndod, cyfog, ammhwyllder, syndod, poethellau, a chleision; a digwyddodd yn fynych, na wyddai yr heintus ei fod yn glaf hyd o fewn teir-awr i'w farwolaeth; y pryd y dangosai un arwydd farwol ar amryw fanau o'r corph, ond gan amlaf ar y fynwes. Wrth ddyn, a dybiai ei hun yn iach, llawer gwaith y dywedwyd gan gyfaill a edrychai ar ei ddwyfron, "*Ymbarotöa, fy nghyfaill, nid oes genyt ond ychydig o oriau i fyw!*"

Meddyg dysgedig, a gwybodus, (N. Hodges, D. M.) ymwelydd parhaus â'r cleifion, a ddywed,—"Ym misoedd Awst a Medi, y cornwyd, megis ag edyn cyflymach, a ymddangosai wedi dwyn yr holl ddinas tan ei rwysg. Yr oedd y lladdfa yn echrydus; yn gymmaint a bod o dair i bedair a phump o filoedd yn marw yn wythnosol; ac yn un wythnos *wyth mil*, pan oedd y dinystr fwyaf. Pwy a ddichon adrodd echryslondeb y fath dymmor? Yr oedd yr holl deyrnas yn wylo dros drueni ei phrif-ddinas. Yn rhai tai yr oedd celaneddau yn gorwedd i aros swyddogion y bedd; yn eraill, ddynion yn cyrchu eu hebwch ddiweddaf. Yn un ystafell clywid griddfanau trangc; yn arall fadrondod gwallgof; ac nebpell oddiyno, ceraint a chyfeillion yn croch-alaru, nid yn unig eu colled o'r sawl a garent fwyaf, ond hefyd y disgwyliad brawychus o'u hymadawiad eu hunain ar fyr enyd. Yr oedd angeu yn esgorydd diffaeledig i'r holl blant, y rhai a drosglwyddid yn ebrwydd o'r groth i'r bedd. Pa ddwy-

fron na holltai o ofid, wrth weled defnyddion cenedlaeth newydd o ddinasyddion yn crogi ar fronau eu mamau meirwon! Rhai, yn ol eu clwyfo, yn rhedeg oddi amgylch fel meddwon—arafent—syrthient—a threngent yn yr heol. Eraill yn gorwedd yn hanner marw, megis rhwng cwsg ac effro, ond ni ddeffroent byth, hyd sain yr udgorn diweddaf. Rhai yn gorwedd yn yr heolydd, ac yn arloesi, fel pe buasent wedi yfed gwenwyn; eraill yn syrthio yn farw yn y farchnad, tra byddent yn prynu ymborth i giniawa eu teulu."

Ar fyrdra parhad y clefyd rhydd yr un Meddyg dysgedig yr hanesyn canlynol:—Galwyd am danaf at ferch ieuangc, ar y diwrnod cyntaf o'i salder. Cefais ei hanadliad yn rhwydd, ei chynhesrwydd yn gymhwys, ei hwythen rhedweli yn lled lary, a phob peth yn arwyddo ei bod mewn *iechyd;* yn gymmaint ag i mi dybio ei bod yn ffugio afiechyd, nes i mi sylwi ar ei mynwes, ac yno weled arwyddion *marwolaeth.* Bu farw y nos ganlynol, cyn iddi hi ei hun, na neb o'i hamgylch, ammau ei bod yn glaf drwy unrhyw arwydd arall. Gwedi hyn, ymwelais â gweddw dringeinmlwydd; yr oedd ar ei chiniaw, ac yn tystio na bu hi erioed mewn iechyd gwell. Pan deimlais wythen ei harddwrn, mi a'i cefais yn anwastad, a gwelwn ar ei dwyfron amlder o'r arwyddion diffael. Cyn y nos hi a ddyfynwyd i'r byd tragywyddol."

*Dychweler yn ol at Hanes y Dinesydd.*—"Prin y gellir coelio erchylldod cyffyrau llaweroedd o'r trigolion. Rhai, ym mrydni y gynddaredd, gan boen eu cornwydydd, yr hyn oedd braidd yn anoddefol, a aent yn wylltion wallgofus, a saethent eu hunain, neu a ymdaflent bendramwnwgl drwy y ffenestri. Mamau a ddienyddient eu plant eu hunain yn eu colliant. Rhai yn marw o dra galar, rhai o fraw a chyffro, heb ddim o'r cornwyd arnynt; eraill yn colli eu synwyrau gan ddychryndod.

"Deallir wrth yr hanes blaenorol, bod llaweroedd yn marw heb i chwarenau, neu gornwydydd dorri allan ar eu cyrph; ond os ymddangosent, byddent yn peri poen anaele. Ac nid anfynych y digwyddodd, pan fyddai y llaw-feddygon yn arteithio y chwarenau celyd â chyllyll, neu yn eu golosgi â phoethlyn, i'r trueiniaid ddiangc oddiarnynt, a rhedeg yn noethion i'r heolydd, ac i'r afon os gallent, neu i'r merddwfr cyntaf a welent.

"Mynych y teimlais megis iasau yn treiddio i ddyfnderoedd fy enaid, wrth glywed croch-lefau griddfanus y trueiniaid arteithiedig: ond o'r ddau ddrwg-gyflwr, cyfrifid hwn yn fwyaf gobeithlawn, ie yngwyneb anobaith ei hun: canys os dygid y cornwydydd i ben-feddalu, a thorri, a chrawni, byddai y claf yn debyg o hybu. Yn y dull arall o'r haint, wedi i'r arwyddion ymddangos, ac y claf yn fynych oddiamgylch, yn lled esmwyth arno, hyd o fewn ychydig i'w farwolaeth; rhai hyd oni syrthient yn ddisyfyd; a rhai a darewid yn ddisymmwth yn yr heol á phoen anaele—prysurent adref os gallent gyrhaedd can belled—yno eisteddent, llesmeirient, a byddent feirw. Gellid cyffelybu y farwolaeth hon i farwolaeth o gnawd-falliad cyffredin, rhai a drengent mewn llesmair, fel pe byddent yn marw mewn breuddwyd. Y rhai a ymadawent fel hyn, ni chaent ddigon o rybydd bod yr haint arnynt, nes y byddai madredd wedi llygru yr holl gorph; ac ni wyddai y meddygon eu hunain bod arnynt ddim niwaid, nes iddynt agoryd eu mynwesau, a gweled yno y nodau marwolaeth.

"Dyn heintus a gurodd wrth ddrws dinesydd cydnabyddus iddo; y gwas wrth ei ollwng i mewn a ddywedodd bod ei feistr yn yr ystafell uwch ben. Ar hyn y claf a redodd i

fynu y grisiau, ac a gafodd y teulu ar eu hwyr-bryd. Codasant mewn peth braw, gan ofyn yr achos o'i ddyfodiad; canys ychydig o rodiena segur oedd y pryd hyn. Yntau a erchodd iddynt eistedd, a bod yn esmwyth, na ddaethai efe ond i ganu yn iach iddynt. 'Beth,' ebent hwythau, 'Mr. * * * i ba le yr ydych yn myned;' '*Myned*,' ebai efe, gyda golwg o ddychryn, 'y mae yr haint arnaf, ac yr wyf yn *myned* i fro a chysgod angeu cyn yfory-nos.' Haws coelio nag adrodd y cyffro a barodd hyn yn y teulu—y merched a'r plant a ddychrynwyd agos yn feirwon—rhai yn rhedeg, dan ysgrechian, drwy un drws, a rhai trwy ddrws arall—rhai i fynu, ac eraill i waered. Gwr y tŷ yn unig a arosodd gyd â'r gwallgofus; yr hwn, gan ddeall yr achos o'r cyffro, a ddywedodd yn eithaf tawel, 'Wel! Wel! ai fel hyn y mae? Oll yn ddychrynedig o'm hachos i! Wel! mi a ddychwelaf i'm tŷ, a byddaf farw yno.' Ar hyn, disgynodd y grisiau, y gwas yn dala canwyll o hirbell i'w oleuo, gan ei fod yn ofni myned yn agos ato. Aeth y truanddyn allan, ac a gauodd y drws ar ei ol. Bu y teulu encyd o amser cyn hybu o'u cyffro, ond ni chawsant ddim afiechyd pellach na hynny, ac achos i gofio y noswaith, yn nod y plant, tra byddent byw.

"Pa beth a allai flino meddwl dyn, mewn llawn feddiant o'i synwyrau, yn fwy na gweled dyn arall yn rhedeg o'i annedd, neu o ddamwain o'i wely, allan i'r heol, bron yn noeth, gan ganu, a dawnsio, a dynwared pob ystumiau;—a phump neu chwech o ferched a phlant yn rhedeg ar ei ol, yn udo, ac yn galw arno, er mwyn D** i ddyfod adref; galwent ar bawb a welent i'w cynorthwyo i'w ddwyn yn ol, ond oll yn ofer; canys ofnai pawb roddi llaw arno, na myned yn agos ato. Parodd yr olwg hon ofid mawr i'm meddwl, gan fy mod yngolwg y cwbl drwy fy ffenestri. Deallais wedi hynny, fod y truanddyn mewn poen dirfawr, gan ddwy chwaren fawr ar ei gorph, rhy galedion i gasglu a thorri; a'r meddygon newydd ei gyffyrio â phoethlynnau, &c. y rhai oeddynt, y pryd y gwelais ef, yn llosgi ei gnawd fel haiarn gwynias. Ni chlywais pa beth a ddaeth o'r adyn truenus: ond yr wyf o'r tyb iddo barhau i grwydro, nes iddo syrthio i lawr yn farw." *

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

---

## ORIAU MARW.—Rhif. II.

### YR ESGOB RIDLEY.

Cyn esgyniad Mari waedlyd i orsedd Lloegr, aeth y Dr. Ridley, Esgob Llundain, i ymweled â'r dywysoges yn ei hanneddle yn y wlad. Diolchodd Mari iddo am ei garedigrwydd, ac ymddiddanodd âg ef am oddeutu chwarter awr. Dywedodd ei bod yn cofio ei weled yn y llys, a chrybwyllodd yn bennodol am bregeth o'i eiddo ger bron ei thad: ac yna, gan adael ei hystafell, gollyngodd ef ymaith i giniawa gyd â'i swyddogion. Ar ol ciniaw, anfonodd am dano drachefn; a dywedodd yr Esgob wrthi, ei fod wedi dyfod, nid yn unig i'r diben o ymweled â hi, ond hefyd i gynnyg pregethu o'i blaen y Sabboth canlynol, os rhyngai bodd iddi ganiatâu iddo. Ar hyn hi a amliwiodd, ac ar ol dystawrwydd am rai mynydau, dywedodd, "Mewn perthynas i'r mater hwn, fy arglwydd, rhoddwch ateb eich hunan." Ar argymmell o'r Esgob yn daer arni, dan ymesyniad o gydwybod o ddyledswydd, dywedodd wrtho o'r diwedd—y cai dryaau Eglwys y Plwyf eu hagoryd iddo ef, ond nad â'i hi, nac un o'i gweinidogion, i wrando arno. "Fy arglwyddes, yr wyf yn gobeithio

na wrthodwch air Duw." "Nid allaf fi ddywedyd beth a alwch yn air Duw: nid yr un peth yw gair Duw yn awr ag yn nyddiau fy nhad." "Yr un yw gair Duw bob amser; ond deallwyd ef yn well mewn rhai amseroedd na'r lleill." Cynneuwyd digofaint Mari yn fawr ar hyn, ac atebodd, "Ni feiddiech am eich clustiau yn amser fy nhad alw yn air Duw yr hyn a alwch felly yn awr. Am eich llyfrau newyddion, ni ddarllenais i yr un o honynt erioed, diolch i Dduw, ac ni wnaf byth chwaith." Ar ol llawer o'r cyfryw eiriau geirwon, hi a drodd ei chefn ar yr Esgob, gan ddywedyd, "Fy arglwydd, am eich hynawsedd yn dyfod i ymweled â mi, yr wyf yn diolch i chwi; ond am eich cynnygiad i bregethu o'm blaen, nid wyf yn diolch dim i chwi." Oddiwrth y cyfarfod hwn, rhag-welodd yr Esgob beth oedd i'w ddisgwyl os deuai y dywysoges byth i'r orsedd. Wedi ei hesgyniad, aeth Ridley i dalu ufudd-dod iddi, ac i ymostwng i'w gwareidd-dra. Anfonwyd ef yn union-gyrchol i'r Tŵr; ac wedi tri mis o gaethiwed, fe'i symudwyd i Rydychain, a chondemniwyd ef am *heresi*. Yn ystod y ddwy wythnos rhwng ei gondemniad a'i farwolaeth, arferodd yr Offeiriaid bob moddion yn eu gallu i'w droi at eu crefydd hwynt; ond nis gallent ei ennill, na'i siglo oddiwrth ei egwyddorion. Pan ddaethai dydd ei farwolaeth, yr oedd efe yn parhau yn dawel a digyffro; a galwai hwnw yn ddydd ei briodas. Y noson flaenorol, gwahoddodd rai o'i gyfeillion ato, a swperodd gyda hwynt yn llawen a siriol. Cynnygiodd un o honynt eistedd i fynu gyd âg ef; ond efe a wrthododd, gan ddywedyd, ei fod yn gobeithio cael cysgu, trwy gymmorth Duw, mor dawel ag erioed. Yn y boreu efe a ymwisgodd yn ei wisg esgobawl, a cherddodd i'r dienyddfa, rhwng y Maer ag un o henaduriaid y ddinas: a phan welodd Latimer yn nesâu, efe a redodd i'w gyfarfod, ac a'i cofleidiodd, gan ddywedyd, "Cymmer gysur, fy mrawd; canys fe ddofa Duw angerdd y fflamau, neu fe rydd i ni nerth i'w dioddef." Yna syrthiodd ar ei liniau, ac a gofleidiodd yr ystanc wrth ba un y rhwymid ef. Efe a Latimer a weddiasant; a dioddefasant y farwolaeth fwyaf creulon â gwroldeb rhyfeddol.

---

## ADDOLIAD TY DDUW.

Ym mhob oes o'r byd, y mae Duw yn rhoddi y blaenoriaeth i'r gwasanaeth cyhoeddus ar bob gwasanaeth crefyddol arall. Er nad yw yn diystyru y gwasanaeth teuluaidd, ac erfyniad dirgel y Cristion; etto, y mae yn "hoffi pyrth Seion yn fwy na holl breswylfeydd Jacob:" gan hyny, os yw addoliad ei dŷ cysegredig mewn cymmaint o fri a chymmeriad yn ei olwg, pan ei cyflawnir mewn modd dyladwy a derbyniol, ein gofal penaf yn ddiddadl a ddylai fod i wneuthur felly. Yn ein holl weithredoedd, tymhorol ac ysprydol, dylem fod yn barod i roddi ateb am gywirdeb ein dibenion; ac yn enwedig pan elom i dŷ Dduw, dylem roddi ateb boddhaol i'r gofyniad pwysig hyny, "Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw?" I bob un y rhydd gwasanaethwyr ffyddlon yr Arglwydd orchymyn arbenig a phennodol, am beidio esgeuluso ein cydgynnulliad, ond myned i mewn i'w byrth ef â diolch, ac i'w gynteddau â mawl, a rhoddi iddo ogoniant ei enw. Prif ddiben creadigaeth dyn yw gogoneddu Duw—rhoddi iddo y gogoniant ag sydd ddyledus i'w enw; o herwydd efe a orchymyn mewn geiriau eglur, "Moeswch i'r Arglwydd ogoniant ei enw." "Addolwch yr Arglwydd ym mhrydferthwch ei sancteiddrwydd." Gorchymynion

o gariad ydyw holl orchymynion y nef. Mae ein dedwyddwch a'n happusrwydd y'nglŷn â'n hufudd-dod iddynt. Felly gorchymyn o gariad ydyw y gorchymyn sanct-aidd hwn, "Addolwch yr Arglwydd ym mhrydferthwch ei sancteiddrwydd:" oblegid "Yr Arglwydd (medd y Salmydd) sydd yn nheml ei sancteiddrwydd." Yno y dichon y credadyn ddal cymmundeb a chymdeithas â Duw. "Ym mhob man (medd efe) lle y rhoddwyf goffadwriaeth o'm henw, y deuaf atat, ac y'th fendithiaf." Geill yr hwn sydd yn myned o iawn ddiben i eglwys Dduw ddy-wedyd, gyda theimladau nefolaidd a diolchgar, mai da oedd iddo fyned yno, o herwydd bod yr Arglwydd yn y lle, ac iddo gael rhag-brawf i'w enaid o ddedwyddwch dyfodol y nef. Tra gofalus ydyw, pa fodd yr ymddug yn y lle a neillduodd Duw, ac a "chwennychodd yn drigfa iddo ei hun." Ar ei fynediad i mewn, "Nid oes yma (medd ei enaid) onid tŷ i Dduw; a dyma borth y nefoedd." "Gwyliaf, gan hyny, ar fy nhroed, a byddaf bar-otach i wrando nag i roddi aberth ffyliaid." Angenrhaid ydyw gwylio ar yr agwedd allanol a thufewnol pan ymddangosom mewn modd neillduol ger bron ein Gwneuthur-wr goruchel, ein Cynnaliwr tirion, a'n Gwaredwr bendigedig. Dylem ymwrthod â phob meddyliau gwib-iog a chrwydredig, fel gelynion penaf yr enaid; a meddwl yn ys-tyriol fod gwynfyd neu wae tragy-wyddol yn ymddibynu ar ein hymddygiad yn nghyssegr Duw. "Gwrandewch, a bydd byw eich enaid." Nid yw ond y rhagrith o'r mwyaf ymddangos o ran y corph yn nhŷ Dduw, pan y mae yr enaid, y rhan oreu o'r dyn, yn crwydro ar ol cyfoeth, anrhydedd, a phles-erau anianol y byd. Pa wasanaeth bynnag a gynnygiom i Dduw, os na bydd yr enaid yn cyduno yn y gwaith, a brawf yn rhagrithiol ac anghymmeradwy yn y diwedd. Holl blant mabwysiadol, ac addol-wyr ffyddlon yr Arglwydd, a rodd-ant oll eu calonau iddo ef:—"Fy mab, moes i mi dy galon." Hwy a ddeuant yn gyson i'w dŷ, nid yn unig gyda pharch dyladwy, ond hefyd gyda chrediniaeth sicr yn ngallu gwrthddrych Dwyfol eu haddoliad, i roddi bywyd, iechyd, a chynnaliaeth ysprydol i'r enaid. Nid yn unig y mae yn alluog, ond hefyd yn ewyllysgar, i roddi i ni yn ol ein ffydd ynddo. Mae efe yn gyfoethog mewn gras. Paham ynte y newyna un enaid, pan y mae digon i ddiwallu ei holl eisieu o'r goludoedd anchwiliadwy o ras a drysorwyd yn y Cyfryngwr.

Megys ag y dylai pob perchen enaid holi cywirdeb ei ddibenion cyn dyfod i'r Eglwys, a gwylio ar ei ymddygiad allanol a thu-fewnol gwedi dyfod; felly, yn ddi-ammeu, y dylai fyfyrio llawer wrth ymadael, gan frysio i'w ystafell ddirgel i weddio ar ei Dad, "yr hwn a wel yn y dirgel, ac a ddichon dalu iddo yn yr amlwg," am ei fendith ar y moddion a fwynhaodd yn ei dŷ. Er i had da y gair gael ei hau, etto, oni bydd iddo gael ei guddio trwy ôg myfyrdod yn y galon, fe fydd i'r adar uffernol ei gipio ymaith cyn iddo gael amser i wreiddio i waered, a dwyn ffrwyth i fynu. Gan hyny, y Salmydd a guddiai air Duw yn ei galon, ac a fyfyriai yn ei gyfraith ddydd a nos. Awn ninnau, a gwnawn yr un modd; myfyriwn ar ein ffyrdd, a thrown ein traed i gadw deddfau y nefoedd. C——N.

---

## YSTYRIAETHAU AR HANES NABOTH.

"Dyro i mi dy winllan." 1 *Bren.* 21. 2.

Pe buasai Ahab yn gofyn y fath beth gan rywun arall, ond Israel-iad, buasai ei ofyniad yn gyfiawn a rhesymol, a buasai gwrthod yn ym-

ddangos yn ddrelaidd ac yn anfwyn. Ond Duw a welsai yn dda fod yn gywir ac yn ofalus iawn i ddosparthu ac i gadw mewn perffeithrwydd etifeddiaethau yr Iuddewon. Ni allasai dim ond eithaf angenrheidrwydd ganiatâu iddynt werthu eu tir, a hyny dros ond ychydig amser. Os nid cynt, etto, ar flwyddyn Jubili, yr oedd yn rhaid iddo gael ei adferyd i'w feddiannydd cyntaf. Yr oedd yn rhaid fod Ahab yn gwybod y drefn ddwyfol hon; etto, nid yw yn ammeu dywedyd, "Dyro i mi dy winllan." Pobl anghydwybodol ni wyddant un gyfraith arall, ond eu budd a'u pleser eu hunain. Mawredd digyfraith sydd yn casâu pob attalfa.

Ni feiddia Naboth gymmeryd ei drin fel hyn. Pa mor llawen y buasai efe yn ymadael â'i etifeddiaeth, pe buasai Duw yn ei ryddhau ef oddiwrth y pechod? Nid o gyndynrwydd, ond o ufudd-dod, y mae yr Israeliad ffyddlon hwn yn nacâu ei ddymuniad i'w benadur, gan ofni beiddio rhyngu bodd brenin daearol, a digio un nefol. Pan y mae tywysogion yn gorchymyn pethau cyfreithlon, y mae Duw yn gorchymyn trwyddynt hwy; ond pan y maent yn gorchymyn pethau anghyfreithlon, y maent yn gorchymyn yn erbyn Duw.

Pwy eill beidio gweled, a thosturio wrth gyfyngder Naboth? Ahab sydd yn gofyn yr hyn y mae Duw yn ei wahardd. Rhaid iddo syrthio allan â'i Dduw, neu ynte â'i frenin. Cydwybod sydd yn ei arwain ef yn erbyn cyfrwysdra; ac y mae 'n penderfynu peidio a phechu, er mwyn bod yn hynaws. Am fyd, ni eill roddi i fynu ei winllan. Y sawl sydd yn ddidduw eu hunain ydynt yn ystyried sanctaidd ofal ereill yn betrusder ofer a diachos. Nid allasai brenin Israel lai na gweled, mai gwaharddiad Duw yn unig oedd yn rhwystr i'w amcanion, ac nid yspryd afrywiog deiliad. Er hyny, y mae yn myned "i'w dŷ yn athrist ac yn ddigllon. Efe a orweddodd ar ei wely, ac a drodd ei wyneb ymaith, ac ni fwytâi fara." Efe a gafodd wrthwyneb ar rawnwin Naboth, yr hyn a ddinystriodd ei flys at fwyd, ac a fygythiodd ei fywyd. Pa mor ddrwg y geill calonau chwyddedig ddioddef cael eu croesi, er yn yr achos mwyaf rhesymol a chyfiawn. Yr oedd sefyllfa Ahab yn ei alw ef i amddiffyn cyfraith Duw. Ac yn awr y mae 'n barod i dori ei galon, am nad eill dori y rhan hon o gyfraith Duw.

Ni's gwn i pa un ai digllonedd, neu alar Ahab, a'i blinodd ef. Ond pa un bynag a wnaeth hyn, y mae yn sâl, yn cadw ei wely, ac yn gwrthod ei fwyd, fel pe na byddai farw o un angeu arall, ond o herwydd y bwyd-lysiau a chwennychai. O, wan nwydau, a gwangcus ddymuniadau cybydd-dod! Yr oedd Ahab yn arglwydd ac yn frenin ar holl wledydd Israel. Naboth oedd berchenog un winllan fechan. Ni eill Ahab fwynhau Israel, os Naboth a fwynha ei winllan. Heblaw Samaria, Ahab oedd ben-arglwydd mawr ar Ddamascus, a holl Syria, concwerwr un a wasanaethid gan ddeuddeg brenin ar hugain. Naboth oedd yn wladaidd ddinesydd Jezreel, a diwyd lafurwr gwinllan fechan. Pa un o honynt yw y mwyaf goludog? Nid ydym yn clywed fod Naboth yn chwennych dim o eiddo Ahab. Ahab sydd yn chwennych, ond nid heb gael ei wrthod, rhywbeth oddiwrth Naboth. "Nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo." Y mae *efe* yn oludog ag sydd yn foddlon i'r hyn sydd ganddo. Y mae *efe* yn dlawd ag sydd yn chwennych ychwaneg. "O oludog Naboth, yr hwn nid ydwyt yn gofalu am holl feddiannau helaeth Ahab, os cei di fod yn ar-

glwydd ar dy winllan dy hun! O Ahab dlawd, yr hwn nid wyt yn gofalu am dy helaeth feddiannau dy hun, tra na elli fod yn arglwydd hefyd ar winllan Naboth!"

Yr hwn a barodd y clefyd, sydd yn danfon ato y meddyg. Satan a wyddai er's talm pa fodd i ddefnyddio y cyfryw gynnorthwywyr. Jezebel a aeth at wely Ahab, ac a roddodd iddo o'i hyspryd ei hun. "Ydwyt ti yn awr yn teyrnasu ar Israel? Cyfod, bwyta fara, a llawenyched dy galon; myfi a roddaf i ti winllan Naboth y Jezreeliad." Nid oedd ar Ahab eisieu na synwyr na drygioni. Ond nid yw i'w gymharu â'r bendefiges hon o Zidon! Nid oes achos am un diafol arall i ddychymmygu drygioni, neu i'w gyflawni. Y mae yn cerydda gwan-galondid ei gwr wynebdrist, ac yn ei gynghori, na ddylai fod terfynau i'w lywodraeth, na'i ddymuniadau fel pen-llywodraethwr, ond yn unig ewyllysio. Yr oedd yn barod wedi dyfeisio cael, trwy dwyll a thrais, yr hyn a nacawyd trwy erfyniad. Nid oes dim yn eisieu, ond enw a sêl Ahab. Yna gadewch bob peth arall iddi hi. Y mae hi yn llunio llythyr, yn enw Ahab, at henuriaid Jezreel, ym mha un y mae yn gorchymyn iddynt gyhoeddi ympryd, a chyflogi dau gau-dystion yn erbyn Naboth, i'w gyhuddo ef o gabledd yn erbyn Duw, a'r brenin; ac yna i'w labyddio ef i farwolaeth.

Dyma hynod daledigaeth am winllan doreithiog. Pwy nad yw yn llidio wrth glywed Jezebel yn enwi ympryd? Y dirmygwyr gwaethaf o gyfreithiau Duw a ddefnyddiant rai deddfau ac arferion dwyfol er eu budd a'u mantais eu hunain. Hi a wyddai, fod cymmaint o weddill gras yn yr Israeliaid, fel ag y barnent gabledd yn deilwng o farwolaeth. Hi a wyddai, mai eu harfer oedd gwneuthur iawn am bechodau gwaradwyddus trwy ymddarostyngiad cyhoeddus. Hi a wyddai, fod yn rhaid cael dau o dystion i gondemnio y troseddwr. Y pethau hyn oll a wnaeth hi i gyflawni ei dibenion ei hunan. Nid oes un drygioni mor ddieflig a'r hwn a orchuddir â duwioldeb. Ffugiol ymddangosiad o sancteiddrwydd sydd yn dyblu drygioni gweithred. Ni buasai y llofruddiaeth hwn hanner mor echryslon, pe na buasai fel hyn yn cael ei guddio trwy gyflawniad crefyddol.

Heblaw duwiolder, pa deg esgus o gyfreithlondeb sy yma. Cabledd yn erbyn Duw, a brenin, ni ddichon fyned yn ddiddial. Y troseddwr a gyrchir ger bron gorseddfaingc y swyddwyr. Cyfiawnder Israel nis caniatâ i farnu drwgweithredwr yn absenol, ac heb ei glywed. Tystion sydd yn dyfod ym mlaen, ac yn cytuno mewn perthynas i'w fai. Y barnwyr yn rhwygo eu dillad, ac yn curo eu dwyfron, fel yn galaru o herwydd y trosedd, yn gystal ag o herwydd y gosp am dano. Eu hwynebpryd sydd yn dywedyd, na chawsai Naboth farw, pe na buasai ei drosedd yn haeddu hyny. Ac yn awr, fel pe dywedent, "nid yw *efe* yn ddeiliad cywir, nid yw *efe* yn wir Israeliad, yr hwn nid oes ganddo gareg i'w thaflu at Naboth."

Da y gwyddai Jezebel at bwy yr ysgrifenodd. Pe na buasai y llythyrau hyny yn cael eu danfon mewn amser o echryslon ddirywiaeth yn Israel, buasent yn derbyn yr un diysgog ommeddiad oddiwrth yr henuriaid ag a dderbyniodd Ahab oddiwrth Naboth. Dywedasent— "Na ato Duw i Senedd Jezreel ffurfio anudon, athrodi gwirionedd, a chondemnio diniweidrwydd. Gorchymyn bethau cyfiawn, nyni y'm barod i farw trwy ein hufudddod. Ond ni wnawn; ni feiddiwn drochi ein dwylaw yn ngwaed un gwirion." Ond hi a wyddai pwy a gyflogodd; pwy a lygrodd, trwy

wrend y pethi yn gydnabyddus iddynt.

Anaml y bydd ar orsedd ddrygionus eisieu offerynau i gyflawni ei hamcanion. Ni esgeulusir cyflawni un rhan o'r hyn a orchymynir yn llythyr Ahab. Ympryd a elwir; y ddinas a ymgesglir; Naboth a gyrchir, a gyhuddir, a wynebir, a fernir, ac a labyddir. Ei winllan a ddirwyir i'r goron. Ahab sydd yn cymmeryd buan a dirwystr feddiant o honi. Pa mor llonydd y mae Duw yn eistedd yn y nefoedd, ac yn edrych ar fradwriaethau dynion ysgeler, ac anfadwyr, fel pe na byddent yn perthyn iddo! Y llwyddiant sydd yn ateb i'w dymuniadau yn y fath fodd a phe bai nefoedd a daear yn eu cefnogi, ac o'u plaid. Ond na chamsyniwch, eithr arhoswch ennyd. Pan y mae Ahab yn llawenhau yn y meddiant o'i ardd newydd, ac yn addaw iddo ei hun hyfrydwch yn y chwanegiad hwn at ei feddiannau, i mewn y daw Elias, wedi ei anfon gan Dduw ar gennadwri o ddial.

Gallwn feddwl fod wynebpryd y brenin yn newid. Gyda pha lygaid brawychus, a gruddiau gleswyn, yr edrychodd efe ar y prophwyd anghroesawus hwn. Ychydig o hyfrydwch a gafodd efe oddiwrth ei ddisgwyliad, pan y mae yn cael ei luddias gan y cyfryw ymdeithydd. Er hyny, ei dafod ef sydd yn dechreu gyntaf. "A gefaist ti fi, O fy ngelyn!" Mawr yw gallu cydwybod. Pan gyfarfuasant o'r blaen, am ddim a wyddom ni, Ahab ac Elias a ymadawsent yn gyfeillion. Ond yn awr, calon Ahab a ddywedodd wrtho, ac nid oedd achos wrth un gennad arall, fod Duw a'i brophwyd wedi syrthio allan âg ef. Ei barhaus eilun-addoliaeth yn awr, ynghyd â'r weithred waedlyd hon, sydd yn dywedyd wrtho, i beidio edrych am ddim, ond am lid a gwg o'r nefoedd. Ni eill calon euog byth fod mewn heddwch. Pe na buasai Ahab yn gwybod mor ddrwg yr haeddodd ar law Duw, ni buasai yn cyfarch ei brophwyd dan yr enw gelyn. Ni buasai yn cael ei ofidio, fod Elias wedi ei gael, pe na buasai ei fyrrwch ei hun wedi ei gael yn elyn i Dduw. 'O frenin Israel, daioni lawer a wnelo dy winllan i ti. Hardd fyddau lawer, a blasus lysiau, a ddygo dy ardd newydd i ti. Boddha dy hun gyd â'th Jezebel, gan orfoleddu ar gelain ddeiliad cydwybodol. Ond bydded i mi, fel pe dywedai rhywun, yn hytrach farw gyda Naboth na llawenhau gyda thi. Ei dro ef sydd wedi myned trosodd, ond yr eiddot ti sydd i ddyfod. Y meini a orchuddiodd ac a lethodd Naboth ddiniweid, nid y'nt ddim i'w cymharu a'r rhai sydd yn dy guro di.' "A leddaist ti, ac a feddiennaist hefyd? Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Yn y fan lle y llyfodd y cŵn waed Naboth, y llyf cŵn dy waed dithau hefyd." 'Beth wyt ti yn feddwl, Elias, wrth gyhuddo Ahab o'r llofruddiaeth hwn? Yr oedd efe yn cadw ei ystafell. Jezebel a ysgrifenodd, yr henuriaid a fernasant, y bobl a labyddiasant: etto, meddyt, "A leddaist ti?"'

Da y gwyddai Ahab, na allai Jezebel roddi y winllan hon gyda dwylaw sychion; etto, y mae yn foddlon i esgusodi yr hyn oedd hi ar wneuthur. Y mae efe yn eistedd yn llonydd, tra y mae Jezebel yn gweithio yn brysur. Yn unig ei sel sydd yn myned oddi amgylch i sefio y pwreas hwn. Y mae, nid yn unig gorchymyn, ond hyd yn nod caniatâd, neu gydsyniad, yn awdurdodi dynion mewn sefyllfaoedd cyhoedd i gyflawni y cyfryw bechodau, pa rai a ddylent, ond ni wnant eu rhwystro. Duw sydd yn hoffi cospi yma, trwy ad-daledigaeth. Naboth ac Ahab a waedant, y naill yn gystal a'r llall:—Naboth trwy ferni y Jezreeliaid, Ahab trwy

aethau y Syriaid. Y cŵn a lyfasant waed y ddau. Yr hyn a wnaeth Ahab mewn creulondeb, a ddioddef mewn cyfiawnder. Yr achos a'r diwedd sydd yn gwneud y gwahaniaeth yn ddedwydd ar ochr Naboth, ond ar ochr Ahab yn druenus. Naboth sydd yn gwaedu fel merthyr, Ahab fel llofrudd. Beth bynag yw cyfiwr Ahab, Naboth sydd yn cyfnewid gwinllan ar y ddaear am deyrnas yn y nefoedd. Ni ennillodd dyn drygionus erioed, trwy erlid un diniweid: ac ni bu dyn diniweid erioed yn golledwr, trwy ddioddef oddiwrth un drygionus.

Y farn hon oedd, nid yn unig yn bersonol, ond hefyd yn etifeddiaethol:—"Mi a dynaf ymaith dy hiliogaeth di. A mi a wnaf dy dŷ di fel tŷ Jeroboam mab Nebat. Y cŵn a fwyty yr hwn a fyddo marw o'r eiddo Ahab yn y ddinas: a'r hwn a fyddo marw yn y maes a fwyty adar y nefoedd." Duw a drefnodd mewn perthynas i'w etifeddion, pa rai y gwnaeth ei bechod yn etifeddion ei felldith, yn gystal ag yn etifeddion ei gorph. Creulondeb eu tad at Naboth a'u gwnaeth hwynt, ynghyd â'u mam Jezebel, yn fwyd cŵn. Fel hyn, er y dichon Duw oedi cospi pechod, etto, yn y diwedd, ei ddial sydd yn sier o oddiwes pob drwg-weithredwr.

Y gwr a ymwerthodd i wneuthur drygioni, sydd etto yn gofidio, ac yn edifarhau am ei fargen. Ahab, er mor ddrwg oedd, ni ddifenwodd, ac ni fygythiodd y prophwyd; eithr efe a rwygodd ei ddillad, a wisgodd ac a orweddodd mewn sachliain, a ymprydiodd, ac a gerddodd yn araf. Pwy a welodd Ahab, na buasai yn ei gyfrif ef yn wir edifeiriol? Ond y mae lle i ofni, mai galar o herwydd y farn oedd hwn, ac nid edifeirwch am y pechod. Hyd yn nod y diafliaid ydynt yn udaw am gael o honynt eu poeni. Nid yw tristwch bob amser yn arwydd o ras. Ahab a rwygodd ei ddillad, ac nid ei galon. Efe a wisgodd sachliain, ond ni wisgodd edifeirwch. Y mae yn gorwedd mewn sachliain, ond y mae yn gorwedd mewn eilun-addoliaeth. Y mae yn rhodio yn araf, ond nid yw yn rhodio mewn cywirdeb. "Tristwch y byd sydd yn gweithio angeu." Ond dedwydd yw y tristwch hwnw, trwy ba un y gwneir yr enaid yn fwy fwy sanctaidd o ddydd i ddydd.

OMICRON.

---

## ORIAU YSGRYTHYROL.

### MATTHEW.

PEN. ii. 2. "*Canys gwelsom ei seren ef.*"—Tybiai yr hynafiaid fod eu gwyr mawr a'u rhyfelwyr, ar eu marwolaeth, yn cael eu trosglwyddo i ryw seren; ac o gael ymaid i hyn gwnaent hwynt yn dduwiau. Fel hyn y gwnaethpwyd i Julius Cæsar, oblegid i seren ymddangos ar ei farwolaeth, i'r hon y tybiasant iddo fyned. *Shuckford's Connection*, Llyfr ii. tu dal. 262.

PEN. ii. 11. "*Aur, a thus, a myrr.*"—Rhai o'r hynafiaid a dybient fod yr anrhegion a wnaeth y gwyr doethion, yn gyngodol, a'u bod yn addef Duwdod, breniniaeth, a dynoliaeth ein Harglwydd; oblegid yr oedd y thus yn deilwng i'w roddi iddo fel Duw, aur fel brenin, a myrr fel dyn marwol, â'r hwn y pêr-areglid ef. Sicr yw na fyddai y bobl, yn y gwledydd dwyreiniol, un amser yn dyfod i wyddfod eu tywysogion heb anrhegion, a dygent yn aml y pethau gwerthfawrocaf a fyddai yn eu gwlad. Ac os cywir yw dywediad natiariaethwyr nad oedd myrr i'w gael yn un man ond yn Arabia, a thus yn Sabea, hon sydd ran o Arabia, ac nad oedd y wlad hon yn amddifad o aur (2 *Cron.* 9. 14.) a'i bod ar yr un pryd yn hynod am

Seryddwyr. Y mae'n dra thebygol fod y doethion wedi dyfod oddi yno.

PEN. iii. 11. "*Yr hwn nid wyf deilwng i ddwyn ei esgidiau.*"—Y mae'r arferiad o dynu y sandalau oddi am draed yr addolwr dwyreiniol yn hen, ac yn angenrheidiol. Gwneir hyn hefyd pan ymwelir â'r gwyr mawrion. Tynir y sandalau wrth y drws, a gadewir hwynt yno, neu fe'u rhoddir i'r gwas i'w cario. Gwaith y gweision ydoedd hyn ym mysg yr Iuddewon; a chyfrifid y gwaith hwn mor isel fel y bernid ef yn beth rhy wael i ysgolhaig neu ddisgybl i'w wneuthur. Dywed yr Iuddewon, "Yr holl wasanaeth y mae gwas yn ei wneuthur i'w feistr y mae disgybl yn ei wneuthur i'w Athraw, ond dattod ei esgidiau." Yr oedd Ioan yn tybied yn ormod anrhydedd iddo ef gael gwneuthur i Grist, yr hyn oedd yn rhy wael i ddisgybl ei wneuthur i ŵr doeth.

PEN vi. 16. "*Yn anffurfio eu hwynebau,*" neu, yn ol yr Arabaeg, *yn eu gwneuthur yn ddu.* 'Gwnaent hyn fel yr ymddangosent felly trwy ymprydio. Yr oedd personau fel hyn yn cael eu parchu yn fawr, a thybid eu bod yn dduwiol iawn. Dywed yr Iuddewon, "Pwy bynag a wna ei wyneb yn ddu, oblegid y gyfraith, yn y byd hwn, gwna Duw i'w ddisgleirdeb ddisgleirio yn y byd a ddaw."

PEN. vii. 29. "*Canys yr oedd efe yn eu dysgu fel un ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion.*"—Pan fyddai yr ysgrifenyddion yn traddodi rhyw beth i'r bobl arferent ddywedyd, "ein Rabbiniaid, neu ein gwyr doethion, a ddywedant fel hyn." Y rhai a fyddent o ochr *Kellel* a arferent ei enw ef, a'r rhai a fyddent o ochr *Shammai* a arferent ei enw yntau. Ni ddywedent ddim o honynt eu hunain; ond yr oedd Iesu Grist yn dywedyd yn hyf, ac ni fyddai myned oddi amgylch i gynnul ei athrawiaeth trwy dystiolaeth eraill.

PEN. x. 14. "*Ysgydwch y llwch oddiwrth eich traed.*"—Y mae 'n debygol fod yn y geiriau yma ryw gyfeiriad at ddefodau yr Iuddewon, mewn perthynas i lwch y gwledydd Paganaidd. Barnent y llwch a ddeuai o wlad y Cenhedloedd yn aflan. Ni oddefent i lysiau gael eu dwyn o wlad y Cenhedloedd i wlad Israel rhag ofn i lwch ddyfod gyda hwynt.

PEN. xvi. 19. "*A rhoddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd.*"—Arferai llywodraethwyr teuluoedd mawrion, yn enwedig y teulu breninol, ddwyn agoriad, weithiau un aur, i ddynodi eu swydd; a daeth rhoddi agoriad i ddyn yn ddiareb am ei ddyrchafiad i allu mawr. Gwel *Esa.* 22. *Dat.* 3. 7. Yr oedd hyn yn dra chymmwys i lywodraethwyr dirgeledigaethau Duw. 1 *Cor.* 4. 1. Pedr yn agoryd teyrnas nefoedd, megis y cyntaf a bregethodd i'r Iuddewon a'r Cenhedloedd, a eglurhâ yr addewid hon; ond y mae yn cael ei hegluro yn fwy trwy y gallu i "rwymo ac i ollwng" a sonir am dano wedi hyny.

PEN. xx. 16. "*Canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis.*"—Nid oedd un Israeliad nad oedd yn dwyn arfau, hyd yn nod yr Offeiriaid a'r Lefiaid, 2 *Sam.* 23. 20. 1 *Bren.* 35. Cyfrifid pawb yn filwyr ag oeddynt ddigon hen i'r gwasanaeth, h. y. o ugain oed ac uchod. *Num.* 1. 3—32. Yn Rhufain hefyd, rhaid oedd i bob dinesydd, wedi iddo gyrhaedd rhyw oedran arbenig, wasanaethu ryw encyd o amser pan y gorchymynid iddo; felly nid oeddynt yn oedd milwyr, ond yn eu *dewis*, am fod ganddynt yn wastad fwy nag oedd yn angenrheidiol. Cyfeiriai ein Harglwydd at hyn pan y dywed, "*llawer sydd wedi eu galw, ond ychydig wedi eu dewis.*"

PEN. xxi. 21. "*Dywedwch wrth y mynydd hwn, coder di i fynu.*"—Yr ydoedd yn ddywediad cyffredinol

ym mysg yr Iuddewon, pan ganmolent un o'u Doctoriaid am ei ddeheudra yn esponio gofyniadau dyrys, "ei fod yn dadwreiddio mynyddoedd." Mewn cyfeiriad at y ddiareb hon, Crist a ddywedai wrth ei ddisgyblion, "pe byddai ganddynt ffydd, gallent ddywedyd wrth fynydd, coder di i fynu, a bwrier di i'r môr;" h. y. er mwyn sicrhâu y grefydd Gristionogol, gallent wneuthur y pethau mwyaf anhawdd.

PEN. xxiv. 17. "*Y neb a fyddo ar ben y tŷ, na ddisgyned i gymmeryd dim o'i dŷ.*"—Y mae 'r holl dai yn y dwyrain â'u penau yn wastad, ac yn taraw y naill wrth y llall; o herwydd hyn gallai un yn hawdd fyned oddiar y naill dŷ i'r llall, nes y deuai at furiau y ddinas, a dianc i'r wlad, heb ddyfod i lawr i'w dŷ ei hun.

PEN. xxv. 4. "*A'r rhai call a gymmerasant olew yn eu llestri gyd â'u lampau.*"—Dywed *Chardin* fod yn arferol yn yr India o gludo llestraid o olew yn un llaw, a lamp yn y llaw arall yn llawn o ddarnau o liain ac olew. Ni byddant bron un amser yn arfer canwyllau.

PEN. xxv. 33. "*Ac a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy.*"—Y mae'n debygol fod hyn yn cyfeirio at arferiad y Sanhedrim, y rhai a osodent ar y llaw ddehau y sawl a ollyngid yn rhydd, ac ar yr aswy y sawl a gondemnid.

PEN. xxvii. 39. "*Efe a syrthiodd ar ei wyneb gan weddio.*"—Byddai hyn weithiau yn arferiad ymmhlith yr Iuddewon wrth weddio, pan fyddent mewn rhyw amgylchiadau neillduol. Desgrifiai un o'u hysgrifenwyr hwynt fel hyn, "Pan syrthiant ar eu hwynebau, ni fyddant yn estyn allan eu dwylaw a'u traed, ond byddant yn troi ar eu hochrau, a dywedant, O fy Nhad! Abba, dad."

SIGMA.

## ARGRAFFIAD NEWYDD O'R BIBL CYMRAEG.

*I gael ei gyhoeddi gan y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol.*

ER llawenydd nid bychan, clywais fod y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol yn bwriadu cyhoeddi Argraffiad newydd o'r Bibl i'r Cymry; a'i bod hefyd yn ewyllysio i'r Argraffiad hwn fod mor berffaith ag sy ddichonadwy. Mawr yw rhwymedigaethau ein cenedl i'r Gymdeithas glodwiw hon, a meddyliwyf yr ychwanegir y rhwymedigaeth hwn yn dra mawr trwy gyflawniad y gorchwyl y mae yn awr ar gymmeryd mewn llaw.

Y modd goreu i ddangos ein diolchgarwch am hyn, a chymmwynasau ereill y Gymdeithas, ydyw iawn ddefnyddio ei helusoni, a chydymdrechu i wneuthur yr Argraffiadau o'r Ysgrythyr a gyhoeddir ganddi mor berffaith ag y bydd i amgylchiadau ganiatâu. A chan nad yw yr Esgobion hyny, i'r rhai y perthyn darparu y Gwaith i'r Wasg, yn alluog i wneuthur hyny eu hunain, gobeithir y detholant ddysgedigion cymmwys i'r gorchwyl: a chan nad all y dysgedigion enwocaf gyd â'r gofal manylaf wneuthur gwaith perffaith, mwy na'r LXX. yn y dyddiau gynt, na cyfieithwyr y Bibl i'r Iaith Gymraeg yn ddiweddarach yn nyddiau ein henwog Forgan, Davies, &c. meddyliwyf mai buddiol fyddai i bawb gydweithredu, ac mai dyledswydd pawb sydd yn caru y Bibl, a llesâd tymhorol a thragywyddol eu cydgenedl, ydyw cydweithredu a gwneuthur pob un ei ran yn y gorchwyl pwysig hwn.

I'r diben, gan hyny, o ddwyn holl ddysgedigion ein gwlad i wneuthur hyn, rhoddaf at eu hystyriaeth y cynnygiad canlynol; Penderfyned y rhai sydd i barotôi y Gwaith, ac i adolygu y Wasg, ar yr Argraffiad y maent yn bwriadu

ei gymmeryd fel sylfaen neu gynllun i'r Argraffiad newydd; ac hysbysant trwy ddalenau y Gwyliedydd, *yn ol pa drefn y maent yn bwriadu cyflawni eu gorchwyl, yn ol pa ddull o argraff'u, a pha ddiwygiadau yn yr iaith, y cyfieithiad, y nodau cyfeiriol, &c. y maent yn teimlo eu hunain yn rhydd i'w gwneuthur.* Galwant hefyd ar eu cydgenedl i ddanfon iddynt eu sylwadau a'u diwygiadau trwy ddalenau neu Swyddfa y Gwyliedydd. Trwy hyn gallant ddiwygio yr amryw feiau hyny ag sy sicr o ddiango sylw rhyw nifer bychan o lygaid, er craffed y b'ont. I ddangos yr angenrheidrwydd am hyn, cymmerer yr engreifftiau canlynol fel siamplau: Yn Psalm 7. 5. "Gosoded fy *nigofaint* yn y llwch," yn lle fy *ngogoniant*. "*Ail* Epistol at y Colossiaid," mewn rhai argraffiadau. Yn argraffiad 1809, yn Malachi 3. 18. "Yna y dychwelwch ac y *gwnewch* ragor," &c. yn lle ac y *gwelwch* ragor. Yn Zeph. 2. 3. nodau cyfeiriol, *Ioan* 3. 9. yn lle *Jonah* 3. 9. Yn Zech. 9. 4. *allan*, yn lle *all-an*. Yn Zech. 10. 2. *rhod-dasant*, yn lle *rhodd-asant*. Yn Zech. 10. 9. *byd-dant*, yn lle *bydd-ant*, &c. &c.

Dalier sylw, fod y rhan fwyaf o'r beiau uchod i'w cael yn unig mewn hen argraffiadau, a'u bod wedi eu diwygio; ond etto y mae rhai i'w gweled hyd heddyw. Y mae y beiau olaf, er nad ydynt ond brychau bychain, etto i'w cael yn fynych yn nalenau yr argraffiad 8plyg Rhydychain, 1829.

Ond diben y llythyr hwn yw tynu sylw dysgedigion ein gwlad at y pethau hyn. Gwn nad oes dim perffaith yma dan haul, a bod brychau hyd yn nod yn yr haul ei hun; etto "anghofiwn y pethau sydd o'r tu cefn, cyrchwn at y nod" o berffeithrwydd. A chan ein bod yn byw mewn oes pan y mae dysg a gwybodaeth a chelfyddyd yn carlamu ar lawn frys tua pherffeithrwydd, a bod yr argraffiadau cyfargraff neu ystrydeb yn rhoddi gwell cyfleusderau i'w gwneuthur yn berffaith na'r hen ffordd yn nyddiau ein tadau, galwaf ar fy nghydwladwyr i wneuthur pawb ei oreu i gael yr Argraffiad nesaf o'r Bibl mor berffaith ag sydd ganiatäol gan amherffeithrwydd dynol, ac yna bydd yr Argraffiadau Cymreig o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, deddflyfr ein hiachawdwriaeth, y rhai a ddilynant yn olynol, yn haeddu mewn gwirionedd y clod a roddir iddynt.

C.

*O. Y.* Onid buddiol fyddai cael cymmanfa o ddysgedigion y dywysogaeth i gymmeryd dan eu dwys ystyriaeth, pa beth a ddylai gael ei wneuthur mewn perthynas i amrai fanau o'r Bibl, a'r *Llyfr Gweddi Gyffredin*, lle mae'r cyfieithiad yn anghywir, yn feius, neu yn dywyll, &c. Gwel "*amrafael* fanau," a'r Colect am y pedwerydd Sul yn Adfent, "trwy *ddiwygiad* dy Fab," &c.

Wedi ysgrifenu y llythyr uchod, darllenais gyda llawer o fudd ac hyfrydwch sylwadau rhagorol y Parch. Walter Davies ar y Testament Newydd, Rhydychain, 1828, a llythyr Tegid at Ysgrifenydd Cymdeithas y Cymmrodorion yn *Llundain* yn Rhif. 9 o'r *Cambrian Quarterly Magazine*. Tybiwn mai buddiol fyddai argraffu yn y Gwyliedydd y cynllun a roddir yno, a dull yr orgraff, a gynnygir i'w arferu yn yr Argraffiad newydd o'r Bibl Sanctaidd.

---

AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

Mr. Gwyliedydd,—Wrth olrhain ym mhlith rhyw sothach yn fy llyfrgell, digwyddodd i ddarn o ryw hen lyfryn syrthio i'm dwylaw. Ni wn i pwy ydyw ei awdwr, am fod ei nod-ddalen yn ddiffygiol; ond y mae yn yr hyn sydd yn ol o hono lawer o bethau tra buddiol ac haeddiannol i'w cofio: ac os bernwch hwy yn deilwng i ymddangos yn y Gwyliedydd, mi a anfonaf i chwi ryw damaid o hono bob mis. Ond os ydynt eisoes yn llawn hysbys i'r cyffredin, fe allai mai gwell

fyddai, er llwyddiant eich Cylchgrawn, eu hattal. Ym mhlith pethau buddiol ereill ar wyneb-llwyd fy hen gyfaill, y mae yr hyn a ganlyn:—

## PYNGCIAU BYRION

*I ni holi ein hunain yn eu cylch, ynghylch Trosseddiadau ein Dyledswydd tu ag at Dduw.*

FFYDD.—Bod heb gredu fod Duw. Heb gredu i'w Air ef. Heb gredu yn fucheddol, megys i fyw yn ol ein credíniaeth.

GOBAITH.—Anobeithio yn nhrugaredd Duw, cyn belled ag i esgeuluso dyledswydd. Rhyfygu arni yn fyrbwyll, trwy b'um yn myned ym mlaen mewn pechodau rhyfygus.

CARIAD.—Bod heb garu Duw am ei oddidawgrwydd ei hun. Heb ei garu ef am ei ddaioni i ni. Heb ymegnio ei foddloni ef. Heb chwennychu nesâu ato yn ei ordinhadau. Heb hiraethu am ei fwynhau ef yn y nef.

OFN.—Heb ofni Duw megys ag i ymgadw rhag ei annog ef i ddigofaint. Ofni dyn uwch ei law ef, trwy wneuthur pechod i ochelyd rhyw drueni oddi allan.

CYNAN.

---

## DARLITH AR AWYROLAETH.

(*Parhad o du dalen 81.*)

YN nawfed, Wedi dangos fod pwys mewn Awyr, deuaf bellach i brofi fod y pwys hwnw yn effeithio fel gwasgiad cydradd bob ffordd. I'r diben yma, wele ddwy Hanner-pel gafnawg o bres, A a B; eu hymylau yn cau y naill am y llall fel ymylau blwch: un â dolen, C, ar ei chefn i afael ynddi, y llall â phiben, D, yn myned o'i gwaelod, a throellen, r, ar ei genau, a thwsel, s, yn ei gwddf. Rhoddwn y naill wrth y llall fel blwch, ynghyd âg ychydig saim rhyngddynt er cadw yr Awyr rhag rhedeg i mewn, a throellwn y genau wrth biben y sugnai. Yna sugnwn yr Awyr o'u mewn, a gwelwch fod pwys yr Awyr oddi uchod yn gwasgu y naill wrth y llall, fel nas gallwn, er tynu yn y ddolen sydd ar gefn




yr uchaf, eu gwahanu oddiwrth eu gilydd. Yn nesaf, caewn y twsel sydd yn ngwddf y biben, dattodwn hi oddiwrth biben y sugnai, a rhoddwn ddolen arall, E, wrth y droellen sydd ar ei genau. Yn awr, bydded i'r ddau gryfaf o honoch gymmeryd gafael un ym mhob dolen, ac nis gellwch wahanu y ddwy hanner-pel oddiwrth eu gilydd. Am hyny, gwelwch fod pwys yr Awyr, yn gystal a phwys dwfr, yn gwasgu yn ochrog. A phe crogem un o'r dolenau wrth fach, cynnaliai yr hanner-pel uchaf gan y bach, ac er hyny ni syrthiai yr isaf oddi wrthi hi, heb gylymu wrth y ddolen isaf ynghylch pymtheg pwys am bob modfedd ysgwar o'r arwynebiad a gynnwysir o fewn eu hymylau: gwelwch gan hyny fod pwys yr Awyr yn effeithio fel gwasgiad cydradd bob ffordd. Ond fel nas meddylioch mai glyniad yr ymylau sydd yn cadw y naill wrth y llall, tynwn y ddolen sydd ar fon y biben, ac agorwn y twsel yn ei gwddf, modd y rhedo yr Awyr i'r gwegni sydd rhwng y ddwy hanner-pel, a gwelwch eu bod yn gwahanu oddiwrth eu gilydd gyda'r egniad lleiaf.

Yn ddegfed, Er dangos ym mhellach yr un peth, cymmeraf wydraid o ddwfr, a gosodaf ddarn o bapyr ar ei wyneb, gan osod fy llaw ar y papyr i'w ddal yn ddiddos wrth ymylau y gwydryn, yr hwn a droaf â'i wyneb yn isaf. Yna gwelwch y gallaf dynu ymaith fy llaw oddi tano, ac y saif y papyr fel gwaelod i gynnal y dwfr sydd yn y gwydryn. Yr achos yw, fod gwasgiad yr Awyr ar y papyr oddi tanodd yn gorchfygu effaith attyniad y ddaear i beri i'r dwfr syrthio tu ag i waered.

Yn unfed-ar-ddeg, Er profi etto yr un peth, cymmerwn ddarn crwn o ledr, a llinyn wrth ganol un tu iddo, cyffelyb i'r tegan a elwir sugnydd (*sucker*). Os gwlychwn y lledr i'w wneuthur yn ystwyth, a'i osod ar lawr, neu gareg wastad, gan gadw ei ymylau i lawr, a thynu yn raddol yn y llinyn oddi arnodd, fel y cyfyd ei ganol yn gyntaf, gwelwn fod pwys yr Awyr oddi uchod, wedi creu gwegni heb Awyr dano, yn ei ddal, fel y Wagell ar fwrdd y Sugnai, modd nas gellir yn hawdd ei dynu ymaith. Pe gosodem ef ar bared, a gallu cadw yr awyr oddi tano, gwelem fod y gwasgiad ochrog yn effeithio arno yr un modd. A phe gosodem ef ar nen ystafell, a chadw yr Awyr rhag rhedeg dano, profem fod gwasgiad yr Awyr yn ei gydio yno hefyd.

Dywedir mai yn y modd yma y mae pryfed yn gallu cerdded ar hyd ochrau parwydydd, a drychau llyfnion, ac ar hyd nenau ystafelloedd, trwy greu gwegni dan ganol eu traed, modd y byddo yr Awyr yn effeithio fel gwasgiad arnynt. Er mai

degan gwael a gymmerasom, nis gallwn sylwi yn ddifrifol ar yr effeithiau a eglura heb deimlo rhyw syndod am ddoethineb ein Creawdwr, a thueddiad i waeddi gyd â'r Psalmydd, "Rhyfedd yw dy weithredoedd!"

Yn ddeuddegfed, Ymdrechaf brofi fod yr Awyr yn sylwedd twythol (*elastic*) wrth yr hyn yr wyf yn meddwl sylwedd gwasgadwy ac ymchwyddawl. Er profi y gellir ei wasgu, tybiwn fod tafod yr Esgid yn y Sugnai a eglurais yn cael ei gau, a bod y Rhoden yn cael ei gwthio i lawr; gwyddom oll, trwy y teganau a arferasom yn ein hieuengctid, na attaliai yr Awyr i'r Esgid ostwng, ond y byddai yn ofynol chwanegu y nerth pan isaf yr elai; ac nas gellid, er ei chwanegu i'r eithaf, ei gwthio hyd y gwaelod. Ac os symudid yr egni oddiar yr Esgid, gwyddom hefyd y gwnai ymchwyddiant yr Awyr dani ei chodi yn ol i'r un uchder ag o'r blaen, oddieithr fod ei thynder yn y Sugnai yn rhwystro iddo. Ond er amlygu hyn ym mhellach, cymmerwn chwysigen lipprynaidd, â'r mesur lleiaf o Awyr ynddi, a dodwn hi o dan y Wagell, gan sugno ymaith yr Awyr o'i hamgylch. Yna gwelwn fod yr Awyr o'i mewn yn ymledaenu, ac yn ei chwyddo i'r graddau eithaf a all ei gynnwys.

Gwelwn, oddiwrth y prawf hwn, nad yw yr Awyr dan y Wagell, wrth gael ei sugno o honi o radd i radd, yn gostwng ei wyneb fel dwfr wrth gael ei sugno o lestr; ond yn hytrach fod yr hyn sydd weddill yn parhau i'w llenwi, ond yn lleihau ei ddwysder. Os ystyriwn hefyd fod pwys yr Awyrgylch oddi uchod yn chwanegu o gaenen i gaenen, a bod yr Awyr yn sylwedd gwasgadwy, gwelwn ei fod, o angenrheidrwydd, yn chwanegu ei ddwysder o'r naill gaenen i'r llall, oddi fynu hyd i waered; a bod ei dwythiant ym mhob caenen yn gyfartal â phwys yr hyn sydd yn gorphwys arni. Ac oddiwrth hyn, deallwn yr achos fod cymylau ac awyrenau, a fyddont yn cyfodi o herwydd eu bod yn ysgafnach na llonaid eu lle o'r Awyr dwys sydd yn agos i wyneb y ddaear, yn gorphwys pan gyrhaeddont y rhan o'r Awyrgylch sydd yn gydbwys â hwynt. Os ystyriwn ym mhellach, fod gwasgiad yr Awyrgylch oddi uchod, fel y profwyd eisoes, ynghylch pymtheg pwys ar bob modfedd ysgwâr o'r Belen ddaearol, amlwg yw y rhaid fod yr un gwasgiad ar y gaenen isaf o'r Awyr; ac, o ganlyniad, AR WYNEB POB LLESTR A GYFRIFWN YN WAG: ac, er rhwystro i'r fath wasgiad gynnwyso lle yr Awyr a fyddo yn y llestr, rhaid fod ei egni twythol yn gyfartal â'r gwasgiad sydd arno. Er dangos hyn, am ei fod, y mae yn debyg, yn anghredadwy gan lawer o honoch,

Yn drydydd-ar ddeg, Cymmerwn yr un chwysigen ag o'r blaen, a dodwn hi dan y Wagell, a degau o bwysau arni. Yna sugnwn yr Awyr odditan y Wagell o amgylch y chwysigen, fel na byddo yr Awyrgylch yn pwyso arni, a gwelwch fod nerth twythol yr Awyr o'i mewn yn codi yr holl bwysau a osodasom arni!

Ar ddiwedd y prawf hwn, heb wneuthur prawf gwahanol o hono, erfyniaf eich sylw ar offeryn a ddengys y modd y mae y Lleingig (*Diaphragm*) a'r Ysgyfaint yn gweithio tra byddo dyn yn anadlu.*

Heb fanylu i gywreinrwydd casgliadau rhifyddol, ymdrechaf hefyd roddi i chwi ryw amcan am y modd y mae pwysau yr Awyr yn galluogi dyn i fesur uchder mynyddoedd, ac awyrenau, pan fyddont yn nofio yn yr Awyrgylch. I'r diben yma, ail adroddaf fod arian-byw ynghylch un mil-ar-ddeg trymach nag Awyr yn agos i wyneb y ddaear, ac am hyny amlwg yw fod colofn fodfedd o hyd o'r naill yn gydbwys â cholofn o'r un fyrrder o'r llall ynghylch un mil-ar-ddeg o fodfeddau o hyd; ac, o ganlyniad, fod gostyngiad yr arian-byw mewn Hin-nodydd yn gyfartal â phwys colofn o Awyr o'r un hyd ag yw uchder mynydd, neu Awyren o wyneb y ddaear. Ond o herwydd fod yr Awyr yn fwy fwy annwys po uchaf yr elom, rhaid fod yr uchder yn hytrach yn fwy nag un mil-ar-ddeg o fodfeddau am bob modfedd y mae yr arian-byw yn ostwng yn yr Hin-nodydd.

Yn bedwerydd-ar-ddeg, Er dangos ym mhellach dwythiant yr Awyr, cymmerwn ŵy, gan dori twll, o faintioli pysen, yn ei ben meinaf, a dodwn ef dan Wagell, gan sugno yr Awyr o'i amgylch, yna gwelwn fod cynnwysiad yr ŵy yn cael ei wthio allan o'r plisgyn gan dwythiant, neu nerth ymchwyddawl yr ychydig Awyr sydd yn y pen arall iddo. Er profi, yn ol eich cyfleusdra, fod Awyr yn y pen fyrraf i ŵy, torwch dwll ynddo, a chwi a welwch wegni rhwng y plisgyn a'r croen; neu, os berwch ŵy yn galed, a thynu ymaith y plisgyn, gwelwch bant ar y croen lle yr oedd yr Awyr yn gynnwysedig; ac er profi nad effaith yr hyn a feddylir wrth y gair sugniad sydd yn peri i gynnwysiad yr ŵy gael ei fwrw allan modd y gwelsoch, cymmeraf ŵy arall, gan dori twll yn y pen fyrraf, yna gwelwch na ddaw un diferyn o'i sylwedd ymaith er sugno yr Awyr oddi am dano.

Am dwythiant yr Awyr, sylwaf fod gwres yn ei chwanegu, yr hyn a ellwch

---

* Nid hawdd yw rhoddi eglurhâd o hyn heb weled yr offeryn yn gweithio.

brofi, trwy sylwi ar chwyddiant chwysigen âg Awyr ynddi, pan gosodir hi yn agos i dân; ac am fod gwres yn peri i'r Awyr ymehwyddo, rhaid ei fod hefyd yn ei wneuthur yn fwy annwys, ac, o ganlyniad, yn ysgafnach. A dyma un o brif achosion fod pwys yr Awyrgylch yn cyfnewid, fel y sylwyd eisoes yn ein pedwerydd prawf, a phan y byddo rhan o'r Awyr yn cael ei gynhesu gan yr haul, gan lifdân wybrenol, neu lifdân daearol, esgyn y rhan hono i eithafoedd yr Awyrgylch, a rheda yr hyn sydd yn ddwysach i lenwi ei le, nes byddo cydbwysiad ar bob caenen yn cael ei adferyd: a dyma y moddion a welodd ein Creawdwr yn ddoeth eu defnyddio i fod yn achosion aweloedd, gwyntoedd, &c. ac i gymmysgu yr Elfen Awyraidd yn yr un modd ag y mae gwyntoedd, ynghyd â llanw a thrai, yn cymmysgu y dyfroedd.

Yn bymthegfed, Gosodwn ganwyll dân y Wagell, yr hon a gau yr Awyr allanol rhag rhedeg i mewn. Yna gwelwch fod fflam y ganwyll yn gwahanu o radd i radd, ac yn diffodd yn hollol mewn ychydig amser.

Oddiwrth y prawf hwn, gwelwn fod, nid yn unig Awyr, ond Awyr cri (*fresh air*) yn angenrheidiol er cadw tân i gynneu; a phe na byddai y prawf yn greulon, gallwn ddangos yr un modd fod Awyr cri yn angenrheidiol er cadw bywyd mewn creaduriaid anadlawl, ac, o ganlyniad, fod yr Awyr sydd yn cael ei gymmeryd i'r ysgyfaint yn colli ei rinwedd i gynnal bywyd cyn y caffo ei arllwys yn ol, ac yn anghymmwys i'w anadlu drachefn. Dywedir fod dyn yn difa rhinwedd bywiogawl galwyn o Awyr bob mynyd: ar y prawf hwn nis gallaf lai na galw eich sylw ar drefniad ein Creawdwr, er ein porthi â'r Awyr angenrheidiol er cynnal ein bywyd.

Gwyddoch oll fod gwres yn ein cyrph, ac mi a sylwais eisoes, fod gwres yn chwanegu twythiant yr Awyr, a thrwy hyny yn ei wneuthur yn ysgafnach, ac felly mae yr Awyr ysgafn yn esgyn i fynu i'r Awyrgylch, lle yr adnewydda ei rinwedd drachefn, gan roddi lle i'r hyn sydd ddwysach i ni anadlu eilwaith. Er profi hyn, yn ol eich cyfleusdra eich hunain, dewiswch ystafell glud, a gwresogwch hi â thân, yna agorwch y drws ynghylch modfedd oddiwrth yr ystlysbost, dodwch un ganwyll wrth y pen isaf, ac un arall wrth y pen uchaf, a chwi a gewch weled trwy rediad fflamau y canwyllau, fod yr Awyr cynes yn rhedeg allan trwy y pen uchaf, a'r Awyr oer yn rhedeg i mewn trwy y pen isaf. Trwy foddion cyffelyb, gallem brofi fod yr Awyr cynes yn rhedeg allan o dŷ addoliad trwy y ffenestri uchaf, a'r Awyr oer yn rhedeg i mewn trwy y drysau a'r ffenestri isaf.

Yn unfed-ar-bymtheg, Er dangos yn mhellach dwythiant yr Awyr, wele Gostrelan a chap pres, D, am ei genau, a phiben, D A, yn myned trwyddo agôs i waelod y Gostrelan. Gosodwn hi mewn llestraid o ddwfr, modd y rhedo iddi, nes y byddo tua hanner llawn; a dodwn hi dan y Wagell, gan sugno yr Awyr o amgylch y Gostrelan, ond nis gallwn sugno ymaith yr Awyr sydd ar wyneb y dwfr o'i mewn, am fod genau y biben, A, yn is na'r gwyneb, B C. Yma gwelwch fod twythiant yr Awyr, D B C, sydd ar wyneb y dwfr, ac heb Awyr ar flaen y biben i ateb iddo, yn peri i'r dwfr bistillio i fynu.




Yn eilfed-ar-bymtheg, Er dangos etto yr un peth, cymmerwn botelen ysgwâr o wydr teneu, heb ddim ynddi ond Awyr yn ei gyflwr cyffredin, a gosodwn dopyn yn ei genau, gan ei gwyro yn ddiogel, fel na redo yr Awyr o honi. Yna dodwn hi dan y Wagell, gan sugno yr Awyr o'i hamgylch, a chwi a welwch fod twythiant yr Awyr o'i mewn, heb Awyr oddi allan i wasgu arni, yn ei malurio yn chwilfriw.

Yn ddeunawfed, Cymmerwn botelen gyffelyb i'r hon a ddefnyddiwyd yn y prawf diweddaf, â chap am ei genau, a chaffell yn y cap er rhwystro i'r Awyr ddychwelyd iddi, a dodwn hithau dan y Wagell, gan sugno ymaith yr Awyr megys o'r blaen, yna gollyngwn yr Awyr i'r Wagell (ond ni's gall redeg yn ol i'r botelen, o herwydd fod y gaffell wedi cau) a chwi a welwch fod gwasgiad yr Awyr oddi allan ar ystlysoedd y botelen, ac heb Awyr oddi mewn i ateb iddo, yn ei malurio yn chwilfriw.

Os meddyliwn fod ar ein cyrph, fel y profwyd eisoes, ynghylch pymtheg pwys o wasgiad am bob modfedd ysgwâr o groen sydd am danom, gwelwn y llethai y fath wasgiad ein cyrph yr un modd ag y gwnaeth y botelen ger eich gwydd, oni bai fod yr Awyr sydd yn llenwi pob gwegni o'n mewn yn gyfartal iddo. A phe symudid ymaith yr Awyr sydd yn ein hamgylchu, heb dynu allan yr hyn sydd ynom, rhwygai yr Awyr tufewnol ein cyrph yn ddrylliau, yr un modd ag y gwnaeth y botelen yn y prawf blaenorol.

Nis gwn am un prawf gwell i ddangos cyfartaledd gwasgiad yr Awyr allanol, a thwythiant yr Awyr tufewnol, na baril o

gwrw a thwsel ynddo. Os agorwn y twsel, chwi a wyddoch oll trwy brofiad na reda y ddiod allan, heb agor twll oddi uchod i ollwng Awyr i mewn; ac wedi gollwng yr Awyr i mewn, a rhoddi topyn yn y twll drachefn, na reda y ddiod yn hwy nag y byddo pwys y ddiod, a thwythiant yr Awyr sydd ar ei wyneb, ynghyd yn gyfartal â gwasgiad yr Awyr allanol ar enau y twsel.

Yn bedwerydd-ar-bymtheg, Er dangos mewn rhan effaith twythiant yr Awyr sydd yn ngysodiad ein cyrph, wele Fron Sugnai *(Breast Pump.)* Gosoded un o honoch ei enau ar ei foch, a sugned yr Awyr oddiar y rhan o'i foch sydd dan y Peiriant, a chwi a welwch fod ei gnawd, mewn ymddangosiad, yn chwyddo fel chwysigen, gan dwythiant yr Awyr sydd dan y croen, ac heb wasgiad yr Awyr allanol i gyferbynu iddo.

Yn ugeinfed, Er dangos ym mhellach yr un peth, cymmeraf wydryn gwin, a gosodaf ychydig bapur i losgi ynddo, yr hyn, trwy chwanegu twythiant yr Awyr o'i fewn, a'i gwna yn ysgafnach na'r hyn sydd oddi allan: yna gosodaf gledr fy llaw yn wastad ar wyneb y gwydryn tra y mae y papur yn cynneu, a chwi a welwch fod gwasgiad yr Awyr allanol, wedi colli *ond rhan o'r* Awyr o fewn y gwydryn, yn ei ddal yn rhwym wrth fy llaw; a bod twythiant yr Awyr sydd dan groen fy llaw, heb wasgiad cyfartal gan yr Awyr o fewn y gwydryn, yn codi y cnawd fel chwysigen.

Oddiwrth y profion diweddaf, gwelwn yn amlwg nad yw plentyn, neu gyw anifail, wrth sugno ei fam, yn gwneuthur dim mwy na symud yr Awyr oddiar flaen y deth, modd y gallo twythiant yr Awyr tufewnol wthio y llaeth allan.

Yn unfed-ar-hugain, Er profi y'mhellach yr un peth, wele Wagell fechan ben agored, a'i genau nemawr lletach na gwydryn gwin. Gosoded un o honoch ei law fel cauad arni, a sugnwn yr Awyr oddi tan ei law. Yna gwelwch fod twythiant yr Awyr o fewn ei law yn peri i'r cnawd godi, megys yn y profion diweddaf, oddieithr tynder y croen: a bod pwys yr Awyr oddi arnodd, heb Awyr odditan ei law i'w chynnal, yn ei ddal yn garcharor fel nas gall ddiangc, heb ddwyn y Peiriant a'r cyfan gyd âg ef. Ond trwy ollwng yr Awyr i'r Wagell yn ol, gwelwch fod y carcharor yn cael ei ryddhau; ond nid wyf yn barnu yr anghofia efe yn ei oes y gwasgiad a gafodd, nac ychwaith yr haera efe mwyach nad oes pwysau mewn Awyr.

Wedi gollwng y carcharor yma yn rhydd, gwelaf fod amser yn gofyn i mi eich rhyddhau chwithau, heb grynhoi yr hyn a ddywedais, nac ychwaith ddangos mai yr Awyr yw cludydd swn; sail ein lleisiau; a'r achos o'r wawr sydd yn gwahanu rhwng y tywyllwch a'r goleuni foreu a hwyr. Ac hefyd, mai yr Awyr sydd yn dwyn ymaith y mwg o'n hystafelloedd, a phob arogl gwenwynaidd o gyrhaedd ein ffroenau; yn sail ein holl Beiriannau sugnyddawl, ac yn brif weithredydd yn llawer o'n gweithfaoedd; yn troi ein melinau; yn trosglwyddo ein llongau dros y cefnfor; yn ymborth i lysiau a choedydd y maes; cynnalydd ehediaid yr wybren, a chludydd y cymylau y rhai ydynt yn dyfrhau tyfolion a bywiolion y byd; yn adferydd y gwaed o fewn ein gwythenau; a defnydd yr anadl sydd yn ein ffroenau.

---

## SYLWAD AR LYTHYR IARDDUR,

*Rhif. 94, tu dal. 51.*

Mr. Gwyliedydd—Gwelais yn Rhifyn am fis Chwefror lythyr Iarddur ar "*Anwybodaeth y Cymry o'r gyfraith.*" Nis gwn i gan bwy yr oedd fy ngwladwr hael yn disgwyl y wybodaeth y mae yn ei gofyn, ai gan y Cyfreithwyr anghenus, neu genym ni (fel y'n gelwir) y Twrneiaid rheibus. Ond odid fod Iarddur yn anwybodus o'r rhagoriaeth sy rhwng y naill swydd a'r llall. Nid ydym ni y Twrneiaid, fel y mae 'r gair Lladin *(Attornatus)* yn arwyddocâu, ond rhai a alwyd i roddi pethau mewn trefn i'r Cyfreithwyr i roddi yr achos ger bron yr Ynad a'r Cwest yn y Dadleudy. Tebygol genyf yn awr mai at y Cyfreithiwr yr ewch tan wenu am air o gyngor. Ond gwrandewch yn gyntaf ar hyn o chwedl: Gwr ag oedd ganddo gyfaill yn enwog a dysgedig yn y gyfraith, a ofynodd iddo, ar ryw hamdden segur, ei farn ar ryw bwngc o'r gyfraith. Yn fuan ar ol hyn digwyddodd i'r ddau ymgyfarfod â'u gilydd drachefn, a dywedodd y gwr wrth amryw ag oedd yn bresenol, fel y dywedasai ei gyfaill y Cyfreithiwr wrtho; ar hyn atebodd y Cyfreithiwr, mai nid felly yr oedd y gyfraith. "Wfft fawr," meddai 'r gwr; onid chwi eich hunan, fy

nghyfaill dysgedig, ai dywedasoch i mi; O, cyfiawnder, cofiwch." Troai y Cyfreithiwr ar ei sawdl, a than chwerthin a ofynodd, "Pa faint a dal'soch i mi am y cyngor yna?" "Ni thelais i ddim i chwi." "Cofiwch chwithau, ynte," ebe y Cyfreithiwr, "Ni thal y fath gyngor ddim." Ofer i chwi, IARDDUR Yswain, yr hwn sydd ganddoch, yn ol eich hanes eich hunan, dai, a'r hyn sydd well na'r cwbl, i ni y Twrneiaid, Denantiaid drwg, ddisgwyl genym ni, mwy na'r Pab na'r Physygwr, "ddim am ddim." Braidd na feddyliwn eich bod mewn cyngrair â'r Cangellwr Arglwydd Brougham yn ein herbyn ni y Twrneiaid. Dywedodd ei Arglwyddiaeth, ychydig cyn ei ddyrchafu i dŷ 'r Arglwyddi, bethau drwg a chwerw am danom; y fath bethau, boent wir, boent gelwydd, na ddymunem byth iddynt gael eu hargraffu yn Gymraeg, rhag i'n cenedl wybod meddwl y Cangellwr ynghylch yr anfantais o'r drefn bresenol o weinyddu 'r gyfraith. Ond mi a roddaf, er mwyn yr amser gynt, ychydig o hyfforddiadau i'm hen gyfeillion, y rhai sydd trwy hyn a'r llall wedi dyfod, neu ar ddyfod, ar ofyn y plwyf. Yn gyntaf peth rhaid i'r isel arno fyned at *Overseer* y plwyf lle mae yn llettya, a gofyn iddo am gynnorthwy; os nacâ yr *Overseer* roi dim iddo, mae'r tlawd wedi 'n i fyned at Ynad Heddwch o'r Sir hôno, a dywedyd ei gwyn wrtho. Wedi i'r Ynad wybod wrth ei holi am ei nacâd gan yr *Overseer*, efe a enfyn am yr *Overseer*; ac os bydd cwyn y tlawd yn gyfiawn, bydd raid i'r *Overseer* roi cynnorthwy iddo yn ol gorchymyn yr Ynad. Os bydd yr hyn a elwir *Select Vestry* yn y plwyf hwnw, a hôno yn cael ei chynnal yn ol yr *Act*, rhaid i'r Ynad wedi hyny drefnu 'r mater yn ol yr *Act* hôno. Ni wiw i'r tlawd fyned i'w blwyf lle mae ei *Settlement*, o'r blwyf lle mae 'n byw, i ymofyn am gynnorthwy, o herwydd ni raid i'w blwyf lle mae ei *Settlement* roddi dim iddo, na'i dderbyn o'r plwyf lle mae 'n byw, heb *Orders of Removal* o'r plwyf hwnw.——Yr eiddoch,

JUSTUS.

---

## HELYNT Y PRYDEINIAID.

"Canys nid o'i fodd y blina efe, nac y cystuddia blant dynion." GALAR. iii. 33.

Y MAE yn ddiammheuol fod amgylchiadau yr amser presenol yn destyn difrifoldeb a sobrwydd i laweroedd o drigolion Ynys Prydain, yn gystal tlodion a chyfoethogion, o herwydd y caledfyd a'r terfysgiadau echryslawn sydd yn cymmeryd lle yn ein plith, ac yn galw yn uchel arnom i "geisio a chwilio ein ffyrdd, a dychwelyd at yr Arglwydd."

Bwriadaf yn awr ddangos yn fyr, 1. Ychydig am ansawdd y blinder a'r cystudd sydd yn ein gwlad.—2. Achos y cyfryw.—Ac yn, 3. Pa fodd y dylem ni ymddwyn, a'r modd tebycaf i gael ein gwared oddi wrthynt.

1. Ychydig am ansawdd y blinder a'r cystudd sydd yn ein gwlad. Mae yn amlwg nad ydynt yn perthynu i neb rhyw bersonau yn fwy neillduol na'u gilydd, ond eu bod yn cyrhaedd pob gradd yn gyffredinol, oblegid mae ein llygaid a'n clustiau ein hunain bob dydd yn tystiolaethu hyny. Wrth ddrysau ein tai y gwelwn ugeiniau y'nghorph y dydd, o wrthddrychau tosturi, yn erfyn yn daer ychydig ymborth i gynnal eu cyrph egwan rhag newynu; mamau tosturiol yn cludo eu plant anwylaidd bron a fferu gan y rhew a'r oerfel, ac yn barotach i ymadael â'u tamaid eu hunain er mwyn boddloni y trueiniaid bach hyny. Canfyddwn hefyd y ffermwyr bron yn methu byw gan faint y trethi a gesglir oddi arnynt, ac o herwydd y prisiau isel sydd i'w cael ar ŷd, gwlan, anifeiliaid, &c. Clywn yn eu plith gwynfan parhaus oblegid y caledi a'r cyfyngder y maent ynddo. A gwelwn y diwydrwydd a'r cynnildeb y maent yn eu harferu er mwyn cael digon i dalu eu hardrethion i'w meistriaid tiroedd, ac i ddiwallu eu teuluoedd eu hunain â bwyd a dillad. Y crefftwyr hefyd sydd yn isel eu sefyllfa y dyddiau hyn, ac amrai ddyddiau heb ddim i'w wneuthur er ennill ychydig tu ag at fyw. Wel, y mae hi yn dymhoraidd a chysurus gyd â'r boneddwyr. Nac ydyw; mae y wialen wedi disgyn arnynt hwythau y dyddiau hyn: cystudd a blinder yn eu gorthrymu, oblegid

id difethir ffon eu bywyd, gobaith eu cynnaliaeth a gymmerir oddi wrthynt, eu hydlanoedd llawnion a losgir yn ulw mân, eu hanneddau gwychion, a'u palasau mawreddus, a amgylchynir gan ddihirwyr, a'u bywydau sydd yn aml mewn perygl. Felly mae Brydain hardd-deg yn llawn blinder a chystudd, ac yn ymranu yn ei herbyn ei hunan; ac oni bydd iddi blygu i'r llawr, ac edifarhau am ei phechodau, fel Ninifeh gynt, mewn llwch a lludw, a llefain am ymwared oddiwrth Dad y trugareddau, mae lle i ofni na saif hi ddim yn hir. A galerir uwch ben Llundain, fel uwch ben Jerusalem o'r blaen, "Pa fodd y mae 'r ddinas aml ei phobl yn eistedd ei hunan! pa fodd y mae 'r liosog y'mhlith y cenedloedd megis yn weddw! pa fodd y mae tywysoges y taleithiau dan deyrnged!" *Galar*. 1. 1.

2. Achos y cyfryw flinder a chystudd. Mae 'n sicr mai nid heb achos o honom ein hunain y cystuddir ni: "Canys nid o'i fodd y blina efe (sef Duw) nac y cystuddia blant dynion;" gan hyny mae 'n rhaid mai ein pechodau ni yw y gwir achos o honynt. Dyma y rhai sydd yn gwaeddi am farn drom arnom, ac yn tynu dialedd Duw i lawr o'r nefoedd megis yn erbyn ei waethaf. Gresyn yw fod y fath bechu y'ngwlad yr efengyl, bod dynion yn caru 'r tywyllwch yn fwy na'r goleuni, ac yn gwerthu 'r nef am uffern dân. Mae yr oes hon yn llawn o bob ffieidd-dra ac aflendid; mae Crist a'i efengyl yn cael eu diystyru, a'i waed gwerthfawr ei fathru dan draed; yr Yspryd Glân yn cael ei dristâu a'i ddiffoddi; teyrnas tywysog yr awyr yn cael ei dyrchafu; a dichellion eu tad diafol yn cael eu gwneuthur: mae meddw-dod, anlladrwydd, a halogi dydd yr Arglwydd, yn eu rhwysg; mae pob math o ddrygioni yn cael ei lochesu gan ieuengctid ein gwlad y pryd hyn, yr hyn sydd warth ar Brydain, ac yn sicr o ddwyn dinystr arni cyn bo hir: onid edifarhawn, ni a ddifethir oll. Mae yn gyffelyb i'r byd o flaen y diluw, yn ymgaledu mewn pechod, ac yn ddiystyr ganddi rybuddion a bygythion Duw. Mae fel Sodom annuwiol, yn ymdroi yn ei ffieidd-dra, ac yn trysori iddi ei hun gyfiawn farn Duw. Trugareddau hael y Nefoedd a gamddefnyddir yn fawr i borthi chwant a balchder; a chyflawnir pechodau yn awr na chyflawnodd y cythreuliaid erioed mo honynt. Mae trigolion Prydain, y rhan fwyaf, ysywaeth, wedi ymwerthu i bechod, fel Ahab gynt; felly yn digio y Goruchaf Iôr, ac yn tynu ei felldith ar y tir. Ond na feddyliant y gwna efe fyned heibio i'w pechodau yn ddigosp o herwydd ei fod yn hirymarhous ac amyneddgar; canys efe a arosodd dros amser maith wrth y cynddiluwiaid cyn eu dileu oddiar wyneb y ddaear, gan ddisgwyl iddynt edifarhau: felly y mae gyda ninnau; er ein bygwth lawer tro mewn amryw fodd, mae etto yn ei drugaredd heb ein rhoddi yn llwyr i fynu, gan ddisgwyl i ni ddiwygio ein ffyrdd; ond oni wnawn hyny yn fuan, fe balla ei amynedd, a chyfiawnder a lefa, "Tor hwynt i lawr;" a gwae fydd i ni os felly fydd.

> "Hir yr erys Duw cyn taro,
> "Llwyr y dial pan y delo."

Yna "Cwynfan Prydain" y pryd hyny a fydd, "Onid gwaeth genych chwi, y fforddolion oll? gwelwch, ac edrychwch, a oes y fath ofid a'm gofid i, yr hwn a wnaethpwyd i mi, â'r hwn y gofidiodd yr Arglwydd fi yn nydd angerdd ei ddigter." *Galar*. 1. 12.

3. Pa fodd y dylem ni ymddwyn, a'r modd tebycaf o gael ein gwared oddi wrthynt. Diau ei bod yn ddyledswydd arbenig arnom yn y fath amser adfydus ddilyn cyngor yr apostol, sef "gweddïo;" ac y mae genym addewid y digelwyddog Dduw o gael ein gwrando: "Galw arnaf fi yn nydd trallod," medd efe, "mi a'th waredaf." *Ps*. 50. 15. Ac o hyn y mae i ni siampl yn yr Israeliaid: "Llefasant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder; ac efe a'u gwaredodd o'u gorthrymderau." *Ps*. 107. 6. A'r prophwyd ei hun, "Yn fy nghyfyngder y gelwais ar yr Arglwydd, ac y gwaeddais ar fy Nuw: efe a glybu fy llef o'i deml, a'm gwaedd ger ei fron a ddaeth i'w glustiau ef." *Ps*. 18. 6. Dylem "gilio oddiwrth ddrwg, a gwneud da, a chawn gyfanneddu yn dragywydd." Yna y symudir y farn oddi wrthym, a Duw a waedda ar yr angel dinystriol, "Digon, bellach, attal dy law." Byddwn hefyd amyneddgar dan ein holl drallodau, a rhoddwn ein holl ymddiried yn yr Arglwydd, gan ddisgwyl wrtho yn wastadol. Diolchwn iddo am ei bod hi arnom ni fel ag y mae; am iddo beidio gwneud â ni yn ol ein pechodau, na'n gwobrwyo yn ol ein hanwireddau. Oni buasai i'w drugaredd ef ein harbed, buasem cyn hyn y'ngwlad yr anobaith yn cael ein poeni y'nghanol fflamau angerddol uffern ofnadwy. Ond, i'w enw bendigedig ef y bo'r diolch, nid felly y gwnaeth efe â ni; canys wele ni etto ar dir maddeuant, a chynnyg grasol yn cael ei wneud i ni o ymgymmodi â'r Duw y pechasom yn ei erbyn. A fydd i ni, ynte, barhau yn ein gwrthryfelgarwch i'w erbyn? neu a gawn ni yn hytrach ymofyn gyda syndod, "Beth a dalwn i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i ni?" *Ps*. 116. 12. Ymwrthodwn â gweithredoedd y tywyllwch, a gwisgwn am danom arfau y goleuni, a rhoddwn ein hunain yn filwyr ffyddlon dan faner Brenin Sïon, lle byddwn byth yn ddiogel a chysurus. O, drig-

plion Brydain fawr ei breintiau! gadewch eich ffyrdd drygionus, a "dychwelwch at yr Arglwydd â'ch holl galon, âg ympryd hefyd, ac âg wylofain, ac â galar. Yna yr Arglwydd a eiddigedda am ei dir, ac a arbed ei bobl." *Joel* 2. 12, 18. Mae efe yn llefain yn daer ar eich ol, "Ymchwelwch, feibion gwrthnysig, a mi a iachâf eich gwrthnysigrwydd chwi." Bydded i chwithau ei ateb, "Wele ni yn dyfod atat ti; oblegid ti yw yr Arglwydd ein Duw." *Jer.* 3. 22. CYNHAFAL.

---

ANERCHIAD *CYMDEITHAS LLEENYDDOL A CHYFIETHIADOL CYMRU AT EU CYDWLADWYR.

MAE yr Arglwydd Bacon yn dywëyd, mai gallu ydyw gwybodaeth, trwy yr hwn y galluogir dynion i ychwanegu eu hawdurdod ar yr elfenau, a'r greadigaeth anifeilaidd; a thrwy hyny, i fod yn fwy gwasanaethgar i'w cyd-ddynion, ac i fod yn fwy o anrhydedd i'w gwlad a'u cenedl. O herwydd gwybodaeth y mae fod Brydain Fawr yn rhagori ar deyrnasoedd ereill o'r byd. Trwy ei gwybodaeth y gorchuddia y moroedd â'u llyngesau, ac y treiddia i gonglau ac anial-leoedd pellaf y ddaear. Ei gwybodaeth, fel moddion yn llaw Rhagluniaeth, a'i galluogodd i wrthsefyll y gormesydd Buonaparte, pan ydoedd wedi darostwng holl Gadeirnion y Cyfandir dan ei iau haiarnaidd. Ac o herwydd maint ei gwybodaeth, y galluogir hi yn y dyddiau hyn i godi ei llais yn erbyn caethfasnach ofnadwy. Trwy rym ei gwybodaeth y cafodd allan wledydd hylwyr anhyspys i'n cyndadau, i'r rhai yr anfyn yn bresenol Genhadau yr Efengyl dragywyddol. Agosed yw y cyssylltiad rhwng taeniad gwirioneddau yr efengyl a chynnydd gwybodaeth gelfyddydawl, fel yr ymddengys yn amlwg, mai bwriad Rhagluniaeth yw, i grefydd ymledaenu trwy y rhag-barotoad a wneir gan ddysg a dealldwriaeth.

Pan ystyriom yr undeb sy rhwng crefydd a gwybodaeth, ni allwn lai na synu, fod gwyr cydwybodol mewn unrhyw oes wedi barnu, eu bod yn dianrhydeddu eu Creawdwr drwy goleddu y doniau, y cynnysgaeddodd efe hwynt, o ddysg a dealldwriaeth. Nid yw Llyfr Duw yn diddymu llyfr anian, ond yn hytrach yn ei egluro, ac yn cyfeirio ato—"Y nefoedd," ebé peraidd ganiadydd Israel, "sydd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef." Ac, ebe Paul, "O herwydd yr hyn a ellir ei wybod am Dduw sydd eglur iddynt hwy; canys Duw a'i hegluroddd iddynt." Ond pa fodd y darfu Duw ei egluro iddynt? Yr ateb ydyw—"Canys ei anweledig bethau er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef, a'i Dduwdod." Edrycher ar ddiarhebion Selyf ddoeth, gwelir yn eglur fod amryw o honynt yn datgan buddioldeb gwybodaeth, ac anfanteision anwybodaeth. Er hyny addefwn yn ostyngedig, nad yw doethineb y byd hwn ond ffolineb, pan ei gosoder mewn cydmariaeth â doethineb Duw yn Nghrist yn trefnu y ffordd i gadw y rhai sydd yn credu. Etto, hysbysa yr Ysgrythyr i ni, mai trwy Ddoethineb y crewyd y byd, a'r hyn oll sydd ynddo. Ac mewn ffordd o enwogrwydd ar Moses, dywedir ei fod ef yn ddysgedig yn holl ddysgeidiaeth yr Aipht. Doethineb ddynol, neu y byd hwn, oedd rhan fawr ó ddoethineb Solomon; canys dywedir, yn iaith syml yr Ysgrythyr, iddo "lefaru am brenau o'r Cedrwydd sydd yn Libanus, hyd yr Ysop a dŷf allan o'r pared." Amryw ranau o'r Hen Destament a draethant ynghylch y modd goreu i drin achosion tymhorol. Yr oedd tadau yr eglwys yn dra enwog, megys Moses, am helaethrwydd eu dysgeidiaeth ddynol. Ffrwyth a gafwyd oddiar goleddwyr ysgrifenwyr Groeg a Lladin, yw y Diwygiad; a rhai o'i amddiffynwyr godidocaf oeddynt nodedig am eu gwybodaeth a'u hathrylith. Gellir ychwanegu, fod gwir athronyddiaeth yn cadarnhau gwirionedd yr Ysgrythyrau, a bod yr athronyddion enwocaf wedi ymrestru ym mhlith dilynwyr gostyngeiddiaf yr Arglwydd Iesu. Er i ryw ddysgeidiaeth, a gamenwir yn athroniaeth, arwain Paine, Voltaire, ac ereill, i anghredu y Grefydd Gristionogol; etto, canfyddir Locke a Newton, gwyr a ymgododd uchaf drwy eu dysgeidiaeth, ym mhlith rhai o'i hamddiffynwyr penaf. Ac i ddywëyd y bydd dynion yn llai cymmwys i gyflawni dyledswyddau eu hamrywiol sefyllfaoedd trwy ddilyn eu llwybrau—neu haeru, po mwyaf fydd eu gwybodaeth am weithredoedd Duw, mai lleiaf fydd eu hawyddfryd i ufuddhau i'w orchymynion, sydd hollol groes i reswm, cystal ag i brofiad cyffredinol dynolryw.

Ein cymmydogion, y Saeson, a arferant ddifrio enwogion a llëenyddiaeth ein gwlad; ac edliwir i ni, nad yw nifer ein henwogion ond ychydig mewn cydmariaeth â nifer y trigolion. Gellid yn hawdd roddi ateb i'r cyhuddiad hwn, po cymmwys fuasai hyny yn ein hanerchiad; eithr ni wnawn yn awr ond sylwi, po mwyaf y taenir gwybodaeth ym mhlith ein cydwladwyr, lliosocaf fydd nifer y Cymry doniol a allant arddangos eu hathrylith i

---

* Gwel Rhifyn Tachwedd, 1830, tu dal. 309.

drigolion y byd. Pob ymgais a wneir tu ag at daenu gwybodaeth i'r werinos, a duedda i gynnyrchu cynhauaf toreithiog o anrhydedd i wlad ein genedigaeth. Yr ydym yn sicr, pe na byddai eu hawydd am ddarllen yn gweini dim iddynt ond difyrwch, yr effeithiai hyd yn nod hyn er gwellhau eu moesau, drwy eu cadw rhag meddwdod, ac arferion llygredig ereill.

Ond er yr ymdrechwn mor bell ag y gallom i foddio a meithrin awydd canmoladwy am ddarllen, ein diben penaf fydd diwallu ein darllenyddion â'r fath wybodaeth ag a'u hyfforddiant i drin eu hachosion, ac i ddefnyddio eu heiddo yn y modd mwyaf buddiol. Y mae y weithred o gyfranu y cyfryw addysgiadau, nid yn unig yn glodwiw ynddi ei hun, eithr tuedda hefyd i arwain dynion i dreulio eu horiau segur yn ddifyr ac yn llesol, ac i feithrin yspryd dyfal a phwyllog yn eu holl ymddygiad.

Gyd â'r golygiadau hyn, taer erfyniwn ar bob gwladgarydd i'n cynnorthwyo yn ein gorchwyl. Nid oes genym unrhyw ddiben hunanol i'w gwblhau; ac yr ydym wedi ymwystlo y cyflwynir yr holl elw a ddeillia oddiwrth ein Cyhoeddiadau er hyrwyddo rhyw ymgais gwladgarawl. Yn enwedig, yr ydym yn galw ar Offeiriaid yr Eglwys Sefydledig, ac ar Weinidogion pob enw arall o Gristionogion, i ymegnio yn ein plaid. Achos caredigrwydd, achos ein gwlad, ac achos Duw, yw ein hachos ni. Y swydd oruchel a ymddiriedwyd iddynt gan Ragluniaeth, a rydd iddynt gyfleusderau neillduol i fod yn ddefnyddiol: a'r hyder mawr a roddir yn gyfiawn yn eu gofal, a'u cynghorion tadol a'u galluoga hwynt i gynnysgaeddu Cymdeithas fel hon â'r bywiogrwydd nad allai, heb eu cydymdrechiad hwynt, o'r braidd ei fwynhau. Gorchwylion priodol eu swydd a'u cymmellant hwynt i ymweled yn fynych â'r rhai isel-radd, ac a roddant iddynt rwyddineb tu hwnt i bawb ereill i'n cynnorthwyo ni i daenu goleuni ym mhlith ein brodyr tlodion. Gwirionedd teilwng o sylw yw, fod y weithred o ddosbarthu gwybodaeth i'r werinos, yn ei heffeithiau, yn rhodd elusengar; ond elusen ydyw hon na ellir byth ei chamddefnyddio, ac effeithiau yr hon a ddisgynant hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth. Os hyfforddwn y bobl i iawn drin eu meddiannau, bydd yr arfer hon yn egwyddor o gyfoeth a dedwyddwch, a bydd yn arfer a efelychir gan eu plant. Os gallwn godi ynddynt awydd i ddarllen, gweinyddir iddynt un achos ychwanegol o hyfrydwch, yr hwn a'u tuedda hwynt i ymddifyru mwy y'nghymdeithas eu teulu, ac ymogelyd rhag treulio eu hamser gyda chymdeithion ofer a segurllyd.

Dywenydd genym hysbysu, fod ein Cymdeithas eisoes wedi cael ei chefnogi gan amryw o foneddigion a gweinidogion mewn parthau gwahanol o Gymru: ac achos arall a bar i ni gymmaint o hyfrydedd yw, ein bod wedi gallu ymuno â Chymdeithas, a luniwyd oddeutu yr un pryd, a chyd â'r un dibenion a'n heiddo ni. Gelwid y Gymdeithas hon, y "Dynolwyr:" ac ymffrostio yn ddirfawr a wnaethom wrth glywed, mai ychydig o ddynion tlodion a lafuriant y'ngweithydd haiarn y Deheudir ydoedd ei sylfaenwyr. Pan ganfyddom y fath arwyddion o awydd am wybodaeth y'mhlith yr iselaf o'n cydwladwyr, ni allwn lai na theimlo yn wresog o barthed llwyddiant eu llafur. A diolchwn i Dduw am ein cynnysgaeddu â'r fath wlad a Chymru, ac â'r fath werinos i fod yn faes ein hymdrechiadau.

---

*Talfyriad o Hanes Ymdaith y Parch. Mr. Lieder, un o Genhadwyr y Gymdeithas Genhadol Eglwysig, yn yr Aipht Isaf, a elwir* DELTA, *yn y fl.* 1829.

*Ymadawiad o Cairo, Gorph.* 25. Heddyw, oddeutu pump o'r gloch yn y prydnawn, cychwynais ar fy nhaith i'r Aipht Isaf, gwedi treulio wythnos gyfan yn ymofyn am long. Gan mai hwn oedd y tymhor y bydd y Mahometaniaid yn myned ar bererindod at feddrod eu Sant *Seid Amhed*, yr hwn a orwedd yn *Tantu* yn y *Delta*, yr oedd y llongau bron i gyd wedi eu cyflogi. A'r sawl a ddichon gasglu digonedd o arian i dalu y draul, a ymgyrchant i'r lle hwnw; nid yn wir er duwiolgarwch, yr hyn sydd yn digwydd yn anaml, eithr er yfed cwpan trachwant i'r gwaelod, i'r hyn beth ceir digon o gyfleusderau.

*Gorph.* 26. Buom mewn perygl o gael ein llong-ddryllio.

*Gorph.* 27. Ymwelais â *Tahle*, pentref mawr ar ochr ddwyreiniol braich ddwyreiniol y Nilus, a mynegwyd i mi fod yna Gristionogion, eithr ni chyfarfyddais ond âg un, yr hwn oedd yn casglu arian gorthrwm i'r Pacha.

*Gorph.* 28. Glaniasom yn foreu iawn yn *Zephte*, tref ar lan orllewinol yr afon, lle y preswylia llawer o Gristionogion. Yr oedd eu hanwybodaeth am air Duw yn fawr. Gofynodd amryw i mi, paham nad oedd genym ond Pedair Efengyl, gan eu bod yn tybied mai saith oedd y nifer: a chanfyddais niferoedd na wyddent ddim am yr Ysgrythyrau, ond fod Llyfr y Psalmau, a bod Dau Destament, Hen a Newydd. Yma hefyd, fel y'mhob lle arall, cefais y bechgyn yn daerion, eithr yn dra anhywaith. Cyfrenais iddynt Draethodau.

Ymgyrchodd y fath dyrfa o fechgyn oddeutu canol dydd o amgylch y llestr, a chadwasant gymmaint swn, fel ag y gorfu arnaf (gan na effeithiai geiriau) beri i'm gwas eu taro: a chan fod yn eu mysg lawer o fechgyn Mahometanaidd, y lleill a ymrysonent â hwynt ynghylch eu hawl i dderbyn Traethodau; a chymhellent fi i beidio eu rhoddi i neb oni fyddai yn llunio croes, neu yn dwyn delw Mair Forwyn. Y mae oddeutu 90 o deuluoedd yn *Zephte:* un Eglwys, un Kumus, ac un Offeiriad, sydd iddynt. Yr Eglwys sy fechan a thywyll, a chyfran o honi a ddefnyddir yn Ysgoldy i 80 o blant. Yn y prydnawn galwodd amryw o Fahometaniaid arnaf: ymddygasant yn lled weddaidd. Athrist genyf adrodd eu bod yn rhagori ar y Cristionogion yn eu moesoldeb.

*Gorph.* 29. Ychydig o breswylwyr *Zephte* a ddaethant ataf heddyw. Tua chanol dydd, aethym i *Mit Kammir*, tref fechan ond poblog, gyferbyn â *Zephte*, ar lân ddwyreiniol yr afon. Ynghylch 60 o deuluoedd Cristionogol a gyfanneddant ynddi: ac y mae yno un Eglwys, un *Kumus*, ac un Offeiriad. Eu hysgol a gynnwysa 30 o blant; ac i wyth o honynt, a fedrent ddarllen, rhoddais y Pedair Efengyl. Nis gallaf braidd ymadael o un Ysgol Goptiaidd heb ymofidio, wrth ganfod mawr hyfrdra y plant a'r bobl. Y maent mor ymofyngar, fel nad oes modd i draethu iddynt air o gyngor. Yn y prydnawn, ymgynnullodd llawer o Goptiaid ar fwrdd y llong, ac ar y lan: y rhan fwyaf o honynt oeddynt yn wyr deallus, ac yn arddangos awydd i dderbyn hyfforddiadau ynghylch defodau Eglwys Loegr. Darllenais gyda hwynt y Litani, yn Arabaeg, allan o'r Llyfr Gweddi Gyffredin—llyfr ag sydd yn rhoddi boddlonrwydd a chysur i laweroedd yma, yn gystal ag mewn lleoedd ereill. Yr erfyniad, "Oen Duw, yr hwn wyt yn dileu pechodau y byd," a roddodd achlysur i lawer o ymddiddanion. Tu a'r hwyr daeth *Mahomedan Sheik* i ymofyn am lyfr bychan i'w Fab: rhoddais iddo Epistolau St. Ioan, a derbyniodd hwynt yn ddiolchgar. Un o'r Cristionogion, wrth weled hyn, a ddywedodd yn ebrwydd, "Nid Llyfr i'r Mahometaniaid yw hwn: dywedir ynddo, fod Crist yn Fab Duw, yr hyn sydd ffieidd-dra iddynt hwy." Digiais yn fawr o herwydd ei ymyraeth Anghristionogol, a gofynais, "Onid yw yr haul i bawb dan y nefoedd?" Atebodd, "Ydyw." "A pha beth a ddeuai o honom ni os na chodai yr haul?" Ni allai ateb. Aethym ym mlaen, "Ni ddygai y ddaear ddim ffrwyth, a darfyddai am danom mewn tywyllwch: felly mewn pethau ysprydol, Iesu Grist yw Haul Cyfiawnder; a phwy bynag a chwilia am lewyrch yr Haul hwnw, ac a rodia yn ei oleuni, efe yn unig a fwynha heddwch Duw, a bywyd tragywyddol." Cywilyddiodd y Cristion wedi i mi ei geryddu fel hyn.

*Gorph.* 30. Boreu heddyw glaniais yn *Dakadus*, pentref ar yr ochr ddwyreiniol, nid nepell oddiwrth *Mit Kammir*, yn cynnwys 30 o deuluoedd Cristionogol, yn byw ar amaethyddiaeth. Un Eglwys sy ganddynt, ac un Offeiriad, yr hwn oedd yn absenol. Ychydig o honynt a allent ddarllen. Ymgyrchodd rhai o'r trigolion o amgylch y llestr, ac ymddiddenais ychydig â hwynt; anrhegais hwynt hefyd â Thraethodau, a rhanau o'r Ysgrythyr, a derbyniasant hwynt yn ddiolchgar.

*Gorph.* 31. Tua chanol dydd, angorasom yn *Sammanoud*, lle eang a phoblog, ar y llaw aswy i'r gaingc yma o'r afon. Y mae o fewn taith dwy awr i *Mehalel-Kebir*, prif ddinas Delta. Herddir hi â thai o addoldai Mahometanaidd gwychion.

*Awst* 1. Rhaid i mi heddyw arfer fy amynedd. Nid oedd fy llestr yn ddwfrbrofiadol yn y dechreuad; a gorfu arnom ei dadlenwi hi ddwywaith neu dair bob dydd. Hyd yma yr oedd yn gymmedrol; ond heddyw daeth cymmaint o ddwfr i mewn ag i beri i mi arswydo; am hyny gorfu arnom ei gwthio ar frys i le gwastad ar y lan, i'r diben o'i dadlwytho a'i hadgyweirio. Yr oedd fy llyfrau mewn lle na dderbyniasant fawr o niweid.

*Awst* 2. Heddyw y galwodd dau o Offeiriaid Coptaidd arnaf, a hysbysasant i mi fod yma gynt lawer o Gristionogion, eithr nid oes yn awr ond 30 o deuluoedd. Tri o Offeiriaid ydynt yn byw gerllaw yr Eglwys: y mae yno un *Kumus*. Ymddygasant yn hynaws ac yn rhwydd tu ag ataf; ac ymddangosasant yn ddiolchgar pan anrhegais hwynt â'r Psalmau yn y Goptaeg a'r Arabaeg. Yn y prydnawn daeth tyrfa o fechgyn a gwyr ieuaingc at y llong i ymofyn am Draethodau. Ni ofynais pwy oedd Fahometaniaid, a phwy oedd Gristionogion. Cyfrenais hwynt, yn gystal ag Epistolau Ioan, a Dammeg yr Hauwr, ym mhlith y sawl a fedrent ddarllen. Daeth mamau i ymofyn am rai i'w meibion, a chwiorydd am rai i'w brodyr: pan ddymunais gael eu gweled, i wybod a allent ddarllen, atebasant, "eu bod etto yn fychain, ac na allent ddarllen; ond tybient na ddeuwn atynt drachefn; a byddai y plant heb ddim llyfrau pan ddysgent i ddarllen."

*(I'w barhau.)*

# BARDDONIAETH.

## ESGYNIAD Y SAINT I'R NEFOEDD.

"DEUWCH, fendigedigion blant fy Nhad,"
Dywaid y Barnwr, "etifeddwch mwy
"Y deyrnas ichwi barotöwyd cyn
"Sylfaenu'r byd." Ac ar y gair, y môr
Terfysg ddystawa, a'r mynyddoedd oll
Llonyddant, ac ni neidia'r creigiau mwy.
Ac wele'n esgyn dorf tu hwnt i rif,
Mewn moment, oddi rhwng y beddau llosg,
Myrddiynau o fyrddiynau, oll yn saint
Canaid eu gynau; palmwydd yn eu llaw;
Mwy na choncwerwyr ydynt. Nid oes mwy
Elyn yn aros; diafol, cnawd, a byd,
Angau, a'r bedd, gorchfygwyd. Dacw'r Duw
Y gobeithiasant ynddo; Crist eu pen
Yn aros yn yr awyr wrth ei blant;
Engyl amgylchant ei orseddfainc bur;
Holl lu y nefoedd, y seraphiaid glân,
Cherubiaid, thrônau, syllant ar ei wedd.
Ar hyn y saint mewn sain clodforedd oll,
A gyfarfyddant y nefolion hyn;
O mwy! hwy gyfarfyddant Iesu glân,
Eu Priod, eu Pryniawdwr, digon yw;
Safant ger bron, a syrthiant wrth ei draed;
Eu heneidiau a'u genenau sydd yn llawn
O dân gorfoledd a diolwch pur.
Cyfodant; cânt gip-olwg ar y byd
Y'mhell, y'mhell is law eu traed, a hon
Yw'r olwg olaf. Daw i'w cof y fan
Bu farw eu Hachubwr yn eu lle;
Nes, wrth gyd esgyn â'r angylion fry,
I'w teyrnas annigledig, nef y nef,
Y tania eu serchiadau oll â mawl,
Nes synu o'r nefolion wrth eu cân.
Seiniant Hosanna, Halelwia mwy.
Chwareuant â'u telynau gân mor bêr,
Na chlywyd yn y nef ei bath o'r blaen.
Fel hyn dechreuant:—"Iddo ef, yr hwn
"A'n carodd, ac a'n golchodd, yn ei waed
"Ei hun, oddiwrth ein beiau; ac a'n gwnaeth
"Ni yn frenhinoedd ac offeiriaid i
"Dduw a'i Dad ef; ac eilwaith iddo ef
"Bo'r gallu a'r gogoniant mwy. Amen."
O ddedwydd gôr cyd unawl! gwyn ei byd!
A gwyn ei fyd pob un sydd yn eu mysg.
Trag'wyddol Sabbath yn ddi ball mwynhânt,
Mewn perffaith ryddid heb na chlwyf na phoen.

M. W.

---

## ENGLYNION

### AR FARWOLAETH Y PARCH. R. B. CLOUGH, DIWEDDAR BERIGLAWR CORWEN.

TRWM, trwm, a rhydrwm adrodd——y gofid
Am gyfaill a hunodd;
Da ŵr teg daear a'i todd,
Mân clo tyn mewn clai tanodd.

Sef ROGER BUTLER CLOUGH bu——ei gladdiad
Yn gleddyf i Gymru:
Mae bradwy tros *Ddyfrdwy* ddu,
A *Chorwen* o'i garcharu.

Daeth i'w lŷs, gwyddys y gwall,——law angeu,
Lyw ingol lem fwyall;
Gandel oedran buan ball
Fe dorwyd i fyd arall.

Och achwyn! aml cwyn mil canwaith——uchel,
O achos ei ddylaith;*
Odid i ni, dad ein iaith,
Fyth olwg ei fath eilwaith.

* *Death.*

I'w gynnes fynwes Wraig fâd——mae galar
Am golotti diffyniad;
I'w liwgar Ferch, ei lygad,
Mae niwl du am anwyl Dad.

Ymweliad i'w Dad trwm dwys,——a'i Frodyr,
Fu ei rawd ei orphwys;
I bob Chwiorwr bu mawrbwys,
Briw twn gau eu Brawd tan gwys.

Mawrion a blaenion ei blwyf,——tylodion
Syw ddynion sy ddinwyf;
Galar gan bawb lle gwelwyf,
Marw R. CLOUGH, a mawr yw'r clwyf.

Minnau am Gyfaill mynwes——fu hael gynt,
Wyf fel gwr heb achles;
Yn *Llanrhaiadr*, gell brudd heb wres,
Mae'n addoer Ŵr a'm noddes.

Gwladgarwr yn glöd i *Gorwen*,——didwyll,
Da ydoedd ei elfen;
Ynad, Offeiriad, a phen
Hael o ryw hwyl yr awen.

Os uwch torf mewn cynghorfa,——os dyfod
I'w ystafell wledda,
Ymddygai, hoff yw coffa,
Ar hwyl ddoeth mewn rheol dda.

Boneddwr oedd, Ben addwyn,——gwyddai dda
Mal gweddai i ddyn ymddwyn;
Ardderchog Gymmydog mwyn
Cu reddfawl cywir addfwyn.

Neud haeddol Ynad heddwch,——teg ydoedd
At gadw tangnefeddwch;
Ef nis gwnai, dattroai'r trwch,
Flin oddef aflonyddwch.

Cefnogai, parchai bob pwyll——o deilwng
Lênawg dalent ddidwyll;
Dyn iawnbur dawn awenbwyll,
Beirniad da heb wyrni twyll.

Gwrthodai, profai, bob rhith,——pur hoffai
Bob proffes ddiragrith;
Ei addfwynder oedd fendith,
Ffrwyth hoff ram pren plân i'n plith.

Oedd fâd Offeiriad a Phôr——da rinwedd,
Dyranai nef drysor;
Agorai rym gair yr Iôr,
Ni bu well neb i'w allor.

Mor felus gan amryw filoedd——seiniai
Ei wasanaeth cyhoedd;
A'i lafar pur, eglur oedd,
Clywedig bob clo ydoedd.

I'w gail fel Bugail yn ben,——bu hedfawg,
Bu hylith yn darllen;
Mud yw'n awr ar lawr oer lên
Seler lle nid oes haulwen.

Os cadw rhestr teg onestrwydd,——os ymgais
I amgen ffyrdd tramgwydd,
Os byw'n llâd sy bena' llwydd,
Yn ddidwyll, mae e'n ddedwydd.

Foreu Sabbath ar fyr seibiant——rhybyddiwyd
I'r bedd am orphwysiant;
Yr un Sul aeth yr Iôn Sant
A'i ganwyll i'w ogoniant.

Canu'n iach bellach sy'n bod——i'w derfyn,
Darfu chwyl ei ymmod;
Gorfu oes gyrfa isod,
Ffarwel CLOUGH a pherl y clod.

ROBERT DAVIES.

## ENGLYNION

*I Mr.* ROBERT PARRY, *Pant Ifan, yn Llanfihangel yn Rhôs, Swydd Gaernarfon, pan dorwyd ei goes gan y Meddygon, ac efe yn 67 ml. oed,* 1830.

ROBERT PARRI ŵr hybarch,——Och! waeledd,
Yr uchelwr haeddbarch,
A gafodd ei hir gyfarch,
A chael byw mewn uchel barch.

Cwynais, a bu 'n ddrwg hynod,——ganwaith,
Genyf ei hir nychdod;
Synais fwy, greaynais fod,
'Eilwaith dori ei aelod.

Y gwr y bo Duw i'w garu,——efe
A fydd i'w ffiangellu;
Fel tad, yn llawn cariad cu,
Er addysg yn ceryddu.

Ei faith ofidiau a fo——er rhybudd
I ROBERT ddiwygio;
Duw IÔR allasai daro,
A barn drist mewn byr iawn dro.

IOR hyfawl, gan arafu,——yr oedd ef
I'w raddol geryddu;
Ac yn awr o'r boen fawr fu,
Wele obaith cael hybu.

Diolch! Dduw y duwiau,——am ei ddysg,
Am ei ddoeth driniaethau;
Yn aur pur down o'r peiriau,
Yn y llaw sydd i'n lleshâu.

GUTYN PERIS.

---

## CWYN Y CRWYDREDIG.

Am fy Mam gu ddi gam wedd, ddinam, ddaionus,
Mawr yw nghŵyn dost, ar dwyn yn achwyn 'rwy'n ochus;
Myfi a aeth i gyd yn gaeth, a hiraeth o'i herwydd,
Trwm yw 'm clwyf man lle bwyf, un ydwyf annedwydd,
Am wel'd ei gwrid, fam lân ddi lid, mae gofid ac afar,
A throes fel hyn, yn ddu fy ngwyn, a melyn yn alar.

Ie, pan yn faban gwan ac egwan fy agwedd,
Cefais draw bob lles o'i llaw ac hylaw ymgeledd;
Collodd do ei chwsg lawr tro i wylio 'i hanwylyd,
Gan rai 'r waith hon, fam oedd lon, o'r ddwyfron rodd hyfryd;
Dan ei gŵg, am fy nrŵg, y golwg a wolwai,
Ond gyd â'i chân, ddiniwed lân, ail anian lawenai.

Yn wir y ferch ffyddlona 'i serch i ymanerch â'm henaid,
Fu mam, o'i gwres at fy lles, fun gynes fwyn ganaid;
Er lloni 'n dau gorphyn brau mewn dyddiau mwyn diddos,
Cefais i gyda hi 'n ERYRI hir aros;
Pan farwoi âf wedi i glâf awr ddnaf fy ngorddiwes,
O! doed i ben fy rhoi dan len *a mhen ar ei mynwes.*

UDDNYBOR.

*Morfa Rhuddlan, Nadolig,* 1830.

---

## YMADAWIAD Y CENHADON O'U GWLAD.

GWLAD lle y gorwedd hoff esgyrn ein tadau!
Gwlad lle yr erys ein hathrist berth'nasau!
Gwlad lle dysgleiria goleuni 'r Efengyl!
Nis medrwn, heb alar, dy adael wlad anwyl!

Gwlad ein hynafiaid, dy adael sy galed!
Gwlad ein cyfeillion, Duw NER fo dy nodded!
Gwlad yr hardd Eglwys, o'th gwmpas boed llewyrch!
Ac na ddoed i'th flino un terfysg nac ymgyrch.

Duw yw dy Dduw, â'i oleuni fe'th dywys,
Bydd siriol byth mwy; sancteiddrwydd fo'th wregys;
Duw IOR yw dy Dduw; pob bryn bloeddied ganu;
Ond daeth y diwrnod 'r ym aran yn cefnu.

Pell yw ein taith dros y cefnfôr gorwyllтog;
Trom yw ein calon; ond awydd tra gwresog
Sy'n enyn o'n mewn; ac anfwyn genhedlaeth
A ddysg o'n genau bêr gan iachawdwriaeth.

Croesaw i ardal estronol, ansiriol,
Ardal o lafur a blinfyd beunyddiol!
Fry bydd ein cartref 'n ol ysbaid o ddyddiau,
A draw bydd ein beddau tu arall i'r tonau.

Iesu, rho 'th ysbryd bob awr i'm cyf'rwyddo
Dangos dy allu i'n cynnal a'n llwyddo,
Yna pan dderfydd ein hymdrech a'n hadfyd,
Cawn gyflawn wobrwyad ar feusydd y bywyd.

*Cyf.* D. C. Ioc.

---

## YMDDIDDAN A GWENLLIAN WRTH FEDD EI BRAWD IEUAN A'U RHIENI.

GOFYNIAD.

PAHAM? paham? O d'wed anwylyd wiw,
Yr aeth o'th wedd yr hardd rosynaidd liw?
Paham, yn awr, mae dagrau heilltion dros
Y rudd oedd gynt mor wridog ag yw'r rhos?
Paham mae 'th fron yn ocheneidio 'n brudd?
Mae 'n datgan im' y dymhestl ynddi sydd.
A hawdd y gwelaf yn dy gorph i gyd,
Adfeiliad harddwch, drylliad glendid pryd.
Anwylyd wiw, tydi oedd unwaith dlos,
Yn awr yr ydwyt fel gwywedig rôs.
Paham aroai yn y fangre hon?
'Nend gwell it' fod y'mhlith cymdeithion llon?
Nend gwell na'r Fynwent it' Wenllian fwyn,
F'ai rhodio 'r ddol neu y pwysiawg lwyn?

ATEB.

Ni rydd pwysiawg lwyn, na chyfaill llon,
Hyfrydwch mwy i fy mriwedig fron.
Hawdd gellwch ddarllen tristwch yn fy mryd,
F' ochenaid drom, neu yn fy ngrudd di wrid:
Pan giliodd *Ef*, yn iach i bleser mwy,
Fy mron a gafodd anwelladwy glwy'.

GOFYNIAD.

Ai 'th Gariad oedd, Gwenllian d'wed dy gwyn?

ATEB.

Cariad! fy *Mrawd!* ie, dyblyg Gariad mwyn:
Mwyneiddiach brawd ni fu gan neb erioed;
Ow! marw wnaeth cyn cyrhaedd ugain oed;
Gadawodd fi mewn byd llawn gwaeau dwys,
I wylo o'i ol o dan ofidiawg bwys.
Ac yma gorwedd 'n awr, â'u gwedd yn llawd,
Im' dri pherthynas, Tad, a Mam, a Brawd.
Fy Nhad a'm Mam gan angau gaent eu dwyn,
Cyn imi wybod dim am Rieint mwyn;
Ond pan yr aeth i'r bedd fy *Ieuan* gu,
Ow! p'odd y gallaf enwi 'r dwthwn du,
Gadawyd fi 'n blanhigyn gwan ar gae,
Yn noeth i holl dymhestloedd byd a'i wae;
Ond ust! y mae fy adfeiledig fron,
Yn d'weyd ar fyr caf waredigaeth lon;
Gobaith o hyn yn awr sy'n lloni 'm gwedd,
Gael bod cyn hir wrth *Ieuan* yn y bedd.

GOFYNIAD.

Sycha 'th holl ddagrau 'n awr Gwenllian fwyn;
Cyfod o'th dristwch, ac anghofia 'th gwyn.
O clyw! mae etto frawd yn fyw i ti,
Er marw drosot draw ar Galfari;
Hwn ni'th adawa mewn tymhestloedd dwys;
O cofia hwn, a dyro arno 'th bwys.
Ar fraich o gnawd mae 'n ofer pwyso 'n wir,
Na dim a welir yn y marwol dir.
Trwyddynt ni cheir ond profedigaeth ddu,
Trwy Dad, neu Fam, neu Frawd a fyddo gu:
Rhai'n a'th adawant, hwn ni'th edy byth,
Ond credu ynddo cei 'i fwynhâu 'n ddi lyth.

SIAAL.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### FFRAINGC.

ODDIWRTH yr hanesion diweddaraf o Paris, yr ydys yn deall fod y wlad yn bresenol mewn cyflwr lled aflonydd. Y brwdfrydedd a dorodd allan y'mhlith y trigolion o blaid y Pwyliaid, a arweiniodd lawer o wyr ieuaingc parchus yn Paris, astudwyr yn y gyfraith a meddyginiaeth, i ddangos eu pleidgarwch i raddau mawr iawn. Cerddasant yn rheolaidd ar hyd y rhodfeydd cyhoeddus, gan ddwyn o'u blaenau y faner dair-liwiawg: a chafodd y swyddogion gryn waith yn cael ganddynt ymwasgaru. Dywedir fod y genedl yn gyffredinol yn gwaeddi am ryfel, a gwaith tra anhawdd fydd i weinidogion y llywodraeth eu llonyddu. Gorchymynir codi byddin newydd o 80,000 o wyr, a chymmerir pob gofal i ostegu y cynnwrf gwladol. Gorphenwyd trefnu Gweinidogion newyddion yn Ffraingc dydd Sadwrn, y 12fed o Fawrth. Y mae y newydd hwn yn dra phwysig, oblegid bod y llywodraethwyr newyddion hyn am gynnal heddwch. Pa fodd y gweithredant yn yr amseroedd terfysglyd hyn, y mae yn rhy fuan i benderfynu.

### ITALY.

Y MAE yr adchwyl yn y wlad hon yn myned y'mlaen yn ddirwystr. Ni ddangosodd yr Awstriaid ddim gwrthwynebiad o bwys hyd yn hyn; ond y mae llywodraeth Vienna yn dra phrysur, yn enwedig yn y rhan hono a elwir y *War Department*, Swyddfa Rhyfel. Dywedir fod y Pab wedi gwneud cyngrair âg Awstria, a bod y llywodraeth hono i'w gynnorthwyo a byddin o 20,000 o wyr traed a gwyr meirch, a bod y fyddin hon i aros o fewn gwlad ei Sancteiddrwydd am bum mlynedd. Am y cynnorthwy hwn y mae y Pab i dalu £20,500,000. Rhoddir yr hanes hwn heb fod yn atebol am ei wirionedd. Un peth sydd eglur, bod llys Vienna wedi tori ei ammod o barth anghyfryngiad (*non-interfection*) a rhaid yw i'r mater mewn dadl ddyfod i benderfyniad yn dra buan.

### BELGIUM.

DYWED Newyddiaduron *Holland* a *Germany* fod Brenin *Holland* wedi gosod y Dug Bernard o Saxe-Weimar yn Benllywydd Luxembourg, a'i fod wedi datgan ei fwriad o gymmeryd meddiant o'r dalaeth hono trwy gryfder, os bydd raid. I hyn danfonodd trigolion Luxembourg gennadwri at Raglaw Belgium, gan ddeisyf arfau a chynnorthwyon i'w hamddiffyn eu hunain. Ac os gwir yw yr hanes, gellir disgwyl y bydd i ryfel ail-ddechreu rhwng *Holland* a *Belgium*.

### RWSSIA.

YR hanesion diweddaraf o St. Petersburgh a ddywed fod y clwyf marwol hwnw a elwir y *Cholera Morbus* wedi bod yn hynod o ddinystriol yn ei effeithiau mewn amryw fanau yn yr Ymerodraeth. Dywedir nad oes dim llai na 66,000 o rai cleifion, a bod 38,000 o honynt wedi marw, yn yr ardaloedd lle yr oedd y clwyf yn ymledaenu.

### GWLAD Y PWYLIAID.

Ychydig ddyddiau yn ol gwelsom, yn rhai Newyddiaduron, fod y Pwyliaid wedi cael eu gorthrechu, fod y brif ddinas Warsaw wedi ei rhoddi i fynu, a bod yr hen dref enwog Praga wedi ei llwyr ddinystrio; ond hysbysir i ni, mewn Newyddiaduron diweddarach, nad oedd yr hanes hyny yn wir. Y mae Warsaw yn dal allan, ni ddinystriwyd Praga, ac y mae y Rwssiaid, er iddynt lwyddo i gymhell y Pwyliaid i encilio o fewn eu caerau, wedi eu gwanhau gymmaint gan y brwydrau gwaedlyd a ymladdwyd, fel y gorfu arnynt hwythau aros yn llonydd nes iddynt gael eu hadgyfnerthu. Yn ol hanesion a roddir, ymddengys fod y Pwyliaid wedi colli 6000 o wyr, a'r Rwssiaid 8000 yn y brwydrau diweddar. Y mae 'n dra anhawdd gwybod yn iawn am wir sefyllfaoedd y ddwy fyddin, gan fod Newyddiaduron Prwssia yn rhoddi yr hanes mor bleidgar ac ammherffaith. Ymddengys, beth bynag, fod y Cadflaenor Rwssiaidd Diebitsch wedi gadael byddin o flaen tref Praga; a'i fod, ar ol croesi yr afon Vistula, yn bwriadu ymosod ar Warsaw, a thaflu tân-belenau i mewn iddi, os parha y Pwyliaid i'w hamddiffyn, er y dywedir mai ei ddymuniad ydyw achub y lle os bydd modd. Gan fod nifer lluoedd y Rwssiaid mor dra lliosog, galluogir eu Cadflaenor i symmud ei filwyr yn ol ac ym mlaen yn ddirwystr; ac er fod rhyw ychydig o sail i obeithio y bydd gohiriad y rhyfel yn fanteisiol i'r Pwyliaid, etto oddiwrth yr adgyfnerthoedd a dderbynia y Rwssiaid yn feunyddiol, a'r lleihad beunyddiol yn nifer milwyr Pwyl,

nis gallwn lai na gofidio o herwydd cyndynrwydd trefedigion Warsaw yn gwrthod gwrando ar ammodau heddwch. Y mae y Cadflaenor Skzerzynecki, milwr dewr a deallus, yr hwn a ddilynodd y Tywysog Radzihill y'mlaenorideth y fyddin, wedi mynegu ei fwriad i ddal allan hyd yr eithaf, yn y disgwyliad o gyfryngiad Ffraingc; ond y mae newidiad llywodraethwyr y deyrnas hono, ag sydd newydd gymmeryd lle, yn gwneud y disgwyliad hwnw yn annhebycach o ddod i ben nag o'r blaen, ac yn ganlynol yn cyfodi ynom aethau mwyfwy arswydus am yr hyn sydd i ddyfod ar ben amddiffynwyr dewrion eu gwlad.

Yr hanesion diweddaf, a ddyddiwyd, Mawrth 10, a ddywedant fod y Pwyliaid mewn meddiant o Warsaw, a bod y Rwssiaid yn llonydd yn eu gwersyllfaoedd.

---

# CARTREFOL.

## LLOEGR.

### Y SENEDD.—TY Y CYFFREDIN,

*Dydd Mawrth, Gwyl Ddewi,*

### DIWYGIAD YN Y SENEDD.

ARGLWYDD JOHN RUSSEL a gyfodai i egluro trefniadau Gweinidogion y Brenin ynghylch Diwygiad Seneddol. Wedi dangos rhai o'r drygau a ddeilliant oddiwrth ansawdd presenol y Senedd, a haeru nad oedd y wlad yn gyffredin yn rhoddi hyder yn y Senedd, datganodd ei farn fod iawnder a rheswm o blaid Diwygiad. Teimlai Gweinidogion ei Fawrhydi na roddai cynnygiad i ddifreinio y lleoedd a fyddai yn euog o dderbyn llwgr-wobraeth foddlonrwydd i'r cyffredin; rhaid iddynt gael rhagor na hyn; a phe petrusai y Llywodraeth yn ei gyrfa, ni lwyddai i gyflawni ei dymuniad i beri diysgogrwydd i'r Goron, werth i'r Senedd, a boddlonrwydd i'r wladwriaeth. Achwynai y cyffredin yn chwerw yn erbyn tri pheth. Yn gyntaf, Fod unigolion yn gallu anfon Aelodau i'r Senedd. Yn ail, Fod nifer bach o Aelodau Bwrdeisdrefi yn gallu ethol Seneddwyr. Ac yn drydydd, Y draul fawr yn ethol Seneddwr. Mewn perthynas i'r fraint o ddewis Seneddwyr gan Unigolion ac Aelodau Bwrdeisdrefi, gellir ei harferyd mewn un o ddwy ffordd: yn gyntaf, lle y mae nifer yr etholyddion yn ychydig, a'r hawl o gael pleidlais (*vote*) yn helaeth; neu, yn ail, lle mae nifer y trigolion yn lluosog, a'r hawl o gael llais yn meddiant ychydig. *Gatton* sydd enghraifft o'r modd cyntaf, a *Bath* o'r ail. Angenrhaid yw darparu meddyginiaeth ar gyfer y ddau ddrwg hyn; ond rhaid iddynt gael eu trin mewn dull gwahanol. O barthed y Bwrdeisdrefi lle nid oes ond ychydig neu ddim trigolion, ffolineb fyddai estyn y fraint o ddewis Seneddwr i'r Cantref yn mha un y mae y Fwrdeisdref hono; yr unig feddyginiaeth i hyn yw hylwyr ddifreinio y cyfryw leoedd. Cynnygiwn ddifreinio pob Bwrdeisdref a gynnwysai yn 1821 lai na 2000 o drigolion; nifer y cyfryw rai yw 60. Nid ymfoddlonwn ar hyn; cymerwn 47 o Fwrdeisdrefi a gynnwysant lai na 4000 o drigolion, ac ymddifadwn hwynt o'r fraint i ddanfon rhagor nag un Aelod i'r Senedd. Cynnygiwn hefyd na chaniateir i *Weymouth*, yr hon yn awr a ddewisa bedwar o Seneddwyr, ddethol mwy na dau. Yn y cyfnewidiadau hyn lleiheir nifer y Senedd oddeutu 168; sef 119 o Gynnrychiolwyr y 60 Bwrdeisdrefi difreiniedig; 47 o'r Bwrdeisdrefi a ddifreinir mewn rhan, a dau o *Weymouth*. Wedi ni fel hyn ddifreinio rhai Bwrdeisdrefi nid ydym yn bwriadu i'r Bwrdeisdrefi ereill aros yn nwylaw rhyw ychydig o drigolion ac ymddifadu nifer mawr o ddynion a feddiannant eiddo yn y trefydd hyny. Yn yr amser gynt tybiaf fod gan bawb a berchenogent annedd mewn tref hawl i gael llais yn etholiad Seneddwr; ond etto ymddengys fod gan y rhai hyn ryw gymmaint o eiddo, am eu bod yn talu traul eu cynnrychiolwyr yn y Senedd. Haeraf mai ein dyben ddylai fod i gynnysgaeddu perchenogion eiddo, a phenau teuluoedd yn yr amrywiol drefydd a dinasoedd, â'r fraint o gael llais yn etholiad Seneddwyr. Am hyny, cynnygiwn fod y fraint hon i gael ei hestyn i bob un a dalo £10 o rent yn y flwyddyn, pa un bynag a fyddont yn preswylio yn y cyfryw adeilad ai peidio. Nid ydym yn bwriadu ymddifadu yr etholyddion a breswyliant yn y dref o'u braint i ddewis Seneddwr; ond penderfynwn ymddifadu yr etholyddion nad ydynt yn preswylio yno o'u braint, am fod hyn yn arwain i ddrygau mor fawr, ac yn ychwanegu y draul i'r ymgeiswyr yn gywilyddus. Mynegais fod i bob un a dalo £10 o rent yn y flwyddyn mewn trefydd fwynhâu y fraint i gael llais yn etholiad Seneddwr: cynnygiwn estyn y fraint i feddiannu pleid-lais am Seneddwr dros y Swydd i bob un a ddalio dir wrth adysgrif (*copyhold*) o werth £10 yn y flwyddyn. Pob meddiannawr *lease* am 21 mlynedd, os heb ei hadferu yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf, ac os yw yr eiddo yn werth £50 yn y flwyddyn, i gael pleid-lais (*vote*) yn etholiad Seneddwr dros y Swydd. Gwelir, wrth yr adroddiad uchod, ein bod yn arfaethu difreinio 168 o Aelodau. Nid ydym yn bwriadu gwneud y nifer hwnw i fynu yn gwbl, am ein bod yn ystyried nifer Aelodau y Tŷ hwn yn rhy luosog i ymdrin âg achosion y deyrnas fel y dylid. Cynnygiwn fod i saith o drefydd mawrion, y rhai ni feddiannant Gynnrychiolwyr yn awr, gael y fraint o ddanfon dau Seneddwr bob un; a bod 20 o drefydd ereill, ag ydynt yn awr heb Gynnrychiolwyr, i anfon Seneddwr bob un. I'r Brif-ddinas, a'i hamgylchoedd, cynnygiwn roddi wyth o Seneddwyr newyddion, am fod yn awr uwchlaw naw can mil o drigolion heb neb yn eu cynnrychioli yn y Senedd. Ein bwriad nesaf ydyw galluogi swyddau helaeth i ddanfon ychwaneg o Gynnrychiolwyr. Ni ddysgwyliaf y gwrthwynebiad lleiaf i'r drefn hon; am hyny bwriadwn i 27 o'r Swyddi ehangaf yn Lloegr anfon dau Seneddwr ychwanegol bob un; cynnygiwn hefyd i'r Ynys Gwy gael un Seneddwr yn rhagor.

Yn awr, deuaf at ran arall o'r drefn, sef atiaiad y draul yn etholiad Seneddwyr. Cynnygiwn fod i'r etholyddion roddi eu pleid-lais mewn amrywiol barthau o'r Swydd, a bod iddynt am dref a swydd gael eu cofrestru. I'r dyben hwn cymhellir Wardeiniaid eglwysig, a Goruchwylwyr tlodion y Plwyf, i wneuthur cofrestr o'r trigolion a annedddant mewn tai o werth £10 yn y flwyddyn. Rhaid iddynt anfon y gofrestr hon i swyddog a benodir i'r gorchwyl hwn, i wrandaw ac i benderfynu pob gwrthwynebiad. Wedi cyflawni hyn, cyhoeddir y gofrestr hon ar y dydd cyntaf o Ragfyr bob blwyddyn; a phawb a gofrestrir yn y llechres hon a gaiff y fraint o gael pleid-lais. Bydd y gofrestr hon yn agored i'r sawl a ddymuno ei chwilio. Peth arall a gynnygiwn yw, byrhâu yr amser i dderbyn pleid-leisiau yr etholyddion; ac er effeithio hyn penodir amrywiol fanau yn y Swydd i dderbyn pleid-leisiau, yr hyn a leihâ y draul i raddau mawr. Disgwyliwn y gellir, mewn trefydd, derfynu yr ymryson am Seneddwr mewn un diwrnod; ond wrth ystyried y terfysg a ddigwydda ar etholiad Seneddwr, rhoddir awdurdod i'r Swyddog ychwanegu yr amser, ddiwrnod neu ragor, os bydd angen. Mewn Swyddi bydd y drefn yn wahanol. Cynnygiwn fod i lechres y Gwarcheidwaid Eglwysig gael ei gosod ar ddrws pob Eglwys Blwyfol, a phenodir Swyddog gan Brif-farnydd y Sessiwn i benderfynu pob ymryson ynghylch enwau y dynion a gynnwysir yn y llechres hono; ac yn ei benderfyniad ef rhaid ymfoddloni. Bydd y llechres hon yn ddigon o dystiolaeth fod gan y dyn-

ion a gofrestrwyd hawl i blaid-leisio. Cynnygiwn hefyd fod i drigolion pob Swydd roddi eu pleid-lais mewn gwahanol Gantrefi. Yn ol y drefn hon disgwylir y derbynir yr holl bleid-leisiau mewn un dydd; ond os cyfyd rhyw ddadl ynghylch etholyddion, yna awdurdodir y Swyddog i oedi ei benderfyniad hyd dranoeth. Trefnir hyn mewn modd na bydd gan neb dros 15 milldir i gerdded; ac ar yr un pryd, na bydd dim mwy na 15 o fanau i dderbyn pleid-leisiau yn yr un Swydd. Yn rhai o'r Bwrdeisdrefi bydd nifer yr etholyddion yn fychan iawn; am hyny cynnygiwn enwi yn yr ysgrif pa le bynag y byddo nifer y dynion yn dal tai o £10 o rent yn llai na 300, fod i drigolion y plwyfydd amgylchol fwynhau y fraint o bleid-leisio. Mewn perthynas i'r trefydd a benodwyd i ddewis Seneddwyr, bwriadir nad yw yr eiddo a gymhwysa ddyn i gael pleid-lais yn y dref yn ei gymhwyso i gael pleid-lais yn y Swydd.

Mewn perthynas i Fwrdeisdrefi Cymru, bwriedir i'w trigolion gael yr unrhyw freintiau a thrigolion y cyfryw drefydd yn Lloegr. Cynnygir hefyd ychwanegu at y trefydd a gynnrychiolir yn awr y trefydd cymmydogaethol, nad ydynt yn awr yn ethol Seneddwyr; sef, *Caergybi* at Beaumaris; *Bangor* at Gaernarfon; *Gwrecsam* at Ruthin a Dinbych; *Treffynon* a'r *Wyddgrug* at Fflint; *Llandaff* a *Merthyr Tydfil* at Gaerdydd; *Trallwng, Llanfyllin*, a thri o leoedd ereill, at Drefaldwyn; *Tŷ Ddewi, Abergwaun*, a *Threfdraeth*, at Hwlffordd; *Aberdaugleddyf* at Benfro; a *Phresteign* at Faesyfed. Cynnygiwn ym mhellach i wneuthur dosparth newydd o Fwrdeisdrefi, yn cynnwys *Abertawe, Pontfaen, Laugharn*, a thri o leoedd ereill, y rhai a gânt y fraint o ddanfon un cynnrychiolydd i'r Senedd. Aeth ei Arglwyddiaeth ym mlaen i amlygu y cyfnewidiau a ddigwyddent yn nghynnrychioliad yr Alban, yr hyn a fwyhai nifer y Cynnrychiolwyr o 45 i 50. Yn yr Iwerddon digwydda yr unrhyw ddiwygiadau ag yn Lloegr, oddieithr na ddifreinir dim Bwrdeisdrefi yno. Caiff tair o drefydd yno y fraint o ddethol Cynnrychiolwyr yn y Senedd. Deuaf yn awr at effaith y drefn hon ar nifer cyflawn Aelodau y Tŷ hwn. Nifer presenol y Tŷ hwn yw 658; y nifer a ddifreinir yw 168; wedi tynu yr olaf o'r cyntaf bydd 490. Ychwanegir pump o Seneddwyr o'r Alban, tri o'r Iwerddon, un o Gymru, wyth o Lundain, 34 o drefydd mawr Lloegr, a 55 o'r gwahanol Swyddi, yr hyn a wna 106. Ychwanegwch 106 at 490, a'r nifer fydd 596, sef 62 llai na'r nifer presenol. Tybiwyf y bydd i oddeutu 100,000 dderbyn y fraint o blaid-leisio yn y Swyddi; ac ar y cyfan disgwyliaf yr ychwanegir nifer etholyddion Tŷ y Cyffredin oddeutu hanner miliwn; a hanner miliwn o ddynion ag ydynt yn meddiannu eiddo yn y wlad, a ymdrechant i gynnal heddwch y wlad, ac ar y rhai y gellir ymddibynu, pe cyfodai rhyw ymdrech yn y wlad, i gynnal y Senedd a'r orsedd i derfynu yr ymdrech hono yn fuddugoliaethus. Diweddodd ei Arglwyddiaeth drwy ddatgan ei olygiadau yn erbyn pleid-leisio drwy *Ballot*, a Seneddau blynyddol. Yn ystod ei araith hyawdl cafodd ei Arglwyddiaeth ei attal yn fynych gan floeddiadau o gymmeradwyaeth y Seneddwyr.

Syr JOHN SEBRIGHT a gefnogai gynnygiad ei Arglwyddiaeth. Haerai nad oedd gan y cyffredin hyder yn eu Cynnrychiolwyr; ac am hyny cefnogai unrhyw drefn o ddiwygiad yn hytrach na goddef i'r wlad barhâu yn ei hansawdd bresenol.

Syr R. H. INGLIS a gyfodai i ddatgan ei olygiadau ar y pwnc tra phwysfawr hwn gyda gradd o betruster. Dyma y tro cyntaf yr achwynodd Gweinidogion y Brenin yn erbyn y Tŷ hwn, am nad oedd yn cynnrychioli trigolion Lloegr fel y dylai. Haerai nad oedd angen am ddiwygiad, ac nad oedd y wlad yn galw am y fath beth. Os difreinir y Bwrdeisdrefi, pa fodd y dichon i foneddion ag eiddo bychan gael eisteddle yn y Senedd? Yn ol y drefn hon annichonadwy fyddai i neb braidd, ond ei ethol y werinos, gael dyfodfa yno. Parai yr ysgrifaeth hyn yn unig iddo ef wrthwynebu cynnygiad y Llywodraeth, a phrophwydai y byddai y drefn yn dra niweidiol i'r Ffurf-lywodraeth cyn pen 10 mlynedd. Nid oedd y cyfnewidiad ddim llai nag adchwyl; diddymai awdurdod cyfreithlawn urddas ac eiddo, a dadymchwelai y drefn a barodd i'r wlad hon fod yn rhyfeddod yn ngolwg holl deyrnasoedd y byd.

Mr. HORACE SWISS a wrthwynebai y cynnygiad, am fod cyfreithwyr a masnachwyr i gael y fraint o blaid-leisio—dynion o olygiadau cyfyng fel y gwyddai pawb. Gobeithiai mai nid ofn a achosai y cyfnewidiad a ddigwyddodd yn marnau llawer o'r bobl; a haerai nad oedd y perygl gymmaint ag a ddatganai ei Arglwyddiaeth.

*Canghellydd y Trysorlys* a ganiatâi fod nifer o ddynion a fu yn addurn i'r Senedd wedi cael eu dwyn yno drwy y Bwrdeisdrefi; ond gofynai, onid oedd anfanteision a wrthbwysai y manteision hyn a darddai oddiar y drefn hon? Onid anfantais oedd i berchenog nifer mawr o Fwrdeisdrefi reoli Penswyddog y Brenin? gwrthwynebu ac attal rheolaeth dda? Yr oedd y drygau hyn o fwy o bwys nag attaliad nifer bychan o ddynion doniol rhag dyfod i'r Senedd. Cydnabyddai pawb mai dirfawr oedd y treuliau yn etholiad Seneddwr; yn gyntaf, am fod yr etholyddion yn byw ym mhell oddiwrth Brif-dref y Swydd; yn ail, am fod dynion heb ddim eiddo yn gallu pleid-leisio, ac o ganlyniad yn dra agored i gael eu llwgr-wobrwyo. Dyben y cynnygiad hwn oedd cynnysgaeddu y graddau canolig o drigolion y wlad â'r fraint o gael cynnrychiolwyr; trosglwyddo breinfraint rhai lleoedd distadl i drefydd teilwng o hono. Gwyddai o'r goreu, er fod trigolion y wlad yn anghymmeradwyo ansawdd presenol y cynnrychioliad, nad oedd yn dymuno cael y cyfnewidiad lleiaf yn y Ffurf-lywodraeth. Haerai y gellid ymddiried y breinfraint i'r masnachwyr, &c. a'u bod hwy yn meddiannu cymmaint o gywirdeb, anrhydedd, a deall, a neb o ddeiliaid ei Fawrhydi; a phe gwrthwynebai y rhai hyn y Llywodraeth, ni byddai iddi ond sail gwan am ddiogelwch. Dymunai i drigolion cyfrifol a deallus y wlad gael eu cynnrychioli yno fel y dylent; oblegid atynt hwy rhaid edrych am gymmorth, ac nid at bendefigion ein gwlad.

Arglwydd LEVESON GOWER a wrthwynebai y cynnygiad, ac a wadai fod angen am ddiwygiad yn yr Alban. Tebutai yn sicr fod y drefn bresenol yn gweithredu yn effeithiolach nag y tybid yn gyffredin.

*Dydd Mercher*, Mawrth 2, Mr. HUME a gydnabyddai fod cynnygiad Gweinidogion ei Fawrhydi wedi myned tu hwnt i'w ddisgwyliadau; ac er maint ei hyder ynddynt, ni thybiodd erioed y dygasent eu trefniadau ym mlaen mor eofn a gwrol. Gallai fod gwrthwynebiad i rai o gyfranau y drefn; ond ar y cyfan achosai lawer o ddaioni, nid yn unig i werinos y wlad, ond hefyd i'r Goron, ac i'r Pendefigion. Ystyriai fod areithiau rhai o wrthwynebwyr y drefn yn dangos yn eglur yr angenrheidrwydd am ddiwygiad.

Mr. MACAULEY a gefnogai y cynnygiad hwn, am y rhoddai y diogelwch cadarnaf yn erbyn Chwyldroad. Llawer o gyfnewidiadau a ddigwyddasent yn y wlad hon; dinasoedd a threfydd mawrion oeddynt wedi lleihâu i bentrefydd distadl, a phentrefydd bychain oeddynt wedi dyfod yn drefydd mawr a phoblogaidd. Ac wrth barhâu y breinfraint i leoedd a suddasant i ddiddymdra, a'i nacâu i ddinasoedd eang, yr oeddynt yn cadw y ffurf, ond diangai yr ysbryd. Dylid cymmwyso ein trefn i'r cyfnewidiadau a achoswyd gan amser. Mewn perthynas i'r Bwrdeisdrefi yn hyrwyddo dyfodiad dynion o ddoniau ardderchog i'r Senedd, haerai nad oedd hyn ond *damwain* yn unig; a chai y cyfryw foneddion gymmaint o gyfleusderau i fod yn Seneddwyr dan y drefn newydd a than yr hen drefn.

Mr. HUNT a gydnabyddai na ddisgwyliodd efe y dygid y fath gynnygiad i mewn gan y Gweinidogion; bwriadent fyned rhwng y ddwy blaid, sef Gwrthwynebwyr Diwygiad a'r Diwygwyr gwreiddiol.

Syr Charles Wetherell a gyfodai i wneuthur ei araeth olaf cyn i'r Bwrdeisdref, yr hon a gynnrychiolai efe, gael ei difreinio. Achwynai yn chwerw yn erbyn difreinio cynifer o Fwrdeisdrefi am ddim trosedd yn y byd. Yr oedd yr holl drefn yn erbyn holl egwyddorion cyfiawnder a chywirdeb. Heblaw hyny, yr oedd dewisiad yr amser yn anffodus. Pan oedd holl gyfandir Ewrop yn derfysglyd ai cymmwys oedd cynnyg Ffurf-lywodraeth newydd? Ai iawn oedd mathru iawnderau miloedd dan draed? Haerai fod y drefn yn tueddu at werin-lywodraeth; a bod ei hegwyddor yn niweidiol i bob eiddo, pob iawnder, a phob braint.

Syr Thomas Denman a atebodd araith Syr C. Wetherell; wedi hyny Arglwyddi *Newark*, *Ebrington*, a *Darlington*, a ddadleuasant o blaid, a Meistraid *Shelley* a *Wall*, ac Arglwydd *Mahon*, yn erbyn y cynnygiad.

*Dydd Iau*, Mawrth 3, Mr. Geo. Bankes, a dybiai mai ofn rhyw berygl i ddyfod a gymhellodd Weinidogion y Brenin i ddwyn ym mlaen eu cynnygiad er Diwygio y Senedd. Ni allai efe weled angen am y cyfryw drefn.

Mr. Hobhouse a ddywedai fod y cynnygiad hwn wedi peri syndod ac hyfrydedd i drigolion yr holl deyrnas. Ni ryfeddai fod cymmaint o wrthwynebiad i'r cynnygiad, am fod llawer o'r Seneddwyr yn ymegnio o blaid eu heinioes Seneddol. Nid drwy ganiatâu, ond drwy wrthwynebu, y cynnygiad y cyfodai perygl i'r wladwriaeth. Teimlai yn sicr y boddlonai y cynnygiad holl ddeiliaid rhesymol ei Fawrhydi.

Mr. Baring a haerai mai Ffurf-lywodraeth newydd oeddynt yn ystyried, ac nid diwygiad yr hen un; yr hon a ddyrchafodd y deyrnas hon i uchder gogoniant, ac a foddlonai bob Sais.

Arglwydd Palmerston a ardystiai fod llais y cyffredin yn galw yn uchel am ddiwygiad; yr hyn a brofwyd drwy iddo ef a'i gyfeillion gael eu dewis yn Weinidogion i'w Fawrhydi. Dirmygu dymuniadau y wlad a ddadymchwelodd y Gweinidogion diweddaf. Y sawl a olygai fod gorseddau Breninol yn ddiogel yn ol fel y meddiannent serchiadau y bobl a gefnogai y cynnygiad hwn; a gobeithiai o'i galon mai ymdrechiadau y cyfryw rai a lwyddant.

Syr R. Peel a dybiai na roddwyd un rheswm o blaid y cyfnewidiad mawr a fwriedir ei wneud yn Ffurf-lywodraeth y deyrnas hon. Y Gweinidogion a fygythiasant os na chydsyniai y Senedd â'u cynnygiadau hwynt y diddyment y Senedd. Anfonwch fi, ebe fe, at fy etholyddion, os dymunwch. Af atynt gyd â'ch ysgrif chwi yn fy llaw, ac ymddibynaf fy hawl am eu hyder ar fy ngwrthwynebiad i'r cynnygiad hwn. Ni foddlonaf byth iddynt gael eu difreinio os na haeddant hyny. Teimlaf barch mawr i raddolion canolig y wlad hon; oddi wrthynt hwy y tarddais i, ac ymffrostiaf yn fy mherthynas â hwynt. Dilys genyf fod y cyfryw rai yn teimlo yn serchus tu ag at y Ffurf-lywodraeth bresenol. Terfynai drwy erfyn arnynt ymbwyllo cyn andwyo Ffurf-lywodraeth a wnaeth y wlad hon yn dra llwyddiannus.

*Dydd Gwener*, Mawrth 4, Mr. Gisborne a gynghorai Syr *R. Peel* i chwilio y gofrestr wobrwyol, ac amryw bethau ereill o barthed y trethi, &c. ac yna dyweded a oedd angen am ddiwygiad. Tybiai nad oedd Tŷ y Cyffredin wedi cyflawni eu dyledswydd yn hyn, am hyny cefnogai y cynnygiad.

Mr. John Smith a gyfaddefai ei fod yn meddiannu un Bwrdeisdref, a gwyddai nad oedd hyn yn beth cyfreithlawn. Er fod ganddo yn awr allu i ddethol dau neu dri o Seneddwyr; etto cefnogai rhyw gynnygiad i ddifreinio y cyfryw leoedd â'i holl galon.

Mr. Capel, un o Gynnrychiolwyr Bwrdeisdref *Queenborough*, yr hon a ddifreinir, a ddywedai nad oedd ganddo un gwrthwynebiad i'r cynnygiad.

Mr. Calcraft a wrthwynebai gynnygiad a dueddai gymmaint i achosi chwyldroad yn y wlad.

Mr. Stanley a areithiodd yn hyawdl o blaid y cynnygiad, ac a atebodd holl wrthwynebiadau Syr R. Peel. Nid oedd gan y Gweinidogion awdurdod ar y Wasg, ac nid oeddynt yn atebol am ymddygiad perchenogion Newyddiaduron ac ereill. Gwrthwynebai rhai y cynnygiad oblegid anaddasrwydd yr amser presenol i weithredu unrhyw gyfnewidiad; ond dylid cofio mai dan yr amod hwn y cymerasant hwy eu gwahanol swyddau. Gofynai a oedd Iarll Grey yn debyg o gefnogi unrhyw gynnygiad a ddymchwelai sefydliadau y deyrnas, ac a arweiniai at Chwyldroad? Ei amcan ef, a'i gyfeillion oedd adferu ac nid cyfnewid y Ffurf-lywodraeth.

Mr. C. W. Wynn a ddywedai iddo ddwys ystyried y pwnc hwn o ddiwygiad Seneddol am flynyddoedd lawer, ac iddo wrthwynebu cyfnewidiadau mawr a disymwth yn nhrefn y llywodraeth. Ar yr un pryd, ni theimlai y fath ofn am drefniadau newydd ag a deimlai rhai o'i gyfeillion; oblegid dilys ganddo mai un o brif ragoriaethau Ffurf-lywodraeth ein gwlad oedd ei chymmwysder i gael ei diwygio a'i gwellhâu yn barhâus. Ond etto dylai y diwygiadau a'r gwrteithiau fod yn raddol, rhag i'r cyfnewidiadau beryglu y cyfan o'r drefn. Am hyny cefnogai efe bob amser gynnygiadau i ddifreinio Bwrdeisdrefi llygredig ac annheilwng o'u breinfraint. Rhoddodd ystyriaeth mawr i'r cynnygiad presenol, a chymeradwyai lawer o'r trefniadau; ond pan fwriadai y cynnygiad i ddifreinio gymmaint o Seneddwyr ni allai efe ei gefnogi. Haerir y rhwystrai hyn ychwaneg o gyfnewidiadau, ond ni allai efe gydsynied â'r golygiad hwn. Dymunai i'r trefydd mawrion gael Cynnrychiolwyr yn y Senedd, ac iddynt gael dylanwad cyfartal yno. Gofidiai nad oedd yn cyduno ynghylch hyn â chyfeillion lawer, y rhai a barchai efe; ac ym mhellach, anghydunai â golygiadau nifer mawr o'i etholyddion, y rhai a ddatganasant eu dymuniad am ddiwygiad yn ddilyngus iawn. Gofidiai am hyn; ond ar rai achlysuron bydddai dyn yn dra dirmygus oni ymddygai yn unol â'i farn ei hun. Tybiai mai ei ddyledswydd fel Cynnrychiolwr oedd datgan ei syniadau yn y modd goreu a allai, ond iddo wneuthur hyn yn onest ac yn astud. Digwyddodd yn fynych o'r blaen iddo ef ammeu cydsynio â golygiadau ei etholyddion; ond etto rhoddasant ynddo gymmaint o hyder ag ar y cyntaf, a gobeithio y gwnant felly ar yr achlysur hwn.

*Prif Ddadleuwr yr Alban* a amlygai ddiffygiadau ansawdd presenol y cynnrychiolaeth yn y wlad hono, ac a hysbysodd fod miloedd yno yn dymuno cael cyfnewidiad a diwygiad Seneddol. Sylwodd yn fanwl ar haeriadau diwedd Arglwydd Leveson Gower. Dywedodd y tueddai diwygiad i roddi terfyn ar esgeulusdod dirmygus y tlawd gan y cyfoethogion, ac i beri i'r olaf gydymdeimlo mwy âg angenion y werinos. Gwnai hwynt yn fwy gostyngedig. Pan gynnrychiolid trigolion y wlad yn deg gwelent nad ydynt i briodoli i gam-lywyddiaeth eu holl cyfyngder a'u hangen.

Mr. Croker a gredai na ddifreiniwyd erioed gymmaint o ddynion ag a ddifreinir gan y cynnygiad hwn heb un rheswm am hyny. Ni allai ddirnad paham y penderfynwyd na chaffai neb sydd yn talu llai na £10 o *rent* fwynhâu y breinfraint. Ystyriai efe, bob amser, mai un o ragoriaethau y drefn hon oedd, fod gwahanol raddau o ddynion yn cael llais yn etholiad Seneddwyr, a thrwy hyn fod dyfodfa i'r Senedd i amrywiol fath o ddynion; a haerai mai tra pheryglus ydoedd cyfyngu y freinfraint i un gradd, yr hyn a effeithir gan y cynnygiad presenol.

*Dydd Llun*, Mawrth 7, Mr. Sykes a gydnabyddai os chwyldroadol yw troi breinfraint y Bwrdeisdrefi llygredig ac anghyfanedd i Swyddi eang a threfydd poblogaidd, fod y cynnygiad hwn yn chwyldroadol. Dymunai i ryw un o wrthwynebwyr diwygiad Seneddol ddangos iddo y gyfraith a awdurdodai Bendefigion i gael cynnrychiolwyr yn Nhŷ y Cyffredin.

Mr. North a gynghorai iddynt, cyn cymmeradwyo y Ffurf-lywodraeth newydd, gael boddlonrwydd ar ddau bwnc; yn gyntaf, eu bod yn deall yr hen ffurf; yn ail, eu bod yn canfod yn amlwg weithrediad y newydd. Haerai fod y Bwrdeisdrefi yn angenrheidiol er cynnrychiolli meddiannwyr eiddo yn y ddwy India a'r tiriogaethau; ond ymddifedir hwy yn ol y drefn newydd. Yn yr Iwerddon ni allai Mr. Grattan, yr hwn a nacâwyd gan etholyddion un Swydd, gael dyfodfa i'r Senedd oni bai i feddiannwr Bwrdeisdref ei ddewis. Nid oedd ond dwy flynedd er pan wnaethpwyd cyfnewidiad yn nghynnrychioliad y dalaeth hono; ac er cynnal y cyfartalrwydd rhwng y Protestaniaid a'r Pabyddion, gwelwyd yn anhebgorol i ddifreinio yr uchelwyr yn meddu gwerth £40 o dir; ond dinystrir y cyfartalrwydd hwnw gan y cynnygiad hwn. Gwyddai hefyd mai un o ganlyniadau y drefn newydd fyddai diddymu dylanwad y Protestaniaid mewn 20 o drefydd a Swyddi yn yr Iwerddon. Heriai Mr. O'Connell i wadu hyn os gallai. Ofnai nad oedd hyn ond dechreuad cyfnewidiadau a suddent y deyrnas i eigion chwyldroad; am hyny gwrthwynebai y cynnygiad hyd eithaf ei allu. Cafodd araith hyawdl y gwr hwn effaith ryfeddol ar y gwrandawyr.

Mr. R. Grant, mewn araith nodedig am ei hardderchowgrwydd, a atebai wrthebiadau Mr. North, a sylwai mai yr achos o'r anhawsdra a gafodd Mr. Grattan i gael dyfodfa i'r Senedd oedd, fod ansawdd y cynnrychioliad yno yn rhy debyg i'r Bwrdeisdrefi—bod ychydig o ddynion yn meddiannu gormodedd o awdurdod. Pe goddefasid i ddynion deallus a chyfrifol fwynhâu y freinfraint ni rwystrid y cyfryw enwogion â Mr. Grattan rhag cael eu dethol gan leoedd o bwys. Gofynodd Mr. North beth a ddenai o feddiannwyr eiddo yn y tiriogaethau dan y drefn newydd? Atebai, na chyfnewidid dim yn y cynnrychioliad; ac os edrychai efe ar lechres y Bwrdeisdrefi a ddifreinir, gwelai nad oes neb o'u cynnrychiolwyr yn gysylltiedig â'r tiriogaethau. Bydd pedwar o Oruchwylwyr yr India Ddwyreiniol yn y Tŷ hwn, ac amrai o bleidwyr trigolion yr India Orllewinol. Ni allai lai na chyfeirio at ymddygiad Mr. H. Twiss yn gwaradwyddo canol-raddolion y wlad wrth ganiatâu iddynt eu hawl gyfiawnaf; ymarfogwch i wrthsefyll honiadau anghyfiawn, a gellwch adael y canlyniadau yn llaw rhagluniaeth.——Amrai o Seneddwyr ereill a areithiasant o blaid ac yn erbyn y cynnygiad.

*Dydd Mawrth*, Mawrth 8, Mr. O'Connell a ddiolchai i Weinidogion ei Fawrhydi am ddwyn ym mlaen gynnygiad mor ddoeth, cyfansawdd, a haelionus. Rhoddai y boddlonrwydd mwyaf i'r trigolion: er, efallai, y dylasent roddi cynnrychiolwyr i lawer o drefydd mawrion yno; ond cefnogai y cynnygiad, yr hyn a dueddai i leihâu ei awdurdod anghyfreithlawn ef ar drigolion yr Iwerddon.

Syr James Graham a atebai y prif wrthebiadau yn erbyn y cynnygiad, ac a amddiffynai ei gydswyddogion am arfaethu difreinio y Bwrdeisdrefi hyny a gynnwysant lai na 2000 o drigolion. Pe penderfynasent ddifreinio y sawl a gynnwysent lai na 4000, a rhagor na 2000, gorfuasent ddifreinio gormod o honynt; eu hamcan oedd difreinio y cyfryw rai ag oeddynt yn eiddo un boneddig neu ddau yn unig. Os edrychent ar gofrestr y trethi, gwelant fod *Sheffield* yn cynnwys 1566 o anneddau o werth £10, a rhagor, yn y flwyddyn, tra y cynnwysai 40 o Fwrdeisdrefi a ddifreinir ddim ond 1472 o'r cyffelyb dai. Hyderai y llwyddai y cynnygiad hwn i ddiogelu yr Orsedd, ac i adferu ymddiried y wlad i Dŷ y Cyffredin.

*Dydd Mercher*, Mawrth 9, Mr. Perceval a ddatganai ei benderfyniad i wrthwynebu y cynnygiad, am y tueddai i ddinystrio y Ffurf-lywodraeth. Darluniai y rhesymau o blaid y cynnygiad yn wan a dirym, oddiar wallgofrwydd gwaradwyddus y Gweinidogion y tarddai y cyfryw gynnygiad. Gobeithiai na chymmeradwyid ef byth gan y Senedd.

Mr. D. W. Harvey a haerai fod angenrheidrwydd am ddiwygiad i'r dyben i olrheinio y gofrestr wobrwyol, ac i benderfynu pwy a haeddai gael eu cynnal ar draul y wlad.

Arglwydd Stanley a wyddai fod y cynnygiad wedi rhoddi boddlonrwydd i'r wlad, ac wedi derbyn cymmeradwyaeth ym mhob parth.

Arglwydd John Russel, mewn araith faith a hyawdl, a atebodd wrthebiadau, ac a eglurodd bethau a gam-ddeallwyd gan amrai o'r Areithwyr. Ymddiffynodd ei hun a'i gyfeillion yn erbyn y cyhuddiad o bleidgarwch yn nifreiniad y Bwrdeisdrefi; eiddo a nifer y trigolion oedd sylfaen ei drefn ef. Yn ateb i Syr R. Peel, yr hwn a achwynai yn erbyn prinder rhesymau cedyrn o blaid y cynnygiad, cydnabyddai na ddygid ym mlaen ond ychydig; oblegid tybiai mai digon fyddai datgan y drygau a achosai i ddynion rhesymol gwyno yn uchel, a dwyn y cynnygiad i mewn, a gadael iddo lefaru drosto ei hun, fel meddyginiaeth i'r aml ddrygau hyny. A bod y drefn yn foddlongar a brofwyd gan y gymmeradwyaeth a dderbyniodd ym mhob parth o'r wlad; darllenwyd ac olrheiniwyd y drefn yn Lloegr, Cymru, yr Alban, a'r Iwerddon, ac ni achwynodd neb yn erbyn prinder rhesymau.——Un Aelod arall a ardystiai y cyfnewidir y Ffurf-lywodraeth bresenol i Werin-lywodraeth. Beth, ai Gwerin-lywodraeth yw caniatâu i Sir Gaerefrog gael chwech o Gynnrychiolwyr yn lle pedwar, ac Abertawe gael un?—Un arall a deimlai yn sicr yr effeithia y drefn newydd i dynu y goron oddiar ben y Brenin. Tybiai efe y gallai y Senedd, gyda hylwyr ddiogelwch, ymddiried y Brenin i serchiadau ei ddeiliaid. Cyfaddefai yr achosai y cyfnewidiad ryw radd o anghyfleusdra i Swyddogion y Llywodraeth; ond pa wellhâd a effeithir heb gael rhyw ychydig o anghyfleusderau? Tra y gwelid Cynnrychiolwyr y mân Fwrdeisdrefi bob amser yn gwrthwynebu diwygiad a chynnildeb, Cynnrychiolwyr Bwrdeisdrefi mawrion, a Swyddi, a bleidient drws y pethau bron yn wastad. Darbwyllid ef yr adferai trefn y Gweinidogion hyder y cyffredin yn eu cynnrychiolwyr, ac y profa iddynt na chawsant eu bradwr; ond os na chydsyniai y Senedd â hyn, gorfyddai arnynt cyn bo hir ymfoddloni i drefniadau chwyldroadol, megis i ddeddfau boddugoliaethwr. Cynghorai hwynt i aberthu eu rhagfarnau, a chyfodi allor i'r aberth ar serchiadau y bobl.——Eisteddodd ei Arglwyddiaeth i lawr ym mysg bonllefau o gymmeradwyaeth.

Yna cynnygiodd y *Llefarydd*, "Bod ysgrif i gael ei dwyn i mewn er diwygio y gynnrychioliad yn Nghymru a Lloegr." Caniatawyd yn unfryd unllais.

Arglwydd John Russel a gynnygiodd "Bod caniatâd i ddwyn ysgrif i mewn er diwygio cynnrychioliad yr Alban a'r Iwerddon." Caniatâwyd.

Nid ydys yn cofio i'r Senedd dreulio saith noswaith olynol yn dadleu yr un pwnc; yr oedd nifer anarferol o Seneddwyr yn wyddfodol bob nos. Achosodd Mr. C. W. Wynn lawer o chwerthiniad yno nos Gwyl Ddewi, drwy ymddangos fel "Cymro glân gloyw," â chenhinen yn ei amben.

*Dydd Gwener*, Mawrth 4, Penderfynwyd gan Eisteddfod o Aelodau Tŷ y Cyffredin na ddetholwyd Mr. *O'Gorman Mahon* yn gyfreithlawn i gynnrychiolli Swydd *Clare*, yn yr Iwerddon. Pan glywodd y gwr anrhydeddus hyn rhuthrodd allan o'r Senedd.

Penderfynwyd, gan Eisteddfod o Seneddwyr, nad oes i neb o Swyddogion Gwladol i dderbyn *pension* heb ganiatâd arbenig y Senedd. Annogwyd lleihâu cyflogau y Gweinidogion £1000 yn y flwyddyn, yr hyn a wna gyflogau *Secretary of State*, a *First Lord of the Admiralty*, yn £5000; lleihêir cyflogau Ysgrifenyddion y Trysorlys o £4000 i 2500. Cynnygiwyd fod cyflogau dau o'r Gweinidogion gael eu gostwng i £1500 y flwyddyn; cynnygiodd Mr. Hume fod £1000 yn ddigon i ddynion yn gwneud dim. Tybiwyd hyn mor ddirmygus gan Arglwydd Stormont, fel ag y cynnygiodd, er datgan ei anghymeradwyaeth yn y modd cadarnaf, na fyddai iddynt gael dim cyflog, yr hyn a gydunwyd arno. Gostyngir y drydedd ran o gyflogau y Swydd-

ogion Teuluaidd; eithr ar ol y cyfan ni arbedir rhagor na £10,000 yn y flwyddyn.

*Dydd Mawrth*, Mawrth 22ain. Daeth yr ail-ddarlleniad o'r Ysgrif ynghylch Diwygiad Seneddol ger bron y Tŷ. Yr oedd nifer yr Aelodau yn lluosocach nag erioed o'r blaen. Ar ol i amryw foneddion areithio yn hyawdl iawn dros ac yn erbyn yr Ysgrif, ymranodd y tŷ, a chafwyd fod

| | |
|---|---|
| Dros yr Ysgrif .... | 302 |
| Yn ei herbyn ...... | 301 |
| Mwy drosti .... | 1 |

Nid ydys yn gwybod am un pwngc a effeithiodd gymmaint ar feddyliau y wlad yn gyffredinol a'r Ysgrif hon, er yr amser y cynnygiwyd hi gyntaf gan yr Arglwydd J. Russel, Gwyl Ddewi diweddaf, hyd nes y penderfynwyd arno yn gadarnhaol. Er nad oedd ond un yn ychwaneg o'i blaid, etto wrth ystyried yr holl rym a ddygwyd yn ei erbyn, y mae y penderfyniad hwn yn dra boddhaol.

Os barna Gweinidogion y Brenin yn angenrheidiol digorphori y Senedd, bydd nifer y rhai a etholir yn aelodau newyddion, erbyn yr anghyfarfyddant, yn chwanegu llawer at eu cryfder. Mynegasant, trwy yr Arglwydd J. Russel, nad ydynt yn erbyn gwneuthur rhyw gyfnewidiadau bychain mewn rhai pethau cynnwysedig yn yr Ysgrif, ond na foddlonant er dim iddynt gyfnewid ei phrif byngciau.

Pan hysbyswyd penderfyniad y tŷ, derbyniwyd ef gyda bonllefau o orfoledd, y rhai a barhausant yn ddiatalfa dros hir amser, tu fewn a thu allan i'r llys.

---

*Y Gwyliedydd Hybarch.*—Er y gall rhai ystyried yr hyn a ganlyn o gyfieithiad o araeth y Barwn Alderson yn annhymhorol, yn gymmaint a bod yr achos oedd yn galw am dani, sef llosgi teisi ac ydlanau mewn amryw fanau yn Lloegr a Chymru, wedi darfod, etto nid wyf yn ammeu na rydd ddywenydd i lawer o'ch darllenwyr anhyddysg yn yr iaith y traddodwyd hi weled cyfieithiad o honi yn Gymraeg.

Y Cyfieithydd.

*Rhan o Anerch yr Ynad Alderson ger bron y Llys a'r Uchel Reithwyr yn Dorchester, yr 11eg o Ionawr*, 1831.

Yr ydym wedi ymgyfarfod yma yr awrhon i'r diben i chwilio yn ddyfal ynghylch y nifer mawr o droseddiadau erchyll a wnaed yn ddiweddar yn y Swydd hon. Mae yn ddymunol bob amser ryddhâu yn ebrwydd y gwirion oddiwrth faich y cyhuddiad yn eu herbyn, a gwneud siampl hynod o'r euog allan o law, er lles y wlad. Os gwir hyn bob amser, y mae felly yn dra angenrheidiol yn y dyddiau hyn, pryd y gwelir mewn amryw barthau o'r deyrnas laweroedd o'r bobl gyffredin yn ymdyru yn lluoedd i ysgafnhâu eu caledi a'u beichiau, a chan dramwy yn derfysglyd o'r naill blwyf i'r llall, ac o dŷ i dŷ, yn ymddwyn yn greulon, ac yn gwneuthur cam a gormes, a gofyn, gyda bwgwth, arian a lluniaeth, a difetha amryw fath o eiddo, a rhoi ar dân ŷd a gwair, tai a gweithdai; nid oes gan hyny nag annedd na da neb yn y wlad yn ddiogel. Yn yr amgylchiadau hyn gwelodd ei Fawrhydi y Brenin yn dda alw arnom i fyned ac olrhain y materion hyn, a rhoddi barn a chyfiawn gospedigaeth lle gwelir yn angenrheidiol. Oni weinyddir y gyfraith yn ddioed, a gostegu y fath annhrefn, ni ddichon dyn amgyffred pa cyn belled y cyrhaeddai y drwg, neu pa mor fuan y collem fendithion ein gwlad a'n cyfraith, a'n cadwasant hyd yn hyn yn iach oddiwrth ormes-deyrn ar y naill law, ac afreolaeth gwyllt ar y llaw arall. Yn wir, mae yn beth anhawdd pennodi 'r achosion, o ba rai y gall y drygau mawrion sydd yr awrhon yn pwyso mor erchyll ar y wlad ddeilliaw. Yn fy meddwl i maent hwy yn camgymmeryd yn ddirfawr a dybiant fod achos pennodol yn ddigonol i beri y fath aflwydd. Rhai a haerant mai angen a chyfyngder yw 'r achos; etto anhawdd fyddai profi fod mwy angen eleni na'r llynedd, neu fod cyflogau yn is, neu ymborth a dillad yn uwch pris nag oeddynt yn ddiweddar. Nid wyf yn ammeu nad yw eisieu ac angen yn un o'r achosion penaf o'r drygfyd hwn—angen trwm ddigon, etto angen wedi ei chwanegu yn fwy, yr wyf yn ofni, gan ddichellion dynion drygionus, er eu mantais eu hunain, a dibenion drwg. Mae tlodi, ysywaeth, yn rhy aml yn y deyrnas hon, yr unig wlad lle y trefnir ymborth dan y gyfraith i'r tlawd; ac fe all y tlodi fod yn fwy ac yn amlach o herwydd y fath drefn, neu, yn hytrach, y camddefnydd a wneir o'r gyfraith a luniwyd er gwellhau pethau. Mae y gyfraith a drefnwyd er cynnal yr hen a'r afiach yn rhy aml yn achlysur i briodasau cynnar a byrbwyll; y teuluoedd felly yn cynnyddu heb fawr ofal pa fodd y cedwir hwynt, ond myned yn union at y plwyf, a phwyso ar bobl sydd ganddynt ddigon o drafferth i fyw eu hunain, heb sôn am gadw rhai ereill. Talu cyflogau hefyd i weithwŷr mewn eiddo, ac nid mewn arian, a wnaeth lawer o ddrwg mewn manau. Mae pwyso ar y plwyf yr awrhon mor gyffredin, nad oes, fel ystalm, gywilydd yn y byd o'r achos; ie, llawer un a ddywed yn uchel ddigon, ei fod ef eisoes wedi arbed gormod ar y plwyf, ac felly efe a haerai fod ganddo hawl i eiddo pobl ereill. Fel hyn y mae llawer o rinweddau a chyneddfau da a welwyd flynyddoedd yn ol yn y werin bobl wedi diflanu yn gwbl, a chymmeriad y gweithwyr wedi myned yn isel iawn o herwydd hyny. Ac y mae y dysg a roddir yr awrhon mor gyffredin yn gwneud i lawer deimlo eu baich yn gynt, ac anesmwytho wrth edrych ar gyflwr y rhai sydd well arnynt: ac fel hyn y maent yn hawdd i'w troi a'u cyffroi gan ddynion dichell-ddrwg a'u perswadiant i hel eiddo trwy drais ac yspail, yn hytrach na thrwy lafur; ac a'u perswadiant hefyd fod bwr-

iad gan y gwyr mawrion a'r cyfoethog i'w gorthrymu hwynt, ac i sathru y trueiniaid dan eu traed, yn hytrach na bod yn amddiffynwyr ac ymgeledd iddynt. Ymgais y fath bobl ddichell-ddrwg a'r rhai hyn nid yw amgen na thori pob rhwymyn cymdeithasol, a gwneuthur gelyniaeth rhwng y naill radd yn y byd a'r llall; dyledswydd a lles mawr pob un o'r rhai hyn ydyw undeb a brawdgarwch. Un modd a gymmer y gwyr yma i gyflawni eu dibenion dryglonus, yw taenu ar led lyfrau yn cynnwys opiniynau gau a therfysglyd; waith arall y cefsiant laweroedd i ymgynnull ynghyd i'r diben, fel y dywedant, i ymorol a holi ynghylch eu beichiau, a'r ffordd oreu i'w hysgafnhau. Cymmerant achlysur yr un pryd i fawrygu pob cam a niweid, ac i dduo pob peth yn llawer gwaeth nag y mae mewn gwirionedd, cyn belled ag yr annogant y gweithwyr gwirion i edrych ar eu meistriaid megys yr achos o'u holl galedi a'u dioddefiadau, ac felly i ddifetha eu da a'u heiddo hwynt. Yn erbyn y fath gam-weithredoedd y mae y gyfraith wedi darparu amryw feddyginiaethau; ac yr ydym ni wedi ymgynnull i attal y mawr ddrygau a wneir mor aml, i ranu cospedigaeth lle yr haeddir, ac i iachâu, hyd y mae ynom, ddoluriau y wlad, fel y bo i ddeiliaid y Brenin fyw mewn gwell trefn o hyn allan, a llai o ffaw, dychryn, a drygioni yn ein plith.

---

*Cymreigyddion Caerludd.*—Nos Iau, y 6ed o Ionawr, cynnaliodd y Gymdeithas hon ei gwledd flynyddol yn ei hystafell eang yn *Bow Lane, Cheapside.* Gan i'r Llywydd etholedig am y flwyddyn bresenol, sef Richard Evans, Ysw. gael ei luddias gan afiechyd, cymmerwyd y gadair gan Mr. Isaac Simon, Llywydd y flwyddyn ddiweddaf. Cynnygiwyd ar i holl swyddogion y Gymdeithas aros yn eu swyddau am y flwyddyn ddyfodol. A dewiswyd Mr. O. W. Thomas (*Turog*) yn Fardd y Gymdeithas, yn lle Mr. John Lloyd (*Einion Mon*) yr hwn o herwydd afiechyd a orfu rhoi ei swydd i fynu. Traddodwyd amrai o Englynion rhagorol gan Einion Mon, ac areithiodd Mr. Thomas Edwards (*Caerfallwch*) Mr. G. Davies, Mr. John Lloyd, Mr. W. Morgan, Mr. H. Hughes, ac Ieuan ab Gruffydd, yn hyawdl iawn ar yr achos, a threuliwyd y prydnawn yn y modd mwyaf difyr a chyfeillgar. Cyngor y Gymdeithas am y flwyddyn hon yw y Boneddion canlynol:—Mr. Griffith Davies, Mr. Thomas Edwards, Mr. Thos. Roberts, Mr. John Lloyd, Mr. Isaac Simon, Mr. John Jones, Mr. David Lewis, Mr. William Morgans, Mr. John Lewis, Mr. David Jones, Mr. Evan Jones.

## CYMRU.

### LLYTHYR AT Y GOLYGYDD.

MR. GWYLIEDYDD,—Y Sul cyntaf yn mis Chwefror diweddaf, cefais alwad gan Weinidog claf i wasanaethu ei Eglwys, oddeutu pum milltir o'm cartref. Yr oedd eira mawr wedi llenwi yr holl ffyrdd, am hyny teithiais ar fy nhraed. Wedi gorphen y gwasanaeth boreuol yn fy Eglwys, cychwynais yn ddioed, a chyrhaeddais ben fy nhaith rhwng dau a thri o'r gloch, gyda llawn fwriad o fod gartref erbyn chwech at yr addoliad prydnawnol. Wedi darfod y gwasanaeth a'r bregeth, cychwynais tu ag adref. Yn ddisymmwth cyfododd tymhestl o wynt mawr ac eira. Daethum yn llwyddiannus ar hyd ffordd wastad dros dair milltir; ond o fewn milltir a hanner i'm cartref yr oedd genyf allt serth i'w dringo, a'r tywydd oedd yn union i fy ngwyneb yn bwgwth fy mygu. Collais y troed-lwybr, a meddyliais am ol traed y praidd yn llyfr y Caniadau. Daeth y nos y'mlaen, a minnau mewn enbydrwydd hyd fy hanner yn yr eira, tra 'r oedd y gwynt tymhestlog a'r eira yn curo arnaf. Yn yr amgylchiad peryglus hwn o ddyfnder yn galw ar ddyfnder, daeth amryw adnodau i'm meddwl, megys, "Noswaith a diwrnod y bûm yn y dyfnfor;" ac ystyriais, os allan y byddwn tan y boreu, y gallwn, trwy drugaredd, fod yn fyw, megys yr apostol. Daeth y gair hwnw hefyd ataf, "Ti a'n dygaist i le diwall." Yn y modd hwn, rhwng gobaith ac ofn, ymdrechais i fyned rhagof trwy 'r eira, neutydd ac anialwch, yn y tywyllwch, gan edrych am ryw fath o dŷ i'm cysgodi rhag y tywydd garw anarferol. Aethum fel hyn trwy afon, a meddyliais y byddai raid i mi, yn ol pob tebygolrwydd, fyned trwy afon angeu cyn y gwelwn oleuni dydd arall. Tramwyais trwy goed yn ol ac yn mlaen; ac ar ol yspaid dwy awr, trwy lawer o ymdrech caled, cefais hyd i dŷ, trwy rad Duw yn unig, wedi myned dros filltir allan o'r ffordd, trwy gwm ac anialwch dyrys. Cefais bob ymgeledd gan dylwyth y tŷ, lle yr arosais tan y boreu. Darllenais bennod a gweddïais gyd â'r teulu boreu dranoeth cyn ymadael, gan ddiolch am y waredigaeth hynod, a daethum adref yn ddiangol trwy help y Goruchaf. Y tŷ y bum ynddo a elwir y Bryn Bras.——Wrth atolygu yr hanesyn hwn, mae 'r myfyrdodau canlynol yn llenwi fy meddwl. Mae ein taith yn y byd hwn trwy anialwch a thymhestloedd, ac yr ydym mewn perygl bob awr; ond wedi myned trwy afon angeu, cawn lanio ar fryn hyfryd, lle ni ddaw tymhestl o un math i'n cyfarfod mwy. Gweddïwn am help o'r nef i gyrhaedd bryniau tawel

gogoniant i foli 'r Drindod dros byth tu draw i afon angeu, wedi gorphen ein gyrfa flinedig dan' haul. Cerddwn ein ffordd yn wrol trwy ffydd; na lwfrhawn, onide derfydd am danom. Os llaeswn yn yr ymdrech, ni a dorwn ein calonau, a'n gelynion a ruthrant arnom, ac a'n gorchfygant. Na oddefwn i feddyliau anobeithiol ymosod arnom, ond ymnerthwn yn y gras sydd y'Nghrist Iesu; ymnerthwn, frodyr anwyl, y'nghadernid ei allu ef, a byddwn felly yn fwy na choncwerwyr ar ein holl elynion, Satan, y byd, a'r cnawd. Gwyliwn a gweddiwn nad elom i brofedigaeth dymhorol nac ysprydol. Hawdd yw myned i brofedigaeth, ond anhawdd yw dyfod allan o honi. Diolchwn i'r Arglwydd am ein holl waredigaethau, ac ymddiriedwn ynddo, nid dros amser, ond dros byth.

Y. Y.

---

YSGOLION SABBOTHOL.—Dywenydd nid bychan ydyw i gyfeillion yr Ysgolion Sabbothol yn Nghymru glywed fod y Sefydliadau rhagorol hyn yn ffynu yn neillduol tu draw i'r Atlantic. Hysbysir mewn llythyr oddiwrth Ysgrifenydd *Cymdeithas yr Ysgolion Sabbothol yn Llundain*, fod rhyw gynnwrf anghyffredin wedi codi yn ddiweddar yn America o blaid yr achos hwn. Oddeutu tri neu bedwar mis yn ol, dechreuwyd casgliad i'r diben o sefydlu Ysgolion Sabbothol; ac yn yr yspaid byr hwnw, derbyniwyd o gylch 250,000 *dollar*, yr hyn sydd oddeutu 25,000 o bunnau o'n harian ni. Dylai yr ystyriaeth o hyn ein hannog i gariad a gweithredoedd da, yn enwedig gan fod genym y fath fanteision yn y wlad hon i'n cynnorthwyo yn ein hymdrechiadau. Y mae *Cymdeithas yr Ysgolion Sabbothol yn Llundain* yn barod bob amser i roddi llyfrau *yn rhad* i'n plant tlodion, y rhai nas gallant dalu am danynt; a mwy na hyn, y mae yn awr wr boneddig yn teithio trwy Gymru fel cynnrychiolwr y Gymdeithas hon, i roddi pob cymhorth i ni yn y gwaith daionus hwn. Y mae hefyd Gymdeithas arall yn Llundain, a elwir *Cymdeithas yr Ysgolion Sabbothol Unedig*. Gorchwyl arbenig y Gymdeithas hon yw, gwerthu llyfrau i'n Hysgolion am brisiau isel; ac mewn undeb a'r Gymdeithas hon sefydlwyd Ystordy yn ddiweddar yn y Bala, dan arolygiad R. Saunderson, lle y gall yr holl Ysgolion gael cyflenwad o lyfrau am yr un prisiau isel ag y maent i'w cael yn Ystordy y Gymdeithas yn Llundain. Yn awr, gan fod genym ni y Cymry, y fath ragorfreintiau a manteision o'n hochr, bydded i ni fod yn sicr a diymmod, a helaethion yn y gwaith da hwn yn wastadol, gan wybod na bydd ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd.

*Haelioni Arglwydd Clive.*—Ychydig amser yn ol, danfonwyd dau o Fwnwyr Llangynog ag Eirchiad at yr Arglwydd Clive, i'r Castell Coch ym Mhowys, i erfyn ar iddo ganiatâu deg swllt allan o'r hyn oedd yn dyfod iddo fel Arglwydd y Maenawr (*Royalty*) am bob tunell o fwn a gloddient yn nherfynau ei Arglwyddiaeth o ddechreu y flwyddyn 1830, hyd nes y codo pris y plwm, i'r diben o chwanegu eu cyflogau. Cafodd y ddau fwnwr dderbyniad boneddigaidd gan ei Arglwyddiaeth, a chaniataodd iddynt eu dymuniad.

---

*Llong-ddrylliad Alaethus.*—"Penfro, Mawrth 20. Gyda galar o'r dwysaf yr wyf yn hysbysu i chwi am y golled o'r agerdd-lestr *Frolic*, yr hon a hwyliasai o Hwlffordd boreu ddydd Mercher diweddaf, gyda nifer o for-deithwyr o Benfro, Aber-dau-gleddyf a Tenby, ac alaethus yw adrodd, y'ngwyll y nos hi a darawodd ar y *Nash Sands*, y rhai sydd ychydig allan i'r môr gogyfer ag Abertawe; a chan fod y môr yr amser hwnw yn rhedeg yn dra enbyd, y tyb cyffredin yw i'r llestr fyned yn ebrwydd yn chwilfriw. Y'mhlith y mor-deithwyr yr oedd *General* Macloud, *Colonel* Gordon, Mr. a Mrs. Henderson, Mrs. *Colonel* Boyd, a Miss Richardson, a llawer ereill, sef o 40 i 50 o eneidiau, y rhai a gawsant oll eu beddau yn y dyfroedd dyfnion."—*Extract of a letter from the Agent to Lloyd's at Rye.*

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Cyflwynwyd yn ddiweddar, gan Esgob Ty Ddewi, y Parch. Richard Williams, o Hen Faesyfed, i Ficeriaeth Kidwelly, Sir Gaerfyrddin, rhydd trwy farwolaeth y Parch. C. Bowen. Tadog, y Brenin.

Cyflwynodd yr un Esgob hefyd y Parch. W. P. Williams o Faesyfed, rhydd trwy ymadawiad y Parch. R. Williams. Tadog, y Brenin.

---

## BU FARW.

Ar y 7fed o Fawrth, y'Ngholeg yr Iesu, Rhydychain, Maurice, unig fab y Parch. Maurice Hughes o *Heaven Green*, Swydd Ddinbych, yn 21 oed.

Ar yr 8fed o Fawrth, yn y *Parks*, Swydd Benfro, y Parchedig Nathaniel Rowlands, A. M. gynt o Eglwys Crist, Rhydychain, a Chaplan i'r Dug o Gordon, a'r ddiweddar Arglwyddes Huntingdon, a mab y diweddar Barchedig Daniel Rowlands, Periglor Llangeitho, Swydd Geredigion, yn 82 oed.

# Y GWYLIEDYDD.

## MAI, 1831.

### BARNEDIGAETHAU DUW.

(*Parhad o dû dal.* 100.)

Hanes y Cornwyd yn Llundain, yn y fl. 1665.

PAN aeth y claddedigaethau yn ddirfawr eu rhifedi, aeth y trigolion byw yn rhy ddigalon i gadw i fynu hen arferion—nid oedd eirch neu *ysgrifiau* i'r meirw, na chloch ymadawiad, na galaru mewn du, nac wylo, fel y gwneid ar y cyntaf. Yr oedd rhwysg yr haint gymmaint ar gynnydd, fel ag y peredd i'r swyddogion roddi heibio cau i fynu y teiau heintus. Yr oeddynt wedi arfer pob moddion gochelind yn ofer, a'r haint wedi cynnyddu i rym anorchfygol; gan hynny y bobl a ddechreuasant eistedd yn llonydd gartref, gan edrych yn synn ar eu gilydd, fel rhai wedi eu diffrwytho gan anobaith. Heolydd cyfain a welid yn annhrigiannol—drysau tai yn agored ddydd a nos—ffenestri yn chwibanoglau i'r gwynt, o ddiffyg dwylaw i'w cau.

Nid oedd gan y bobl erbyn hynddim gofal drostynt eu hunain, gan eu bod yn eu digalondeb yn eu cyfrif eu hunain megis "defaid wedi eu parotôi erbyn dydd y lladdfa." Cafodd yr ymollyngiad-yspryd hwn effaith rhyfeddol yn eu plith, h. y. fe wnaeth y bobl yn hyf a beiddgar. Ni ochelent eu gilydd fel cynt, ac ni chauent eu hunain i fynu yn eu 'stafelloedd; ond gwibient yma a thraw, i unman ac i bob man, ac ymgomient â'u gilydd. Dywedai un wrth arall—"Nid wyf fi yn gofyn, pa fodd yr ydych; ac ni ddywedaf chwaith i chwi, pa fodd yr wyf finnau—ein tynged yw, bod yn rhaid i *ni* fyned ar ol ein ceraint a'n cyfeillion; ac felly, nid yw yn werth holi—pwy sydd iach, na phwy sydd glaf." Felly rhedent yn ddiddarbod, i unrhyw le, neu i unrhyw gymdeithas.

Yr oedd heol gul yngolwg ffenestri fy annedd; ac aml waith y gwelais dorf fawr yn dylifo o honi, gan mwyaf o ferched, yn udo, yn wylo, ac yn galw y naill ar y llall; ond nid anhawdd dyfalu yr achos. Agos trwy drymder y nos, yr oedd clud-fen y meirw yn sefyll ymmhen yr heol gul; canys os gyrid i mewn, nis gallai droi yn ol, i ddychwelyd: yno, meddaf, y safai y glud-fen, i dderbyn cyrph y meirw; a chan bod y fynwent yn agos, pan elai ymaith yn llawn, hi a ddychwelai yn ol yn ebrwydd. Ni ddichon iaith ddarlunio yr oernadau a'r cryg-lefau a wneid gan y boblach druain, pan ddygent gyrph eu plant a'u cyfnesafiaid allan, i'w llwytho ar y fen. Ar brydiau, clywid hwynt yn llefain allan o eigion eu penau—"*Hai wchw—hai wchw!*"—waith arall—*Tân—tân!*" ond hawdd oedd deall, nad oedd y cwbl ond effeithiau gwallgofrwydd ar feddyliau gwedi eu dyrysu gan glefyd a gofid.

Rhyw ddinesydd, wedi diangc yn iach hyd ganol mis Medi, pan oedd yr haint yn fwyaf marwol yn y ddinas, a ymfendithiai yn fynych herwydd ei dyngedfen dda; ac a siaradai (i'm tyb i) yn rhy benrhydd am ei ofal a'i ddarbodaeth, yn gochel dynion a lleoedd ammhëus. Ebai dinesydd arall rhywddiwrnod, "Na fyddwch rhy ddiogel Mr. * *, anhawdd dywedyd pwy sydd iach, na phwy sy glaf; canys ni a welwn ddynion yn fyw ac yn iach, i olwg dyn, ar un awr, ac yn gyrph meirw yr awr nesaf."—"Gwir yw hynny," ebai y dinesydd cyntaf (canys nid oedd yn ddyn rhyfygus tros ben) "*Gwir yw hynny*, ac nid wyf yn cyfrif fy hun allan o gyrhaedd perygl; ond hyn a ddywedaf—i mi ymgadw yn bryderus rhag nesâu at undyn a dybiwyf bod y clwyf arno." "Ai felly?" meddai ei gymmydog, "Ai ni buoch echnos, tan lun y Llew Coch, yn heol porth Lludd, gyda Mr. * * *?"—"*Do*," ebai y cyntaf—"mi a fum—ond nid oedd yno neb y gallwn unwaith dybio ei fod â mymryn o haint arno." Ar hyn aeth ei gymmydog yn fud, gan ei fod yn anfoddlawn i gyffroi ei gyfaill. Ond y distawrwydd hwn a'i gwnaeth yn fwy ymofyngar; a chan fod ei gymmydog yn dal yn dawedog, dangosodd gryn ammhwyllder, a gofynodd, yn dra thanbaid—"Beth? nid yw efe ddim wedi marw, a ydyw efe?" Ei gymmydog a barhäodd yn ddistaw, a chan droi gwyn ei lygaid ar i fynu, ei wefusau a ddangosent ei fod megis yn sibrwd gweddi ddirgel. Ar hyn, y dinesydd cyntaf a gollodd ei liw, gan fyned cyn wynned a'r pared, ac ni yngangodd air yn rhagor, ond dywedyd—"Yna, yr wyf finnau yn ddyn marw hefyd." Aeth adref, a danfonodd am y meddyg nesaf ato, i roddi iddo gyffyriau i flaenori yr haint, canys ni theimlasai etto ei fod yn y radd leiaf yn afiach. Agorodd y meddyg ei fynwes ef, a chan gyrchu dwfn ochenaid, efe a ddywedodd—"Cais feddyginiaeth oddiuchod—edrych i fynu at Dduw." Bu farw y dinesydd ym mhen ychydig oriau.

Megis ag y bu yr *ymollyngiad-yspryd*, a soniwyd am dano o'r blaen, yn achos i ddwyn y bobl i ymgyfarfod mewn cymdeithas; felly y bu yn effeithiol i'w dwyn yn dyrfaoedd i'r eglwysydd. Nid oedd dim ofn arnynt yn ymyl pwy yr eisteddent, na maint o ddrygsawr a aroglent: ond gan edrych arnynt eu hunain fel pobl dan nod yr angeu, ymdyrrent i'r eglwysydd, fel na bai eu bywyd o werth yn y byd, i'w gymmharu â *dirfawr bris y gorchwyl* oedd ganddynt yr awr honno mewn llaw. Yn wir, yr oedd y zel a ddangosent yn dyfod yno, a'u gwrandawiad difrifol, a'u hymddarostyngiad edifeiriol dan y gair, yn ei wneyd yn ddigon eglur—pa werth neu bris anfeidrol a roddai pob dyn ar Addoliad Duw, yn y gynnulleidfa liosog, pe teimlent, ac y credent bob dydd y cyrchent i eglwys, mai y dydd hwnnw a *fyddai eu dydd diweddaf* o'u pererindod daearol.

Yn uwchder a chryfder mwyaf yr haint, *y pryd* nad oedd dim yngolwg y trigolion, ond cwbl ddibobliad y ddinas, *y pryd hwnnw* y rhyngodd bodd i'r Goruchaf erchi i angel y distryw attal ei law; a *hyn* trwy foddion llwyr anweledig i ddynion; ond digon amlwg mai yr Ewyllys Hollalluog oedd yn gweithredu, megis yn nechreuad yr haint, felly hefyd yn ei symudiad. *Iddo Ef y byddo y gogoniant. Amen.*

Hyd yma yr hanes gan y "Dinesydd." Y mae rhai tystion Cymreig o erchylldod yr ymweliad a ddarluniwyd mor gyflawn gan y Sais: Un Gân ddeheuberthig "i'r Chwarren yn Llundain:" un wynoddig yn y Casgliad a elwir "Blodeu-gerdd." Sonir yn hon am ran fawr o'r amgylchiadau a ddargofir gan y *Dinesydd*. Ond fel y dywed

y ddïareb—"Chwedl a gynnydda fel caseg eira"—felly ni leihawyd trueni y brif-ddinas wrth i'r hanes dramwy i fynyddau Meirion; canys dywedir yn y gân—am Lundain—

"Nid byw ond pum priodas o fewn ei chaerau hi"—
ac etto
"Heb neb i gladdu y meirw, ond *triugain* nyn yn fyw."

Mynegir hefyd yn y gân un peth anhygoel arall—sef i foneddigion y wlad uno i anfon eirchiad at y llywodraeth *i osod y ddinas ar dân*, a'i llosgi i'r llawr, megis yr unig foddion i attal lledaeniad yr haint.

Soniwyd gan y *Dinesydd* am yr amledd pregethu oedd yn eglwysydd y ddinas pan oedd yr haint ffyrnicaf. Cyfieithiwyd tair o'r pregethau hyn i'r Gymraeg, ac argraffwyd hwynt yn y llyfr a enwid "Trysor i'r Ffyddloniaid," gan y Parch. William Dyer. Pregethau cymhwys i'r achos, ar *Dat.* iii. 10. a vi. 7. a *Marc* xiv. 18.

Gallesid chwanegu yma farnedigaeth arall, sef *llosgiad Llundain*, ym mhen y deuddeng mis wedi diffoddiad yr Haint. Gweler *Lef.* xxvi. 27, 28. Hefyd "Haint y Chwŷs" *(The Sweating Sickness)* a ymwelodd â'n hynys *naw* o weithiau mewn yspaid seith-ddeng o flwyddau, sef rhwng 1480 a 1552. Yr oedd y clefyd hwn, tra y daliai, mor ofnadwy o'r marwol yn ei effeithiau a'r cornwyd. Hanesyddion tramor a'i galwent—*Haint y Saison:* ni ymddangosodd felly ar y cyfandir. Gallaswn, meddaf, chwanegu ar y penau hyn; ond amser a haera—*Digon yw hyn.* Mewn ufudd-dod i'w amnaid, rhoddaf derfyn ar fy llythyr hwn ar heintiau y *corph*, mewn ychydig linellau ar *haint y meddwl*, a ledanodd yn chwithig yn ddiweddar drwy lawer gwlad.

A aeth y Byd i gyd o'i go?
  Mae rhyw ymrwyfo rhyfedd;
Mae llwyra' brad mewn llawer bro,
  Gan wyllt ammhwyllo'n hyll-wedd,
I losgi dasau 'r *Ydau* heb raid,
  Gwŷn ddiriaid o gynddaredd!
Ar hyd y Byd, rhuadwy Bair,
  *Cornwydydd* cair eu nodau;
Nid ar y *Cyrph* adwaenir cwl,
  Ond ar rhy ddwl *Feddyliau;*
A'u hoffaf ddysg, heb addysg byw,
  Yw cablu DUW y duwiau!

Os *Gog* a *Magog* dd'ont i'n mysg,
  Poed chwai i'w terfysg darfu;
*Byrhâ yr amser*, dyner Dad,
  A doed Teyrnasiad IESU;
Na bo croes blaid yn enaid neb,
  Na chalon heb ddychwelu.

*Chwefror*, 1831.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

*Rhan o Bregeth a draddodwyd yn Eglwys Hettws Abergele, gan y Parch. M. Hughes, Gweinidog St. Ann, Llandegai, Swydd Gaernarfon, Sul, Chwefror* 20, 1831.

---

"Nesêwch at Dduw, ac efe a nesâ atoch chwi."—IAGO 4. 8.

---

YN wir, y mae "*Arwyddion yr Amserau*" yn galw ar Weinidogion yr efengyl i daer erfyn ar eu gwrandawyr "nesáu at Dduw" mewn gwirionedd. Os ydyw yr Iaith Gymraeg, yn ol dywediad rhai, yn anfanteisiol i'n llwyddiant bydol; etto gallaf ddywedyd mai bendith fwy nag y gellir ei adrodd ydyw ein bod ni, y Cymry, yn ddieithriaid i'r Traethodau a'r ysgrifeniadau drwg sydd ar led yn Lloegr. Dynion (os gellir galw y fath rai yn ddynion) ag sydd yn "gwadu yr Arglwydd yr hwn a'u prynodd;" y maent, meddaf, yn prysur ddibaid ddosbarthu llyfrau yn llawn o wenwyn marwol i eneidiau dynion, ac yn taenu eu hegwyddorion yn erbyn y llywodraeth, a chan ymegnïo i derfysgu y deyrnas, a'n hysbeilio ni o'n breintiau gwerthfawr. A pha beth yw hyn ond gwaith yr "yspryd drwg yn gweithio ym mhlant yr anufudd-dod?" ïe, y fath rai ag sydd wedi ymwerthu i wneuthur drwg, gan godi meddyliau ammhëus am ddwyfoldeb a gwirionedd Gair Duw ym mhlith y werin bobl. Yn ddiammeu, hysbys yw, i amryw sydd

yn bresennol, am yr aflonyddwch mawr a fu mewn amryw fanau o'r deyrnas hon, a chynnyddu o'r terfysg i'r fath radd a pheryglu bywydau pobl, a difetha eiddo a meddiannau llawer. Ymledodd yr yspryd gwrthryfelgar hwn hyd yn nod i dynu sylw ein Brenin, a'i Gynghoriaid gwladol, ar yr achos pechadurus a gwaradwyddus. A charcharwyd nifer mawr iawn o'r terfysgwyr, yn amryw Siroedd yn nhir Lloegr, a danfonwyd Barnwyr y deyrnas yn ddioed, ac yn fwriadol, i chwilio allan natur yr helyntion hyn, ac i ddyfod â'r drwg weithwyr i farn. Yr oedd, yn ddiammeu, yn yr ardaloedd hyny, fel ag y mae mwy neu lai ym mhob ardal o'r byd, lawer â'u cyflyrau yn gyfyng arnynt, a'u sefyllfaoedd yn isel; ond etto fe gyfododd llawer iawn o ddynion drwg, digrefydd, adidduw, nad oedd arnynt eisieu nac arian na gwaith, ond drwg eu gwlad yn unig. Cyfododd y fath rai, meddaf, yn nghysgod y tlawd, a'r isel arno, i fygwth y llywodraeth, a pheri terfysg yn y wlad. Mae rhai o'r carcharorion wedi cyfaddef mai eu dallu a'u hannog a gawsant gan areithiau, ymadroddion, ac ysgrifeniadau dynion, y rhai sydd yn gwadu Arglwydd y bywyd, ac sydd, yn ol eu hegwyddorion, yn amcanu diddymu pob trefn a llywodraeth wladol. Gellir dywedyd, ynte, ar yr achos alaethus hwn sydd yn awr dan ein sylw, "mai 'r gelyn ddyn a wnaeth hyn." Mi a glywais ddoe fod un o'r athrawon uffernol hyn wedi dangos ei ddiystyrwch o'r Bibl Sanctaidd trwy ei sathru dan ei draed! Dangosodd yr Atheistiaid yn Ffraingc, o fewn y 38 mlynedd yn ol, yr unrhyw yspryd didduwiaeth; ond beth a fu y canlyniad o hyny? lladdasant eu Brenin, diddymasant bob ymddangosiad o grefydd wladol, troisant yn fradwyr ym mhlith eu gilydd, ac yn lle undeb brawdol, annhrefn a therfysg, nes y cyfododd na nad oedd yn ofni Duw nac yn parchu dyn i'w llywodraethu trwy nerth ac arswyd y cleddyf yn unig. Diswyddwyd yr offeryn hwnnw, a thynwyd ef oddiar yr orsedd, fel i ddangos i'r byd y diwedd arswydus sydd yn canlyn pob pechod ac annuwioldeb. Ac ni fu dim ond rhyfeloedd gwaedlyd, ac aflonyddwch mawr, yn eu plith o'r dechreuad hyd yr awr hon, gan wirio gair y prophwyd *Esay* (*Pen.* 58. 21.) sydd yn dywedyd, "Ni bydd heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol." Os cospwyd gwyr Ffraingc â'r fath farnedigaethau trymion am eu didduwiaeth, lle y darllenwyd y Bibl yn ol defod Pabyddiaeth, pa faint trymach barnedigaethau a haeddem ni, trigolion Brydain, lle y caniateir i bawb o honom bur air Duw i'w ddarllen a'i wrando yn ein tafodiaith gyffredin, os anufuddhawn iddo? canys "yr hwn a wybu ewyllys ei Arglwydd ac nid ymbarotôdd, ac ni wnaeth yn ol ei ewyllys ef, a gurir â llawer ffonod." *Luc* 12. 47. Yr Iuddewon gynt, y rhai a groeshoeliasant Arglwydd y bywyd, a lefasant, "Bydded ei waed ef arnom ni a'n plant," ac felly y bu! canys y Rhufeiniaid a ddifethasant eu Teml, yn yr hon yr oedd eu bost, ac yr oeddynt yn dywedyd, gan ymffrostio, "Teml yr Arglwydd, teml yr Arglwydd ydym ni," ac a ddistrywiasant y dref Jerusalem yn garneddau. Onid yw hyn yn dangos, pan beidio dyn a nesâu at Dduw, fod Duw yn pellhâu oddi wrtho? a phan fyddo Duw yn ymbellhâu, mae Satan yn sicr o agoshâu i gymmeryd meddiant o'r dyn hwnnw. Gan fod rhai, fel y dywedais, yn codi aflonyddwch yn y deyrnas hon trwy dori pob rhwymyn ac undeb rhwng y gwas a'r meistr, rhwng dyn a dyn, rhwng y bobl a'r llywodraeth, a rhwng y llywodraeth a'r Brenin; onid oes, ynte, achos i weinidogion gair Duw alw ar eu

gwrandawyr yn ngeiriau y testun, "Nesêwch at Dduw." Ac yn wir, llawenydd nid bychan oedd genyf weled, yn nghorph yr wythnos diweddaf, fod gwr ieuangc o'r enw Perceval, yr hwn sydd yn aelod o'r Senedd, wedi rhoi achos y deyrnas ger bron yr aelodau, ac areithio yn y fath yspryd duwiol a theimladwy, gan alw ar y Senedd, a'r holl wlad i "nesâu at Dduw" trwy ympryd a gweddi. Gwnaeth ei araith argraff ddofn ar feddyliau y rhai oedd yn bresennol, a'u tueddu i ystyried yr achos gyda sobrwydd mawr. A bydded i ni deimlo, fel Cristionogion, y fath yspryd difrifol a gostyngedig, rhag i hyn ddyfod i'n herbyn ni, fel y dywedodd y prophwyd am Jerusalem, "Ni wrandawodd ar y llef, ni dderbyniodd gerydd; nid ymddiriedodd yn yr Arglwydd, ni nesâodd at ei Duw."

---

## SYLWADAU AR HEB. vi. 4, 5, 6.

"Canys ammhossibl yw i'r rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant y rhodd nefol, ac a wnaethpwyd yn gyfrannogion o'r Yspryd Glân,

"Ac a brofasant ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw,

"Ac a syrthiant ymaith, ymadnewyddu drachefn i edifeirwch; gan eu bod yn ail groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei osod yn watwor."

FE allai fod yr ymadrodd hwn o'r ysgrythyr yn ymddangos yn anhawdd ei ddeall i amrai o'ch darllenwyr, ac am hyny, tybygwn, mai nid anfuddiol fyddai taflu ychydig o oleu arno, trwy ei ystyried yn y modd canlynol:—

I. Pa beth sydd i ni ddeall wrth yr ymadroddion hyny, "*y rhai a oleuwyd unwaith*," &c.

II. Pwy a olygir wrth y rhai a "*syrthiant ymaith*."

Ac yn III. Pa fodd y mae yn ammhossibl i'r cyfryw rai "*ymadnewyddu drachefn i edifeirwch*."

Mewn perthynas i'r cyntaf, y mae yn amlwg fod yr apostol yma yn golygu bedydd; yr *ἅπαξ φωτισθέντας* yw y rhai a fedyddiwyd unwaith; canys felly *φωτίζειν* a *φωτισμὸς* gan yr hen ysgrifenwyr a arwyddocâ fedydd; fel y dywed Justin Martyr i ni fod bedydd yn cael ei alw *φωτισμός*, neu oleuad; oblegid fod eu meddyliau yn cael eu goleuo drwyddo; ac felly wedi eu goleuo unwaith, y mae 'n eglur olygu wrth fedydd, yr hwn ni ellir ei weinyddu ond unwaith. Ac y mae yr hyn a ganlyn yn profi ei fod yn arwyddocâu hyny, "*ac a brofasant y rhodd nefol*," h. y. medd Chrysostom, a dderbyniasant faddeuant pechodau yn y bedydd; "*ac a wnaethpwyd yn gyfrannogion o'r Yspryd Glân*," yr Yspryd sanctaidd wedi ei roddi iddynt wrth eu bedyddio; "*ac a brofasant ddaionus air Duw*," wedi eu haddysgu yn athrawiaethau yr efengyl, yr hyn, yn yr oes apostolaidd, yn ddigyfrwng, a ganlynai fedydd; canys dynion, y pryd hyny, a dderbynid i fedydd yn union ar eu proffesiad o edifeirwch, a ffydd yn Nghrist, ac a ddysgid wedi hyny yn y grefydd Gristionogol; "*a nerthoedd y byd a ddaw*," h. y. y doniau a'r nerthoedd gwyrthiol hyny a gyfranwyd ar yr apostolion, er cadarnhâd ffydd Crist, a'r hyn y bu y rhan fwyaf o Gristionogion, mewn rhyw radd neu gilydd, yn feddiannol arnynt ar ol eu bedyddio. Mae y pethau hyn yn brawf eglur mai bedydd a feddylir yma.

Yn ail. Y mae i ni feddwl wrth y rhai a "*syrthiant ymaith*" y rhai a wrthgiliant yn hollol oddiwrth ffydd Crist, y rhai a syrthiant ymaith oddiwrth eu proffesiad Cristionogol a wnaethant yn eu bedydd; hyny yw, y rhai a ymwrthodant â ffydd Crist, ac a droant yn Iuddewon neu Baganiaid drachefn; canys y dynion hyn sydd "*yn ail groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei osod yn watwor*," h. y. maent yn cyhoeddi mai twyllwr yw efe, yr hyn sy gymmaint ei groeshoelio ef

drachefn, a'i osod yn watwor, ag y gallant wneud. Felly nid all y desgrifiad hwn berthynu i neb ond i'r gwrthgilwyr hollol hyny; oblegid er bod Cristionogion proffesedig ar amserau yn pechu i raddau mawr, etto nid ydynt yn rhoi allan mai twyllwr ydyw Crist, ac ni wnaent ei ail groeshoelio pe gallent. Cristionogion syrthiedig yw y rhai hyn ac nid gwrthgilwyr. Fe allai mai trwy ryw ofnau geirwon, neu erlidigaethau chwerwon, y temtir hwy i wadu eu Harglwydd; ond etto nid ydynt yn ddiffuant yn ymwrthod â ffydd eu bedydd, a gall y cyfryw rai gael eu hadferu drachefn ar eu hedifeirwch, a'u haddefiad cyhoeddus o Grist mewn peryglon a phrofedigaethau newyddion, a hyn a'n harwain at y

Trydydd ystyriaeth; sef, pa fodd y mae yn ammhossibl i'r gwrthgilwyr hyn "*ymadnewyddu drachefn i edifeirwch,*" neu trwy edifeirwch, fel y dywed St. Chrysostom ef. Rhaid i ni yn awr, gan hyny, feddylied fel hyn, eu bod hwy wedi llwyr wrthgilio oddiwrth ffydd Crist, a'u hadduned bedydd, ac wedi myned yn Iuddewon a Phaganiaid drachefn. Yn awr, nid all Iuddewon a Phaganiaid byth gael eu gwneud yn Gristionogion heb fedydd, yn yr hwn yr adgenedlir ac yr adnewyddir hwynt; felly nid all y Cristionogion gwrthgiliedig hyn, y rhai a droisant yn Iuddewon a Phaganiaid, byth ddyfod yn Gristionogion oni ail fedyddir hwynt, a hyny ni's gellir, oblegid nid oes ond un bedydd yn yr Eglwys Gristionogol. Ac er y tybiem y credent drachefn, ac edifarhau am eu pechodau, nid allant byth adenill iddynt eu hunain iawn a hawl gyfreithiol i drugareddau ac addewidion y cyfammod efengylaidd. Ni chyfiawnhâ ffydd ac edifeirwch Bagan heb fedydd; canys "y neb a gredo ac a fedyddir a fydd cadwedig," ydynt delerau penodol y cyfammod, ac am hyny y mae cyflyrau gwrthgilwyr yn bur anobeithiol, y rhai a syrthiasant i'r fath sefyllfa nad all dim ond gras bedydd, ac adgenedliad eu gwared hwynt, a hyny nid allant gyrhaeddyd, canys ni chaniatâir eu bedyddio drachefn. Ond, daliwn sylw, nid yw yr apostol yn dywedyd mai ammhossibl yw iddynt gael eu *hachub*, ond mai ammhossibl yw iddynt gael eu *hadgenedlu drachefn* drwy fedydd, yr hyn yw unig ystâd iachawdwriaeth yr efengyl. Os achubir y fath ddynion fe'u hachubir trwy ras a thrugaredd anghyfammodol; maent yn nghyflwr yr Iuddewon a'r Paganiaid anfedyddiedig, ac nid yn nghyflwr Cristionogion, y rhai sy ganddynt hawl gyfammodol i addewidion Duw.

CYNHAFAL.

---

## YMDDIDDAN

*Rhwng* GWEINIDOG *ac un o'i Blwyfolion mewn perthynas i'r Paganiaid.*

### Rhan I.

GWEINIDOG.—Pa fodd yr ydych heddyw, fy nghymmydog? Mae arnaf fawr awydd i wybod a gawsoch chwi ryw les yn yr addoliad y dydd a aeth heibio. Da iawn genyf eich gweled yno mor aml; ond nac anghofiwch bod rhyw beth mwy yn angenrheidiol er cael bywyd tragywyddol.

GWRANDAWR.—Felly yr ydych yn dywedyd yn barhaus. Dywedwch wrthym bod yn rhaid i'r galon gael ei chyfnewid trwy'r Yspryd Glân, bod yn rhaid i ni gredu yn Iesu Grist, ymwrthod â'r byd er ei fwyn, galaru am ein pechodau, byw yn hunan-ymwadol, cyn y gellir myned i mewn i'r nefoedd. Yr wyf yn gweddio o hyd am i'ch gweinidogaeth dan fendith y nef weithio ynof y cyfnewidiad calon hwn, a chenhedlu ynof ffydd edifeirwch, ac ufudd-dod i ewyllys Duw.

GWEIN.—Parhewch i weddïo fel yna, onidê ni ellwch ddisgwyl lles oddiwrth fy ngweinidogaeth. "O frodyr, gweddïwch drosom," sydd orchymyn apostolaidd, yr hwn a brawf ei fod yn ddyledswydd arnoch.

GWRAN.—Diolch i Dduw, gallaf ddywedyd fod eich pregethau y rhan amlaf yn peri i mi feddwl yn ddwys am fy nghyflwr: ond eich pregeth bore ddoe a barodd i mi feddwl llawer am y Paganiaid truain y soniasoch gymmaint yn eu cylch. Gwaedai fy nghalon drostynt tra yr oeddych yn desgrifio eu sefyllfa.

GWEIN.—Yn wir, fy nghyfaill, y mae eu sefyllfa yn dra thruenus.

GWRAN.—Rhaid ei fod. Yr wyf yn meddwl na theimlais erioed fel y darfum pan oeddych yn son am danynt. Os caniatâ amser, dymunwn glywed mwy yn eu cylch, o herwydd yr wyf yn estron hollol i'r pethau hyn, a'r rhan fwyaf o'm cymmydogion hefyd.

GWEIN.—Gyda phob parodrwydd yr arosaf ac y rhoddaf i chwi ychydig o hysbysiad ar y pwngc pwysig hwn.

GWRAN.—Yr wyf yn dra diolchgar i chwi, Syr; yr wyf yn sicr y rhydd eich ymadrodd hyfrydwch mawr i mi.

GWEIN.—Gwybyddwch, ynte, y cynnwys y byd ynghylch mil o filiynau o drigolion, ac nad oes ond cant a thriugain a phymtheg o honynt yn proffesu y grefydd Gristionogol: mae 'r lleill oll yn Fahometaniaid cnawdol, Iuddewon calon-galed, a Phaganiaid eilunaddolgar. O'r rhai sydd yn Gristionogion wrth broffes, bernir nad oes mwy na deg a deugain o filiynau wedi eu gwir ddychwelyd at Dduw, ac yn rhodio yn ffyrdd duwioldeb: y mae y lleill yn estroniaid i Dduw, ac yn rhodio y ffordd lydan i ddistryw.

GWRAN.—Yr ydych yn peri i mi synu! O, gymmaint o'n cyd-ddynion sydd mewn tywyllwch! Yn wir nid heb achos y gelwir Satan yn "dduw 'r byd hwn."

GWEIN.—Lluoedd yn wir! Mae pymtheg o bob un-ar-bymtheg yn dywyll am yr iachawdwriaeth. Am un sydd yn adnabod "ffordd tangnefedd," a'r llwybr sydd yn tywys i ogoniant, mae pymtheg trwy 'r byd mewn anwybodaeth, o ba rai ychydig a glywsant erioed son am Fibl a Gwaredwr, a'r dedwyddwch annhraethol a deilyngodd trwy ei angeu gwaedlyd i bechaduriaid. O'r nifer arswydus hwn mae can miliwn yn Fahometaniaid yn hyderu am nefoedd ar buddoliaeth creulon a halogedig, a'r nefoedd hòno, yn ol eu cred hwy, yn llawn o bleserau cnawdol; ac y mae tri chan miliwn o *Atheistiaid.*

GWRAN.—O, y fraint o fod yn un o drigolion Brydain!

GWEIN.—Ond pa euogrwydd sydd yn hongian uwch eu penau, pan nad oes dim llai na deg a thriugain (cant, medd rhai) o filiynau o'n cyd-ddeiliaid yn addoli pren a maen, y rhai a adawsid i aros yn y fath gyflwr gresynus dros gymmaint o flynyddoedd. A fedrwch chwi lai na rhyfeddu pan glywoch bod pob *degfed* dyn dros y ddaear dan lywodraeth y goron Frytanaidd, a bod tri o bob pedwar o'r rhai sydd yn byw dan nodded ein llywodraeth ni yn y fagddu o goelgrefydd Fahometanaidd neu Baganaidd.

GWRAN.—Mae ganddynt, dybygaf, ryw fath o grefydd.

GWEIN.—Y mae; ond y cyfryw ydyw a'r nas gall eu haddasu i bresenoldeb Duw sanctaidd. Dywedaf ychydig wrthych am eu hanwybodaeth, eu creulondeb, a'u haflendid, ac yna gadawaf i chwi farnu am werth eu crefydd.

GWRAN.—Bydd yn hoff iawn genyf wrando arnoch.

GWEIN.—Y maent mor anwybod-

us fel na wyddant nad oes ond un Duw, a'i fod yn sanctaidd a chyfiawn; yn ganlynol addolant yr haul, y lloer, a'r ser, y pedair elfen, seirph, adar, pysgod, mynyddoedd, y mwnci, ac hyd yn nod yr ysprydion aflan; ie, addolir yr ysprydion aflan *fel y cyfryw*; a chodir temlau iddynt mewn amryw ranau o'r byd. Tybia yr Hindwiaid bod y Ganges (afon yn yr India) yn dduw, o herwydd hyn heidia yr holl bobl ati sydd yn byw yn agos iddi bob bore a phrydnawn i olchi ymaith eu pechodau: cludir y dwfr sanctaidd hwn hefyd i ddibenion crefyddol i barthau pellenig o'r wlad; a chipir dynion yn marw, os byddant yn ddigon agos, i dderbyn eu puredigaeth olaf yn y ffrwd sanctaidd. Y maent mor anwybodus o'r gwir a'r unig Dduw, fel bod yn yr India yn unig *dri chant a deg ar hugain o filiynau* o dduwiau yn derbyn addoliad. Ni wyddant beth yw eu cyflwr i fod mewn byd arall. Credant, os byddont euog o ryw feiau gwarthus iawn, ac os na heddychant eu duwiau trwy roddi yr oll a feddant i'r offeiriaid, neu arteithio eu hunain i farwolaeth, y bwrir hwynt i ryw le o boenau ofnadwy: ac os byddant ryddion oddiwrth bechodau gwaradwyddus, yr â eu heneidiau i gyrph cwn, cathod, pryfed, seirph, ac ymlusgiaid ereill.

GWRAN.—Anwybodaeth gresynus yn wir! Pa fodd y gallwn ganmol Duw yn ddigonol am y llyfr gwerthfawr hwnw, yr hwn a rydd i ni bob gwybodaeth angenrheidiol am Dduw, am danom ein hunain, ac am y ffordd i ddedwyddwch! Pa rodd annhraethol yw gair y gwirionedd!

GWEIN.—Ymddengys y Llyfr hwn yn fwy gwerthfawr etto, oddiwrth y *creulondeb* a arferir gan y sawl sydd hebddo. Gadewch i mi eich hysbysu fod baban-leiddiad yn cymmeryd lle i fesur mawr y'mhlith tywyll drigolion y ddaear. Mewn un llwyth yn yr India (*Rajpool*) y mae (neu o leiaf felly yr oedd yn ddiweddar) yr holl blant menywaidd yn cael eu dinystrio. Priodir y meibion i'r llwyth nesaf attynt mewn urddas; y meibion a darddant o'r undeb hwn a gedwir yn fyw, a'r merched a leddir. Y mamau eu hunain ydyw 'r creulon weithredwyr! Sychir i fynu eu tiriondeb mamaidd gan eu coel-grefydd; a'u crefydd, os teilynga'r enw, a'u try yn anghenfilod mwy creulon na'r llew a'r blaidd. Yn China hongir i fynu fabanod mewn basgedau, nes y trengant gan wres yr haul, y gwybed, a grym eu newyn. Yn Pekin, prif ddinas yr ymerodraeth hono, difethir *naw mil* o fabanod yn y modd hwn bob blwyddyn, a nifer mawr mewn rhanau ereill o'r wlad! Mae dinystr bastardiaid mor gyffredin yn yr India, fel y meddylir bod deng mil o'r cyfryw yn cael eu difetha trwy'r moddion a gymmerir i ddwyn oddi amgylch erthyliad yn nhalaeth Bengal yn unig bob mis.* "Gwelid mamau gynt yn Ynys Saugar yn taflu eu plant i'r crocodiliaid, ac yn aros i edrych arnynt yn ymladd am yr ysglyfaeth, ac ar eu babanod nyddroedig rhwng dannedd yr anghenfil llwyddiannus, heb un math o gyffroad tra byddai yn dryllio esgyrn, ac yn sugno gwaed y gwirioniaid."† Llawer o famau yn yr India a fedda nt eu cyntaf-anedig i gyflawni adduned a wnaethont er ennill y fraint o gael hiliogaeth. "Pan fyddo 'r baban yn ddwy neu dair blwydd oed, cymmer y fam ef i'r afon, gan ei annog i fyned i mewn iddi, fel pe byddai am ei olchi; ond goddef iddo fyned i ganol y ffrwd, yna gad ef, a saif yn ddiymgais, gan edrych ar ymdrechiadau, a gwrando ar ysgrechau y baban."‡

GWRAN.—Y mae 'r fath hanes,

---

* Horne's Introduction: † Ward's Letters.
‡ Ward's Letters.

Syr, yn ddigon i rwygo y galon galetaf. Anfoned Duw ei efengyl werthfawr ar fyr i bob rhan o'r ddaear, a rhodded derfyn i'r fath ymddygiadau creulon ac erchyll.

GWEIN.—Y mae 'r driniaeth a dderbyn gweddwon yn llwyr mor aanynol ac ofnadwy. Pan fo 'r gwr marw gosodir ei gorph ar bentwr o ffagodau, tair troedfedd o uchder, pedair o led, a chwech *troedfedd* o hyd. Gosodir y weddw yn ei ymyl, gan roddi ei braich drosto. Yna y byw a'r marw a gylymir ynghyd â dwy gorden, y rhai a deflir dros y pentwr cyn rhoddi y corph arno. Yna rhoddir llawer o ffagodau arnynt; a dau o drosolion a roddir ar uchaf y pentwr i wasgu y weddw i lawr, a'i rhwystro i ddiange, pan ddechreuo y fflamiau ei chyrhaeddyd. Yna rhoddir ffagien bŷg, wedi ei goleuo, yn llaw ei *phlentyn* henaf, yr hwn, gan droi ei wyneb ffordd arall, ac yn aml gyda chalon archolledig, a rydd dân i'r pentwr. Yna curir y tabyrddau, i orchfygu galarnadau tòr calonus y weddw losgedig! Pwy all lai na thosturio pan glyw fod *wyth gant* o weddwon wedi cael eu distrywio fel hyn yn Bengal yn unig, yn ol yr hanes a arwyddwyd gan y swyddogion yn y flwyddyn 1818. Os yw y gwaith hwn i'w weled mor aml yn mhob rhan o India, ac nid oes le i ammeu nad yw, mae *pump* o weddwon annedwydd yn cael eu llosgi yn fyw yno *bob dydd*, a gwneir miloedd lawer o blant yn ymddifaid bob blwyddyn. Mae ein llywodraeth ni yn awr yn ymdrechu rhoddi terfyn ar y fath greulonder annhraethadwy. Gwelwch y fath anghenfil yw dyn heb yr efengyl! O galeted ei galon os gadewir hi i'w tueddiadau ei hun, heb un attalfa oddiwrth ras y nef.

GWRAN.—Anghenfil yn wir! pe na buasai felly ni allasai ymddwyn yn y fath fodd dideimlad.

GWEIN.—*Cleddir* gweddwon yn *fyw* hefyd yn India yn dra mynych gyda chyrph meirwon eu gwyr. Eistedda y weddw anhapus yn ngwaelod y bedd, a chorph ei phriod ar ei harffed, gan ei amgylchu â'i breichiau. Yna ei pherthynasau a daflant y pridd i mewn, pan y disgyn dau o honynt i'r bedd i galedu y ddaear â'u traed o amgylch y corph. Cyfyd y ddaear o radd i radd hyd oni chyrhaedd wefusau y ddynes annedwydd, yna cuddia ei phen! "Yr hyn sydd yn ol a deflir i mewn yn awr gyda mawr frys, a phlant a pherthynasau a esgynant y bedd, gan sathru y ddaear i lawr ar ben y weddw, y fam fogedig."* Cipir yr Indiaid, yn awr angau, i'r Ganges, neu ryw afon sanctaidd arall, os na fydd ry bell oddi wrthynt, lle y brysir ei farwolaeth, ac yr amlhëir loesau angeu, trwy ei ddarostwng i wres yr haul y dydd, ac i wlith oerllyd y nos. Rhoddir llawer o'r dwfr iddo i'w yfed os gall ei lyngcu; a'i fynwes, a'i dalcen, a'i freichiau, a irir â'r llaid; canys tybir fod rhinwedd paredigol hyd yn nod yn llaid y Ganges. Ychydig cyn ymadawiad yr enaid o'r corph rhoddir y dyn i orwedd ar y ddaear, yna delir ef hyd ei hanner yn yr afon, lle y cynnelir ef nes ffoi o'r yspryd i fyd anweledig.

GWRAN.—Ni feddyliais fod y fath greulondeb, y fath greulondeb echryslon, yn cael ei arferyd yn un rhan o'r ddaear.

GWEIN.—Ni chlywsoch etto ond rhan o'r chwedl resynol. I'r diben o gyrhaeddyd dedwyddwch mae hwn yn addunedu bod yn fud, ac yn rhoi heibio arferu y ddawn o lefaru dros ei oes. I'r un diben mae hwn acw yn adrodd enw y duw sydd yn gwarchod drosto o ddechreu hyd derfyn y flwyddyn. Gellir gweled yn India ddynion wedi dal eu breichiau yn yr un ystum cyhyd,

---

* Ward's Letters.

fel nad yw y gwaed yn cylchynu ynddynt mwy. Y gewynau a gollasant eu grym i weithredu, fel na allant, mewn un modd, ddefnyddio eu breichiau, neu eu plygu. Mewn gwledd flynyddol, o barch i un o'r duwiau, hongir llawer o ddynion yn yr awyr, trwy fachau mawrion yn gafaelu yn eu cefnau; a chwyldröir hwynt dros chwarter awr o amser. Ystlysau ereill a drywenir, a gosodir cordenau rhwng y croen a'r asenau, y rhai a dynir yn ol ac ym mlaen, a'r hunain-arteithwyr yn dawnsio ar hyd yr heolydd. "Gwelais ereill," medd un a drigasai dros ugain mlynedd yn eu plith, "yn bwrw eu hunain i lawr o dafawd-ddeg troedfedd o uchder, ar gyllill agored, wedi ei gosod mewn sypynau o gotwm. Weithiau un o'r cyllill a rêd i mewn i'r corph, a'r adyn annedwydd a ddygir ymaith i drengu." "Yn yr un wledd," medd yr un gwr, "llawer a wnânt dwll yn eu tafodau, yn yr hwn y gosodant bren, gwïalen dryll, neu ryw sylwedd tenau, gan ddawnsio yn y dull hwn er anrhydedd yr eilun." Yn niwedd y wledd, y coelgrefyddwyr hyn a ddawnsiant â thraed noethion ar farwor llosgedig. Rhai a hongir â'u penau i lawr oddiwrth gangen pren; ac a yrir yn ol ac ym mlaen dros dân tywiog oddi tanynt am lawer awr bob dydd dros flynyddoedd, ac yna ymdrochant yn y lludw gwresog.

GWRAN.—Eich hanesion a'm llanwant â'r fath syndod a thostari fel na wn beth i'w ddywedyd. Gresynus yn wir! A dybiant, Syr, mae yr arteithiau hyn yw yr unig ffordd i hapusrwydd?

*(I'w barhau.)*

---

ORIAU MARW.—RHIF. III.

**YR ARCHESGOB CRANMER.**

CYN i'r DR. Cranmer gael ei gymmeryd yn garcharor i'r tŵr, amryw o'i gyfeillion a'i hannogent i ffoi allan o'r deyrnas, a chadw ei hun i well amseroedd; ond yr Esgob a'u hatebodd yn hybyr, gan ddywedyd, "Pe'm cyhuddasid o ladrad, llofruddiaeth, neu ryw ddrwg arall, gallasech, ysgatfydd, fy mherswadio i ffoi: ond yn awr yr wyf yn gweled fod rhaid fy holi, nid am fy ffyddlondeb tu ag at ddynion, eithr am fy ffydd tu ag at Dduw, a gwirionedd yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn erbyn y Pabyddion; am hyny gwell genyf golli fy mywyd y'mhlaid y gwirionedd, na thrwy ffoi allan o'r deyrnas, droi fy nghefn ar achos mor ogoneddus.

O'r Tŵr symudwyd ef i Rydychain, ym mha le yr anfonwyd am dano i ymddangos o flaen rhaglawiaid y Pab, a swyddogion y Frenhines. Efe a wnaeth gyffes ragorol o'i ffydd ger eu bron; a phan ddechreuasant ei ddiesg a'i ddiraddu, efe a dynodd bapur allan o'i fynwes, yn cynnwys appeliad oddi wrthynt hwy a'r Pab at y *gymmanfa gyffredinol nesaf a gynnelid*; ond gan eu bod wedi penderfynu ar ei farwolaeth, gwrthodwyd ei appeliad, a diraddiwyd ef. Pan ddychwelodd i'r carchar, dymunodd gael bwyd, "Oblegid (eb efe) yr wyf wedi bod mewn peth blinder yn yr achos hwn, ac ni fwyteais damaid heddyw; eithr yn awr, diolch i Dduw, yr wyf yn teimlo fy nghalon yn esmwythach." Cadwyd ef y'ngharchar yn Rhydychain dair blynedd mewn angen a thlodi mawr. Yn yspaid yr amser hwn, Doctoriaid dichellgar yn mhlaid Pabyddiaeth a gyrchent ato, ac a arferant bob rhyw ddichellion i gael ganddo alw yn ol ei gyffes; ac, ysywaeth, wrth ei ddyfal ddilyn fel hyn â bygythion tân a phenau o un ochr, ac ymddangosiadau llyfnion, ac addewidion am ffafr y Frenhines, estyniad oes mewn parch a bri, a byd rhagorwych, o'r ochr arall, hwy gawsant eu hewyllys agnos i'r diwedd. Och!

beth yw dyn, y cadarnaf, y gwrolaf, a'r goreu o ddynion, pan y gadewir ef iddo ei hun yn ngafael profedigaeth! Rhoddodd ei law wrth ddadgyffesiad a osodasant o'i flaen ef, ym mha un y proffesodd ymwrthod â chyfeiliornadau Luther, &c. Ond ar ol y weithred hon, ni chafodd na heddwch tufewnol gan ei gydwybod, na chynnorthwy allanol gan ei elynion: canys er fod y Frenines yn llawen am ei ddadgyffesiad, etto hi a benderfynodd ei roddi i farwolaeth.

O'r carchar fe'i dygwyd i Eglwys St. Mary i glywed pregeth ar ei farwolaeth, yr hon a draddodwyd gan y Dr. Cole drwy orchymyn y Frenines. Tra yr ydoedd efe yn pregethu, gosodwyd Cranmer ar sefyllfan a barotoisid iddo gyferbyn a'r pulpud, a'r olwg arno yn dosturus: gwr a fuasai mewn cymmaint anrhydedd, yn awr wedi ei wisgo mewn dirmyg, ac wedi ei gondemnio i'r fflamau. Yn ei bregeth, Cole a ddangosodd am ba beth y condemniasid y Dr. Cranmer: annogodd ef i gymmeryd ei farwolaeth yn wrol, ac a lawenychodd yn ei ddychweliad at Babyddiaeth. Eithr byr oedd y llawenydd hwn; canys ar ddiwedd y bregeth Cranmer a ddymunodd ar y bobl weddio drosto ar i Dduw faddeu ei bechod, yn enwedig ei ddadgyffesiad: "Canys mi a'i gwneuthum (eb efe) yn erbyn fy nghydwybod a'r gwirionedd; ac yn gymmaint ag i'm llaw droseddu gan ysgrifenu yn groes i'm calon, hi a gaiff ei chospi yn gyntaf." Erbyn hyn yr oedd y dyrfa oll mewn syndod, a'r Doctoriaid yn brochi ac yn crech-floeddio i'w erbyn; a Cole yntau a floeddiodd o'r pulpud, "Cauwch safn yr Heretic, a chymmerwch ef ymaith."

Wedi eu dyfod i'r dienyddle, syrthiodd y merthyr ar ei liniau, ac a weddiodd; yna y gadwyn a rwymwyd am y merthyr, ac yn fuan rhoed y gorchymyn, ac ennynwyd y tân. Yn y cyfwng a'r bwlch tra dwys hwn, gwelwyd golwg a barodd syndod mawr. Pan ddechreuodd y coed gynneu, a'r tân losgi yn agos ato, fe estynodd allan ei law ddehau, ac a'i daliodd yn y fflam; do, fe'i daliodd yno mor ddiysgog (eithr unwaith y sychodd ei wyneb â hi) nes oedd i'w gweled gan bawb o'i amgylch wedi ei llosgi fel gloyn ulw-ddu, cyn i'r tân gyffwrdd â'i gorph. A chyfryw oedd ei ddioddefgarwch, fel y safodd yn y fflam a'r tân heb symud o ran ei gorph, nac ysgog nemawr mwy na'r post yr hwn yr oedd yn rhwym wrtho. Yr oedd ei lygaid yn syllu tu a'r nef; a mynych y dywedai, "Y llaw hon a droseddodd; O! y llaw annheilwng hon:" ac hefyd mynych y llefai, "Arglwydd Iesu, derbyn fy yspryd," hyd oni phallodd ei leferydd: ac felly yn angerdd y tân rhoddodd i fyny yr yspryd.

## ORIAU YSGRYTHYROL.

### MARC.

PEN. I. 6.—Ac yn bwytta locustiaid a mel gwyllt.

"Gwelais yr anifeiliaid hyn yn fath gymmylau tiioseg (medd Belzoni) fel y buasai cymmaint arall o honynt yn yr un cylch o le yn attal pelydran yr haul, ac yn achosi tywyllwch dudew. Byddant yn disgyn ar feusydd o ŷd, neu ffrwythau ereill, ac mewn ychydig fynydau yn difa yr holl gynnyrch. Bydd y trigolion yn gwneuthur swn mawr i geisio eu dychrynu hwynt ymaith, ond yn ofer; ac mewn ffordd o ddial arnynt, byddant yn eu dal, ac yn eu bwytta, a chyfrifant hwynt, wedi eu ffrio, yn ddanteith-fwyd rhagorol. Y maent yn debyg o ran eu cyrph i'r ceiliog rhedyn, oddeutu dwy fodfedd o hyd, ac yn gyffredin o liw melyn neu euraidd, eithr y mae rhai o honynt yn gochion,

a rhai yn wyrddion."—*Belzoni's Travels*.

PEN. v. 38.—Ac efe a ddaeth i dŷ penaeth y synagog, ac a ganfu y cynnwrf, a'r rhai oedd yn wylo ac yn ochain llawer.

Y mae yn arferiad y'ngwledydd y Dwyrain i dyrfa o bobl ddyfod i'r fan lle y byddo rhyw un newydd farw, i alaru ar ei ol, a chyfrifant hyn yn anrhydedd mawr. Dywedir fod nifer y bobl a ymgynullant i'r fan lle bo cyrph meirw yn anghredadwy. Rhed pawb yno, tlawd a chyfoethog; a'r rhai cyntaf yn enwedig a wnant swn mawr, gan wylo ac ocheneidio.

PEN. vi. 56.—Hwy a osodent y cleifion yn yr heolydd.

Dywed *Maximus Tyrius* fod y gelfyddyd feddyginiaethol wedi cael ei tharddiad o'r arferiad o osod pobl gleifion wrth ochrau y ffyrdd y byddid yn eu tramwyo amlaf, fel y gallai y fforddolion eu holi ynghylch natur eu hafiechyd, a thrwy hyny fynegu iddynt beth a fu yn fwyaf llesol iddynt hwy yn y cyfryw amgylchiad.

PEN. ix. 41.—Canys pwy bynnag a roddo i chwi gwppanaid o ddwfr yn fy enw i, am eich bod yn perthyn i Grist, yn wir meddaf i chwi, Ni chyll efe ei obrwy.

Mae meddwl yr adnod yn amlwg i bob darllenydd, na bydd y gwasanaeth lleiaf a wneir i ddisgybl o gariad at ei feistr yn myned yn ddiobrwy. Ond yr ydym ni yn y gwledydd gogleddol hyn yn barod i dybied mai peth bychan iawn yw rhoddi cwppanaid o ddwfr, ond nid ymddengys felly i drigolion y Dwyrain. Y mae llawer o foneddigion y Dwyrain wedi myned i gostfawr i godi tai i roddi dwfr i ymdeithwyr. Cyfrifa y Tyrciaid adeiladu y tai hyn yn beth tra chlodfawr, ac nid ânt byth ymaith ar ol yfed heb fendithio y gwr a'u hadeiladasai hwynt.—*Harmer*.

PEN. xiii. 35.—Ai ar ganiad y ceiliog.

Byddai yr hynafiaid yn arferol o rannu y nos i wahanol wyliadwriaethau; yr olaf o ba rai a alwent, "*caniad y ceiliog;*" am hyny cadwent geiliog yn eu tyrau i roddi rhybydd o godiad y wawr: o herwydd hyny cysegrid yr aderyn hwn i'r haul.

PEN. xv. 26.—Ysgrifen ei achos.

Y roedd yn arferiad y'mhlith y Rhufeiniaid i ysgrifenu y trosedd am ba un y traddodid y troseddwr i farwolaeth, a'i ddwyn o'i flaen i'r dienyddle. Fel hyn y gwnaed i Attalus y merthyr, yr hwn a arweiniwyd o amgylch y chwareufa, â'r geiriau canlynol wedi eu hysgrifenu ar daflen, ac yn cael eu dwyn o'i flaen, "*Hwn yw Attalus y Cristion.*" Yr ydoedd yr un arferiad pan groeshoelid ni. Dywed Diodorus am gaeth-was a gluiwyd at y groes âg ysgrifen o'i flaen yn mynegi achos ei farwolaeth.

PEN. xvi. 1.—A brynasant bêr-aroglau, i ddyfod i'w eneinio ef.

Yr oedd hyn yn arferiad ym mhlith yr Iuddewon; ac yr ydym yn darllen yn fynych am *bêr-aroglau y meirw*. Yr ydoedd yn un o'r pethau arferedig yn Israel i'w wneuthur i'w meirw. Y mae *Maimonides* yn sylwi, eu bod yn eu henneinio â gwahanol fathau o bêr-aroglau.

SIGMA.

---

## TAITH AC ANTUR DEWI AB LLYR.

YN y flwyddyn 1647, ar brydnawngweith tawel yn niwedd mis Hydref, pan oedd yr haul â'i liw rhuddgoch ar fyned o olwg trigolion Cymru islaw y terfyngylch, a'r adar mewn cydgor mwyn nefolaidd yn melys-byngcio rhwng cangau'r coed a'u dail amryliw, gwelid gwr ieuangc yn dyfod i fynu yn araf ar ei farch lluddedig, ac awen ei ffrwyn wedi ei thaflu yn ddiofal ar ei war, tua Chaer — yn un o Siroedd uchaf y Deheudir, Llywydd yr hon oedd Syr Gronwy Hael. Ymddangos-

iad y gwr ieuangc hwn oedd hardd a gwrenaidd; ei wyneb oedd lân-deg yr olwg, a'i wallt yn crogi yn gydynau modrwyog o amgylch ei arleisiau; a'i holl gorph oedd lathraidd, syth, a nerthol, a'i wisg yn un berthynol i rai uchel-radd. Yr oedd wedi ei arfogi â dau lawddryll, y rhai a orphwysent yn eu gwain y tu blaen i'r cyfrwy, a chleddyf yn grogedig wrth ei ystlys chwith. Ar ei ddynesiad at borth y Gaer, cyfarchwyd ef gan un o'r gwylwyr, a gofynwyd ei enw a'i neges. Yn lle ateb, yr ymdeithydd a estynodd iddo lythyr, a deisyfodd arno ei anfon i Syr Gronwy Hael. Y gwyliwr, ar ol gwneuthur ei ymostyngiad milwraidd, a draddododd y llythyr i'w drosglwyddo. Ym mhen ychydig amser, daeth Syr Gronwy at y porth wedi ei wisgo fel milwr; a phan ganfu efe y gwr ieuangc, brysiodd tu ag ato, ac a'i cofleidiodd yn y modd caredicaf, gan ddywedyd, "Dewi ab Llyr, mab fy unig frawd, Llyr ab Hael ab Einion ab Rhirid ab Coel! y mae i ti gan croesaw, fy mab! mae 'r gwaed yn peri i'm hen galon grychneidio o lawenydd wrth ganfod y fath gangen lathraidd a chadarn yn tyfu oddiar foncyff mor odidog! Duw a roddo ras i ti i gynnyddu a chryfhâu mewn daioni a gwir dduwioldeb yn gyfatebol i'th dyfiant mewn teg gorpholaeth!" Ar ol gofyn iddo am fil o bethau, ac heb roddi amser iddo ateb un o honynt, efe a'i harweiniodd ef trwy y porth, yr hwn nis gellid myned trwyddo ond trwy genad, neu trwy allu gorchfygol y gelyn. Y Gaer hon a adeiladesid ar fryn go uchel, yr hwn oedd o'r gwaelod yn agos o amgylch ogylch yn dra syth, oddieithr mewn un rhan o hono ag oedd yn edrych tu a'r gogledd; y tu hwn oedd yn wastad am oddeutu hanner milltir; oddi yno cyfodai bryn arall uwch na'r hwn y safai 'r Gaer arno. Y Gaer ei hun a orchuddiai ddarn lled helaeth o dir, ac wedi ei hadeiladu yn y modd cadarnaf i wrthsefyll yn ddisigl ymgyrch gwrthwynebwyr y preswylwyr. Amryw fagnelau a osodasid yn eu rhwyllau priodol ar y muriau, a'r gwylwyr, bob yn ddau, a rodient yn arfog yma ac acw yn eu lleoedd gosodedig, fel nad oedd yn alluadwy i elynion ddyfod ar warthaf y Gaer yn ddiarwybod. Creigiau serth a chlogwynog, a bryniau tywyll ac anwastad a amgylchynai 'r Gaer yn agos o bob ochr, oddieithr y tu dehau; yno yr oedd morfa helaeth, ond anffrwythlon, yn ymdaenu am amryw filltiroedd, yr hwn oedd yn rhoddi mwy o hyfrydwch i'r ymdeithydd wrth ganfod yr olygfa o hono, nag oedd o les yn deilliaw oddi wrtho i'r trigolion. Yr oedd Syr Gronwy wedi parotoi cynnaliaeth am gryn amser, ynghyd â milwyr ac arfau tu ag at amddiffyn y lle y'ngwyneb y gelyn, a thu ag at ddangos ei ufudd-dod i'w frenin. Yr oedd y rhagrithiol a'r creulon adyn hwnw Cromwel wedi cael yr oruchafiaeth ar fyddinoedd y Brenin Charles I. a'r Brenin ei hun, trwy fradychiad cywilyddus y fyddin Ysgotaidd, wedi ei dafiu dan ei awdurdod, ac ar ol hyny ei wneuthur yn garcharor y'nghastell Carisbrook yn Ynys Wight. Llawer o gythrwfl y pryd hwn a godasai trwy 'r wlad: rhai yn ochri gyd â'r Puritaniaid, ac ereill yn sefyll yn galonog ac yn ddiymollwng o du eu Brenin aflwyddiannus, fel ag y tywalltwyd llawer iawn o waed trwy 'r deyrnas yn y terfysg a'r gwrthryfel a ddigwyddasant o gylch yr amser hwn. Disgwyliasai Syr Gronwy bob diwrnod am gynnorthwy nerthol i'r milwyr oedd ganddo ei hun yn cadw amddiffynfa oddiwrth amryw wroniaid dewrwych yn y Deheudir, y rhai oeddynt wedi addaw ei gynnorthwy pa bryd bynag yr ymosodai gwyr Cromwel arno. Clywsai,

ychydig amser yn ol, fod y trawsfeddiannwr wedi anfon llawer o wyr meirch, a nifer helaeth o wyr traed, tu a'r parth hyny o Gymru, yr hwn oedd tan ei ofal ei hun, i'r diben i ddarostwng a chospi'r gwrthwynebwyr. O gylch yr amser hwn yr ymddangosodd Dewi ab Llyr o flaen Caer, i ymweled â'i ewythr, ac i roddi help iddo yn yr ymosodiad oedd yn debyg o gymmeryd lle yn fuan. Dewi ab Llyr oedd fab ieuangc o gylch pump-ar-hugain oed, yn chwe troedfedd o uchder, ac o gadernid cyfatebol i'w faintioli. Bu mewn amryw frwydrau yn ymladd yn wrol dan faner ei frenin, yn enwedig y frwydr ddiweddaf, sef brwydr Naseby, yr hon a drodd allan mor aflwyddiannus i'r Brenin Charles. Trigai ei dad yn un o'r dyffrynoedd tecaf a mwyaf ffrwythlon yn holl ardaloedd Deheudir Cymru. Y tu cefn i'r neuadd yr oedd coedwig hen a godidog o ffawydd a derw tewfrig i'w hamddiffyn rhag oerfelawg wynt y gogledd: o'r tu blaen rhedai afon lydan, loywddu a dolenog, yn lleibio'r ceulanau, ac yn ymsymud mor arafaidd, fel nas gellid dywedyd yn hawdd pa ffordd y treiglai'r dyfroedd: yr olygfa o'r llanerch o flaen y tŷ ydoedd hyfryd a dymunol. Y meusydd tenog, llawn o ffrwythlondeb, yr afon hardd-deg a soniais am dani eisoes, palasau'r boneddigion yn y gymmydogaeth, a'r bryniau duon yn y terfyn-gylch, oeddynt yn gwneud i fynu ddarlunfa nas gwelid yn wir ond anfynych ei gyffelyb. O'r lle hwn y daeth Dewi i gyfarch gwell i Syr Gronwy Hael.

Ar ol i Dewi ab Llyr gael ei ddwyn i mewn i'r lle y preswyliai y Llywydd, a'i gyflwyno i'w Bendefiges, ac i Rhonwen, merch Rhodri Ysgafn-droed, un o Arglwyddi Gwynedd, ac i'r milwyr penaf, diwallwyd ei angenrheidiau â phob danteithion. Yna aeth yr ymddiddan yn gyffredin, ac ymdrechai pawb i wneuthur eu hunain yn gymmeradwy i'w gwrandawyr. Rhoddodd Dewi ddarluniad bywiog a chywir o'r brwydrau y bu efe ynddynt. Yr oedd pawb yn effro ac yn ddistaw yn gwrando ar yr hanes; ond nid oedd neb yn fwy astud na Rhonwen: pa un ai o herwydd bywiogder y desgrifiad, hyawdledd yr ymadrodd, a natur gyffrous y testyn, ai am fod rhyw achos arall yn tynu yn fwy neillduol ei sylw y pryd hyny, nis penderfynaf: pa fodd bynag, dangosodd Bleddyn ab Iorwerth, un o'r Pen-capteniaid, anesmwythdra nid bychan y tro hwnw, ac edrychodd â chilolwg digllon a chenfigenus ar Dewi ab Llyr. Yr oedd Bleddyn er's amryw ddyddiau yn ol wedi ymdrechu cael clust-ymwrandawiad ganddi; ond nis tyciai yr un o'i ymdrechiadau: canys ni fynai hi ar gyfrif yn y byd roddi ystyriaeth hynaws i'w erfyniad: a pha bryd bynag y gwelai efe hi yn dangos caruaidd-dra tu ag at neb arall, efe a ai yn agos o'i bwyll. Ar ol i Dewi roddi terfyn ar ei hanes o'r brwydrau y bu efe ynddynt, ac o'r helyntion a ddigwyddasai i'r Brenin cyn ei garchariad, ac ar ol i bawb ni pherthynent i'r teulu fyned i'w hystafelloedd, cyfododd Syr Gronwy Hael i fynu, a dywedodd, "Yn gymmaint a bod fy nghaplan yn absennol heno, nid ydwyf yn dewis i neb o honom fyned i'n gorphwysfa cyn talu diolch yn gyhoeddus mewn gweddi deuluaidd, yn ol ein harfer, i'r Gynnaliwr ein bywyd, a Rhoddwr pob daioni, am ein cadw oll yn ddiberygl hyd yn hyn. Amser llawn o ddigwyddiadau annisgwyliadwy yw amser rhyfel: saeth ddiwyro ac anweledig a all dori'r "llinyn arian," a bod yn achlysur i'r enaid anfarwol gael ei drosglwyddo yn ddisymwth i fyd yr ysprydoedd; am hyny ffolineb o'r

fath waethaf yw i neb sydd mewn meddiant o'i synhwyrau anturio gadael i un diwrnod fyned heibio heb ymdrechu gwneuthur ei heddwch â'r Arglwydd, yr hwn sydd gadarn mewn rhyfel, yr hwn a all ddinystrio enaid a chorph yn ddiymwared. Fel y dywedais eisoes, am fod Morfran ab Madog yn absennol, mi a gymmeraf ei le ef am y tro hwn, a bydded i ni oll weddio mewn yspryd ac mewn gwirionedd." Yna cymmerodd lyfr yn ei law, a darllenodd yn ostyngedig ac ar ei liniau, weddi hynod o briodol i'r pwrpas, a gyfansoddasid gan ei gaplan. Ar ol hyn aeth pawb i orphwys, ond Bleddyn: aeth ef ei hun i'w wely, ond nid i fywiocâu ei gorph lluddedig. Nis gallai roddi hûn i'w amrantau; troi a threiglo y bu am oriau hir-feithion: ei waed oedd yn carlamu ar hyd ei wythenau fel un mewn twymyn danllyd, ei daleen oedd yn curo'n drwm fel melin pandy, a'i galon yn berwi o'i fewn fel dwfr mewn gwynias-bair: Cynddeiriogrwydd a ymaflasai ynddo; a phenderfynodd, trwy ryw ffordd neu gilydd, i gael ymddial llawn ar ei wrthwynebwr; ond nis cafodd efe amser segur yn hir i astud-fyfyrio ar y diystyrwch a dderbyniodd; canys y dydd canlynol, ar doriad y wawr, clywyd uchelfain ac hirllaes nâd udgorn yn swnio y tu allan i'r Gaer. Brysiodd pob un yn arfog i'w le priodol arni, ac edrychasant pa beth a ddigwyddasai. Canfyddwyd mai cenad oedd oddiwrth fyddin Cromwel yn gorchymyn i'r Llywydd roddi i fynu ei awdurdod. Y Llywydd a anfonodd ei genad ei hun i'w ateb, gan ddywedyd, "Nad ymddarostyngai efe i wneuthur y cyfryw beth tra'n oedd ganddo filwyr ac arfau i'w amddiffyn; a byddai yn gywilydd a gwaradwydd iddo roddi i fynu y Gaer i drawsfeddiannydd uchelfrydig, yr hwn tan fantell o grefydd a bryssurasai i dywallt gwaed y dienog a garcharasai ei Frenin trwy anghyfiawnder, ac a amcanai trwy ei gyfrwys ddichellion osod ei hun yn llywodraethwr ar y wlad: ond yn y gwrthwyneb, yr oedd yn gobeithio y byddai yn ei allu yn fuan i gospi, mewn modd haeddiannol, bob un o fewn ei gyrhaedd o ganlynwyr y fath adyn dirmygedig."

Nid hir y bu, wedi i'r genad drachefn beri i'r bryniau ddiasbedain gan lais ei udgorn croch, a throi ymaith dan garlamu, nes i dyrfa o wyr meirch ymddangos yn y gwastadedd, a'u baneran 'n chwifiaw yn y gwynt, a dynesu ar frys tu a'r Gaer. Yr oedd pob swyddog a milwr yn ei le o'i mewn, yn barod i roddi derbyniad calonog i'r gelynion, a rhoddi profion anwadadwy iddynt nad oedd gwroldeb a medrusrwydd yn bethau dieithr ym mysg y Cymry: ond ni anturiodd y gwyr ceffylau o fewn ergyd i'r Gaer; eithr amgylchynasant hi o hirbell, i weled pa le y gellid rhuthro arni yn fwyaf manteisiol, ac i ddisgwyl y gwyr traed i'w cynnorthwyo. Y rhai hyn a ddaethant y'mhen rhai oriau ar eu hol, ynghyd â'u peiriannau rhyfel ag oeddynt angenrheidiol i'r perwyl. Adeiladasant wrthgloddiau mawrion i'w hamddiffyn eu hunain yn y lleoedd mwyaf tebygol i ateb eu dibenion, sef y tu hwnw a soniais eisoes oedd yn edrych tu a'r gogledd, a meddyliasant ddwyn y Gaer ar unwaith trwy ruthr disymwth: ond blin y bu yr ymdrech o bob tu; weithiau gallesid meddwl fod y Gaer wedi ei chymmeryd, er cymmaint oedd y gwrthwynebiad a gawsai 'r gelynion; bryd arall, ymddangosai trigolion y Gaer yn fuddugoliaethus: yn awr nid oedd na thrwst na thwrf i'w glywed o un ochr; tebyg oedd i'r distawrwydd arswydus sydd yn gyffredinol yn treiddio trwy'r lle, uwch ben yr hwn, ar brydnawnddydd tawel haf, y crogo cwmwl

pyrddu, llawn o fellt a tharanau, ag sydd yn barod i wau a dadseinio o amgylch y trigolion dychrynedig: eilwaith, nid oedd dim i'w weled ond colofnau mwg a fflamau tân, na dim i'w glywed ond rhuad erchyll y peiriannau angeuol, ac ambell i grochlef alarus ym mhlith yr archolledig. Syr Grunwy a welid ym mhob cwr yn calonogi ei filwyr i ymladd tros eu gwlad, a'u cenedl, eu rhïeni, eu gwragedd, a'u plant. Ei siampl oedd yn peri i'r dewr fod yn ddewrach, yn rhoddi megys min newydd i'w gleddyf, ac yn cynhyrfu ereill i danio ar eu gelynion yn fwy diysgog a diarswyd. Collodd amryw eu bywydau o'r ddwy ochr yn yr ymgyrch hwn: pa fodd bynag, y gwarchaëedigion a amddiffynasant eu hunain yn llwyddiannus. Nid oedd neb yn fwy deheuol a gwronaidd na Dewi ab Llyr. Ei galondid a'i fedrusrwydd oeddynt destyn moliant pawb o fewn i'r Gaer, oddieithr Bleddyn: yr oedd efe ar bob cyfleusdra yn ymdrechu tan law i'w ddwyn i waradwydd. Yn ei wyneb nid oedd neb yn dangos mwy o gyfeillgarwch tu ag ato na Bleddyn. Dywedai wrtho, y byddai yn barod ar bob achlysur i'w gynnorthwyo: dymunai arno ddyfod ato ef pa bryd bynag y byddai angen arno am arian, neu un peth arall; canys ni byddai dim a roddai fwy o bleser iddo na'i fod ar un amser yn gallu bod yn gynnorthwy wrth raid i'w hoff gyfeillion. Gwenieithiai iddo, ac ymddangosai yn siriol pa bryd bynag y cyfarfyddent. Byddai ar ei ddisgwylfa bob amser i'w dynu i'w rwyd, trwy ymddangos yn arwyddol ei fod yn ei hoffi yn fawr, pan, ar yr un pryd, yr oedd y gwenwyn o gasineb a chynddaredd yn berwi ac yn ymlidio yn ei galon. Pan ganfu efe nad oedd efe yn tycio dim trwy ei ragrith, eithr yn hytrach fod Dewi yn ei ddrwg-dybio—ac am ei fod ef yn fynych yn gweled yr hwn a gasai ei enaid yn mwynhau cymdeithas Rhonwen, ac fod ef ei hun wedi colli ei ffafr hi yn llwyr, yr oedd yn dymuno yn ei galon eiddigeddus i gael cyfleusdra i ymgynhenu âg ef. Un diwrnod, pan oedd Dewi a Rhonwen yn rhodio yn y cyntedd o fewn i'r Gaer, digwyddodd i Bleddyn ddyfod i'w cyfarfod hwynt: llygadrythodd arnynt yn sarug ei wedd; aeth heibio iddynt yn ffroenuchel, gan fwngial rhywbeth rhwng ei ddannedd, a tharo ei law ar garn ei gleddyf. Ni chymmerodd Dewi arno sylwi ar ei ymddygiad, rhag ofn iddo gyffroi a dychrynu yr hon a rodiai wrth ei ochr; ond cyn gynted ag yr ymadawodd â hi, aeth yn union-gyrchol i chwilio am Bleddyn, er mwyn gwybod pa beth oedd ei fwriad; a phan y cyfarfu âg ef, gofynodd iddo, beth oedd ei feddwl wrth ymddwyn fel y gwnaeth? Bleddyn, yn waedwyllt a llidiog, ac wedi llwyddo yn ei amcan i ddechreu ymrafael â Dewi, gan edrych arno fel y fagddu, a atebodd, "Nas ymostyngai efe i roddi cyfrif o'i ymddygiad i grwydryn o'i fath ef—ei fod ef islaw ei ddiystyrwch; ond," eb efe, gan droi at Dewi â'i lygaid yn melltenu, a'i ffroenau yn lledu, "os oes eisieu ateb i'ch gofyniad, *hwn* a gaiff ei roddi," gan ysgipio ar yr un pryd ei gleddyf o'i wain, a gwneuthur awgrym i drywanu ei elyn drwy ei galon; ond neidiodd Dewi ab Llyr yn ei ol lathen neu ddwy, dadweiniodd ei gleddyf ei hun, a safodd ar ei amddiffynfa. Ac oni buasai ei fod yn wisgi, ac yn gleddyfwr rhagorol, canasai yn iach i Rhonwen, a phob gwrthddrych dasarol arall y diwrnod hwnw; canys rhuthrodd Bleddyn arno yn ffyrnigwyllt a disymwth, fel dywalgi, gan geisio ei orchfygu, cyn iddo gael amser i ddiogelu ei hun; ond mewn mynydyn trodd heibio ei ergyd, a chadwodd ei lygad ar bob ymgai

ac ysgogiad o eiddo ei wrthwynebwr, yr hwn erbyn hyn oedd wedi gweithio ei hun i fynu i fath o ddwymyn angerddol, gan wthio â'i gleddyf â'i holl egni yn anwyliadwrus, yn fwy â'i fryd ar roddi terfyn ar einioes Dewi, nag i amddiffyn ei gorph ei hun. Pan ganfu Dewi ef yn dechreu gwanhau, ac yn taro yn anfedrus, gwasgodd arno â'i holl nerth, a chlwyfodd ef yn ei fraich ddeheu, fel y syrthiodd ei gleddyf dan seipio wrth ei draed. Ebe Dewi, gan, ar yr un amser, godi y cleddyf i'w law, a'i estyn tu ag at Bleddyn, "Rhag ofn i chwi ddywedyd na chawsoch chwareu têg, cymmerwch ef drachefn, a sefwch eich tir." "Na, yr ydwyf yn eich gallu; tynwch ddiwedd arnaf yn ol eich dymuniad: ni chaiff neb ddywedyd i mi gymmeryd mantais o'r fath gynnyg." "Eich haeddiant yw cael eich trywanu i farwolaeth am eich hymddygiad dirmygedig ac anwrol; cymmerwch eich bywyd, a chofiwch i ymddwyn yn llai bradwrus, ac yn fwy boneddigaidd rhagllaw." Dywedodd Dewi hyn, a thaflodd yn ddiystyrllyd gleddyf ei elyn tu ag ato: a chyn iddynt droi ymaith, wele Syr Gronwy Hael yn brysio tu ag atynt. Edrychodd arnynt yn ddigllon, a gorchymynodd arnynt yn awdurdodol roddi gwybod iddo, pa beth a achosodd y cyfarfod gelyniaethol, a dywedodd, "A ydyw hwn yn amser i rai o fewn i'r un Gaer, a than yr un Llywydd, dywallt gwaed y naill y llall, tra y mae ganddynt elyn cyffredin yn gwarchae arnynt, ac yn disgwyl pob cyfleusdra i dori trwy bob gwrthwyneb, a meddiannu y Gaer trwy ruthr? Pa lawenydd a barai eich anghydfod anamserol i'r gelynion oddi allan, pe clywent fod rhai o'r milwyr penaf yn ymrafaelio yn eu plith eu hunain! Mae yr ymddygiad presenol yn waradwyddus i'r radd eithaf." Yna, gan wynebu Dewi ab Llyr, erchodd iddo roddi hanes cywir a diduedd o'r ymryson.

(*I'w barhâu.*)

---

## "UNDEB CYMRU A LLOEGR."

*Traethawd ar* "Undeb Cymru a Lloegr, a'r Lles a Ddilynodd," *Testyn Eisteddfod Tegeingl, yr hon a gynnaliwyd yn Nhreffynnon, Awst 10,* [illegible], *dan Nawdd Boneddigion ac Offeiriaid Gwynedd.**

---

"Er colli ein lle a'n tref,
"Cadwn ein hiaith cyd a ni.",

---

Nid oes, yn holl ystod hanesyddiaeth Cymru, yr un ysbaid mwy nodedig na hwnw lle yr adroddir y dull a'r pryd y darostyngwyd ein gwlad a'n cenedl, ac y'n dygwyd dan iau a llywodraeth ein gorchfygwyr y Saeson.

Pa fanteision bynag a ddeilliodd oddiwrth ein hundeb (a'r manteision ydynt luosawg mae yn ddiammeu) etto pwy all feio ar y Cymro gwladgarawl, a duflo ei olwg yn ol, gyd âg eiddigedd, ar y dwthwn y diffoddwyd llusern ei ymffrost; a phan nas gellid mwyach gyfrif ei genedl ym mysg cenedloedd anymddibynol y byd? Pwy all feio arno os cynhyrfir ei deimladau pan y darlleno am y gwroldeb annhraethadwy, gyd â'r hwn y darfu i'r hynafiaid gynnal i fynu yr ymdrech faith ac anghyfartal er amddiffyn eu rhyddid cynhenid.

Er ein bod ni, erbyn hyn, drwy hir brofiad, wedi dyfod i ganfod y manteision a ddeilliasant o roddi terfyn ar yr ymrysonau gelynol hyn; etto ammhossibl fuasai i'n hynafiaid, heb yspryd prophwydoliaeth, allu rhagweled y byddai i ddim ond aflwydd, gwarth, a blinder annhraethadwy, ddilyn eu hymostyngiad. Ac yn wir, pan alwom i gof gyda pha yspryd trachwantus, a dibaid greulondeb, yr oedd breninoedd Lloegr yn dwyn ym mlaen y rhyfel yn erbyn y Cymry; nid oes le i ryfeddu cymmaint o herwydd y cyndynrwydd a'r dewrder a ddangosodd ein hen deidiau wrth amddiffyn eu hanymddibyniaeth. Ac er bod weithian gyhyd ysbaid o amser er pan y darostyngwyd cynfrodorion Brydain, esgusoder ni os na fedrwn, ambell dro, wrth goffa gwrolder gwladgarol ein cydwaedolion, lai na dangos arwyddion mynwes gynhyrfiol, a thywallt deigryn cydymdeimlad!

Ond nid y gwroldeb, gyd â'r hwn yr amddiffynodd y Cymry eu rhyddid a'u hiawnderau, yw yr unig atyriaeth ag sydd yn ein denu i edrych yn ol, ac i daflu golwg mor bryderus ar y pryd y darostyngwyd hwynt.

Pe buasai enwogrwydd ein cenedl yn

* Barnwyd mai y Traethawd hwn a deilyngai y Gwobr.

ymddibynu yn unig ar ei champwri milwraidd, ni fuasai ei chwymp yn destyn o gymmaint pwys; ond yr oedd dewrder y Cymry wedi ei gydblethu â rhinweddau ereill mor glodwiw fel y mae yn anhawdd peidio gresynu wrth feddwl am eu mawr adfyd, a'r blinderau, a fu yn olynol i'w hanonyddu. Yr oedd eu moesau dysyml a diaddurn, eu croesawgar haelioni, eu hoffder a'u medrusrwydd yn ngherdd dafod a thant, yn brofion anwadadwy o hynawsedd cyffredinol eu tueddiadau. Hyn, yngbyd â'u gwladgarwch a'u diniweidrwydd cynhenid, ym mysg bryniau bro eu genedigaeth, a ddylasai fod iddynt fel tŵr a tharian rhag eiddigedd ac ymgyrch pob estron elyn.

Ond mae lle i gredu, a seiliau cedyrn i gasglu, mai iddynt eu hunain, i raddau mawr, mae i'r Cymry briodoli yr achos o'u goresgyniad, ac nid yn hollol i drachwant a chreulonder eu gelynion. Mewn amseroedd pan na fyddai gelyn allanol yn cynnyg aflonyddu arnynt, a phan nad allent ganfod perygl yn eu bygwth o barth yn y byd; yn eu diofalwch aent i ymgynhenu yn eu plith eu hunain; eu tywysogion a feithrinent gynfigenau maleisus y naill tu ag at y llall; ffurfient ymbleidiau yn ol tuedd a rhifedi eu gwahanol dylwythau, ac o wir rodres a mympwy ymgynnullai y rhai hyny i faes y gwaed, a llofruddient eu gilydd wrth y miloedd, a thrwy hyny gwanychent eu hunain; ac o ganlyniad, hwy a wnaent y genedl yn fwy analluog i wrthsefyll gelynion estronol pan y deuent, gan agor y drws megys i orthrymwyr ac i alltudion gwancus, y rhai, yn awyddus, a ddefnyddient y fath gyfleusderau i'w mantais eu hunain.

Yr anghydfod cartrefol hwn a fu yn fwy o anffawd i'r Cymry na holl luaws byddinoedd eu goresgynwyr. Trwy y duedd niweidiol hon i ymranu ac ymrafaelio yn eu plith eu hunain y lleihâwyd eu grym a'u rhifedi, yr esgeulusasant amaethiad eu tir, y gollyngasant eu gwlad i droi yn anial, yr agorasant y drws i dlodi ymddylifo am eu penau, ac yr anghofiasant, i raddau mawr, bob dysg, a chelfyddyd fuddiol a gwareiddiol.

Ond i ba beth y galarwn am yr hyn ni ellir ei wellhâu? I ba beth y gofidiwn o herwydd amgylchiad a droes allan yn fuddiol i ni? I ba beth y grwgnachwn am orthrech a sefydlodd ein lles, ac am ymrafaelion a gadarnhasant i ni wastadol dangnefedd?

Dygodd rhagluniaeth ddoeth a thirion i ni gadernid o'n gwanychdod, ac iawn drefn llywodraeth o eigion terfysgiadau!

Clymwyd ni â chenedl fawreddus mewn galluawgrwydd, glodadwy mewn celfyddydau, a hynawsaidd mewn moesau. Dygwyd ni dan deyrnwialen Penadur o'n cyfathrach ein hunain, yn ngwythenau pa un y mae yn rhedeg lawn cymmaint o hur waed y Prydeiniaid ag sydd o'r eiddo ein cymmydogawl genedl y Saeson; yr hwn y mae ein lles a'n llwydd mor agos at ei galon ag ydyw yr eiddynt hwythau.

Er mwyn dangos yn eglurach y rhagorfreintiau a'r cysuron y mae y Cymry yn eu mwynhâu, yn y dyddiau hafaidd presennol, mewn cydmariaeth i'w hamgylchiadau adfydus, pan oeddynt mewn cymmaint o anhunedd yn ymdrechu am yr uchafiaeth, buddiol fyddai i ni yma daflu golwg ar helyntion ac ymrysonau ein hynafiaid.

Er bod Caerdroiau, er's llawer o oesoedd, wedi ei chladdu mewn lludw, a'i gogoniant a'i llywodraeth wedi myned yn ddiddym; er bod anrhydedd taleithiau yr *Atheniaid*, y *Spartaniaid*, y *Thebaniaid*, a llywodraethau Groegaidd ereill, yn gystal a'r *Cymry*, er ys talm wedi myned ar ddifancoll; etto nid bychan genym y difyrwch o ddarllen yr hanes, pa fodd y dechreuasant, y cynnyddasant, y blodeuasant, ac y gwywasant.

Crybwyllwyd eisoes am anffawd gwladwriaethol y Cymry, sef eu hanghydfod yn eu plith eu hunain, a'u hymrafaelion cartrefol. Y pla hwn, er ei fod mewn mesur mwy neu lai yn trallodi dynolryw o bob cenedl a gwlad yn oesoedd barbaraidd y byd; etto, fe allai, na chynnyddodd yn unlle i helaethach graddau nag ym Mrydain. Achlysur neillduol i hyny a ddigwyddodd yn amser *Rhodri Mawr*, yr hwn a ddechreuodd ei deyrnasiad yn y flwyddyn 843.

Yn flaenorol i'r dwthwn hwnw yr oedd rheolaeth *Cymru oll* yn nwylaw un Penadur. Ond Rhodri, yn gweled mor anhawdd oedd i Gymru wrthsefyll y cenhedloedd estronol oedd o bryd bwygilydd a'u hymgyrch i'w gormesu a'u gorthrechu, a dybiodd fod nerth yn gynnwysedig mewn rhifedi yn hytrach nag mewn undeb; ac oddiar y farn wyrgam hon efe a ranodd Cymru rhwng ei dri mab, *Cadell*, *Anarawd*, a *Merfyn*. I'r hynaf y rhoddes *Ddeheubarth*, i'r ail y rhoddes *Wynedd*, i'r trydydd *Powys*. Am y rhaniad anffodiog hwn y canodd y nodedig Fardd, *Dafydd Nanmor*, yn y flwyddyn 1450,

> Tri meib Rhodri mewn tremyn,——eu cîd,
> Cadell, 'Narawd, Merfyn;
> Rhanodd ef yr hyn oedd y'n
> Rhoddiad holl Gymru rhyddyn.

Er bod dyben Rhodri wrth ranu y deyrnas yn dda a llesol, gan feddwl y byddai tri Thywysog yn ddoethach nag un arall; ac yn gryfach nag un i wrthwynebu; etto gwahanol iawn i hyny fu y canlyniadau. Yn lle cyd-ddyfeisio pa fodd i drefnu darpariadau amddiffynol o fewn eu tiriau, trwy gadarphâu eu cestyll, a lluosogi a

dysgu eu milwyr i fod yn barod yn erbyn pob ymgyrch, eu dysgais hwy oedd, pa fodd i oruwch-gyrhaeddyd y naill y llall, ac i gyfyngu meddiannau eu gilydd.

Cynnen ac eiddigedd yn fuan a ddechreuodd yn eu plith, ac yn ebrwydd cynyddodd y gynfigen yn drachwant, a'r gynnen yn ymladd. Cyn pen hir wedi marw *Rhodri* ymgyrchodd ei fab Cadell o'r Deheubarth i ymosod ar berchenogaeth ei frawd *Merfyn* ym *Mhowys*, a chymmerodd feddiant o'i unrhyw. *Anarawd* yntau, rhwng yspryd ymddial ar drachwant *Cadell*, ac ofn iddo ymddwyn yn gyffelyb tu ag at ei diriogaeth yntau, a barotôdd fyddin i fyned i ymosod ar gyffiniau y Deheubarth, ac rhag na byddai ei fyddin yn ddigon mileinig a galluog i ddwyn ei amcan i ben, efe a annogodd y *Saeson* i ddyfod i'w gynnorthwyo. Hwythau, gan weled fod helyntion o'r fath yma yn debygol o droi allan yn fanteisiawl i'w hachos hwy eu hunain, a gydsyniasant âg *Anarawd* yn ebrwydd; a'u byddinoedd cyfunol a ymosodasant yn unigyrchol ar diriogaeth *Cadell*, ac a anrheithiasant holl wlad *Aberteifi* ac *Ystrad Gwy*.

Esamplau o'r fath hyn, trwy ddigwydd yn aml, a fu yn achos i ddenu gelynion i'w plith, nes darfu iddynt o'r diwedd eu gorchfygu, eu hymlid allan o'u gwlad, a gosod terfyn* i'w tir!

Dyma y fath helynt anfrawdol a fu rhwng meibion Rhodri mawr; ac amledd o anghreifftiau ereill o'r cyffelyb anghydfod a gawn ym mhlith tywysogion diweddaraoh; megys y bu rhwng *Ieuaf* ac *Iago*, meibion *Idwal Foel*, tywysogion *Gwynedd*, a meibion *Hywel Dda*, tywysogion *Deheubarth*. Weithiau rhuthrai pobl y Gogledd ar feddiannau a byddinoedd pobl y Dehau, a gwnaent ddinystr a galanas anfad o'u gwyr a'u gwlad; dro arall cyrchai tywysogion y Dehau i randiroedd y Gogledd i dalu yn ol y pwyth mewn cyffelyb ddinystr a difrod. Er bod *Iago* ac *Ieuaf* yn frodyr o'r un lwynau ymrafaelient â'u gilydd gyda mwy o gynddaredd nag a welir un amser rhwng y gelynion mwyaf estronol.

Iago, wedi blino yn cyd-lywodraethu âg Ieuaf, a osododd ddwylaw gorthrechus arno, ac a'i bwriodd i garchar parhâus. Y gorthrymder hwn ar Ieuaf a gynhyrfodd yspryd Howel ei fab drachefn i gyfiunio rhyfel yn erbyn ei ewythr Iago, ac fe lwyddodd i ryddhâu ei dad, ac i ddiorseddu ei ewythr hefyd; ac i'r dyben o sicrhâu ei hun ar yr orsedd, efe a ymaflodd yn ei ewythr Meurig, brawd hynaf ei dad, ac a dynodd ei ddau lygad, ac a'i taflodd i garchar.

Ynghanol taabeidrwydd meddwl, ac ymrysonau teuluol fel hyn, rhwng tywysogion Cymru, nid digon ganddynt frwydro y naill â'r llall, ond i wneud eu hagwedd yn fwy annaturiol fyth, pan y tybiai rhyw blaid ei hun yn rhy wan, myned a wnai yn ebrwydd i geisio cymhorth estron genedl, sef y *Saeson* a'r *Daniaid*. Iago, wedi cael ei ddiorseddu, a wahoddodd *Edgar*, Brenin Lloegr, i ennill ei awdurdod yn ol. Hwn â'i fyddin a anrheithiodd y wlad. Dro arall *Cwstenyn Ddu* a gyflogodd fyddin o *Ddaniaid* i'w gynnorthwyo i ennill y goron; ond fe a laddwyd yn yr ymgyrch. Gormod fyddai son am ddegau ereill o'r cyfryw ymrysonau a fu rhwng tywysogion Gwalia.

Beth sydd yn fwy gresynol ac annaturiol na gweled meibion wedi eu magu ar yr un bronau, wedi eu meithrin dan yr un gronglwyd, ac wedi chwareu ymaith eu dyddiau bachgenaidd yn gysurus gyd â'u gilydd, drachefn yn myned mor elyniaethus a chyfarfod ar faes y gwaed, gan dynu cledd, a thrywanu y naill y llall yn y modd echryslonaf? Ond Och! mae hanesyddiaeth Cymru, dros lawer o ganrifoedd meithion, wedi ei fritho âg esamplau o'r fath hyn. Mab yn diorseddu tad; tad yn diorseddu mab; brawd yn bradychu brawd; a chyfneseifiaid yn llunio bradwriaethau gwaedlyd yn erbyn eu gilydd. Dyma, yn wir, ydyw cynnwysiad y rhan fwyaf o ddalenau croniclau tywysogion Cymru.

Yn fyr, fel y sylwodd un areithiwr hyglod yn ddiweddar, "Tra byddai un llu yn gwneuthur bylchau Eryri fel *Thermopyla*, a Morfa Rhuddlan fel *Marathon*, byddai byddin arall, fel Ephraim, yn troi eu cefnau yn nydd y frwydr; tra byddai Arthur yn ymwroli, byddai Medrod yn bradychu; os gwnai Buddug arwain ei chiwdawd i'r ymgyrch, byddai Aregwedd Foeddig yn cymmysgu y gwenwyn." Fel hyn yr aberthwyd ein gwlad ar allor anghytundeb ein tywysogion.

Wrth feddwl am anffawd ac amrafaelion ein Rheolwyr mae yn anhawdd peidio gofidio o'u herwydd; ac wrth daflu golwg yn ol, ar y "dyddiau gynt, a blynyddoedd yr hen oesoedd," mae pob Cymro gwladgarol yn galaru.

"A dynoliaeth dan wylo,
"A gwedd wael yn gwaeddi O!"

*(I'w barhau.)*

---

## ATEBIAD I LYTHYR PERERIN.

DARLLENAIS lythyr *Pererin*, yn Rhifyn Chwefror, tu dal. 74, fod "yn ofynol i bob graddau o ddyn-

---

* Hyn a wnaed yn amser *Offa, Brenin Mersia*, pan adeiladodd glawdd ar draws ein gwlad, rhan o ba un sydd i'w weled hyd heddyw.

ion ymarfer â chynnildeb, a chwtogi eu traul afreidiol:" â'r hyn y cytunaf yn ddinacâd; ond ni chytunaf mewn un modd â'r rhesymau a ddwg efe i brofi, fod ymdaith ar draed yn llawer gwell nag ymdaith ar geffyl.

1. "Y mae yn fwy diogel." Dan amryw amgylchiadau y mae hyn, fe allai, yn wir. Ond bernwch, Syr, fod dyn yn Llundain, neu ryw dref fawr arall, lle mae cerbydau o bob math, yn marchogaeth ar geffyl llonydd, yn yr hwn y geill ymddiried (ei fai ei hun ydyw os defnyddia geffyl drwgnwydus) trwy yr heolydd lle mae'r mwyaf tramwy: gofynaf, a all un dyn haeru fod y gwr traed yn fwy diogel yn yr amgylchiad hwn, pan y gorfydd arno groesi yr heolydd o un man i'r llall? Etto, os bydd un yn marchogaeth anifail gwyllt direswm, ac os rhed ymaith âg ef, nid yw yn gallu yn iawn ei reoli, ac y mae mewn perygl yn ddiau; ond, mewn pa faint llai perygl y mae yr hwn sydd ar draed, ar draws yr hwn y geill y march a'i farchog ddyfod yn ei rwysg?

2. "Y mae'n fwy hyfryd." Da fyddai genyf pe gallwn ddywedyd yr un peth. Un o gant, feddyliwn, a gytunai â'r farn hon. Gadewch i mi gael ceffyl, ac nis cenfigenaf mewn un modd wrth yr hwn sy'n gorfod yn chwarian bendrwm deithio ar ei draed.——"Y mae'n llai o ludded." Yn wir! Y mae un gwr yn cael ei gludo ar ei geffyl, a'r llall yn tuthio yn galed wrth ei ochr, ac etto ar ddiwedd y daith, y mae'r olaf yn llai ei ludded!!——"Y mae'n sicr llai o flinder meddwl." A ydyw yn bossibl i un fod mewn mwy o flinder meddwl wrth deithio ar geffyl nag ar draed? Nis gallaf ddirnad y rheswm o hyn. *Credat Judæus Apella.*——"Mae'n cael mwy o hamdden i sylwi ar degwch y greadigaeth." Beth! a ydyw yr hwn sydd yn eistedd yn llonydd ar ei geffyl, ac yn gallu edrych oddeutu iddo yn ddirwystr yn cael llai o *hamdden* i sylwi ar degwch y greadigaeth, na'r gwr sy'n gorfod cerdded yn drafferthus, ac edrych tan ei draed rhag iddo dramgwyddo, neu syrthio i'r clawdd, wrth daflu ei olwg o'i amgylch ac i fynu. "*Veluti merulis intentus decidit auceps in puteam, foveamve?*"——"A phan ddelo i ben ei daith, dyna ben ar ei ofal teithiol." Nis gwn lawer am deithio. Yr wyf yn meddwl nad yw'r gofalon ond ychydig iawn yn llai pan fo un ar ei draed, na phan fyddo ar ei geffyl. Yr unig wahaniaeth yw, y dylai efe fyned i'r marchdy i weled fod ei geffyl yn cael ymborth ac ymgeledd cymmwys. Cyfaddefai pob dyn agos fod yr hyfrydwch a'r gwasanaeth a gawsai oddiwrth ei farch yn ddigon i wrthbwyso ei ofal ychwanegol.

3. "Y mae'n rhatach." Gwir: ond pe gwnai pawb fel *Pererin*, pa beth a ddeuai o'r gwerthwyr gwair, porfa, ceirch, o'r gofaint a'r marchweision? &c. Syrthiai cannoedd o honynt i dlodi anocheladwy; ac onid gwell yw eu cadw hwynt yn eu sefyllfaoedd o ddiwydrwydd, na gorfod eu cynnal hwynt pan fyddont wedi myned ar y plwyfydd? Heblaw hyn, âi'r tollbyrth i adfeiliad, a'r prif-ffyrdd yn dyllau dyfnion, fel yr oeddynt yn yr amser gynt, pan, fel y clywais un yn dywedyd, yr oedd ceffylau y teithwyr heb rawn yn eu cynffonau. Yr ateb a roent o'r achos oedd, fod y fath byllau yn y ffyrdd, fel nad oedd ddichonadwy eu tynu oddi yno ond gorfydd eu cynffonau! Hyn a ddigwyddai cyn fynyched, fel nad oedd dim i ymaflyd ynddo ond y bonyn noeth!!

Mae *Pererin* yn sôn am "golli amser wrth ymbarotoi." Os ymostyngai i fod yn farchwas ei hun, sicr yw, fod grym yn ei reswm: ond nid oes ar un sail arall. "Ac oblegid anwastadrwydd y ffyrdd."

Triga *P*. yn ddiddadl rhwng mynyddau gwylltion, onidê ni ddefnyddiai y rheswm hwn. "Heblaw," medd efe, "y pethau a ddywedwyd o'r blaen, fe welir eu bod yn dirym yr wrthddadl hon; canys pa faint mwy rhagorol ydyw dyn na cheffyl?" Dyma ganlyniad heb ei fath! Mae y rhesymeg hon yn perthyn i'r un rhyw a'r ganlynol:— "Pan syrthio 'r wybren, ni a ddaliwn adar y tô."

Ar ol y cwbl, mi a ddymunwn i *Pererin* gofio, nad wyf am wrthwynebu cynnildeb rhesymol, nac i un gyfranu yn ol ei allu ym mysg y tlodion, ac at achos crefydd; ond yr unig beth a barodd i mi sylwi ar ei lythyr oedd, fy mod yn credu, cyn belled ag y gallaf fi ddeall, ei fod ef weithiau yn gosod i lawr fel egwyddorion y rhai nid ydynt felly; a phryd arall, yn tynu canlyniadau gau oddiwrth egwyddorion gwirioneddol.——Ydwyf yr eiddoch, &c.

Φιλανθρωπος.

---

## YR AMDDIFAD.

Pa le cà plentyn tristyd dwys
  Orphwysfa dawel gref?
Ti, Tad yr holl amddifad hil,
  Tosturia wrth fy llef.

Pa gâr sydd im' ar ddae'r neu 'r nef
  I bwyso ond tydi?
Bu farw 'm tad, bu farw 'm mam,
  Fy Nuw, O cofia fi!

Cyflawna 'th fwyn addewid wiw,
  Par fyn'd o'm trallod ma's;
Can's ynot ti 'r amddifad gaiff
  Drugaredd, hedd, a gras.

Ni feddaf ddirgel fryd na phoen
  Nad hysbys iddo ef;
Ti, Tad yr holl amddifad hil,
  Tosturia wrth fy llef.

Llais peraidd a chwynfanus iawn a ganai y llinellau uchod: ni allwn ar y cyntaf ganfod o ba le, ac oddiwrth bwy, y deuthai y sŵn. Ar brydnawn hyfryd ym mis Medi, pan oedd y lleuad yn gwỳnu mynydd, yn ariannu dwr, digwyddais godio i bentref tra dieithr i mi, ac aethum, yn ol fy arfer, i ymweled â'r Eglwys, yr hon a safai ar fryn cyfagos i'r anneddau, gan obeithio y cawn fwynhau yr hyfrydwch o fyfyrio ar ben fy hun ym mysg y beddau. Braidd y cyrhaeddais y porth gyferbyn â drws yr Eglwys, pan y clywais rywun, nad oeddwn yn ei weled, yn canu yn fwynaidd y geiriau uchod. Rhag aflonyddu y caniedydd, sefais yn llonydd i wrando. Y mynydyn hwnw, daeth geneth dlawd, oddeutu pymtheg neu un ar bymtheg oed, o'r tu cefn i'r Eglwys, a dychwelodd yn ebrwydd, heb ganfod neb yn ei gwylied, nac yn gwrando arni. Ni allwn lai nag ymofidio, rhag i mi, trwy ddynesu ati, ei dychrynu, neu o leiaf gyffroi teimladau yr eneth drallodus, yr hon a ymddangosai fel pe goddiweddid hi gan dristwch calon.

Pan oeddwn yn agor y porth yn araf, canodd y ddwy linell olaf drachefn—

"Ti, Tad yr holl amddifad hil,
  Tosturia wrth fy llef."

Yn ebrwydd clywodd sŵn y porth yn cau, wedi i mi fyned trwyddo, a daeth ym mlaen, wedi cyffroi ychydig, a dywedodd, "Pwy sydd yna?" Atebais, "Un a all deimlo dros yr amddifad, a thosturio wrth ei llef. Nac ofnwch; ond mynegwch i mi, ai cymmwys i chwi yw y geiriau a fuoch yn eu canu? A ymddifadwyd chwi, trwy ragluniaeth Duw, o'ch rhïeni?" Gyda dagrau ar ei gruddiau, dywedodd, "Yn wir, Syr, collais hwynt ill dau, a gadawyd fi heb gyfaill yn y byd."

"Ond hyderaf," ebe finnau, "nad heb gyfaill yn y nef."

"Yr wyf yn gobeithio nad è, Syr," ebe 'r eneth; "eithr mae fy nghalon yn drom iawn. Nid oes ond ychydig o ddyddiau er pan ddodwyd fy mam yn y bedd acw gerllaw fy nhad, yr hwn a fu farw y flwyddyn ddiweddaf."

"Pa beth sydd yn eich dwyn yma heno?" ebe fi.

"Yr wyf yn dyfod yma, Syr, cyn amled ag y gallaf yn y prydnawn, wedi gorphen fy ngorchwylion am y dydd, i edrych ar y beddau hyn, ac i feddwl am fy nhad a fy mam. Y rhai goreu oeddynt a gafodd un plentyn tlawd erioed: a'm cysur penaf y pryd hyn ydyw dyfod yma ar fy mhen fy hun, a meddwl am eu serch a'u tiriondeb tu ag ataf pan oeddynt yn y byd." Dagrau a'u lluddiai rhag myned ym mlaen.

"Ym mha le y dysgasoch chwi yr hymn a glywais i genych?" "Un yw hi, Syr, a wnaeth Gweinidog y Plwyf i ryw blentyn yn yr Ysgol Sul a gollasai ei thad a'i mam ychydig flynyddoedd yn ol; galwodd hi 'Hymn yr Amddifad,' ac weithiau byddem yn ei chanu yn yr Eglwys ac yn yr Ysgol. Ni wyddwn y pryd hyny pa mor fuan y deuai fy nhro innau i deimlo yr un golled, a'i chanu drosof fy hun. Ond yr Arglwydd a'i gwnaeth, a dymunwn ymostwng i'w ewyllys ef."

"A ddarfu eich rhïeni eich dwyn i fynu yn ofn Duw, ac yn ngwybodaeth ei efengyl fendigedig?"

"O do, Syr, eu holl ddymuniad a'u llafur oedd gwneuthur hyny. Yr oeddynt hwy eu hunain yn ofni ac yn caru Duw? a darfu iddynt fy hyfforddi innau hyd eithaf eu gallu."

"Oddiwrth yr hyn yr ydych yn ddweud gobeithiaf na fu eu haddysgiadau yn ofer. Yr ydych yn medru darllen, ac yn gwybod gwerth gair Duw."

"Gobeithio fy mod i, Syr, dysgais oddi wrtho mor dda y bu Iesu Grist wrth bechaduriaid. Er fy mod mor dylawd ac mor amddifad, ni ymadawn â'r gobaith a rydd gair Duw i mi am yr holl fyd. Dywedodd fy mam wrthyf" —— (yna ni allai fyned ym mlaen gan wylo) "dywedodd fy mam wrthyf ychydig cyn ei marwolaeth, nad oedd ganddi ddim i adael i mi ond ei bendith, y Bibl, a'r gweddïau a ddyrchafodd drosof er fy ngenedigaeth." Ond dywedodd, "dyna ddigon, os gwel Duw yn dda eu derbyn. Yn wir, Syr, ni wyddoch y fath fam dda a gollais. Ac yn awr yr wyf yn gorfod byw gyda chymmydogion, y rhai ydynt yn fryntion iawn wrthyf, ac yn gwneuthur i mi weithio mwy nag a allaf er ennill fy mara. Nid oes genyf yn awr, Syr, na thad na mam i ofalu am danaf, ac i deimlo drosof, ac i'm hyfforddi yn llwybrau Duw. Yr ydwyf yn ieuangc ac yn anghyfarwydd, ac y mae arnaf ofn, heb ryw gyfaill i'm cyfarwyddo, gwympo i ryw gyfeiliornadau a maglau, yr hyn a allai ei ofal tyner ei rwystro."

"Bydded hyn yn gysur i chwi," ebe finnau, "Pan fo dy dad a'th fam yn dy adael, yr Arglwydd a'th dderbyn:" canys y mae Duw yn gynnorthwywr i'r amddifad, ac wedi rhoddi addewid gref i'r rhïeni duwiol y gallent adael eu plant amddifad, ac y gofalai efe am danynt."

"Dyna eiriau olaf fy mam," ebe 'r eneth, gan edrych yn sobr i fynu.

"Onid ydych yn credu," ebe finnau, "mai yn Nuw y caiff yr amddifad drugaredd?"

"Ydwyf, Syr," atebai 'r eneth; "ac yr ydwyf yn meddwl na wrthoda efe mo honof. Gwn o'r goreu mai pechadur ydwyf, ac felly yn haeddu dim ond ei ddig; eithr trwy ei ras, gallaf gredu ei air. Er mor ddiymgeledd a phechadures yr wyf yn teimlo fy hun, dymunwn daflu fy maich arno ef, gan wybod y gall efe fy nghynnal."

"Ai dymuniad eich calon yw bod yn ddilynwr y rhïeni da hyny ag ydynt trwy ffydd yn etifeddu yr addewidion, ac yn gorphwys gyda Duw?"

"Syr," ebe 'r eneth gyd â'r sobrwydd mwyaf, "i fyw fel y buont

hwy fyw, a marw fel y buont hwy farw, yw y dymuniad penaf sydd genyf yn y byd."

Wedi cael mawr foddhad gan y nodau cryf o'i duwioldeb a'i serch mabaidd, gofynais iddi, "Pa beth oedd ei bwriad ynghylch ei bywioliaeth:" Dywedodd, "mai ei dymuniad oedd myned i wasanaethu i deulu crefyddol, os arweiniai daioni Duw hi i'r cyfryw sefyllfa."

Hoffais yr eneth yn fawr am ddatgan ei meddyliau mor syml, a thybiais mai llaw rhagluniaeth a'm tywysodd i gyfarfod â hi, fel y gallwn wneuthur lles iddi. Cynnygiais iddi sefyllfa yn fy nheulu fy hun i ofalu am fy mhlant, gan ystyried mai'r plentyn a fu mor ufudd i'w rhieni oedd y cydymaith goreu a allwn ddewis i'm rhai bach. Addewais y dangoswn iddi y caredigrwydd a'r amddiffyniad ag yr oedd ei hamgylchiadau a'i hymarweddiad yn gofyn. Diolchodd i mi yn y modd gweddusaf, a chyfeiriodd fi at Weinidog y Plwyf, os ewyllysiwn ymofyn rhyw beth yn rhagor mewn perthynas iddi. Yn lle dychwelyd adref, llettyais y noson hòno yn lluesty bach y Llan, a bore dranoeth derbyniais hanes boddhaol am yr eneth. Mae amrai flynyddoedd yn awr er pan y daeth gyntaf i'm teulu, a'i hymddygiad fel morwyn sydd yn ffyddlon, caredig, a diolchgar. Caniateais iddi fyned ddwy waith yn y flwyddyn i'w bro enedigol i ymweled â beddau ei rhieni, a thybiaf iddo gael effaith cryf ar ei thymher a'i hymarweddiad. Anrhydeddodd hwynt pan yn y byd, ac wedi iddynt farw, parcha eu coffadwriaeth. Y mae egwyddorion gwir grefydd wedi gwreiddio yn ddwfn yn ei chalon, ac y mae hi yn dyst o allu a gras Crist. Amlwg yw mai arno ef yr ymorphwys ei holl obaith—gobaith a ymddengys yn ei hymddygiad gostyngedig, gwylaidd, a diolchgar. Mynych yr adgofiaf fynwent y Llan, a mynych y llawenychaf wrth ystyried fod yr amddifad wedi cael Tad a dosturia wrth ei gofidiau.

D. Trywerryn.

---

## Y LLAFURWR A'I FEIBION.

*(Allan o Chwedlau Æsop.)*

Rhyw hen lafurwr, cyn marw, a chwennychai annog ei feibion i ddiwydrwydd a llafur; ac wedi eu galw hwynt ato, a'u cysuro ychydig, dywedodd wrthynt, "Wele fi, blant, yn myned ymaith; eithr am danoch chwi, ni bydd achos fod arnoch eisiau: os chwiliwch yn ddiwyd, chwi a gewch drysor sydd yr awrhon dan gudd yn y maes a'r maes." Hwythau, gan dybied fod yno ryw olud mawr cuddiedig, wedi marw yr hen wr, a balent y maes i gyd yn ofalus iawn; ac er na chawsant y trysor yn wir, y tir wedi cael y fath driniad a ddygodd y cynhauaf nesaf gnwd anghyffredin.—Yr ystyr yw, mai trysor i ddynion ydyw llafur.

B. D.

---

## GOFYNIAD.

Mr. Gwyliedydd—Tra'r oeddwn un Sabboth yn ddiweddar yn gwrando pregeth, digwyddodd i'r pregethwr son am yr offer cerdd a ddefnyddid gynt dan yr hen oruchwyliaeth; a haerai nad oes angenrhaid am un math offer cerdd yn addoliad yr Arglwydd dan oruchwyliaeth yr efengyl. Ond gan na ddaeth âg un prawf ysgrythyrol ar hyn, nid ymfoddlonais nes danfon atoch i erfyn ar un o'ch hoywbarch ohebwyr gwybodus yn yr ysgrythyr broli y peth hwn, yn gadarnhaol, neu ynte i'r gwrthwyneb.—Ydwyf, yr eiddoch yn ddiffuant,

Gofynydd.

# BARDDONIAETH.

---

## AWDL COFFADWRIAETH

*Am y diweddar Barch.* DAVID RICHARDS, *Llansilin, yr hwn a hunodd Rhagfyr* 4, 1836.

TESTUN EISTEDDFOD LLANSILIN.*

OCH alar! daear a dodd——ein blaenor,
A blin yw'r ymadrodd!
I'w gail bu Fugail o'i fodd;
Ein hynod Fardd a hunodd!

Mae dagrau ddafnau 'n ddefni,——a hiraeth,
O herwydd ei golli;
Galarnad o gul oerni,
Am wr o frawd mawr ei fri.

Yr hynod Hen Ddihenydd——i elwi,
Fe alwodd am DAFYDD;
Trwy angau saeth, ing y sydd,
Trywanwyd twr awenydd.

Uhwn am newydd anian——gan Farnwr,
Fe fernir y cyfan;
Dynolryw yn fyw i'r fan
Trwy Iddew oll a ddaw allan.

Ardderchog enwog iawn oedd
Ein Penadur pan ydoedd;
A dawn Ustus, dyn astud,
O b'le daw bath blodeu'r byd?
Dyna gâr dan ei goron,
Caniad o rad yr IOR:
O'i 'w'llys da, pena' pwynt,
Yn ddiboen lluniai ddeuhwynt.
Ei ddoniau fel gleiniau glwys
Aroglent yn yr Eglwys,
Fel myrr pur er cysur cant,
Yn ddityr hwy addefant.
Arogliad ei gariad 'n g'oedd,
Sydd delyn i'r addoloedd.
Gwr addfwyn i gwyn y gwan,
A'i agwedd brawd i egwan.
Haulsydd cain main a môr,
Fel eryr yn ei oror;
Craff olygon gwiwlon gadd,
Gwnae sylwi ar ddyn iselradd;
Am gariad pwy gywirach
I ranau byw yr enaid bach.
A'i enw dan sylw 'r saint,
I ninnau mae fel enaint;
Cofiwn enw un cyfiawn,
Pura' ei ddysg peraidd ddawn;
Mydrwr wyth ran ymadrodd,
A dawn o ras, dyna rodd.
Planhigion yn Sion sydd,
Dyfodd trwy weddi DAFYDD;
A'i gleddyf llym grym y grog,
Ei bregeth grawn-swp brigog.
Ei darian oedd ffydd dirion,
Molwr iach a milwr ION:
Un iawn ei ddawn yn ei ddydd,
A brawdol iawn i Brydydd.
A anwyd neu a enir,
Wr o'i well am air o wir?
Yn wr âg udgorn arian,
Dad i lu er dod i'r làn,
O gulni trueni trwch,
Cadarn y d'wedai codwch.
Gweinidog tra enwog oedd,
Pa nifer sydd yn y nefoedd,
Trwy ei lafur cysur cânt,
Yn oleu yno eiliant?
Sylwch mor fawr oedd SILIN,
P'le daeth oedd fwy doethaidd fin,
Fardd anwyl gan Feirdd enwog,
Tywynai 'r glain tan ei glog.
I'n ddefaid di baid y bydd
Defod wylo am DAFYDD.
Amynedd a hedd o hyd,
Mewn trem odla trwm adfyd,
I'w deulu yn fwyngu fo,
Ceraint a phawb a'i caro;
O cawn ION byw cyn ein bedd,
Duw a ddaw a da ddiwedd.

T. K.

* *Yr Awdl uchod a farnwyd yn fuddugol.*

---

## ENGLYNION

*Coffadwriaeth Alarus am y Parch.* R. B. CLOUGH, *Periglor Corwen, yr hwn a ymadawodd â'r fuchedd hon Gorphenaf* 14, 1830, *Testun Eisteddfod y Ddwyryd, Tachwedd 5ed.*

---

"O flaen drygfyd y cymmerir y cyfiawn ymaith."
YSGRYTHYR.

---

TRISTWCH gwelwch o'n gwaelod—beunydd,
Yn boenau diddarfod;
Mawr wyla amryw aelod,
Marw un Glyw* mawr iawn ei glod. * *Llywydd.*

Marw ROBER BUTLER sydd yn bod—un CLOUGH,
I'n cloffi rhaid gwybod;
Gwr dawnus gair diannod,
O gywir naws a gwr nod.† † *urddasol.*

Periglor Eglwys Corwen,
Hygara' llais a gwr llên;
Gwr o hyd a garai hwyl,
Di wg, anwyl, di gynnen.

Duwinydd purffydd perffaith—y'ngolen
Efengylaidd araith;
Addysg rasol, duwiol daith,
Fu fwriad ei fyfyrwaith.

Urddaswyd ef ar ddwy-sir—yn Ynad,
Un union a chywir;
Ni fynodd a fai anwir,
Un di gam, onid y gwir.

Boneddig diddig heb dawl,—a moddus,
Am heddwch gwastadawl;
Tangnefedd gwiredd oedd gwawl,
Ei ran addas rinweddawl.

Gwr a thad a gwerth ydoedd—i'w deulu,
Hyd aelwyd a chelloedd;
Mae 'n oer iawn y man yr oedd,
A'i loriau i laweroedd.

Gweinidogion gan y dygiad—yn gaeth,
A gweithwyr un brofiad;
Gwelai oernych galarnad,
Troai 'r llef tros yr holl wlad.

Gwr pwyllog enwog einioes,—o'i golli,
Ein gwallwyd ni eisoes;
Gwr addfwyn a gwareiddfoes,
Heb lid i'w ran blodau 'r oes.

Cymmydog heb un cam ydoedd,—hollol
I wella niferoedd;
A throedio da weithredoedd,
Y man yr âi, mwynwr oedd.

I dlodion dynion dinam,
Rhoddi 'luseni di siom,
Ymddiffyd ga'i rad i'w rym,
A chu ddillada y llwm.

Dyn ydoedd di newidiad,
Cywir lef yn caru 'i wlad,
Di ŵg anian digynnwr,
Llênog ŵr llawn o gariad.

*Ifor* oedd ef o'i rwyddaur,—a dirûs,
Haelionus felymaur,
I feirddion, dynion di aur,
Fe roddodd ef ei ruddaur.

Iaith Gomer a arferodd,—gwir addysg
Ei gwreiddiau a dreiddiodd;
Iaith ei wlad, on'd mád y modd?
A'i chwai olwg a chwiliodd.

Y farddrin ei rhin a'i rhanau—cywrain,
Carodd ei dueth fydrau;
Parai adlais pér odlau,
I Dduw 'n glod am ei ddawn glau.

Ffarwel yn dawel, gwnawn dewi,—ffarwel
Offeryn daioni;
Rhyw ddyn oedd rhy dda i ni,
Da coeliwn, i'r Duw Celi.

P. Llwyd.

---

## LLONG-DDRYLLIAD.

Rhyw foreu 'n Mehefin llong a gychwynai,
I fyned i daith ar hyd wyneb y dòn;
Yr Huan o'i hôl a euraidd belydrai,
A hafaidd awelon a'i chwythynt yn llon.

I'r golwg yr oedd fel castell tra gorwych
Yn rhwygo brig tònau trychionawg y môr;
A phawb oedd ynddi a'u bwriad a'u gwithddrych,
Am gyrchu i'w cartref rhyw gyfoeth yn 'stôr.

Fel hyn yn ei blaen yn harddwych yr hwyliai,
Gan wneuthur ei llwybr yn wyn yn y lli';
A'r gwynt wrth chwythu o'i deutu chwibianai,
A'r dyfroedd o tani yn trydar gan si.

Argoelion o lwydd hyd hyn a'i dilynai,
Ond galar a thristwch a lechai y'nghudd;
Ni wyddai neb mai i'w herbyn y troai;
Ow, fel dynesai at derfyn y dydd!

Daeth mentyll y nos, a'r Haul a fachludodd,
A duon gymmylau a döynt y nen;
A'r lleuad a'r sêr o'r golwg ymguddiodd,
A chynnwrf awyrawl a glywid uwch ben.

Yn lle awelon fel gafwyd y boreu,
Croes wyntoedd echryslawn a chwythynt bob tu;
A'r môr fel crochan berwedig ymchwyddai,
A'r nos a'i hamgylchai yn dywell a du.

Hefyd mellt cochion a rwygynt y gwyllwch,
A'r dymhestl gynnyddai 'n fwy erchyll ei dull;
A phawb a ddaliwyd gan ofid a thristwch,
Nes iddynt ymdd'rysu y'nghanol y gwyll.

Disgynodd y gwlaw yn fawrion genllifoedd,
Yn debyg i'r dylif a foddodd y byd;
Ac hefyd i lawr daeth cesair o'r nefoedd,
Fel gynt ar yr Aiphtiaid o achos eu gwŷd.

Y llong yn y dwfr fel meddwyn ymdreiglai,
A chwythid hi yn ol gan egni y gwynt;
A'r tònau fel mynydd ar fynydd ymruthrai,
Fel meirch i'r ymladdfa yn dyfod ar hynt.

Yr hwyliau a holltwyd megys gardysau,
A'r llyw gyd â'r angor a gollwyd i'r môr;
A phawb a ddaliwyd yn rhwym gan fawr ofnau,
A rhai a weddient am gymmorth eu Pôr.

Fe daflwyd i'r môr y mawrion hwylbrenau,
A phawb oedd mewn gofid ac arswyd yn syn;
A llawer gan faint eu tristwch a'u hofnau,
A ymresymasant yn debyg i hyn:

"O! ein hen frodir â'i gwyneb hyfrydol,
"A'n teulu hardd tirion ni welwn eu gwedd;
"Rhaid i ni ymadael â'r bywyd presennol,
"Ac yma 'n y dyfnder rhuadwy cawn fedd!

"Ow! Ow! na achubid rhyw un o honom,
"I ddweud am y dynged ddigwyddodd i ni;
"Ein bod wedi trengu y'nghanol y storom,
"A'n claddu 'n y dyfroedd trochionawg a'r lli'."

Angau a dychryn ym mlaen a ddynesai,
A phob peth a'i gyrai at ddinystr yn nes;
A sŵn y gwynt oedd, a thrwst y taranau,
Fel bryniau yn rhedeg ar hyd balmant o bres.

A phan oedd y wawr o'r dwyrain yn dyfod,
Y llong a ymredai yn chwilfriw ar graig;
O! mi ddych'mygaf y gwelaf eu trallod,
Pawb oedd yn ymchwalu i waelod yr aig.

A darnau o'r llong yr eigion a frithwyd,
A llawer o'r morwyr oedd wrthynt y'nglŷn;
Ond pawb yn erbyn y creigiau a gurwyd,
Och! fel na ddiangodd o honynt ond un.

Hwn, wrth ymdreiglo ar wyneb y dyfroedd,
A daflwyd gan donau grymusol i dir;
Hefyd pan làniodd, mewn llewyg yr ydoedd,
A'i gorph yn archollion briwedig yn wir.

Yna daeth lladron o'r wlad a'r gym'dogaeth,
Yn lluoedd afrifed hyd wyneb y traeth,
Gan gludo pob nwyfau a gaffent, ysywaeth,
O! ddynion dideimlad, ni welwyd eu gwaeth.

Ond Swyddwyr y Brenin yno a ddaethant,
A'r lladron a ffoisant yn gyflym ar hynt;
Fel llwynog i'w loches pawb a redasant,
Rhag ofn cael eu cosbi fel cafodd rhai gynt.

A'r lladron oeddynt yn dechreu dirmygu
Y morwr gresynol a ddenodd i'r lan;
Yr oeddynt hwy hefyd wedi bwriadu
Ei ladd ef, pan ddeuodd y Swyddwyr i'r fàn.

Hwy yno a achubasant ei fywyd,
A chanddynt ymgeledd a gafodd yn gu;
Efe oedd yr unig un a achubwyd
O'r tònau i adrodd yr helynt a fu.

G. ab Gwilym Padarn.

---

## Y CRWYDREDIG.

Mor aml edrychais ar wawriad y boreu,
Gan feddwl fod boreu fy einioes mor gu;
Heb feddwl fod Haul oedd yn deg pan gyfodai,
Yn aml fachludo mewn cwmwl trwm du.

Fel hyn Haul fy einioes 'n ol t'wynu ychydig
Orchuddiwyd â thymhestl o adfyd a chroes;
Yn nechreu fy oes fy nyddiau sy annedwydd,
Yn nechreu fy einioes 'r wyf beunydd dan loes.

Fe allai daw etto ryw haul i wasgaru
Y niwl o drallodion o'm hamgylch i sydd;
Fe allai daw etto fy ngheraint i 'ngharu,
Fe allai caf ddychwel i'm cartref ryw ddydd.

Mi fum ar yr eigion mewn 'stormydd cynddeiriog,
Fy enaid yn toddi gan flinder a fu;
I'm curo yn awr y mae 'storm fwy dymhestlog,
Fy enaid a dodda dan flinder mwy du.

O! hydded i'r llaw Hollalluog sy'n gweithio
Anwastad fran edau fy anwadal oes,
Wastadhâu y rhan sydd yn ol imi etto,
A gwella fy muchedd, ysgafnu fy nghroes.

Alltud.

---

## ARWYDDION HENAINT.

Pan elo'r gwyneb-pryd yn grych gan brudd-wywiant,
A'r babell yn edrych yn wanllyd ei gwedd,
A'r llygaid fu'n llon yn ymwelwi gan henaint,
Nid ydynt ond rhybydd nad pell ydyw 'r bedd.

Gwenffrwd.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## TRAMOR.

### ITALY.

RHODDWYD terfyn ar yr adchwyl yn y wlad hon, a sefydlwyd yr hen drefn o lywodraethu; ac y mae 'r gwyr ag oedd i'amddiffyn Ancona wedi cilio ymaith, yr un modd a'u brodyr yn y parthau mwyaf gogleddol o'r wlad.

### PORTUGAL.

FFLANGELLWYD amryw Ffrangcod yn ddiweddar trwy orchymyn Don Miguel; ac ymwelodd y Gweinidog de Bairro yn Lisbon â thŷ marsiandwr o Loegr, o'r enw Roberts, mewn modd anfoneddigaidd iawn. Dywedir bod y *Consul* Brytanaidd wedi ymofyn ynghylch y sarhad, ac iddo dderbyn ateb lled trahaus. Y mae i bob peth dynol ei lawn llanw, ac y mae lle i obeithio fod Don Miguel yn prysuro yn gyflym at y terfyn hwnw tu hwnt i'r hwn ni chaniatêir iddo fyned.——Dywedir fod ymddangosiad llynges Ffrengaidd yn yr afon Tagus yn debyg o ddyfod â'r angheníil hwn i'w bwyll. Gofynai llywodraeth Ffraingc yn ddinacâd ar iddo ryddhau holl ddeiliaid Ffraingc a garcharwyd ganddo, ac hefyd diswyddo y Barnwyr hyny a'u dedfrydasant hwy, a chyhoeddi yn y *Lisbon Gazette* fod eu carchariad yn anghyfiawn. Yn chwanegol at hyn gorchymynir iddo dalu 500,000 o *francs* megys iawn am y sarhad. Cydweithredodd y *Consul* Brytanaidd â'r *Consul* Ffrengaidd, a chafodd orchymyn i'w gefnogi yn ei holl ofyniadau.

### YR ISELDIROEDD.

DYWEDIR fod coron Belgium wedi cael ei chynnyg o'r diwedd naill ai i Dywysog o Bavâria neu Saxony. Y mae'r Belgiaid etto wedi gormesu ar derfynau y *Dutch;* ond nid ymddengys fod dim arwyddion o ryfel o bwys yn canlyn. Ewyllys y *Dutch* yw gochelyd rhyfel.

### FFRAINGC.

Y MAE Brenin Ffraingc wedi gohirio y Senedd, ac ar yr achlysur traddododd araeth synhwyrol a heddychol. Mae ymddygiad gwrol ei swyddogion wedi rhoddi terfyn am ryw ennyd ar y terfysgiadau a ammharchent y Brif-ddinas, ac amryw o'r trefydd yn y taleithiau. Tybir fod pleidwyr y teulu alltudiedig yn lleihau beunydd, ac nid oes y gobaith lleiaf yr adferir y teulu hwnw i'r orsedd.--Ymdrechodd y Tywysog Polignac ddiangc o'i garchar, ond ei amcan a ddatguddiwyd, ac o ganlyniad carcherir ef yn awr yn dra chyfyng.

### BUDDUGOLIAETH Y PWYLIAID AR Y RWSSIAID!

BU y Pwyliaid yn dra llwyddiannus! Dywed Newyddiaduron Hamburgh, fod y Cadflaenor Skrzynicki wedi disgyn yn ddiarwybod ar fyddin y Rwssiaid dan eu Cadflaenor Geismar ar nos yr 31 o Fawrth, a dinystrio agos y cwbl o'i flaen-osgordd, yn cynnwys oddeutu 10,000 o wyr, gan gymmeryd 4,000 yn garcharorion, ac 16 o fagnelau. Gan ddilyn ei ymgyrch llwyddiannus, ymosododd yn nesaf ar fyddin y Cadflaenor Rosen, fel y gorfu arno gilio yn ol, gan adael 2,000 yn garcharorion, a 9 o fagnelau, yn nwylaw y Pwyliaid!

### BUDDUGOLIAETH ARALL!

DERBYNIWYD Newyddiaduron o Brussels, dyddiedig y 19eg o Ebrill, yn cynnwys newyddion o'r pwys mwyaf. Dywedir fod gwr boneddig ag sydd newydd ddyfod yno o Ffrankffort yn sicrhau yr hanes am fuddugoliaeth drwyadl arall a ennillwyd gan y Pwyliaid ar y Rwssiaid. Yr hanesion o Ffraingc a fynega i'r frwydr olaf hon gymmeryd lle ar y 6ed o Ebrill, yn agos i Zelichow, ar y Skladow, yr hon sydd gangen o'r afon Weipra, lle yr oedd y Rwssiaid yn amcanu crynhoi eu byddinoedd. Dywedir i'r Cadflaenor Diebitsch gael ei gymmeryd yn garcharor, a bod ei fyddin ddewisol wedi cael ei gwasgaru neu ei difetha. Ni roddir aifer y lladdedigion yn y frwydr hon, ond dywedir fod 15,000 o garcharorion, a bod 48 o fagnelau wedi syrthio i ddwylaw y Pwyliaid.

Y mae dewrder y Pwyliaid wedi cyffroi trigolion rhan o daleithiau hen wlad y Pwyliaid i uno â hwynt yn eu hymdrechiadau i ennill annymddibyniaeth eu gwlad. Mae Lithuania, Volhynia, Podolia, &c. wedi dyfod y'mlaen gar gwydd holl Ewrop, a bron dan fagnelau y Rwssiaid, i gefnogi y Pwyliaid. Mae y cynnwrf hwn o fwy o bwys nag a ddirnada y Rwssiaid. Dydd ar ol dydd a ddyga ryw newyddion chwanegol o fuddugoliaethau y Pwyliaid dewrion ar eu gelynion creulon.

Dywed llythyrau o Alexandria o'r 22ain o Hydref, fod deiliaid Ffraingc, y rhai ydynt yn Cairo, mewn perygl am eu bywyd, o achos ymddygiad dialgar milwyr y Pacha tu ag atynt. Cafodd tri o Ffrangcod eu llofruddio yn heolydd y ddinas hono.

## YR IWERDDON.

Drwg genym fynegi fod llawer o barthau o'r wlad anffodus hon mewn cyflwr tra therfysglyd, yn enwedig Swydd Clare. Nid oes diwrnod yn myned heibio heb i ryw alanasdra gael ei gyflawni. Y mae y trigolion yn ymgyrchu yn finteioedd lluosog, ac yn rhwystro yr amaethwyr rhag trin eu tyddynod—y Protestaniaid cyn waethed a'r Pabyddion. Nid oes ammheuaeth nad achosir y terfysgiadau hyn gan dlodi a chyfyngder. Mae ugeiniau o deuluoedd wedi eu troi allan o'u hanneddau, heb gyfleusdra i ennill eu bara, y rhai wedi eu cynddeiriogi a ruthrant ar eiddo eu cymmydogion heddychol. Er parch i'r Offeiriaid Pabaidd, rhaid mynegi iddynt ymegnïo hyd eithaf eu gallu i berswadio eu gwrandawyr i beidio cyduno â'r dynion terfysglyd; ond y cwbl yn ofer. Bygythiwyd hwynt y rhuthrent ar eu heiddo, os na byddent yn llonydd. Y mae y llywodraeth yn bwriadu gyru ym mlaen lawer o weithfaoedd newydd mewn amryw barthau, yr hyn a lwydda mewn gradd mawr i adferu llonyddwch a dedwyddwch i'r rhan yma o'r deyrnas gyfunol.

Mewn parthau ereill o'r wlad mae newyn trwm yn gorthrymu y trigolion anneddwydd. Y flwyddyn ddiweddaf bu cnwd y cloron yn ddiffygiol, ac yn awr y bobl a ddioddefant o achos y diffyg hwn. Y mae miloedd o Wyddelod yn ddyledus am eu cynnaliaeth i haelioni pobl Lloegr. Anfonwyd yno werth o wyth i ddeng mil o Bunnau o gloron o Dulyn, a lleoedd ereill, am y rhai y maent oll yn dra diolchgar.

Y mae Ardalydd Môn, Rhaglaw yr Iwerddon, wedi teithio trwy rai swyddau i'r diben o gael gwybodaeth gywir o ansawdd y wlad. Dangoswyd iddo barch mawr y'mhob man gan wreng a boneddig. Tybia ei Arglwyddiaeth y rhoddid terfyn ar yr holl derfysgiadau yn ddioed ped ymddygai perchenogwyr tiroedd tu ag at eu tenantiaid fel y dylent. Tybiant hefyd fod treth y tlodion, a threth ar y sawl a dreuliant eu hamser a'u heiddo allan o'r wlad, yn dra angenrheidiol; a diammeu y cynghorai efe Swyddogion y Brenin i gynnyg y cyfryw gyfreithiau yn y Senedd. Ofnwn y bydd i ddiddymiad y Senedd achosi llawer o gynnwrf yn yr Iwerddon, yr hwn a fyddai yn dda ei rwystro pe na byddai amgylchiadau yn galw am y fath benderfyniad ar ran ei Fawrhydi.

---

## LLOEGR.

### Y SENEDD.—Ty y Cyffredin.

Ail gyfarfu y Senedd Ddydd Mawrth, Ebrill 12fed. Yr Arglwydd J. Russell a ddatganai fwriad y Gweinidogion i wneud rhai cyfnewidiadau yn yr Ysgrif i Ddiwygio y Senedd o barth difreinio rhai Bwrdeisdrefi. Os dymuniad y Senedd fyddai i'r nifer presennol barhâu heb ei leihâu, na wrthwynebai efe mo hono.

Tommy Shops.—Mr. *Littleton* a gynnygiai fod yr Ysgrif er cymhell pawb i dalu i'w gweithwyr mewn arian i gael ei ail ystyried gan Eisteddfod o Ddirprwywyr; yr hyn a ganiatâwyd.

Mr. *W. Whitmore* a dybiai fod y drefn o dalu i'r gweithwyr â nwyddau o fasnachdai yn gorthrymu y tlodion yn ddirfawr; am hyny cefnogai ysgrif ei gyfaill Mr. Littleton. Dan y drefn hon âi y gweithiwr i ddyled perchenog gweithydd a gadwai fasnachdŷ, ac ni allai ymadael oddi wrtho ef.

Mr. *Hume* a wrthwynebai yr Ysgrif; ond yr oedd 40 o blaid, a 15 yn erbyn yr Ysgrif.

Arglwydd *Nugent* a ofynai gennad i ddwyn Ysgrif i mewn er diddymu llwon a gymmerir gan *Excisemen*, &c. Mewn un flwyddyn gweinyddwyd 101,500 o lwon yn y *Customs*, a 194,612 yn yr *Excise*. Caniatâwyd.

Caeth-wasanaeth y Negroiaid.—Dydd Gwener, Ebrill 13, Mr. *F. Buxton* a ddygodd ei gynnygiad er diddymu Caethiwed y bobl dduon yn yr India Orllewinawl. Gwnaeth araith hyawdl er datgan trueni a chyfyngder y caeth-weision.

*Canghellydd y Trysorlys* a gydsyniai â llawer o haeriadau Mr. Buxton, ond ofnai ei fod yn myned yn rhy bell. Cynnygiodd benderfyniadau mwy cymmedrol nag eiddo Mr. B.

Syr. *R. Peel* a areithiodd yn erbyn cynnygiadau y ddau foneddig uchod. Gohiriwyd y ddadl dan Ebrill y 26ain.

Dydd Llun, Ebrill 18fed, Mr. *Hume* a ddywedai iddo dderbyn nifeiri o lythyrau yn achwyn yn erbyn cam ddarluniadau Mr. Hunt o deimladau y werinos o barth y Diwygiad Seneddol.

Arglwydd *Stanley* a Mr. *Littleton* a ddygai swrn o achwyniadau yn erbyn Mr. Hunt, am wneud araith yn Manchester a lleoedd ereill, yn tueddu i gynhyrfu y bobl i derfysg a gwrthryfel. Mr. Hunt a ymdrechodd amddiffyn ei hun, ond amlwg oedd i bawb mai euog ydoedd.

Diwygiad yn y Senedd.—Arglwydd *John Russell* a adroddai y cyfnewidiadau yn yr Ysgrif er Diwygio y Senedd. Rhy faith fyddai adrodd y cwbl. Ei Arglwyddiaeth, mewn araith hyawdl, a ail adroddai ei resymau dros yr Ysgrif.

Mr. *Gascoyne*, Cynnrychiolydd dros Lynlleifiad, a wrthwynebai yr Ysgrif, gan haeru y tueddai at adchwyl yn y wlad. Terfynodd araith yn fwy nodedig am ei brinder o resymau na dim arall, drwy gynnyg mai barn y Tŷ hwn yw na ddylid lleihâu nifer Cynnrychiolwyr Lloegr.

Mr. *Sadler* a gefnogai gynnygiad Mr. Gascoyne.

*Canghellydd y Trysorlys* a atebodd wrthebiadau y ddau areithydd uchod, a haerai nad oedd tuedd yn yr Ysgrif i achosi adchwyl. Os oedd y dynion a feddiannent y fraint o dan y drefn newydd yn gefnogwyr adchwyl, nyni a gawn adchwyl heb yr Ysgrif hon. Os anfoddlon oedd y nifer fwyaf o drigolion y wlad hon i'w sefydliadau, anfoddlon a fyddant er pob cyfraith; ond barnai mai mwy boddlon y gwnai yr Ysgrif hon hwynt.

Dydd Mawrth. Mr. *Campbell* a wrthwynebai gynnygiad Mr. Gascoyne mewn araith faith.

Mr. *G. Wilbraham* a gefnogai y cynnygiad i leihâu nifer y Seneddwyr; oblegid tybiai y dygid materion y deyrnas ym mlaen yn well. Haerai fod rhai o fasnachwyr y trefydd mawrion mor gymmwys i gyflawni dyledswyddau Seneddwr a neb oedd yn y Tŷ. Efallai y byddai gwahaniaeth mewn un peth, y byddent yn gwybod rhywbeth am y dynion a'r masnach a gynnrychiolent.

Mr. *Hawkins*, yr hwn a feddianna Fwrdeisdref, a areithiodd o blaid Diwygiad Seneddol yn dra hyawdl.

Mr. *Stanley* a wrthwynebai gynnygiad Mr. Gascoyne, ac a gyhuddodd Mr. C. Wynn o ymddwyn yn dra dichellgar o barthed yr Ysgrif hon, ac a roddodd iddo gerydd tra llym.

Wedi i lawer areithio o blaid ac yn erbyn yr Ysgrif, Arglwydd John Russell a atebai holl wrthebiadau gelynion Diwygiad. Wedi hyn ymranodd y Senedd.

| | |
|---|---|
| O blaid cynnygiad Mr. Gascoyne .. | 299 |
| Yn ei erbyn ........................ | 291 |
| Mwy yn erbyn y Gweinidogion .. | 8 |

Enwau Seneddwyr Cymru, y rhai a bleidiasant Ysgrif y Diwygiad, a'r rhai a'i gwrthwynebasant.

*Pleidwyr yr Ysgrif.*

Biddulph, R. M. Dinbych.
Bulkeley, Syr R. B. W. Beaumaris.
Lloyd, Syr E. P. Fflint
Phillips, Syr R. B. Hwlffordd.
Powell, W. E. Sir Aberteifi.
Pryse, P. Aberteifi.
Stuart, Arglwydd P. J. H. C. Caerdydd.
Talbot, C. R. Sir Forganwg.
Uxbridge, Iarll, Sir Fon.

*Gwrthwynebwyr yr Ysgrif.*

Clive, H. Trefaldwyn.
Gore, W. O. Caernarfon.
Jones, J. Caerfyrddin.
Lewis, J. F. Sir Faesyfed.
Morgan, Syr C. Sir Fynwy.
Owen, Syr J. Sir Benfro.
Owen, H. O. Penfro.
Somerset, Arglwydd G. C. H. Sir Fynwy.
Trevor, G. R. Sir Gaerfyrddin.
Wood, T. Sir Frycheiniog.
Wynne, C. W. G. Sir Gaernarfon.
Wynn, Syr W. W. Sir Ddinbych.
Wynn, C. W. W. Sir Drefaldwyn.
Vaughan, Syr R. W. Sir Feirion.

---

**Diddymiad y Senedd.**

Wedi i Swyddogion y Brenin gael eu gorchfygu yn Nhŷ y Cyffredin nos Fawrth, aethant yn unfryd at ei Fawrhydi i gynnyg rhoddi eu swyddau i fynu, gan haeru nad allent ddwyn y'mlaen achosion y deyrnas fel y dymunent. Yr oedd ei Fawrhydi i farnu pa un ai dewis swyddogion ereill a wnai, neu ynte gohirio y senedd bresennol. Nid hir y bu ei Fawrhydi cyn penderfynu gohirio y Senedd; ac ar ddydd Gwener, Ebrill 22, aeth ei Fawrhydi i Dŷ yr Arglwyddi, lle yr oedd y Pendefigion ag oeddynt yn wyddfodol mewn terfysg a chynnwrf nid bychan. Eisteddodd ei Fawrhydi ar yr orsedd, ac wedi ymgrymu i'r gwyddfodolion, adroddodd yr araeth ganlynol:

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,—

"Deuais i'ch cyfarfod heddyw i'r diben o ohirio y Senedd hon, gyda golwg ar ei diddymiad dioed.

"Cymmellwyd fi i ddilyn y llwybr hwn er mwyn cael gwybod syniadau fy mhobl yn fwy cywir o barth y buddioldeb o wneuthur y cyfryw gyfnewidiadau yn y cynnrychiolaeth ag a ofynir gan amgylchiadau, a'r rhai, wedi eu sefydlu ar egwyddorion y ffurf-lywodraeth, a dueddant ar unwaith i gynnal iawnderau a breintiau cyfiawn y goron, a rhoddi sicrwydd i ryddid y bobl."

"Boneddigion Ty y Cyffredin,—

"Diolchwyf i chwi am y darpariad a wnaethoch er cynnaliaeth anrhydedd ac urdd y goron, a chynnygiaf i chwi fy niolchiadau arbenig am y parotoadau a drefnasoch er cysur fy Nghywely. Rhaid i mi hefyd ddatgan fy niolch am y cyflenwadau a wnaethoch at wasanaeth y wladwriaeth. Canfyddais gyda boddlondeb eich ymdrechiadau i beri i'r cynnildeb mwyaf gael ei ddefnyddio yn holl gangenau traul y wladwriaeth; a hyderwyf y bydd i'r Senedd newydd, yr hon a archaf gael ei gwysio yn ddioed, droi ei sylw pennodol at yr achos pwysfawr hwnw.

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,—

"Dywenydd genyf eich hysbysu mai y cyweithasrwydd a ffyna rhyngof fi a'r Cadeirnion Tramor yw y gwystlon goreu o barhâd yr heddwch, er cynnal yr hwn yr arferir fy holl ymegniadau pryderus a dibaid.

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,—

"Wrth benderfynu cyrchu at syniadau fy mhobl yn amgylchiadau presennol y deyrnas, tueddwyd fi yn unig gan bryderusrwydd tadol dros foddlonrwydd a dedwyddwch fy neiliaid, i hyrwyddo yr hyn ymddiriedaf yn hyderus ar eich cynnorthwy parhâus a brwdfrydig."

Yna yr Arglwydd Ganghellwr, trwy orchymyn ei Fawrhydi, a ddywedodd,—

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,—

"Ewyllys a dymuniad ei Fawrhydi ydyw, fod i'r Senedd hon gael ei gohirio hyd ddydd Mawrth, y 10fed o Fai, y pryd hyny i gael ei chynnal yn y lle hwn, ac o ganlyniad gohirir y Senedd hon hyd y 10 o Fai."

Pan ddychwelodd ei Fawrhydi o'r Senedd, dilynwyd ef gan filoedd o'i ddeiliaid ffyddlawn, y rhai a ddangosasant y parch mwyaf i'w Fawrhydi.

## CYMRU.

### SESSIWNAU GWYNEDD.

Swydd Drefaldwyn.—Dydd Sadwrn, Mawrth 5ed, arweiniwyd y Prif Ynad, Syr N. C. Tyndal, i'r Trallwng, gan y Prif Swyddwr, R. M. Bonner Maurice, Ysw. a lluaws mawr o foneddigion ereill, y rhai a giniawasant ynghyd yn y prydnawn. Boreu dranoeth aeth ei Arglwyddiaeth, y Prif Ynad, i'r Eglwys, lle y traddodwyd Pregeth addas i'r achlysur gan y Parch. Mr. Bonner, Caplan y Prif Swyddwr. Dydd Llun agorwyd y Llŷs; a'i Arglwyddiaeth, wrth gyfarch yr Uchel-reithwyr, a ddywedodd, nad allai lai na chydlawenhâu â'r Dywysogaeth ynghylch y cyfnewidiad yn y modd o weinyddu cyfiawnder; rhaid mai manteisiol ydyw symud pob amrywiaeth mewn cyfreithiau ym mysg trigolion yr un deyrnas, a deiliaid yr un llywodraeth; fel hyn yr attelir gwallau a chyfeiliornadau yn ngweinyddiad barn, a chaiff y Cymry y fraint o appelio at y Barawyr yn Llŷs *Westminster*. Dywenydd mawr oedd ganddo weled fod cyn lleied o droseddau wedi eu cyflawni yn y Swydd hon; gellid priodoli hyn, mewn rhan, i wasgariad ei thrigolion, ac mewn rhan i'r addysgiadau a dderbynia y tlodion mewn moesoldeb a chrefydd. Ni sylwai ond ar un o'r achosion a ddygid o'u blaen hwynt; sef achos y pedwar dyn a gyhuddid o ymgynnull yn derfysglyd wedi darlleniad y *Riot Act*. Trosedd yw hwn a haedda farwolaeth. Ond mewn achos mor bwysfawr, rhaid i'r Uchel Reithwyr deimlo yn sicr o euogrwydd y carcharorion, ac hefyd ddeongli y weithred yn gywir; gallant wysio tystion, a'u holi a oedd yno ymgynnulliad terfysglyd; pa un a orchymynwyd iddynt fod yn ddistaw cyn darlleniad y *Riot Act*; ac wedi iddi gael ei darllen, a arosodd y carcharorion ynghyd am yspaid un awr.

Mr. *T. Cowdall*, mab i uchelwr cyfrifol yn Aberrhiw, a gyhuddwyd o ladrata cadach sidan oddiar John Watkins, Gwneuthurwr gwlaneni, yn y Drefnewydd.

*John Watkins* a dystiolaethodd iddo fyned, ar yr 31ain o Orphenaf, 1829, gyd â'r carcharor i'w letty yn Llandrindod Hall. Wrth ymadael, yn ystod dau ddiwrnod, dywedais wrth y carcharor fy mod wedi colli fy nghadach; yntau a gymmerodd arno fod yn ddig, ac a ddywedodd y chwiliai am dano, ac yr hysbysai i mi pan y deuai i'r Drefnewydd; ond ni ddywedodd air wrthyf am dano. Meddyliais fod y cadach ganddo. Yn mis Chwefror *diweddaf* gwelais y cadach yn llaw y carcharor yn yr *Elephant*, yn y Drefnewydd, lle yr oeddwn yn llettya. Yr oedd y carcharor yn feddw. Yr oedd yn rhoi y cadach o gwmpas ei wddf; eithr pan welodd fy nghael i, rhoddodd ef yn ei logell, ac arosodd yno trwy y nos. Dranoeth gwelais ddernyn o'r cadach yn hongian o logell hugan y carcharor; cymmerais a theflais ef i'r Tafarnwr, yr hwn a'i dangosodd i'w ferch. Ni soniais am dano y pryd hyny wrth y carcharor; ond ym mhen dau neu dri diwrnod, anfonodd am danaf, a gofynodd i mi a gymmerais i ei gadach. Haerodd iddo ei brynu yn Llundain, a rhoddi 10s. 6ch. am dano. Rhoddais i gini £5 ar y bwrdd, a chynnygiais ymwystlo âg ef nad allai efe ddim profi hyny. Gwelais y cadach am wddf ei frawd oddeutu chwech wythnos cyn hyny. Dywedais wrtho am fy nghymmeryd o flaen Ynad, i edrych pa un o honom ein dau oedd yn ei le. Galwodd am ei hugan, ac a aeth ymaith. Pymthegnos wedi hyny aethom o flaen Ynad. *A groesholwyd gan Mr. Corbett.* Adnabum y carcharor am amser maith. Mae ei deulu yn gyfrifol iawn. Yr wyf braidd yn tybied i mi yfed *tea* gyd â'r carcharor a'i chwaer cyn iddo ofyn i mi gysgu gyd ag ef. Ni ddywedais erioed wrth Mr. Wood fod y carcharor wedi lladrata fy nghrys; nac wrth Mr. Powell, nac wrth was Mr. Brandstroms. Ni achwynais wrth Mr. Smith, yn Llandrindod, i mi golli y cadach. Clywais y cymmydogion yn dweud ei fod yn bwriadu fy nghospi am athrodiaeth. Ym mhen chwech wythnos yr aethum o flaen Ynad, am iddo fygwth fy nghospi.——Mr. *Miles*, o'r Elephant, a gadarnhai dystiolaeth Watkins ynghylch cymmeryd y cadach allan o logell hugan y carcharor. Y mae yr olaf yn barchus iawn, ac yn cael nodweddiad da gan bawb.——*Miss Roberts*, llysferch Mr. Miles, a gofiai iddi hemio y cadach i Watkins cyn iddo fyned i Landrindod, yn 1829.——*Sarah Jones* a adnabyddai y cadach am fod ei hemiad yn anghyffredin.——*Evan Watkins*, gwerthydd sidanau, brawd i John Watkins, a dystiai iddo brynu, yn Rhagfyr, 1828, chwech o gadachau gan Mr. Foster o Lundain; fy mrawd a brynodd un gennyf, a rhoddais un arall iddo, a chedwais un i mi fy hunan. Yr oedd eu maintioli hwynt yn fwy na chyffredin.

Ar ran y carcharor, galwyd y tystion canlynol:—*Miss Cowdall*, chwaer i'r carcharor, a dystiai ei bod hi yn edrych ar ol dillad ei brawd, ac iddi hi fyned gyd âg ef i Landrindod, yn 1829. Yr oedd ganddo un cadach cyffelyb i'r hwn a gymmerodd John Watkins oddi arno, yr hwn a gymmerodd gyd âg ef i Landrindod.——*Mary Morgan*, hen forwyn i Mr. Cowdall, a dystiai i'r carcharor a'i dad ddyfod â chadach cyffelyb i hwn wedi iddynt fod ar daith. Gwelodd ef yn fynych, am mai hi a arferai ei olchi.——*Ann Jones*, morwyn arall, a gadarnhai dystiolaeth M. Morgan.——*James Cowdall* a welodd i gadach cyffelyb gan ei frawd cyn iddo fyned i Landrindod. Gwisgasai efe y cadach yn ffair y Drefnewydd, yn Rhagfyr diweddaf. Gwelodd ef yn fynych am wddf ei frawd.——Wedi i dystion ereill dyngu fod Watkins wedi dweud fod y carcharor yn euog o ddwyn ei grys, ei hosanau, a'i gadach, a dynion parchus roddi nodweddiad da i'r carcharor, dywedodd y Prif Ynad ei fod yn anfoddlon i attal y prawf fyned ym mlaen, o herwydd fod enw da y llange yn ymddibynu ar ei derfyniad. Yr oedd blwyddyn a hanner wedi myned heibio er pan gollwyd y cadach yn Llandrindod, cyn i Watkins ddyfod â'r cyhuddiad ym mlaen; yr oedd hyn yn dra nodedig: oblegid dyledswydd pob dyn yw dyfod a'i achos ym mlaen yn ebrwydd; o herwydd niweidir nodweddiad y cyhuddedig tra y bydd mewn carchar; gellir colli y tystion, neu dichon iddynt anghofio rhai o'r amgylchiadau. Tystiolaeth y fenyw a hemiodd y cadach sydd yn gref iawn. Ond os oedd gan y carcharor gadach cyffelyb i eiddo Watkins, ac iddo ei gymmeryd mewn camgymmeriad, nid oedd yn euog o ladrad. Ni chelwyd erioed mo'r cadach; gadawodd iddo hongian allan o'i logell ym mhreswylfa Watkins. Wedi gwneud rhai sylwadau ar dystiolaethau y pleidiau, gadawodd yr achos i'r Rheithwyr y rhai yn ebrwydd a farnasant y carcharor yn *Ddieuog*. Wedi hyn rhyddhâwyd ef.

Terfysgwyr y Drefnewydd.—*Dafydd Rowland, Jos. Evans, John Francis*, a *Wm. Hodell*, a gyhuddwyd o ymgynnull yn derfysglyd ar y 30ain o Ragfyr diweddaf, ac am nacâu gwasgaru wedi darllen y *Riot Act*. Y carcharorion a gydnabyddasant eu bod yn *Euog*. Mr. Jervis a Mr. Temple, ar ran J. Francis a'r lleill, a ddywedasant fod y carcharorion yn cyfaddef iddynt ymddwyn yn anaddas, iddynt gael eu hannog gan ereill, a'u bod hwy mewn diod. Ymddygiad yr Ynadon oedd yn addas ac yn unol â'i dyledswydd; os tybiai ereill yn groes i hyn yr oeddynt yn cyfeiliorni. Ni ellir goddef i ddynion gymmeryd y gyfraith i'w dwylaw eu hunain, nac ychwaith i anufuddhau i'r awdurdodau cyfreithlawn.——Y *Cyfreithiwr Cyffredin*, ar ran y cyhudd-

wyr, a ddywedai, na ofynai efe am gospedigaeth drom, wedi i'r carcharorion ymddwyn mor bwyllog. Haeddai yr Ynadon barch am eu hymddygiad ar yr achlysur hwn, a hyderai y gwelai y carcharorion na theimlai yr Ynadon amgen na theimladau serchogaidd tu ag atynt.——*Edward Jones*, gwas i W. Pugh, Ysw. a roddodd nodweddiad rhagorol i John Francis; a'r Parch. G. A. Evors a ganmolai ymddygiad da y lleill.——Y Barnydd a ddyfarnodd dri mis o garchar i John Francis, ac un mis i bob un o'r lleill; ac iddynt ymrwymo am £50 i gynnal yr heddwch am ddair blynedd.

*John Hebbolt* a gafwyd yn *euog* o ladrata gwenith o eiddo John a David Rogers o'r Gungrog Isaf, 12 mis o garchar.

*Charles Wilson* a gafwyd yn *euog* o ladrata darn o liain o fasnachdŷ David Jones, Llanidloes, ar y 24ain o Ionawr. Y carcharor a gerddodd yn ddigywilydd i'r masnachdŷ, a chymmerodd y lliain ymaith dan ei fraich; pan agorwyd y drws, y gloch a seiniodd, ar hyn daeth mab Mr. Jones allan, a chanfyddodd y carcharor yn myned allan. Rhedodd ar ei ol, a dallodd ef, ond nid cyn iddo daflu y lliain i lyn dwfr. Ymddengys, oddiwrth gyffes a wnaeth y carcharor ger bron yr Ynadon, ei fod ef, ac un arall, wedi teithio drwy amryw o drefydd, ac yn byw ar haelioni; ac wedi iddynt gyrhaedd Llanidloes, cytunasant, mewn ffordd o ddiolchgarwch am garedigrwydd preswylwyr y dref hon, ladrata y peth cyntaf a allent, a rhanu yr yspail.—*Ei alltudio am saith mlynedd.*

*Samuel Davies* a gafwyd yn *euog* o ladrata ceirch a phŷs o eiddo Mr. Jones, Brynderwen.—*Deuddeng mis o garchar.*

*John Jenkins*, alias John Jones, am dori tŷ Jane Williams, o Lanllugan, a lladrata dillad o werth 3s. 6ch. Yr hen wraig druan oedd wedi myned i gardota; ar ei dychweliad adref, gwelodd fod rhyw un wedi tori i'r tŷ, a lladrata yr oll o'i heiddo. Cafwyd hwynt ym meddiant y carcharor.—*Dedfryd marwolaeth a gyhoeddwyd.*

*Evan Rees* a gafwyd yn *euog* o ladrata dwy iar o Fronfelin.—*Saith mlynedd o alltudiaeth.*

SWYDD FEIRION.—Dydd Iau, Mawrth 10fed, aeth y Prif Swyddog, Hugh Lloyd, Ysw. o Gefnbodig, ynghyd â nifer luosog o foneddigion i gyfarfod y Prif Farnydd, ac arweiniasant ef i dref y Bala: aethant yn uniongyrchol i'r Llysdŷ. Trannoeth aeth y Prif Farnydd i'r Eglwys, lle y traddodwyd Pregeth dra addas ar yr achlysur gan y Parch. J. Lloyd, Caplan y Prif Swyddog. Wedi dyfod o'r Eglwys aeth i'r Llys, a chyfarchodd yr Uchel Reithwyr, gan gydlawenhâu â hwy o barth y tawelwch ag oedd yn rheoli yn gyffredin trwy y Sir. Yr oedd ei Araith yn lled debyg i'r un a draddodwyd ganddo yn y Trallwng. Nid oedd yr un carcharor i gael ei brofi; a dim ond un achos distadl i'w drin. Terfynwyd y cwbl mewn oddeutu tair awr o amser.

SWYDD GAERNARFON.—Dydd Llun, Mawrth 14, cyrhaeddodd y Prif Farnydd, Syr N. C. Tyndal, y dref uchod, ac wedi myned i'r Eglwys, aeth i'r Llŷs, gyd â'r Prif Swyddog Rice Thomas, Ysw. o Goed Helen. Wedi gweinyddu y llwon i'r Uchel Reithwyr, cyfarchwyd hwynt gan ei Arglwyddiaeth:—"Teimlai lawer o hyfrydwch wrth ganfod cyn lleied o garcharorion yn y gofrestr. Nid oedd yn rhaid iddo wneuthur dim sylwadau ar droseddau y carcharorion, er mwyn cyfarwyddo Uchel Reithwyr mor ddeallus. Er hyny pe byddai rhyw beth yn ddyrys neu yn ammheus, dywedydd fyddai ganddo eu cynnorthwyo hwynt i symud y diffyg. Rhaid oedd iddo ddweud yn awr, fel y dywedasai mewn lleoedd ereill ar ei gylchdaith, fod anamlder troseddau yn y Dywysogaeth yn anrhydeddus iawn i foesoldeb y werinos, yr hyn a ellir ei briodoli i'r gofal mawr a gymmerir i'w diwallu â moddion gwybodaeth, ac i'r caredigrwydd a ddangosir tu ag atynt gan eu huwch-raddolion. Hwn yw y tro cyntaf y cyfarfyddodd y Llŷs er pan wnaethpwyd y cyfnewidiad yn ngweinyddiad barn yn Nghymru. Tybiai y Senedd mai manteisiol fyddai y cyfnewidiad, a hyderai efe mai felly y digwyddai. Yr oedd rhai manteision a darddent yn ddiddadl oddiar y drefn newydd. Lleihâd amser y Sesiwnau, yr hyn a ostynga draul pleidiau, tystion, a rheithwyr. Mantais arall a ddeilliai i'r cyffredin, diwygiad cyfeiliornadau Rheithwyr a Barnwyr (oblegid mae barnwyr, fel dynion ereill, yn agored i gyfeiliorni) gan y Llysoedd yn Llundain. Yr oedd y pethau yn llesol i bob gradd o ddynion, a gobeithiai yn ddiragrith y byddai y manteision yn gyfatebol i ddymuniadau y Senedd.

*Owen Jones* a gyhuddwyd o ladrata pâr o lodrau, o eiddo Griffith Jones. Ymddengys, oddiwrth dystiolaeth y cyhuddwr ac ereill, fod y carcharor wedi dwyn llodrau a phais oddiar wrych, ac wrth chwilio am danynt, cafwyd hwynt yn ei dŷ; wedi hyny cyfaddefoddd y carcharor iddo eu lladrata, ac adferodd hwynt i'r cyhuddwr. Cafwyd ef yn *Euog.—Chwe mis o garchar.*

*Sidney Jones* a gyhuddwyd o gelu genedigaeth ei phlentyn, ar yr hwn yr esgorodd yn ddirgel mewn cae, ac am ei gladdu mewn ffos, ym mis Rhagfyr diweddaf. Cafwyd hi yn *Euog.—Chwe mis o garchar.*

*John Julian* a gyhuddwyd o geisio arian ar gam, drwy roddi biliau ffugiol yn ariandŷ Williams ac ereill, yn Nghaernarfon, a derbyn £90 arnynt.——Mr. *R. M. Preece*, Ysgrifenydd yn Ariandŷ Caernarfon, a dystiodd i'r carcharor ddyfod i'r Ariandŷ, ar y 25ain o Hydref, gyda thri o lythyrau cyfnewid, un am £70, yr ail am £300, a'r trydydd am £280, oddiwrth Mr. Wright, ac ereill. Dywedodd y carcharor iddo fod gyda Mr. H. R. Williams, yr hwn a dystiai fod pob peth yn iawn, ac iddo fyned â hwynt i'r Ariandŷ. Galwai y carcharor ei hun yn fasnachydd lledr yn Mangor a Beaumaris; a haerai iddo yn ddiweddar brynu llawer o grwyn yn Newry, a'u troi hwynt i Wright a'i Gym. y rhai a anfonasant y llythyrau hyn am danynt. Dywedodd ei fod wedi priodi tenant i Mr. Williams, sef gwraig y *Carnarfon Castle*, yn Beaumaris. Derbyniais y llythyrau cyfnewid, a gofynais iddo faint o arian oedd arno eisieu, dywedodd £90, yr hyn a roddais iddo oblegid ei haeriadau. Anfonwyd y biliau i Lundain, ond gyrwyd hwynt yn ol. Ni wn ddim am Meistriaid Wright a'i Gym. *A groes-holwyd.* Dywedodd wrth y carcharor nad allai gael ychwaneg o arian nes y derbynid swm y llythyrau cyfnewid.——Mr. *William Lewis*, Barcer, yn Mangor, a adwaenai y carcharor, yr hwn a ddaeth ato fel gweithiwr yn Mai diweddaf, a derbyniai bunt yn yr wythnos o gyflog. Arosodd gyd âg ef hyd Medi. Pan ddaeth ato ef gyntaf yr oedd yn bur dlawd, a rhoddodd iddo wyth geiniog. Pan ymadawodd efe o'i wasanaeth yr ydoedd wedi cadw rhyw faint o arian o'i gyflog. Ni wyddai ei fod yn fasnachydd mewn crwyn. Aeth i Beaumaris wedi ymadael oddi wrtho ef. *A groes-holwyd.* Mynegodd y carcharor iddo ef ei hun fod mewn masnach; ond andwywyd ef drwy anonestrwydd cydfasnachydd yn Swydd Lancaster; a bod ganddo gyfeillion da yn Llundain.——Mr. *R. Williams* a brofai ardystiad y carcharor, yr hwn a ddarllenwyd. Adroddai iddo brynu gwerth £800 yn Newry, ac iddo eu troi hwynt yn y llong Eliza o Newry i Wright a'i Gym. y rhai a anfonasant y llythyrau cyfnewid i dalu am danynt; ac iddo dderbyn oddiar Sarah Ramsay £800 yn mis Medi diweddaf, yr hyn a dalodd i Wright a'i Gym.——Mr. *William Thompson*, Casglydd yr ardrethi yn Newry, a ddangosodd ei lyfrau; ond nid oedd ynddynt enw y carcharor, nac ychwaith enw y llong Eliza o Newry, yn ol adroddiad y carcharor. *A groes-holwyd.* Mae agerdd-long, a elwir *Lord Blaney*, yn hwylio rhwng *Warren Point* a Le'rpwll; eithr ni wyddai a oedd crwyn ar fwrdd hon yn Medi diweddaf.——Ar hyn darllenwyd llythyr, wedi ei ddyddio Tach. 17, 1830, oddiwrth y carcharor at Sarah Ramsay, *Waltham Abbey*, i ddweud iddo dori yma fel masnachydd mewn crwyn, ac iddo roddi ei henw hi i lawr fel un i'r hon yr oedd yn ddyledus o £800, ac i ofyn iddi am nodweddiad megys dyn cyfrifol, ac i ddymuno arni, os gofynai neb iddi, i ddweud iddi ddanfon yr arian i Wright a'i Gym. ond nid i ddangos y llythyr; yn dymuno hefyd cael ateb yn ol y ffurf a anfonasai efe, yn datgan cynnygiadau ei brawd a hithau i'w ga-

northwyo, am eu bod yn gwybod ei egwyddorion.——*** *Jesop* sydd yn adnabod Sarah Ramsay, yr hon a roddodd iddi lythyr y carcharor. Y mae hi yn bur dlawd, ac yn byw mewn bwthyn gyd â'i brawd. Adgofiai y carcharor yn gweithio fel barcer yn *Waltham Abbey* oddeutu 20 mlynedd yn ol.——Mr. *H. R. Williams* a gofiai y carcharor yn ymofyn am *lease* ar y tafarndŷ yn Beaumaris, a elwir *Carnarfon Castle*, am ei fod ar fedr priodi y tenant. Dywedodd wrtho am alw drachefn; gwnaeth felly ym mhen wythnos, a dangosodd y llythyrau cyfnewid hyn. Dymunodd ar y tyst roddi gair da drosto yn yr Ariandŷ, yr hyn a naciodd; a dywedodd os cymmeradwyid y llythyrau cyfnewid gan yr Ariandŷ, y rhoddid iddo ef arian arnynt; eithr ni ddywedodd fod y llythyrau cyfnewid yn eu lle.——Mrs. *Hester Thomas*, Meistreas y *Caernarfon Castle*, sydd yn denant i Mr. Williams. Nid yw y carcharor yn ŵr iddi hi.——Mr. *R. Griffiths* a Mr. *H. Roberts*, Masnachwyr yn Mangor, a dystiasant i'r carcharor gael nwyddau ganddynt hwy, am y rhai y talodd efe â llythyrau cyfnewid, y rhai a ddychwelwyd heb eu talu.——Y carcharor a ddywedodd ryw beth er ei amddiffyn ei hun. Wedi hyn adroddodd y Barnwyr y dystiolaeth i'r Rheithwyr, y rhai a gawsant y carcharor yn *Euog*.—*Alltudiad am 7 mlynedd.*

Achosion.—*Borton* yn erbyn *Hughes* am ddyled o £8 5s. 0c*h*. am argraffu papurau i amgylchu *Epsom Salts, &c.* Rheithfarn o blaid Hughes.

*Shenton* yn erbyn *Holford* am ddyled o £103. Rheithfarn o blaid Shenton.

*Edwards* yn erbyn *Thomas* am £20 a echwynodd y cyntaf i'r olaf. Rheithfarn o blaid Edwards.

Swydd Fon.—Boreu ddydd Iau, yr 17eg o Fawrth, cyrhaeddodd y Prif Farnydd gyffiniau tref Beaumaris, lle y cyfarfu y Sirydd, O. Owen, Ysw. *Llanfugail*, a'i gyfeillion, â'i Arglwyddiaeth, a chydgordiasant ef i'r Llŷs, ac oddi yno i'r Eglwys. Wedi iddo ddychwelyd i'r Llŷs, dechreuwyd achosion y Sessiwn drwy weinyddu llwon i'r Uchel-reithwyr. Ei Arglwyddiaeth wrth eu cyfarch a ddywedodd, "Er pan ddaethum gyntaf ar y gylch-daith hon mae pob peth a ganfyddais yn tueddu i argraffu syniadau uchel ar fy meddwl o barth moesoldeb trigolion Cymru. Cynnyddwyd fy hyfrydwch pan gyrhaeddais i'r Ynys hon, a chlywed nad oedd yr un troseddwr i gael ei brofi. Am hyny gallai y Rheithwyr fyned i'w hystafell i ystyried unrhyw achos a ddygid ger eu bron; ac os bydd angen am fy nghynghor i, dywenydd genyf eich cynnorthwyo hyd eithaf fy ngallu." Terfynodd ei Arglwyddiaeth drwy sylwi ar y lles a ddeilliai i'r Dywysogaeth oddiar y drefn newydd o weinyddu cyfiawnder.

Arglwydd *Boston* yn erbyn *Bulkeley*, Ysw. yn nghylch meddiant tyddyn bach o dir, a elwir Tyddyn Iorys ap Efan, neu yr Ynys Gronant. Rheithfarn o blaid ei Arglwyddiaeth.

Swydd Ddinbych.—Prydnawn dydd Sadwrn, Mawrth 19, daeth y Prif Farnydd, Syr J. C. Tyndal, i Ruthyn, ac agorodd y Llŷs y noswaith hono. Aeth y Sirydd, Wilson Jones, Ysw. o Gelligynan, Aelodau Bwrdeisdref Rhuthyn, a Boneddion y Swydd, i gyfarfod ei Arglwyddiaeth, wedi cyd giniawa yn y Llew Gwyn. Ar yr achlysur hwn, talodd pawb am ei giniaw ei hun; y Sirydd yn cyflyaio anrheg i Feddygdŷ Dinbych â £50 yn hytrach na threulio cymmaint am giniaw. Dranoeth y boreu aeth ei Arglwyddiaeth i'r Eglwys, lle y pregethodd y Parch. Mr. Stephenson oddiar *Mat.* 7. Dydd Llun, agorwyd y Llŷs, a'r Prif Farnydd a gyfarchodd yr Uchel Reithwyr fel hyn:—"Drwg genyf fynegi fod nifer y troseddwyr yn fwy, a'r troseddau yn fwy erchyll, yn y Swydd hon nag mewn un o'r Swyddi yn y Dywysogaeth yr ymwelais â hwynt. Gwn y dylid priodoli hyn i nifer mawr y trigolion, ynghyd â'r gweithydd sydd a ddygir ym mlaen yn y Swydd hon. Ni allaf briodoli hyn i ddiffyg moesoldeb cyffredin trigolion y gyfran hon o'r wlad; oblegid yn groes i hyn y mae nid yn unig gwybodaeth, symlrwydd, ac ymarweddiad da y werinry yn ddiarhebol, ond hefyd rhaid i bawb a ymwelant â'r Dywysogaeth ganfod hyny."

*Robert Clarke* (25) a gafwyd yn euog o dori tŷ John Hanmer, o'r Frondeg Isaf, ym mhlwyf Gwrecsam, a lladrata oddi yno amrai ddilladau.—*Ei alltudio am saith mlynedd.*

*Thomas Morris*, a brofwyd yn euog o ladrata orlawr oddiar Thomas Theodore, ieu. ei gydwasanaethwr dan Mr. Edward Lockett, o Garreghofa.—*Ei alltudio am saith mlynedd.*

*John Gilham* a gyhuddwyd o ladrata march o eiddo Mr. Timothy Parsonage, o Gresford, ar y 10fed o Dachwedd diweddaf. Cymmerwyd y march allan o'r ystabl yn y nos, a gwelwyd ef ym meddiant y carcharor (yr hwn a fu yn gwasanaethu gyda Mr. Parsonage) yn nghymmydogaeth yr Amwythig, boreu dranoeth, gan Mr. O. Roberts, pan ar ei daith i ffair yn y dref hòno. Pan gyhuddodd Mr. R. y carcharor o ladrata y march, gadawodd ef ar y ffordd, a diangodd ar draws y caeau, eithr buan y daliwyd ef, a chymmerwyd ef i'r Amwythig, lle y cyfaddefodd iddo ei ladrata. Profwyd ef yn *Euog*.—*Ei alltudio dros ei oes.*

Glowyr Rhiwabon.—*Evan Evans* (41) a *Dafydd Roberts* (35) glowyr Rhiwabon, a gyhuddwyd o ymgynnull yn derfysglyd, gyd âg amrai ereill, a churo Mr. Wood, Goruchwyliwr gweithfaoedd y *British Iron Company*, yn Rhiwabon, ar y 30ain o Ragfyr diweddaf. (Gwel y Gwyliedydd am Chwefror).——*Edward Wright.* Ar yr 28 a'r 29 o fis Rhagfyr diweddaf, darfu i'r holl lowyr sydd yn gweithio dan Mr. Wood, ym mhlwyf Rhiwabon, droi allan am gyflog. Ar y 30ain galwyd cyfarfod o foneddigion yr ardal. Aethum i Riwabon, a gwelais yno dyrfa o lowyr. Aethum gyda Mr. Wood i'r Tafarndŷ; ac yn ebrwydd wedi hyny canfyddais nifer o'r glowyr yn rhuthro i'r tŷ, ac yn gwaeddi am Mr. Wood a Mr. Pickering. Gwelais rai o'r glowyr yn gafaelu yn Mr. Wood ym mharth yr *Eagles*, a dau ddyn a'i gwthiodd i'r ardd, a llawer a'u dilynasant. Mr. Wood a ddringodd dros ryw fur i ardd arall; oddi yno gwthiwyd ef gan 12 neu ragor o ddynion i'r ffordd, lle yr oedd tyrfa fawr o'r glowyr yn aros. Gwelais Mr. Wood yn ymympa, a dau neu dri o lowyr yn ei droedio tra yr oedd ar y llawr. Mr. R. Johnson a'm cynnorthwyodd i gyfodi Mr. Wood; ond taflasant fi a Mr. Wood i lawr drachefn. Cyn gynted ag y codais i fyny, canfyddais y carcharor, Evan Evans, yn gafaelu yn ngwallt Mr. Wood, ac yn ei lusgo, tra yr oedd rhai glowyr ereill yn ei gernodio ac yn ei droedio. Gafaelais yn ngholer Mr. Wood, ac ymdrechais ei gadw ar ei draed, ond curasant ef nes iddo lewygu a chwympo ar y llawr. Gwaeddais eu bod hwy wedi ei ladd; ar hyn ciliodd y dyrfa. Teimlais yn afiach, a thrais at fur; ac ym mhen ychydig, gwelais fod Mr. Wood wedi ei gludo i fwthyn Thomas Edwards. Clywais y dyrfa o amgylch y drws yn gwaeddi, "y mae bywyd ynddo etto, lladdwn ef." Gwelais y carcharor E. Evans yn ymyl y drws. *Croes-holwyd ef gan Mr. Jervis.* Ni wn a oedd glowyr Swydd Fflint yn yr Acrefair. Gwn fod y *British Iron Company* yn cadw *Tommy Shop*; ond nid oedd orfod ar neb gymmeryd y nwyddau; pe amnai am fe derbyniai ei gyflog mewn arian. Ar y 30ain cyfarfu Syr Watkin y glowyr yn yr Acrefair, a gorchymynodd i'r Ynadon gyfarfod y glowyr yn Rhiwabon dranoeth. Yr oedd Mr. Wood yno dros ei feistriaid. Ni welais neb o'r Ynadon yno; ond yr oedd yno dri neu bedwar o berchenogion gweithydd, y rhai a gytunasant i godi pris y glo. Gwelais lawddryll yn llaw Mr. Wood yn yr ardd; ond gwthiwyd ef cyn iddo dynu y llaw-ddryll allan. Anfonais John Edwards at Dafydd Williams ac Edward Griffiths i ymddiddan â hwynt ynghylch rhoddi tystiolaeth o blaid y carcharorion. Y genadwri a ddanfonais i oedd fel hyn, "Meddwl yr wyf fi mai gwell fyddai i chwi ymwneud i ffwrdd, a pheidio dyfod ym mlaen." Cadwyd y glowyr yno am rai oriau, yn aros am yr Ynadon. Gorchymynodd Syr Watkin i bump neu chwech o'r glowyr ddyfod i gyfarfod yr Ynadon; eithr daethant oll ynghyd. Yr achos paham yr anfonais ddyn at Dafydd Williams ac Edward Griffiths oedd fod rhyw un sydd yma yn awr yn eu gweled gyd â'r terfysgwyr.——*Dafydd*

*Roberts.* Yr ydwyf fi yn un o'r rhai sydd yn edrych ar ol y glowyr pan fyddont ar lawr. Yr oeddwn yn Rhiwabon ar y 30ain o Ragfyr, a gwelais y glowyr yn rhuthro i'r *Eagles.* Yr oeddynt yn bloeddio, "Gadewch i ni gael Mr. Wood allan." Mr. Allen, meistr yr *Eagles*, a ymdrechodd eu perswadio i fod yn llonydd, ond rhuthrasant heibio iddo i'r tŷ. Gwelais y dynion yn taflu Mr. Wood i lawr ar y ffordd, ac yn ei droedio; a gwelais Dafydd Roberts yn troedio pen Mr. Wood; ac hefyd clywais un o'r terfysgwyr, yr hwn oedd â chareg fawr yn ei law, yn gwaeddi ar y lleill, "Sefwch o'r ffordd, gadewch i ni ei ladd ef." Yr oedd Mr. Wood ar y llawr y pryd hyn. Pan oedd Mr. Wood ym mwthyn Thos. Edwards, clywais y glowyr yn bloeddio, "—— a doro ei galon, gadewch i ni ei ladd ef; y mae efe etto yn fyw." Yr oeddynt yn curo wrth y drws. Mr. Pickering a ymddiddanodd â'r terfysgwyr wrth y drws, a tharawsant ef hefyd i lawr. Curasant Mr. Parry; a bloeddiasant, "Dros y wâl â fo i'r afon." Rhyw un yn y dyrfa a lefodd, "Nid hwn yw y dyn," ar hyny peidiasant a'i guro. *A groes-holwyd.* Nid yw Mr. Pickering yn cadw *Tommy Shop.* Darfu i Dafydd Roberts roddi cyfraith ar y *Charter-Master* am gyflog, oddeutu pymthegnos cyn iddo gael ei ddal am y terfysg hwn.——Mr. *Cunnah.* Cyfreithiwr ydwyf fi, yn preswylio yn Rhiwabon. Gwelais Mr. Wood yn myned o'r *Eagles* ar y 30ain o Ragfyr, a chlywais y glowyr yn dweud, "Lle mae Wood? ni a'i mynwn ef." Yna rhuthrasant i'r tŷ, a chwiliasant am dano mewn dwy ystafell, canlynasant ef i'r buarth, a bygythiasant ei ladd. Gwelais law-ddryll gan Mr. Wood yn yr adeg. Wedi hyny gwelais Evan Evans yn taro Mr. Wood i lawr, a chlywais ef yn dweud, "—— a doro ei galon, ni a'i lladdwn ef." Wedi i mi godi Mr. Wood i fynu, gafaelodd Evan Evans yn ei wallt. Yr oedd Mr. Wood wedi ei faeddu gymmaint nad allai sefyll ar ei draed. Clywais lawer o'r terfysgwyr yn dweud, pan oedd Mr. Wood yn nhŷ T. Edwards, eu bod hwy yn edifarhâu yn fawr na buasent wedi ei ladd pan oedd yn eu dwylaw hwynt.——*Richard Jones.* Y diwrnod ar ol y 30ain gwelais Dafydd Roberts, a glowyr ereill. Gofynais iddynt, Pa fodd y daethont hwy ym mlaen y diwrnod o'r blaen; Atebodd Dafydd Roberts, "Yn dda iawn, darfu i ni faeddu Mr. Wood yn dost." Dywedais, "A ddarfu i *chwi* ei faeddu ef, Dafydd?" Atebodd, "Do, mi a ymdrechais ei guro ef â fy nhroed, ond nid oedd yno ddim lle."——Mr. Jervis a gyfarchodd y Rheithwyr ar ran y carcharorion, a dywedodd, "Mae yn rhaid fod y dynion wedi eu cyffroi i raddau mawr pan oeddynt oll wedi troi allan; yn enwedig pan y gorthrymwyd hwynt gan y *Tommy Shop*, ac y gorfuwyd arnynt brynu pethau o honi pa un a oeddynt yn dewis hyny ai peidio. Os gwir oedd hyn, a bod y glowyr hefyd wedi cael addewid y symudid yr achos o'u hachwyniadau, ond i'w disgwyliadau gael eu siomi drwy i ddynion mewn awdurdod esgeuluso eu cyfarfod, a gwrando ar eu hachwynion, yr oedd hyn yn ddigon i'w cynddeiriogi hwynt; ac er fod eu hymddygiad yn derfysglyd ac yn anghyfreithlawn, etto hawdd y gellir tybied y digwyddai felly dan amgylchiadau mor gyffrous. Hyderai y caffai y pethau hyn effaith ar y Rheithwyr ac ar y Barnydd hefyd wrth ystyried y gosp a haeddai y carcharorion.——Amrai o dystion a roddasant nodweddiad da i bob un o'r carcharorion.——Y Barnydd a ddywedodd, "Os oedd nifer o ddynion wedi ymgynnull ynghyd gyda bwriad heddychlon, ond wedi hyny a fuont yn euog o derfysg, nid oedd dim a allai gyflawnhâu eu hymddygiad; ac os teimlai y Rheithwyr yn sicr fod y rhai a ymgynnullasant ynghyd yn dyrfa derfysglyd, a bod y carcharorion yn eu plith, rhaid iddynt eu cyhoeddi yn euog o derfysg, ac ymosod ar Mr. Wood." Wedi rhoddi eu penau ynghyd am ychydig o fynydau, cawsant hwynt yn *Euog*, yn unig o ymosod ar Mr. Wood.—*Deuddeng mis o garchar bob un; ac wedi hyny ymrwymo am £40 bob un, a chael dau fechnïydd, £20 bob un, i gynnal yr heddwch am dair blynedd.*

*(I'w barhâu.)*

## HYSBYSIADAU LLEENYDDOL.

### *Y GEIRLYFR CYMRAEG.*

*Mr. Gwyliedydd,—Od oes ohebiaeth rhyngoch a Mr. Owen Williams o'r Waunfawr yn Arfon, Casgliedydd y Geirlyfr Cymraeg, dymunwch arno ef, er mwyn pereidd-dra iaith ei fam, er mwyn rhyw radd o barch i'w ddarllenyddion, od oes ganddo ef lawer o eiriau etto yn ol o'r un nod a delw a'r naw gair diweddaf yn ei Rifyn xiv. am iddo ef eu hero hwynt oll trwy felin* DYFFRYN SYBERWYD, *yr hon a gedwir gan ei annerchydd ar felen-len ei Rifyn xv. fel na byddont mor hynodol o'r ddealladwy gan ei dderbynwyr, pa un bynag a fyddont ai moesolion ai anfoesolion. Nid oes chwaeth gan y rhai cyntaf ar y fath addysg, ac nid rhaid i'r rhai olaf wrtho, o herwydd eu bod yn ddigon hyddysg ar eu gwers. Nid oes achos gosod Geiriadur o lwon o flaen y tyngwr, ac nid rhaid dysgu aflendid i aflan. Nid yw Mr. Walters yn ddigon gofalus yn hyn yn ei Eirlyfr Saesneg a Chymraeg; ac y mae un gair yn rhag-ymadrodd y Dysgawdwr Sion Dafydd Rhys can waethed a'r gingroen yn ffroenau ei ddarllenwyr.*

*Eich Gohebydd o* RYD ABER LOTW.

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parch. Evan Evans, Periglor Pennant, i Viceriaeth Llanarmon yn Ial, rhydd trwy farwolaeth y Parch. J. Denman. Noddwr, yr Esgob.

Y Parch. Ebenezer Williams i Berigloriaeth Llandegla, rhydd trwy farwolaeth y Parch. J. Denman. Noddwr, yr Esgob.

## MARWOLAETHAU.

Bu farw yn Llundain, dydd Sul, yr 17eg o Ebrill, yn 56 mlwydd oed, Syr T. Mostyn, Barwnig, Aelod y Senedd dros Swydd Fflint.

Anfynych y cydgyfarfu yn yr un gwr y fath luosogrwydd o amrywiaeth doniau, a rhagoriadau er addurno einioes, ac ennill parch a chymmeriad gan bob gradd o ddynion ag yn y gwr anrhydeddus uchod.

Fel Seneddwr, yr oedd Syr Thomas yn nodedig am gywirdeb ei egwyddorion, a chyssondeb ei ymddygiad, yr hyn a barai i'w etholyddion roddi ynddo yr hyder mwyaf.

Fel Meistr, yr oedd ei holl weinidogion yn ei barchu yn orfawr, a maith fydd eu galar ar ei ol.

Fel Meistr tir, parod fyddai bob amser i osod ei dyddynau am rent mor gymmedrol ag a alluogai yr amaethwyr i fyw yn gysurus, a gofalai yn fawr am eu llwyddiant.

Ar y 13eg o Ebrill, yn Nhrefriw, Swydd Gaernarfon, yn y 76 mlwydd o'i hoedran, bu farw Mrs. Elizabeth Evans, gwraig Mr. Robert Evans, diweddar o Dan y Celyn, a mam ein Gohebwr parchus Ieuan Glan Geirionydd.

# Y GWYLIEDYDD.

## MEHEFIN, 1831.

### SYLWEDD PREGETH.

HEB. xi. 1.

"Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled."

YN niwedd y bennod flaenorol yr apostol a grybwyllai yr ysgrythyr hòno o'r prophwyd Habacuc (2. 4.) "Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd." Yn y bennod hon y mae yn myned ym mlaen i egluro natur ffydd, ac i ddangos ei ffrwythau rhagorol hi yn yr hen dadau gynt.

Wrth fyfyrio ar y testyn, yr Ysbryd Glân a'n goleuo i ganfod dirgelwch a rhinwedd y ffydd hon, fel y delom trwyddi yn feddiannol ar drysorau iachawdwriaeth.

Yn y lle cyntaf ceisiaf osod allan ffydd a'i gwrthddrychau, ac wedi hyny cymhwyso hyn at eich meddyliau.

I. "Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio." Y mae y'ngair y gwirionedd addewidion mawr iawn a gwerthfawr, y rhai ydynt oll y'Nghrist yn ie ac yn amen, yn sicr o gael eu cyflawni. Yr addewidion hyn ydynt etifeddiaeth y Cristion, yr hwn sydd yn eu credu hwynt am fod Duw wedi eu llefaru. Gwaith ffydd ydyw derbyn tystiolaeth Duw am ba bethau bynnag a welo efe yn dda eu datguddio. Y mae Duw yn ei air wedi addaw maddeuant pechodau i'r enaid edifeiriol a chredinïol, *Act.* 3. 19. y mae wedi addaw y bydd i wybodaeth am dano lenwi y ddaear, megys y toa'r dyfroedd y môr, *Esa.* 11. 9. ac y mae wedi addaw gwynfyd didranc y nef i'r duwiolion, *Dat.* 7. 16, 17. Y mae y Cristion yn credu y pethau hyn ar sail yr addewid, cadarn sail Duw. Neu, ynte, gallwn ddeall y geiriau fel hyn: "Ffydd yn wir yw *sylwedd* y pethau yr ydys yn eu gobeithio." Y mae 'r credadyn trwy ffydd yn mwynhau yn y byd hwn ragbrofiad melys o'r pethau y mae yn gobeithio am danynt. O enaid, dyma nod wrth yr hwn y gelli holi dy hun. Yr wyt yn gobeithio am faddeuant pechodau: ond a wyt ti yn feddiannol ar hyny yn awr? canys y mae gan Fab y dyn awdurdod *ar y ddaear* i faddeu pechodau. Yr wyt yn gobeithio am wynfyd y nef; ond a ydyw anian y nefoedd ynot yn y byd hwn? canys rhaid i ti gael dy buro *cyn* myned i mewn yno.

II. Ffydd ydyw "sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled;" pethau anweledig i lygad o gnawd, pethau annirnadwy gan reswm dyn.

1. Creadigaeth. "Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw, yn gymmaint nad o bethau gweledig y gwnaed y pethau a welir," *adn.* 3. Er y gallasai rheswm gasglu mai Duw a wnaeth y byd, etto nid oes dim

boddlonrwydd nac eglurdeb am hyn, ond trwy ffydd yn y dwyfol ddatguddiad.

2. Rhagluniaeth. Nid yw anghrediniaeth yn gweled dim ond damwain neu natur yn llywio y byd; ond y mae ffydd yn gweled Duw hollalluog, unig ddoeth, yr hwn sydd yn gwneuthur pob peth wrth gyngor ei ewyllys ei hun, yr hwn y mae ei orseddfa yn y nefoedd, a'i frenhiniaeth yn llywodraethu ar bob peth.

3. Trwy ffydd yr ydym yn deall am ein codwm mawr, a'n trueni dwfn yn Adda, ac am ddyfodiad Iesu Grist i'r byd i gadw pechaduriaid. Y mae ffydd yn gweled aneirif ryfeddodau, ac anfeidrol ddoethineb, gras, a gallu, yn angeu y groes.

4. Y gyfraith lân, a'r efengyl fawr ei breintiau. Y mae 'r enaid a argyhoeddwyd yn gweled ei gyflwr damniol yn wyneb cyfraith Duw, nad oes modd cael bywyd trwy hon, ac y cyflawnir ei holl fygythion hi ar y rhai anedifeiriol; er hyny ei bod hi yn gyfiawn, yn sanctaidd, ac yn dda. Yna y mae y pechadur yn ymofyn am drugaredd yn yr efengyl, trwy yr hon y mae Duw yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu. *Rhuf.* 3. 26.

5. Hollbresennoldeb Duw. Y rhai annuwiol a anghofiant yr Arglwydd, ac nid oes ofn Duw ger bron eu llygaid. Ond y mae 'r credadyn trwy ffydd yn gweled Duw o amgylch ei lwybr a'i orweddfa, ac yn hysbys yn ei holl ffyrdd: "I ba le yr áf oddiwrth dy Yspryd, ac i ba le y ffoaf o'th wydd?" &c. *Salm* 139. 7,—12.

6. Byd yr ysprydoedd. Heblaw y byd gweledig yma, y mae byd arall, yr hwn ni welir etto ond trwy ffydd, lle y preswylia Cyfryngwr y Téstáment Newydd, myrddiynau o angelion, ac eneidiau y rhai a ymadawsant oddi yma. Y byd mawr hwnw sydd yn wrthddrych ein ffydd, tu ag at yr hwn yr ym ni oll yn prysuro, a lle bydd ein cartref cyn bo hir.

7. Dydd y farn a'i dragywyddol ganlyniadau. "Canys y mae 'r awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef. A hwy a ddeuant allan, y rhai a wnaethant dda i adgyfodiad bywyd, ond y rhai a wnaethant ddrwg i adgyfodiad barn." *Ioan* 5. 28, 29. "A'r rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol: ond y rhai cyfiawn i fywyd tragywyddol." *Mat.* 25. 46.

Dyma rai o'r pethau mawr ag y mae ffydd yn eu credu, er nad ydynt yn weledig. O na baem yn byw yn fwy cysson o dan deimlad dwys o'r gwirioneddau hyn! Tu ag at ein hannog i daer-geisio y ffydd werthfawr hon, diweddwn gyd â'r ddau ystyriaeth canlynol. Ystyriwn,

1. Mai "trwyddi hi y cafodd yr henuriaid air da," *adn.* 2. Pa beth oedd yn cynnal yr hen dduwiolion ar eu pererindod daearol trwy fyd o orthrymderau hyd yn nheyrnas nef? Ffydd y'Nghrist Iesu. Trwy rinwedd hon fe aeth cwmwl mawr o dystion adref i'r gogoniant. Rhedwn ninnau yr un yrfa, gan edrych ar Iesu, Pen mawr yr eglwys.

2. Mai "heb ffydd ammhossibl yw rhyngu ei fodd ef; oblegid rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef," *adn.* 6. Pa beth bynag fyddo ein cymmwysderau, y cwbl sydd ry fyr i ryngu bodd Duw, heb ffydd yn ei anwyl Fab. Rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod ef yn anfeidrol y'mhob perffeithrwydd, ac hefyd ei fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef. "Y sawl a'm carant i, a garaf finnau; a'r sawl a'm ceisiant yn foreu, a'm cânt." *Diar.* 8. 17. Ceisiwn heddwch Duw y'Nghrist

Iesu, gan fyw trwy ffydd, a marw mewn ffydd, fel y byddo yn dda arnom i dragywyddoldeb. Amen.

CYNFELYN.

---

## YMDDIDDAN

*Rhwng* GWEINIDOG *ac un o'i Blwyfolion mewn perthynas i'r Paganiaid.*

**Rhan I.**

(Parhad o du dal. 138.)

GWEINIDOG.—Dyna eu cred. Yn wir, y maent oll yn marw heb un pelydr o obaith, oni roddant oll a feddant i'r offeiriad, neu ddarostyngant eu hunain i rai o'r creulonderau hyn, neu 'r cyffelyb. Dyma yr achos y dioddefant yr hyn a ddywedais, ac y torant eu hunain, fel gorphwyllog addolwyr Baal gynt, nes ffrydio 'r gwaed am ben y ddaear. Hyn yw yr achos paham y gorweddai dynion ar y llawr, hyd yn ddiweddar, tra yr âi olwynion y cerbyd, yn yr hwn yr oedd yr eilun Juggernaut, drostynt, gan derfynu eu bywyd.

GWRANDAWR.—Onid yw yn rhyfeddod, Syr, y gall dynion berswadio eu hunain, neu ganiatâu i ereill eu perswadio, i fyned dan y fath ddioddefiadau echryslon.

GWEIN.—Coel-grefydd, fy nghyfaill, yn gweithredu ar gydwybod wedi ei chyffroi, ond heb ei hiawn oleuo, a bar i ddyn wneuthur ac i oddef pob peth, er gochelyd y dinystr a ofnir. Yr wyf agos wedi blino adrodd y fath greulonderau; ond, cyn myned ymaith, gosodaf ger eich bron rai esamplau o'r cyfryw, mor resyngar a dim ag a glywsom. Un* wedi byw yn hir yn yr India a ddywed—" Clywais un boreu fod rhyw ddynion wedi cloddio twll dwfn yn y ddaear, a'u bod yn cynneu tân ynddo. Aethum yn ddioed i'r lle, a gwelais adyn â'r gwahanglwyf arno, wedi colli grym ei aelodau, trwy ei afiechyd, yn troi ei hun drosodd a throsodd, nes o'r diwedd iddo syrthio i ganol y fflamiau. Ei alarnadau o herwydd ei boen oeddynt dra arswydus. Galwai ar ei berthynasau, ac erfyniai arnynt ei waredu o'r fflamiau; ond yn ofer! Ei chwiorydd ei hun, pan welsant ef yn codi ei law tu a'r ymyl, ac yn gwneuthur ymgais egniol i ddyfod allan, a'i taflasant yn ol drachefn, lle y trengodd yn ngolwg ei garenydd agosaf, mewn arteithiau annhraethol!" Un* a fu yn bregethwr yno dros ugain mlynedd a rydd yr hanes cyffröus canlynol:—" Gwelais ddau o'r Hindwiaid yn amgylchu eu hunain â thri o danau mawrion bob dydd, mor agos i'w cyrph nes agos eu llosgi, tra y syrthiai pelydr yn ei rym ar eu penau noethion. Arosent hyd eu gyddfau yn yr afon Ganges dros yspaid mawr o'r nos." Hyn a wnaent i sychu i fynu nôdd eu cyrph, ac i ddiddymu y cyssylltiad rhwng y cnawd a'r Yspryd, fel y parotôid hwynt i gael eu llyngcu i fynu yn Nuw, yr hwn a feddylient ei fod yn ddyfn-fôr o yspryd. Rhydd arall yr hanes alaethus canlynol am hunan-leiddiaid:—" Un ar bymtheg o langcesau, a'r un nifer o offeiriaid a aethant mewn cwch i'r fan lle y mae Jumna a'r Ganges yn uno eu ffrydiau puredigol. Yr oedd padell bridd fawr wedi ei hongian dros bob ysgwydd iddynt. Aeth pob un o honynt dros y cwch, a daliai yr offeiriad hi nes llenwi y pedyll â dwfr; yna gollyngai yr offeiriad ei afael, a'r pedyll a suddai 'r llangces i'r gwaelod. Fel hyn, yn ngolwg edrychwyr a'u canmolent, ac offeiriaid yn eu cynnorthwyo, un ar bymtheg o enethod a fuant feirw fel aberth i eilun dinystriol." Ni chwanegaf ar y pen hwn ond y tri pheth canlynol—bod yn India laweroedd, i'r

---

* Y Parchedig Dr. Carey.

* Y Parchedig Mr. Ward.

diben o foddio eu duwiau, yn gosod eu cyrph ar y ddaear, ac fel hyn, trwy lafur a lludded dwys, yn mesur amryw filoedd o filltiroedd—bod oddeutu pedair mil yn trengu yn flynyddol wrth gyflawni pererindod—a bod dynion yn America ac Affrica yn ymborthi ar gnawd eu cyd-greaduriaid! Nid yw hyn ond bras ddarluniad o ddefodau dychryllyd eilun-addoliaeth mewn un rhan o'r byd. Beth a feddyliwch am danynt? Beth yn awr yw eich barn am grefydd y Paganiaid?

GWRAN.—Syr, mae yr hyn a adroddasoch yn ddigon i beri i'r gwaed oeri yn y gwythenau.

GWEIN.—Oni welwch wirionedd y Bibl, yr hwn a ddywed, bod "tywyll leoedd y ddaear yn llawn o drigfanau trawsder"—bod dyn wrth natur "yn angharedig, yn annhrugarog—yn ofer yn ei resymau"—bod "ei galon anneallus, wedi ei thywyllu"—a bod ar y Paganiaid angen am y llyfr gwerthfawr hwnw sydd yn dweud, "Na ladd;" ac sydd yn ei osod *Ef* allan megys y ffordd i ogoniant a gwynfyd tragywyddol, "yr hwn a fu farw y cyfiawn dros yr anghyfiawn, i'n dwyn at Dduw."

GWRAN.—Gwelaf, yn wir. O pwy a all fod yn ddigon diolchgar am y goleuni a'r cysur a ddeilliant oddiwrth air Duw!

GWEIN.—Mewn perthynas i *aflendid* eilun-addoliaeth, nid oes genyf hamdden i ddywedyd ond ychydig. Ond gellwch gredu ei fod yn dra mawr, pan glywoch fod rhai o wrthddrychau addoliad yr Indiaid mor ffiaidd yn ngolwg Cristionogion, fel na ellir eu henwi. Lluoedd o'r deillion anhapus hyn a ymgrymant o flaen godinebwr aflan, a'i buttain. Eu dawnsiau a'u caniadau o flaen, ac er anrhydedd i'w duwiau, ydynt mor frynted fel fod cywilydd ar rai o'r trigolion harddaf eu rhodiad eu hunain gael eu gweled yn eu temlau; a'r lluniau ar gerbyd Juggernaut ydynt annilwair a ffiaidd i'r radd eithaf. Y mae 'r holl wlad wedi ymroddi mor llwyr i aflendid, fel y dywedodd un o'r anrhydeddusaf o'r preswylwyr wrth Mr. Ward, ei fod yn credu bod yn anhawdd cael un llangces ddiwair ym mhlith yr holl fyrddiynau eilun-addolgar hyn. Cyfryw yw y ffieidd-dra, fel fod offeiriad oddi yno, yr hwn oedd yn ddiweddar yn Lloegr, yn dywedyd, "Yr oeddwn yn cau cauadon fy ffenestri, ac yn gorfod chwilio am fy mhlant, i'w symud i ran bellenig o'r tŷ." Yn awr, gyfaill, onid oes ar y dynion sydd yn gwneuthur y fath ffieidd-dra yn rhan hanfodol o'u crefydd, ac ydynt yn yr holl arferion ffiaidd hyn yn tebygoli i'w duwiau, angen am y Llyfr sydd yn dywedyd, "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." "Hyn yw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi—ar ymgadw o honoch rhag godineb, ar fedru o bob un o honoch gadw ei lestr ei hun mewn sancteiddrwydd a pharch." Onid oes eisieu ar y fath addolwyr aflan y Llyfr hwnw, ym mhlith gorchymynion pa un y mae yr un canlynol: "Marwhewch gan hyny eich aelodau y rhai sydd ar y ddaear; godineb, aflendid, gwŷn, drygchwant, a chybydd-dod, yr hon sydd eilun-addoliaeth." *Col.* 3. 5.

GWRAN.—Nid all neb ammeu hyny; ac nid all neb sy'n ewyllysio yn dda i'w gyd-greaduriaid lai na gweddio ar iddynt ei gaffael.

GWEIN.—Gwelaf, wrth fy oriawr, na allaf aros yn hŵy y borea heddyw, gan fod genyf amryw ereill i ymweled â hwynt cyn myned adref. Y tro nesaf y galwaf arnoch, cawn ymddiddan ym mhellach ar y matter. Gobeithio y bydd i'r hyn a glywsoch ddoe a heddyw wneuthur dwfn argraff ar eich meddwl; a phan nesaoch at orsedd gras, na fydd i chwi anghofio yr

holl filiynau o'ch cyd-anfarwolion, y rhai a frysiant, mewn tywyllwch ac annfudd-dod, i dragywyddoldeb, "yn estroniaid i ammodau yr addewid," ac yn anaddas i deyrnas nefoedd.—Boreu da i chwi, fy nghymmydog.

GWRAN.—Boreu da i chwi, Syr. Mawr ddiolch i chwi am alw arnaf.

*(Diwedd y Rhan Gyntaf.)*

---

## YSTYRIAETHAU AR JOB ii. 10.

"A dderbyniwn ni gan Dduw yr hyn sydd dda, ac oni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg?"

NID yw ein bywyd yn y byd hwn ond cymmysg o ddrwg a da. Ni ddylem, gan hyny, ddisgwyl mwynhau dedwyddwch digymmysg tu yma i'r nefoedd. Er fod rhai yn mwynhau ychwaneg o ddedwyddwch ar y ddaear nag ereill, etto gallaf haeru yn ddiofn cyfeiliorni, nad oes un o eppil Adda nad yw yn ddarostyngedig, a hyny yn aml, i helbulon, cystuddiau, a chwerwon fliaderau. "Yr un ddamwain sydd yn digwydd i bawb." Ond ni ddylai neb achwyn na llwfrhau o herwydd hyn; canys ewyllys Goruchel lywodraethwr y byd ydyw. Yr Arglwydd sydd yn llywodraethu ac yn trefnu pob peth yn y nef ac ar y ddaear, iechyd a chlefyd, hawddfyd ac adfyd, cystudd a blinder, y drwg a'r da, sydd yn deilliaw oddiwrth, neu ynte trwy ganiatâd yr un Arglwydd daionus a graslawn. Pan y byddo y gwyntoedd tymhestlog yn dryllio llongau y môr, neu pan y byddo 'r ddaear yn attal ei ffrwythau, ac yn peri prinder a newyn yn y wlad; nid rhyw beth damweiniol yw hyn, eithr cyfiawn waith yr Arglwydd Dduw, Penllywodraethwr y byd ydyw. Duw hefyd sydd yn trefnu neillduol achosion pob un o honom ni; yn codi y naill, ac yn darostwng y llall. Yr oedd Job yn hollol gydnabod hyn. Pan ddaeth ei elynion a lladd ei weision, a lladrata ei anifeiliaid, ni thybiodd efe mai o ewyllys dyn yn unig y daethai hyn, ond fod gan Dduw hefyd law ddirgelaidd yn y gwaith; am hyny yn lle ceisio dial ar ei elynion, efe a syrthiodd i lawr, ac a addolodd yr Arglwydd, gan ddywedyd, "noeth y daethum i'r byd, a noeth yr âf allan o hono. Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Yn yr un modd ein dyledswydd ninnau yw derbyn mewn modd croesawus a boddlongar ymweliadau rhagluniaeth, pa un bynag ai hyfryd ai anhyfryd y byddont. Ac i'r diben i ni wneuthur hyn, bydded i ni gofio nad ydym ni yn *haeddu yr hyn sy dda* ar law Duw. Eithr y *drwg* a ddichon ein cyfarfod, yr ydym wedi ei haeddu yn gyfiawn. Nid all neb ddywedyd fod ganddo unrhyw hawl i ddisgwyl da fel *cyflog neu wobr;* canys pe manwl graffai Duw ar ein hanwireddau, a galw i gyfiawn farn, pwy yn ein plith a allai sefyll ger ei fron! Ac os dyma fel y mae gyda ni, beth a allwn ddisgwyl ond llid a dial yr Hollalluog. Dyma yr hyn a haeddodd holl ddynolryw er pan bechodd ein rhïeni cyntaf yn Mharadwys. Pa bryd bynag ynte y byddo rhyw orthrymder yn ein gorddiwes, cofiwn ein bod wedi haeddu hyny, ac mai "cyfiawn yw yr Arglwydd yn ei holl farnedigaethau."

Heblaw bod yr Arglwydd yn *gyfiawn* yn ein *cospi,* rhaid i ni gyfaddef fod ganddo gwbl *awdurdod* i wneuthur â nyni fel ag y byddo yn ewyllysio. Os ydyw yn ddyledswydd ar blant gymmeryd eu ceryddu gan eu rhieni am wneuthur drwg, pa faint mwy y dylem ni ymostwng dan allnog law Duw, yr hwn yw ein Tad ni oll, ac sydd yn meddiannu hollol awdurdod arnom, eneidiau a chyrph: canys ni ddyg-

asom ni ddim i'r byd gyda ni; a phe byddai Duw yn gweled yn dda ein difeddiannu o'r hyn oll sydd genym, ni wnai gam â ni, o herwydd ei eiddo ef yw pob peth. Ac os dyma fel y mae, y mae genym gyflawn achos i fod yn ostyngedig iddo ef, ac ymfoddloni i dderbyn ganddo y drwg yr ydym yn ei haeddu, yn gystal a'r da nad ydym yn ei haeddu.

Y'mhellach etto, nac anghofiwn fod cystudd a blinder yn *fuddiol ac yn fendithiol* iawn i ddyn. Nid yw yr Arglwydd yn cystuddio ei blant gyd âg unrhyw ddiben arall, ond er eu llesâd. Y brenin Dafydd sydd yn dywedyd fel hyn: "Da yw i mi fy nghystuddio; fel y dysgwn dy ddeddfau. Cyn fy nghystuddio, yr oeddwn yn cyfeiliorni; ond yn awr, cedwais dy air di." Aml a blin oedd y cystuddiau a gafodd Dafydd. Cafodd ei erlid yn ddibaid o un lle i'r llall. Ni chafodd na llonyddwch na heddwch tra bu Saul byw. Ac wedi cael ei sefydlu yn ei deyrnas, llawer o flinder a'i cyfarfu ef, o herwydd ei blant ei hun, yn enwedig ei fab Absalom, rhag yr hwn gorfu iddo ffoi o'r wlad. Aml y mae yn cwyno yn y Salmau oblegid ei flinderau: ond Duw a welodd yn dda ei waredu ef oddi wrthynt oll, gan "amlhau ei fawredd, a'i gysuro ef oddi amgylch." Yna y gwelodd yn eglur pa mor llesol oedd iddo gael ei gystuddio. Tra byddo dyn yn mwynhau ei iechyd, yn byw yn llwyddiannus, ac yn cael pob peth wrth fodd ei galon, y mae yn chwannog i anghofio Duw, awdwr a rhoddwr pob daioni. Dyma fel y gwnaeth meibion Israel gynt. Gwedi i'r Arglwydd eu dwyn hwynt allan o'r Aipht, a rhoddi iddynt feddiant o wlad Canaan, a'u sefydlu hwynt yno mewn heddwch, ac yn y mwynhad o bob llawnder, buan yr anghofiasant ef, a gwasanaethu o honynt ddelwau y cenhedloedd, y rhai oedd o'u hamgylch. "Jesurun a aeth yn fras, ac a wingodd; braseaist, tewychaist, pwyntiaist; yna efe a wrthododd Dduw yr hwn a'i gwnaeth, ac a ddiystyrodd Graig ei iachawdwriaeth." Dyma fel y gwnaeth yr Israeliaid gynt: ac fel cospedigaeth am hyn, yr Arglwydd a ddanfonodd ei wïalen, ac a'u ceryddodd hwynt. Efe a'u rhoddes hwynt yn nwylaw eu gelynion, i'w gorthrymu, ac a ddanfonodd amryw farnedigaethau trymion arnynt: yno hwy a ymofynasant am eu heddychu âg ef, ac a droisant ato gyd âg ympryd, ac wylofain, a galar. Duw, o'i fawr drugaredd, sydd yn ymddwyn tu ag atom ninnau yn yr un modd ag y gwnaeth tu ag at yr Israeliaid gynt. Weithiau efe a gospa ein gwledydd trwy waedlyd ryfeloedd; weithiau trwy haint ar ein hanifeiliaid, a chlefydau arnom ein hunain; weithiau trwy ein hamddifadu o'n perthynasau agosaf, a'n cyfeillion anwylaf; weithiau efe a'n cerydda trwy brinder a newyn; trwy golledion, siomedigaethau, neu ryw wrthwyneb arall. Dyma fel y gallwn dybied iaith yr Arglwydd wrthym ni yn y pethau hyn. A pha beth yw ei ddiben ef yn hyn? Ei ddiben yn ddiammeu yw, ein dwyn atom ein hunain, i ystyried ein ffyrdd, ac i'n deffroi o gwsg pechod, i rwygo ein calonau gan deimlad o'n hanneilyngdod, a dychwelyd at yr Arglwydd am drugaredd, a helaeth faddeuant. Mawr yw daioni Duw tu ag at ei blant, am wneuthur y byd hwn yn sefyllfa lle nad oes dim wedi ei addaw iddynt ond blinder a gorthrymder yspryd, a phethau 'r byd mor ansicr a darfodedig, fel nas gallant addaw iddynt eu hunain feddiant o honynt gymmaint ag am un diwrnod. Hyn a ddoeth drefnwyd, fel y diddyfnid hwynt oddiwrth y byd hwn a'i wagedd, a pheri iddynt osod eu calonau ar y byd

sydd i ddyfod, y byd hwnw lle mae gwir lawenydd i'w gael. Sicr yw, mai yr Arglwydd yn unig a ẃyr beth sydd oreu er ein lles; ac am ei fod ef yn gweled mai iachawdwriaeth yr enaid yw 'r peth mwyaf angenrheidiol, y mae efe yn fwy gofalus ynghylch hyn nag mewn perthynas i'n dedwyddwch yn y byd presennol. Ei ddiben a'i ewyllys yw ein tywys i ddedwyddwch yn y byd a ddaw. A phân na ellir gwneuthur hyn heb ymweled â ni âg ymweliadau chwerwon yn y byd hwn, y mae yn ddyledswydd arnom i ystyried ei gerydd ef yn drugaredd werthfawr: canys "y neb y mae 'r Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu, ac yn ffangellu pob mab a dderbynio." Gan fod yr Arglwydd ynte yn dangos cymmaint o gariad tu ag atom, fel ag i'n ceryddu er ein llesâd, ein dyledswydd yn ddiammeu yw bod yn ddiolchgar iddo am ei dadol ymddygiad. Ym mhob cystudd a gwrthwyneb ag sydd yn digwydd i ni, dylem fod yn amyneddgar, ac yn ymddarostyngedig i ewyllys Duw. "Nid fy ewyllys i, ond yr eiddot ti, a wneler," a ddylai fod ein hiaith ni oll. Dyma fel y gweddiodd ein Hiachawdwr pan yr oedd gyfyngaf arno. Cofiwch beth a ddywedodd yr hen Eli yn ei adfyd, "Yr Arglwydd yw efe, gwnaed a fyddo da yn ei olwg." Felly hefyd Dafydd dduwiol, er mor lliosog oedd ei orthrymderau, pan ystyriodd mai oddiwrth yr Arglwydd yr oeddynt oll yn deilliaw, ni ddywedodd air yn eu herbyn: "Aethum yn fud, ac nid agorais fy ngenau," medd efe, "canys ti á wnaethost hyn." Yn yr un modd Job, pan yspeiliwyd ef gan ei elynion, ni felldithiodd hwynt, ac ni achwynodd eu bod wedi gwneuthur cam âg ef; canys efe a wyddai nas gallasent wneuthur dim niweid iddo, ond trwy ganiatâd Duw; am hyny dywedodd gyd âg eithaf boddlonrwydd, "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd."

Oddiwrth y siamplau hyn, dysgwn ymostwng yn ufudd i ewyllys Duw, a dioddef yn amyneddgar ac yn ddiolchgar bob trallod a gofid. Os gwnawn hyn, ei Yspryd sanctaidd a'n diddana, ac a'n cynnal yn ein holl ddioddefiadau, ac mewn ychydig o amser a rydd i ni ddedwyddol ymwared oddi wrthynt oll. Nid yw y cystudd mwyaf yn y byd hwn i'w gyffelybu â'r gogoniant a ddarparwyd i'r ffyddloniaid yn y byd nesaf. "Ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni," medd yr apostol. A thrachefn, medd apostol arall, "Gwyn ei fyd y gwr sydd yn goddef profedigaeth; canys pan fyddo profedig, efe a dderbyn goron y bywyd, yr hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant ef." Bydd dedwyddwch y nef yn ddigon i wneud i fynu am ein holl ddioddefiadau yn y bywyd hwn: am hyny na anfoddlonwn i'n cyflwr yn y byd, na rwgnachwn o herwydd chwerw droion rhagluniaeth, eithr byddwn ddioddefgar a "ffyddlon hyd angeu, fel y derbyniom goron y bywyd."

OMICRON.

---

## ORIAU MARW.—Rhif. IV.

### YR ESGOB FARRAR.

Dyrchafwyd y Dr. Farrar yn Esgob Tŷ Ddewi yn Awst 1547, yr amser yr oedd y Duc o Somerset, ewythr Edward VI. mewn awdurdod dano: a thra y bu y gwr hwnw fyw, cafodd Farrar lonyddwch i iawn drefnu ei Esgobaeth. Ond ar ol ei ddienyddiad, nid hir y bu heb gael gwybod fod iddo elynion chwerwon ym mysg y gwŷr oedd nesaf ato. Lluniasant gymmaint ag *un ar bymtheg a deugain* o

achwynion yn ei erbyn, ac a'u rhoisant ger bron Cyfrin-gyngor y brenhin. Yn ol cynnwysiad y rhai hyn, yr oedd i'w gyfrif yn euog o ddirmygu awdurdod y brenhin, o drawsder, a lliaws o gam-droion, fwy na digon i'w anaddasu i fod yn Esgob. Ond wedi i Farrar ateb, a dangos twyll a thraws-fwriad ei gyhuddwyr, hwy a newidiasant natur ei achwyniad, ac a'i cyhuddasant o achos crefydd, ac o fod yn wrthwynebwr Pabyddiaeth.

Chwefror 1555, dygwyd ef o flaen Gardiner, i'w holi am ei ffydd a'i athrawiaeth; a thebygol yw, y cawsai efe ei gollfarnu y diwrnod hwnw, oni bai fod yr amser yn rhy fyr, a'r gwaith yn ormod. Holwyd ef ym mhen ychydig o ddyddiau drachefn, ac wedi hyny danfonwyd ef i waered i Gymru i gael ei gollfarnu yno.

Ymddangosodd amryw wahanol weithiau o flaen ei gyhuddwyr, a'r waith olaf oedd Mawrth 13. Rhoddasai y Dr. Harri Morgan (yr hwn a gafodd Esgobaeth Tŷ Ddewi ar ol yspeiliad Farrar o honi) iddo yr amryw byngciau canlynol, gan orchymyn iddo—"1. Ymwadu â phriodas.—2. Addef presennoldeb *naturiol* Crist yn y Sacrament.—3. Addef fod yr offeren yn aberth cymmodlawn dros y byw a'r meirw.—4. Addef na chyfeiliornodd Cynghorau Cyffredinol erioed, ac nas gallant gyfeiliorni.—5. Addef na chyfiawnheir dynion ger bron Duw trwy ffydd yn unig: ond bod gobaith a chariad yn rheidiol ofynedig er cyfiawnhad." Yn awr gofynodd Morgan iddo, a gydsyniai efe â'i byngciau ef, gan alw yn ol ei heresiau, ac ymgymmodi â'r Eglwys Gatholic, yn amgen nag y gwnaethai hyd yn hyn. Yn lle ufuddhau i'w gais, rhoddodd y Dr. Farrar o'i flaen ei dystiolaeth ysgrifenedig ar y pyngciau, yr hon a gadwyd ym mhlith Actau eu Llys: ac ym mhellach, fe appeliodd oddi wrtho ef, megys barnwr anaddas, at farn y Cardinal Pool, oedd yn Archesgob Caer-gaint. Ar hyn Morgan, mewn nwyd orwyllt, a ddarllenodd ei gollfarn i'w erbyn, gan ei gyhoeddi yn heretic esgymmunedig, ac i'w draddodi i'r awdurdodau gwladol, i gael ei drin fel y cyfryw. Yn ganlynol, wedi ei gollfarnu, a'i ddiraddu, traddodwyd ef i ofal Mr. Leyson, Sirydd Caerfyrddin: ac ar ddydd Sadwrn, Mawrth 30, fe'i dygwyd i heol marchnad y dref; ac yno yr ochr ddeheuol i Groes y farchnad, dioddefodd boenau y tân mewn amynedd mawr; a gorphenodd ei yrfa yn wir ferthyr i Grist, ac yn dyst ffyddlawn yn erbyn Anghrist.

Ychydig cyn ei farwolaeth, daeth un Mr. R. Jones i ymweled âg ef; ac, ym mhlith pethau ereill, dwys gwynodd o herwydd poenusrwydd y farwolaeth oedd efe i'w dioddef. Dr. Farrar a'i atebodd, "Os gwelwch fi unwaith yn ysgogi ym mhoenau y tân, na chredwch yr athrawiaeth a gyhoeddais." Ac megys yr hyderodd ac y dywedodd, felly rhoddodd yr Arglwydd iddo nerth rhyfeddol i gyflawni ei fwriad; oblegid fe safodd yn ddiysgog ym mhoenau angerddol y fflamiau, hyd oni ddarfu, o'r diwedd, i un Richard Gravel roddi diwedd ar ei ddioddefaint gan ei daro â phastwn, nes y syrthiodd i lawr yn yr ulw. Felly diangodd ei enaid i fynwes ei Brynwr.

---

## ORIAU YSGRYTHYROL.

## LUC.

PEN. I. 28.—Henffych well, yr hon a gefaist ras; yr Arglwydd sy gyda thi.

Ymddengys ei bod yn arferiad yn Israel i gyfarch eu gilydd mewn ffordd o ddymuniad ar eu gilydd; felly y cawn fod Boaz (*Ruth* 2. 4. yn dywedyd wrth y medelwyr, "Yr Arglwydd a fyddo gyda chwi. Hwythau a ddywedasant wrtho

Yr Arglwydd a'th fendithio." Y mae yr un arferiad etto yn y gwledydd dwyreiniol.

Pen. ii. 5.—I'w drethu gyda Mair, yr hon a ddyweddiasid yn wraig iddo.

Yr oedd morwyn Iuddewig wedi ei dyweddïo yn gyfreithlon, yn cael ei chyfrif megys gwraig, am hyny nis gellid ei rhoddi heibio heb lythyr ysgar. Os byddai yn anffyddlon i'w gwr dyweddïedig, yr oedd i gael ei chospi megys puttain, a chospid ei denwr yr un modd a phe halogasai wraig ei gymmydog. Hyn oedd yr achos i'r angel gyfarch Joseph, gwr dyweddïedig Mair, yn y geiriau canlynol: "Joseph, mab Dafydd, nac ofna gymmeryd Mair dy wraig: canys yr hyn a genhedlwyd ynddi sydd o'r Yspryd Glân."

Adn. 25.—Yn disgwyl am ddiddanwch yr Israel.

Byddai yr Iuddewon yn aml yn galw y Messïah, *y diddanwch*; ac, *na welwyf fi byth mo'r diddanwch*, oedd lw cyffredin yn eu plith. Yr oedd yn cael ei arferyd yn aml gan *Rabbi Simeon ben Shetach*, yr hwn oedd yn byw cyn Crist.

Adn. 44.—Gan dybied ei fod yn y fintai.

Yn y tair wyl fawr yr oedd yn rhaid i bob dyn o leiaf, ag a allai (ac yr oedd llawer o ferched yn dewis myned) fyned i wyl y Pasg i Jerusalem; ac er amddiffyniad rhag rhuthrau lladron, byddent yn myned yn finteïoedd. Nid yn unig byddai trigolion yr un dref yn myned gyd â'u gilydd, ond hefyd byddai cymmydogaeth yn myned yn fintai. Dygent y pethau mwyaf angenrheidiol gyda hwynt, a phebyll, i'w cysgodi y nos. Ond weithiau ar hin boeth byddent yn teithio y nos, ac yn gorphwyso y dydd. Tebyg i hyn yw y dull o deithio yn y Dwyrain yn bresennol. Y mae yr hanes hwn o'u dull yn teithio, yn egluro y modd y gallai Mair a Joseph fyned daith diwrnod heb wybod nad oedd yr Iesu gyda hwynt. Pan fyddent yn teithio, byddent yn myned at eu cyfeillion, neu i'r fan a ddewisent, ond gyd â'r nos byddai pawb yn myned at ei deulu ei hunan.

Pen. iii. 4.—Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Parottowch ffordd yr Arglwydd.

Byddai'n ofynol cadw y ffyrdd tu a'r dinasoedd noddfa mewn cyflwr da, fel y gallai y ffoadur ddiangc yn ddirwystr. Dywed y Rabbiniaid, fod wrth bob croes-ffordd, y'mhlith pethau ereill, yn ysgrifenedig, "Noddfa! noddfa!" Oblegyd hyn y mae *Hottinger* yn sylwi fod Ioan Fedyddiwr yn cael ei ddesgrifio fel "Llef un yn llefain yn y diffaethwch. Parottowch ffordd yr Arglwydd."

Pen. iv. 20.—Ac wedi iddo gau y llyfr, a'i roddi i'r gweinidog,

Swydd y gweinidog fyddai rhoi llyfr y gyfraith i'r darllenydd, a'i dderbyn yn ei ol drachefn. Pan fyddai arch-offeiriad neu frenin yn darllen, byddai gweinidog y synagog yn cymmeryd llyfr y gyfraith, ac yn ei roddi i'r *sagan*, yr hwn a'i rhoddai i'r arch-offeiriad, yr hwn a'i derbyniai yn ei sefyll.

Efe a eisteddodd i lawr.

Byddai y doctoriaid Iuddewig i ddangos eu parch i'r ysgrythyrau yn sefyll i'w darllen; ond pan y byddent yn dysgu y bobl, eisteddent i lawr.

Pen. v. 19.—Hwy a ddringasant ar nen y tŷ, ac a'i gollyngasant ef i waered yn y gwely rhwng y pridd-lechau.

Pan ystyriom y dull Dwyreiniol o doi tai, ymddengys y gellid gwneuthur hyn heb ond ychydig o drafferth a cholled. Y mae nen eu tai yn wastad, ac wedi eu gorchuddio â phriddfeini; am hyny hawdd y gellid tynu ymaith rai o'r rhai hyn, a gollwng y claf i waered.

Pen. vii. 38.—Hi a ddechreuodd olchi ei draed ef â dagrau, ac a'u sychodd â gwallt ei phen.

Dywed *Polybius*, pan oedd *Hannibal* yn nesâu at Rufain, i'r boneddigesau Rhuf-

einaidd fyned i'r temlau i erfyn ar eu duwiau, gan olchi y llawr â'u gwallt, yr hyn, medd efe, yw eu harfer ar y fath achosion.

Adn. 44–46.—Ni roddaist i mi ddwfr i'm traed....fy mhen âg olew nid iraist.

Yr ydoedd yn arferiad cyffredin ym mhlith y cenhedloedd Dwyreiniol, cyn gynted ag y deuai dieithriaid i'w tai, i roddi iddynt ddwfr ac olew; dwfr i olchi eu dwylaw a'u traed, ac olew i eneinio eu hunain: ac mewn tai boneddigion a thywysogion, byddent yn perarogli yr olew â rhosynau, a llysiau peraidd ereill.

Pen. x. 5.—Tangnefedd i chwi.

Pan êl un o'r Persiaid i dŷ, wedi iddo yn gyntaf adael ei esgidiau o'r tu allan, efe a ddywed wrthynt, "Tangnefedd i chwi," yr hyn a ddywed wrth yr holl dŷ.

Pen. xi. 12.—Os gofyn efe ŵy, a ddyry efe ysgorpion iddo?

Y mae *Bochart* yn desgrifio ysgorpion gwyn yn debyg i ŵy, o ran ei maint a'i llun, fel y mae rhai pysgod yn debyg i seirph.

Pen. xii. 55.—Pan weloch y deheuwynt yn chwythu, y dywedwch, Y bydd gwres; ac fe fydd.

Y mae 'r amgylchiad hwn yn cydfyned â'r hanes a rydd ymdeithwyr yn Syria, yr Aipht, ac amrywiol fanau o'r Dwyrain. Pan y dechreuo y deheu-wynt chwythu, y mae yr awyr yn myned yn dywyll ac yn drymllyd, a'r holl awyrgylch yn ymddangos yn arswydus. Cydmerir gwres y gwyntoedd deheuol hyn i ffwrn newydd dynu allan y bara, ac i fflam yn cael ei chwythu ar wyneb dyn pan yn sefyll yn agos i'r tân.

Pen. xiv. 8.—Nac eistedd yn y lle uchaf.

Y mae llawer o drafferth mewn gwledd Ddwyreiniol i osod y gwahoddedigion yn ol eu sefyllfa: a dywed *Morier*, y teithiwr Persiaidd, am wr a eisteddodd islaw ei sefyllfa, iddynt ddymuned arno fyned yn uwch.

Pen. xiv. 17.—A ddanfonodd ei was bryd swpper.

Y mae'r arferiad yn y Dwyrain i ail anfon gwahoddiad yn y dull hwn. Y'mhlith y Chineaid, dywedir na chyfrifir gwahoddiad yn wirioneddol oni wahoddant hwynt dair gwaith.

*(I'w barhâu.)*

---

## ARGRAPHIAD NEWYDD O'R BIBL CYMREIG.

Mr. Gwyliedydd—Disgwyliais lawer am weled, neu glywed, rhyw beth mewn perthynas i Argraphiad newydd wythplyg o'r Bibl Cymreig gan y "Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol." Clywais fod Ioan Tegid a Changhellwr Llandaf yn ymddadleu ynghylch y dull o orgraphu, neu iawn lythyriad geiriau Cymreig—ac wedi ysgrifenu traethodau ar y pwngc yn yr iaith Saesonaeg, y rhai a argraphwyd, mae 'n debygol, yn Rhydychain, Caer Grawnt, Caer Ludd, neu ryw Gaer arall. Clywais hefyd fod ysgrifenydd enwog Llythyrau Garmon, wedi, neu ar fedr, ysgrifenu ar y pwngc, a hynny, ond odid yn yr iaith Saesonaeg. Ond beth ydyw y Cymry uniaith well er hynny? Nis gall llawer o honynt ddeall yr hyn a ysgrifenir mewn iaith ddieithr, ac nis gall ereill fyth weled y llyfrau a argraphir mewn bro estronol. Rhodded y ddwy blaid y peth o flaen y wlad, trwy gyfrwng y Gwyliedydd, fel y gallo pawb farnu yn gyfiawn rhyngddynt. Dywedwch wrthynt, "Deuwch yn nes â'ch cwyn; dygwch eich rhesymau *cadarnaf*." Neu, rhoddwch chwi, Mr. Gwyliedydd, neu ryw un o'ch Gohebwyr, ad-olygiad o'r Traethodau hyn, ar y ddwy ochr i'r ddadl o'n blaen; fel y gallom ni ddewis, yn ddiduedd, y dull a'r modd a fydd debyg o fod yn fwyaf derbyniol a buddiol i'n gwlad a'n cenedl. Cefnogaf, gan hynny, alwad eich Gohebydd *C.* yn Rhif. 96.

Galwaf finnau ar y rhai sydd i barottoi y *copi* i'r Wasg, i roddi llawn hyspysrwydd o'r modd y maent yn bwriadu cyflawni eu gorchwyl. Yn gyntaf, penderfynent *ar yr Argraphiad a ddewisant fel cynllun, neu sylfaen o'r Argraphiad newydd.* Yn nesaf, sefydlent *y dull o orgraphu a gymmeradwyant; ac i ba raddau y bydd iddynt wahaniaethu oddiwrth eu cynllun, trwy ddiwygio y cyfieithiad, yr iaith, &c.* Ac yn olaf, galwant *am bob cynnorthwy oddiwrth ddysgedigion ein gwlad.*

I ddangos yr angenrheidrwydd am y gofal a'r manyldra mwyaf yn y gwaith hwn, rheddaf ger bron eich darllenwyr ychydig engreifftiau, y rhai sydd heb eu diwygio yn yr Argraphiadau diweddaf a welais, sef yn y flwyddyn 1829. *Dan.* 4. 23. "Hyd oni *g*yfnewidio," yn lle hyd oni *ch*yfnewidio. Gwel *Act.* 7. 18. *Dan.* 4. 25. "Gyrrant *ti*," yn lle *di*. *Dan.* 9. 24. "Deng-*h*wythnos," yn lle Deng wythnos. Y mae y beiau hyn i'w cael yn holl Argraphiadau y ddwy Gymdeithas Fiblaidd. Gwel hefyd y Nodau Cyfeiriol yn *Dan.* 29. 44. "*Eph.*" yn lle *Est.* ac "Ioan 12. 44." yn lle Ioan 12. 34. Ac yn yr Argraphiad Ystrydeb Caer Grawnt 12 plyg, gan y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol, yn y flwyddyn 1813, a chan Gymdeithas y Biblau Brytanaidd a Thramor yn 1824 a 1829, y darllenir fel y canlyn: "A myfi *o*'i cymmeraf ymaith," yn lle *a*'i cymmeraf.

Wele yn canlyn y cynllun o'r dull o orgraphu a gynnygir ei ddilyn yn yr Argraphiad nesaf, wedi ei gymmeryd allan o Rhif. 9 o'r "*Cambrian Quarterly Magazine*;" a dymunir i Lëenyddion ein gwlad ddanfon eu sylwadau arnynt; fel y gallo y rhai y perthyn hynny iddynt ganfod pa un a ddylent ei gymmeradwyo ai peidio.——Ydwyf yr eiddoch, &c.

C—w.

"Cynnygir,

"1. Fod yr arddod CYM i'w arferyd yn hytrach na CY yn *cymmeryd, cymmydog, cymmal, gorchymmyn*, &c.

"CY, yn *cynghor, cymhar, cymhell, cymhorth, cymhwys*, &c.

"CYS, yn *cyssegr, cyssylltu*, &c.

"CYN (cyfnewidiad o CYD) yn *cynnorthwy, cynnal, cynnwys*, &c.

"CAN, cyss. (yn lle CYN) mewn brawddegau fel y canlynol—*can wyned, can gynted.*

"CEN (yn lle CYN) yn *cenfigen.*

"AN (gor-air gwreiddiol) i'w gadw yn *annuwiol, annoeth*, &c. ond bod yr N i gael ei golli, neu ei chyduno, yn *unghof, anghyfiawn*, &c. i'r dyben i rwystr ymddangosiad trwsgl fel *aunghof*: a bod AM, yn hytrach nag AN, i'w arferyd mewn geiriau fel *ammharod*, nid *anmharod*.

"Bod DI i'w ystyried yn orair cadarnhaol a nacaol.

"2. Bod yr arddodiad A, AG (*with*) i gael ei wahaniaethu â nod hirdôn; megis, *â, âg*, oddieithr mewn cyfansoddiad, megis *gyda, gydag*.

"3. Bod GYDAG i'w arferyd, yn hytrach na *gyd âg*—TUAG AT, yn hytrach na *tu ag at*—ODDI WRTH, yn hytrach nag *oddiwrth*—ODDI AR, yn hytrach nag *oddiar*—ODDI MEWN, yn hytrach nag *oddi fewn*—ac YN Y FAN (*illico*) yn hytrach nag *yn y man.*

"4. Bod goddefiad i'r arddodiad YN ymuno ar rai prydiau: megis, *ynghadw, ynghalon, ynghanol, ynghyd, ynghylch.*

"5. Er gwell pereiddsain, bod Y (*the*) yn hytrach nag 'r (talfyriad o *yr*) i'w harferyd mewn brawddegau fel y canlyn:—'Wedi iddo dreulio *y* cwbl,' ac nid *dreulio 'r*. 'Galw *y* doethion,' nid *galw 'r*. Eithr mewn ereill arferir 'r; megis, 'Y mabwysiad, *a'r* gogoniant, *a'r* cyfammodau,' nid *ac y*. 'A laddodd Iago *â'r* cleddyf,' nid *âg y*. 'A'r ser a syrth *o'r* nef,' nid *oc y*. 'Nac *i'r* tir,' nid *i y*.

6. Bod y nod ymsang (*apostrophe*) i'w adael allan yn *ni's*; gan fod *nis* yn nacaol yn gystal a *ni, nid;* ac felly heb ofyn y fath nod.

7. Bod H i'w diswyddo lle nad yw yn angenrhaid fel sain arw-gryf (*aspirate*) neu fel rhan gyfansoddol o'r gair, megis yn *brenhinoedd, cenhedloedd*, o'r geiriau *brenin, cenedl*; eithr i'w chadw mewn geiriau y mae 'n angenrheidiol, megis *bywhâu, bywhâd; anhardd, anhawdd.*

"8. Bod i bob gair gael ei lawn gyflawniad o lythyrenau, megis *dannedd, meddiannu*, o'r geiriau *dant, meddiant*. Felly hefyd *ymddattodiad*, lle y mae dwy *t* yn angenrheidiol.

"9. Lle nad ydyw dwy gydseiniad yn anhebgorol angenrheidiol, bod i un gael ei hystyried yn ddigonol, megis yn *colynau, rhesymau*, o'r geiriau *colyn, rheswm*. Felly

*ataf, ateb*, o *at-af, at-eb; bwyta, gwreica, pysgota*, o *bwyd, gwraig, pysgod*.

"10. Bod *sy* (is) i gael ei arferyd o flaen cydseiniaid; a *sydd* o flaen llafariaid; megis, 'y neb *sy* ganddo;' 'beth *sydd* yn lluddias.'

"11. Bod y ddwy gydseiniad i'w goddef i aros yn y fath eiriau â'r rhai hyn, *torri, tynnu, mynnu, hynny, honno*.

"12. Bod y geiriau dilynol i gael eu llythyrenu fel y canlyn:—*angeu, cadben, canmawl, corph, creulawn, cyfreithlawn, darllen, deheu, diammhau, digllawn, dwylaw, dywed, eisieu, ffyddlawn, gwrandaw, sarph, tymhestl, waered, ymadaw, ysbryd*."

---

## Y MILDRAETHODYDD.

### YR UCHEDYDD.

Perthyna i deulu yr Uchedydd wyth ar hugain o amrywiaeth. Rhoddwn yma ychydig hanes am rai o honynt. Eu darlunio ar eiriau nid yw angenrheidiol; canys diau genyf nad oes ond ychydig o'n darllenwyr heb fedru eu gwahaniaethu oddiwrth adar ereill ar y golwg cyntaf. Y cyntaf a enwaf yw *Uchedydd y Maes*. Hwn, ac *Uchedydd y Coed*, yw yr unig adar yn canu pan yn ehedeg. Yr aderyn hwn a ddechreu ei gân gyda thoriad y dydd; a chryfhâ ei gân fel y dyrchafa yn yr awyr; ac wrth ddisgyn, efe a leihâ ei gân hyd nes y diweddo ar ei ddisgyniad. Esgyn yr aderyn hwn yn fynych mor uchel fel ag i fod yn hollol anweledig. Dechreu ei gân yn gynnar yn y Gwanwyn, a phery i ganu am rai misoedd. Ymgasglant yn y Gauaf yn lluoedd; ac y maent y pryd hwn yn dewion, a delir llaweroedd, mewn llawer ardal, o honynt er ymborth i'r trigolion. Gwnant eu nyth ar y ddaear, o wair a mânwraidd; a dodwant bedwar neu bump o wyau. Delir, mewn rhai ardaloedd o'r Ynys hon, rifedi aneirif o Uchedyddion. Y tymmor i hyny a ddechreu tua hanner Medi, ac a ddiwedda tua y pummed ar hugain o Chwefror. Dywedir bod yn ystod yr amser hwn fwy na saith mil a deugain o'r adar hyn yn cael eu dal yn nghymmydogaeth *Dunstable*, a'u hanfon i farchnadoedd Llundain. Ond delir llawer mwy mewn rhai ardaloedd ar y Cyfandir. Dywedir fod y dreth a delir arnynt i dref *Leipsic* yn naw cant o bunnau bob blwyddyn. Y modd y delir hwynt sy rywbeth fel y canlyn:—Rhwydant y meusydd yn y nos. Y rhwyd sydd oddeutu deugain llath o hyd, a chwe llath o led. Rhwymir ei dau ben wrth ddau bastwn, o bump i chwe llath o hyd. Dygir y rhwyd hon dros y maes gan ddau ddyn, y rhai, bob pump neu chwe llath, a barant i'r rhwyd gyffwrdd â'r ddaear, rhag iddynt fyned heibio i'r adar. Pan y teimlir bod rhai wedi ehedeg i fynu yn erbyn y rhwyd, gollyngir hi i lawr ar y ddaear, a delir pob aderyn a fyddo oddi tani. Po tywyllaf y bo'r nos, goreu. Y rhwyd hon a ddeil nid yn unig yr Uchedydd, ond hefyd bob aderyn a gwsg ar y ddaear; megys y Cyffylog, y Giach, y Petris, y Soflieir, a'r Adar Eira.

Un arall o'r Uchedyddion a ellir enwi y *Coruchedydd*. Y mae ymyl y plu agosaf allan ei aden yn wyn, ac y mae yn gyffredin i'w gael yn y dolydd a'r corsydd. Nytha, fel yr un o'r blaen, ar y ddaear; a dodwa bump neu chwech o wyau. Disgyn ar goed, fel y gwna *Uchedydd y Coed*; ac y mae iddo gân hynod bereiddlawn. Cân pan yn ehedeg, a phan yn eistedd ar y brigyn, a phan yn sefyll ar y ddaear. Distawa yr aderyn hwn, fel y gwna y fronfraith, yr aderyn du, ac ereill, oddeutu Gwyl Ioan, a dechreu drachefn ym mis Medi.

Un arall o'r teulu hwn a elwir *Uchedydd y Coed*. Gwahaniaethir ef oddiwrth y lleill mewn un peth, wrth y fodrwy wen a amgylcha ei wddf. Y mae 'n llai na'r Uchedydd cyntaf a enwasom; ac nid yw

cyhyd o ran ei gorph; ac nid yw lliwiau ei blu mor gryfion ac amlwg; nid yw ei gan ychwaith mor uchel ac amryw a chân yr un cyntaf, er ei bod yn llawn mor ddymunol. Cân yn y nos, a chân pan yn ehedeg. Disgyn ar goed, a chwibana yn debyg i'r aderyn du. Gwna ei nyth ar y ddaear: y tu allan o fwswgl, ond y tu fewn o fân-wraidd ac ychydig rawn a blew. Dodwa bump o wyau. Y Ceiliog a adwaenir yn yr amrywiaeth hwn, wrth ei faintioli; canys y mae yn fwy na'r iar. Nid yw y rhai hyn yn agos mor aml a lliosog a'r fath gyntaf.

Un arall a ellir ei alw yr *Uchedydd Cribog*. Y mae plu mwyaf cynffon hwn yn dduon, oddieithr ymyl y rhai agosaf allan. Y mae crib, neu gopa, ar ei ben ef. Cân yn beraidd fel yr un cyntaf; ac a ddodwa bump neu chwech o wyau; a dywedir y nytha ddwy waith yn y flwyddyn.

Yr *Uchedydd* sydd aderyn hardd i edrych arno, a pheraidd ei dôn; ac am hyny nid anfynych y carcherir ef mewn gwiaildŷ. Ymbortha ar bob peth agos, os rhoddir tywarchen lâs unwaith bob wythnos yn ei garchardŷ. Dylai fod yn ei dŷ ddau lestr â bwyd ynddynt. Un â chigfwyd ynddo, a'r llall yn cynnwys blawd ceirch, a hâd cywarch. Gellir gwneuthur bwyd da rhagorol iddynt trwy ferwi ŵy yn galed, a'i falu yn fân, a chymmysgu gyd âg ef hâd cywarch wedi eu malu, a bara wedi ei friwsioni. Gwnewch y cwbl yn deisen. Cedwch hi, a rhoddwch i'ch aderyn fel y bo angen. Dylid rhoddi graian yn ei dŷ un waith bob wythnos o leiaf. Hyn a dueddai i gadw ei draed yn lân a sychion; ac wrth ymysgwyd ynddo, gwna y graian mân ei gadw yn ddibryfed. Dylai fod lle yn ei gaban i esgyn iddo; a dylid gorchuddio y lle hwn â brethyn gwyrdd, neu y cyffelyb, o'r hwn y mae yr Uchedydd yn dra hoff. Gellir adnabod y Ceiliog yn y gwïaildŷ wrth ei faintioli, a'i lais, a hŷd ei gân. Y modd sicraf i wahaniaethu yw sylwi ar gryfder ei lais pan yn canu. Y mae yr adar hyn yn ddarostyngedig i amryw afiechyd. Y feddyginiaeth oreu i'r rhan amlaf o'u hafiechyd yw glanweithdra. Uchedydd cryf a bywiog a fydd byw bump neu chwech o flynyddoedd, gan wellhâu yn ei gân o flwyddyn i flwyddyn.

R.

---

## "UNDEB CYMRU A LLOEGR."

*(Parhad o du dal. 147.)*

Ond nid Cymru yn unig a welodd y folineb o'i hanghytundeb a'i hymrafaelion cartrefol. Nid oes nemawr o wledydd yn y byd nas darfu iddynt, ryw dro neu gilydd, syrthio i'r pechod anfad hwn. Gellir dyddio anffawd a darostyngiad Rhufain fawr yn dechreu yn amser *Constantine*, yr hwn a ranodd ei ymerodraeth rhwng ei feibion. Rhufain, er uched ei gogoniant, er cymmaint ei hawdurdod, er doethed ei hathrawon, ac er dewred ei milwyr, a ddymchwelwyd drwy anghytundeb ac ymrafaelion cartrefol.

Groeg, drachefn, er cymmaint ei dysgeidiaeth, er mor glodfawr mewn ffurf-lywodraeth, er doethed ei phenaethiaid, ac er galluoced ei byddinoedd, a syrthiodd o'i gogoniant uchaf i'r gradd isaf trwy anghytundeb ei deiliaid. Gelyniaeth cartrefol yn unig fu yn achos o'i chwymp!

Rhy faith fyddai crybwyll am amryw wledydd ereill yn y byd, y rhai yr aeth sôn am eu gogoniant led-led y ddaear; gellir dweud mai holl achos eu hymostyngiad oedd diffyg undeb. Trwy y pechod hwn y syrthiasant oll.

Yn fyr, lle bo ellyll ymrafael yn cynnyddu mewn gwlad neu deyrnas, ni thycia gallu nac awdurdod ei byddinoedd, ni lwydda doethineb ei chynghorwyr, difudd yw cyflawnder ei thrysorau, ac ofer yw lluosawgrwydd ei thrigolion; os bydd "wedi ymranu yn ei herbyn ei hun ni saif."

Gwelwn wrth hyn fod undeb yn un o'r pethau cadarnaf, doethaf, a buddiolaf, i gadw teyrnas mewn trefn; a phob gwlad sydd yn ymddifad o undeb, gellir ystyried haul ei dedwyddwch wedi machludo, a nos dywell wedi ei gorthoi; yn yr hon ni chlywir amgen nag ubain wylofus y gorthrymedig, a chrochsain farbaraidd y gorthrechwyr.

Undeb yw rhwymyn tangnefedd—syl-

faen cadernid—mammaeth dedwyddwch—a gwinllan fagwraeth yr holl gelfyddydau!

Dan aden undeb yr amlhêir masnach, yr attelir trawster, yr amddiffynir ein breintiau, ac y meithrinir yr holl addysg a'r gwybodaethau sydd yn addurno dynolryw! Mae undeb fel rhyw gadwen arian blethedig, yn harddu pob gwlad, yn addurno pob cymmydogaeth, ac yn prydferthu pob cenedl!

Gan fod y fath fendithion manteisiol yn deillio oddiwrth undeb, prysurwn i gymmeryd golwg ar y tymmor nodedig hwnw, pan y trefnodd rhagluniaeth ddaionus i'r rhwystrau gael eu cyflunio, i ffurfio undeb a thangnefedd rhwng "*Cymru a Lloegr*," yr hyn a gymmerodd le yn amser Iorwerth y cyntaf.

Er bod y genedl a roddodd gynt gyfreithiau i Ewrop, ac a boblogodd frasdir Lloegr, yn awr wedi ei lleihâu i lai na saith gan mil o nifer, ac wedi eu hymlid o'i chynfeddiannau, a'i chyfyngu i fynyddoedd Cymru; etto nid oeddynt yn foddlon i ymostwng i greulonderau eu gormeswyr, nac i roddi i fynu eu rhyddid a'u hiawnderau i estroniaid.

Ar ol i Iorwerth I. drwy lofruddiaeth* a galanas ddinystrio yr holl *Iuddewon* allan o'i diriogaethau, efe a gymmerodd feddiant o'u tiroedd, eu harian, a'u heiddo (yr hyn ydoedd o werth mawr, ac a ddygodd drysorau dirfawr i'w goffrau, yr hyn a'i galluogodd i ddwyn ym mlaen ei anturiaethau creulon yn erbyn y Cymry gyda mwy o egni nag erioed; gan lwyr benderfynu dwyn ei thrigolion i ufudd-dod ac ymostyngiad, y rhai hyd yn hyn oeddynt wedi gwrthsefyll yn llwyddiannus ei holl hynafiaid, breninoedd Lloegr, er maint eu dyfais a'u galluawgrwydd.

I'r diben i ddwyn ei fwriad ym mlaen, fe arferodd ei holl ddichellion—fe gasglodd ynghyd holl nerth byddinoedd Lloegr, nifer pa rai oedd ddeuddeg i un i filwyr Cymru, a chyd â'r fyddin arswydus hon, yn llawn tanbeidrwydd meddwl, a gelyniaeth calon, fe gyrhaeddodd fro *Gwalia*, gan lwyr fwriadu diffodd pob gwreichionen o yspryd anymddibyniaeth o'r dalaeth!

O flaen y fintai luosog hon, barnodd Llywelyn yn ddoethineb i encilio gyd â'i ddyrnaid gwŷr i gilfachau rhai o fynyddoedd *Eryri;* a chyfryw oedd creulondeb Iorwerth fel yr ymwthiodd ar ei ol, â dirgel fryd i'w difetha oll heb adael un yn weddill! Erbyn hyn yr oedd Llywelyn a'i ganlynwyr wedi eu hamgylchu o bob tu gan eu gelynion, ac fel yr enwog *Leonides* gynt, gyd â'i bedwar cant *Spartaniaid*, wedi ymddiofrydu i ryddid, neu farwolaeth, ar lethri yr Eryri (*Thermopylæ* Cymru) yr unig gongl a adewsid iddynt!

Yn ngwyneb yr holl berygl a'r dinystr oedd am eu goddiweddu, tystiant oll nad oeddynt yn foddlon i golli un o'u hiawnderau, ond trwy rym y bicell; na throedfedd o'u tir heb ei wlychu â'u gwaed! Pa galon na chynhyrfai wrth ganfod y fath wrolder a dewrder a hyn? Dylai fod byth yn glodadwy,

"Tra bo Cymro 'n teimlo tant."

Yr oedd Llywelyn a'i bobl yn ymladd am eu bywyd, rhyddid, ac iawnderau eu gwlad. Iorwerth, o'r ochr arall, yn ymladd am fuddugoliaeth ac enwogrwydd. Amcan y Cymry oedd cadw iddynt eu hunain eu genedigaeth-fraint, ac anrhydedd eu hynafiaid; a diben y Saeson, trwy eu cynfigen a'u trachwant, oedd ennill ymffrost ac awdurdod.

Fe ymdrechodd Llywelyn ac Iorwerth am y dorch gyda llawer o wrolder a dewrder o bob tu. Yr oedd y ddau yn ieuaingc ac yn heinif, ac yn llawn yspryd gelyniaethus yn erbyn eu gilydd. Ond ar ol hir ymfrwydro, cryfder a dull milwriaethol y Saeson a fu drech na phybyrwch y Cymry, "y rhai, pan fethasant orchfygu, a ddewisasant syrthio yn ninystr eu gwlad." O'r diwedd, fe gafodd corph grymus byddinoedd Lloegr y dywenydd o weled miloedd o filwyr Cymru yn syrthio dan eu dyrnod!

Fe gwympodd yr hyglod a'r arwraidd *Llywelyn* drwy frad yn ei wlad ei hun! Efe a fradychwyd ym Muallt, ar ddydd Gwener, Rhagfyr 11, 1282. Torwyd ei ben ef oddiar ei gorph gan *Adam de Francton!* a gyrwyd ef i Frenin Lloegr, yr hwn oedd y pryd hyny yn Nghonwy. Ar ol hyn fe ddymunodd Iorwerth ei roddi ar ben pawl haiarn, a'i osod ar binagl y Twr Gwyn, Llundain, i fod yn wrthddrych gwarth a gwawd i'r rhai a elent i edrych arno. Er i'r enwog Llywelyn syrthio yn ninystr y Dywysogaeth, mae ei goffadwriaeth yn haeddu y lle nodedicaf yn hanesyddiaeth ei wlad, ac ym mynwes ei genedl.

Claddwyd ei gorph ef mewn lle a elwir hyd heddyw "Cefn y Bedd;" dros ba un yr wylodd ei bobl yn chwerw dost. Fe ganodd Gryffydd ap yr Ynad Coch (un o feirdd llys Llywelyn) farwnad rhagorol i'w Dywysog.

Pob cantref, pob tref yn treiddiaw,
Pob tylwyth, pob llwyth y sy'n llithraw,
Pob mab yn ei grud sy'n udaw;
Bychan lles oedd im' am fy nhwyllaw,
Gadael pen arnaf heb ben arnaw;
Pen pan lâs oedd lesach peidiaw:
Pen milwr, pen moliant rhagllaw;
Pen dragon pen draig oedd arnaw;
Pen *Llywelyn* deg, dygyn a braw
I'r byd fod pawl haiarn trwyddaw.

* Dywed yr hen awdwr, Matthew o Westmineb, i Iorwerth beri i 280 gael eu crogi yn Llundain yn unig.

Ar ol marwolaeth Llywelyn fe gyssylltodd Iorwerth "Gymru a Lloegr" ynghyd; dyma yr amser nodedig y dygwydd yr hen *Frytaniaid dan iau a llywodraeth brenin Lloegr*, yr hwn, erbyn hyn, yn ei uchel fyd oedd wedi cyrhaedd uchder ei gais, a phen pinagl ei anrhydedd, sef gorchfygu Cymru.

I'r diben i ystwytho a dwyn y Cymry i fudd-dod, ac er mwyn bod yn bresennol er bob achos mewn perthynas i'w hymostyngiad, fe wnaeth Iorwerth I. ei gartref yn *Nghastell Rhuddlan*; ac yma y gwnawd cyfreithiau hynod hyny, "*The Statutes of Rhuddlan.*" Fe ranodd Gymru yn Siroedd, ac a osododd swyddogion creulawn ym mhob un o honynt, i roddi y cyfreithiau mewn grym, ac i weled fod y rhai hyn oll yn cael eu cyflawni i'r llythyren eithaf.

Ar ol hyn fe roddodd Iorwerth diroedd dyffrynoedd goreu y Cymry i'w ganlynwyr, y Saeson—fe ranodd "ddyffryn clodwr Clwyd" rhwng Arglwyddi De Grey Lincoln—i ereill o'i ganlynwyr fe roddodd y tiriogaethau brasaf yn y Dywysogaeth; pa rai ynghyd â'i hyspail-filwyr, oedd fel bleiddiau rheibus yn lladrata ac yn llofruddio ein cenedl yn y modd echrysaf. Hyn, ynghyd â chyfreithiau trawsor, moddion afrywiog a sarug y Saeson, wnaeth sefyllfa y Cymry yn dra anghysurus. Nid oedd gweithredoedd o'r fath yn mewn un modd yn debyg o feithrin ysbryd o "undeb a brawdgarwch" rhwng y genedl a fuasent am gyhyd o amser yn ymrafaelio am fuddugoliaeth a goruchafiaeth.

Yn gymmaint ag nad oedd cyssylltiad Cymry â choron Lloegr wedi cael ei ffurfio drwy gyfiawnder ac ewyllys gwirfoddol o bob tu, ni dderbyniwyd y peth gan y Cymry ond gyda llawer o gyndynrwydd. Nid oeddynt hwy yn edrych ar y cyssylltiad yn dim amgen na chaethiwed. Ni fedrent gymmodi eu meddyliau â chyfreithiau estronol, awdwyr pa rai ni fedrent lai nag edrych arnynt fel cenedl orthrymus a chreulawn.

Yn ngwyneb eu hadfydau, ac er eu bod wedi colli eu hawdurdod, eu Pen, a'u Tywydd, yr oedd y Cymry wedi penderfynu nad ufuddhâent i un Sais fod yn Dywysog arnynt: oblegid fod y Saeson yn sathru rhyddid ac iawnderau y Cymry dan draed. Ac er doethed a gwroled oedd Iorwerth I. fe fethodd, er ei holl rym a'i drais, *yn hollol* ddwyn y Cymry i ufudd-dod, ond trwy *drais* yn unig. I'r diben i ddwyn ei amcan dichellgar yn fuan i ben, danfonodd Brenin Lloegr ei weision at benaethiaid Cymru i'w gwahodd hwy oll i'w gyfarfod ef i Gastell Rhuddlan, i ddweud ei fod yn awyddus i gydsynio â'u hymgeisiadau, ac i roddi iddynt eu gofyniad. Newydd mor gysurus a hwn a fu yn achlysur i ddwyn nifer fawr o foneddigion Cymru ynghyd. A phan oedd Iorwerth, Brenin Lloegr, a'i gynghorwyr, yn eistedd yn eu *Senedd* yn *Rhuddlan*, fe alwodd holl benaethiaid Cymru ger ei fron, ac yna fe archodd, yn y modd tirionaf, "iddynt ufuddhâu i'w lywodraeth, a bod yn ddeiliaid i goron Lloegr." Y Cymry a atebasant fel o'r blaen, "nad ymostyngent hwy byth i neb ond i un o'u cenedl eu hunain, ac y byddai raid i hwnw fod o ymarweddiad da, ac heb air o Saesneg." Pan ddeallodd y Brenin na phlygent i'w ddymuniad, efe a ofynodd iddynt, "Os gwnaf fi enwi un na fu erioed allan o Gymru, ac na fedr air o Saesneg, a wnewch chwi ufuddhâu iddo?" "Gwnawn," ebe y Cymry, gan floeddio mewn gorfoledd mawr. "O'r goreu," ebe Iorwerth, "mi enwaf i chwi dywysog o'r cynneddfau yr ydych chwi yn eu hewyllysio. Un ydyw na ŵyr yr un gair o Saesneg, ac nid oes un bai yn ei fywyd na'i fuchedd." Pan oedd y Cymry yn llawenhâu am y newydd hyfryd hwn, dywedodd Brenin Lloegr wrthynt, "*Ganwyd i mi* FAB *yn ddiweddar yn Nghastell Caernarfon, a hwnw a gaiff fod yn* DYWYSOG *i chwi!*" * * * * * Ac yna fe lefodd goreu gallai, yn yr Iaith Gymraeg, "*Wele* EICH DYN."

Derbyniwyd y geiriau atgas a thòrcalonus hyn gan y Cymry gyd âg yspryd blin a chwerw, a phrin y buont foddlon i dderbyn y baban; ond gan eu bod wedi addaw ufuddhâu, hwy a gytunasant i ryw raddau, ac er chwerwed oedd cwpan y siomedigaeth, yfwyd hi gan y Cymry yn dawel.

Yr unig obaith o gysur a adewsid i'r Cymry erbyn hyn oedd meddwl y gwnai y Tywysog ieuangc fyw yn eu plith, a gwneud eu hachos hwy yn achos iddo ei hun ym mhob dim a dueddai er eu lles a'u daioni; ond yn hyn hefyd fe'u siomwyd—gosodwyd swyddogion ereill i reoli Cymru, sef Arglwyddi y cyffiniau, yn nwylaw pa rai y rhoddwyd awdurdod diammodol i'w rheoli mal y mynent. Gallai y gwyr hyn ddwyn tiroedd ac eiddo oddiar y Cymry heb fod yn atebol am eu lladrad. Gallant gosbi, alltudio, a dienyddio y neb y mynent, heb fod yn gyfrifol am eu gweithredoedd. Dyma yn wir oedd dechreuad, gwreiddyn, a ffynonell caethiwed y Cymry.

Dan wialen awdurdodol a chreulondeb y gwyr hyn y bu raid i'r Cymry fyw am oesoedd meithion, nes darfu iddynt o'r diwedd ddigaloni, a syrthio i ddifaterwch dan y fath iau ormesol a hon, ac nid oedd ryfedd i un o'r hen feirdd ddywedyd,

> "Ni a roem yn wir yma
> "Dreth aur am lywodraeth dda."

Yn y cyfnwr arswydus ac anghysurus hwn, pan nad oedd ganddynt ddim ond eu nwydau i'w cyfarwyddo—dim swyddogion rheolaidd i'w trefnuso—nac mwyach yr un o'u tywysogion yn eu plith i'w calonogi—tra yr oedd eu meddyliau hefyd heb gael eu husio â chyfreithiau llareiddiol, dysg, celfyddydau, a masnach; parhâsant am hir ysbaid yn soredig, yn ddifater, yn ddiymdrech yn eu hachos eu hunain, ac yn dra dirmygedig yn ngolwg eu gelynion.

Pan oedd helyntion y Cymry yn yr amser yma, ofer oedd i'r amaethwyr wrth hau ddisgwyl medi o ffrwyth eu llafur, yn ofer y blagurai y twyni, ac y blodeuai y gerddi; er llawned fyddai y perllanau, er mor gnydfawr fyddai y meusydd, er mar lluosoced eu diadelloedd, ac er teced eu golygfeydd ar bob llaw, yr oedd y cysur o'r cwbl yn diflannu dan eu dwylaw, o herwydd yr ansicrwydd y caent byth lonyddwch i'w mwynhau!

Dyma ydyw y trueni gresynus ac annedwydd i'r hwn y darostyngwyd y Cymry, cynfrodorion Brydain. Y genedl a sangodd yn gyntaf ar yr ynys hon; rhan o'r hon a reolwyd ganddynt yn agos i ddwy fil a hanner o flynyddoedd. Yn y cyfamser hwn, hwy a wrol wrthwynebent fyddinoedd ymerodrawl *Rhufain*—a safasant yn erbyn ymgeisiadau a rhuthriadau creulon y *Pictiaid*, *Scotiaid*, a'r *Saxoniaid*, a thrwy amrywiol ddigwyddiadau anfanteisiol, a wrthwynebant holl rym y *Normaniaid*, a mynych yr enillent fuddugoliaethau enwog iawn.

*(I'w barhâu.)*

---

## Y SALMAU CAN.

Syr,—Llawer gwaith cyn hyn y meddyliais, yn awr a phryd arall, ysgrifenu atoch, ond fe'm lluddiwyd hyd yn hyn; a hyny o herwydd fy mod yn disgwyl y buasai rhyw un cyfaddasach na myfi yn cymmeryd dan ei ystyriaeth arawd a ysgrifenodd gwr a gyfenwai ei hun *C. N.* yn Rhifyn Mehefin, 1830, sef, yn ol a feddyliaf fi, *Canwr Newydd.* Digon tebyg mai Canwr Newydd yw efe: ond yr hyn a gymmerodd efe dan ei sylw ydyw y Salmau Cân, gwaith yr hen odidog Fardd, y Parchedig Edmund Prys, Archdiacon Meirionydd. Ar ol gwenieithio i chwi, Mr. Gwyliedydd, a'ch cyfarch o'ch hûn, y mae efe yn dywedyd am waith y gwr Parchedig yn debyg i hyn: "Darllenais yn ddiweddar, gyda rhywfaint o fanylrwydd, y Salmau Cân gan E. Prys: gwaith gorchestol yn ddiau yn yr amser eu cyfansoddwyd; ond syndod yw genyf mor wael ydynt yn gyffredin." Beth a feddylia efe wrth "*yn gyffredin*," nis gwn. Digon tebyg, Mr. Canwr Newydd, mai gwir y ddiareb, "Hoffus pob newydd, diddestl pob hen;" etto tybiaf fod gwaith molediw Edmund Prys yn rhy ddwfn a doeth, destlus a synwyrlawn, i'w ddiwygio; ac y byddai yn well i Mr. *C. N.* gyfansoddi rhai newyddion, mal y gwnaeth Eos Gwynfa, neu efelychu eiddo 'r Dr. Watts, sef cyfieithiad un Dafydd Jones o honynt, oni fedr efe ddiwygio gwaith E. Prys yn amgen nag y gwnaeth efe yn ei engraifft yn y Gwyliedydd, sef y 9fed Salm, fel y canlyn, yn y bedwaredd linell o'r penill cyntaf:

"Fy nyled yw ei ganmol."

Edmund Prys fel hyn:

"Ac mae 'n ddylêd eu canmol."

Tebygol yw na sylwodd Mr. *C. N.* ar y cyfieithiad gwreiddiol, yr hwn sydd fel hyn: "Mynegaf dy holl ryfeddodau;" yr hyn o'i droi ar brydyddiaeth a ragora ar eiddo *C. N.* ac yn hollol gyfystyr. Digon tebyg, pe buasai y Parch. E. Prys, yn byw yn yr oes hon, na buasai *C. N.* yn siglo ei safn, rhag myned yn rhy debyg i William Cynwal i golli 'r maes wrth farddoni, oni ddiwygiasai yn debycach nag y gwnaeth i'r cyfieithiad gwreiddiol. Am *Sternhold* a *Hopkins*, nid wyf yn gwybod, o ran ni ddarllenais nemawr yn yr iaith Saesoneg o waith y cynfeirdd. Tebygol, er godidoced y gallant fod, mal gwaith Edmund Prys, gan nad yw *C. N.* wedi eu harchwaethu yn bêr, y rhaid ei gyfrif yn wael a distadl. Ond gobeithio, Mr. Gwyliedydd, na bydd i *C. N.* eiddigeddu wrthyf

am i mi ryfygu sylwi yn fyr ar ei waith penigamp (distadl) ef. Ond tebyg nad ymryson ef â'r byw, namyn y meirw, y rhai na allant gyfodi yn ei erbyn; y rhai a ragorasant gymmaint yn eu hoes, ac a roddasant ffrwyth eu myfyrdodau er moli Duw, a llesbau eu cydgenedl, a'u dwyn o dywyllwch i feddiannu goleuni a diddanwch yr Yspryd. Da chwi, Mr. Gwyliedydd, ynghyd â'ch Gohebwyr parchus, cofiwch na adawoch i *C. N.* ddiystyru yr henafiaid, y rhai a ymdrechasant hardd dêg ymdrech y ffydd, ac a filwriasant dan faner yr Oen a welodd St. Ioan. Ac i'w diystyru hwynt a'u hanefelydd waith godidog, na foed i un Cymro byth mwy ymafael yn ei ysgrifell; os byddant am ymryson, gwnant â'r byw, ac nid â'r meirw, fel *C. N.* Tebygol yw mai gwr yw efe am dderchafu ei Fi fawr i fynu goruwch neb byw, na marw chwaith, o ddynolryw: ond ffordd annoeth a gymmerodd efe, trwy ddifrio gwaith rhai ereill, amgen o lawer nag ef ei hun: ond rhag blino neb â meithder, dibenaf, gan ddymuno can llwydd i chwi, Mr. Gwyliedydd, ac i'ch holl ohebwyr, a'ch derbynwyr.

Y Salmau 'n ddiau ryw ddydd—addefaf,
 Ddaw 'n ddifai, ysgatfydd;
 Pur ddiwygiad, rhediad rhydd,
 Cynar wna Canwr Newydd.

W. J. Jones.

Glan Sele.

---

DIFFYGION Y GWYLIEDYDD.

Barchedig Wyliedydd—Yn eich ymdaith misol drwy y gymmydogaeth hon, hoff dros ben genyf glywed eich llais yn dyrchafu i fynu, gan ddatgan i ni y newyddion am unrhyw beth tebygol o droi allan yn fantais sylweddol i ni. Mor nosol ydyw arnom yn y dyddiau hyn, fel yr ydym y naill fis ar ol y llall, yn disgwyl clywed eich llais rhybuddiol yn hysbysu i ni bod y wawr yn dechreu torri allan yn y naill gwr neu 'r llall. Llawer gwasgfa drom a aeth dros ein dwyfron heb i chwi gymmaint a sylwi arnom, llawer llai nodi allan beth oedd yr wrthfeddyginiaeth a ddylesid ei defnyddio genym. Ond er cymmaint y gall eich defnyddioldeb fod, ac er eich oed, a'r olwg hybarchus arnoch, wrth ystyried y berthynas sydd rhyngoch a'r wlad, fe allai na throseddid rheolau lledneisrwydd pe gosodid ger eich bron ychydig holiadau ynghylch y cyflawniad ffyddlon o'ch swydd.

A ddarfu i chwi, Barchedig Syr, dro ar ol tro, ddywedyd, beth oedd y moddion a ddylesid eu defnyddio, tebygol, dan fendith Rhagluniaeth, i wellhau cyflwr y tlodion? A ddarfu i chwi nodi allan pa fanteision a ddeillia i'r ffermwyr, ond yn enwedigol i'r llafurwyr, oddiwrth gefnogi yr arferiad o'r rhaw hwsmonaeth? A ddarfu i chwi ddangos y dymunoldeb, a'r chwanegiad at gysuron y tlodion, fyddai iddynt gael erw neu ddwy at eu bythod, a hyny am ardreth deg a rhesymol? A ddarfu i chwi ddwyn dan sylw perchenogion tiroedd gymmaint o dir gwyllt dilafur sydd yn Nghymru, ac y gellid ei droi i fod yn ffynhonell o gyfoeth iddynt hwy, ac yn ystôr diddarfod o waith i'r tlodion? A ddarfu i chwi ddatgan y diffyg o ddysgeidiaeth sydd yn Nghymru, a'r mawr angenrheidrwydd sydd am ychwaneg o ysgolion yn ein plith? A ddarfu i chwi erioed roi awgrym am amgen ffordd na'r hon, hyd yn hyn, a ddefnyddir i gyfranu addysg yn yr ysgolion? Beth ydyw eich barn chwi am y dull presenol o ddysgu 'r iaith Saesonaeg yn yr ysgolion i Gymry—ac onid ellir eu dysgu yn negfed ran o'r amser a ddefnyddir at hyny yn bresenol? Paham yr ydych mor ddistaw ynghylch ystad y ffermwyr; nid cof genyf eich clywed yn

crybwyll nad oes yn bossibl iddynt dalu cymmaint o ardrethion yn awr ag a allasant dalu yn y blynyddau cyn dechreu y rhyfel â Ffraingc, a llawer llai dalu ardrethion a dalwyd yn amser y rhyfel; a bod yn orthrwm ar feistradoedd tiroedd geisio y cyfryw ardreth ganddynt? Beth, dybygech chwi, oni ddylasech chwi nodi allan, fis ar ol mis, a hyny wrth eu henwau, y meistradoedd tir a wnaethant y weithred hòno o gyfiawnder â'u tenantiaid o ostwng ar eu hardreth; a'u dal i fynu, y'ngolwg holl Gymru, fel boneddigion addas i ereill ddilyn eu hesamplau? Nid côf genyf ychwaith i chwi fynegu i ffermwyr Cymru am ddull eu cymmydogion y Saeson yn trin eu tiroedd, gan nodi allan unrhyw beth y gallant fod yn rhagorol ynddo—a'u hannog i ddefnyddio, neu o'r hyn lleiaf i roi prawf ar y cyfryw beth? Onid ychydig iawn a glywais i chwi ddywedyd am gyfreithiau Lloegr, na dim am ei ffurf lywodraeth? Oni fuoch yn o brin bob amser yn adrodd dim am egwyddorion y celfyddydau? Rhaid fy mod yn ddrwg fy nghôf, os clywais chwi erioed yn annog y werin i ymwthio ym mlaen mewn dysg a gwybodaeth, nac yn rhoi un cyfarwyddyd iddynt i hyny, oddigerth mewn pethau crefyddol? Dylid, yn ddiammeu, fod yn ddiolchgar i chwi am eich darlith ar *Anianyddiaeth* yn y Rhifyn diweddaf: ond, Barchedig Wyliedydd, dylid dal mewn côf, na ellir disgwyl i genedl o ddynion gynnyddu mewn dysg a gwybodaeth heb i ryw gyfundraeth reolaidd ac effeithiol gael ei defnyddio i'r diben hyny: ac a ddarfu i chwi un amser sylwi ar hyn, a nodi allan unrhyw gyfundraeth? Beth, attolwg, a fuoch yn ei wneyd drwy y blynyddoedd? Fe ddarfu i chwi, ddigon gwir, ddweyd wrthym yn fynych am lofruddiaethau hynod yn y fan yma, a digwyddiadau anarferol yn y fan accw, a marwolaeth hwn, a dyrchafiad y llall; ac yn lle myned i wario ein ychydig geiniogau y'nghyfeddach y dafarn, tybiasom yn fwy manteisiol i ni ymddifyru ein gilydd wrth y pentan gartref yn adrodd chwedlau a glywsom gan y Gwyliedydd; eithr onid oedd yn bossibl i ni gael ein cynnysgaeddu â gwybodaeth fwy sylweddol? Beth, dybygech chwi, am Hanesyddiaeth, Daearyddiaeth, ac Anianyddiaeth, yn eu holl a gwahanol ranau. Oddigerth i'r Cymry fod yn hysbys o hanesyddiaeth, a helyntion gwahanol genhedloedd, yn ngwahanol oesau y byd, a bod wedi eu cynnysgaeddu â'r addysgiadau a geir oddiwrth oesoedd o broffiad—onid ellir dywedyd, gyda llawer o briodoldeb, fod y byd etto yn Nghymru yn ei fabandod—a bod yn rhaid i oesoedd dreiglo drosodd cyn y byddo cyflwr y Cymry cyfuwch âg eiddo eu cymmydogion y Saeson? Tyred ym mlaen, ti hynaws Wyliedydd, a gad i ni unwaith dy weled wedi ymddiosg at dy orchwyl. Caniataer i ni sylwi, mai dymunol dros ben fyddai gweled unrhyw ddyfais newydd yn cael ei chynnyg, rhyw welliant mewn hwsmonaeth, neu ymdriniaeth teuluol yn cael ei osod ger bron, rhyw wybodaeth o elfenau egwyddorion y celfyddydau yn cael ei chyfranu, neu unrhyw beth yn cynnwys tuedd ynddo i'n gwneyd yn fwy doeth a mwy cysurus.

BARRAS.

---

## TAITH AC ANTUR DEWI AB LLYR.

(Parhad o du dal. 145.)

ADRODDODD Dewi ab Llyr y cwbl wrtho yn ddiduedd. Ar yr achos presennol nid oedd dim a allai ei dueddu i fod yn rhagrithiol ynghylch y gwirionedd. Cymmaint oedd ei ofal i lynu yn ddi-

ysgog wrth y gwir fel na's celasai ddim, pe buasai hyd yn nod yr holl fai arno ef ei hun. Casineb cyflawn oedd ganddo tu ag at ragrith. Pan dawodd Dewi ab Llyr a sôn, gofynodd Syr Gronwy, "Ai gwir hyn, Bleddyn?" Ond efe, o herwydd ei euogrwydd, nis meiddiodd ateb gair. "Y mater hwn a gaiff ei benderfynu ger bron llŷs milwraidd; am hyny, ni ddywedaf ddim yn rhagor ar y pen hwn yn bresennol," ebe Syr Gronwy, gan rodio ymaith gyda Dewi ab Llyr tua phenlle y Gaer. Pan gyrhaeddasant y lle, yr oedd yno lawer iawn o annrhefn. Yr oedd Rhonwen wedi syrthio mewn llewyg, a'r morwynion yn rhedeg yn wyllt o un man i'r llall; rhai yn ysgarmain; ereill yn gwasgu eu dwylaw, ac yn tywallt dagrau; ac nid oedd neb barotach i'w chynnorthwyo a'i hadferu na Dewi ab Llyr; ac er mawr lawenydd iddo ef, a phawb o amgylch, ni bu hi ond ychydig amser heb wellhâu. Fe ymddengys i filwr, wrth fyned heibio, a'u gweled hwy yn ymladd, yn ei wylltineb a'i frys i roddi hysbysrwydd i Syr Gronwy, gamgymmeryd y naill am y llall; canys dywedodd iddo ganfod Dewi ab Llyr yn ymladd ornest âg un o'r cadbeniaid, a'i fod ef wedi cael ei glwyfo. Y newydd hwn a dreiddiodd fel cyflym saeth trwy galon Rhonwen; methodd a chynnal yr ergyd; a syrthiodd yn ddisymmwth mewn llewyg ar y llawr. Pan agorodd hi ei llygaid, a gweled Dewi ab Llyr yn sefyll ger ei bron, yn iach ddiangol, heb un clwyf, er cymmaint oedd ei hymdrech tufewnol i ymddangos yn ddigyffro, "treiglodd dagrau o lawenydd ar draws ei gruddiau, fel gwlith boreuol yn syrthio yn gyflym oddiar rosyn cyflawndwf." Ni ddywedodd wrtho air; ond ei llygaid a lefarasant wrtho yn fwy hyawdl na phe defnyddiasai hi yr araith fwyaf godidog. Ei hymddygiad, dan yr amgylchiadau presennol, a'i gwnaethai ef yn llwyr foddlon i'w sefyllfa, pe dychwelasai yn ol yn glwyfedig ac mewn poen. Pa mor orfoleddus ynte oedd, ag efe yn ddifriw, pan ganfu yr hon na chyfaddefai mewn geiriau fod ganddi serch tu ag atto, ond mewn gweithred yn dangos hyny trwy brofion anwadadwy, pan dybiodd hi ei fod ef mewn perygl o golli ei fywyd?

Ym mhen ychydig ddyddiau ar ol y digwyddiad hwn, pan oedd braich Bleddyn yn dechreu gwellhau, rhoddodd Syr Gronwy Hael orchymyn i lŷs milwraidd gymmeryd y mater mewn llaw, a barnu yr euog yn ol cyfiawnder. Wedi i Dewi ab Llyr a Bleddyn gael eu gosod wyneb yn wyneb, darllenwyd y cwyn ar gyhoedd, a holwyd Dewi mewn perthynas i'r ymgyrch a wnawd arno. Yntau a aeth drwy y cwbl yn fanwl; ac wrth derfynu dywedodd, "Ei fod yn gobeithio na fyddai y Barnwyr yn rhy dost yn erbyn Bleddyn; canys credu yr oedd iddo ymosod arno yn fyrbwyll, pan oedd ei waed yn frŵd, ac nad oedd ganddo falais yn ei erbyn ef o'r blaen." Atebodd Iestyn, y blaenor, ef—"Nyni a ystyriwn y rhan ddiweddaf o'ch ymadrodd maes o law; ond dymunem yr awrhon glywed pa beth sydd gan Bleddyn i haeru mewn ffordd o amddiffyniad; canys y mae yn sicr fod ganddo ryw esgus i'w ddwyn ym mlaen am yr hyn a wnaeth mewn modd mor ddieithr ac anfoneddigaidd." Trodd Bleddyn atto yn llawn digofaint; a chyda gwyneb o bres, a'i lygaid megys yn fflamio gan dân, a ddywedodd—"Yr wyf yn canfod wrth y modd yr ydych yn ymdrin ar yr ymholiad hwn, nad oes ond ychydig obaith i mi gael gwrandawiad diduedd, a chwareu teg. Pan ystyriwyf y berthynas sy rhwng Syr Gronwy Hael a Dewi ab Llyr fy ngwrthwynebwr; a phan yr wyf yn gwybod fod pob un o'r

rhai hyn sydd yn eistedd yn farnwyr arnaf yn gyfeillion mynwesol i'r Llywydd, fe ymddengys i mi, nad yw yn debyg y gwrandewir arnaf fi yn amyneddgar, pan y bwyf yn dieuogi fy hun, ac na chaf gyfiawnder ar law Barnwyr y Llŷs hwn. Ewch ym mlaen â'ch gorchwyl; canys nid ymostyngaf i ddywedyd dim yn ychwaneg ar y pen hwn." Wedi gwneuthur yr araith fer a rhyfeddol hon, eisteddodd Bleddyn i lawr yn sarug. Ar ol hyn awd ym mlaen â'r prawf; a thyngodd tri o filwyr iddynt weled Bleddyn yn rhuthro yn ddiatreg ar Dewi, a gwneud awgrym i'w drywanu â'i gleddyf, cyn i Dewi wneud ymdrech yn ei erbyn ef; ac nis meiddiodd Bleddyn wrthbrofi y tystion hyn. Iestyn (na'r hwn nis gallesid cyfarfod un yn fwy cyfrifol; ond carai yn fawr ddangos ei wybodaeth o'r ieithoedd dysgedig, trwy adrodd darnau o honynt ar bob achlysur) ar ol cydymgynghori â'r rhai o'i amgylch, a safodd i fynu, ac a draddododd ei farn yn erbyn Bleddyn yn y modd canlynol:—"Bleddyn ab Iorwerth, y mae 'n ymddangos i mi, cyn eglured a llewyrch digwmwl haulwen haf, ac nid yn unig i mi, ond yn wir i bawb sydd yn eistedd gyda mi ar yr achlysur annymunol hwn, eich bod wedi ymarweddu mor anfoneddigaidd, mor anwrol, ac mor anfilwraidd ag oedd ddichonadwy i un yn eich gradd a'ch sefyllfa chwi ei wneuthur. Yr oeddych wedi dangos eich eiddigedd ar lawer o achosion, o herwydd llwyddiant milwraidd Dewi ab Llyr. Eich dilys destyn bob amser feddyliwn oedd, '*Proximus sum egomet mihi.*' os da genyf arall, gwell genyf fy hun. A anghofiasoch y rheol euraidd hono, 'Câr dy gymmydog fel ti dy hun?' Mae eich ymddygiad yn dangos hyny yn amlwg; canys defnyddiasoch bob cyfleusdra i wneuthur Dewi ab Llyr yn ammhoblogaidd ym mhlith y milwyr, a'i enllibio yn lladradaidd ger bron y swyddogion; ac ar ol ymdrechu ei niweidio yn ei gymeriad, arddangosasoch eich du gasineb tu ag ato ym mhob modd ag y gallasech, gan wirio yn rhyfeddol sylwad cywir yr hanesydd Rhufeinig Tacitus, '*Proprium humani generis est odisse quem laeseris,*' naturiol ydyw i ddyn gasau yr hwn a niweidiodd. Nid oeddych yn boddloni ei waradwyddo ym mysg ei gyfeillion a'i gydfwytâwyr, er cymmaint oedd eu hymdrechiadau i'ch attal rhag defnyddio eich iaith anfoesgar ac enllibaidd; ond penderfynasoch, y mae 'n debyg, yn y diwedd, i gymmeryd ei fywyd ymaith, er mwyn rhyngu bodd i'ch tymher ffyrnigwyllt anfaddeugar, a'ch nwydau ysgymun anfeistroledig. Mynych y cynghorwyd chwi ar y pen hwn; ond, ysywaeth, gwir a ddywed hen awdwr synwyrol, '*Frangas citius quam corrigas quæ in pravum induruerint,*' haws yw tòri hen bren na'i blygu. Dedfryd y Llŷs hwn ydyw, Fod i Bleddyn ab Iorwerth gael ei ddiraddio, a'i anfon ymaith o'r Gaer hon, ynghyd â'r hyn oll a berthyn iddo yn ddiaros."

Ar ol cyhoeddiad y ddedfryd hon, rhoddwyd hi yn ddiatreg mewn grym, drwy dywys Bleddyn allan o'r Gaer. Yr oedd ei gynddaredd yr awrhon wedi cyrhaedd i radd ddychrynllyd; a sicr yw, y buasai yn llawenydd annhraethol iddo, pe gallasai fod yn offerynol i ddwyn cyfyngder a dinystr anocheladwy ar y Gaer, a phawb o fewn i'w muriau; yn lle myned adref at ei gyfeillion, aeth Bleddyn yn uniongyrchol i wersyll y gelynion, ac addawodd iddynt, y byddai efe yn barod ar bob achlysur i ddefnyddio ei fedrusrwydd, ac arddangos ei wroldeb a'i wybodaeth, trwy arwain corph digonol o filwyr i wneuthur ymgyrch egniol ar y lle mwyaf rhuthradwy. Derbyn-

iwyd ei gynnyg gyda bonllefau; a dywedodd y Llywydd wrtho, ei fod ef, a phawb o'i amgylch, yn rhwymedig iddo am ei barodrwydd i roddi cynnorthwy iddynt—ac y cawsai, ym mhen ychydig ddyddiau, lawn gyfleusdra i hynodi ei hun trwy ei ddewrder: canys, eb efe, yr ydym yn bwriadu, trwy fradglawdd, i chwythu 'r Gaer â phylor i entrych awyr, os methwn yn ein hymgais i ddwyn y gwarchaëedigion i iawn ystyriaeth o'u sefyllfa beryglus, a'u tueddu ar unwaith i roddi i fynu eu hamddiffynfa.

Ym mhen rhai diwrnodau ar ol i Bleddyn fyned drosodd at blaid y trawsfeddiannwr, o herwydd nas gallasent trwy eu hamrywiol ymegnïadau gymmeryd y Gaer drwy drais a rhuthr, penderfynasant weithio bradglawdd yn y lle mwyaf cyfleus i'r perwyl hyny. Ac un boreu, pan oedd yr haul yn dechreu saethu ar led ei belydrau yn wanaidd uwchlaw y terfyngylch mynyddig, a phan nas canfyddid gwrthddrychau ond yn aneglur, arweiniodd Bleddyn filwyr i'r tu gwahanol i'r hwn yr oeddynt wedi parotoi gwrthglawdd, er mwyn tynu sylw 'r gwarchaëedigion oddiwrth yr hyn yr oeddynt hwy yn ei fwriadu: ymosodasant yn fywiog a diflino ar y tu hwnw i'r Gaer, a llawer o bob ochr a drosglwyddwyd i fyd yr ysprydoedd yn yr ymladdfa waedlyd hòno; ond wedi iddynt osod y cwbl mewn trefn tu ag at chwythu i fynu ran o'r Gaer, yn unol â'u cydgyngor blaenorol, bloeddiasant ar unwaith, nes oedd y bryniau a'r glynoedd yn dadseinio o'u hamgylch. Ac wedi i filwyr Cromwel gilio yn ol ar frys i le diogel, taniwyd rhes y pylor dinystriol, a rhwyg anferthol a wnawd yn y mur. Yna gwthiasant eu hunain ym mlaen yn un corph cadarn tu a'r adwy, trwy 'r mwg a'r llwch, a thros yr adfail, fel tòn gynddeiriog y môr, a llanwyd y rhwyg o'r deutu'gan y goresgynwyr. Gwelid Syr Gronwy Hael, a Dewi ab Llyr, y tu blaen i'r gadres, yn ymladd yn ddewrwych—ac yn annog y milwyr dychrynedig, â'u llais a thrwy eu hymddygiad, i daro eu gelynion yn ddiarbed gyda nerthol fraich, a chadarn galon. Gwasgodd y ddwy blaid cyn agosed at eu gilydd, fel nad oedd modd i'r naill blaid na'r llall ddefnyddio eu cleddyfau, a'u gwn-fidogau. Ffyrnig oedd yr ymdrech o'r ddau du: ym mhen ychydig, trwy annogaeth galonog y Llywydd, a'u dewrder anghydmarol eu hunain, gyrodd y gwarchaëedigion eu gelynion, a anturiasant i'r rhwyg, i lawr bendramwnwgl dros y mur.

Y prydnawn canlynol i'r ymgyrch hwn, cydymgynghorodd Syr Gronwy Hael, a Dewi ab Llyr, ynghylch diogelwch ei wraig a Rhonwen, a'u morwynion; a phenderfynasant eu trosglwyddo hwynt ymaith y noson hòno, os byddai bossibl, allan o gyrhaedd milwyr Cromwel; canys yr oedd tu hwnt i allu dynol iddynt hwy, ag oedd cyn lleied o nifer, wrthsefyll yn hir bellach eu gwrthwynebwyr, ar ol i rwyg gael ei agor yn y mur, ac amryw o'r milwyr gael eu difetha. Yn unol â'r cydgyngor hwn, parotoisant bob peth gogyfer a'u hymadawiad. Bwriadwyd iddynt ymadael yn nhrymder y nos trwy 'r porth bychan y tu ol i'r Gaer, gogyfer â'r hwn nid oedd neb o'u gelynion yn dig wydd aros yr amser hwnw, dan dywysiad Dewi ab Llyr, a thri neu bedwar o filwyr nerthol a chalonog i'w hamddiffyn. Pan oedd pob peth wedi ei osod mewn trefn iddynt adael y Gaer, nid oedd un yn y fan heb ddagrau ar ei ruddiau. Gwelid Syr Gronwy yn ymaflyd yn llaw ei wraig, a'i wyneb tu a'r llawr, megys mewn syn fyfyrdod, ac mewn trymder calon. Wedi bod yn ddistaw am rai mynydiau,

trodd at y swyddogion milwraidd, gan ddywedyd, "Fe allai yr ymddengys fy ymddygiad presennol i chwi yn rhy fenywaidd i hen filwr a welodd lawer o wasanaeth; ond, fy nghyfeillion, er galeted yw fy nghorph, ac er mor ddiysgog yw fy yspryd i wrthsefyll ymgyrch a thrais gelynion; etto nid oes gywilydd arnaf gyfaddef nad yw fy nghalon hyd yn hyn wedi ei haiarnu gymmaint ag i fod yn annheimladwy i gynhyrfiadau gwresog cyfeillgarwch. Caled iawn, i deimladau dynol, ydyw ysgariad o'r fath hwn, a than yr amgylchiadau presennol. Duw yn unig a ŵyr pa un a gawn ymgyfarfod y'tu yma i'r bedd! Ei ewyllys ef a wneler. Ar ol y cwbl, fe rydd yr ystyriaeth hyn gysur i mi, fy mod wedi ymdrechu, hyd eithaf fy ngallu, i ymladd dros fy Mrenin, fy ngwlad, a'm cenedl, a fy mod yn credu fod cyfiawnder o'm tu." Yna, gan droi ei wyneb at Dewi ab Llyr, eb efe, "Yr wyf yn cyflwyno fy ngwraig a Rhonwen i'ch gofal a'ch nodded; tan fantell gysgodawl y nos, chwi a ellwch, yr wyf yn gobeithio, gyrhaedd Castell — yn hawdd cyn gwawrio y boreu. Ac am fod Rhonwen a'i bryd ar ddychwelyd i Sir Gaernarfon at ei theulu a'i chyfeillion, gwell ydyw cymmeryd mantais o'r cyfleusdra presennol iddi fyned dan eich tywysiad cyn i'r terfysgoedd sydd yn gorchuddio y parthau hyn o Gymry fyned fel gorllif yno. Am danaf fy hun, mi a roddaf y Gaer i fynu i'm gelynion ar y tileran goreu, y mwyaf manteisiol, ac anrhydeddus, i'm cydfilwyr, ac i mi fy hunan, ag a fyddo ddichonadwy. Byddwch iach! byddwch iach! fy hoff gyfeillion sydd yn ymadael. Yr Arglwydd a'ch bendithio yn dymhorol ac yn ysprydol, ac a'ch tywyso â'i anwrthwynebol fraich i le o ddiogelwch."

*(I'w barhau.)*

### *Ymdaith y Parch. Mr. Lieder yn yr Aipht Isaf, yn 1829.*

(Parhâd o du dalen 118.)

Mansoura. *Awst* 5. Y mae oddeutu 40 o deuluoedd Coptaidd, a chanddynt un Eglwys, un *Kumus*, ac un Offeiriad cyffredin. Yn y ddwy Ysgol sydd ganddynt nid oes ond ychydig o blant: un a gynnwysa saith, a'r llall bymtheg, o ysgolheigion. Ar geulan y *Mansoura*, yr hon a ymarllwysa i lyn *Menzelath*, y mae dau bentref yn y rhai y preswylia Cristionogion: un o honynt sydd awr* o bellder, a elwir *Eretenie*, ac a gynnwysa wyth o deuluoedd Cristionogol, un Eglwys, a dau Offeiriad. Yn y llall, ag sydd awr yn mhellach, mae ugain o deuluoedd heb nac Eglwys nac ysgol: gelwir hwn *Selamounne*. Y Cristionogion a ânt i addoli i Eglwys *Eretenie*. Gwelais amryw o Gristionogion y ddau bentref, ac anrhegais hwynt â rhanau o'r Ysgrythyr. Ar y lan orllewinol, gyferbyn a *Mansoura*, oddeutu dwy awr i'r tir, mae tref *Narbarong*: yma mae gan y Pacha annedd, lle y preswylia yn fynych: mae yma hefyd ddeg o deuluoedd Coptaidd. Boreu heddyw anfonais fy ngwas i'r gwahanol *Divans* yn *Mansoura*, lle mae y Coptiaid yn benaf yn ysgrifenyddion. Y rhai cyfoethocaf o honynt a ddywedent eu bod yn meddu yr Ysgrythyrau; a'r lleill a ganmolent y Llyfr, gan ddywedyd, "Mae y Llyfr yn dda, ond nid oes genym arian i'w brynu." Ni phrynwyd un: yna danfonais fy ngwas drachefn i gynnyg rhai iddynt yn rhad, os dymunent gael Gair Duw, ac yn rhy dlodion i'w brynu: ac os deuent ar fwrdd y llong, y rhoddwn iddynt ranau o'r Bibl. Wedi hyny ymwelais âg Eglwys y Coptiaid, y rhai, fel y'mhob lle arall yn yr Aipht, oeddynt yn bur dywyll am eu cyflwr ysprydol. Yn mynwent yr Eglwys, lle mae yr Ysgoldy, cyfranais rhwng y bechgyn *gopïau* o'r Actau, a Thraethodau cyfaddas. Ar ôl dychwelyd i'r bâd, anfonais fy ngwas i'r Ysgol arall i wahodd y Meistr i ddyfod i'r bâd i dderbyn llyfrau i'r Ysgolheigion; ond ni ddeuai. Mynegodd y Cristionogion i mi na ewyllysiai y Meistr i'r plant eu cael, oblegid y gostyngai hyny ei gyflog; canys yn awr derbyniai dâl am ysgrifenu gwersi ar ddalenau o goed a llechau.

*Awst* 6. Neithiwr aethum heibio i bentref lle y dywedir fod llawer o Gristionogion yn preswylio ynddo, y rhai ydynt gan mwyaf yn byw ar amaethyddiaeth; ni fedrant ddarllen. Enw y pentref ydyw *Busat-en-Nausara*, neu *Busat* y Cristionogion, i'w wahaniaethu oddiwrth *Busat* y Mahometaniaid sydd yn sefyll yn agos

* Dywediad cyffredin am bellder yn y Dwyrain.

i lan ddwyreiniol y fraich hon o'r afon Nilus. Tua chanol dydd cyrhaeddasom *Theabin*, tref fechan ar yr ochr orllewinol, lle y mae tri *Mosque*, a deuddeg *Mallims*, y'ngwasanaeth y Pacha, i'r rhai y gwerthais ranau o'r Ysgrythyr. Un o'r Tyrciaid mwyaf cyfrifol, wedi gweled y Llyfrau yn nwylaw y Cristionogion, a ddanfonodd ei was ataf i ymofyn am un yn ei iaith ef ei hun: danfonais iddo y Testament Newydd, yr hyn a'i boddhaodd yn fawr. Eithr yn y man digwyddodd i Gopt weled y Llyfr, a dywedodd wrtho mai Llyfr i'r Cristionogion ydoedd, ac a waharddodd iddo ei gadw; gan hyny efe a adferodd y Llyfr i mi.

Damietta. *Awst* 7. Tu a'r nawn laniasom ar gyfer tref *Damietta*, sefyllfa yr hon sydd ar ochr ddwyreiniol y fraich yma o'r Nilus; a chyferbyn iddi saif pentref a elwir *Samanieh*. Yr afon Nilus sydd yma yn dra llydan a dofn, fel y gall llestri mawrion ddyfod i fynu o'r môr. Oddeutu tair awr oddi yma, y fraich hon o'r afon a ymarllwysa i'r môr. Ymddengys y dref oddiar lan yr afon fel tref arfordirol; ond nid yw ei hansawdd tufewnol ddim gwell na threfydd ereill yr Aipht. Canfyddais oddiar fwrdd y llong rhwng 20 a 25 o dyrau Mosques, y rhai a roddent i'r dref olygiad prydferth. Yma preswylia Os-Gynghorwyr yn perthyn i bob cenedl a fordwya ar Fôr y Canoldir. Os-Gynghorwr y Saeson yw Mr. Sareer, yr hwn a anwyd yn yr Aipht, ac yn aelod o Eglwys Rhufain. Ymddygodd tu ag ataf yn dra serchaidd, ie, wedi iddo ddeall mai Cenhadydd oeddwn, yr hyn ni ddigwydd bob amser. Yn gyffredin derbynir fi yn gariadus ar y cyntaf, megys dieithrddyn yn teithio er difyrwch; eithr cyn gynted ag y dealla y trigolion mai Cenhadydd ydwyf ni allant gelu eu siomedigaeth, a throant eu cefnau arnaf yn dra buan, gan fy ystyried yn ddyn tra enbydus. O! bydded i mi lwyddo, drwy drugaredd Iesu Grist i droi llaweroedd oddiwrth eu hunanoldeb, a hûn angeu, a alwant hwy yn heddwch, at wybodaeth o'u perygl, ac felly eu dwyn at Grist ein Hiachawdwr. Yn ebrwydd wedi i mi gyrhaedd yno Cynghorydd Lloegr a anfonodd ei ysgrifenydd gyda march i'm cyrchu i'w anneddle yn y wlad, lle y preswylia yn yr hâf; ac er i mi hysbysu iddo fod gorfod arnaf, fel Cenhadydd, dreulio fy amser ym mhlith dynion yn cyflawni gorchwylion fy swydd, cymhellodd fi i dreulio y diwrnod a'r noson hòno gyd âg ef. Dangosodd i mi lawer o barch.

*Awst* 11. Yn Damietta mae lluaws o Gristionogion o wahanol enwau; oddeutu 170 o deuluoedd Pabaidd, y rhai a feddiannant Eglwys fawr, dau Offeiriad Rhufeinaidd, ac un Moroniliaidd. O'r Groegiaid, 70 o deuluoedd, a chanddynt un Eglwys a Monachlog. O'r Armeniaid, 10 o deuluoedd, ac un Eglwys, un *Kumus*, ac un Offeiriad cyffredin. Treuliais y diwrnod cyntaf yn nhŷ Ysa Petros gyd â'i Dad. Yma ymwelwyd â mi gan bob math, yn enwedig y Groegiaid. Gresynais yn fawr nad allwn foddloni ond ychydig o honynt, am iddynt oll ddymuno cael y Testament Newydd a'r Salmau yn yr iaith Roeg. Llawer o'r Pabyddion a ymwelsant â mi. Nid ydynt mor ofergoelus ac eiddigus yma ag mewn rhai lleoedd ereill. Un o'r Offeiriaid a alwodd arnaf yn fynych. Cyfarfyddais â llaweroedd wedi suddo yn hylwyr i anghrediniaeth. Llawer a ofynasant am y *Koran* a'r *Harari* yn hytrach nag am Air y Bywyd.

*Awst* 14. Yn ystod y deuddydd diweddaf, ychydig a ymwelasant â mi. Cymmerais long arall heddyw, gan arfaethu cychwyn yn dra bore yfory. Amcenais ar y cyntaf dramwyo ar hyd y tir gyda chamelod ar lan Môr y Canoldir hyd at *Rosetta*; eithr gan fod fy stôr o Fiblau Arabaeg yn rhy drwm i'w gludo; oblegid yma methais werthu braidd un—buasai y cyfryw daith yn rhy faith a threulgar.

*Awst* 17. Tu a'r hwyr glaniais ar gyfer *Mansoura*. Fy mwriad oedd myned oddi yma i ymweled â'r fangre enwog, i'r hon yr ymgyrcha y pererinion Coptaidd, ac hefyd â beddrod y *Setto-Damiane*, yr hwn a elwir gan y Coptiaid yn llygredig Gamiane, er mwyn canfod y drychiolaethau a'r gwyrthiau rhyfeddol a soniais am danynt yn fy llythyr diweddaf. Eithr pan ddatgenais fy mwriad i Offeiriad sydd yma, dywedodd ei bod yn ansicr a ymddangosai y Sant y pryd hyn ai peidio; ac y byddai ei ymddangosiad ar wyl *Setto-Damiane* yn gyffredin, ond ar amserau ereill yn anghyffredin. Cynnelir yr wyl ar y 12fed dydd o *Bashun*, sef y 19eg o Fai, a pharhâ am ddeng niwrnod.

*Awst* 21. Boreu heddyw hwyliasom heibio congl ogleddol y *Delta*, a chyrhaeddasom fraich orllewinol y Nilus. Echdoe gofwyais ddau bentref, lle preswyliai Coptiaid na wybum am danynt wrth fyned i lawr. Enw y cyntaf yw *Mit-berreh*, ar yr ochr orllewinol i'r fraich hon o'r Nilus. Cynnwysa oddeutu 20 teulu, ac un Offeiriad; y rhan fwyaf a honynt sydd yn bur dlawd. Anrhegais hwynt â rhanau o'r Ysgrythyr a Thraethodau, y rhai a dderbyniasant yn llawen. Y pentref arall, a elwir *Benalasal*, o'r tu dwyreiniol, yn cynnwys ynghylch deg o deuluoedd, heb Eglwys. Gwerthais yma amryw o'r Salmau Coptaeg, a rhoddais i rai y Pedair Efengyl a'r Actau.

*(I'w barhâu.)*

## YR IAITH GYMRAEG.

MR. GWYLIEDYDD,

MAE rhai dynion yn Nghymru, na chlywir braidd sôn am danynt mwy na phe na byddent; ond pan dygwydda i rywun gynnyg ar goleddu a choethi ein hen iaith arddercháwg, yna cyfroant vel llewod am eu rhanc, a neidiant ar vrys oddeu cilanau, i geisiaw rhwystraw y bwriad er mor ragorawl ydyw; hyny yw, ymegniant hyd eithav eu gallu, i gadw eu cydwladwyr mewn *anwyg* a *thywyllwch*.

Pan welais gynnygiad Ioan Tegid (val y geilw ei hun) i ddiwygiaw arddygraf beius y Llyvr (Bible) ymddangosai i vi mor iawn a didramgwydd, vel y tybiwn nas cafai ond derbyniad croesawgar gan bawb yn y Dywysogaeth; a llonwn wrth veddwl bod argrafiad newydd odd yr Ysgrythyr i ymddangos gyda yr vath welliant. Llawenychwn am y byddai iaith y Llyvr gwerthvawrocav sy genym yn *goethach;* ac am vod y gwaith dan oval a golygiad gwr mor ddysgedig, ac yw y Parchedig J. Jones o Rydychain; gwaith cyhoeddus yr hwn a dystia, ynghyd ac yr amrai wobrwyon a thlysau a dderbyniodd gan Eisteddvodau am ei Lenoriaeth Cymreig, nad gweniaith gwedyd, ei vod yn eithav galluawg ac addas idd y gorchwyl. Ond yn lle ei gevnogi yn y bwriad clodwiw, dyma ryw Mr. Knight yn taenu llyvryn ar led y wlad er ei luddiaw; gormod evallai, vyddai cyhuddaw y gwr hwnw o ddyben anghywir, ond pybynag oedd yn ei olwg wrth gyhoeddi y vath lyvryn, diau nad ysgogodd ddim ar sail Mr. Jones; yn hytrach roddai iddo gyvleusdra neullituawl i wrthebu, yr hyn a wnaeth mor orchestawl ac anhyddadl, ac i wneyd (vel y barnwyv) un sylwad gan neb yn rhagor, yn gwbl avreidiawl.

My unig gwyn oedd, nad aethai ein cydwladwr ychydig pellach yn ei ddiwygiad; sev, dodi *v* yn lle *f*, ac *f* yn lle *ff*, yn ol argrafiad y Parchedig Moses Williams. Pwy na alwai y Saeson yn fyliaid, be dodent *fain* am *vain*, *fery* am *very*, *ffaint* am *faint*, &c. &c. Ond ai byddai hyny ynvytach nac yw ein harddygraf presennawl.

Da gan bawb a garont dduwioldeb a moes weled dynion yn eiddigus dros y Gwirionedd, ac yn gwylied rhag arveru geiriau ei *llygru* neu ei *tywylla*; ond na vydded genym *aidd* heb *bwyll*. A wnai yr hyn a gynnygia Mr. Jones, neu, a wnai dodi *v* yn lle *f*, ac *f* yn lle *ff*, yn y modd lleiav *lygru* neu *dywyllu* y Gwirionedd? Atebai pob dyn diduedd, *na wnai*. Oni byddai yn hytrach, yr iaith, o vod yn *eglurach* a *phurach*, yn vwy tueddawl i *amlycau* y Gwirionedd? Os byddai, paham y gwrthwynebir yr amcan? Paham bydd y bobl a ymfrostia gymaint, yn *mhurder*, *helaethder*, a *chyclaerder* eu hiaith, yn folach nac ereill, a moddion gwellâd yn eu meddiant?

Cov genym ovyn i wr hybarch o bregethwr, py arverai y gair *sicr* wrth lavaru? "O," ebe eve, "onid yw *sicr* yn y Bibl." "Ydyw," meddwn inneu, "ac mae *temtasiwn* yno hevyd; ond nid yw hyny yn ei wneyd yn *Gymraeg*." "Wel," meddai yntau, "ni wn i ddim, gwell gan i ryw syt ddevnyddiaw geiriau 'r Bibl vel y maent, mae 'r bobl yn eu deall, a dyna sydd eisieu." Atebwn, mai dyben geiriau yn unig yw cyvranu' syniadau. "Onid ydych yn meddwl," meddwn i, "na ddeallai y bobl, *diau* a *phrovedigaeth*, llawn cystal os nad gwell, nac y geiriau llygredig *sicr* a *themtasiwn*: byddwn gydweddawl." Ond over oedd dadlu.

Gwelwn yn null y gwr uchod, bod eu eiddigedd mor gryv, nes y cyvrivai newid un llythyren yn y Llyvr (Bible) am a wnai yn *bechawd anvaddeuawl*. Pe gwir hyny, euawg iawn yw lliaws o ddynion; canys y mae llawer o wahaniaeth yn arddygraf yr Ysgrythyr, er amser Tindal hyd yn bresenawl; a phe argrefid y beiau a nododd y dysgedig ac y duwiawl Thomas Charles, buasai ev mor euawg a neb; ond anvad a fol y dyb. Meddyliwn y byddai y diwygiadau canlynawl yn dra dymunawl yn ein Llyvr; sev dodi

| | |
|---|---|
| *Annichon, neu, nis dichon,* yn lle | *anmhosibl.* |
| *Dyn, dynsawd,* ................ | *person.* |
| *Hudoliaeth, provedigaeth.* ....... | *temtasiwn.* |
| *Gweithredoedd* ................ | *actau.* |
| *Collvarniad* ................ | *condemniad.* |
| *Aralleg* ................ | *alegori.* |
| *Aidd* ................ | *zeal.* |
| *Llad* ................ | *favr.* |
| *Gwir, dir, diau, dilys* .......... | *sicr.* |
| *Gal'edig, hyall* ................ | *posibl.* |
| *Col'edigaeth* ................ | *damnedigaeth.* |
| *Gorchvygwr* ................ | *conquerwr.* |
| *Rhad* ................ | *gras.* |
| *Felly bydded, bydded hyn* ....... | *Amen.* |
| *Sarff* ................ | *asp.* |
| *Holiad, govyniad* .............. | *cwestiwn.* |
| *Dylif* ................ | *dilyw.* |
| *Llythyr* ................ | *epistol.* |
| *Plaid* ................ | *sect.* |
| *Ammodau newydd* .............. | *Testament Newydd.* |
| *Seibiaeth* ................ | *Sabath.* |
| *Iechineb* ................ | *iachawdwriaeth** |

Pe rhyngai amser, gallwn nodi llawerodd o eiriau yn rhagor, ond odid na bydd gorgoeliaid cul eu henaid yn vy marnu i golledigaeth, am gyhoeddi hyn ger gwydd y wlad.

Tueddid vi i wneyd y sylwadau blaenorawl o ystyried vy mod, ar ddeisyviad amrai gyveillion, yn prysur ddarparu *Geiriadur Saesoneg a Chymraeg*, hyn a vwriadid unwaith gan y byth enwawg-Ddoeth-

* Gwir ystyr y gair *iachawdwriaeth* yw *swydd* yr Iachawdwr, ac nid a wnaeth er pechadur yn ei swydd.

Hoywfardd e wyddai hefyd,
Am fonedd Gwynedd i gyd;
A'r gwerin-gyffredin ffrwyth,
Eu teulu oll a'u tylwyth.
Pwy geidw ei le, pa giwdawd?
Etto ar ol briddo 'r Brawd?
Och alaeth, yn iach weled
All i SION â'i gyson gêd.
Ffarwel gyfan ddiddanwch,
Am fwynder hoff lawnder ffiwch.
Yr Areithydd ŵr ethawl,
Haeddai fwy heddyw o fawl.
Madws i mi dewi 'r dôn,
Diymwared yw meirwon;
I'w dychwelyd, Och! eilwaith,
Er wylo na chwyno chwaith.
Meirw ym oll, digoll y dydd,
Gwelwn o un bwygilydd;
Nid ydym well (briddell brau,
Hynt oediawg) ni na'n tadau.
Gobeithiwn i hwn wiw hedd,
Aur goron a thrugaredd;
I ninnau fod yn enwog,
O Grist trwy haeddiant ei grôg. Amen.

HUGH HUGHES, *a'i Casglodd*, 1760.

*O. S.* Gwrthddrych y Farwnad flaenorol (Mr. J. THOMAS) oedd fab hynaf Thomas Rowland, Tu hwnt i'r Bwlch, yn Eifionydd, Sir Gaernarfon; cafodd ei addysg foreuol yn Llanystumdwy, a Llanegryn ym Meirion, a graddiwyd ef yn Ngholeg Iesu, Rhydychain. Bu yn Gurad yn Llandegai, ac yn un o Athrawon Ysgol Bangor; yn olaf bu yn Llandegfan a Llansadwrn, ac yn Brif Athraw Ysgol y Beaumaris; a bu farw yn Nghastellior, Môn, Llun y Pasg, 1760, yn y 33 flwydd o'i oedran. Claddwyd ef dan yr allor yn Llandegfan, lle y mae côf-argraph ar bres fel y canlyn:—

"UNDERNEATH IS INTERRED
THE REV. JOHN THOMAS, A. M. HEAD MASTER OF
BEAUMARIS SCHOOL,
WHO DIED MARCH 27, 1760, AGED 33."

*"He was a great Scholar, universally beloved."*

Yr oedd Mr. Thomas yn un o'r Cymry mwyaf dysgedig yn ei oes, fel y gellir gweled wrth lythyr a anfonodd Richard Morris, Ysw. ato, i ofyn ei farn am y Bibl Cymraeg a argraphwyd ganddo yn Llundain. Ysgrifenodd Hanes Pymtheg Llwyth Gwynedd; a nifer mawr o ysgrifeniadau ereill, a ddengys mor ddysgedig, diwyd, a llafurus ydoedd mewn oes mor fèr.

E. OWEN.

*Cefn y Meusydd.*

## PENNILLION.

*Cyffes y Bardd ar ei Glaf Wely pan oedd mewn cyflwr gofidus gwedi tori ei Goes.*

TON—"DIFYRWCH GWYR ABERFFRAW."

CREAWDWR cry' odiaeth, Ior glân ei raglunaeth,
All beri marwolaeth, mawr alwad;
Ti hefyd, os myni, yn gadarn a godi,
Y gwan yn ei daerni 'r wyn'n dirnad:
Tro olwg yma, a gwel y gwaela',
Mewn poen a dychryn waith pechu yn d' erbyn,
Och! wele fi, wrth rad un Duw a Thri,
Yn diodde' 'n gyfion bwys dy geryddon,
Ond tirion iawn wyt ti.
Eis yn ben uchel mewn tŷb ddiogel,
Heb feddwl canfod mo allu 'r Duwdod,
Ond dyna 'r awr rhoist ergyd i mi lawr,
Heb allu symmud gan fraw a gofid,
Mewn mynyd Arglwydd mawr.

Ces genyt gre'digaeth, ces genyt gadwraeth,
Ces genyt gynhaliaeth gain hylwydd,
A hyn drwy drugaredd dros bedwar deng mlynedd.
Dan nawdd dy ymgeledd mewn gwiwlwydd.
Ces faith beryglon, do, amryw droion,
Ac etto 'nghadw rhag angau chwerw,
Trwy ganiatâd 'r hwn sy'n maddeu 'n rhad,
I'r euog aflan, 'r hyd lwybrau Satan,
Ar lydan ffordd i'w wlad.
Y *Mab* tostnriol oedd yno 'n eiriol,
A'r *Tad* oedd gyfion yn dweyd yn ddiglon,
"Ei dori a raid;" "Ow! na," medd yntau, "paid.
"Gad ef un flwyddyn, rhof at ei wreiddyn,
"O'm llafur blin i'w blaid."

Nid oes esgus imi, wrth fanwl roi cyfri',
Ger bron y Duw Celi a'r farn corliaf;
Ces wybod yn forau am natur dy ddeddfau,
A gwae 'r sawl a'i torai 'r modd taeraf:
Troi 'n ol i chwilio 'r hyn oll aeth heibio,
Mae pob gorchymyn, yn dyst yn f' erbyn,
'Does ond efe, Oen llariaidd, yn fy lle,
All roi boddlondeb, ac iawn mewn purdeb,
Yn wyneb deddf y ne';
Ces brawf digonol, o'i allu anfeidrol,
I'r sawl sy'n llwythog, ac yn flinderog,
Boed ar ei ben y goron wiwlon wen;
Byth, byth heb ddiwedd, i minnau ymgeledd,
Duw'r mawredd dyro, Amen.

GOMER.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## PORTUGAL.

CRYBWYLLASOM yn ein Rhifyn diweddaf am y driniaeth anfoneddigaidd a gafodd amryw o ddeiliaid Ffraingc a Lloegr gan awdurdodau Lisbon, a bod y *Consul* Brytanaidd wedi derbyn atebiad lled trahaus i'w ymholiad yn ei gylch. Yn ganlynol i hyn, danfonodd llywodraeth Lloegr rai llongau rhyfel i'r Afon Tagus, gyda gorchymyn i Don Miguel i roddi eglurhâd cyflawn a dioed, ynghyd âg iawn digonol am y sarhâd a'r niweid a wnawd i ddeiliaid ei Fawrhydi Brytanaidd. Cyn gynted ag y canfuwyd llongau Brydain o flaen Lisbon, ymostyngodd yr adyn Don Miguel i'r llwch, rhag y cerydd dyledus iddo. Cytunodd â'r holl ammodau a gynnygiwyd iddo. Diswyddodd yr holl swyddogion a geisiwyd ganddo, a chyhoeddodd eu henwau oll yn y *Lisbon Gazette*. Dywedir bod yr Americaniaid a'r Ffrangcod am ymweled âg ef yn union-gyrchol yn y cyffelyw fodd; ac os felly, barnu yr ydym y raid i'r gormesdeyrn hwn suddo i ddirmyg chwanegol yn ngolwg ei ddeiliaid; ac y bydd i'r digwyddiadau hyn agor y ffordd i adferu yn ol i Donna Maria y deyrnwialen a ddygwyd mor fradwrus oddi arni gan ei hewythr anghyfiawn.

## POLAND.

Bu amryw frwydrau ar ol yr hanes a gyhoeddasom yn ein Rhifyn diweddaf rhwng y Rwssiaid a'r Pwyliaid, yn y rhai y bu y Pwyliaid yn fuddugoliaethus. Ond drwg genym gyhoeddi i'r Pwyliaid, dan eu Cadflaenor Dwernicki, gael eu curo yn ol yn Volhynia. Ymddengys fod y Cadflaenor dewr hwn wedi bod yn dra llwyddiannus yn erbyn y Rwssiaid cyhyd ag yr oedd nifer ei filwyr agos yn gyfartal i'n gelynion, ond gorfu iddo gilio o flaen cryfdwr ym mhell uwchlaw yr hyn oedd ganddo i'w gwrthwynebu. Rhydd y Newyddiaduron hanes lled helaeth o'r amgylchiadau a barodd i'r Pwyliaid gilio i gyffiniau tiriogaeth Awstria, ac yn ganlynol i hyny iddynt roi eu harfau i fynu i awdurdodau y wlad hòno; gan fod yn groes i reolau rhyfel i neb byddinoedd rhyfelgar fyned i derfynau gwledydd ammhleidgar (*neutral territories*).

## ITALY.

Dywed y llythyrau diweddaraf o Rufain fod Italy yn bresennol yn lled dawel, a bod y Pab i gyhoeddi deddf-ebargofiad gyffredinol (*general amnesty*) am bob trosedd gwladwriaethol. Y cyffelyb ddeddf oedd i gael ei chyhoeddi yn Parma a Modena, a bod gwarchawdlu Awstria i ymadael yn ebrwydd o Ancona.

## YR ISELDIROEDD.

Nid yw y wlad hon etto yn ddiderfysg. Dywedir fod dinas Brussels yn lled anesmwyth. Gorfydd i gylch-wylwyr gerdded trwy 'r heolydd bob nos i gadw y trigolion yn llonydd. Cymmerwyd dau-arbymtheg o ddynion i fynu, deuddeg o ba rai ydynt Ffrangcod; a thybir mai hwy oeddynt brif-gyffrowyr y gwrthwynebiad i'r Tywysog Leopold.

## YR IWERDDON.

Drwg genym na allwn hysbysu i'n darllenwyr fod tawelwch wedi ei adferu ym mharthau terfysglyd yr Ynys hon. Ofnwn mai gwaethygu y mae y terfysgwyr yn Swydd Clare, oblegid fod Ardalydd Môn wedi gweled yn angenrheidiol anfon nifer luosog o swyddogion i'r Swydd hòno. Llawer o'r adynod terfysglyd a fwriwyd i garchar, y rhai a brofir yn ddioed ger bron y Barnwr a ddanfonwyd i'r Swydd uchod i'r perwyl hyny. Nifer y carcharorion yngharchar Ennis yw 230.

*Limerick.* Mai 12. Ni ellir datgan y cynnwrf a ffyna yma oblegid cyflwr dychrynllyd a therfysglyd Swydd Clare. Heddyw y bore daeth y terfysgwyr, y rhai a ânt dan yr enw *Terry Alts*, at annedd le o fewn dwy filltir i'r ddinas hon; a darfu i ddwy fil o honynt amgylchu plas gwr boneddig, yr hwn ynghyd â'i wraig a lusgasant o'u gwely; a gweinyddasant lw iddo yr ymadawai efe o'i dŷ cyn chwech o'r gloch y prydnawn. Diangodd y ddau am eu bywyd i'r ddinas, lle y cânt noddfa rhag llid yr adynod creulon hyn. Dygwyd gair iddynt fod y *Terry Alts* wedi dinystrio eu tŷ, a'r hyn oll oedd ynddo.

Yr oedd llafurwr tlawd wedi cynhyrfu llid ei gydweithwyr am iddo feiddio gwrthsefyll eu gweithrediadau anghyfreithlon, a gorfu arno ddiangc i dref Ennis i ymguddio rhagddynt. Y'mhen ychydig, tyrfa luosog o'r terfysgwyr a ruthrasant i'r dref i chwilio am letty y dyn anffodus, yr hwn a gawsant yn ei wely. Llusgasant ef i'r heol, ac archollasant ef â'u rhawiau, a ddygent o amgylch gyda hwynt, a gadawsant ef yn farw. Ffoisant o'r dref, ac nid oes neb o honynt wedi eu cymmeryd i fynu.

*Ardalydd Môn.* Drwg genym hysbysu fod clwyf poenus y Rhaglaw wedi dychwelyd. Cymmaint yw y boen nad all efe ddywedyd dim, a bod yn rhaid iddo ysgrifenu pob peth fo arno ei eisieu.

Y mae y newyn yn cynnyddu i raddau dychrynllyd; ac os na ddiwellir hwynt yn ebrwydd âg angenrheidiau bywyd, bydd ugeiniau o honynt yn trengu o eisieu ymborth. Er holl ymdrechiadau boneddigion ac offeiriaid Protestanaidd a Phabaidd i geisio cloron a blawd ceirch i amryw barthau, y mae ugeiniau o blwyfydd, yn cynnwys miloedd o drigolion, heb ddim ymborth, na gallu i brynu dim. Cynnelir cyfarfod cyhoeddus yn Llundain i'r diben o ystyried y moddion tebycaf i gael cyfraniadau at y gwrthddrych haelionus o anfon lluniaeth i'n cyd-ddeiliaid anghenus. Casglwyd uwchlaw £500 yn Ynys Guernsey i'r Gwyddelod newynog.

Cafodd O'Connell ei ethol yn Gynnrychiolydd dros Swydd Kerry, ei Swydd enedigol. Dywedir nad yw y Rhaglaw yn bwriadu rhoddi y gyfraith mewn grym yn erbyn y gwr aflonydd hwn. Tybir y caiff ei fab ei ethol yn Aelod o'r Senedd dros Swydd Clare. Bu Mr. Steele ac O'Gorman Mahon ar fedr ymladd ornest Sul y bore, bedwar o'r gloch; ond gommeddwyd iddynt; eithr fflangellwyd Mr. Steele yn llym gan y Gwyddel gorwyllt O'Gorman Mahon.

## LLOEGR.

Yn ystod y mis diweddaf darfu i Etholiad Seneddwyr achosi llawer o gynnwrf mewn amryw o Swyddi a dinasoedd; ond y mae heddwch wedi ei adferu ym mhob man cyn hyn. Y Newyddiaduron a haerant y bydd cefnogwyr y Gweinidogion yn y Senedd nesaf yn lluosocach o 140, nag yn y Senedd ddiweddaf; eithr amser a ddengys.

Yr amrywiol Gymdeithasau Crefyddol yn y Brif-ddinas a gynnaliasant eu Cyfarfodydd Blynyddol yn y mis diweddaf. Rhoddwn grynodeb o Adroddiad y Gymdeithas Genhadol Eglwysig yn y Rhifyn nesaf. Bu cynnwrf a therfysg tra annymunol yn Nghyfarfod y Bibl Gymdeithas, oblegid fod dynion duwiol a dysgedig wedi dwyn y'mlaen gynnygiad i gau allan y Sosiniaid rhag cael unrhyw ran y'ngoruchwyliaeth y Gymdeithas, yr hyn a wrthwynebwyd gan rai o Offeiriaid Llundain, holl Weinidogion yr Ymneillduwyr, a holl gefnogwyr yr undeb rhwng Crist a Belial. Ofnir yr achosa hyn ymraniad yn y Gymdeithas hon. Dygwyd y'mlaen gynnygiad cyffelyb yn Nghyfarfodydd y *Naval and Military Bible Society*, *The Continental Society*, a'r *Sailor's Home Society*, gan wyr llên a lleyg, yr hyn a gydunwyd arno, eithr nid heb wrthwynebiad gan gefnogwyr penrhyddid yr oes bresennol. Yn ol Adroddiad Blynyddol y Gymdeithas er Adeiladu Eglwysydd, ymddengys fod £15,976 wedi eu treulio yn y flwyddyn ddiweddaf yn helaethu ac yn adeiladu Eglwysi mewn amryw ardaloedd. Er pan sefydlwyd y Gymdeithas hon, darparwyd lle mewn Eglwysi i 207,991 o ddynion, ac o'r nifer hyn y mae 153,003 o eisteddleoedd yn rhad i'r tlodion am byth.

Bydd i'r Senedd newydd gyfarfod ar y 14eg o Fehefin, a dywedir mai y peth cyntaf a wneir yno fydd dwyn y'mlaen drachefn Ysgrif Arglwydd John Russell. —Y mae ein hanwyl Frenin yn mwynhau iechyd rhagorol.

---

## CYMRU.

### SESSIWNAU GWYNEDD.

*(Parhad o du dal. 160.)*

SESSIWN DINBYCH.—*Darguddio Llythyr.*—David Evans Morris (31) Ceidwad y Llythyrdŷ yn Rhuthyn, a gyhuddwyd o ddarguddio Llythyr a gyfarwyddwyd at Mr John Roberts, yn cynnwys *Bank of England Note*, ac o ladrata y *Note* o'r Llythyr.——Y *Cyfreithiwr Cyffredin* a ddywedodd mai y peth a ddylai y Rheithwyr ei ystyried ydoedd, nid a ddarfu i'r carcharor agor y llythyr, ond a ddarfu iddo ei gelu, a lladrata yr hyn oedd ynddo.——*Ebenezer Davies.* Gwniedydd ydwyf yn preswylio yn Llundain. Yr wyf yn gydnabyddus â Mr. John Roberts, yr hwn a ysgrifenodd ataf yn mis Medi diweddaf am arian. Ar y 30ain o'r mis hwnw derbyniais bapur £10, *Bank of England*, oddiar Mr. Wm. Must, a rhoddais ef i fy ngwraig. Ar y 13eg o Hydref derbyniais Lythyr oddiwrth Mr. Roberts, a ddyddiwyd, Rhuthyn, Hydref 11eg. Aethum i'r Llythyrdŷ Cyffredin yn Llundain i ymofyn ynghylch y Llythyr. Yno cefais bapuryn, yn yr hwn yr ysgrifenais rif y *Note* a ddanfonwyd. Collais y cofnodiad a gynnwysai rif y *Note*. Anfonais lythyr ym mhen deuddydd neu dri wedi i mi dderbyn un oddiwrth Mr. Roberts. Ar y 25ain o Dachwedd cefais Lythyr arall oddiwrth Mr. R. ynghylch y £10 a ddanfonwyd, i'r hwn yr ysgrifenais ateb yr un diwrnod.——*Jane Davies.* Yr ydwyf fi yn wraig i'r tyst diweddaf. Ar y 30ain o fis Medi derbyniais *Bank of England Note* am £10. Ysgrifenais ei rif mewn cofnod. Anfonais y *Note* mewn llythyr a gyfarwyddwyd fel hyn, "*To Mr. John Roberts, to be left at the Post Office, Ruthin.*" Ni ddaeth y Llythyr hwn, na'r *Bill* hyth, i law Mr. Roberts. Cofynodd fy ngŵr am y cofnod wedi iddo ddychwelyd o'r Llythyrdŷ Cyffredin. Ysgrifenodd rif y *Note* mewn papur a dderbyniasai i'w lenwi i fyny.——*A cross-examined gan Mr. Serjeant Peake.* Rhoddais y cofnod, yn yr hwn yr ysgrifenwyd rhif y *Note*, ar y *shelf*, ac aeth ar goll. Chwiliais am dano yn fynych, ond methais ei gael. Rhif y *Note* oedd "[illegible]."——*Ellen Hughes.* Yr oeddwn i yn forwyn i Mrs. Davies yn mis Medi diweddaf. Gwelais fy Meistres yn rhoddi papur £10 mewn llythyr. Rhoddais y Llythyr fy hun yn y Llythyrdŷ Cyffredin fel y derbyniais ef gan fy Meistres.——*Wm. Must.* Teilwriwr wyf fi yn preswylio yn Llundain. Yr wyf yn cofio i Mr. Davies ddyfod ataf fi oddeutu y 30ain o Fedi am bapur £10, yr hwn a roddais iddo. Ni roddais erioed iddo bapur arall. Ysgrifenais enw y gwr a'i rhoddasai i mi ar gefn y papur—"*Mr. Kerr, Well Street, Cripplegate.*" Telais y papur hwn i Mr. Davies. Nid oedd genyf bapur £10 arall. Yn mis Ionawr diweddaf, aethum i'r *Bank of England*, a detholais y *Note* yma (yr hwn a estynwyd iddo gan y Cyfreithiwr Cyffredin) o fysg llawer ereill.——*Mary Davies.* Gwraig wyf fi i Mr. Edward Davies, Gwirod Fasnachydd, yn Rhuthyn. Yr wyf yn cofio i'r carcharor ddyfod i'n tŷ ni ar y 6ed o Hydref, pan y gofynais iddo fod mor garedig a rhoddi i mi bapur £10 yn lle *Local Notes*. Dywedodd wrthyf fod ganddo bapur £10, yr hwn a allwn gael am ddwy neu dair wythnos; os byddai hyny yn gymwynas i mi rhoddai ei fenthyg i mi. Rhoddodd y carcharor bapur £10 i mi; ond ni roddais iddo arian yn ol, am iddo gynnyg benthyg y *Note* i mi. Nid oedd genyf bapur £10 arall ar fy helw y pryd hyny. Dranoeth rhoddais ef i fy ngwr. Y diwrnod wedi hyny galwodd y carcharor arnaf i ddyweyd fod arno eisiau rhan o'r arian. Telais iddo £2. 10s. a'r gweddill cyn pen wythnos.——*Edward Davies* sydd ŵr i Mary Davies. Aethum i Lynlleifiad ar y 7fed o Hydref diweddaf, pan y derbyniais bapur £10 gan fy ngwraig, yr hwn a delais, ar y 9fed, i Mr. George Pym, Distylydd, Llynlleifiad.——Mr. *George Pym.* Ar y 9fed o Hydref talodd Mr. E. Davies, o Ruthyn, swm o arian i mi, a phapur £10 yn eu mysg. Ysgrifenais "E. Davies" ar ei gefn. Dodwyd y papur yn Ariandŷ Canghenol Llynlleifiad, os da y cofiaf.——Mr. *John Roberts* sy gyfleirydd yn preswylio yn Llundain. Ym mis Awst diweddaf yr oeddwn yn lletŷa yn nghymmydogaeth Rhuthyn, pan y byddwn yn derbyn llythyrau o Lundain. Rhai a gyfarwyddwyd "*John Roberts, Esq.*" ereill, "*Mr. John Roberts, to be left at the Post Office, Ruthin.*" Arferwn ymofyn am fy llythyrau unwaith neu ddwy yn yr wythnos. Yr oedd genyf gyfrifon gyda Mr. Davies a Mr. Watts o Lundain. Yr oedd yr olaf i dderbyn arian i mi. Ac anfonais at Mr. Davies, yn Awst, ac awdurdodais ef i dderbyn arian oddiar Mr. Watts drosof fi. Cefais lythyr o Lundain yn Awst, yr hwn a ddangosais i'r carcharor a'i wraig, a dywedais wrthynt ei fod ynghylch papur £10 a ddisgwyliais o Lundain. Y carcharor a ddarllenodd y Llythyr. Ar y 27ain o Fedi ysgrifenais at Mr. Davies i ymofyn am £10. Ar y 4ydd o Hydref gelwais yn Llythyrdy Rhuthyn i ymofyn a oedd yno lythyr i mi; dywedwyd wrthyf nad oedd. Gelwais drachefn ar y 6fed, a chefais yr unrhyw ateb. Dymunais ar Richard Jones alw yn y Llythyrdŷ am lythyr i mi, ond ni chafodd un. Ar y 18fed gelwais fy hun yn y Llythyrdŷ, a mynegwyd i mi nad oedd yno yr un Llythyr i mi. Yn ystod y dydd hwnw cyfarfum â'r carcharor, a mynegais iddo fy siomedigaeth, fy mod heb dderbyn llythyr o Lundain yn cynnwys arian. Dymunais ar y carcharor, os deuai llythyr i mi, am iddo ddyfod âg ef i Lanfair ar yr 20fed. Daeth y carcharor i Lanfair, a dywedodd wrthyf nad oedd yr un llythyr i mi. Ond wrth ymddiddan wedi hyny, mynegais i'r carcharor fy syndod, na dderbyniais ateb i lawer o lythyrau a ysgrifenais i Lundain; ac yn cas

eddy un yn cynnwys papur £10. Gofynodd y carcharor i mi fenthyca £20 iddo. Naceais wneuthur hyny. Ar y 9fed o Ragfyr gelwais drachefn yn y Llythyrdŷ, pan y rhoddodd Mrs. Morris, gwraig y carcharor, lythyr i mi, a ysgrifenwyd ataf gan Mr. Davies, o Lundain, yn datgan ei syndod fy mod heb dderbyn ei lythyrau, yn enwedig un âg ynddo bapur £10. Wedi i mi ei ddarllen, dychwelais i'r Llythyrdŷ, a dywedais wrth y carcharor fod £10 wedi cael ei ddanfon i mi, a fy mod yn rhyfeddu na dderbyniais ef. Dymunodd y carcharor arnaf ei gyfarfod ym mhen ychydig amser yn nhŷ Mr. Samuel Jones. Gwnaethum felly; ac yna hysbyswyd fi gan y carcharor, fod llythyr cyffelyb i'r un yr ymofynais i am dano wedi dyfod, a bod yntau mewn camgymeriad wedi ei roddi i wraig yn Rhuthyn o'r enw Roberts, gwraig i *bensioner;* ond iddi hi ei adferu pan y gwelodd mai nid iddi hi yr oedd. Dywedodd y carcharor bod £10 yn y llythyr. A rhyw dro wedi hyny, darfu i ryw un, mewn amgylchiadau isel, alw yn y Llythyrdŷ, ac ymofyn am lythyr a gyfarwyddwyd at John Jones, neu John Roberts, a rhoddwyd y llythyr a'r arian iddo. Dywedodd iddo feddwl i'r dyn a dderbyniodd y llythyr ddyfod o Gyffylliog neu Gloeaenog, ac yr adnabyddai y dyn o herwydd iddo ei weled o'r blaen. Dywedodd ei fod yn gofidio nad ysgrifenasai enw preswylfod y dyn a gafodd y llythyr. Ar y Sadwrn canlynol darluniodd y dyn i mi; ac ychwanegodd hefyd nad oedd gan y dyn ddim arian i dalu am y llythyr, ac iddo ef newid y papur £10 iddo, a'i anfon wedi hyny i'r Llythyrdŷ Cyffredin, i wneuthur i fyna ei gyfrifon. Dywedais wrth y carcharor, os talai efe yr arian i mi na soniwn i un gair ychwaneg am y mater.——*Benjamin Churchill, Yno.* Yr wyf fi yn Oruchwyliwr Gylchdeithiol dros y Llythyrdŷ Cyffredin. Ac yn ystod y flwyddyn ddiweddaf yr oedd y carcharor yn Geidwad Llythyrdŷ Rhuthyn. Ei ddyledswydd yw derbyn a dosparthu llythyrau. Dan yr hen drefn, yn mis Medi diweddaf, deuai llythyr a roddid yn Llythyrdŷ Llundain ar y 30ain, i Ruthyn erbyn yr 2fed o Hydref. [Ymddengys i'r carcharor ysgrifenu llythyr at Syr Francis Freeling yn hysbysu iddo dderbyn llythyr yn cynnwys £10, yr hwn a roddasai i ddyn o'r enw John Roberts, yr hwn ni welsai wedi hyny; ac mai enw Jane Davies oedd wrth y llythyr. Gorchymynodd Syr Francis iddo drosglwyddo y llythyr a'r papur £10 atto ef.] Ar yr 28ain o Ragfyr daethum i Ruthyn i olrhain i'r mater. Yna y carcharor a'm hysbysodd i lythyr ddyfod yno yn nechreu mis Hydref, wedi ei gyfarwyddo at "John Roberts;" ac wedi hyny daeth dynes a alwai ei hun yn wraig i John Roberts i alw am y llythyr, yr hwn a roddwyd iddi gan y carcharor; ac ar yr un dydd daeth un o'r cymmydogion â'r llythyr yn ol, gan ddweud ei bod yn ofni mai nid i Mrs. Roberts yr oedd y llythyr, o herwydd fod papur £10 ynddo. Dywedodd y carcharor hefyd wrthyf ddarfod, ryw ennyd o amser wedi hyny, i ddyn a alwai ei hun yn John Roberts, *pensioner*, ymofyn am y llythyr a gyfarwyddwyd ato ef. Haerodd mai iddo ef yr oedd. Dywedodd hefyd iddo roddi y llythyr i'r dyn; a chan nad oedd ganddo arian i dalu y llythyr-doll, rhoddodd iddo newid am y papur £10, am fod arno eisieu trosglwyddo arian i'r Llythyrdŷ Cyffredin. Ar yr 20fed o Ionawr gwelais y carcharor drachefn, a dywedodd ei fod yn gofidio am iddo anghofio ei hun, a mynegi i mi ddarfod iddo anfon y £10 i'r Llythyrdŷ Cyffredin; oblegid wedi hyny cafodd hyd i gofnod ym mhlith ei bapurau iddo ef ei fenthyca i'w gymmydog Mrs. Davies, a rhoddi papur £10 arall yn y llythyr a roddasai i'r *pensioner*. Tybiai yr adnabyddai y dyn pe *gwelai* efe ef eilwaith, a meddyliai ei fod wedi myned i Mallow, yn yr Iwerddon. Argraffwyd papurau yn rhoddi darluniad o'r dyn, a chynnygiodd y carcharor wobr o Un Gini i'r sawl a'i daliai.——*John Jones* sydd yn *bensioner*. Daethum i Ruthyn y 26ain o Orphenaf, 1830, ac arosais yno hyd y dydd o Dachwedd. Ymadewais o Ruthyn, ac aethum at fy ngwraig i Mallow, yn yr Iwerddon. Ar y 12fed o Fedi, Wm. Tallock a ysgrifenodd lythyr drosof at fy ngwraig, yr hwn a osodais yn Llythyrdŷ Rhuthyn. Ar yr 27ain o Fedi derbyniais ateb. Gelwais ddiwrnod neu ddau cyn hyny, a mynegodd y carcharor i mi nad oedd yno yr un llythyr i mi o'r Iwerddon. Wedi hyny gwelais y carcharor yr hwn a'm hysbysodd fod llythyr wedi dyfod i mi, ac iddo ei ddanfon mewn camgymmeriad i *bensioner* arall, o'r enw John Jones, yn Pool Park. Yna rhoddodd y carcharor y llythyr i mi. Dywedais wrtho mai Ellen Jones oedd enw fy ngwraig i, a gwelodd ei henw hi wrth y llythyr. Derbyniais lythyr arall o'r Iwerddon, am yr hwn y telais 1s. 3c. i'r carcharor, nid oedd dim ynddo.

Y carcharor a gyfarchodd y Rheithwyr am dri chwarter awr gyd â'r hyder mwyaf; a galwyd y tystion canlynol:——*Mary Williams*, morwyn i'r carcharor, a ddywedodd ei bod yn cofio i wraig o'r enw Mary Roberts ddyfod i ymofyn am lythyr a gyfarwyddwyd at "*John Roberts, to be left at the Post Office, Ruthin.*" Gwraig arall a ddaeth â'r llythyr yn ol, gan ddweud mai nid i Mr. Roberts y perthynai. Yr oedd ynddo bapur £10. Pan ddaeth fy meistr i mewn, rhoddodd y llythyr a'r papur £10 yn y *box*, ac ysgrifenodd y llythyren *R* arno. Bu y llythyr yno am ddwy neu dair wythnos wedi hyny.——*Mary Roberts*, gwraig John Roberts, *Pensioner*. Gelwais yn y Llythyrdŷ am lythyr ym mis Hydref diweddaf. Gofynais i'r carcharor a oedd ganddo lythyr wedi ei gyfarwyddo at fy ngŵr, John Roberts. Ni chymmerais ef am fod 1s. o doll arno, ac am fy mod yn disgwyl un didoll; eithr gelwais eilwaith, a derbyniais y llythyr oddiar Mary Williams. Anfonais y llythyr yn ol, pan welais mai nid i fy ngŵr yr oedd, ynghyd â'r papur £10 oedd ynddo. Arwyddwyd y llythyr gan "Mary Davies."——*Hugh Williams.* Yr oeddwn i gyd â'r carcharor a Mr. Roberts, yn Llanfair, a chlywais yr ymddiddan a fu rhyngddynt. Bum gyda hwynt oddeutu *chwarter awr*; ac *hanner awr* wedi iddynt gyfarfod a'u gilydd clywais Mr. Roberts yn gofyn i'r carcharor oedd ganddo lythyr iddo.——*A groes-holwyd.* Yn mis Hydref diweddaf edrychais dros y llythyrau oedd yn y Llythyrdŷ, a gwelais un wedi ei gyfarwyddo at John Roberts. Agorais y llythyr i foddio fy mlŷs, a gwelais *Note* ynddo; eithr ni allaf dyngu pa fath oedd. Wedi gweled y llythyr ni feddyliais erioed am Mr. Roberts; y mae cynnifer o John Roberts yn y wlad hon.——Amryw o ddynion a ddaethant ym mlaen i roddi gair da i'r carcharor am onestrwydd. Wedi i'r Barnydd dreulio dwy awr yn darllen ac yn sylwi ar y dystiolaeth yn erbyn ac o blaid y carcharor, y Rheithwyr a gawsant y carcharor yn *Euog.—Ei alltudio dros ei oes.*

*John Parry*, a gyhuddwyd o dori tŷ Elizabeth Evans, yn Llansantffraid Glyn Ceiriog.—*A ryddhawyd.*

*Ann Parry* (80) a *Jane Davies* (35) a gyhuddwyd o ladd plentyn newydd eni yn Abergele.—*A ryddhawyd.*

*Moses Thomas* a gyhuddwyd o ladrata baidd, eiddo Dafydd Davies, Caerbychiad, yn agos i Lanrwst.—*A ryddhawyd.*

*Henry Bostol*, a *David Simcox*, a gyhuddwyd o ladrata 51 o benaduriaid mewn tŷ yn Llangollen.—*A ryddhawyd.*

---

## ETHOLIAD SENEDDWYR.

Swydd Drefaldwyn.—Dydd Iau, y 5ed o fis Mai, cyfarfu Uchelwyr y Swydd hon yn Nhrefaldwyn, i'r diben o ethol Seneddwr. Y Gwir Anrhydeddus C. W. W. Wynn, a Joseph Hayes Lyon, Ysw. oeddynt y ddau Ymgeisiwr. Wedi darlleniad y *Writ, Arglwydd Clive* a gyfododd ac a gyfarchodd y gwyddfodolion. Teimlai ddywenydd nid bychan wrth gynnyg i'w gyd-uchelwyr wr boneddig ag sydd yn adnabyddus i bawb o honoch, sydd wedi eich gwasanaethu yn gywir ac yn ffyddlawn, a'r hwn nid yw yn elyn i Ddiwygiad Seneddol, am yr hwn yr ydych yn dra awyddus, sef Mr. C. Wynn, i'w cynnrychioli hwynt yn y Sen

edd. Ni ymostyngai i gefnogi unrhyw Ysgrif am iddi gael ei ddwyn i mewn gan Weinidogion y Brenin, heb iddo yn gyntaf foddloni ei feddwl fod y cyfryw Ysgrif yn uniawn ac yn addas. Yr oedd ganddo hawl i ymddwyn fel hyn. Yna llefarodd ei Arglwyddiaeth yn erbyn yr Ysgrif am Ddiwygiad Seneddol; ac a ddangosodd ei bleidgarwch o barthed llawer o famau yn Lloegr, yr hyn a barodd lawer o gynnwrf a therfysg. "Wel, Foneddion, os na wrandewch ar ystori Saesoneg, clywch un Gymraeg. Mae Gweinidogion ei Fawrhydi wedi cyfeiliorni cymmaint o barthed Cymru ag y darfu iddynt o barthed Lloegr. Paham na chaniatêir i Swyddi Cymru, y rhai a gynnwysant gynnifer o drigolion a rhai o Swyddi Lloegr, gael ychwaneg o Gynnrychiolwyr? Paham y dangosir ffafr i Loegr, a dim i Gymru? Morganwg yw'r unig Swydd sydd i gael Seneddwr ychwanegol. Paham y rhwystrir Caerfyrddin, Dinbych, a Fflint, rhag anfon ond dau Aelod i'r Senedd, pan y danfonir deg gan rai o Swyddi Lloegr, y rhai ni chynnwysant fawr ychwaneg o drigolion? Y gwirioneddau hyn a'm darbwyllant i mai nid nifer y trigolion ydyw sylfaen Ysgrif Gweinidogion y Brenin. Dengys hyn fod Mr. Wynn wedi gwneuthur ei ddyledswydd tu ag at ei wlad wrth wrthwynebu yr Ysgrif hon. Ni ellwch ammeu gonestrwydd na chywirdeb Mr. Wynn, oblegid rhoddodd ei swydd i fynu yn hytrach na chydsynio i ddwyn y'mlaen drefniadau a dueddent i ddistrywio eich iawnderau. Os oes arnoch eisieu un a ymladd drosoch yn onest, a rydd i chwi y cyfryw Ddiwygiad ag a ddichon i chwi ddymuno, heb niweidio neb arall, yna etholwch Mr. Wynn. Sais wyf; gwyr Uchelwyr Trefaldwyn amgenach pethau na gwrthod gwas mor ffyddlon a Mr. Wynn; am hyny cynnygiaf ei fod ef yn wr addas i'ch cynnrychioli yn y Senedd." Cefnogwyd y cynnygiad hwn gan D. Pugh, Ysw.

*William Owen, Ysw. Glan Severn*, mewn araith faith a hyawdl a ddangosodd yr angenrheidrwydd o gefnogi Gweinidogion ei Fawrhydi yn eu hymdrechiadau i effeithio Diwygiad Seneddol. Haerodd fod Mr. Wynn yn elyn i bob Diwygiad, neu o'r hyn lleiaf nad oedd yn ddigon gwresog yn y gwaith o Ddiwygio y Senedd. Mae ei Fawrhydi wedi cyfeirio atoch i weled a ydych chwi yn awyddus am Ddiwygiad ai peidio, ac ar eich ymddygiad ar yr achlysur presennol yr ymddibyna pa fath ateb a roddwch i alwad eich Brenin. Aeth Mr. Owen ym mlaen i ateb gwrthebiadau Arglwydd Clive i'r Ysgrif, ac a derfynodd drwy gynnyg fod i Joseph Hayes Lyon, Ysw. gael ei ddewis yn Gynnrychiolwr dros y Swydd.

Y cynnygiad hwn a gefnogwyd gan Wm. Pugh, Ysw. Bryn Llywarch, yr hwn a areithiodd yn dra hyawdl o blaid Diwygiad yn y Senedd. Bu cynnwrf a chrochlefain ofnadwy y'mhlith Boneddigion yn ystod araith Mr. Pugh: ac wedi adferu distawrwydd,

*Y Gwir Anrhydeddus C. W. W. Wynn* a gyfododd i fynu. Teimlaf yn dra awyddus i gyfarch fy nghyd-uchelwyr wedi i mi glywed eu bod wedi cytarfod yma heddyw i benderfynu pa un a gefnogwn ni ein Brenin ai peidio. A ofynir hyn i drigolion Trefaldwyn, y rhai ydynt wedi dangos eu ffyddlondeb at ei Fawrhydi trwy ffurfio byddin i gynnal y Brenin a'r llywodraeth? A dybia Mr. Pugh fod ganddo fwy o gariad at ei Frenin nag sy genyf fi? Cefais yr anrhydedd o wasanaethu Sior y Trydydd a'r Pedwerydd, a Gwilym y Pedwerydd, a datganasant eu cymmeradwyaeth o'm hymddygiad; ac nid neb yn fwy na'i Fawrhydi presennol, yr hwn a fynegodd ei ddarbwylliad fod fy rheswm am roddi fy swydd i fynu yn gywir. Haerwyd mai nid rhwng Wynn a Lyon y bydd yr ymdrech, ond pa un a fydd Diwygiad ai peidio? Gwadaf hyn yn llwyr. Cefnogaf hyd yr eithaf y cyfryw Ddiwygiad ag a fyddo yn gysson âg egwyddorion ein llywodraeth. Fy mhleidlais i a drodd y fantol o blaid ail-ddarlleniad yr Ysgrif am Ddiwygiad Seneddol. Pe d ewyllysiaswn ddinystrio yr Ysgrif, gallaswn wneuthur hyny, drwy yn gyntaf ei gwrthwynebu; ond tybiais mai fy nyledswydd ydoedd diwygio yr ysgrif, a'i gwneuthur mor berffaith ag a fyddai ddichonadwy. I'r diben hwn pleidleisiais na ddylid lleihau nifer Cynnrychiolwyr Lloegr, a'u rhoddi hwynt i'r Iwerddon; oblegid bernais fod gan Gymru fwy o hawl na'r Iwerddon. Yr ydwyf bob amser wedi cefnogi Diwygiad; rhoddais fy mhleidlais o blaid difreinio Bwrdeisdrefi anonest, a throsi y breiniad i drefydd eang a phoblogaidd. Boddlon wyf i leihau nifer y Bwrdeisdrefi, ond nid i'w difreinio hwynt yn llwyr, eithr i'w ffurfio hwynt yn debyg i Fwrdeisdrefi Cymru. Tra anfoddlon ydwyf i amddifadu neb o'r breintiau sy ganddo yn bresennol. Ymdrechaf hyd eithaf fy ngallu i wneud Diwygiad Seneddol yn ddiogel ac yn anrhydeddus.

*Joseph Hayes Lyon, Ysw.* Cynnygiaf fy hun fel Ymgeisydd i'ch cynnrychioli yn y Senedd; nid oblegid rhyw gymmwysderau sydd ynof, ond oblegid fod fy nghyfeillion wedi fy newis fel gwr sydd yn foddlawn i gefnogi Diwygiad Seneddol yn ol Ysgrif Gweinidogion ei Fawrhydi: ac yr ydwyf yn ymwystlo i wneuthur hyn hyd eithaf fy ngallu. Credwyf y bydd Diwygiad yn debyg i gynnyddu llwyddiant a dedwyddwch ein gwlad. Y sawl a ddymunant gael Diwygiad, rhoddant eu pleidlais i mi; y sawl a wrthwynebant Ddiwygiad, rhoddant eu pleidlais i Mr. Wynn; a bydded i bob Uchelwr roi ei bleidlais yn onest, yn deg, ac yn ddiofn; a bydded i'r achos da fuddugoliaethu.

Wedi hyn dechreuwyd derbyn pleidleisiau yr Uchelwyr; ac wedi iddynt ymgrisio am bum niwrnod, terfynwyd yr ymdrech yn etholiad Mr. Wynn. Pleidwyr Mr. Wynn oeddynt 783, a Mr. Lyon 302. Yn ystod y dyddiau hyn bu amryw anghydfodau rhwng y ddwy blaid, a chlwyfwyd nifer lawer o ddynion; eithr ni chollodd neb ei fywyd, fel y dywedid.

Wedi i'r Prif Swyddog gyhoeddi fod Mr. Wynn wedi ei ethol, Mr. Wynn a ddiolchodd yn dra gwresog i'w gyfeillion am y brwdfrydedd a'r diwydrwydd a sicrhaodd iddo y fuddugoliaeth. Dyma y tro cyntaf y gwrthwynebwyd ef erioed; a diolchai i'w gyfeillion am eu cefnogiad, yr hyn a brofai mai efe oedd y Cynnrychiolwr a ddymunent. Cydnabyddai ei rwymau i'w gyfeillion a'i gefnogwyr, y Cyfreithwyr, am eu cymmorth: erioed ni ddygwyd achos y'mlaen mor ardderchog, mor frwdfrydus, ac mor llwyddiannus.

SWYDD DDINBYCH.—Dydd Gwener, Mai 6ed, oedd y diwrnod a osodwyd i Ethol Seneddwr dros y Swydd. Yn foreu iawn gwelwyd ugeiniau o wreng a boneddig yn prysuro tua Wynnstay, i ddangos eu parch at eu hen wasanaethydd ffyddlawn Syr W. W. Wynn, drwy fwyta eu boreufwyd gyd âg ef, a'i ganlyn oddi yno i dref Gwrecsam. Am y tro cyntaf yr oedd Boneddig arall wedi dyfod i'r maes, i ymryson am yr anrhydedd o fod yn Gynnrychiolydd dros y Swydd, sef John Madocks, Ysw. Glan y Wern. Oddeutu 11eg o'r gloch daeth y Prif Swyddog i Lysdŷ tref Gwrecsam, ac wedi i Mr. Jones, Cyfreithiwr, ddarllen y *Writ*,

*Mr. Wynn, o Goed Coch*, wrth gynnyg Syr W. W. Wynn i gael ei ddethol i Gynnrychioli Swydd Ddinbych yn y Senedd, a ymhelaethodd ar rinweddau y Barwnig, ac ar ei addasrwydd i gyflawni dyledswyddau pwysig Seneddwr. Y cynnygiad hwn a gefnogwyd gan P. W. Prys, Esq. o Fryn y Pys.

*Mr. Griffiths, o'r Garn*, a achwynai yn erbyn Syr Watkin, ei fod wedi esgeuluso cynnyg i'r Senedd Eirchiad ei Etholwyr o barthed Diwygiad yn y Senedd, ac am ei fod yn gwrthwynebu yr ysgrif a ddygwyd ym mlaen gan Weinidogion y Brenin; am hyny teimlai mai ei ddyledswydd oedd cynnyg i'w gyduchelwyr John Madocks, o Lân y Wern, fel un addas i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd. Mr. Lloyd, y Cefn, a gefnogodd y cynnygiad.

*Syr Watkin* a ardystiai mai yr unig achos a barodd iddo gefnogi cynnygiad General Gascoyne yn y Senedd oedd, ei wrthwynebiad i nifer Cynnrychiolwyr Lloegr gael ei leihau, a rhoddi ychwaneg i'r Iwerddon a'r Alban, ac nid distrywio yr ysgrif, am na thybiai y pryd hyny y cai y cynnygiad y cyfryw

effaith. Sierhaodd hefyd nad ymddiddanodd â Mr. Gascoyne, na neb arall, ynghylch ei gynnygiad; ac addawodd roddi y cyfryw bleidlais yn y Senedd ag a foddlonai Etholwyr Swydd Ddinbych; eithr ar yr un pryd ni ymwystlai i gefnogi yr ysgrif a ddygid i mewn gan Weinidogion ei Fawrhydi, am na wyddai na wnaethid cyfnewidiadau pwysfawr ynddi. Yr oedd llawer o drigolion Dyffryn Clwyd wedi dyfod i Wrecsam gyda llwyr benderfyniad i roddi eu pleidlais i Mr. Madocks; ond wedi iddynt glywed amddiffyniad y Barwnig o'i ymddygiad, newidiasant eu hamcan, ac addawsant eu pleidlais i Syr W. W. Wynn. Dan yr amgylchiadau hyn, tybiodd Cyfeisteddwyr Mr. Madocks mai gwell fyddai iddynt beidio myned ym mlaen yn eu gwrthwynebiad i'w hen Gynnrychiolwr, am na ddymunent aflonyddu heddwch y Swydd. Yn gydsyniol â hyn, aeth pedwar o'r Cyfeisteddwyr at Syr Watkin, a mynegasant iddo eu penderfyniad; eithr rhybuddiasant ef os na roddai ei ymarweddiad yn y Senedd foddlonrwydd i'w Etholwyr, y gallai efe ddisgwyl mwy o wrthwynebiad pan y deuai nesaf ger bron ei Etholwyr. Yna cyhoeddwyd fod Syr W. W. Wynn wedi ei ethol.

*(I'w barhau.)*

---

*Lladrones Gyfrwys-ddrwg.*—Rai dyddiau yn ol, merch ieuangc, morwyn i un Mrs. Hannah Simmons, gweddw oedranus, yn Llundain, a gyhuddwyd o ladrata amryw Docynau Ariandy Lloegr (*Bank of England Notes*) o werth £100. oddiwrth ei meistres. Yr oedd y carcharor wedi bod yn ngwasanaeth Mrs. Simmons oddeutu pum wythnos, ac yn yr yspaid hwnw cafodd fynych gyfleusderau i weled ei meistres yn ymofyn arian allan o groengist (*trunk*) a fyddai yn ei hystafell-wely. Un noswaith, rhwng saith ac wyth o'r gloch, y carcharor, wrth fyned i'r ystafell hòno, a roddodd ysgrech fawr ac uchel, ac a waeddodd, "Lladron! y mae 'r tŷ wedi cael ei dori!" Aeth Mrs. Simmons i'r llofft, a dywedodd y carcharor, iddi weled dyn yn neidio allan trwy y ffenestr i ardd y cefn. Yr oedd y llofft yn yr annhrefn mwyaf, dillad y gwely a daenwyd ar hyd y llawr, a'r gist oedd yn cynnwys yr arian a ddygwyd ymaith, er fod yn yr un ystafell bump o gistiau ereill heb gyffwrdd â hwynt. Yn yr ardd yr oedd ambell ddilledyn yma ac acw, fel pe buasent wedi syrthio oddiwrth y lleidr wrth ddiengyd; ac yn y penty, y'ngwaelod yr ardd, lle yr oedd y glo, cafwyd y gist, a'r caead wedi ei hollti, a'r cwbl oedd ynddi wedi ei gymmeryd allan. Daeth swyddog yno, a chan ddrwg-dybio y forwyn, efe a chwiliodd y tŷ, ac a gafodd y'nghudd mewn crochenyn wyth o docynau £10. ac mewn pwrs ym meddiant y carcharor cafodd y rhan arall o'r lladrad. Pan gymmerwyd hi i'r swyddfa i holi ychwaneg arni, hi a wnaeth gyfaddefiad rhwydd o'r lladrad, ac a fynegodd iddynt y lle yr oedd hi wedi cuddio tocyn £10. sef o dan y faingc yr hon yr eisteddai hi yn y tŷ. Ei hawydd am ddillad gwychion, fel yr ymddengys, oedd yr achos a barodd iddi wneuthur y trosedd; canys, pan y dygwyd hi o flaen yr hedd-ynad, yr oedd hi yn gwisgo clust-dlysau aur, ysnodenau, a modrwyau. Wylodd yn arw wrth gael ei holi; a phan ddanfonwyd hi i'r carchar i aros cael ei phrawf, ei mam a syrthiodd i lewygfeydd trymion. Yr oedd ôl y traed o dan ffenestr y llofft, ac hyd yr ardd, yn cyfateb ym gymmwys i'w throed hi.

---

*Daear-gryn Arswydus.*—Hysbysa Newyddiadur Bombay, yn yr India Ddwyreiniol, fod daear-gryn dychrynllyd wedi digwydd yn ddiweddar yn China, a bod o 500,000 i filiwn o bobl wedi cael eu lladd. Dinystrwyd 15 o ddinasoedd a threfi. Dilynwyd y ddaear-gryn gan ystormydd o genllysg a llifeiriant, y rhai a barhausant am dri diwrnod.

---

## CYMREIGYDDION CAERLUDD.

MR. GWYLIEDYDD—*Gan mai diwygiad yw prif ddadyl y dyddiau presenawl, a diwygiaeth y cais cyffredinawl—y Gymdeithas uchod, gan ddilyn megis yr amserau, sydd ddiwyllus. Y mae yr arferiad o draddodi Darlithiau y Iau cyntaf o bob mis, wedi peri llwydd neillduawl iddi, ac y mae dysgedigion y dywysogaeth yn gyffredinawl yn aiddgar yn eu hachaws, ac yn rhoddi eu porth yn ewyllysgar.. Ac er rhoddi cyfleusdra i Foneddigion a Pharchedigion ac sydd wrthwynebawl i gyfarfod mewn Gwestdy, fe draddodir y Darlithiau o hyn allan mewn* CELL (Private Room) *fel na bydd esgus i neb gael mwy; ac felly disgwylir cael cynnorthwy y* Cymry *oll; canys ni bydd gwahaniaeth rhwng pleidiau, neu enwau neillduawl, ond un* genel, *dan funier,* "Undeb a Brawdgarwch," *o un ymgais, i ddysgu a choleddu eu gilydd, a chwilio trysorau Cafyddyd a Gwyddoriaeth. Er dwyn hyn oddiamgylch, y mae y Gymdeithas wedi symud o Ostyl y Goron, Heolan Bwa, i Ostyl Owain Glyndwr, 163, Heol Porthgwern* (Owain Glyndwr Tavern, Aldersgate Street) *lle bydd iddi gyfarfod bob nos Iau, ond y cyntaf o'r mis, sef noswaith Darlith, pryd y cyferfydd mewn Cell, yn Rhif. 3, Clawr Castell Newydd, Bryn Brawdoliaeth* (No. 3, Newcastle Court, College Hill) *yr hon a rodd y Llywydd iddi am flwyddyn o leiaf yn ddiardreth.*

*Hoff genym weled, trwy gyfrwng y Misolion, fod cynnifer o Gymdeithasau wedi eu sylfaenu yn y Dywysogaeth: llwyddiant idd eu hymdrechiadau, ac anrhydedd a'u coronaw; a bydded i ni, a hwythau, gydweithredu er lles ein cydwladwyr yn gyffredinawl, a pharhad y Gymraeg. Ac er rhwyddinaw hyny, barnem mai buddiawl a fyddai i ni ohebu y naill at y llall, os yr un bwriad sydd genym; ac os yr un nôd y cyfeiriwn ato, paham na hysbysem weithrediadau y naill i'r llall, na ohebem y naill at y llall? ac na byddwn yn fwy cyfeillgar a brawdol? Yr ydym ni yn ewyllysgar i ohebu â'n* Chwiorydd *oll; a gobeithiwn y bydd i ni, cyn hir, gael yr hyfrydwch o gyfeillachu â'n cyfaillrach trwy y Dywysogaeth; a thrwy hyny, pwy a wyr nad allwn fod yn offerynawl i gael* Athrofa Gymroaidd, Gweinyddiad y Gyfraith *yn Gymraeg? &c. Os ewyllysia neb ddanfon atom, anfonont eu llythyrau i* Ostyl Owain Glyndwr, *a chânt atebiad; ac os daw unrhyw gyfaill i Gaerludd ar antur, deued yno, ac efe a dderbynir yn groesawus, medd yr* eiddoch, &c.

IEUAN AB GRUFFYDD, Cofiadur.

## RHYBUDD A CHYNGOR

*I'w Ddarllen yn yr Eglwys, ar ol y Gwasanaeth, gan y Gweinidog, am Bedwar o Suliau, o leiaf, o flaen Dydd y* Confirmasiwn.

Anwyl Gariadus Frodyr,

Cyfarwyddir fi gan yr Esgob i rybuddio y bydd efe yn barod i gonffirmio y rhai hyny o bobl ieuainc y Plwyf hwn a fyddo addas i hyny, ar          dydd o fis
yn                    ym mha le y disgwylir iddynt ymddangos yn y Fynwent am
o'r gloch yn y boreu.

Y mae'n rhaid i mi, am hyny, ddwyn ar gôf Rhieni ac Arolygwyr eu dyled o addysgu y rhai a ymddiriedwyd i'w gofal, neu y personau eu hunain, os ydynt o oedran digonol i hyny, i wneuthur eu hunain yn wir ystyriol o'r rhwymedigaeth sydd arnynt, yn ol gorchymyn ein Heglwys, i adnewyddu, yn eu henwau eu hunain, yn y ddefod barchus o Gonffirmasiwn, yr addunedau a'r addewidion a wnaethpwyd gan ereill wrth eu bedyddio. I'r diben hwn, buddiol neillduol fydd iddynt ddarllen yn ddifrifol Wasanaeth y Bedydd, yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, a dwys ystyried, yn gystal y bendithion a berthynant i'r Sacrament Sanctaidd hwnw, a'r rhwymedigaethau a osodir ar bob Cristion mewn canlyniad iddo; ac felly ddyfod i'r ddefod hon gyd âg iawn ymsyniad ar addewidion y cyfammod Cristionogol, a'r dyledswyddau a ofynir ganddo.

Ac fel y delont yno gyda phurdeb calon, a didwylldra meddwl, angenrhaid yw iddynt edrych yn ol ar y rhan o'u bywyd a aeth heibio, edifarhau am eu holl bechodau adnabyddus, penderfynu yn ddidwyll i wellhau eu buchedd o hyny allan, a chydffurfio â rheolau ufudd-dod Cristionogol.

Wedi ymbarotoi fel hyn, erfyniaf arnoch chwi, y rhai a fwriedwch fyned i'ch Conffirmio, ddyfod ataf fi yn                    a rhoddi i mi y cyfryw gyfrif o'ch gwybodaeth o'r Grefydd Cristionogol ag a gynnwysir yn Nghatecism yr Eglwys, fel y caffoch docynau angenrheidiol er eich derbyniad. Disgwyliaf brofion o'ch Ffydd yn yr unrhyw; ac o'ch ymorphwysiad arni am eich iachawdwriaeth ddyfodol, fel y gallwyf, gyda chydwybod dda, eich cyflwyno i'r Esgob, i gael eich Conffirmio ganddo.

Goddefwch i mi etto ychwanegu, y gall yr holl rai hyny ag a fyddo wedi eu hiawn barotoi, a'u tueddu at y ddefod sanctaidd a llesol hon, sicrhau eu hunain yn dyfod i'r Conffirmasiwn, ac yn ddifrifol adnewyddu eu Hadduned Bedydd, ac yn taer weddio am gymmorth oddi uchod, y cryfhêir hwy yn dufewnol gan Yspryd Sanctaidd Duw i gyflawni eu hymroadau duwiol; canys y mae genym addewid ein Hiachawdwr bendigedig y rhydd ein Tad nefol yr Yspryd Glân i'r sawl a ofyna ganddo.

Deuwch, gan hyny, a gofynwch, fel y derbynioch; ond deuwch wedi iawn ymbarotoi yn ol y Rheol a roddais i chwi. Deuwch gyda bwriad diysgog nad ymfoddlonwch yn unig ar adnewyddu eich addunedau, ond hefyd eu dwyn ym mlaen i berffeithrwydd, yn gystal yn eich holl fywyd yn gyffredin ag yn nerbyniad teilwng o'r Cymmun Sanctaidd; yn neillduol, cyn gynted ag y galloch ar ol hyny, ac o bryd i bryd, o hyny allan, yn ol y cyfleusderau a roddir i chwi.

Cofiwch, uwchlaw y cwbl, bod y rhan fwyaf yn y ddefod hon yn perthyn i chwi. Eich bod chwi yn myned yn ddifrifol i gyfammod â Duw trwy yr atebion, y rhai yr addysgir chwi i'w gwneuthur; ar yr hyn, yn ol arfer yr apostolion, a defod sefydledig Eglwys Unedig Lloegr a'r Iwerddon, y bendithir ac y cadarnhêir (confirmir) chwi gan yr Esgob; a gellwch obeithio, trwy ei weddiau ef a'r gynnulleidfa, y cryfhêir chwi; a thrwy gyflawni eich rhan yn dda, a pharhau yn yr unrhyw, gellwch gredu yn ddiau y cewch, trwy haeddiant eich Pryniawdwr, hawl i ragorfreintiau a diddanwch yr Efengyl yma, a'i gwobrau ar ol myned oddi yma.

Cyf.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Cyflwynwyd y Parch. H. Pechell, M. A. gan Esgob Ty Ddewi, i Ganghellwriaeth Eglwys Golegawl Brycheiniog—yn wag trwy farwolaeth y Parch. E. Davies, awdwr y "*Celtic Researches and Mythology of the Druids.*"

Cafodd y Parch. Llewelyn Lewellin, D. C. L. Blaenor Coleg Dewi Sant, ei gyflwyno i Gor-Beriglonaeth Llanarthney,—yn wag trwy ymadawiad y Parch. H. Pechell.

---

## BU FARW.

Ar ddydd Sadwrn, y 14eg o Fai, yn ei dŷ ei hun, yn *Bedford Square*, Llundain, Jonathan Raine, Ysw. yn 68 oed. Yn y flwyddyn 1816 gwnawd Mr. Raine yn Brif Farnydd cylchdaith Siroedd Meirion, Caernarfon, a Môn; a pharhaodd i gyflawni y swydd hono hyd oni chymmerodd cyfnewidiad le y'ngweinyddiad barn ym mrawdlysoedd Cymru. Yr amser hwnw caniatawyd iddo fil o bunnau yn y flwyddyn gogyfer â'i golled o'r swydd fel Barnwr Cymru. Yr oedd Mr. Raine hefyd yn Aelod o'r Senedd dros Fwrdeisdref Newport yn Nghernyw.

Dydd Iau, Mai 19, y'Ngwrecsam, Mrs. Williams, gwraig y Parch. W. Williams, Curad y dref hono. Gadawodd ei gwr, a phump o blant i alaru ar ei hol. Eu colled hwynt yw ei helw hi.

---

Gwall.—Yn y Rhifyn diweddaf, tu dal. 149. yn lle Φιλιππους, darllen Φιλιππω.

# Y GWYLIEDYDD.

GORPHENAF, 1831.

## "GAIR DUW GOREU DYSG."

### TESTUN* CYMREIG COLEG DEWI SANT AM Y FLWYDDYN 1830.

NID oes nemawr yn gwadu gwerthfawrogrwydd dysgeidiaeth. Y mae gwahanol gelfyddydau a gwybodau, ac i bob un o honynt eu gwahanol ddibenion; ond y mae un prif ddiben iddynt oll, sef dedwyddwch dyn; a rhagoriaeth pob un o honynt sydd yn ol eu haddasrwydd i ateb y prif ddiben. Dedwyddwch creadur rhesymol sy mewn iawn arferiad o gynneddfau yr enaid; a hyn yw nod amcan holl ddynolryw, o'r brenin ar ei orsedd hyd at y tlawd yn ei fwthyn: a phan na byddo nwydau llygredig yn tywyllu y meddwl, ymestynant ati trwy arfer y rhai hyn. Yn ganlynol, y mae syched am wybodaeth yn naturiol i ddyn. Y mae o'r pwys mwyaf, gan hyny, i ni ddeall ym mha wybodaeth y mae 'r tueddiad mwyaf i ateb y prif ddiben. Y doethion, yn yr amser gynt, a farnent mai philosophyddiaeth oedd heol ac arweinydd bywyd; ac, yn ganlynol, mai hi oedd y ddysgeidiaeth oreu. Cicero a ddywed, "*Hanc ego perfectam philosophiam judicavi, quæ de maximis quæstionibus copiosè popet ornateque dicere.*" Yn hyn yr wyf yn cydsynied âg ef: ac os gallaf ddangos fod un rhyw ddysg yn agosach i'r darluniad yma nag un arall, galwaf hono yn ddysgeidiaeth ag sydd yn rhagori ar bob un ddynol, ac ystyried y "pethau mwyaf," nid mewn cyferbyniad i wrthddrychau gwybodaeth *Cicero*, ond i bethau angenrheidiol i ddyn eu gwybod fel creadur rhesymol.

Na feddylied neb fy mod yn diystyru dysgeidiaeth ddynol oddiwrth yr hyn a gaf ddywedyd am un sydd fwy; oblegid yr wyf yn ei thybied o fawr werth. Ond fel pob peth da arall y mae iddi ei thalaith ei hun. Ac ni fyddaf yn ei bychanu wrth ddywedyd ei bod yn arweiniol i'r llall, fel y celfyddydau i'r brif gelfyddyd; ïe, pe gorphwysem ei gwerthfawrowgrwydd ar ei haddasrwydd i gloddio allan bwysig drysorau y wybodaeth hon. Pe bai i un, wrth ddwys fyfyrio ar arddercbog a dyrys drefn natur, betruso am awdwr y pethau harddwych hyn, ac ymofyn ym mhlith holl ddoethion daear, ar bu rai ni lewyrchodd un goleuni ond go-dywyniad rheswm,

Pwy luniodd ffurfrodd sêr,
Ac a ledodd y gloywder;
Môr dilòr mawr dywedwch,
Oddiar traeth, a'i ddw'r trwch?
Pa law fu 'n lluniaw 'r llenydd,
Glana' dês goleuni dydd;
Haul, lloer, sêr, pob aderyn,
Gwyllt, gwellt, gwâr, daear, a dyn?

cai eu clywed yn adrodd eu gwag ddychymygion un ar ol y

---

* Ym mhlith yr amrai Wobrwyon Blynyddol yn Coleg hwn, rhoddir un bob amser am y Traethawd Cymreig goreu ar ryw destun arbenig, a barnwyd hwn yn fuddugol, y flwyddyn ddiweddaf, ar y run achod.

llall, ond yn llwyr annigonol i foddloni y meddwl ymofyngar. Aristotle, ar ba un yr edrychent fel haul y celfyddydau, a freuddwydiai i'r byd fod o dragywyddoldeb, ac i ryw angenrheidrwydd tyngedfenawl osod pob peth fel ag y gwelwn hwynt. Democritus, Epicurus, ac ereill, a wadent hyn; ond cydsynient oll fod y defnyddiau er tragywyddoldeb. Y rhai hyny a gredent fod Duw, a feddylient na wnaeth ddim yn nghreadigaeth y byd, ond gosod y rhai hyn mewn trefn, fel y meddyliwn am ryw weithiwr arall. Ond os trown oddiwrth Aristotle, Democritus, Pythagoras, a Phlato, a gosod yr un gofyniad i'r lleiaf ei ddysg yn Ngair Duw, atebai, mai cyn gynted ag y dechreuodd dringlyn amser daro, i'r gair Tragywyddol sefyll uwch ben yr anferth wagle, a galw y defnyddiau o ddiddim, ac i'r gymmysgfa ddechreuol glywed ei swn, ac ufuddhau i'w drefn; mai efe oedd y pen saer celfydd a grogodd y bydoedd yn yr eangder; "a fesurodd y dyfroedd yn ei ddwrn, ac a fesurodd y nefoedd â'i rychwant, ac a gymmysgodd bridd y ddaear mewn mesur, ac a bwysodd y mynyddoedd mewn pwysau, a'r bryniau mewn cloriannau." Pe gofynem drachefn, I ba ddiben y creodd efe hwynt? methem gael atebiad nes dyfod at y Gair, yr hwn a ddywed iddo wneuthur pob peth er ei fwyn ei hun, er egluro ei ogoniant a mawrhau ei allu.

Pe clust ymwrandawem drachefn ar wahanol resymau y Philosophyddion ynghylch y ffynon wenwynllyd, o ba un y tarddodd y drwg moesol a naturiol, ag sydd wedi gorlenwi y byd, ni chlywem ddim am dani ond y dychymygion mwyaf disail a ferwodd yn ymenydd y daroganydd pen-boethaf. Pe gofynem, ar y llaw arall, i blentyn a addysgwyd yn yr Ysgrythyr Lân, dywedai efe yn groyw "mai trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn yn gymmaint a phechu o bawb."

Trwy yr yspienddrych hwn gallwn ganfod, trwy awyr deneu yr oesoedd cyntefig, ym mhell tu draw i eang olygiad pob hanesyddiaeth arall, yr Hwn sydd yn preswylio tragywyddoldeb ar chwareufwrdd amser, yn dwyn oddi amgylch y gweithredoedd mwyaf aruthrol a glybuwyd erioed am danynt. Ar un amser, wele ffenestri y nefoedd yn cael eu hagoryd, a ffynnonau y ddaear yn ymagor, nes boddi y byd â dwfr diluw, ac yn gwneuthur cymmaint cyfnewidiad ar wyneb y greadigaeth a ddyrysai y ddaear ddysgedigion yn eu holl wybodaeth; oddieithr yr hysbysiad a gânt yma. Eilwaith, wele ef yn cymmysgu iaith dynolryw, ac yn eu dosparthu i wahanol gonglau y ddaear. Bryd arall, canfyddwn ef yn dadymchwelyd teyrnasoedd, yn darostwng breninoedd, ac yn gwrthdroi trefn natur er amddiffyn ei etholedig. Yr oll o ba rai a soddasent mewn angof, oddieithr eu trosglwyddo yn nghoflyfr Gair y gwirionedd. Ond, Och! paham y mae cloriannau cyfiawnder mor anghywir yn ngweinyddiad llywodraeth Duw? Drygioni, yn benuchel, a ymbesga ar ddanteithion pleser ym mhelydr-aidd oleuni hawddfyd; tra y mae Rhinwedd yn dwyn ei hynt yn ddiymgeledd, yn ochain dan bwysig iau trawsedd, heb neb i sychu ei dagrau oddiar ei gruddiau, na chysuro ei henaid pan yn ymboeni dan wasgfeuon trallod. Dysgedigion daear! doethion yr oesoedd gynt! A ellwch chwi ddeongli y ddadl? A oes i rinwedd a bai yr un tâl wedi ymadaw â'r fuchedd hon? Onidê, nid yw y rhan oreu o ddyn ond arteithfa i'w boenydio. Socrates, yr hwn oeddit yn addurn i'th gyd-ddynion o ran dy ddysg a'th wybodaeth, A oes genyt un sail i gredu y cei fyw ar ol rhoddi

dy gorph i waelodion daear? Ateba mewn petrusder.* "Νυν δ' ευ ισθι οτι παρ' ανδρας τε ελπιζω αφιξεσθαι αγαθους και τουτο μεν ουκ αν πανυ διισχυρισαιμην."

Yr un ammheuaeth oedd yn pylu golygon Cicero a Seneca, a'u holl gyd-athronwyr, fel nas gallasent eglur ganfod bryniau anfarwoldeb draw dros wastadedd amser. Un a ddywed,† "*Ex pone igitur mihi, nisi molestum est, primum animum, si potes, remanere post mortem, tum si id minus obtinebis, est enim arduum, docebis carere omni malo mortem.*" Arall yn gyflawn mor ammheus,‡ "*Et fortasse, si modo sapientum vera fama est, recipitque nos locus aliquis, quem putamus periisse præmissus est.*" Pe gofynem drachefn i anian-dreithyddion ein dydd, y rhai a honant anfarwoldeb yr enaid oddiar ei annefnyddioldeb, dywedent fod ganddynt ddigon o resymau i wrthddadleu â'u gwrthwynebwyr; etto, methant arddangos yn eglur fod ynddynt ran i gydgesi â Duw.

Eithr dysgir ni gan "air sicrach" Duw ei hun, er gosod i ddyn farw unwaith, etto wedi hyny bod barn. A chan fod yr Ysgrythyr mor helaeth ar y pwngc hwn, anaddiol fyddai coffhau llawer o'i wahanol ranau i'w brofi. Gwyddom y

Cyfyd fal yd o fol âr,
Gnawd tew egin-bridd daear;
A'r môr a yrr o'r meirwon
Fel myrdd uwch dyfn ffyrdd y dòn,
Trŷ allan ddynion tri-llu,
Y sydd y fydd ac a fu.
Heb goll yn ddidwn hollol,
Heb un o naddynt yn ol.

Yr haul gan henaint a gyll ei dês; y sêr disglaerwych a syrthiant drwy yr eangder; syflir braisg golofnau y byd; a dyrysir trefn y rhod; ond yr enaid a saif yn gadarn gryf yn olaf ddadfeiliad natur. O, werthfawr wybodaeth yw hon! Hebddi ni fuasai pleserau ein bywyd ond echrys boen, a'n prif gynneddfau ond defnydd ing a gofid. Y ddysgeidiaeth hon sydd yn rhagori yn benaf ar bob dysgeidiaeth arall, o herwydd ei bod yn cyfleu i'r meddwl wybodaeth am bethau dwyfol ac ysprydol, pa rai nas gallasai rheswm dyn byth gyrhaeddyd; ac, yn ganlynol, nas gallasem ni fyth wybod am danynt ond trwy gyfrwng dwyfol ddatguddiad. Y mae'n wahanol i bob dysg arall, yn gymmaint nad yw synwyr naturiol dyn yn ddigonol i'w derbyn; ond rhaid i dueddfryd y galon gael ei chymmwyso cyn y gallwn ni gael meddiant o honi. Y mae drwg dueddiad y meddwl yn anghymmwyso dyn i farnu am natur a chyfeiriad y dwyfol wirionedd, fel ag y mae clustiau trwm-glyw yn anaddasu dyn i iawn farnu am gerddoriaeth. Ac y mae hyn yn tarddu oddiar natur pethau, sef, nas gall un gosodiad, ag sydd i reoli buchedd bywyd, fod yn dderbyniol i'r rhai a gylch arweinir gan rym eu nwydau. "Ετι δε τοις παθεσιν ακολυθητικος ων ματαιως ακυσεται και ανωφελως επειδη το τελος εςιν ου γνωσις αλλα πραξις."* Gall goleuni nofio yn y pen am athrawiaethau y Bibl, ond "â'r galon y credir i gyfiawnder." Nid oes dyfodfa at y ddysgeidiaeth hon os na fydd duwioldeb yn rhagflaenu i agor y llwybr. "Dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd, deall da sydd gan y rhai a wnant ei ewyllys ef."† Y mae 'r rhai sydd yn dysgu y Gair fel hyn yn deall meddwl yr Yspryd, yr hyn a fernir yn ysprydol, yr hyn a rydd fywyd i'r gosodiad, a bywiogrwydd i'r enaid. Wedi gweled mai wrth y ddysg hon y meddylir cydunol weithrediad y serchiadau â'r deall ar bethau ysprydol, awn rhagom i ystyried ei ragorol ogoniant.

Gellir darlunio y wybodaeth ag y mae yr Ysgrythyr yn gyfleu—

* Plat. Phæd. † Tusc. I. ‡ Sen. Ep. 61.

* Arist. Nich. I. 3. † Salm iii. 10.

Yr athrawiaeth am fyw i Dduw;' oblegid diben yr holl Ysgrythyr yw, adferyd dyn i gyflwr addas i wasanaeth ei Greawdwr; a chymmaint ag all fod yn fuddiol i hyn a eglurwyd yn y Gair. Yr Ysgrythyr yn unig a rydd i ni syniadau cywir am Dduw; a chyfeiliornad yn hyn yw gwraidd pob cyfeiliornad arall. Wrth ddarllen llyfr natur gallwn gael ein hargyhoeddi o Fod a Llywodraeth y JEHOFAH; ond yn yr amgylchiadau goreu nis gallwn gyrhaedd ym mhellach na phenderfyniadau cyffredinol, digonol i greu ynom bryder ac ystyriaeth, ond analluog i foddloni teimlad ac ymofyniad y meddwl crefyddol. Gwelir daioni yr Hollalluog ar ei holl waith; ond yr euogrwydd sydd yn gorwedd ar y gydwybod, a'r trueni sydd yn ein hamgylchu, a arddangosant yn eglur "mai cyfiawnder a barn yw trigfa ei orseddfainge ef." Hyn, a dim yn ychwaneg, wrth ddilyn natur trwy ei holl effeithiau a'i hymddangosiadau, a allwn ddeall am Dduw a'i lywodraeth. Digon yw i'n suddo mewn anobaith, neu i'n gyru ym mhell oddiwrth wrthddrych mor ofnadwy. Ac nis gall dyn, oddiar yr olwg yma, lai na darostwng proffiedydd perffeithrwydd yn gydradd â'i ymddygiad, neu ymgaledu ac ymarfogi mewn gwrthryfel yn erbyn Duw. Ond dysgir ni mai "Efe yw yr Arglwydd sydd yn gwneuthur trugaredd, cyfiawnder, a gwirionedd, ar y ddaear, ac yr ymhyfryda efe yn y rhai hyn." A'r wybodaeth hon sydd anhebgor, er ennill gwirfodd ufudd-dod i'w lywodraeth; oblegid nid bodoliaeth un gwrthddrych yw sail ein cariad tu ag ato, ond y rhinweddau sydd briodol iddo, ac yn dwyn perthynas â ni. Ac er fod cyfiawnder a gwirionedd yn odidog mewn Brenin, etto ni wnant ond creu ofn a chasineb yn nghalon ei ddeiliaid os euog fyddant o anufudd-dod; felly nid bodoliaeth y Duw mawr, ond ei briodoliaethau moesol yw unig sail ein cariad tu ag ato. Ac nis gallwn ganfod un hawddgarwch yn y rhai hyn er ein hennill i'w garu, a ni yn gwybod haeddu o honom ei ddigofaint, os na fedrwn gyssoni perffaith gyfiawnder a thrugaredd yn ei waith yn wynebu ar hil syrthiedig Adda. I'r diben i gael yr olwg yma ar berffeithrwydd moesol yr Arglwydd, rhaid i ni gredu mewn Tri Pherson yn y Duwdod, nid fel athrawiaeth unigol ynghylch natur yr hanfod ddwyfol, ond fel dirgel wirionedd angenrheidiol i'w gredu er canfod purdeb, sancteiddrwydd, a gogoniant ei lywodraeth foesol. Nid oes a wnelom â natur yr hanfod ddwyfol, oblegid nid oes un tueddiad moesol yn y wybodaeth hono. Yr ydym yn caru neu yn casau ein cyd-ddynion, nid oddiar ein gwybodaeth o ddifyniad y corph dynol, neu natur ei undeb â'r enaid, ond o herwydd y rhinweddau moesol sydd ynddynt. Felly, cyn belled ag y mae tueddiad yn athrawiaeth y Drindod i ddatguddio gogoniant priodoliaethau yr Arglwydd yn nhrefn iachawdwriaeth dyn, ac i gael effaith foesol arno ef, mae yn angenrheidiol iddi gael ei chredu, sef am y Tad fel penllywodraethwr, a'r Mab fel Cyfryngwr, yr hwn yw disgleirdeb gogoniant y Tad, yn ei hysbysu ef i ni ym mherffeithrwydd ei briodoliaethau, fel ag y mae y pelydr yn hysbysu i ni am yr Haul; a'r Yspryd Glân, fel unig gyfrwng gweinyddiad llywodraeth y Messiah, yn cymmwyso effeithiau ei farwolaeth at gyflwr pechadur, ac yn ei sancteiddio trwy ei rasol-ddylanwadau. A pha wybodaeth a gystedlir â hon? Pa ddysgeidiaeth all gyd bwyso â hi? Meddiant o honi sydd yn gylymedig âg annhraethol wynfyd; a diffyg o honi âg echrys boen. "Oblegid ei adnabod ef yw bywyd tragywyddol." Rhydd holl hanes ymddyg-

iad y JEHOFAH tu ag at ddyn; gwrthryfel yr olaf, ei ddedfryd anocheladwy, trefn i'w gadw yn unol â pherffeithrwydd y priodoliaethau dwyfol, iawn am ei bechod, cyfiawnder i'w enaid, a chyflawn ddarpariad i ladd yr elyniaeth sydd yn ei galon, a'i gymmodi yntau â Duw. I'r pethau hyn yr angylion a chwennychant edrych. Addefaf fawr bwys dysgeidiaeth ddynol. Y mae yn ein haddysgu yn ngweithredoedd y Creawdwr, yn gloywi galluoedd yr enaid, ac yn ei uchelu oddiar sothach y ddaear i fyfyrio ar bethau mwy goruchel a theilwng o hono ei hun. Anianyddiaeth, yn ei gwahanol ranau, a ddengys i ni fawredd a chyssondeb anghydmarol trefn natur ac ymddibyniad y cwbl ar un prif achos. Pwy nad archwaetha y wybodaeth am

Arcturum, Pluviasque Hyadas, geminosque Triones,
Quid tantum Oceano, properent se tingere soles,
Hyberni, vel quæ tardis mora noctibus obstet.*

Pwy ni lama o ddigrifwch wrth feddwl mai yr un ddeddf sefydledig sydd yn cynnal y planedau yn eu cylchoedd, a'r defnyn gwlith ar flaen glaswelltyn?

Llywiawd-ddysg ac Hanesyddiaeth, eilwaith, a eglurant ddyrys droion Rhagluniaeth, pob peth yn ol eu graddau, yn cyd uno i ddatgan gogoniant Duw.

Yr hwn sydd yn hyddysg drachefn yn nghyfansoddiadau uchelraddiol Groeg a Rhufain, a all wrandaw ar feddyliau rhagfyfyriedig Beirdd ac Athronwyr, Hanesyddion a Gwladwriaethwyr, ar bob achos a all betruso yn ei gylch. Ond os awn i gydmaru holl wybodaeth ddynol â'r un am ddyfnion bethau Duw, yn nhrefn iachawdwriaeth, dihoena yn ei golwg fel magien yn ngoleuni haul. Diau fod yr hwn a ddysgwyd wrth draed Gamaliel mor hyddysg â'r goreu yn eu plith; ond pan drodd i fyfyrio ar sylwedd yr Ysgrythyr, wele ef yn suddo mewn syndod, ac yn gwaeddi, "O! ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef, a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt?"*. Gwybodaeth o'r ieithoedd, a phob rhyw ddysg arall, ydynt o annhraethol werth, yn gymmaint a'u bod yn arweiniol i un sydd fwy, trwy gael ei iawn arferyd; oblegid yn amgen, y dwyfol ddatguddiad a fuasai ond sŵn dieithr i'n clustiau ni. Ac er cael cyfieithiad o hono, gelynion y gwirionedd a'n gorthrechasent er ystalm; ac nis gallasem ni weled ei holl ogoniant chwaith, yn gystal mewn cyfieithiad ag yn yr iaith yr ysgrifenwyd ef ynddi. Etto, nis gall cyfarwyddyd ynddynt oll, trwyddi ei hunan, waredu neb o nifer y rhai a ddifethir o eisiau gwybodaeth.

(*I'w orphen yn y nesaf.*)

---

**PERERINDOD YR AFRADLON.**

---

Y NEWYN TRWM.

"Ac wedi iddo dreulio y cwbl, y cododd newyn mawr trwy y wlad hono; ac yntau a ddechreuodd fod mewn eisieu."—Luc xv. 14.

DYMA yn gywir yr hyn a allem ddisgwyl glywed am y fath ddyn afradlon. Pan ymryddhao ieuenctyd uchelfrydig eu hunain oddiwrth reolaeth rhieni, ac y gwrthodant bob attaliad, yna dechreuant y ffordd i ddistryw. Mor gynted ag y llywodraethont eu hunain, ac y caffont bethau dan eu llaw, yna tramwyant trwy lûs gaeau blodeuog o hoyw afradlonedd dreulfawr. Yno y dechreuant eu byw afradus, a'u hanystyriol yrfa ddinystriol. Gyrir hwy yn y blaen gan awydd nwydwyllt am fwynhad, heb roi lle i'r ystyriaeth lleiaf; a'u bryd yn llawn am hyfrydwch presennol, heb olygu un canlyniad; treuliant eu

---

* Virg. Æn. 1. 744.

* Rhuf. 11. 33.

beiddo gan ei ddifrodi yn ddiattal. Pan eu gwthir fel hyn yn y blaen gan eu nwydau afreolus, a'u trachwantau llygredig, a hwy yn breuddwydio am afonydd o fwyniant dros lawer o amser, yna casgl cymmylau duon, a thorant yn ffrydiau disymwth ar eu penau madronaidd; a daw y newydd eu bod wedi *gwario y cwbl.* Daw yn awr eu dydd tywyll a chymylog, a'u haul a fachluda. Nid tlawd yn unig ydynt; ond niweidiasant eu hiechyd, eu henw da, eu cydwybod, ynghyd â chrolli eu harian. Ac ni feddant na chyfaill, na gobaith, na gun peth mewn golwg; a gadewir hwynt i'w hadfyfyriadau poenfawr, i wylo a chwynfan yn ddigysur, yn nhrigle dilewyrch anobaith. Nid oes dim yn ol ond y *newyn trwm,* ffrwyth priodol y byw afradlon.

Yn hanes yr afradlon ni a welwn gynllun cywir o bechadur—o bob pechadur sy'n gadael Duw. Clywsom yn barod fod pechaduriaid yn wastraffwyr tost; clywn yn awr y gwastraffant y cwbl. Byddai o fawr fudd i ni ddeall yn gyflawn y gwir amlwg hwn:—"Y treulir, ac y daw i'r dim, bob rhodd, lles, a bendith, a rydd Duw i bechaduriaid diras." Nid oes dim a bâr byth ond Crist, a'i ras, a'i iachawdwriaeth. Holl roddion byd a ddarfyddant gyd â'r byd. Yr holl ddoniau, rhagorfreintiau, a'r cyfleusderau, a gyfrana Duw i'r rhai sydd heb Grist a dreulir, a ddiflanant, ac ni byddant mwy. Dywedir yn fuan am bawb sydd â'u rhan yma isod—"Treuliasant y cwbl, a daeth y newyn mawr."

I. Byddai o ddefnydd i ni gymmeryd *sylw cyffredinol* o'r holl bethau sy dan haul, fel y gwelom pa mor fuan yr edwinant, ac y darfyddant.

Mae amrywiaethau diderfyn o wrthddrychau byd ag ydynt yn mawr ddigryfu meddwl dyn, yn tynu ei sylw, yn rhoi llawn gwaith i'w ddoniau, yn ennill ei serch, ac yn lleddi ei galon; ac o herwydd ei wendid a'i ffolineb y mae dyn yn byw ar y pethau hyn yn lle ar ei Dduw. Pa luoedd a allent ddweud yn wirioneddol—"Gwnaethom aur yn obaith i ni, a dywedasom wrth yr aur coeth, ti yw ein hymddiried." A pha luaws aneirif a enbydasant eu bythol fywyd am fwyniant y byd isod hwn? Ond pa mor fuan y dywedir am y cyfryw "Treuliasant y cwbl."

1. Gellir dweud hyn am nifeiri yn y *byd hwn,* cyn eu hymadawiad. Pob dedwyddwch a deimlasent a'u gadawodd, ac y maent wedi syrthio i boen a gofidiau. Amryw o feibion sy wedi afradloneddu, a fuont unwaith y mwyaf bywiog a llawen o'r teulu difyr hwn, ydynt weithiau yn byw nes treulio eu holl fwyniant, nes yr êl yn gyfan heibio, a methant mwy a dilyn eu gyrfa wageddus. Llawer a allant ddywedyd yn nghanol eu dyddiau—"Treuliasom y cwbl, ac nid oes dim yn ol." Cyfoethog oeddynt unwaith mewn trysorau; ond gwnaeth eu trysorau iddynt adenydd, ac ehedasant ymaith. O ran trysorau ysprydol, ni feddant rai i'w treulio; ac ni feddent ddim er pan adawsant Dduw. Yr oeddynt yn yr ystyr hyn bob amser yn "dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth." Ac yn awr eu dâ byd o bob rhyw a ddifawyd. Llawer ym moreu eu bywyd a dreuliant y cwbl.

2. Ac ar *ddiwedd einioes,* y mae tlodi yr annuwiol yn annirnadol fawr a gresynus. Gellir dywedyd yn wirioneddol am bob enaid a fyddo heb Grist yn angeu, "Treuliasant y cwbl, ac ni feddant ddim." Caeant eu llygaid ar y cwbl sydd yma: ni welant yr haul, na'r ddaear, na'r môr byth mwy. Eu lleoedd hyfryd a ddiflanant; yr awr olaf o ddifyrwch a mwyniant a dreuliwyd, ac ni ddychwel mwy. Ymddihatrir hwynt o'r cwbl, hyd

yn nod o'u dillad; ac ni feddant gyfaill trwy 'r byd a rydd iddynt gymmorth neu gysur. Llwyr dreuliasant y cwbl, a llwyr dlawd ydynt! o herwydd ymadawant mewn mynydyn â'u holl wag ddifyrwch, ac â'r cwbl sydd anwyl ganddynt dan haul. Gallant oddef hyn oll yn foddlon, pe meddent Waredwr i'w cynnal, i'w hamddiffyn, ac i'w diddanu: ond ni feddant un Gwaredwr, nac iachawdwriaeth, na diogelfa. Gwrthodasant Grist, a dewisasant y byd a phechod o'i flaen. Esgeulusasant ei iachawdwriaeth fawr; am hyny arosant dan gollfarn, a thani y byddant. A pheth yw eu gobaith yn y bythol fyd yr ânt iddo? tywyll, erchyll, arswydus! Os edrychant tu a'r nef, ni's gallant lai na dywedyd, "Dyna wlad a ddirmygasom, a gwrthodasom gerdded y ffordd a arwain iddi. Nid ein gwlad ni yw, ac ni's gallwn fyned byth iddi, gan na feddwn hawl na chymmwysder iddi, ac ni osodasom ein trysorau ynddi. Diammeu fod pawb ydd yn marw allan o Grist *wedi treulio'r cwbl*, a llwyr dlawd ydynt, wedi colli nefoedd a daear; a gyrir hwynt ymaith yn ddiobaith i dir trueni diorphen! O! bechaduriaid, *trowch mewn pryd i ddiogelfa*, ac ymgysgodwch tan adenydd trugaredd. "Trowch i'r amddiffynfa, chwi garcharorion gobeithiol." Ymguddiwch yn holltau craig yr oesoedd, fel y diogeler chwi rhag y llid i ddyfod, ac fel y gorfoleddoch yn y Gwaredwr, pan fyddo pechaduriaid diras yn wylo, yn griddfan, ac yn marw heb obaith.

II. "Cododd *newyn* mawr yn y wlad hono."—1. Wrth y wlad bell, gwlad newyn, y mae i ni ddeall yn eglur y *cyflwr* y dygodd pechod ni iddo, y cyflwr o ddieithriad oddiwrth Dduw, ac o elyniaeth yn ei erbyn, y cyflwr o bechod ac angau, y cyflwr o gollfarn a thrueni. Yn y cyflwr galarus hwn y genir pawb i'r byd, ac am hyny y maent yn "blant digofaint." Ac yn y cyflwr hwn y mae llaweroedd yn byw, yn marw, ac yn bod byth. Nid ydynt fyth yn dychwelyd o'r wlad bell hon, nac yn gadael gwlad newyn—ond yn aros ynddi, heb wybod am wir ddedwyddwch, heb ymheddychu â Duw. Yr ydym oll yn y cyflwr hwn, nes ein *geni o Dduw*, nes y gwneler ni yn blant gras. Mae pawb na ail-aned, mae pawb na symudwyd o farwolaeth i fywyd, ie, pawb nad ydynt wedi ymddiosg yr hen ddyn, a gwisgo am danynt yr Arglwydd Iesu, yn drigolion y wlad bell hon.

2. A gwlad y *newyn mawr* yw y wlad bell hon, gwlad y tlodi mwyaf, gwlad gresynded a chelledigaeth. Da fyddai i bechaduriaid, pe cymmerent iawn ofal i ddeall ac i ystyried maintioldeb y newyn a barha yn wastad yn ngwlad natur. Newyn trwm ydyw—"drudaniaeth dros yr holl fyd." Ac y mae mewn gwlad lle nad oes un cymmorth i'w gael. Rhaid *gadael y wlad hon*, neu farw byth. Nis gall fyth ddyfod i'ch rhan un *fendith ysprydol*, tra 'r arosoch mewn cyflwr anadenedig. Gwlad natur ac nid gwlad gras yw 'r hon y trig pob pechadur annychweledig ynddi; ac yno ni chânt ond pethau natur, heb un fendith ysprydol. Tra yr aroso dynion yn nghyflwr natur, y maent "heb Grist," heb ras, heb iachawdwriaeth. Mawr yn wir yw newyn y wlad hon! Nid oes neb o'i thrigolion yn meddu maddeuant pechod, na heddwch â Duw, nac yn y ffordd i'r nefoedd. Nid oes neb ynddi mewn meddiant o iachawdwriaeth, am na wisgasant Grist am danynt, am na unwyd hwynt âg ef: o herwydd heb undeb âg ef, nid oes fywyd; "canys nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." Ni all dyn yn ei gyflwr natur feddu un o *fendithion achubol* yr Yspryd Glân. Yr Yspryd sydd yn cyfl

rans pob gras; a'i waith ef yn unig yw ein huno â Christ, a'n gwneud yn feddiannol ar fywyd dwyfol ynddo. Er mwyn gweithredu yr undeb hwn, a'n gwneud yn foddlon i dderbyn Crist, argyhoedda ni o bechod, ac o euogrwydd, ac o berygl: yna symud ni o wlad natur i wlad gras: una ni â Christ, a gwna ni yn gyfranog o bob bendith achubol. Heb ein symud, nid yw yn alluadwy meddu y fath fraint; ac heb hyn parhawn heb un addasrwydd i'r nefoedd, ac heb un hawl chwaith. Tra yr arosir yn y wlad hon, ni ellir cael tamaid o fara y bywyd, na defnyn o ddwfr y bywyd. Na ellir; canys yn ngwlad bywyd, ac nid y'ngwlad angau, y ceir y pethau hyn.

Cymmaint yw *tlodi* a *diffrwythder* gwlad natur, fel na ddwg ddim ond chwyn, a drain a mieri. Ni ddwg ei thir anial gymmaint ag un o ffrwythau yr Yspryd: ac nid oes gan drigolion y wlad bell hon un cymundeb â Duw, na chariad at Grist, nac un heddwch na llawenydd yn yr Yspryd Glân. Ni fwynheir y rhai'n yn un lle, ond yn ngwlad bywyd, yn nheyrnas gras, ac mewn cyflwr achubol. Y cyfryw yw y *newyn mawr* sydd yn y wlad bell hon yn wastadol, fel na fedd y trigolion ddim ond pethau diflanol, a ddarfyddant wrth eu harfer; ni feddant nac iachawdwriaeth, na bywyd a barhâ, nac un fendith ddwyfol; y maent heb obaith, ac heb Dduw yn y byd.—Arwain y pwngc hwn ni i wneud y sylwadau canlynol:—

Syl. 1. Mae pechaduriaid yn myned o un *pechod i bechodau mwy;* planhigyn o dwf buan yw pechod. Lefain yw a ymdaena yn fuan trwy holl aelodau y corph a holl alluoedd yr enaid, hyd nes lefeinio y cwbl. Cerdd pechod yn gyflym, a phob cam a gymmer a rydd egni newydd; a bydd y cam nesaf yn hawddach a mwy hyfryd. Gwrandawodd Efa yn gyntaf ar Satan, yna edrychodd ar y pren, chwennychodd ei ffrwyth, estynodd ei llaw, cymmerodd a bwytaodd ef, wedi hyny rhoddodd i'w gwr. Ei mab Cain yn gyntaf a goleddodd genfigen, yna casaodd ei frawd, ac wedi hyny lladdodd ef. Judas hefyd a garodd arian, a drodd yn rhagrithiwr, ac a ddibenodd yn fradwr. A dechreuodd y mab afradlon hwn hefyd ei yrfa bechadurus trwy goleddu meddyliau uchel am dano ei hun, yna aeth yn draws wrth ei dad, hònodd ei ran, a chyrchodd ymaith i wlad bell, lle y treuliodd ei arian trwy fyw yn afradlon. Ai nid dyma arfer pechaduriaid yn gyffredin? Hwy a ânt o anwiredd i anwiredd, a chwanegant gryfder wrth fyned, fel y gwna careg chwanegu cyflymdra wrth dreiglo ar i waered. Ond gwybydded y pechaduriaid hyasef, fel y cynnyddant mewn drwg, y cynnyddant mewn perygl; fel y trysorant bechod, y trysorant ddigofaint; mwyaf eu bai, mwyaf yw llid Duw tu ag atynt. O droseddwyr! os yw o werth genych gymdeithas Duw, ymadewch âg anwiredd, cyn y delo anwiredd yn ddinystr i chwi.

Syl. 2. *Tywys pechod i boenau.* Y byw afradlon a barodd y newyn. Pan na wrteithier y tir, metha y cynhauaf. Gwelwn mor wir yw, mai "yr hyn a hauo dyn, hyny hefyd a fed efe." "Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth." "Gwynt a hauasant, a chorwynt a fedant." Hâd poen a chosp yw troseddau. Gwastraff a dywys i dlodi; a gwrthryfel i garchar. Gellir olrhain yr holl boenau sydd yn y byd i bechodau dynion. Poenau yn wir a darddant yn aml oddiwrth bechod, mor amlwg a gwall cwsg oddiwrth dwymyn, neu ochain oddiwrth esgyrn briw. Gellir yn fynych ganfod y pechod yn y gosp. Gallai yr

afradlon weled yn eglur y geiriau, *Byw yn afradlon*, yn ysgrifenedig mewn llythyrenau mawrion ar y newyn a oddefai. Yr hwn a ridd-fan ar ei wely dan ddarguoad poen-us, neu loesau arteithiol y gymal-wst, sydd yn cofio yn dda ei ang-hymmedrolaeth blaenorol, a'i lodd-esta, ei feddwdod a'i lythineb. Pa amryw gyrph iachus a wanychwyd, ac a hollol ddirymwyd gan gyfedd-ach y nos, buchedd afreolus, a byw afradlon? Llawer a gollant eu tir-oedd trwy chwareuaeth dichellgar, a'u plant a adawant i dlodi. Am-ryw deuluoedd a newynant o eisieu bara, o herwydd gwastraff rhieni yn y tafarndŷ. Beth sydd yn llanw ein carcharau, a rhan amlaf, ein tai elusen hefyd, onid byw af-radlon? Gallwn ddweud yn wir-ioneddol am y rhan fwyaf o'r tru-eni a leinw 'r tir, y tardd oddiwrth bechod, mor eglur a'r drewiant oddiwrth y dòmen, neu y ffrwd chwerw oddiwrth y ffynnon chwerw. A'r lle nad yw dioddefau a phoen yn ffrwyth amlwg troseddau, dan-fonir hwynt megys cosp oddiwrth Dduw, fel y plâau ar Pharaoh, y felldith ar Ham, neu y gwahan-glwyf ar Gehazi. Ond am y rhai a etifeddant ogoniant, defnyddia Duw gosp megys *offeryn trugaredd:* ac, fel y gwnaeth a Job, amddifada hwynt o'r cwbl, fel y rhoddo iddynt lawer mwy. Gwerthodd Duw Jo-seph yn gaethwas, a dygodd ef trwy garchar i fod yn llywydd ar yr Aipht. A'r newyn mawr yn y wlad bell a yr yr afradlon adref i dŷ ei Dad. Felly, yn nghanol barn y cofia Duw drugaredd. Llawer yw *lles* a dderbyn plant gras oddi-wrth ofidiau y bywyd hwn—cadw-ant hwynt oddiwrth bechod, a gyr-ant hwynt yn fwy at Grist. Dyma ffwrn sydd gan Dduw yn Sion i buro ei bobl: ac yma y dysgant lawer o bethau, y rhai na allent, pan na fynent, ddysgu mewn un modd arall. "Gorthrymder a bar ddioddefgarwch; a dioddefgarwch, brofiad; a phrofiad obaith." Pan brofir hwynt, deuant allan megys aur. Felly, ynte, mae holl ddi-oddefau y bywyd hwn naill ai yn ffrwyth amlwg pechod, neu yn farn oddiwrth Dduw ar yr annuwiol am eu pechod, neu yn geryddon er budd i'r duwiol.

Syl. 3. Danfonir y newyn tost hwn gyda bwriad i *yru* allan drig-olion y wlad bell hon, ac i'w dan-fon adref at Dduw; i brofi iddynt mai gwlad angeu ydyw, ac i beri iddynt ddyfod i wlad bywyd. Ni chymmer dynion yn gyffredin un rhybydd am eu perygl, ac ni theimlant eu heisieu o Dduw, nes y delo trymder dioddef arnynt. Tra yr hŷ-nofiont mewn llwydd-iant, megis Israel, tewychant a gwingant. Denfyn Duw genhadon lawer ar eu hol i'w galw adref: ond ni wrandawant. Ond os ni wrendy Pharaoh ar Moses, caiff yn fuan glywed y plâau a enfyn Duw i lefaru wrtho.

Cysga llawer mor drwm mewn pechod, neu mor llawn eu bryd yn ffyrdd y cnawd, fel na chlywant na tharanau Sinai, na pheroriaeth Sion: etto gall Duw lefaru â llef a dyn eu sylw, ac a wna i'w cnawd grynu. Y mae ganddo y pla, y newyn, a'r cleddyf, yn weision wrth ei amnaid. Denfyn y rhai'n i gipio y wraig o'r fynwes, neu i ladd y cyntaf-anedig. Yna dy-rysir eu holl fwriadau a'u hamcan-ion: eu delwau heirdd a chwilfriw-ir, a'u holl-ddychymmygion a ddar-fyddant. "A wrandewch arnaf yn awr?" medd y llais o'r nef. At-ebant hwythau, am y tro cyntaf, "Llefara, Arglwydd, y mae dy was yn gwrando." Yn sydd trallod ystyriant, a gwaeddant, "Pahàm y digwyddodd hyn i ni? Yr ydym yn ngharchar, ac nis gallwn ddyfod allan. Pa le y cawn waredwr? Ni rydd y ddaear neb i ni; trown, ynte, ein golygon tu a'r nef." Y

newyn mawr oedd yr hyn a yrodd yr afradlon adref.

Syl. 4. Greddfol yw i ddyn *ochel* ac *ofni* trallodau a chystuddiau bywyd: ond gwel Duw yn rheidiol i'w danfon. A than ei dywysiad doeth a rhadlawn ef, trodd yn aml y pethau a arswydai dynion fwyaf, yn fendithion penaf: parasant iddynt ddyfod at y Gwaredwr am iachawdwriaeth, pan fethasai pob moddion ereill. Gwnaed Bartimeus yn ddall, fel y perid iddo waeddi—"Mab Dafydd, trugarha wrthyf." Y ferch ieuangc o Ganaan a gaiff ei pherchenogi gan gythraul, er dwyn ei mam alarus at yr Iesu, ac i weddïo yn ddifrifol—"Arglwydd, cymmorth fi." Ni allai Absalom ddwyn Joab i lefaru wrtho, nes gosod ei ŷd ar dân. Ni ddaw llawer at Dduw, er eu gwahodd yn fynych, nes y lloago hwynt allan o'u trigfanau. "Gosoda gystudd ar eu lwynau," nes y perir iddynt "waeddi ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder." Denfyn Elias i ddinystrio eu duwiau gau, fel yr addolent y gwir Dduw. Pan ddel gorthrymderau mawrion, cyrcha dynion at eu heilun am help, a gwaeddant yn eu cyni—"O Baal, gwrando ni;" 'O fyd, gwared ni.' A phan na bo na llef na neb yn ateb, nac yn gofalu, dechreu rhai waeddi gyd âg Elias, "Gwrando fi, O Arglwydd, gwrando fi." Ond rhai a *galedant* eu calonau, ac ni wrandawant ar lais barn, nac ar lais trugaredd. Dywed yr Arglwydd am y rhai'n—"Myfi a elwais, ond chwi a wrthodasoch."—"Gwr a gerydddir yn fynych ac a galeda ei wàr, a ddryllir yn ddisymwth, fel na byddo meddyginiaeth." *Diar.* 29. 1. Ni yrir rhai, hyd yn nod gan y newyn trwm, allan o'r wlad bell: ond arosant er y cwbl, a byddant farw yno.

*(I'w barhau.)*

## EGLURHAD BYR AR GONFFIRMASIWN,

*Mewn dull o Holiad ac Atebiad.*

Cwestiwn. Beth yr ydych yn ei ddeall wrth y gair *conffirmio?*

Ateb. Cadarnhau neu sicrhau.

C. Paham y gelwir gwasanaeth *conffirmasiwn* felly?

A. Oblegid ynddo yr ydym yn conffirmio neu yn cadarnhau yr addewid a'r adduned a wnaed trosom yn ein bedydd.

C. A ellwch chwi roddi rheswm arall?

A. Oblegid yn y gwasanaeth hwnw y mae 'r Esgob trwy weddi ac arddodiad dwylaw yn ein conffirmio a'n cadarnhau yn ein penderfyniad i wneuthur felly.

C. Pa beth gan hyny ydyw dyledswydd arbenig y rhai a gonffirmir?

A. Cymmeryd arnynt eu hunain yr addewid a'r adduned a wnaed drostynt yn eu bedydd?

C. I ba beth y dylid deall fod conffirmio yn arwain?

A. I fwrdd yr Arglwydd?

C. Pwy a ddylid eu conffirmio?

A. Y rhai, wedi eu bedyddio yn eu babandod, ydynt wedi cyrhaedd oedran a synwyr.

C. Pa beth yw y cymmwysder goreu i'r rhai sydd yn chwennych cael eu conffirmio?

A. Penderfyniad gwirioneddol i ymroddi i'r Arglwydd ac i'w wasanaeth.

C. Pa beth a addawyd yn gyntaf trosoch yn eich bedydd?

A. Ymwrthod o honof â'r diafol a'i holl weithredoedd, &c.

C. Pwy yw y diafol?

A. Satan, neu 'r yspryd drwg.

C. Pa rai yw gweithredoedd y diafol?

A. Cabledd, balchder, awyngyfaredd; cenfigen, digasedd, a bwriad drwg; rhagrith, celwydd, ac enllib; rhyfyg, ac anghrediniaeth; ymhyfrydu mewn camwedd, a themtio ereill i bechu?

C. Pa beth a feddylir wrth y byd?

A. Pethau y byd, a dynion y byd?

C. Pa beth a feddylir wrth rodres y byd?

A. Ei anrhydedd, ei wag-ymddangosiad, a'i gyfoeth; trwy chwennychu a charu pa rai y meithrinir balchder, ac y tynir y galon oddiwrth Dduw.

C. Pa beth yw gorwagedd y byd?

A. Difyrwch, cymdeithas, gwisgoedd, pleser, y rhai y mae dynion bydol yn eu caru ac yn eu dilyn er niweid i'w heneidiau.

C. Pa beth a feddylir wrth y cnawd?

A. Ein natur lygredig a syrthiedig.

C. Beth yw ei chwantau?

A. Ei ddymuniadau gwaharddedig.

C. Pa beth yr ydych yn ei addaw ac yn

ei addunedu drosoch eich hunain wedi eich conffirmio?

A. Trwy ras Duw ymwrthod o honof â'r byd, a'r cnawd, a'r diafol.

C. Paham y dylid ymwrthod â hwynt?

A. Oblegid eu bod yn elynion i'm henaid, ac yn rhwystro fy iachawdwriaeth.

C. Pa beth yn ail a addawyd drosoch yn eich bedydd?

A. Bod i mi gredu holl byngciau ffydd Crist.

C. Ym mha le y mae y rhai hyny i'w caffael?

A. Yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

C. Ym mha le yn benaf y maent wedi eu crynhoi ynghyd?

A. Yn nghredo 'r apostolion.

C. Pwy yw gwrthddrych ein ffydd a'n haddoliad Cristionogol?

A. Yr un Bod Dwyfol, yn enw yr hwn y'n bedyddiwyd, sef y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân, tri Pherson, ac un byth fendigedig Dduw.

C. Pa beth sydd genych i'w chwanegu yn briodol am bob Person yn y Drindod?

A. Duw y Tad a'm creodd, Duw y Mab a'm prynodd, a Duw yr Yspryd Glân sydd yn fy sancteiddio.

C. Pa beth arall y mae y ffydd Gristionogol yn gofyn i chwi ei gredu?

A. I mi gael fy ngeni mewn pechod, yn blentyn digofaint; ac heb fy ail-eni nas gallaf foddhau Duw.

C. Pa beth ym mhellach?

A. Fod yr enaid yn fwy gwerthfawr na'r corph, a bod y byd hwn yn fyr, mewn cydmariaeth â'r nesaf.

C. Pa beth ym mhellach?

A. Fod, ar ol marwolaeth, barn, ac yna gwynfyd neu ofid di-ddiwedd.

C. Pa beth ym mhellach?

A. Mai Iesu Grist, Mab Duw, yw yr unig Iachawdwr; a bod yn rhaid i'r rhai a fynant gael eu hachub ganddo ef, ddyfod ato am iachawdwriaeth.

C. Pa fodd y mae yn rhaid iddynt ddyfod?

A. Trwy weddi ffydd?

C. Rhoddwch angraifft.

A. O Arglwydd Dduw! bydded i ymsyniad o'm heuogrwydd a'm trueni fy arwain mewn ffydd, gobaith, a chariad, at Iesu Grist dy Fab, am iachawdwriaeth.

C. Pa beth yr ydych yn addunedu drosoch eich hunain yn y conffirmasiwn?

A. Trwy ras Duw y glynaf wrth, ac y daliaf holl fanau y ffydd Gristionogol.

C. Pa beth yn drydydd a addunedwyd yn eich enw a throsoch yn eich bedydd?

A. Cadw o honof wynfydedig ewyllys Duw a'i orchymynion, &c.

C. I ba beth y mae 'r adduned hon yn eich rhwymo?

A. I wasanaethu Duw mewn perffeithrwydd a gwirionedd holl ddyddiau fy einioes.

C. Pa fodd y gallwch wneuthur hyn?

A. Yn unig trwy ras Duw.

C. Pa beth ydych yn ei feddwl wrth ras Duw?

A. Cymmorth ei Yspryd Glân.

C. Pa fodd y gellir cael hyn?

A. Fe rydd Duw yr Yspryd Glân i'r rhai a ofynant ganddo. *Luc* 11. 13.

C. Pa fodd yr ymddengys eich bod yn ewyllysgar ac awyddus i gymmeryd arnoch eich adduned fedydd?

A. Trwy fy ymbarotoad gofalus a sobr, yn gyntaf i'r conffirmasiwn, ac yn ail i swper yr Arglwydd.

C. Pwy fydd yn debygol o fod wedi ymbarotoi oreu erbyn hyny?

A. Y rhai sydd yn fwyaf teimladwy o'u heisiau, ac yn gweddïo yn fwyaf dyfal am yr Yspryd Glân.

C. Ar ol y rhagymadrodd, i ba sawl rhan y gellir rhanu gwasanaeth y conffirmasiwn yn Llyfr Gweddi Gyffredin?

A. I Bedair.

C. Pa un yw y gyntaf?

A. Gofyniad yr Esgob, ac atebiad y rhai sydd yn dyfod i'w conffirmio.

C. Adroddwch y gofyniad?

A. "A ydych chwi yma yn ngwydd Duw a'r gynnulleidfa hon," &c.

C. Pa beth yw yr ateb priodol?

A. "Yr ydwyf."

C. Pa beth sydd yn gynnwysedig yn yr atebiad hwn?

A. Yr ydwyf——yn ymwrthod â diafol, y byd, a'r cnawd; yr ydwyf——yn derbyn ac yn cymmeryd Iesu Grist yn Arglwydd, yn Feistr, a'm hunig Iachawdwr. Yr ydwyf——o hyn allan yn penderfynu rhodio yn ei ffyrdd, ac ymuno â'i bobl; gan bwyso ar ei gymmorth addawedig, i'm conffirmio a'm cryfhau yn y penderfyniad hwn.

C. Pa beth yw yr ail ran yn ngwasanaeth y conffirmasiwn?

A. Y mae yn cynnwys gweddi am ychwaneg o ras ysprydol i'r rhai a gonffirmir.

C. Pa beth yw y drydedd ran?

A. Y conffirmasiwn ei hun, neu arddodiad dwylaw yr Esgob ar benau y rhai a gonffirmir, gyda gweddi am fendith Duw.

C. Dangoswch pa fodd y gellir arfer gweddi yr Esgob yn y dirgel, fel gweddi cyn conffirmasiwn.

A. Amddiffyn fi, O Arglwydd, â'th ras nefol, fel y byddo i mi barhâu yn eiddot ti byth, a beunydd gynnyddu yn dy Yspryd Glân fwyfwy, hyd oni ddelwyf i'th deyrnas dragywyddol. Amen.

C. Beth yw y bedwaredd neu y rhan olaf o'r gwasanaeth hwn?

A. Y mae yn gynnwysedig o Weddi yr

Arglwydd, a dau Golect (un yn neillduol dros y rhai a gonffirmir, a'r llall yn gyffredinol dros bawb) a'r fendith.

C. Pa beth a ellwch ei ddisgwyl trwy iawn ddefnyddio y conffirmasiwn?

A. Cael ein cadarnhau yn ffydd, gobaith, cariad, ac ufudd-dod yr efengyl.

C. Pa beth a ddywedwch am y rhai sydd yn cynnyg eu hunain i'w conffirmio yn anystyriol, ac heb ddyfal ymbarotôi?

A. Twyllwyr ydynt, yn tynu arnynt eu hunain felldith yn lle bendith.

C. Pa beth ydych yn ei addef mewn conffirmasiwn?

A. Fy medydd a'i holl rwymedigaethau.

C. Pa beth heblaw hyny yr ydych yn ei addef?

A. Yr Eglwys, yr hon a'm haddefodd, ac a'm derbyniodd pan yn blentyn.

C. Pa fodd yr ymddengys eich bod wedi derbyn bendith yn y conffirmasiwn?

A. Trwy fy nghof am, a'm parch cydwybodol i'r, addewid a'r adduned a wnaethym yno drosof fy hun.

C. A pha beth a fydd yn sier o ganlyn hyn?

A. Gofal a phenderfyniad i gyfranogi yn ddioed o swper yr Arglwydd.

R. AB R. *Cyf.*

---

## GWALLAU YN Y BIBL CYMREIG.

MR. GWYLIEDYDD—Yn chwanegiad at y gwallau a nodwyd eisoes yn y Bibl wythplyg diweddaf, argraffedig gan y "Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol," caniatêwch i minnau alw eich sylw at y rhai canlynol, tueddol i arwain y Cymro uniaith i gyfeiliornad. Yn *Num.* 33. 11. yn y Bibl Hebraeg, y llythyren ס sydd yn y gair *Sin*; ac yn *adn.* 36. o'r un bennod, y llythyren צ sydd ynddo, yr hyn sydd yn gwneuthur sain ac ystyr cwbl wahanol. Yn y Bibl Saesoneg y mae *S* yn *adn.* 11. a *Z* yn *adn.* 36. yn gyfattebol i'r Hebraeg. Y mae yn gwbl eglur eu bod yn ddau le gwahanol, a dylent gael eu gwahaniaethu yn y Biblau Cymreig hefyd. Daeth Israel i anialwch *Sin* yn y pymthegfed dydd o'r ail mis ar ol eu mynediad allan o wlad yr Aipht: ond i anialwch *Zin* y daethant, yr hon yw Cades, yn y mis cyntaf o'r ddeugeinfed flwyddyn o'u pererindod—Yn *Dan.* 3. 25. "A dull y pedwerydd sydd debyg *i Fab Duw,*" yn lle "*i fab i dduw,*" *the son of a god:* oblegid ni wyddai Nebuchodonosor yr eilunaddolwr Paganaidd ddim am Iesu Grist, yr hyn y mae'r ymadrodd, "*Mab Duw,*" yn ei arwyddo yn y Bibl; ond os darllenwn, "a dull y pedwerydd sy debyg i fab i dduw;" hyny yw, i ryw un mawr, megis duwiau y cenhedloedd, y mae yr ystyr yn gysson âg ymadrodd Pagan.—Yn *Rhuf.* 9. 29, "*Arglwydd y sabbath,*" yn lle "*Arglwydd y sabaoth.*" "*Arglwydd y lluoedd*" yw gan *W. S.* a'r Dr. *Morgan*; ond "*Arglwydd y sabbath*" yw ym mhob argraffiad arall, yn camarwain meddwl y darllenydd uniaith. Yn y Saesoneg y mae yn ol y Groeg, "*The Lord of sabaoth.*"—Yn *Luc* 6. 1. "*Ar yr ail prif sabbath,*" yn lle "Ar y sabbath cyntaf o'r ail dydd wedi sabbath gwyl y pasg.". Yr oedd yr holl sabbathau rhwng y pasg a'r sulgwyn yn cael eu henwau oddiwrth yr ail dydd ar ol y sabbath y'ngwyl y pasg; fel y canlyn: Δευτερο πρωτον, *y sabbath cyntaf o'r ail dydd wedi sabbath gwyl y pasg.*—Δευτερο δευτερον, *yr ail sabbath o'r ail dydd wedi sabbath gwyl y pasg.*—Δευτερο τριτον, *y trydydd sabbath o'r ail dydd wedi sabbath gwyl y pasg,* &c.—Yn *Heb.* 11. 28. "*Gollyngiad y gwaed,*" yn lle "*taenelliad y gwaed.*" Y gair Groeg προσχυσις, a arferir yma, yw y cyfieithiad Groeg o'r gair Hebraeg זרק a gyfieithir "*taenellu,*" yn *Exod.* 24. 6. a 29. 16. *Lef.* 1. 5, 11. 2 *Bren.* 16. 13. 2 *Cron.* 29. 22. yn y Saesoneg, "*Sprinkling of blood:*" εκχυσις yw *gollyngiad*, a chymmeryd y ddau air yn yr un ystyr, tebygol, oedd yr achos o'r camgyfieithiad. Barchedig Wyliedydd, os cofiaf un gwall arall, anfonaf ef i chwi, er mwyn ei ddiwygio; oblegid y mae'n fater o'r pwys mwyaf.

M. R. LL.

## Y MILDRAETHODYDD.

---

### CHWILEN Y BWMP.

NID yw yn angenrheidiol dywedyd, bod llawer math o Chwilenod; canys y mae sylw pob un o'n darllenwyr wedi gwneuthur hyny yn hysbys iddo. Fe ddywed Anianyddion bod uwch pedwar ugain math o Chwilenod. Y maent oll, er yn amrywio mewn llawer o bethau, yn cytuno yn hyn—sef gweiniad neu amwisgiad eu hadenydd. Y mae hyn hefyd yn hollol angenrheidiol iddynt, gan eu bod yn fynych yn byw yn y ddaear, lle y buasai eu hadenydd yn derbyn niweid, pe na buasai gorchudd iddynt. Os sylwir ar wneuthuriad y Chwilenod, fe geir bod eu hesgyrn yn allanol, a'u gïau, &c. yn dufewnol. Yn hyn y maent yn debyg i gregynbysg. Bernir bod eu gewynau, yn ol cymmaint a chymmaint; fil o weithiau yn gryfach na rhai dynion. Yr oedd hyn yn angenrheidiol iddynt i'w galluogi i wneuthur tyllau yn y ddaear, er diogelwch iddynt eu hunain, a'u rhai bach. Y mae amrywiaeth nid bychan yn eu plith o ran maint, a liw, yn gystal a llun:—rhai yn ddu loyw, ereill yn goch danbaid, rhai yn fychain iawn, ac ereill yn gymmaint a dwrn. Ystod bywyd rhai o honynt yw mis, ereill a gymmerant bedair blynedd i ddyfod yn berffaith Chwilen. Un o'r rhai blaf hyn yw yr hon a ddarluniwn y tro hwn. Gelwir hi gan rai, Chwilen Mai, Chwilen y Bwmp, Y Colbi. Y mae i hon, megys i bob Chwilen, amwisg i'w hadenydd, o liw rhyddgoch tywyll, a wch gwyn yn dasselledig arnynt. Eu traed blaen ydynt fyrion, etto yn hynod gryfion; ac felly yn gymmwys i dyllu i'r ddaear, yn yr hon gwnant eu nyth, ac y dodwant, ac deorir eu hwyau. Y mae y Chwilen hon rai amserau yn hynod ddinystriol i ffrwyth y ddaear. Gwahanieithir yr wrryw oddiwrth y fenyw wrth faintioli y sypyn ar flaen eu teimledyddion: y mae 'r sypyn yn hŵy yn y gwrryw na'r fenyw. Y fenyw, pan yn barod i ddodwy, a dylla i'r ddaear dwll oddeutu chwe modfedd o ran dyfnder, ac yno y dodwa ei hwyau; ac yna hi a ddychwel yn ol i fyw megys o'r blaen am ychydig o fisoedd haf. Ym mhen tri mis daw allan o'r wyau gynrhonyn bychan, yr hwn a ymbortha yn wangcus ar wraidd pob math agos o lysiau. Erys yn y cyflwr hwn am dair blynedd, gan ymborthi ar wreiddiau pob llysieuyn gwyrdd a ddaw yn ei ffordd. Gweithia ei ffordd o le i le o dan y ddaear i ymofyn am ymborth yn rhwydd a chyflym. Yn y drydedd flwyddyn, fe fydd wedi cynnyddu i faintioli mawr. Gwelir hwynt yn fynych yn y gwanwyn yn y gwys ar ol yr aradr. Y mae rhai o honynt y pryd hwn yn fodfedd a hanner o hŷd. Cynrhonyn melyn-wyn mawr, â phen coch iddo. Fe renir ei gorph i ddeuddeg ochr, neu gylchoedd. Y mae iddo dri throed, a naw o dyllau i anadlu trwyddynt. Ond, gan ei fod etto yn byw yn y ddaear, nid oes iddo lygaid; eithr rhoddwyd iddo ddau deimledydd, y rhai a atebant yr un diben. Tua phen y bedwaredd flwyddyn, y mae y cynrhonyn hwn yn cyfnewid yn araf i Chwilen: ac i hyn, tua diwedd yr Hydref, yn y bedwaredd flwyddyn o'i hanfodiad, y mae yn tyllu yn ddyfnach i'r ddaear—rai prydiau mor ddwfn â dwy lath i'r ddaear; ac yna fe wna iddo ei hun gaban, gan ei lyfnhau o amgylch. Wedi gwneuthur iddo ei hun gaban fel hyn, efe a ddechreua ymbarotoi i'w gyfnewidiad olaf. Ymfyrha ac ymchwydda, hyd nes rhwygo ei groen; ac yna, wedi bwrw ymaith hwnw, fe ymddengys yn curynyn. Ei liw yn y cyflwr hwn ar y dechreu sydd fel-

yn; ond cryfhâ bob yn ychydig o ran lliw, nes y byddo agos yn goch. Gwelir y pryd hwn, yn ei ran allanol ddechreuad ei holl ranau allanol pan yn Chwilen berffaith. Erys yn y cyflwr hwn am oddeutu tri mis. Tua dechreu Ionawr, yn y bedwaredd flwyddyn, ymddengys yn berffaith Chwilen, oddi eithr o ran nerth gwangc, ac iechyd. Gellir galw y pryd hwn, dyddiau ei mabandod. Y mae yn hynod ddifywyd y pryd hwn. Meddyliodd llawer, wrth ei gweled yn y cyflwr hwn, mai yr hen Chwilen er y flwyddyn o'r blaen oedd—ac mai hanner cysgu yr oedd, i aros gwres yr hâf i'w dadebru. Ond nid yw yr hen byth yn byw dros y gauaf. Tua diwedd Mai, y trychfilod hyn, ar ol byw am bedair o flynyddoedd yn y ddaear, a weithiant eu ffordd allan o'r ddaear, ac a ehedant oddi amgylch yn yr hwyr tymherus i ymofyn am ymborth, a chydymaith. Gellir, mewn rhai manau, ar hwyr teg yn niwedd Mai, eu gweled yn ymwthio allan o'u daear-dai yn lluoedd, ac yn ehedeg yn fwngleraidd trwy'r awyr. Pan y bo'r tymmor yn addas, a chyd-unol â hwynt, gwelir mewn rhai ardaloedd fyrddiynau o honynt yn diangc allan o'u carchar-dai, ac yn cymmysgu eu hynt yn yr awyr, heb na darlun na chwmpawd. Ganol dydd y mae'r gwres yn ormodol iddynt; am hyny hwy a lechant yn nghysgod y dail, hyd yr hwyr.

Tua diwedd yr ail cant ar bymtheg, ymddangosodd y trychfilod hyn mewn rhai ardaloedd yn yr Iwerddon mor lliosog fel ag i wneuthur colled nid bechan i'r trigolion. Yn y flwyddyn 1668 y dechreuasant ymddangos yn ardaloedd deheuol Galway. Dygwyd hwynt yma gan wynt o'r deheu-orllewin. Oddi yno hwy a aethant i'r wlad. Gwelid hwy yma ac acw yn y wlad, ar y coed a'r gwrychoedd, yn lluoedd aneirif, ac yn crogi oddiwrth y brigau yn sypiau fel heidiau o wenyn. Arosent fel hyn dros wres y dydd; ac yna yn yr hwyr ymollyngent oddiwrth eu gilydd, ac ehedent oddi amgylch gyda swn annymunol. Yr oeddynt mor lliosog, fel y tywyllent yr awyr am ddwy neu dair o filltiroedd. Yr oedd yn hynod annymunol i ymdeithyddion y pryd hwn; canys yr oedd y creaduriaid hyn yn eu cyfarfod ar bob llaw, ac yn eu hergydio mor drwm, fel ag i adael clais ar eu hwynebau. Cyn pen ychydig ar ol eu hymddangosiad, difasant holl ddail y coed, fel yr edrychent mor llwm y'nghanol yr hâf ag y gwnaent yn nyfnder y gauaf. Y swn a wnaent wrth ddifa y dail oedd debyg i swn llawer o lifwyr oddi yma draw. Aethant hefyd i'r gerddi, a bwytasant ddail a blodau y coed ffrwythau. Llawer o goed a drigasant mewn canlyniad i hyny. Gwnaeth eu rhai bach fwy o ddrwg dan y ddaear, nag a wnaeth yr hen rai ar ei hwyneb. Y rhai ieuaingc hyn a fwytasant wraidd y gwellt a'r ŷd, ac felly dinystriasant ymborth dyn ac anifail. Llawer o bethau a gydweithiasant i attal y pla dinystriol hwn. Gwynt uchel, tywydd gwlybyrog, &c. a ddinystriasant filiynau o honynt yn feunyddiol. Gwanychwyd hwynt i'r cyfryw raddau gan y tywydd, fel nad allent ymlynu wrth y brigau, a'r codwm oddiwrth y brigyn i'r ddaear a fu yn farwolaeth i luoedd o honynt. Ergyd bychan yn amser eu bywiogrwydd mwyaf a'u syfrdanai, os ni ymddifadai hwynt o fywyd. Cafwyd allan, yn ddamweiniol, bod mŵg yn dra niweidiol iddynt. Am hyny, wrth losgi rhedyn, ac eithyn, a grug, hwy a attaliwyd rhag myned i lawer o erddi, a gyrwyd hwynt allan o lawer wedi eu myned iddynt. Tua diwedd yr hâf, enciliasant o honynt eu hunain, ac ymadawsant mor llwyr, fel, cyn pen

nemawr o ddyddiau, nid oedd cymmaint ag un i'w weled mewn man yn y byd yn yr holl ardaloedd.

Ychydig o flynyddoedd yn ol, difawyd cnwd y ddaear mewn rhanau o Norfolk, yn yr ynys hon, gan y trychfil hwn pan yn ei gynrhonaidd gyflwr: ac yn y flwyddyn ganlynol, wedi iddynt gymmeryd adenydd, hwy a fwytasant holl ddail y coed a'r gwrychoedd mewn llawer o blwyfydd. Ar y dechreu yr oedd y trigolion yn eu curo i lawr oddiar y coed, a'r gwrychoedd, gyda phastynau, ac yna yn eu hel yn sypiau, ac yn eu llosgi. Un amaethydd a wnaeth lw, iddo ef gasglu uwch pedwar ugain *mwshel* o honynt; etto nid oedd eu rhifedi yn llai, oddi eithr yn rhai o'i feusydd ef ei hun.

Oddiwrth yr hanes hyn y gwelwn mor hollol yr y'm ni yn byw ar ofal rhagluniaethol Duw. Gall y creaduriaid mwyaf gwael a salw ein cospi ni, er ein holl ymffrost, os caniatâ Duw. Nid oes fawr o drychfilod yn edrych yn annhebycach i fod yn farn ar wlad, neu ardaloedd, na'r un y buom yn ceisio ei ddarlunio; ac etto ni a welwn y modd y gall fod yn dra niweidiol i ni. Nid oes, ac ni bu, ac ni bydd arno ef, yr hwn sydd yn llywodraethu pob peth yn y nef, ac ar y ddaear, eisieu moddion ac offerynau i gospi, neu i gymmorth, pan yr ewyllysio efe. "Mawr ac aneirif yw ei lu ef, a chedyrn yw y rhai sydd yn gwneuthur ei air ef."

R.

---

## "UNDEB CYMRU A LLOEGR."

*(Parhad o du dal. 176.)*

Yn oedd gorchfygu Cymru, a'i chyssylltu â Lloegr, yn un o'r gorchestion mwyaf a wnawd gan yr enwog frenin hwnw Iorwerth I. Drwy ei nerth a'i ddyfais fe a ddiffoddodd yspryd anymddibynol y Cymry—fe fferodd y gwaed oedd yn curo yn mynwesau eu tywysogion,—ac a ddarostyngodd y genedl i'r graddau isaf o gyfyngder a chaethiwed.

Pe ymddygasai Iorwerth tu ag at y Cymry fel brenin hawddgar a daionus, ac nid fel gorthrymwr creulon, fe gawsai yr anrhydedd, nid yn unig o'u gorchfygu, ond hefyd eu cymmodi â'i ddeiliaid ef ei hun, fel un teulu tan yr un penaeth.

Dyma, meddaf, fuasai y weithred odidocaf a wnaed yn ei oes, gogoniant penaf ei deyrnas, a'r perlyn harddaf yn ei goron.

Ond fe adawyd y weithred anrhydeddus hon i amser a chaethiwed yn unig i'w chwblhau. A thros ddau cant o flynyddoedd ar ol eu gorchfygu dangosodd y Cymry, amrywiol o weithiau, nad oeddynt foddlon i'w caethiwed Defnyddient, yn awyddus, bob cyfleusdra a gaffent i ennill yn ol ryddid cynenid hen drigolion gwlad Eryri.

Un siampl hynod o hyn a ddigwyddodd yn y flwyddyn 1399, dechreu teyrnasiad Harri IV. pan ddarfu Arglwydd Grey de Rhuthin, un o Arglwyddi y cyffiniau, gymmeryd iddo ei hun ran fawr o dir ac eiddo Owain Glyndwr, un o waedoliaeth a theulu Tywysogion Cymru, yr hwn, wedi methu dioddef y fath ormes, a lladrad, a gymmerodd yr achos mewn llaw, ac a'i rhoddodd yn un o frawdlysoedd Lloegr. Ond o herwydd y gelyniaeth oedd rhwng y Cymry a'r Saeson, fe fethodd gael cyfiawnder, nac un math o iawn am ei gam. Fe gyffrowyd tymherau Owain wrth hyn; ac er anrhydedd iddo ei hun, iawn i ni sylwi na wrthryfelodd heb wneuthur un ymgais ychwaneg i adferu ei feddiannau. Fe appeliodd at y Senedd, ac a erfyniodd ar i'r aelodau gymmeryd ei achos dan eu sylw, a rhoddi iddo uniondeb.

Ond yn hyn hefyd fe'i siomwyd; o herwydd fod Arglwyddi Lloegr, y tro hwn, yn gystal a phob tro arall, yn llawn rhagfarn a chasineb yn erbyn y Cymry a'u hachos. Pan welodd John Trefer, Esgob Llanelwy (yr hwn oedd y pryd hyny yn Senedd Brydain) nad oeddynt am roddi cyfiawnder i Owain am ei gam, efe a erfyniodd arnynt, er dim a fyddai, beidio diystyru ymgeisiadau mor gyfiawn, rhag ofn, wrth eu dirmygu, iddynt gyffroi ac annog y Cymry i wrthgyfodi yn eu herbyn. Pe gwrandawsai y Senedd ar y cyngor hwn gallasent arbed miloedd o fywydau doilfaid Lloegr, rhagflaenu pymtheg mlynedd o ryfel, ynghyd â'r holl alanastra dychrynllyd oedd yn dilyn. Ond yn lle ystyried achos Owain, fe ddywedodd un o'r Arglwyddi, "Nad oedd arnynt hwy ddim ofn pobl mor anwar a throednoeth a'r Cymry."

Pan welodd Owain nad oedd y Senedd ddim yn tueddu i roddi cyfiawnder iddo yn ngwyneb ymddygiadau traws-ormesawl yr Arglwydd Grey; ond, yn hytrach, gwawdio a dirmygu ei ddeisyfiad; a bod y fath

orthrymwr a Grey yn cael nawdd a derbyniad gan Frenin a Senedd Lloegr i gymmeryd ei etifeddiaeth drefdadol ef oddiarno, yr hon a adawsid iddo gan ei gyn-deidiau tywysogaidd, yr oedd yn llawn bryd iddo ddechreu amddiffyn ei wlad a'i eiddo ei hunan. Fe dynodd ei gleddyf o'i wain. Fe dafiodd ymaith oddi ar ei wàr hen iau ormesol y Saeson, ac a wahoddodd bawb o'r Cymry i ddyfod ym mlaen i'w ganlyn ef i amddiffyn eu cam, a dial ar ormes y Saeson.

Yr oedd Owain yn ŵr bonheddig parchus a dawnus, ac yn deillio yn union-gyrchol oddiwrth Dywysogion Cymru. Hyn, ynghyd â'r seren a ymddangosodd yn y ffurfafen, a barodd i'r Beirdd ollwng eu Hawenau athrylithgar yn rhydd; ac mewn llawenydd llonfawr hwy a gyhoeddasant, trwy holl Gymru, fod prophwydoliaeth Myrddin yn awr yn cael ei chyflawni, sef, "bod y Cymry, ar ol hir gaethiwed, bellach i reoli yr holl Ynys."

Wrth glywed hyn, cymmaint oedd eu hawch am ddyfod dan faner Owain, fel y gadawodd yr amaethwr ei aradr, a'r crefftwr ei gelfyddyd, nes i'w fyddin liosogi i filoedd o nifer. Fe ddywed un o'r Beirdd fod—

"Gwŷr tál yn ei ga'lyn,
"Mil myrdd mewn gwyrdd a gwyn,"

ac oll wedi diofrydu adferyd rhyddid eu gwlad. Hwy a anrheithiasant dir a phalas Arglwydd Grey yn gyntaf, a buddugoliaeth a'u canlynodd yn eu holl frwydrau.

Cymmaint oedd nerth byddinoedd Owain y pryd hyn, a'r galanasdra a wnaed ganddynt, nes oedd Lloegr yn crynu gan ofn. Fe gasglodd Harri ei holl fyddinoedd ynghyd dair gwaith yn erbyn Owain; ond fe orfu iddo ddychwelyd yn ol o flaen y Cymry mewn gwarth a chywilydd mawr.

Pan oedd y Bardd Seisnig enwog hwnw Shakspeare, yn darlunio dewrder Glyndŵr yn chwildroi Harri, fe ddywedodd fel hyn:

"Three times hath Henry Bolingbroke made head
Against Glyndŵr; thrice from the Banks of Wye,
And sandy bottom'd Severn, the Welsh sent
Him bootless home, and weather-beaten back!"

Dychryn a braw oedd i'w weled yn ngwynebpryd pob Sais, gan feddwl fod Duw 'r nefoedd yn ymladd brwydrau y Brytaniaid, ac yn dial ar weithredoedd camweddus y Saeson. Ond o'r diwedd fe wawriodd buddugoliaeth o'u hochr, nes iddynt orchfygu, y tro olaf am byth, holl awch milwraidd y Cymry. A rhag iddynt gyfodi byth mwyach i'w flino ef, na'i hiliogaeth, fe ddyfeisiodd Harri IV. yn y flwyddyn 1400, foddion creulon i'w gormesu.

Efe a osododd gyfreithiau mor erwin, fel na chlybuwyd i odid Dywysog Paganaidd ddodi erioed eu bath ar warau ei ddeiliaid. Oddiar deimladau o drachwant a gorthrymder, efe a dybiodd mai y moddion tebycaf i ddwyn ei amcanion gormeilus i ben, fyddai attal, hyd y gallai, pob cyfeillach rhwng y Cymry a'r Saeson.

Ni oddefid i neb a enid o rieni Cymreig brynu na thir na thyddyn yn agos i ddinasoedd na threfi ar gyffiniau Lloegr, dan y perygl o fod i'r cyfryw berchenogaeth fyned yn ddirwy i'r pen-arglwydd.

Ni chaent fod yn ddinasyddion, nac yn fwrdeisiaid, mewn un ddinas na bwrdeisdref. Difreinid hwy yn hollawl oddiwrth gynnal unrhyw swydd wladwriaethol, na bod yn faer na phenswyddog tref, ystafellydd, heddgeidwad, na gwyliwr; ac ni oddefid iddynt ddwyn arfogaeth, nac offerynau amddiffynawl o fath yn y byd o fewn eu tir.

Os gommeddai Cymro wneuthur iawn i Sais am neb anifeiliaid a attelid ganddo, goddefid i'r Sais ymaflyd ym mha ad-daledigaeth bynag a welai yn dda ei hun. Os byddai cynghaws cyfraith rhwng Cymro a Sais, nid oedd i'r Sais gael ei euog-farnu, na'i ddedfrydu, namyn gan Ynadon o'r un genedl. Ac mor eiddigeddus ydoedd Harri o brydferthwch merched Cymru, fel, er mwyn eu rhagflaenu i hudo dynion o'r wrth-genedl, efe a warafunodd i briodasau gael eu ffurfio rhyngddynt, dan y perygl o fod iddynt gael eu difeddiannu o bob rhagorfreintiau gwladol.

Ni oddefid i bobl o'r ddwy genedl gynnal cyfarfodydd cymmysg o un math, heb gennad ac arolygiaeth y prif swyddogion. Ni chaniateid dwyn lluniaeth nac arfau i Gymru, heb genad y brenin. Ac er mwyn tynhau llyffetheiriau y Cymry, a'u plant, yn gaethach fyth, ni oddefid i un Cymro rwymo ei fab mewn un grefft na masnach o fewn un ddinas na thref drwy holl derfynau y wladwriaeth, nac i'w dwyn i fynu mewn un dull dysgeidiaethol.

Ac heblaw yr holl waharddiadau ercbwylledig, i'r diben i gau safnau 'r Beirdd, fe orchymynodd Harri, na byddai i un bardd, rhigymydd, cerddor, nac un math o glerwr arall, ymgynnull nac ymgasglu ynghyd mewn Eisteddfod, nac un Cyfarfod arall o'r fath, drwy holl dywysogaeth Cymru.

Nid er mwyn eu diwygio, na'u gwareiddio, y ffurfiwyd y cyfryw gyfreithiau; eithr, yn hytrach, er mwyn eu niweidio, eu handwyo, a'u llwyr ddinystrio oddiar wyneb y ddaear. Ond er holl gyfreithiau llymdostion y gormeswr creulon hwn, mae y Cymry yn fyw hyd heddyw, pan y mae ei gorph ef a'i ymffrost wedi llygru yn llwch y bedd.

Ar ol hir-nos o nych, a gwasgadol gaethiwed, fe ddaeth yr amser oddi amgylch i

mawr gobaith dostur y Cymry, a dygodd Rhaglunieth dirion iddynt o'r diwedd godiad haul gwaredigaeth, a thywyniad pelydran disgleirwych rhyddid ar eu bro-ydd cynhenid.

Mae yn wirionedd diwrthbrawf ddarfod i'r Cymry wneud eu rhan yn helaeth tu ag at ddwyn oddi amgylch y diwygiad dedwyddol sydd yn awr wedi ei sefydlu ym Mrydain; ac o'r Cymry a fuont yn offerynol yn y gorchwyl gogoneddus hwn, nid neb yn fwy nodedig na "thrigolion bro Tegeingl." Yr oedd y rhai hyn, trwy eu bod yn preswylio ar dderfynau y ddwy wlad, wedi profi mor chwerwed a neb lymdoster cyfreithiau gorthrymus Harri IV. ac am hyny yr oeddynt yn barotach na neb i ddefnyddio y cyfleusdra cyntaf i waredu eu gwlad o'r fath gaethiwed, ac i adferu dedwyddwch y genedl. I ddwyn hyn i ben, cawsant gyfleusdra tra manteisiol yn y cydweithrediadau dedwyddol a ddarparodd rhaglunieth i ddiorseddu Richard III. yr hwn, trwy greulondeb a gormes, ydoedd y pryd hwnw wedi cymmeryd meddiant o goron Lloegr.

Llygaid eu cydwladwyr a gyfeirient at Harri, Iarll Richmond, cynnrychiolydd tylwyth Caerhirfryn (*Lancaster*) y'ngwythiau pa un yr oedd pur waed y Cymry yn ylifo. A thrwy ddyfais synwyrddoeth, a yfluniwyd gan ddyrnaid o Foneddigion wladgarol, yn ymgynnulledig yn Mostyn, urfiwyd moddion i gyrchu drosodd y dyfodedig Iarll, yr hwn oedd y pryd hyny yn ffudiol yn Ffraingc; a chroesawyd ef yn ettyngar dan gronglwyd yr hyglod Richard p Howel, Arglwydd Mostyn. Dyma y n, a dyma y dwthwn y dyfeisiwyd dymchweliad teulu Caer Efrog (*York*) a sefydliad teulu Caerhirfryn, a hyny ym mhorn pwy onid ŵyr i *Syr Owain Tudur*, o *Fôn*.

Y mae 'n beth nodedig, nad oes neb hanesydd wedi anturio rhoddi adroddiad helynt yr Iarll dros hyny o ysbaid amser gymmerodd le o'i ymadawiad o Ffraingc i ei esgyniad i'r orsedd. O herwydd ham y casglir, gyd â'r tebygolrwydd fyaf, ei fod ef, ar y cyfryw bryd, yn dir i gadarnhau ei achosion ym mhlith bonedd y Cymry, y rhai oeddynt bleidwyr calonog i dylwyth Caerhirfryn, ac yn enwig i'r impyn ireiddiol hwn o honynt, sef Iarll Richmond, a hyny o achos, fel y cryybyllwyd, ei ddeilliad uniongyrchol o'u cenedl hwy eu hunain.

Mae amryw o'r Beirdd cydoesawl yn cyfeirio yn ddirgelaidd yn eu cyfansoddiadau at yr amgylchiad hwn yn Mostyn, son am y *Llew*, a'r *Eryr*, a'r cyffelyb; nid mewn ymadrodd eglur, rhag cynfu drwgdyb ac eiddigedd y traws-orsawl Frenin, Richard III. yr hwn oedd yr orsedd.

Mr. Pennant, hanesydd clodwiw ein gwlad, wrth son am Faenordŷ Mostyn, a ddywed i ni ddarfod, tra yr ydoedd Iarll Richmond yn guddiedig yno, i fintai o wyr Richard ymosod ar y lle, ar y bwriad o'i ddal ef. Yn y cyfamser yr oedd efe yn myned at ei giniaw; eithr trwy gael hysbysrwydd o berygl ei sefyllfa, efe a frysiodd ymaith, gan neidio allan drwy ffenestr, ac a ymwthiodd drwy dwll, yr hwn a elwir hyd heddyw "*Twll y Brenin*."

Y gwresogrwydd a'r ffyddlondeb a ddangoswyd gan y Cymry yn achos yr Iarll, yn yr ystod nodedig hwn, a fu er mawr anrhydedd iddynt eu hunain, ac er cynnorthwy nid bychan i'w achos yntau. Trwy y moddion hyn yr hwyluswyd y ffordd iddo fuddugoliaethu ar ei elynion, ac esgyn yn orfoleddawl i'r orsedd. Ymddiriedwyd y cyfrinach i ofal dau bendefig, un o'r Deheubarth, a'r llall o Ogledd Cymru, nid amgen na Syr Rhys ap Thomas, a Richard Kyffin, Deon Bangor. Yr oedd y ddau wr enwog hyn yn bleidwyr calonog i deulu Caerhirfryn; a chyda *chychod pysgota* hwy a drosglwyddasant y chwedl dros y môr i Iarll Richmond, yr hwn ydoedd y pryd hwnw yn Llydaw yn Ffraingc. Hwy a addawsant iddo bob cynnorthwy a fyddai yn ngallu y Cymry i'w weini iddo.

Yn y cyfamser, taenwyd baneri *Draig Goch* y Cymry ar amrywiol o fryniau y Dywysogaeth; ac at y rhai'n yr ymgyrchai y trigolion yn lluoedd dewrfrydus, fel y gwiria geiriau hen Fardd Tegeingl:—

"Dichon gael hyd yn Maelawr,
"Drigain mil Dragon mawr."

Ar y cyfryw achlysur, yr oedd effaith cyfansoddiadau y Beirdd yn rymus iawn ar deimladau y trigolion. Ac heblaw hyny, i'w cynhyrfu yn danbeitiach fyth, yr oedd y traddodiadau prophwydol a gyfgoelid yn eu plith, sef y byddai i bendefig *Cymroaidd* wared y genedl o gaethiwed y *Saxoniaid*. Gan gadarn gredu yn awr mai Iarll Richmond oedd hwnw, aethant yn lluoedd i'w gyfarfod i Aberdaugleddyf. Harri, wrth ddeall pa fath gyfleusdra manteisiol oedd yn ymgynyg iddo, a'r parodrwydd, gyda pha un yr oedd y genedl yn darparu ei dderbyn, a wnaeth y goreu o'i amser, gan hwylio o *Harflet* yn Awst, 1485, a chyd âg ef ddwy fil o wŷr o ddarpariad Tywysog Llydaw; a thiriodd yn ddiogel yn Aberdaugleddyf, er gorfoledd annhraethol i'r miloedd o Gymry oedd wedi ymgynnull yno i'w dderbyn.

Ar ei ddyfodiad i dir, ymdeithiasant ynghyd yn awyddus i gyfarfod Richard i *Faes Bosworth*. Yn y lle hwn dangoswyd iddo nad yw awdurdod traws-feddiannol ond byr ei barhad, a chwerw ei ganlyniad.

Mewn llawn ffyrnigrwydd calon, ynghyd â chrediniaeth ddibetrus fod ei dynged yn

awr yn ddibynu yn unig ar y gampwyr fil-wrol, efe a ruthrodd ym mlaen at y fan lle yr oedd yr Iarll yn sefyll. Yr amgylchiad nodedig hwn a ddarlunir yn dra ffraethlawn gan yr hyglod Fardd Seisnig *Shakspeare*, yn y llinellau canlynol:—

"What ho! young Richmond, ho! 'tis Richard calls thee;
I hate thee, Harry, for thy blood of Lancaster!
Now if thou dost not hide thee from my sword,
Now while the angry trumpet sounds alarms,
And dying groans transpierce the wounded air;
Richmond, I say, come forth, and singly face me;
Richard is hoarse with daring thee to arms."

Yn ei gynddaredd efe a laddodd Syr William Brandon, a Syr John Chenie, â'i law ei hun; ac ymddangosai yn awyddus i ymladd â Harri yn bersonol. Ond yn y cyfamser daeth Syr William Standley ym mlaen, a chyd âg ef dair mil o wyr i gynorthwyo Harri. Amgylchynasant y gorthrymwr; ac yn yr amgylchiad hwnw y gwaeddai allan "*March! March! teyrnas am Farch!*" Ond gorchfygwyd a lladdwyd ef tra yn ymladd law-law â gŵr boneddig o'r wrthblaid. Ac yna Harri, Iarll Richmond, yn nghanol gwaed a galanas, ynghyd â chroch-floeddiadau y dyrfa yn gwaeddi *Huzze* am y fuddugoliaeth, a gyfarchwyd yn Frenin Lloegr.

(*I'w barhâu.*)

---

LLYTHYR AT Y PARCH. WALTER DAVIES.

BARCHEDIG SYR,—Oferwaith fyddai i mi ad-daenu eich clod ar wyneb y Gwyliedydd; gan goffa am y goreule a roes eich anrhydedd i chwi yn sancteiddiaf deml IOR; eich côf-dlysau barddonawl; a'ch uchel barch beirniadawl.

Nid wyf yn meddwl ychwaith sylwi ar lythyrau enwog *Garmon*. Dangosai hyny fwy o ffrwyth cynfigen na dim arall, sef cyfeiriad at y cyfansoddydd yn lle y cyfansoddiad. Fe'm cymmellwyd, gan odidog ddeddf iawnder, i adbwyso rhai o'r cyfansoddiadau ar "Wledd Belsassar;" ond ni wneir hyny chwaith.

Ond fy nyben, yn bresennol, yw cyfeirio at "Adolygiad y Wasg," yn y Gwyliedydd am Ionawr, 1831. Dyben a chynnwysiad y gwaith sy dra chanmoladwy, a'm dymuniad i fyddai eich gweled yn ei orphen. Eto, ni fedraf gyduno â chwi, Syr, mewn rhai pethau. Yn 1af, Eich gwaith yn beirniadu rhwng A a B. Y mae 'n wir fod doethineb, yn aml, yn caniatau lle rhwng pleidiau gwahanol; megys y cafodd Elihu le rhwng Job a'i gyfeillion, ond nid yr unwedd o barth A a B. Amddiffynir y blaid A ar yr angenrheidrwydd o gadw *am* negyddol, a *di* gadarnhaol. Ac ar ochr y blaid B mynwch ymwrthod â gormodedd o lythyrenau, lle na byddo tarddiadau geiriau yn eu gofyn. Rheswm da: ond, atolwg, os gofyn tarddiad gair ei iawn lythyrenu, pa faint mwy ei ystyr? Beth yw ystyr *ammharchus* a *diben?* Ai *cyfystyr*, ai *allystyr*, yw *am* ac *an*, *di* a *dy?*

O barth y sillgollau, ni ddywedaf ond mai mwy cyson â rheolau beirniadaeth yw goddef "*amherffeithrwydd*" nac ymgynefino âg ef. Perffeithrwydd yw y nod sy genym i gyfeirio ato ym mhob ystyr. Eto o barth yr *ang* negyddol yn *Act.* 4. 35. y mae yn rhwym i oddef yr un ddedfryd a'r *am*.

Eto, Syr, nis gallaf gydsynio â chwi yn hollol yn eich sylw ar *Act.* 9. 2. Gwell fyddai genyf restru Paul, Barnabas, a Babilon, gyda Dafydd, Petr, a Mair, &c. Gan y dywedir fod G yn rhy falch, mewn cyfnewidiad i'r sain ysgafn, i osod yr un estrones yn ei lle; haws genyf gydsynio â chwi o barth Gath a Galilea. Y mae 'n wir diymwad, Syr, mai boneddigaidd yw dangos parch i ddieithriaid; ond nid boneddigaidd yw dangos mwy o barch i'r naill na'r llall, os byddant mor anrhydeddus ac mor ddieithr hefyd. Gwell na'r cyfan yw parchu rheolau ein hiaith ragorwech. Os yw Prydain yn arglwyddes y teyrnasoedd, ni chyrhaeddodd yr anrhydedd hwn trwy oddef i ei chyfreithiau gael eu dryllio gan ddieithr na brodor chwaith. Na, gwell ganddi weled ei meib anwylaf yn alltudion, a'i hoffaf ddynion yn nghrôgs ie, gwell ganddi weled ei phen coronawg yn crymu, na gweled ei chyfreithiau

yn cael eu dryllio. Felly yr ydym ninau yn rhwym i barchu yr hyn a elwir yn "*Iau Gymreig;*" o leiaf hyd oni chaffom ei gwell. Na feddyliwch mai fy nyben yn ysgrifiaw hyn o linellau, oedd cyflawni yr hyn sydd fodol i oreuon y fuchedd hon, sef cymmysgedd o glod ac anglod. Nagê, eithr dangos parch i reol, ac nid mympwy afreolaidd.

Y mae 'n wir mai gwyr o'ch bath chwi sydd wedi, ac yn cadw, yr Omeriaith yn fyw; a gwir hefyd, mai * * * sydd yn achosi y cywilyddus amrywiaethau o barth Llythyraeth, Geiryddiaeth, â Chystrawenaieth ein hiaith, trwy wethu rheol am fympwy. Ni ddymunwn i sumharchu henafgwr dysgedig ac urddasol; ond pob rhwyddineb i olygu ac adolygu y Wasg Omeraidd; yn enwedig y Llyfr Sanctaidd.

HYWEL.

---

BREUDDWYD OEDGAR.

HOLO! Pwy sydd yna? Myfi. Pwy ydych chwi? O ba le daethoch? I ba le yr ydych yn myned? A pha beth yr ydych yn ei geisio? Yn wir, yr wyf yn cyfaddef fy mai; ac yn gweled yn eglur fy mod wedi byw yn rhy ddieithr i chwi, ac onidê ni buasai hanner y gofyniadau hyn yn cael eu gofyn cyn agor y drws i mi. Ond, da fy ewythr, agorwch i mi; canys y mae 'n lled oer, a minau yn dra blinedig. O! Oedgar, ai chwi sydd yna? Gwell hwyr na byth. Dowch i fewn, dowch i fewn. Wel, O ba le y daethoch mor hwyr? ac I ba le yr y'ch yn myned? Wel, i ddechreu, myfi a ddaethum o Wlad yr Hebbul, dros Fynydd y Croesau, a thrwy Bant yr Oedi, ac yno fe'm cadwyd yn hir gan swn, a dadwrdd, a chwerthin ei breswylwyr, ac onidê fe fuaswn wrth eich drws er ys oriau cyn hyn. Yr oedd afnaf erioed eich gweled a gwybod eich helynt; canys yr ydych wedi myned trwy lawer o gyfnewidiau er pan welais chwi. Yn sicr i chwi, yr oeddwn yn meddwl, heddyw y boreu, yn iaith y Deheuwys, *smoco* ychydig, gyda chwi cyn myned i gysgu; ac wrth *smoco* gwneuthur trefn ar y byd. O! Oedgar, Och fi! nid oes neb yn awr o'n bath ni yn *smoco;* y mae hyny yn arferiad rhy isel i ni. Aroswch fynyd; dyma i chwi *sigar,* os mynwch. Diolch i chwi. Pw, pw, pw. Pwy oedd y rhai yna, fy ewythr Gwyliedydd? O! rhai o'm plant i. Beth yw enw yr olaf yna? Llengcyn prydferth yw pa fodd bynag. Ei enw, yn ol teulu ei hynafiaid yw *Adfilwr.* Wel, yn wir, y mae 'n ateb i'w enw. Canys, yn ddiau, efe a welais i gynneu, ar y goriwaered i Ddyffryn Ymryson, yn gwthio ei ffon i nyth y cacwn; a myfi a ddywedais, wrth fyned heibio, Wel, fy nghyfaill ieuangc, ond odid na frethir di yn y frwydr; ac yn wir, pe chwelit ti y nyth, nid oes mêl ynddo. Y mae 'r cacwn yn hardd i edrych arnynt, ac yn dda yn eu lle. Ond, fy ewythr, ym mha le y mae eich plant hynaf chwi, y rhai yr oeddwn i gynt yn cyd-chwareu â hwynt? Rhoddais ochenaid, y nos arall, wrth fyned heibio i'r *Llew Coch,* yn Nhref y Coelion, pan y clywais gynghanedd a dawnsio yno, a gwybod mai Coelgrefydd, y Dewin, ac Elian, a Rhes y Cae, a holl deulu y *Sipsiwns,* a'u cyfeillion, oedd wedi ymgyfarfod i gadw Noswaith lawen, o orfoleddu am farwolaeth *Eurgain.* Pa bryd y bu efe farw, fy ewythr? Ni chlywais i am ei farwolaeth ef. Y clwyf mud, fel y clywais, sydd wedi ei orddiwes; a phan y gwellhao o hono, gwae i deulu y Llew Coch, a'u holl gyfeillion. Yr oedd teulu y Llew yn dywedyd i Goelgrefydd, yn ol ei fygythiad, roddi *Eurgain* yn Ffynon Elian, ac felly, daflwyd(?) i law

ef; a pheri i'w dafod lynu wrth dafod ei enau. Ai gwir hyn? Nagè, nagè; na thebyg i wir ychwaith. Y gwir yw, i ryw un o'm plant, wrth fyned heibio, sathru ar droed dolurus *Eurgain;* ac am na cheryddais i ef am hyny, *Eurgain* a ddigiodd wrthyf; ond nid dig drwg yw. Wel, ym mha wlad y mae fy hen gyfaill Ieuan? Yn wir, nis gwn yn sicr. Oes y rhyfeddodau yw hon. Ac felly mi a glywais i *Seren gynffon,* yn ei thro-gylch, ddyfod mor agos ato, a'i gipio o blith ei hen gyfeillion i fyd y Goleuni, tu a'r *degfed cylch*, yn ol tŷb y Caldeaid. Pa le y mae *Teg i gyd?* Y mae ym mhlith yr Ychain, yn Nghoedwig yr Orgraph yn rhyw le. Gobeithiaf na wna drain a mieri y Goedwig hon niweid iddo, na rhwygo ei ddillad. Ym mhen ychydig o flynyddau fe fydd pawb o'r un feddwl am Goedwig yr Orgraph; ac nid oes yn awr ond rhagfarn yn peri anghydfod yn ei chylch. Pa bryd y gwelsoch chwi *A lun*, o Fryn yr Addewidion? O! myfi a glywais yn ddiweddar ei fod wedi symmud i Letty 'r diwyd, yn Llanerch y gweithio; a gwelais brawf o hyny y gauaf oerllyd diweddaf. Nid oes ganddo ond dwy law, a phe buasai iddo ddeg, ni fuasai, fe allai, yn gwneuthur mwy nag a ddisgwylir oddi wrtho. Ai byw ai marw *Ffydd gre?* Byw, gobeithio; ond y mae wedi myned tu hwnt i'r môr, i wlad mor bell fel na chlywir ond anfynych iawn oddi wrtho. A aeth efe i'r India draw, neu i wlad yr Hottentotiaid? Na ddo; ond fe aeth, mewn rhyw ystyr, ym mhellach o lawer. Fe aeth i fôr y byd, neu i'r pen draw iddo. O! a wyddoch chwi, y mae llawer yn dywedyd eich bod chwi, fel llawer ereill, wedi cyfnewid eich barn; ac nad ydych yn awr ond ymneillduwr o dan rith Eglwyswr. Pwy sy'n dywedyd hyny, Oedgar? Y mae Ieuan Brydydd Hir, o Flaen y Nant, Madog ab Dewi, o Fan y Cegyd, Hywel ab Hugh, o Fryn y Gwynfa, a llawer ereill o deulu y Breningoed. Wel, o ba herwydd y dywedant hyny am danaf? O herwydd i chwi gyhoeddi llythyr rhyw un, neu rai, yn gofyn, ac yn dal pethau yn tueddu, yn ol eu barn hwy, i iselu yr Eglwys, ac i gyfiawnhau ymneillduaeth. Wel, oni ddywedais i fwy nag unwaith nad oeddwn i o'r un farn a phob ysgrifen a ymddangosodd, neu a ymddengys, yn fy Nghylchgrawn. Y gwir a ddymunwn ei gyhoeddi, boed o'm tu neu boed i'm herbyn. Cyhoeddais y llythyrau hyny, fel y byddai iddynt gael eu gwrthbrofi a'u dinystrio os nad oeddynt wir; ac os oeddynt wir, fel y byddent hysbys. Etto, gwybydded y gwyr da hyny na ddywedais i air o du yn y byd ar y peth mewn dadl. Pw, pw, na ofelwch yn eu cylch. Y mae llawer o ddynion yn y byd, heblaw y rhai blaenorol, yn digio heb achos, ac am hyny i gymmodi heb iawn. "Y mae llew ar y ffordd, medd y diog." Nid gwaeth cywir er ei chwilio, nac aur er ei brofi. Bob amser, cyn belled ag y gwelais i, y blaid sydd yn ac ar y bai sy barotaf i ddigio; ond digon. Pa beth yr ydych yn ei feddwl am yr amseroedd? Yn wir, y mae yn ymddangos yn dywyll a dychrynllyd iawn; ac nid oes yn cynnal fy meddwl i, uwch dychryn ac ofn, ond y grediniaeth "Mai yr Arglwydd sydd yn teyrnasu;" ac am hyny y bydd "i bob peth gydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." Y mae llawer o waeddi a dadwrdd yn ein plith am Ddiwygio Gwlad ac Eglwys; ac nid oes un gronyn o ammheuaeth, yn fy meddwl i, nad oes eisieu gwneuthur hyny; ond pa beth a ddywedwch chwi? Wel, myfi a ddymunwn o'm calon gael cyfleusdra i ddywedyd, wrth rai o bobl y diwygio, diwygiwch eich hunain, a'ch teuluoedd, ac yna credaf, eich

bod, mewn gwirionedd, am ddiwygio ereill. Dymunaf o'm calon i'r Arglwydd roddi i'n blaenoriaid yspryd doethineb a phwyll, yspryd undeb a chydgordio, fel na bo iddynt wneuthur un peth o gyd-bartïaeth neu wag-ogoniant; ond y byddo iddynt ymgynghori yngbyd yn ofn yr Arglwydd; ac fel dynion yn credu eu bod yn gyfrifol iddo ef am eu holl weithredoedd. Yn wir, y mae ynghylch pryd i mi fyned i orphwys. Wel, chwi a wyddoch y ffordd; nos da i chwi! Nos da i chwi!

---

LLYTHYR Y DDARLLENFA AT Y GLOCH.

Y Gwyliedydd Effro—Wrth ystyried bod eich gweinidogion chwi yn rhedeg o amgylch, ac nad oes braidd gongl o wlad nac eglwys heb ymweled â hi gan ryw un neu rai o honynt, meddyliais, gan eich bod yn eglwyswr, y gwnaech un gymmwynas fechan i minau. Y gymmwynas a ddeisyfaf, yw, i chwi anfon trwy law un o'ch cennadon ffyddlon y llythyr canlynol at fy hen gyfeilles anwyl, Mrs. Cloch. Y mae yn byw yn rhyw le o Rif. 1, i 4, yn Heol y Clochdy, yn agos i'r Eglwys, yn Ninas y Fynwent. Os bydd ateb, da chwi, peidiwch a'i gadw yn hir; canys yr wyf yn hiraethu am wybod ei helynt, a chlywed oddi wrthi.—Ydwyf, Y Gwyliedydd effro, yr eiddoch yn ffyddlon,

Y Ddarllenfa.

Gyfeilles Anwyl,

Er nad oes fawr o gydnabyddiaeth rhyngom, etto, yn ol pob hanes a glywais, yr wyf yn meddwl ein bod y'ngwasanaeth yr un Arglwydd. Clywais eich llais aml dro: ond gan nad oeddym yn cyflawni ein gorchwylion yn yr un ystafell, nac ar yr un pryd, nid wyf yn cofio eich gweled erioed. Y mae eich sefyllfa chwi yn uwch na'r eiddof fi, er nid yn anrhydeddusach; y mae eich gorchwylion chwi yn gofyn bod felly. Rai dyddiau teg yn yr haf, buasai cenfigen yn gyfreithlon ac yn ddefadwy yn neb o deulu ein hathraw ni, fe funswn yn cenfigenu wrth eich sefyllfa awyrach oruchel: canys pan agoroch eich llygaid, gwelwch y dref a'r wlad oddi amgylch, ac ymddygiad a helyntion eu trigolion. Ond pan ehedo 'r mellt o'ch amgylch, y rhuo 'r taranau uwch eich pen, hyd nes crynu o'ch ystafell hyd ei sylfaen, pan y bo gwynt oer a rhewlyd y gauaf yn chwibanu gan gyflymed ei ymosodiad arnoch, a phan y bo y curwlaw a'r cenllysg yn rhuthraw i'ch erbyn, nid oes tuedd ynof y pryd hwnw, oddieithr i ddiolch am sefyllfa isel, gan ei bod yn dawel. Y mae, yn wirionedd, bod i bob sefyllfa yn y byd hwn ei melys a'i chwerw; ac am hyny nid yw ond ffolineb i ni genfigenu wrth ein gilydd. Boddlonrwydd, boddlonrwydd sydd yn gweddu oreu i ni. Eich sefyllfa chwi a'ch galluoga, pan ewyllysioch, i wybod llawer o bethau, y rhai a allent fod o les mawr i mi yn fy amgylchiadau y dyddiau hyn. Yr oeddwn hyd yn ddiweddar yn meddwl bod y byd a'i drigolion mewn darfodedigaeth. Yn yr hanner can mlynedd diweddaf, fe fu, fel y gwyddoch chwi, y fath ryfeloedd, a'son am ryfeloedd; rhyfel America, chwyldroad Ffraingc, a'r rhyfeloedd a ddilynodd hwnw, fel yr oeddwn i, ryw fodd neu gilydd, yn meddwl bod y rhan amlaf o drigolion ein hardaloedd ni wedi eu lladd, ac nad oedd rhifedi y trigolion yn awr ond ychydig iawn mewn cydmariaeth. Un o'r pethau a barodd i mi feddwl a barnu fel hyn, ydoedd gweled mor lleied, mewn cydmariaeth i'r hyn a welais gynt, yn dyfod i edrych am danaf. Nid oedd amser yn ol fawr neb yn yr ardal nad oedd yn dyfod i ymweled â myfi unwaith neu ddwy bob mis, os nid bob wythnos. Ymddangosent hefyd fel pe buasent yn fy hoffi. Pan glywent eich llais, rhedent ataf. Ond yn awr y mae angeu, fel yr ymddengys i mi, wedi difa 'r trigolion, ac nid oes ond ychydig weddill. Fel hyn yr oeddwn i yn tawelu fy meddwl yn yr amgylchiadau galarus hyn, hyd yn ddiweddar, pan y clywais ryw un yn sibrwd, bod trigolion pob ardal yn lliosocach, yn helaethach eu gwybodaeth am bethau yn perthyn i achos ein Harglwydd ni, a'u bod hwy yn talu mwy o barch i sabbothau Duw, ac i'w ddeddfau a'i ordinhadau, &c. Y mae hyn yn ymddangos i mi bron yn anghredadwy; canys ni welaf fi hwynt yn ymddangos lle yr ymddangosai eu teidiau un amser o ben un flwyddyn i'r llall: a phan ymddangoso rhyw rai o honynt, y mae yn fynych eu hymddygiad yn ymddangos i mi fel pe na pharchent na myfi na'n Harglwydd. Da chwi, anwyl Gyfeilles, gadewch i mi wybod y gwir yn hyn o beth: canys os agorwch chwi eich llygaid, chwi a welwch yr holl wlad oddi amgylch, ac nid oes floesgni ar eich tafod, pan

y bo angen am dano, i gyhoeddi yr hyn a welwch ac a glywoch. Fe allai bod hyn yn un o'r dibenion paham y trefnwyd eich lle chwi mor uchel, fel y galloch, yn ol gweled ansawdd y byd oddi allan, ei wneuthur yn hysbys i breswylwyr y tŷ oddi fewn. Dymunaf eich meddwl ar y pethau canlynol: Pa un ai amlach ai anamlach yw trigolion ein hardaloedd ni yn awr ai yn y dyddiau gynt? a oes mwy o wybodaeth yn eu plith nag oedd yn meddiant eu tadau! Os oes, pa fodd y danghosant hyny? pa fodd, ac y'mha le, y maent yn treulio y Sulian? a ydynt yn addoli Duw, ac y'mha le? paham, os gwyddoch, nad addolant lle yr addolodd eu tadau? paham y tramgwyddasant wrthyf fi? pa beth, neu bethau, os gwyddoch, a roddant i'm herbyn? Os clywsoch y pethau a baredd oerfelgarwch rhyngom, gadewch eu clywed. Nid wyf yn barnu fy hun yn berffaith, etto nid oes arnaf ofn fy chwilio a'm cystadlu bob dydd â'r goreu o waith dynion. Distawaf ar hyn, y tro hwn; canys nid wyf yn sicr y derbyniwch fy llythyr, ac nid wyf am gyhoeddi fy holl gyfrinach i neb arall yn y dyddiau anffyddlon hyn, pan nas gŵyr neb yn iawn pwy sydd gyfaill, na phwy sydd elyn. Gan ddymuno eich llwyddiant, a llawenychu yn eich llwyddiant, ydwyf, Gyfeillion anwyl, yr eiddoch hyd angeu,

Y Ddarllenfa.

Oerna yn Eglwys,
*Mai* 9, 1831.

---

## "OFFER CERDD."

Wyliedydd Hawddgar—Yn eich Rhifyn am fis Mai, gwelais holiad *Gofynydd* ynghylch defnydd "*Offer Cerdd*," dan yr hen oruchwyliaeth; ac hefyd, haeriad rhyw bregethwr, "nad oedd angenrhaid am un math o offer cerdd yn addoliad yr Arglwydd dan oruchwyliaeth yr efengyl." Nid allaf lai na brysio i wrthwynebu y cyfryw beth rhyfygus, gan fod fy marn i yn hollol groes i'w ddaliadau ef; ac yn hyn gobeithiaf, yn ostyngedig, fod yr Ysgrythyrau Sanctaidd o'm plaid. Fe ddywed Salmydd duwiol Israel mewn rhyw le fel hyn: "Canaf i'r Arglwydd tra fyddwyf byw: canaf i'm Duw tra byddwyf." Yr diben i osod allan glod a mawl y Duw Hollalluog, trwy fuchedd ac ymarweddiad gwastadol (y moddion goreu a godidocaf yn y byd o'u dangos) rhaid i ni agoshau ato â'n geneuau, a'i anrhydeddu â'n gwefusau. A chan fod gwendid ein cnawd ni yn dueddol i rwystro, ar ryw brydiau, ein gofal mwyaf dwys, modd y sefydlid ac y trefnid ef yn well, a rhoddi i'n meddyliau synwyr mwy cyflym a bywiol, ynghyd â grym chwanegol i'n geiriau, fe ddylai y deml seinio â *llais cân* a *cherdd*, a chyd â'r mawl a'r clod a ganer yn *ddealltus*. Y mae 'r prophwyd efengylaidd Esay, *pen*. 51, rhan olaf o'r 3 *adn*. yn arferyd ar ymadrodd, "llais càn," yr hwn, yn ol yr iaith wreiddiol, yn Ngeirlyfr Parkhurst, sydd yn arwyddocau, canu yn gydseiniawl, neu yn gynghanedd, megys Psalm, neu 'r cyffelyb. Ac yn *Can*. 2. 12. y mae yr un gair yn dal allan "berleisiau adar." Yn y bennod uchod y mae yn digwydd fod y prophwyd yn sôn am amser y Messiah; ac fel hyn, yn ddiammeu, yr ydoedd efe yn rhag-bortreiadu cyflwr a gwaith dibaid y duwiolion dan yr oruchwyliaeth Cristionogol: "Ceir ynddi (medd efe) lawenydd a hyfrydwch, diolch a llais cân." Da fyddai pe bai y rhai sydd yn amddiffyn cerddoriaeth *lafar* mewn gwyrthwyneb i'r un *offerynol*, iawn ystyried y rhan hon o'r ysgrythyr, pa un a ellir yn gyfiawn alw llais neu lafar noeth yn "lais càn" (*melody*)? Pa un à ellir cyfrif, canu i'r Arglwydd heb gynnorthwy a chyfarwyddiad "offer-cerdd" yn wasanaeth o "ganu mawl yn *ddealltus*?" Os iawn ydyw dilyn esampl Dafydd: "Deffro fy ngogoniant:" yna y canlyn—"Deffro nabl a thelyn." "A'i ganied llawen a llafar i Dduw Jacob," oedd yn ammherffaith, ac yn anghyfiawn, "hyd oni udganwyd udgorn yn nydd yr uchel wyl." Ond gan rai pobl ar y cyffiniau Dafydd yn batrwm cymmwys. Efe a

fu byw dan gyfraith Moses, yr hon oedd yn gyssnwysedig yn unig o gysgodau a defodau, y rhai oeddynt i ddiweddu ar ol cyflawni y pethau a ragnodwyd allan. Eithr, a ydoedd cerddoriaeth yn *rhan* o'r defodau a'r cysgodau hyn? Y mae awdwyr enwog gwedi profi i'r gwrthwyneb. Os ydyw, mewn gwirionedd, yr hyn beth yn arwyddlun o'r "pethau daionus i ddyfod," yn sicr, y mae efe yn rhag ddangosiad o'r cyfryw bethau or nas datguddiwyd etto. Y mae gogoniant a dedwyddwch yr ystad ddyfodol yn aml yn cael eu darlunio i ni trwy "Haleluias" y seintiau, cydseiniawl floedd yr angylion sanctaidd, "lleferydd dibaid Cerubin a Seraphin, cân yr Oen, a thelynau Duw." Pan yr â nef a daear heibio, y dychymmygion hyn hefyd a ddarfyddant. Y mwynhad o hapusrwydd diddarfod a gyfrana hyd yn nod "bethau gwell na'r rhai hyn." Ond, hyd oni ymddengys y gwrthlun, neu'r sylwedd; hyd oni agorir drysau tragywyddol y nef, i'n derbyn ni i'w llawenydd a'r digrifwch, dylem ni ddal gafael ar y meddyliau hyny am danynt a rydd gair Duw i ni; a pharhau yn y fath fodd o addoliad a'r a ddesgrifir fod y bendigedig ysprydion yn ei dalu, gan fod y cyfryw yr un mwyaf dwyfol a pherffaith a'r a fedrwn ni yn bresennol ei amgyffred. "Am hyny y canwn fy nghaniadau holl ddyddiau fy einioes yn nhŷ yr Arglwydd." A ydoedd cerddoriaeth yn rhan egwyddorol o'r *addoliad* Iuddewig, er ei ddefnyddio yn *eiddo*'r cenhedloedd eilun-addolgar? A fydd rhaid ei wahardd yn nghynnulleidfaoedd Cristionogol, o herwydd ei fod yn addurn hardd a llesol i'r *eiddynt hwy?* Os yn hyn nid ymadawodd yr Iuddewon âg arfer y Cenhedloedd, paham y cymmellir di y Cenhedloedd i ymadael âg arferion yr Iuddewon; i gilio yn ol oddiwrth addysgiadau crefydd natur; oblegid eu cadarnhau a'u sefydlu hwynt trwy osodiad yr Hollalluog Dduw? Paham yr ewyllysia neb attal yr eglwys rhag gydffurfio yn y modd hyn, mor agos ag y medr, â'r *cyflawn mewn gogoniant;* ac yr ymdrecha i'w hyspeilio HI o'r cynnorthwy, yr hwn a'u dyrchafodd *hwy yno.* Canys, trwy fawr allu a grym *seineodau,* neu *ganiadau,* gwedi eu haddasu â'u ffurfio er dibenion duwiol, fe ddenir yr enaid oddiwrth hyfrydwch cnawdol, a hi a ryddheir oddiwrth bob pwys; oddiwrth ofalon a llygredigaethau'r byd. Gwrthdroer eu holl argraffiadau hwy, trwy ddylanwad mwy grymus a diniweid. Y mae y gwyniau a'r nwydau yn symud yn eu priodol gylch, ac yn gweinyddu ar bethau sanctaidd. "Y maent yn feirw i bechod, ac yn fyw i Dduw." Y mae Bardd duwiol yr Israel yn dywedyd ym mhellach: "Cenwch i'r Arglwydd gyd â'r delyn; gyd â'r delyn a llef Psalm: â'r udgyrn, a sain cornet, cenwch yn llafar o flaen yr Arglwydd y Brenin." Ac y mae St. Paul yn sôn ynghylch diwedd y byd, mewn geiriau o'r fath hyn: "Oblegid yr Arglwydd ei hun a ddisgyn o'r nef, gydâ bloedd, a llef yr archangel, ac âg udgorn Duw." Fel hyn yn profi, yn ddiammheuol, fod offer cerdd, i ddywedyd ar ol dull dynol, ar waith yn y deml fry, y Jerusalem newydd, ym mhresennoldeb Duw a'r Oen. Y mae St. Ioan y difinydd yn rhoddi hanes o'r weledigaeth a gafodd efe o'r ystad ar ol llaw, fel hyn: *Dat.* 14. 2. 3. "Ac mi a glywais lef telynorion yn canu ar eu telynau: a hwy a ganasant megys caniad newydd ger bron yr orseddfaingc." Ac hefyd mewn man arall efe a ddywed: "A'r seithfed angel a udganodd: a bu lleisiau uchel yn y nef, yn dywedyd, Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo

ein Harglwydd ni a'i Grist ef; ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd."

Yn olaf, nid rhaid i offer cerdd wrth unrhyw ganmoliaeth arall: gan hyny, pan ystyriwn eu bod yn deilliaw oddiwrth Dduw ei hun; ac yn gymmaint a'u bod yn weithred-oedd Duw, iddo ef y maent yn perthyn; ac, yn wir, fel y cyfryw addas yw eu cymmwyso i'w wasanaeth ef. Dyn, yn ddiau, i'w dyfeisiwr offerynau cerdd; ond y mae egwyddorion cydsain, neu gyngbanedd i'w cael yn elfenau natur: a'r mwyaf o'r offerynau neu yr elfenau hyn, sef yr awyr, a ffurfiwyd gan y Creawdwr ei hun. A gwelir ym mhellach y gelfyddyd hon fel gwaith Duw *yn natur dyn:* canys yn ddiammeu efe a wnaeth i ddyn ganu yn gystal a llefaru. Y rhodd o siarad sydd yn deilliaw oddiwrth y Creawdwr; ac o'r un ffynnon y tardda y ddawn hefyd o ganu. Gellir ystyried dyn, yn wir, fel offeryn cerdd, o wneuthuriad Duw. Y mae cerddoriaeth yn ei lais, yn ei glust, ac yn holl gyfansoddiad ei gorph. Oddi yma yr ychwanegodd y Salmydd yn dra chymmwys. Pan y mae yn galw ar "y nabl a'r delyn ddeffro," myfi fy hun, yn offeryn a luniodd Duw er ei ddefnydd ei hun; "a ddeffroaf yn fore:" myfi a ddatganaf, ac a deimlaf y cyfryw seiniau ag ydynt deilwng o'r enaid, yr hwn a ddeffrowyd i foliannu a chlodfori Duw. Ac yn y Salm ddiweddaf oll, gorchymynir i bobl Dduw ymarferyd ag amryw fath o offer cerdd yn y cyflawniad o'u gwasanaethau dwyfol. Y maent hwy yn dra rhyfeddol, yn symud pob rhwystr yn ein duwiolder, yn iachau terfysgiadau ein meddyliau, ac yn gyru ymaith o'n calonau bob blinder a lludded. Hwy a wnant yr addoliad cyhoeddus yn fwy parchus a goruchel, gan ddyrchafu holl serchiadau duwiol yr enaid, ac yn peri i'n dyledswydd fod yn llawenydd; ac yn fawr ddigrifwch i ni. Ac os ni a fwynhawn y pethau hyn yma ar y ddaear, ni a gawn y fraint ar ol llaw o glodfori Duw tra bo'm byw, sef dros bob tragywyddoldeb, yn ei nefol deyrnas; ym mha le y rhynga bodd ein "geiriau" *iddo ef* am byth; y'mha le hefyd y bydd ein "gorfoledd" yn yr Arglwydd yn oes oesoedd.

Hawdd fyddai angwhanegu llawer o ystyriaethau ereill ar y testyn hwn oddiwrth arferion amryw genhedlaethau y byd; ond, yn ol disgwyliad *Gofynydd*, cyfyngais fy sylwadau i brofi defnydd offer cerdd oddiwrth yr ysgrythyr yn unig, ysgatfydd y cymmeraf gyfleusdra arall i wneuthur hyn.

HILARIUS.

---

VOX POPULI—(*Llais y Bobl.*)

JOHN WESLEY, rhyw ddiwrnod mewn cwmpeini, a ddiffynodd â thaerineb anweddus yr athrawiaeth o *Vox populi, Vox Dei* (Llais y bobl, Llais Duw) yn erbyn ei chwaer, doniau yr hon nid oeddynt annheilwng o'r teulu i ba un y perthynai. O'r diwedd, y pregethwr, i ddibenu y ddadl, a roddodd ei reswm yn yr haeriad pendant a chadarnhaol hwn, "Yr wyf yn dywedyd wrthyt, fy chwaer, Llais y bobl yw llais Duw." "Ië," ebai hithau yn llariaidd, "eu llais hwy oedd, 'Croeshoelier ef! Croeshoelier ef!" Atebiad na roddwyd mo'i well, meddyliaf, ar un achlysur erioed. "O! mor dda yw gair yn ei amser." *Diar.* T.

---

HANES YR EGLWYS.

SYR—Clywais gan fy nghymmydogdysgedig Mr. H——, fod Hanesion Eglwysig yr oesoedd cyntaf wedi eu hysgrifenu yn yr ieithoedd Groeg a Lladin, a bod gwybodaeth o'r ieithoedd hyny yn anhebgorol er cymmwyso dyn i gyfansoddi Hanes yr Eglwys. Dymunaf glywed golygiadau eich Gohebwyr dysgedig ar y pwnge hwn.

MASNACHYDD.

# BARDDONIAETH.

## SAITH GRADD DYNIOLAETH.

*Cyfieithiad o* SHAKSPEARE.

CHWAREUFA ydyw 'r byd;—
A chwareuyddion yw 'r trigolion oll.
Hwy ddeuant yn eu tro, ac ânt bob un.
Amrywiol ranau chwery pob dyn byw.
Mae ganddo saith gyfraniad i ymdroi:—
Yr olwg gyntaf arno 'n *Blentyn* cawn;
Ym mreichiau mammaeth yn rhoi egwan floedd.
Yna 'n *Llangc*, tu a'r ysgol â'i gŵd bach,
A'i wyneb yn dindeirio, heb ddim serch
Ymlusgo yno fel malwoden dawdd.
Ac yna cawn e 'n *Garwr* brŵd ei hynt,
Yn ocheneidio megys ffwrnes fawr,
Er ennill serch yr eneth sy'n troi i ffwrdd.
Yn nesaf, *Milwr* fydd yn llawn rhegfeydd;
A'i farf, fel eiddo llewpart, fydd yn grych:
Eiddigus o'i anrhydedd, gwyllt mewn llid,
Diarswyd fydd i droi ei wyneb dewr;
Ar fagnel llwythog, er mwyn ennill clod,
Sy'n ansefydlog megys cloch y dw'r.
Ymddengys ar ol hyn yn *Ynad* tew,
Yn cym'ryd ymborth o'r fath oreu gaiff;
A'i lygaid llym; a'i farf o doriad chwith;
Yn llawn o ddywediadau doeth dros ben;
Fel hyn y chwery ef. Y chweched oes
Newidia i'r gwrthwyneb iddynt oll.
Y dyn ganfyddwn yn myn'd oddeutu 'n awr
A'i goesau mewn hosanglôs; O! mor gul!
A'i wydrau ar ei drwyn, a'i gôd wrth glun.
A'r clôs a wisgai 'n ieuangc yn rhy fawr
I'w goesau meinion, sy fel gwerthyd troell:
Y llais fuasai 'n gryf, yr awrhon sydd
Yn chwibanu. Yr olygfa olaf oll,
Rydd derfyn ar yr hanes rhyfedd hwn,
Yw ail *Fabandod*, anghof o bob peth,
Heb ddannedd, llygaid, blas, na dim yn y byd.

IAL.

---

## DYDD IAU Y DERCHAFAEL.

HAI! lleisiwch yr udgyrn at gopa bryn Sion;
Dadgenwch gân molawd, chwi fedrus gantorion,
I'n Blaenor cadarnaf, a hollol orchfygodd
Dywysog yr Awyr, a'i aml fyddinoedd.
Daeth heddyw o'r frwydr, â'i ddillad yn gochion;
A'i gleddyf yn lliw gan waed ei elynion.
A llefodd "Efengyl," sef rhyddid trag'wyddol
I chwi' feibion caethiwed, mewn teyrnas ddymunol,
Ennillais i heddyw, 'r ol ymdrech anhydyn,
A'r diefig ormesdeyrn, oedd beunydd eich gelyn.
Dros ddeuddeg ar hugain o flwyddi 'n ddiorphwys
Ymdrechais o'ch ochr, nes buddugoliaethus
Y trechais ef heddyw, a'i roi mewn cadwynau,
Mewn carchar anobaith, yn uffern a'i fflamau.
'Nawr Sion alarus, yn hwy na riddfana,
Ond beunydd myfyria ar gonewest Calfaria.
Canmola 'n ddidewi ffyddlondeb dy Flaenor;
A'i gariad mynega wrth lwythau pob goror.
Dy delyn o'r helyg cymmera 'n dra siriol,
A tharo dôn arni nes synu 'r côr nefol.
Hebrynga ef heddyw o'r frwydr i'w orsedd,
Mewn mawl, a chaniadau, a diolch diddiwedd.
Chwithau angylion, a sanctaidd gerubiaid,
A'r holl gôr nefolaidd, a'r tanllyd seraphiaid,
O'ch trigfan ddymunol am enyd enciliwch;
I gyfarfod â'ch Brenin yn llawen disgynwch;
Hosgorddwch ef adre', yn selog a ffyddlon,
I'w deyrnas ddiderfysg: rhowch iddo aur goron;
A seiniwch ei foliant, hyd oesoedd di ri',
Fel Tywysog buddugol ar faes Calfari.

CYNHAFAL.

## PRYDNAWN HAFAIDD.

(EFELYCHIAD O'R ATHRAW WATTS.)

*Ar y Mesur y galarai Alun Farwolaeth* HEBER.

MOR deg fu y diwrnod! yr haul mor ysplenydd!
A threiglai yn llawen ei gylch-rod mor deg;—
Er ei ddylu gan niwl ar doriad y wawrddydd,
A diferai o wlaw rhyw gawodydd yn chweg:
Ond weithiau y bân gorllewinawl cyrhaeddai
Ei wawl mor eirianaidd y gorwel ymloewai,
Fal yr âi dan ei gaer y nen a ruddgochai,
Gan draethu pan doro y wawr bydd hin dêg.

Efelly y Cristion; dechreua ei yrfa
Fal yr huan mewn niwl, tra bo'n tristau dros ei ddrwg,
A llifa ei ddagrau, yna llathr ymloewa,
A theithia ei ffordd tu a'r nef yn ddi wg.
A phan i derfyniad ei yrfa dynesa,
Fal yr haul mor ysplenydd mewn gras yr ymloewa,
Ac ar derfyn ei daith, gwir obaith y rhodda
O wawrio drachefn yn ddeleidiach ei lŵg.

GWENFFRWD.

---

## GOLWG O HARLECH AR EIFIONYDD, 1831.

TRA hiraethlon ydyw 'm calon
Ddifrif dan fy nwyfron i;
O gur enaid rhêd yn ddibaid,
O fy llygaid ddagrau 'n lli':
Am d' ardaloedd heirdd nodedig,
O! gwywedig wyf a gwan;
Hiraeth yn fy mynwes beunydd,
Am *Eifionydd*, dyma fan!

Dacw 'r olygfa hardd a hoffais,
Ac a gefais i mi 'n gu;
Eden gwlad fy ngenedigaeth,
Mawr ei thoraeth, môr o'i thu:
Dacw lenyrch heirdd ei Beirddion,
Bro 'r enwogion lewion lu;
Dacw fronydd, ddeiliog ddolydd,
Dacw *Eifionydd* deca' fu.

Dacw *Chwilog Sion* odidog,
Ddawnus enwog ddyn y sydd
Yn dra helaeth ei wybodaeth,
Daeth i'w ran ddysgeidiaeth rydd:
Dacw dyddyn y dedwyddaf,
Brif-fardd mwynaf ym mhob man,
*Ellis Owen, Cefn y Meusydd;*
Dacw *Eifionydd* deca' fan.

Deued iddynt, medd fy nghalon,
Fendithion rif y meillion mân;
Heibio 'r elont heb oer alar,
Er i'n daear fyn'd ar dân:
Etifeddion fo gwŷr *Eifion*,
Ar y goron, gryf a gwan,
Mewn gwlad lawnach o lawenydd,
Nag *Eifionydd* enwog fan.

BERWYN.

---

## EFELYCHIAD O'R GATHL WLADOL—"*GOD SAVE THE KING*."

DIFFYNA di, O Ddaw,
GWILYM, ein henwog Lyw,
A'n hanwyl Ri:
Rheoled ef mewn hedd,
Hir hoedlog ar ei sedd,
A dedwydd hyd y bedd,
Yn fawr ei fri

Brydain, dyrchafa gawr,*
Moliant dy Frenin mawr,
Ag uchel lef;
Nid oes, ni bydd, ni bu,
Ragor ein GWILYM cu,
Yn llywio uwch y llu,
Duw nodda ef.

Cyfod, a chwal, O Ior,
Elynion càs ein Pôr,
Ar fôr a thir;
Dyrysa, yn dy ŵg,
Eu holl gynllwynion drwg,
Ac i gywilydd dwg
Hwy oll cyn hir.

* *A shout.*

GLAN ALUN.

*Caerludd.*

## UWCH BEN EI BEDD.

DYNA 'r goeden ddu a ysgwyd,
Uwch ben ei bedd,
Dyna 'r llysiau gwyrddion ddygwyd,
Uwch ben ei bedd,
Blanodd dwylaw rhai wylofus,
Hoffai 'madrodd mwyn ei gwefus,
Grymai gyda chalon glwyfus,
Uwch ben ei bedd.

Ni raid dod â llech o farmor,——Uwch, &c.
I'w hoer ddarllen am ryw dymmor,——Uwch, &c.
Am eu hieuengctid â'i sirioldeb,
Am ei gwylder a'i haddfwynder,
Diau cofir gyda phrudd-der,——Uwch, &c.

Ofer sôn am siomiad cariad,——Uwch, &c.
Chwerwder calon dwym, a'i thoriad,——Uwch, &c.
'N angof aeth pob testyn griddfan,
Mynwent ddiloes yw ei thrigfan,
Lle mae 'r gwynt yn hoffi cwynfan,——Uwch, &c.

Ond mae unpeth etto i'w honi,——Uwch, &c.
O! mae meddwl ddichon loni——Uwch, &c.
Cadd wawl têr gan NER tosturiol,
'R ol hir aros, a thaer eiriol,
Darfu ei nos—'r ym ninau 'n siriol,——Uwch, &c.

D. C.

## GORFOLEDD Y CRISTION.

NID oes yma ond poen a blinder,
A thrueni yn parhau;
Byth ni dderfydd effaith pechod,
Nes i'r Meddyg ei iachau.

Pan fo 'r byd drwy dwyll yn denu,
Yn gosod maglau saethau syn;
Nid all dim ei lwyr orchfygu,
Ond tirion arfau Duw a dyn.

Er bod damweiniau a gofalon
Yn pwyso 'r galon lesg i lawr;
Dim nid oes all ei thawelu,
Ond cariad cu y Ceidwad mawr.

Y mae ffynon wedi ei hagor
Rhag pob brynti, a phob bai;
Mae rhinwedd byth o honi 'n tarddu,
Ac fe bery yn ddi drai.

Pan fo angau a'i golyn chwerw,
Yn cwmpasu 'r briddell frau;
Dan aden Iesu mae ymwared,
O bob gofid, gŵyn, a gwae.

Seraphiaid beirdd fydd yn cwmpasu.
Pob enaid pur ar ben ei daith;
Nes myn'd adref 'n gorfoleddu,
A phrofi trag'wyddoldeb maith.

Dyma gysur y credadyn,
Ym mhob cyflwr dan y nen;
Rhoi pob moliant, a gogoniant,
I'r gwr a'i prynodd ar y pren.

## YMROAD Y CRISTION.

FY ngofal penaf tra bwyf byw,
Yw gweddio ar fy Nuw:—
Cadw fi, O Dduw dilyth,
Dan gysgod dy adenydd byth.
Dy air, O Dduw i mi erioed,
Sydd megys llusern i fy nhroed.
Dysg i mi fyw, O Dduw yr hedd,
Fal nad anghofiwyf byth y bedd.
Er dodi 'r farwol ran i lawr,
Cyfodaf etto gyd â'r wawr,
Ar ddydd yr adgyfodiad mawr,
Pan eilw 'r Barnwr yr holl fyd,
Mawr a bychan yno ynghyd;
Pan ddwys fyfyriwyf am y dydd,
Gofidio 'r wyf am fod yn rhydd
Oddiwrth bob pechod, cur, a phoen,
I fyn'd i lŷs y nefol Oen.
Hyn a bâr i'm calon loes,
A thaflu 'meiau at y groes.
Ar y cyfryw obaith mae fy hyder,
Pan â fy nghorph i bridd y ddaear,
Dyrcha f' enaid uwch i fynu,
Ym mhlith y seintiau mewn goleuni.

CLERICUS.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

FFRAINGC.—Ymddengys yn eglur oddiwrth y Newyddiaduron, fod yr yspryd o ddichell a therfysg etto heb ei lonyddu yn y wlad hon, ond yn parhâu i beryglu diogelwch y llywodraeth bresennol.

ITALI.—Y mae profiadau y gwyr a fu yn achos o'r gwrthryfel yn myned ym mlaen yn Itali; ond y mae yn dda genym glywed fod yr Ymerawdwr Francis wedi arbed bywyd y cad-flaenor Zucchi.

PORTUGAL.—Ymddengys fod Don Miguel yn penderfynu gwrthwynebu gofyniadau llywodraeth Ffraingc; ond fe allai y bydd dychweliad ei frawd Don Pedro o'r Brazils yn effeithio arno i newid ei feddwl.

BRUSSELS.—Y mae yr anesmwythdra mwyaf ym mhlith trigolion y wlad hon o barth y gynnadledd sydd yn myned ym mlaen mewn perthynas i ba ffurf o lywodraeth a bennodir iddynt. Ymadawodd cenhadon Lloegr a Ffraingc oddi yno.

DENMARK.—Y mae brenin Denmark wedi rhoddi i'w ddeiliaid ffurf llywodraeth wrth eu bodd.

AMERICA DDEHEUOL.—Cymmerodd cyfnewidiad le yn ddiweddar yn ngweriniaeth Columbia,

POLAND.—Y mae 'r hancsion o Poland yn dra phwysfawr er ein Rhifyn diweddaf, ac i gyd agos o ochr y Pwyliaid, er na ddigwyddodd dim ag y gellid ei gyfrif yn benderfynol o'u plaid. Bu farw y Cadflaenor Rwssiaidd Diebitch ar y 10fed o Fehefin. Y mae lle i feddwl y bydd y digwyddiad hwn o les i achos y Pwyliaid.

YR INDIA ORLLEWINOL.—Bu terfysg nid bychan yn ddiweddar yn Ynys Antigua, ond gostegwyd ef yn fuan, ac y mae lle yn bresennol yn lled dawel.——Bu hir sychder yn Jamaica, ac y mae lle i ofni canlynir gan newyn trwm.

## ADCHWYL YN Y BRAZILS.

Y mae adchwyl wedi cymmeryd lle yn y wlad eang hon, ac yn ganlynol ymadawodd Don Pedro â'i goron a'i ymerodraeth. Ymddengys fod rhyw anghydfod wedi bod rhwng y Portugiaid a'r Braziliaid er's tro yn ol, a bod yr Ymerawdwr Don Pedro wedi newid ei weinidogion, gan osod yn eu lle ddynion ag oeddynt yn lled atgas yn ngolwg y trigolion. Danfonasant genadon at yr Ymerawdwr i ddeisyf arno eu iswyddo, ond ni chaniatnodd efe iddynt eu dymuniad. Y canlyniad a fu i'r trigolion ynnill yr holl filwyr o'u plaid, hyd yn nod gosgordd-lu yr Ymerawdwr ei hun. Ar hyn, yr Ymerawdwr yn canfod ei hun wedi ei adael yn unig, oddeutu un o'r gloch y boreu ysgrifenodd â'i law ei hun ei benderfyniad i ymadaw â'r goron a'r ymerodraeth, gan adael y llywodraeth i'w fab. Dywedir fod y tywysog ieuangc yn dra phoblog mewn dwy ystyriaeth; yn gyntaf, am ei fod yn Braziliad genedigol; yn ail, am y parch tra mawr a'r serchus ffadwriaeth sydd gan y Braziliaid am ei fam, yr hon, tra y bu byw, oedd agos yn cael ei haddoli gan y werinos.

---

## NEWYDDION CARTREFOL.

YR IWERDDON.—Drwg genym hysbysu fod y newyn yn y wlad hon yn cynnyddu yn hytrach na lleihau, er cymmaint o arian a gasglwyd ac a gesglir yn Lloegr i brynu ymborth i'r trueiniaid anghenog. Dywed amryw o foneddion ag ydynt yn dystion o flodi y Gwyddelod, nad all iaith ddatgan y cyfyngder sydd arnynt: un o honynt, y Parch. Syr F. L. Blosse, a ysgrifenodd ynghylch y newyn yn Mayo—"Ymddengys fod cyfyngder dirfawr yn gormesu trigolion 42 o blwyfydd yn Mayo, a bod ynddynt 148,041 o ddynion yn dioddef arteithiau newyn. Preswylwyr yr ardiroedd a ymdrechant gadw eu heinioes drwy ymborthi ar y chwyn a'r pysgod cregyn a affent ar y traeth. Mynegodd Offeiriad i, yr hwn a ammheuodd wirionedd yr hancsion a hysbyswyd iddo, iddo ymweled â theuluoedd yn annisgwyliadwy, ac fel hyn bu yn dyst o olygfa a barodd iddo ofid nid bychan, sef mam yn pigo gyda phin ddarnau o bysgodyn allan o'r grogen, ac yn ei ranu fel hyn iddynt—yn rhy araf i ddiwallu eu heisieu. Mewn parthau ereill o'r wlad, y tlodion a ymborthant ar chwyn a dail poethion, a dymunant am ychydig o flawd ceirch i ferwi gyd â'r dail hyn i wneuthur y bwyd yn fwy maethus a blasus. Gwelwyd un fam druenus, yr hon oedd â baban yn ei breichiau, yn ymdrechu estyn einioes ei theulu drwy roddi iddynt y naill ar ol y llall laeth o'i bronau! Profir yr hancsion hyn drwy lw ger bron y Cyfrin-gyngor. Ai ofer fydd ein galwad ar y cyfoethogion dyngarol i achub y trueiniaid hyn o angeu poenus ac anamserol? Y mae clefyd erchyll wedi tori allan mewn amryw o barthau. Casglwyd yn y plwyfydd tlawd £3484 16s. 6d. heblaw £4000 a roddwyd gan Mrs. Budworth, ac £800 gan Iarll Lucas er esmwythâu cyfyngder eu deiliaid eu hunain. Y mae yr arian hyn, a'r swm a anfonwyd yma o Loegr, wedi eu treulio oll, ac etto y mae 60 niwrnod o'u blaen, cyn y bydd cnwd y cloron yn barod i'w fwyta."

Mewn cyfarfod a gynnaliwyd yn Nublin, hysbyswyd fod £2257 19s. wedi eu treulio i brynu ymborth i'r trigolion newynog, a bod yn Mayo a Galway yn unig 200,000 o ddynion yn hylwyr ymddifad o luniaeth, ac y trenga miloedd o newyn, oni ddiwellir eu heisiau yn ebrwydd; a bod llawer wedi trengu eisys yn y lleoedd uchod.

Dywenydd ydyw mynegu fod y Llywodraeth wedi danfon gwr boneddig i Mayo a Galway i dòri gwaith allan i'r preswylwyr truenus, a bod ganddo swm mawr o arian i'r diben hwn; eithr ni ddylai hyn attal cyfeillion yr anghenog rhag ymegnio hyd eithaf eu gallu i gael cyfraniadau yn eu hamrywiol ardaloedd. Casglwyd rhwng £500 a £600 yn Nghaerlleon, yr hyn a drosglwyddwyd i'r Dirprwywyr yn Nublin.

Dywed yr hanesion diweddaf o'r parthau newynog, fod yr eisieu am ymborth yn parhâu fel o'r blaen, er cymmaint o gyfraniadau a ddanfonwyd o ddinasoedd a threfydd Lloegr. Onid buddiol fyddai i bob Offeiriad bennodi Sul yn ddioed i wneuthur casgliadau yn eu heglwysi i ddiwallu angenrheidiau y Gwyddelod?

Mewn parthau ereill o'r wlad, drwg genym adrodd fod ugeiniau o'r adynod yn parhâu i ladrata, i ladd, ac i attal yr amaethwyr rhag trin eu tiroedd. Yn y mis diweddaf profwyd ugeiniau yn euog o'r troseddau erchyllaf, a dioddefodd rhai eithaf llymder y gyfraith, a nifer mawr a alltud-

iwyd dros eu hoes o wlad eu genedigaeth. Gobeithir y llwydda ymdrechiadau y Llywodraeth i adferu llonyddwch yn yr ardaloedd terfysglyd; yn wir nid oes ammheuaeth am hyn, am fod lluoedd o'r werinos wedi rhoddi eu harfau i fynu i'r Gweinidogion Protestanaidd a Phabaidd.

---

## LLOEGR.

---

### Y SENEDD.

Dydd Mawrth, Mehefin 14, agorwyd y Senedd gan yr Arglwydd Ganghellydd; yr hwn a wysiodd Aelodau Tŷ y Cyffredin i Dŷ yr Arglwyddi, ac a fynegodd iddynt, mai Archiad ei Fawrhydi oedd iddynt ddewis Llefarydd. Ar hyn, dychwelasant i Dŷ y Cyffredin; a chynnygiodd y Gwir Anrhydeddus C. W. W. Wynn, mewn araith synwyrlawn a hyawdl, fod y Gwir Anrhydeddus Charles Manners Sutton i gael ei ddethol i swydd Llefarydd yn y Senedd. Y cynnygiad hwn a gefnogwyd gan Syr M. W. Ridley, yr hwn a fynegodd gymmwysderau Mr. Sutton i gyflawni gorchwylion pwysig ei swydd. Wedi i Mr. Sutton gyfarch y Tŷ, dewiswyd ef yn unfryd i fod yn Llefarydd, a gosodwyd ef yn y Gadair gan Mr. C. W. W. Wynn a Syr M. W. Ridley.

Dydd Mercher, aeth Mr. Sutton a lliaws mawr o Aelodau Tŷ y Cyffredin i Dŷ yr Arglwyddi, i fynegu i Ddirprwywyr ei Fawrhydi, sef Arglwyddi Brougham a Durham a Duc Richmond, fod y Seneddwyr wedi cyduno âg archiad ei Frenin i ddewis Llefarydd, a'u bod hwy wedi gwneuthur iddo yr anrhydedd o'i ethol ef yn Llefarydd.

Yr Arglwydd Ganghellydd a gyfarchodd y Llefarydd fel hyn—Gorchymynir ni gan ei Fawrhydi i sicrhau i chwi fod ei Fawrhydi, gan hyderu yn eich dyhewyd diflino, a'ch cymmwysderau profedig i gyflawni dyledswyddau pwysig eich sefyllfa orchel, oblegid eich dwfn wybodaeth o ddefodau a threfniadau Tŷ y Cyffredin, eich ammhleidgarwch, diysgogrwydd, hynawsedd, a chymmedroldeb, yn nghyflawniad eich gorchwylion fel Llefarydd, a gymmeradwyn yn hylwyr weithred Aelodau Tŷ y Cyffredin, yn eich dethol chwi i fod yn Llefarydd yn yr Eisteddfod hon o'r Senedd.

Y Llefarydd. Fy Arglwyddi, gyd â'r diolchedd, a'r edmygedd, a'r gostyngeiddrwydd mwyaf, ymostyngaf i orchymynion ei Fawrhydi, a'm dyledswydd yn awr ydyw hòni hawl yn enw ac ar ran Aelodau Tŷ y Cyffredin, i'w iawnderau a'u breintiau cyntefig, yn enwedig y rhyddid iddynt hwy a'u gweinidogion rhag cael eu rhoddi dan ddalfa—rhyddid i ymddadleu—rhyddid i fyned at ei Fawrhydi, pan y bydd amgylchiadau yn gofyn; ac os digwydd rhai cyfeiliornadau, hyderaf y priodolir hwynt i mi, ac nid i Aelodau ffyddlon Tŷ y Cyffredin.

Yr Arglwydd Ganghellydd a ardystiai i'r Llefarydd, fod ei Fawrhydi yn barod i sicrhâu yr iawnderau a'r breintiau a fwynhawyd gan Aelodau Tŷ y Cyffredin er's oesoedd maith. Yna dychwelasant i Dŷ y Cyffredin; a threuliwyd yr wythnos gyntaf yn gweinyddu y llwon i'r Seneddwyr.

Dydd Mawrth, yr 21ain o Fehefin, aeth ei Fawrhydi y Brenin i draddodi ei araeth wrth agor y Senedd newydd. Oddeutu hanner awr wedi un o'r gloch cychwynodd ei Fawrhydi o'i balas, ynghyd â'r Frenines, a swyddogion penaf y deyrnas, ac ychydig ar ol dau o'r gloch aeth y Brenin i mewn i Dŷ yr Arglwyddi, ac esgynodd yr orsedd. Yna gyda llais uchel darllenodd yr araeth rasusol a ganlyn:

### ARAETH Y BRENIN.

"*Fy Arglwyddi a Boneddigion,*

"Cofleidiais y cyfleustra cyntaf i gyrchu atoch am eich cyngor a'ch cymmorth ar ol digorphoriad y Senedd ddiweddaf.

"Wedi cyrchu o honof at y mesur hwnw i'r diben o wybod meddwl fy mhobl o barth y rheidioldeb am ddiwygiad yn y cynnrychiolaeth, yr wyf yn awr yn cymhyg i'ch ystyriaeth manylaf a dioed y pwngc pwysfawr hwnw, gan hyderu y bydd i chwi y'mhob peth gogyfer a'i ddwyn ef i ben, lynu yn ofalus wrth egwyddorion presennol y llywodraeth, trwy ba rai y diogelir ar unwaith ragorfreintiau y goron, awdurdod dau Dŷ y Senedd, a breintiau a rhyddid y deiliaid.

"Mae 'r tystiolaethau o heddychlondeb a chyfeillgarwch ar du holl lywiawdwyr tramor ag ydwyf yn barhaus dderbyn yn rhoi gobaith na therfysgir yr heddwch cyffredinol presennol, er y cythrwfl cartrefol a fu yn ddiweddar yn rhai manau yn Ewrop, ac er yr ymbleidio sydd yn awr yn Poland.

"Ymdrechaf yn dra gofalus i gynnal y fendith hon o heddwch.

"Ni therfynwyd etto y ddadl a fu o barthed matterion Belgium; eithr y mae yn para yr undeb mwyaf rhwng yr amryw awdurdodau a anfonasant genhadon i'r Gymmanfa yn Llundain. Yr egwyddor ar ba un y mae y Gymmanfa hon yn gweithredu, yw peidio ymyraeth â thrigolion Belgium ynghylch trefnu eu hachosion gwladol, ac ynghylch cadarnhau eu Llywodraeth fel y gwelont oreu er eu dedwyddwch rhagllaw, ond yn unig na throseddont yr arferion a'r ddeddf sefydledig rhwng teyrnasoedd, ac na pheryglont ddedwyddwch gwledydd cymmydogaethol.

"Gan na chefais iawn, er fy holl ymdrech, gan lywodraeth Portugal am y cam a'r sarhad olynol a wnaethai, gorfu arnaf o'r diwedd anfon rhan o'm llynges at Lisbon i fynu iawn. Darfu cydsyniad parod â'm cais ragflaenu 'r angenrheidrwydd o fesurau gwaeth, er fod yn ddrwg genyf ddweud nas gellais etto adnewyddu y berthynas gyfeillgar a fu rhyngom.

"*Boneddigion Tŷ y Cyffredin,*

"Gorchymynais osod ger eich bron swm traul y goron am y flwyddyn hon, ac ymddiriedaf i'ch ffyddlondeb a'ch sel am ddarpariad cyfatebol yn gystal ag iawn ddefnyddiad o'r arian a ganiatâodd y Senedd ddiweddar, etto gan gadw yn eich golwg yn wastadol yr angen o gynnildeb doeth a da y'mhob rhan o draul y deyrnas.

"*Fy Arglwyddi a Boneddigion,*

"Gyd â'r hyfrydwch mwyaf yr hysbysaf i chwi na bu y gostyngiad trethi

a gymmerodd le y llynedd, a'r flwyddyn hon, er ysgafnhau beichiau y werin, yn achos o leihad cyfartal y'nghyllid y goron. Hyderaf y dyfeisiwch ffordd i wneud yr ychydig ddiffyg yma i fynu heb gyfyngu ar gysuron fy neiliaid.

"Cefnogi diwydrwydd, diwygio cyfoeth, a chynnal parch y deyrnas, trwy foddion diogel, ac ar sail dda, a fydd bob amser fy ymgais penaf, a hyderaf y bydd i chwithau gydymdrechu â mi yn hyn.

"Gyda gofid yr ydwyf yn hysbysu i chwi gynnydd parhaus glefyd dychrynllyd, y tynwyd fy sylw boreu ato, yn rhanau dwyreiniol Ewrop. Cafwyd hysbysiaeth yn ddiweddar ei fod wedi cyrhaedd porthladdoedd y *Baltic;* a chan fod cryn fasnach rhwng y deyrnas hon a'r lle hwnw, gorchymynais ddefnyddio pob moddion a allont i rwystro dyfodiad clefyd mor ofidus i'r wlad hon.

"Mae cyfyngder mawr yn parhau mewn rhai manau o'r deyrnas, yn enwedig rhanau gorllewinol yr Iwerddon. I'r diben o ysgafnhau 'r gorthrymder lle yr oedd drymaf, nid oedais gefnogi y moddion mwyaf addas: ond rhaid fod pob cynnorthwyon o'r natur hyn yn rhy brin i ateb y galwad, ac nis gallant fod ond dros amser yn unig. Ffordd i ddiwygio adnoddau y wlad, fel na ddigwyddo y cyfryw gyfyngderau drachefn, ydyw yr hyn y dymunwn yn neilltuol ei chael, ac y dylech chwithau yn dra dwys a gofalus ei chwilio allan.

"Digwyddodd cythrwfl yn ddiweddar (nid o anffyddlondeb i'r Brenin, na gwrthryfelgarwch yn erbyn y llywodraeth) mewn rhai manau o'r deyrnas hon a'r Iwerddon. Yn Swydd Clare, a'r rhanau cymmydogaethol o Roscommon a Galway, arferwyd trais ac annhrefn i raddau echrydus am gryn amser, er attal pa rai y gosodwyd awdurdod y gyfraith ar waith, a hyny yn llwyddiannus. Trwy y moddion hyn, hyderaf na bydd angenrheidrwydd am wneuthur unrhyw gyfreithiau newyddion. Rhagflaenu y fath angenrheidrwydd a fu, ac a fydd hefyd, yn wastad fy nymuniad penaf; eithr os cyfyd y fath angenrheidrwydd anffodus, nid oes un ammheuaeth ynof nas gwnewch gynnal heddwch a threfn yn y deyrnas gyfunol, trwy ddefnyddio pob moddion angenrheidiol i'r dibenion hyny."

---

## CYMRU.

---

### ETHOLIAD SENEDDWYR.

*(Parhad o du dal.* 181.*)*

SWYDD FFLINT.—Pan gyrhaeddodd yr hysbysiad galarus am farwolaeth Syr Thomas Mostyn i'r wlad, Syr John Hanmer a ddatganodd ei fwriad i gynnyg ei hun i sylw Uchelwyr y Swydd fel ymgeisydd am yr anrhydedd o'u cynnrychioli hwynt yn y Senedd. Eithr gan fod ei olygiadau o barthed Diwygiad Seneddol yn hylwyr groes i eiddo y nifer luosocaf o Uchelwyr y Swydd, buan y gwelodd nad oedd y gobaith lleiaf y llwyddai yn ei ymgais: ac o ganlyniad, mai ofer fyddai iddo wrthwynebu E. M. Ll. Mostyn, Ysw. (mab Syr Edward Lloyd, o Bengwern, a nai i'r diweddar Syr Thomas Mostyn) gwr wrth fodd calon Uchelwyr anymddibynol Swydd Fflint.

Dydd Mawrth, Mai 10fed, gwelwyd cannoedd o wyr traed a cheffylau yn cyrchu tua Fflint, i fod yn wyddfodawl ar yr achlysur o ethol Seneddwr. Dilynwyd Mr. Lloyd Mostyn gan y rhan fwyaf o Foneddion y Swydd, y rhai oeddynt am y cyntaf i ddangos pob arwyddion o barch tu ag at impyn o foncyff Pengwern; ac ym mhlith y rhai blaenaf yr ydoedd trigolion y Wyddgrug, a'r amgylchoedd. Y Prif Swyddog a ofynodd, pwy a gaffai eu cynnrychioli hwynt yn y Senedd? Cannoedd a floeddiasant E. M. Lloyd Mostyn.

*F. R. Price*, o Fryn y Pŷs, a gynnygiodd Mr. Lloyd Mostyn i sylw Uchelwyr y Swydd, fel boneddig teilwng i'w ethol yn Seneddwr. Yr oedd golygiadau y boneddig parchus, yr hwn a gynnrychiolodd y Swydd yn y Senedd am gynnifer o flynyddoedd, ond yr hwn sydd yn awr wedi myned i fyd arall, mor adnabyddus i bawb, nad oedd angen iddo ef roddi dim canmoliaeth iddynt; ei nodweddiad parchus, a'i amrywiol rinweddau, a enillasant iddo serch ac enw da pob un o'i gydnabod; a hir y trigai ei goffadwriaeth yn nghalonau ei etholwyr. Ymddangosai ger eu bron, ar yr achlysur presennol, i'w cynghori hwynt i ethol E. M. Ll. Mostyn, Ysw. i'w cynnrychioli hwynt; a gwnai hyn, nid yn unig am y gyfeillach a ffynai rhyngddo ef a Mr. Mostyn, ond am iddo wybod ei fod yn ddyn boneddig, o egwyddorion cywir, ac y gwasanaethai efe hwynt yn onest ac yn ffyddlawn. Yr oedd efe yn gyfaill calon i Ddiwygiad Seneddol; ac er nad allai gymmeradwyo yr holl Ysgrif; etto, cymmeradwyai ei hegwyddor, a'r prif drefniadau. Er nad allai gydsynied yn hylwyr â'i gyfaill anrhydeddus o barthed y pwnc tra phwysfawr hwn, teimlai, yn ddiogel, od etholid ef i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd, y cyflawnai ei ddyledswydd, ac y pleidleisiai yn gydwybodol ar bob achlysur. Ni chafodd erioed fwy o ddywenydd nag ar yr achlysur presennol, wrth ganfod cymmaint o undeb yn y Swydd o blaid y boneddig parchus, yr hwn, yn ddiddadl, a ddefnyddia bob ymdrech er lles ei wlad yn gyffredin, a'i fro enedigol yn neillduol.

Cefnogwyd cynnygiad F. R. Price gan *Major Jones*, mewn araith ddestlus a chyunwysfawr.

Y *Parch. Charles Shipley* a lawenhai wrth ganfod cynnifer o'i gyduchelwyr yn wyddfodol ar yr achlysur hwn, i ethol un i'w cynnrychioli; yr hwn, er yn ieuangc mewn dyddiau, oedd yn hen Ddiwygiwr. Dywenydd oedd ganddo, fod Syr John Hanmer wedi nacau dyfod i'r maes; ac er y parchai efe y Barwnig, yr hwn sydd yn wr o gynneddfau cryfion, ac yn debyg o ddwyn anrhydedd i'w enw a'i deulu; etto, buasai yr araith a draddododd yn yr Wyddgrug yn ddigon i rwystro ei etholiad. Dilys ganddo, pan welid yr Ysgrif hon o Ddiwygiad Seneddol wedi adgyweirio yr adfeiliau a anharddent ffurf-lywodraeth ardderchog Prydain Fawr; wedi symmud ymaith y sothach a gargludd amser, a diffyg egwyddorion rhinweddol, o amgylch ei sylfaen rhagorol; pan welid ein ffurf-lywodraeth fel goleuni mawr y dydd yn ei ddisgleirdeb ysblenydd, yn gwasgaru llawenydd i bob calon, ac yn dylifo bendithion ar y bobl; byddai gwrthwynebwyr presennol yr Ysgrif ym mhlith y rhai blaenaf yn cymmeradwyo ymddygiad ei hamddiffynwyr. Pwy a ddetholai y nifer luosocaf o Aelodau y Senedd? y Bwrdeisdrefi—a llawer o honynt ddim amgenach na murian adfeiliedig, tomenydd gwyrddion, a mesydd diddeiliad; ac weithiau ystlymod a dylluanod oeddynt yr etholwyr *(chwerthin)*. Amrai o Aelodau Tŷ y Cyffredin a etholwyd gan bendefigion; ac os meiddient ymddwyn yn anymddibynol, a rhoddi eu pleidlais yn groes i ddymuniad eu meistraid, cymmellent hwynt i encilio o'r Senedd. a

lenwid y gwagle gan ddynion mwy ufudd. Ychydig o flynyddoedd yn ol, rhyw bendefig a fygythiodd y danfonai ei *was du* i gynnrychioli un o'i fwrdeisdrefi yn y Senedd; a'r unig beth a'i lluddiodd oedd mai Pagan ac nid Cristion ydoedd *Mungo*, ac y costiai i'w Arglwyddiaeth arian lawer i'w gymmwyso. Cymmeradwyai, yn hylwyr, ysgrif Arglwydd John Russell; oblegid ni ddifreinnia neb dynion, eithr breinnia 500,000, ac ar unwaith ysgubai ymaith 60 o fwrdeisdrefi llygredig. Cefnogai Mr. Mostyn am mai Diwygiwr ydoedd, ac am y gwyddai y cyssegrai ei amser a'i ddoniau at wasanaeth ei etholwyr.

*Mr. Thomas Mather*, o Fagillt, a wnaeth araith faith o blaid ysgrif Arglwydd John Russell. Wedi hyn, cyhoeddodd y Prif Swyddog fod E. M. Ll. Mostyn, Ysw. wedi ei ethol, a gwregysodd o'i amgylch y cleddyf fel Marchog y Swydd.

*E. M. Ll. Mostyn, Ysw.* a ymddangosai ger eu bron i dalu ei ddiolch diffuant am yr anrhydedd a wnaethant iddo ar yr achlysur hwn. I'w hybarch gyfeillion, Mr. Price a Major Jones, y teimlai yn wastad yn dra diolchgar. Ni allai iaith ddatgan mor ddyledus y teimlai i Uchelwyr deallus Swydd Fflint, y rhai a ddaethant yno i'w gefnogi ef; ac ychwanegid y teimlad hwn, pan ystyriai fod eu golygiadau hwynt yn cydsynio â'i eiddo yntau o barthed Diwygiad yn y Senedd. Am iddynt oll, yn unfryd, ei ethol ef i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd, ei benderfyniad diysgog oedd cyflawni ei ddyledswydd yn gydwybodol, a chefnogi ysgrif Arglwydd John Russell. Yr oedd yn elyn i bawb a dderbynient arian y wlad heb ei haeddu drwy eu gwasanaeth, ac yn gyfaill i bob cynnildeb yn nhraul y deyrnas, a theimlai na byddai ond yn cyflawni ei ddyledswydd wrth ddyrchafu ei law a'i lais yn erbyn caethiwed y dynion duon—y drefn felldigedig hono ag sydd yn ammharch i bob teyrnas wareiddiedig. Wedi ei fagu yn Swydd Fflint, gobeithiai yr edrychai ar bob Uchelwr fel cyfaill iddo. Ei ddyledswydd arbenig fyddai coleddu eu cyfeillach, a gofalu yn ddibaid i hyrwyddo lles y gweithydd mwn a glo, amaethyddiaeth, a masnach y Swydd. Hyderai yr edrychai pawb o'i gefnogwyr arno ef fel eu cyfaill. Ni ommeddai unrhyw foddion a dueddent i'w gymmwyso i gyflawni y dyledswyddau pwysig ag oeddynt yn gysylltiedig â'i swydd uchel fel Seneddwr. Cydymdeimlent âg ef tra y galarai oblegid marwolaeth eu diweddar Gynnrychiolydd hybarch a ffyddlon, a gobeithiai y dilynai efe ôl ei draed ef.

Yna gwasgarodd y dyrfa luosog i edrych am ymborth i ddiwallu angenrheidiau y corph; ac wedi ciniawa, traddodwyd amrai o areithiau hyawdl gan y boneddigion yn amrywiol westdai y dref.

*Bwrdeisdrefi Fflint.*—Dydd Mercher, Mai 4, daeth Aelodau Bwrdeisdrefi Rhuddlan, Caerwys, Caergwrle, ac Overton, i Fflint, i ddethol un o'u cydaelodau i gynnrychioli y Bwrdeisdrefi hyn yn y Senedd. Oddeutu 12 o'r gloch cyrhaeddodd Syr Edward Lloyd i'r dref.

*F. R. Price, Ysw.* wrth gynnyg Syr E. P. Lloyd i sylw Aelodau Bwrdeisdrefi Swydd Fflint, fel boneddig addas a chymmwys i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd, a ddywedodd ei fod yn gwneuthur hyny gyda dywenydd nid bychan; oblegid pwy o foneddigion Swydd Fflint mor deilwng o'r anrhydedd a'u diweddar Gynnrychiolydd? Gwasanaethodd hwynt gyd â'r ffyddlondeb mwyaf am nifer o flynyddoedd. Cafodd ei brofi, a chafwyd ef yn ddiwyd ac yn gywir i gyflawni bob dyledswydd sy gysylltiedig â'i sefyllfa uchel. Pwy a ddangosodd fwy o bryderwch a gofal dros lesiant ei etholwyr na'r Barwnig hybarch? Ac mewn perthynas i'w ymddygiad yn y Senedd, o barthed pob achos ynglyn â llwyddiant y deyrnas, cafwyd ef bob amser yn amddiffynydd diysgog dros iawnderau y bobl; ac ar achos diweddar, ag sydd yn dal perthynas agos at lwyddiant y wladwriaeth, rhoddodd wystl i'w etholwyr, drwy ei bleidlais ar yr achlysur hwnw, ei fod yn gyfaill diffuant i'w Frenin a'i wlad—yn gefnogwr cynnildeb, ac yn amddiffynydd pob trefniad a duedda at les y deyrnas. Gan fod yr hybarch Farwnig wedi eu gwasanaethu hwynt mor ffyddlawn—wedi dilyn yn ddiwyro lwybr o ymddygiad a gymmeradwyir gan bob dyn da, gobeithiai y dangosent eu parch a'u cymmeradwyaeth o hono, trwy ei ethol yn unfryd i'w cynnrychioli hwynt unwaith yn rhagor.

Cefnogwyd y cynnygiad gan *George Keskel, Ysw.* a'r *Parch. Charles Shipley* mewn areithiau hyawdl a threfnus.

Yna cyhoeddwyd fod Syr E. P. Llwyd wedi ei ethol.

*Syr E. P. Llwyd* a gyfarchodd ei etholwyr, ac a ddywedodd nad allai iaith yn y byd ddatgan ei deimladau, wrth ystyried yr anrhydedd, â pha un y cyfanysgaeddwyd ef y dydd hwnw, drwy ei ethol drachefn i fod yn Gynnrychiolydd drostynt. Yr anerchiadau parchus a dderbyniasai ar hyd y ffordd o Bengwern i Fflint a brofai fod ei etholwyr yn cymmeradwyo ei ymddygiad Seneddol. Yr oedd efe yn gefnogwr diysgog dros bob Diwygiad, cynnildeb, a heddwch; eithr ni honai unrhyw gammoliaeth arbenig am gefnogi Gweinidogion ei Fawrhydi am eu bod yn haeddu cefnogiad pob dyn da, a thrwy eu cefnogi hwynt ni wnaeth ond ei ddyledswydd. Hyderai y cydnabyddent iddo ymddwyn yn gyson ac yn annymddibynol ar bob achos gwladol. Gofalai bob amser dros lwyddiant ei etholwyr; a hyderai y dangosai ei ymddygiad rhagllaw mai eu lles hwynt sydd agosaf at ei galon. Yr oedd efe wedi colli cyfaill hoff, y diweddar Syr Thomas Mostyn, yr hwn oedd berthynas iddo, a chyda yr hwn y bu yn gweithredu yn y Senedd am 28 mlynedd. Ni adroddai am ei rinweddau; ac yn wir afreidiol fyddai hyny, am eu bod oll yn gwybod yn dda am danynt. Ei ymgais parhaus fyddai teilyngu cymmeradwyaeth ei etholwyr, trwy gyflawni yn ddiwyd ei ddyledswyddau pwysig yn y Senedd. Wedi hyny, aeth Syr Edward Llwyd a'i gyfeillion i giniawa, a thraddodwyd llawer o areithiau hyawdl ar ol ciniaw.

Swydd Gaernarfon.—Dydd Gwener, Mai 6ed, etholwyd G. W. G. Wynne, Ysw. i gynnrychioli y Swydd yn y Senedd.

*Lloyd Edwards, Ysw,* mewn araith fer, a gynnygiodd i sylw ei gyd uchelwyr Mr. Wynne, fel gwr bonheddig cymmwys i'r swydd uchel o fod yn Aelod o'r Senedd dros y Swydd.

*Arglwydd Newborough* a ddywedodd, er nad oedd ei olygiadau ef yn cyduno âg eiddo Mr. Wynne, etto pan ystyriai mor ddyfal y gwyliodd efe dros lwyddiant ei etholwyr, a chymmaint o feddiannau oedd ganddo yn y Swydd, gobeithiai yr ad-etholid ef heb un gwrthwynebiad.—Yna cyhoeddwyd fod Mr. Wynne wedi ei ethol.

*Mr. Wynne* a ddiolchai o eigion ei galon i'w gyfeillion am ei ethol i'w cynnrychioli yn y Senedd. Sicrhai iddynt y gallent ymddibynu ar ei ymegniadau er cynnyddu llwyddiant y Swydd hon, a lles cyffredin y wladwriaeth. Ac er, efallai, nad oedd yn hylwyr gydsynied â rhai o'i gyfeillion o'i amgylch ynghylch [illegible] o achosion gwladol, etto hyderai y [illegible] iddo bob amser roi ei bleidlais yn y Senedd gyda golwg ar ddedwyddwch a budd y deyrnas, ac y byddai ei ymdrechiadau rhagllaw yn ddiflino er cyflawni yr unrhyw ddiben.

Wedi hyn oddeutu 120 o gyfeillion Mr. Wynne a giniawasant gyd âg ef yn Llysdy y dref: traddodwyd nifer o areithiau hyawdl, ac yfwyd llawer o lwnge-destynau gwladgarol.

*Bwrdeisdrefi Caernarfon.*—Dydd Mercher, Mai 4, cyfarfu Aelodau y Bwrdeisdrefi uchod yn Nghastell Caernarfon i ethol eu Cynnrychiolydd yn y Senedd. *Syr Charles Paget* a *W. Ormsby Gore, Ysw.* oeddynt yr ymgeiswyr. Ymddengys fod y dyrfa yn ac o amgylch y Gastell mewn cyflwr tra therfysglyd, ac ni allasid, am amser maith, beri iddo gael llonyddwch i ddarllen *Writ* ei Fawrhydi, &c.

Cynnygiodd *Colonel Parry* Syr Charles Paget i sylw Aelodau y Bwrdeisdrefi fel gwr boneddig addas i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd; a chefnogwyd y cynnygiad gan Dr. O. O. Roberts, yn nghanol terfysg ac ocheneidiau digyffelyb.

Y Parch. Mr. Kyffin a gynnygiodd W. Ormsby Gore, Ysw. yr hwn a gefnogwyd gan Mr. John Roberts. Traddodwyd areithiau gan y Colonel Parry

a Dr. O. O. Roberts, a chan y Parch. Mr. Kyffin a Mr. John Roberts; ac hefyd gan y ddau ymgeiswyr, sef Syr Charles Paget, a W. Ormsby Gore, Ysw. ond ni chaniata ein terfynau roddi lle iddynt. Parhaodd yr etholiad am wyth niwrnod, gyda llawer o derfysg ac annhrefn, pan y rhoddodd Mr. Gore i fynu yr ymgais i Syr Charles. Nifer y pleidleisiau dros Syr Charles Paget, 274, a thros W. Ormsby Gore, Ysw. 281.

Swydd Feirion.—Dydd Mawrth, y 10fed o Fai, etholwyd Syr Robt. Wmes. Vaughan, Barwnig, dros Sir Feirionydd. Hon yw yr unfed waith ar ddeg y detholwyd Syr Robert i gynnrychioli trigolion Sir Feirion yn Senedd Brydain. Anrhydedd yw hwn nas gall ond ychydig o'n Seneddwyr presennol ymffrostio ynddo.

---

## EISTEDDFOD LLUNDAIN.

Dydd Mercher, Mai 25, cynnaliwyd Eisteddfod Cymmrodorion Llundain, yn *Freemason's Tavern*, yr Anrhydeddus G. Rice yn y Gadair, pryd y dyfarnwyd y Gwobrwyon fel y canlyn:

1. *The Royal Medal, and Five Guineas*—"For a Biographical Sketch of the most Eminent Individuals the Principality of Wales has produced since the Reformation"—*To Mr. Robert Williams, of Christ Church, Oxford.*
2. *The Royal Medal*—For the best Essay on "The Causes which, in Wales, have produced Dissent from the Established Church."—*To Arthur J. Johnes, Esq. of Lincoln's Inn.*
3. *The Royal Medal.*—"For a Poem, in English, by a native in the Principality, on any subject connected with Wales, of not less than 100 lines, but the period to be subsequent to the Norman Conquest."—*To Mr. Robert Folkestone Williams, of London.*
4. *Three Guineas.*—"Am y Traethawd goreu ar y manteision, neu yr anfanteision, o goleddu yr Iaith Gymreig fel tafodiaith fyw."—*Dyfarnwyd y Gwobr hon i ysgrifenydd dan y ffug-enw Madog ab Owain Gwynedd.*
5. *Ariandlws*—Am yr Englyn goreu ar "Benyw." Derbyniwyd dim llai na deg ar hugain ar y testyn hwn, a dyfarnwyd y Gwobr i'r un yn dwyn y ffug-enw *Ab Ceridwen.*

---

## TERFYSG YN MERTHYR TYDFIL.

Dydd Mercher, Mehefin 1ydd, cyfododd holl Lowyr Merthyr yn erbyn eu Meistriaid, am iddynt roddi rhybudd y gorfyddai arnynt ostwng eu cyflogau. Drannoeth, ymgyrchodd y glowyr, yn fintei-oedd lluosog yn y dref; ac aethant yn union-gyrchol at annedd Mr. Coffin, lle y cedwir y *Court of Requests*, neu *Court of Conscience*; ac wedi galw am y llyfrau, dinystriasant y ffenestri, a'r dodrefn yn y tŷ: ac ymdrechasant roddi y lle ar dân, ond ni lwyddasant. Ymddengys fod y Llys hwn, sef y *Court of Requests*, wedi peri llawer o flinder i'r glowyr am ennyd maith, a'u bod hwynt wedi bygwth na oddefent ef mwyach. Gwelodd yr Ynadon mai ofer fyddai iddynt ymryson gyd â'r terfysgwyr heb ddim milwyr yn y dref; am hyny, anfonasant yn ebrwydd i Aberhonddu am gad o'r 93 *Highlanders*. Drannoeth (dydd Gwener) pan gyrhaeddodd y milwyr i Merthyr, yr oedd miloedd o'r terfysgwyr wedi ymgyrchu o amgylch y *Castle Inn*, lle na darllenwyd y *Riot Act*. A phan ofynwyd i'r terfysgwyr i ba ddyben yr ymgasglasant, dywedasant bod yn rhaid iddynt gael codi eu cyflogau. Wedi hyn, cyfarchwyd hwynt gan berchenogion y gweithydd, gan erfyn arnynt wasgaru yn llonydd; danfon 10 neu 12 o honynt atynt hwy i ddatgan a hachwynion iddynt. Eithr ni wrandawent ar hyn; a chynhyrfwyd hwynt, gan un o'u cymdeithion, i ruthro ar y milwyr i'w hymddifadu hwynt o'u harfau. Gwnaethant felly; a gorchymynwyd i'r milwyr saethu atynt; ond nid cyn hyny. Ar hyn gwasgarodd y dyrfa. Ac er i'r milwyr ddangos pob hwyrfrydigrwydd, etto, galarus yw adrodd, fod 21 o'r terfysgwyr wedi eu lladd; ac o 70 i 80 o honynt wedi eu clwyfo. Cafodd ychydig o'r milwyr eu clwyfo; ond y maent oll wedi iachau yn awr. Yn y prydnawn, cyrhaeddodd yno finteioedd o Farchogion, ac yr oedd llonyddwch wedi ei adferu; eithr ar foreu dydd Sadwrn, canfyddwyd tyrfaoedd lluosocach nag o'r blaen, wedi ymgyrchu ar y gwahanol fryniau, o amgylch y gweithydd haiarn, wedi eu harfogi â drylliau a phastynau. Attaliwyd arlwyrhyfel y 93 yn Nghoed Cymmer, oddeutu milltir o Ferthyr, gan y terfysgwyr, ac anfonwyd ef yn ol i Aberhonddu. Y Marchogion a frysiasant tua Choed Cymmer; ond dychwelasant, gan ofni y cymmerid eu harfau oddi arnynt. Yn y prydnawn, pan oedd Marchogion Abertawe o fewn tair milltir i Ferthyr, diarfogwyd hwynt. Dychwelasant i Gastell Nedd; ac wedi ymarfogi eilwaith, a chynnyddu eu nifer, cyrhaeddasant i Ferthyr yn fuan boreu ddydd Llun. Yr oedd nifer y terfysgwyr uwchlaw 9000; a chawsant rai magnelau a phylor o weithydd yn y gymmydogaeth. Cymmerwyd dau o'r blaenoriaid i fynu. A phan yr holwyd hwynt, ni ymegniasant roddi esgus am eu hymddygiad; ond haerasant, yn ddigon diofn, na chyfyngid y terfysg i'r ardaloedd hyn, oblegid fod trefniadau wedi eu sefydlu i'r holl weithwyr yn Lloegr gyfodi ar unwaith.——Dydd Sul, Mehefin 5. Ni oddefid i neb dramwyo o Aberhonddu i Ferthyr gan y terfysgwyr. Eu dyben hwynt yw amgylchu y dref.——Dydd Llun. Yr oedd y terfysgwyr wedi rhwystro gweithydd Bute, Sirhowy, Tredegar, Dyffryn Ebbw, a Nantyglo, rhag myned ym mlaen, a chymmellasant y gweithwyr i ddyfod gyda hwynt. Aeth y milwyr i'w cyfarfod hwynt hyd at Dowlais, a darllenwyd y *Riot Act*; a chan nad oedd dim tebygolrwydd iddynt wasgaru, archwyd ar y milwyr ymbarotoi; eithr braidd y rhoddwyd yr archiad cyn i'r terfysgwyr ddianc ymaith yn dra chyflym, heb ladd na chlwyfo neb. Yn y prydnawn daeth yno ychwaneg o filwyr, y rhai a osodwyd mewn gwahanol sefyllfaoedd i amddiffyn y dref.——Dydd Mawrth, adferwyd llonyddwch; a threuliwyd y dydd yn chwilio am flaenoriaid y terfysgwyr, o ba rai bwriwyd 21 i garchar.——Yn ol yr hanesion diweddaf o'r parthau terfysglyd ymddengys fod y glowyr wedi dychwelyd at eu gorchwylion; a bod blaenor y terfysgwyr, *Lewis, Huntsman Penderrin*, wedi ei ddal yn Nghoedwigfa Penderrin, a'i fwrw i garchar.

---

*Hanes Marwolaeth alarus Mr. Howell Jones, Mab hynaf Mr. Jones o Gefntrefnfa, Plwyf Cil y Cwm, Swydd Gaerfyrddin, yr hwn oedd Aelod llafurus er's tair blynedd y'Nghôleg Dewi Sant.*

Fel yr oedd yn ymolchi yn afon Teifi, ar y 24ain o Fai, 1831, efe a foddodd; ac er fod ganddo gyfaill ar làn yr afon, nid oedd yn abl i'w achub, o herwydd na fedrai nofio: a thra y bu ei gyfaill yn gadaw i ymofyn am gymmorth, hedeg ymaith a wnaeth ei enaid i fyd tragywyddol. Methwyd ei gyfodi i'r làn y tro cyntaf, o herwydd fod y pwll yn bedair llâth o ddyfnder; ac er na bu ef yn y dwfr ond oddeutu hanner awr, neu dri chwarter o hwyaf, methwyd ei adfywio, er ymdrech meddygon medrus, a llafurus ymegnïad cyfeillion. Gwedi ei ddwyn o lòn yr afon, cafodd orphwys am yspaid pedair awr yn nhŷ un Mr. Edmunds, tafarnw, o'r tu cefn i dref Llanbedr; ac am un-ar-

llenwid y gwagle gan ddynion mwy ufudd. Ychydig o flynyddoedd yn ol, rhyw bendefig a fygythiodd y danfonai ei *was du* i gynnrychioli un o'i fwrdeisdrefi yn y Senedd; a'r unig beth a'i lluddiodd oedd mai Pagan ac nid Cristion ydoedd *Mungo*, ac y costiai i'w Arglwyddiaeth arian lawer i'w gymmwyso. Cymmeradwyai, yn hylwyr, ysgrif Arglwydd John Russell; oblegid ni ddifreinnia neb dynion, eithr breinnia 500,000, ac ar unwaith ysgubai ymaith 60 o fwrdeisdrefi llygredig. Cefnogai Mr. Mostyn am mai Diwygiwr ydoedd, ac am y gwyddai y cyssegrai ei amser a'i ddoniau at wasanaeth ei etholwyr.

*Mr. Thomas Mather*, o Fagillt, a wnaeth araith faith o blaid ysgrif Arglwydd John Russell. Wedi hyn, cyhoeddodd y Prif Swyddog fod E. M. Ll. Mostyn, Ysw. wedi ei ethol, a gwregysodd o'i amgylch y cleddyf fel Marchog y Swydd.

*E. M. Ll. Mostyn, Ysw.* a ymddangosai ger eu bron i dalu ei ddiolch diffuant am yr anrhydedd a wnaethant iddo ar yr achlysur hwn. I'w hybarch gyfeillion, Mr. Price a Major Jones, y teimlai yn wastad yn dra diolchgar. Ni allai iaith ddatgan mor ddyledus y teimlai i Uchelwyr dealltus Swydd Fflint, y rhai a ddaethant yno i'w gefnogi ef; ac ychwanegid y teimlad hwn, pan ystyriai fod eu golygiadau hwynt yn cydsynio â'i eiddo yntau o barthed Diwygiad yn y Senedd. Am iddynt oll, yn unfryd, ei ethol ef i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd, ei benderfyniad diysgog oedd cyflawni ei ddyledswydd yn gydwybodol, a chefnogi ysgrif Arglwydd John Russell. Yr oedd yn elyn i bawb a dderbynient arian y wlad heb ei haeddu drwy eu gwasanaeth, ac yn gyfaill i bob cynnildeb yn nhraul y deyrnas, a theimlai na byddai ond yn cyflawni ei ddyledswydd wrth ddyrchafu ei law a'i lais yn erbyn caethiwed y dynion duon—y drefn felldigedig hono ag sydd yn ammharch i bob teyrnas wareiddiedig. Wedi ei fagu yn Swydd Fflint, gobeithiai yr edrychai ar bob Uchelwr fel cyfaill iddo. Ei ddyledswydd arbenig fyddai coleddu eu cyfeillach, a gofalu yn ddibaid i hyrwyddo lles y gweithydd mwn a glo, amaethyddiaeth, a masnach y Swydd. Hyderai yr edrychai pawb o'i gefnogwyr arno ef fel eu cyfaill. Ni ommeddai unrhyw foddion a duedddent i'w gymmwyso i gyflawni y dyledswyddau pwysig ag oeddynt yn gysylltiedig â'i swydd oruchel fel Seneddwr. Cydymdeimlaint âg ef tra y galarai oblegid marwolaeth eu diweddar Gynnrychiolydd hybarch a ffyddlon, a gobeithiai y dilynai efe ôl ei draed ef.

Yna gwasgarodd y dyrfa luosog i edrych am ymborth i ddiwallu angenrheidiau y corph; ac wedi ciniawa, traddodwyd amrai o areithiau hyawdl gan y boneddigion yn amrywiol westdai y dref.

*Bwrdeisdrefi Fflint.*—Dydd Mercher, Mai 4, daeth Aelodau Bwrdeisdrefi Rhuddlan, Caerwys, Caergwrle, ac Overton, i Fflint, i ddethol un o'u cydaelodau i gynnrychioli y Bwrdeisdrefi hyn yn y Senedd. Oddeutu 12 o'r gloch cyrhaeddodd Syr Edward Lloyd i'r dref.

*F. R. Price, Ysw.* wrth gynnyg Syr E. P. Lloyd i sylw Aelodau Bwrdeisdrefi Swydd Fflint, fel boneddig addas a chymmwys i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd, a ddywedodd ei fod yn gwneuthur hyny gyda dywenydd nid bychan; oblegid pwy o foneddion Swydd Fflint mor deilwng o'r anrhydedd a'u diweddar Gynnrychiolydd? Gwasanaethodd hwynt gyd â'r ffyddlondeb mwyaf am nifer o flynyddoedd. Cafodd ei brofi, a chafwyd ef yn ddilwyd ac yn gywir i gyflawni bob dyledswydd sy gysylltiedig â'i sefyllfa oruchel. Pwy a ddangosodd fwy o bryderwch a gofal dros lesiant ei etholwyr na'r Barwnig hybarch? Ac mewn perthynas i'w ymddygiad yn y Senedd, o barthed pob achos ynglyn â llwyddiant y deyrnas, cafwyd ef bob amser yn amddiffynydd diysgog dros iawnderau y bobl; ac ar achos diweddar, ag sydd yn dal perthynas agos at lwyddiant y wladwriaeth, rhoddodd wystl i'w etholwyr, drwy ei bleidlais ar yr achlysur hwnw, ei fod yn gyfaill diffuant i'w Frenin a'i wlad—yn gefnogwr cynnildeb, ac yn amddiffynydd pob trefniad a duedda at les y deyrnas. Gan fod yr hybarch Farwnig wedi eu gwasanaethu hwynt mor ffyddlawn—wedi dilyn yn ddiwyro lwybr o ymddygiad a gymmeradwyir gan bob dyn da, gobeithiai y dangosent eu parch a'u cymmeradwyaeth o hono, trwy ei ethol yn unfryd i'w cynnrychioli hwynt unwaith yn rhagor.

Cefnogwyd y cynnygiad gan *George Henkel, Ysw.* a'r *Parch. Charles Shipley* mewn areithiau hyawdl a threfnus.

Yna cyhoeddwyd fod Syr E. P. Llwyd wedi ei ethol.

*Syr E. P. Llwyd* a gyfarchodd ei etholwyr, ac a ddywedodd nad allai iaith yn y byd ddatgan ei deimladau, wrth ystyried yr anrhydedd, â pha un y cynysgaeddwyd ef y dydd hwnw, drwy ei ethol drachefn i fod yn Gynnrychiolydd drostynt. Yr anerchiadau parchus a dderbyniasai ar hyd y ffordd o Bengwern i Fflint a brofai fod ei etholwyr yn cymmeradwyo ei ymddygiad Seneddol. Yr oedd efe yn gefnogwr diysgog dros bob Diwygiad, cynnildeb, a heddwch; eithr ni honai unrhyw ganmoliaeth neillduol am gefnogi Gweinidogion ei Fawrhydi am eu bod yn haeddu cefnogiad pob dyn da, a thrwy eu cefnogi hwynt ni wnaeth ond ei ddyledswydd. Hyderai y cydnabyddent iddo ymddwyn yn gyson ac yn annymddibynol ar bob achos gwladol. Gofalai bob amser dros lwyddiant ei etholwyr; a hyderai y dangosai ei ymddygiad rhagllaw mai eu lles hwynt sydd agosaf at ei galon. Yr oedd efe wedi colli cyfaill hoff, y diweddar Syr Thomas Mostyn, yr hwn oedd berthynas iddo, a chyda yr hwn y bu yn gweithredu yn y Senedd am 26 mlynedd. Ni adroddai am ei rinweddau; ac yn wir afreidiol fyddai hyny, am eu bod oll yn gwybod yn dda am danynt. Ei ymgais parhaus fyddai teilyngu cymmeradwyaeth ei etholwyr, trwy gyflawni yn ddiwyd ei ddyledswyddau pwysig yn y Senedd. Wedi hyny, aeth Syr Edward Llwyd a'i gyfeillion i giniawa, a thraddodwyd llawer o areithiau hyawdl ar ol ciniawa.

SWYDD GAERNARFON.—Dydd Gwener, Mai 6ed, etholwyd G. W. G. Wynne, Ysw. i gynnrychioli y Swydd yn y Senedd.

*Lloyd Edwards, Ysw.* mewn araith fer, a gynnygiodd i sylw ei gyd uchelwyr Mr. Wynne, fel gwr bonheddig cymmwys i'r swydd oruchel o fod yn Aelod o'r Senedd dros y Swydd.

*Arglwydd Newborough* a ddywedodd, er nad oedd ei olygiadau ef yn cyduno âg eiddo Mr. Wynne, etto pan ystyriai mor ddyfal y gwyliodd efe dros lwyddiant ei etholwyr, a chymmaint o feddiannau oedd ganddo yn y Swydd, gobeithiai yr ad-etholid ef heb un gwrthwynebiad.—Yna cyhoeddwyd fod Mr. Wynne wedi ei ethol.

*Mr. Wynne* a ddiolchai o eigion ei galon i'w gyfeillion am ei ethol i'w cynnrychioli yn y Senedd. Sicrhai iddynt y gallent ymddibynu ar ei ymegniadau er cynnyddu llwyddiant y Swydd hon, a lles cyffredin y wladwriaeth. Ac er, efallai, nad oedd yn hylwyr gydsynied â rhai o'i gyfeillion o'i amgylch ynghylch amrai o achosion gwladol, etto hyderai y caffent iddo bob amser roi ei bleidlais yn y Senedd gyda golwg ar ddedwyddwch a lles y deyrnas, ac y byddai ei ymdrechiadau rhagllaw yn ddiflino er cyflawni yr unrhyw ddiben.

Wedi hyn oddeutu 120 o gyfeillion Mr. Wynne a giniawasant gyd âg ef yn Llysdŷ y dref: traddodwyd nifer o areithiau hyawdl, ac yfwyd llawer o lwncc-destynau gwladgarol.

*Bwrdeisdrefi Caernarfon.*—Dydd Mercher, Mai 4, cyfarfu Aelodau y Bwrdeisdrefi uchod yn Nghastell Caernarfon i ethol eu Cynnrychiolydd yn y Senedd. *Syr Charles Paget* a *W. Ormsby Gore, Ysw.* oeddynt yr ymgeiswyr. Ymddengys fod y dyrfa yn ac o amgylch y Gastell mewn cyflwr tra therfysglyd, ac ni allasid, am amser maith, lwyddo i gael llonyddwch i ddarllen *Writ* ei Fawrhydi, &c.

Cynnygiodd *Colonel Parry* Syr Charles Paget i sylw Aelodau y Bwrdeisdrefi fel gwr boneddig addas i'w cynnrychioli hwynt yn y Senedd; a chefnogwyd y cynnygiad gan Dr. O. O. Roberts, yng nghanol terfysg ac ocheneidiau digyffelyb.

Y Parch. Mr. Kyffin a gynnygiodd W. Ormsby Gore, Ysw. yr hwn a gefnogwyd gan Mr. John Roberts. Traddodwyd areithiau gan y Colonel Parry

a Dr. O. O. Roberts, a chan y Parch. Mr. Kyffin a Mr. John Roberts; ac heiyd gan y ddau ymgeiswyr, sef Syr Charles Paget, a W. Ormsby Gore, Ysw. ond ni chaniata eu terfynau roddi lle iddynt. Parhaodd yr etholiad am wyth niwrnod, gyda llawer o derfysg ac annhrefn, pan y rhoddodd Mr. Gore i fynu yr ymgais i Syr Charles. Nifer y pleidleisiau dros Syr Charles Paget, 274, a thros W. Ormsby Gore, Ysw. 201.

SWYDD FEIRION.—Dydd Mawrth, y 10fed o Fai, etholwyd Syr Robt. Wmes. Vaughan, Barwnig, dros Sir Feirionydd. Hon yw yr unfed waith ar ddeg y detholwyd Syr Robert i gynnrychioli trigolion Sir Feirion yn Senedd Brydain. Anrhydedd yw hwn nas gall ond ychydig o'n Seneddwyr presennol ymffrostio ynddo.

## EISTEDDFOD LLUNDAIN.

DYDD Mercher, Mai 25, cynnaliwyd Eisteddfod Cymmrodorion Llundain, yn *Freemason's Tavern*, yr Anrhydeddus G. Rice yn y Gadair, pryd y dyfarnwyd y Gwobrwyon fel y canlyn:

1. *The Royal Medal, and Five Guineas*—"For a Biographical Sketch of the most Eminent Individuals the Principality of Wales has produced since the Reformation"—*To Mr. Robert Williams, of Christ Church, Oxford.*
2. *The Royal Medal*—For the best Essay on "The Causes which, in Wales, have produced Dissent from the Established Church."—*To Arthur J. Johnes, Esq. of Lincoln's Inn.*
3. *The Royal Medal.*—"For a Poem, in English, by a native in the Principality, on any subject connected with Wales, of not less than 100 lines, but the period to be subsequent to the Norman Conquest."—*To Mr. Robert Folkestone Williams, of London.*
4. *Three Guineas.*—"Am y Traethawd goreu ar y manteision, neu yr anfanteision, o goleddu yr Iaith Gymreig fel tafodiaith fyw."—*Dyfarnwyd y Gwobr hon i ysgrifenydd dan y ffug-enw Madog ab Owain Gwynedd.*
5. *Ariandlws*—Am yr Englyn goreu ar "Benyw." Derbyniwyd dim llai na deg ar hugain ar y testyn hwn, a dyfarnwyd y Gwobr i'r un yn dwyn y ffug-enw *Ab Ceridwen.*

## TERFYSG YN MERTHYR TYDFIL.

DYDD Mercher, Mehefin 1af, cyfododd holl Lowyr Merthyr yn erbyn eu Meistriaid, am iddynt roddi rhybudd y gorfyddai arnynt ostwng eu cyflogau. Drannoeth, ymgyrchodd y glowyr yn finteioedd lluosog yn y dref; ac aethant yn union-gyrchol at annedd Mr. Coffin, lle y cedwir y *Court of Requests*, neu *Court of Conscience*; ac wedi galw am y llyfrau, dinystriasant y ffenestri, a'r dodrefn yn y tŷ: ac ymdrechasant roddi y lle ar dân, ond ni lwyddasant. Ymddengys fod y Llys hwn, sef y *Court of Requests*, wedi peri llawer o flinder i'r glowyr am ennyd maith, a'u bod hwynt wedi bygwth na oddefent ef mwyach. Gwelodd yr Ynadon mai ofer fyddai iddynt ymryson gyd â'r terfysgwyr heb ddim milwyr yn y dref; am hyny, anfonasant yn ebrwydd i Aberhonddu am gael o'r 93 *Highlanders*. Drannoeth (dydd Gwener) pan gyrhaeddodd y milwyr i Merthyr, yr oedd miloedd o'r terfysgwyr wedi ymgyrchu o amgylch y *Castle Inn*, yna darllenwyd y *Riot Act*. A phan ofynwyd i'r terfysgwyr i ba ddyben yr ymgasglasant, dywedasant bod yn rhaid iddynt gael codi eu cyflogau. Wedi hyn, cyfarchwyd hwynt gan berchenogion y gweithydd, gan erfyn arnynt wasgaru yn llonydd; a danfon 10 neu 12 o honynt atynt hwy i ddatgan eu hachwynion iddynt. Eithr ni wrandawent arnynt; a chynhyrfwyd hwynt, gan un o'u cymdeithion, i ruthro ar y milwyr i'w hymddifadu hwynt o'u harfau. Gwnaethant felly; a gorchymynwyd i'r milwyr saethu atynt; ond nid cyn hyny. Ar hyn gwasgarodd y dyrfa. Ac er i'r milwyr ddangos pob hwyrfrydigrwydd, etto, galarus yw adrodd, fod 21 o'r terfysgwyr wedi eu lladd; ac o 70 i 80 o honynt wedi eu clwyfo. Cafodd ychydig o'r milwyr eu clwyfo; ond y maent oll wedi iachau yn awr. Yn y prydnawn, cyrhaeddodd yno finteioedd o Farchogion, ac yr oedd llonyddwch wedi ei adferu; eithr ar foreu dydd Sadwrn, canfyddwyd tyrfaoedd lluosocach nag o'r blaen, wedi ymgyrchu ar y gwahanol fryniau, o amgylch y gweithydd haiarn, wedi eu harfogi â dryllliau a phastynau. Attaliwyd arlwyrhyfel y 93 yn Nghoed Cymmer, oddeutu milltir o Ferthyr, gan y terfysgwyr, ac anfonwyd ef yn ol i Aberhonddu. Y Marchogion a fryslasant tua Choed Cymmer; ond dychwelasant, gan ofni y cymmerid eu harfau oddi arnynt. Yn y prydnawn, pan oedd Marchogion Abertawe o fewn tair milltir i Ferthyr, diarfogwyd hwynt. Dychwelasant i Gastell Nedd; ac wedi ymarfogi eilwaith, a chynnyddu eu nifer, cyrhaeddasant i Ferthyr yn fuan boreu ddydd Llun. Yr oedd nifer y terfysgwyr uwchlaw 9000; a chawsant rai magnelau a phylor o weithydd yn y gymmydogaeth. Cymmerwyd dau o'r blaenoriaid i fynu, a phan yr holwyd hwynt, ni ymegniasant roddi esgus am eu hymddygiad; ond haerasant, yn ddigon diofn, na chyfyngid y terfysg i'r ardaloedd hyn, oblegid fod trefniadau wedi eu sefydlu i'r holl weithwyr yn Lloegr gyfodi ar unwaith.——Dydd Sul, Mehefin 5. Ni oddefid i neb dramwyo o Aberhonddu i Ferthyr gan y terfysgwyr. Eu dyben hwynt yw amgylchu y dref.——Dydd Llun. Yr oedd y terfysgwyr wedi rhwystro gweithydd Bute, Sirhowy, Tredegar, Dyffryn Ebbw, a Nantyglo, rhag myned yn mlaen, a chymmellasant y gweithwyr i ddyfod gyda hwynt. Aeth y milwyr i'w cyfarfod hwynt hyd at Dowlais, a darllenwyd y *Riot Act*; a chan nad oedd dim tebygolrwydd iddynt wasgaru, archwyd ar y milwyr ymbarotoi; eithr braidd y rhoddwyd yr archiad cyn i'r terfysgwyr ddianc ymaith yn dra chyflym, heb ladd na chlwyfo neb. Yn y prydnawn daeth yno ychwaneg o filwyr, y rhai a osodwyd mewn gwahanol sefyllfaoedd i amddiffyn y dref.——Dydd Mawrth, adferwyd llonyddwch; a threuliwyd y dydd yn chwilio am flaenoriaid y terfysgwyr, o ba rai bwriwyd 21 i garchar.——Yn ol yr hanesion diweddaf o'r parthau terfysglyd ymddengys fod y glowyr wedi dychwelyd at eu gorchwylion; a bod blaenor y terfysgwyr, *Lewis, Huntsman Penderrin*, wedi ei ddal yn Nghoedwigfa Penderrin, a'i fwrw i garchar.

*Hanes Marwolaeth alarus Mr. Howell Jones, Mab hynaf Mr. Jones o Gefntrefnfa, Plwyf Cil y Cwm, Swydd Gaerfyrddin, yr hwn oedd Aelod llafurus er's tair blynedd y'Nghôleg Dewi Sant.*

FEL yr oedd yn ymolchi yn afon Teifi, ar y 24ain o Fai, 1831, efe a foddodd; ac er fod ganddo gyfaill ar lân yr afon, nid oedd yn abl i'w achub, o herwydd na fedrai nofio: a thra y bu ei gyfaill yn gadaw i ymofyn am gymmorth, hedeg ymaith a wnaeth ei enaid i fyd tragywyddol. Methwyd ei gyfodi i'r lân y tro cyntaf, o herwydd fod y pwll yn bedair llâth o ddyfnder; ac er na bu ef yn y dwfr ond oddeutu hanner awr, neu dri chwarter o hwyaf, methwyd ei adfywio, er ymdrech meddygon medrus, a llafurus ymegniad cyfeillion. Gwedi ei ddwyn o lân yr afon, cafodd orphwys am yspaid pedair awr yn nhŷ un Mr. Edmunds, tafarnwr, o'r tu cefn i dref Llanbedr; ac am un-ar-

ddeg o'r nos cludwyd ef i'r Coleg gan ddeuddeg o'i gyd fyfyrwyr: a thranoeth cynnaliwyd celain-ymholiad *(inquest)* gan y swyddog gosodedig i'r cyfryw waith, ar ei gorph, a'r rheithfarn oedd *Angeu Disyfyd:* ac yr ydys yn barnu i gwlwm gwythi, neu, mewn geiriau ereill, yr wrwst *(cramp)* gymmeryd gafael yn rhyw rhan o'i gorph. Dydd Iau, am naw o'r gloch y boreu, wedi i liaws o'i gydnabyddiaeth a'i gymmydogion ddyfod ynghyd i'w gludo at ei dadau, canwyd emyn gan ei gyd fyfyrwyr cyn ei gludo allan o'r Coleg; ac wedi hyny cerddasant yn araf o flaen yr elor bob yn ddau, a dau o'r athrawon yn eu blaenori, nes myned o'r tu allan i'r dref, wedi hyny cynnorthwyasant i'w gludo amryw filltir o ffordd; ac yna dychwelasant, wedi canu gair o emyn addas i'r amgylchiad; ac ar eu hymadawiad, canwyd un arall gan gymmydogion y marw, fel atebiad i'w gyfeillion. Claddwyd ef ddydd Gwener y 27ain, yn 24 mlwydd oed, yn Cil y Cwm. Wedi aros y noswaith ddiweddaf cyn gorwedd yn ei fedd yn nhŷ ei dad, fe'i dygwyd i'r Eglwys, ac oddi yno i lân y bedd, gan bedwar o'i gyd fyfyrwyr, ac fe ddarllenwyd y gwasanaeth arferedig gan un o'r Athrawon (yr hwn oedd wedi cyd-fyned â'r angladd yr holl daith) wrth ei roddi yn ei wely pridd, yn yr hwn y mae yn rhaid iddo aros hyd udganiad yr udgorn diweddaf. Yr oedd y newydd yn lled alarus yn ddiau i'w fam serchoglawn, a'i dad amyneddgar, a'i geraint hoff, o herwydd y swydd oruchel ag oedd yn meddwl myned iddi cyn diwedd y flwyddyn hon, sef i bregethu y gair; llawer o gysur yn ddiau oeddynt yn ddisgwyl gael oddiwrtho rhagllaw: ond nid felly yr oedd iddi fod, y mae'n debyg, oblegid fod ei ddyddiau wedi eu rhagderfynu gan Dduw, a rhifedi ei fisoedd wedi dyfod i ben, ac am hyny hyd yma yr oedd ei daith ef wedi ei therfynu. Ond er ei fod wedi marw y mae yn llefaru etto, gan ddywedyd, "Byddwch barod i gyfarfod â Duw—canys yn yr awr ni thybioch y Mab y dyn."——Bydded i'r Duw hwnw ag sydd yn helaeth ei drugaredd a'i dosturi, o herwydd ei fawr gariad, fendithio y tro galarus i'w berthynasau oll, ond yn neillduol i'w gyd fyfyrwyr a'i gyfoedion, ydyw taer ddymuniad a gweddi yr hanesydd ar Dduw; o herwydd byr a brau yw bywyd dyn.

---

*Damweiniau dinystriol.*—Nos Lun, y 5ed o fis Mehefin, yn Nghwmtirmynach, o fewn tair milltir i dre'r Bala, aeth amaethdŷ o'r enw Tai'r Felin ar dân, a llosgodd y cwbl yn ulw, fel nad oedd, erbyn boreu dranoeth, ond y muriau moelion i goffa lle bu. Eithr trwy ddaioni rhagluniaeth ni chollwyd neb bywydau, ond diangodd y teulu oll trwy'r ffenestri, heb gael amser gymmaint ag i roddi unrhyw ddilledyn am danynt. A da genym hysbysu na chyffyrddodd y tân â'r tai allan, nac â dim arall, ond y tŷ annedd yn unig.

Yn yr un Cwm, dydd Iau, Mehefin 22, cymmerodd adeilad helaeth arall, o naw cowlas, dân, a elwid Cwmhesgyn, a difawyd y cyfan yn llwyr. Gan i'r tân ennyn, fel y tybir, oddiwrth ludw poeth yn y mawn yn y pen arall i'r adeilad, cafwyd amser i gludo ymaith y cwbl ag oedd yn y tŷ annedd, cyn iddo gael ei ysu gan y fflamau dinystriol.

---

## HYSBYSIADAU LLEENYDDOL.

Cyhoeddwyd yn ddiweddar, Casgliad o Salmau a Hymnau, cymmwys i'w harfer mewn Addoliad cyhoeddus. Gwel amlen y Rhifyn hwn.

EMMANUEL: *neu Olygiadau Ysgrythyrol ar Iesu Grist;* gan y Parch. Thomas Jones, Creaton. A gyfieithiwyd er lles i'r Cymry, gan *Morgan Morgans,* Ymwelieddydd Ysgolion Rhad Mrs. Bevan, yn Neheubarth Cymru; ac a gyflwynwyd, drwy ganiatad i'r Parch. Ll. Llewelin, D. C. L. Penaeth Coleg Dewi Sant. Argraffwyd gan Isaac Thomas, Aberteifi.

Lately was published, by the Chester Cambrian Society, *A Sermon*, preached at Trinity Church, Chester, on the *Importance of Vernacular Religious Instruction*, by the Rev. J. Blackwell, B. A. Curate of Holywell.

Remarks, Historical and Philological, on the Welsh Language, in which the Orthography of the received Text, as sanctioned by the Commission of Bishops, under the Act of Uniformity, in 1809, is vindicated, and such objections as have been made to it are shewn to be without foundation. By the Rev. W. B. Knight, A. M. Chancellor of the Diocese, and examining Chaplain to the Bishop of Llandaff.—Rivingtons, London—price 1s. 6d.

A Reply to the Rev. W. B. Knight's "Remarks" on Welsh Orthography. By the Rev. John Jones, M. A. Precentor of Christ Church, Oxford.

---

### PRIODWYD,

Ar y 7fed o Fehefin, gan y Parch. Dr. Howard, Thomas Downward, Ysw. o Fathafarn, Dyffryn Clwyd, â Caroline Eliza, merch hynaf y Parch. T. H. Clough Hafodunnos.

---

### BU FARW,

Ar y 8ydd o Fehefin, y Parch. J. Jones, Periglor Stainton a Baskerton, Swydd Benfro (yn 78 mlwydd oed), a Chaplan i'r Gwir Anrhydeddus Iarll Cawdor.

# Y GWYLIEDYDD.

## AWST, 1831.

### "GAIR DUW GOREU DYSG."

*(Parhad o du dalen 81.)*

FEL ag y mae "GAIR DUW YN OREU DYSG," o herwydd ei fod yn gyflead o hysbysrwydd am y pethau mwyaf goruchel a pherthynol i ddyn eu gwybod, felly y mae yn rhagori ar gyfansoddiadau godidocaf y duwinyddion mwyaf clodwiw a flagurasant erioed yn eglwys Dduw. Nid yw eu gwybodaeth hwy ar y goreu ond ffrydiau o'r ffynnon lifeiriol hon, wedi eu halogi yn fawr gan ammhuredd y nentydd, trwy ba rai y dylifant. Ac os ydym am gynnyddu yn y wybodaeth sydd yn gwneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth, rhaid i ni ddrachtio yn ddigyfrwng o lygad y ffynnon. Yn yr ysgrythyr y mae holl athrawiaethau yr efengyl wedi eu cyssylltu yn amlwg âg eglurhâd gogoniant priodoliaethau moesol yr Arglwydd, ac âg effeithiad tueddfryd gyfatebol mewn dyn, tu ag at Dduw a thu ag at ei gymmydog; ond os craffwn ar yr awdwyr enwocaf ar byngciau sylfaenol crefydd, canfyddwn mai goddau eu harmerth yn benaf oedd, rhwystro cyfeiliornadau rhag gormesu ar dalaith y gwirionedd. Ymdriniad gan hyny â gwahanol athrawiaethau y Bibl, fel neillduedig osodiadau, heb un cyfeiriad ynddynt at brif ddiben yr Ysgrythyr. A chan lawer o honynt, o herwydd gwresogrwydd o blaid y gwirionedd, croes ymddygiad eu gwrthwynebwyr, a pherygl dinystriol eu hathrawiaeth, yr arferwyd llawer o resymau a fuont yn gryfder i elynion croes y Cyfryngwr.

Dum vitant stulti vitia, in contraria currunt.

Nid wyf yn diystyru gwaith awduron enwog fel cynnorthwy i ddeall dyfnion bethau Duw, ond y camarferiad a wneir o honynt, trwy eu gosod yn unig gyflead o hysbysrwydd yn lle gair y gwirionedd; canys annoeth yw dyn ar y goreu mewn pethau ysprydol, tra y mae yn gweled ond megis trwy ddrych. Dilyn y rhai hyn yn ormodol, ac esgeuluso yr Ysgrythyr, yw 'r achos fod undeb y gwirionedd wedi ei dori mor fynych, a chyfeiliornadau wedi ymwthio i'w le. Er prawf o hyn, pa faint mae dynion wedi gamddeall ar athrawiaeth fawr y cymmod, o herwydd ei chymmeryd ganddynt o waith awdwyr yn lle o air sicrach Duw ei hun. Rhai, er amddiffyn rhad ras, a ymdrechant ddangos hollol gyfatebiad yn nhrosedd dyn yn erbyn Duw i ddyled o arian oddiar un dyn i'r llall, ac yn iawn Crist i daliad o'r ddyled, ac a roddant le i rai llygredig i feddwl fod rhwymau ar Dduw i faddeu eu hanwiredd, er byw o honynt yn benrhydd trwy eu hoes. Ereill yn methu amgyffred cyssondeb yr athrawiaeth a goruchwyliaeth foesol dyn, a hònant mai trefn rasol yw, er llacsu manylrwydd gofynion

y ddeddf, i rai dan yr efengyl, fel y gallont, trwy eu hufudd-dod diffuant iddi, er y bydd yn ammherffaith, ennill bywyd tragywyddol. Y naill yn meddwl ddarfod i'r hwn sydd yn casâu pechod â chas cyflawn, o herwydd ei fod yn groes i'w natur, wneuthur darpariad i gadw pechadur yn anystyriol o'i gyfraith, yr hon sydd adysgrif o'i sancteiddrwydd. A'r llall yn dychymmygu iddo edifarhâu rhoddi o hono ddeddf mor gaeth i'w ddeiliaid, a'i fod wedi ei hesmwythâu, rhag i'w gyflawnder ormesu ar ei drugaredd. Ond och! y fath warth a dirmyg y mae 'r fath athrawiaethau yn daflu ar lywodraeth y Goruchaf. Llawer, eilwaith, er egluro yr athrawiaeth o ffydd, a ddywedant gymmaint am ei natur arddansoddol nes ei ddifuddio i'r enaid. Yn debyg i ddyn, yr hwn, er mwyn dangos i'w gyfaill brydferthwch ryw wrthddrychau, a ymdrechai egluro iddo natur a chyfansoddiad y llygad, a thrwy hyny a'i rhwystrai i weled prydferthwch y gwrthddrychau: yr hwn pe edrychasai yn ddiatreg ar y gwrthddrychau nodedig, er nas gwyddai ddim am gywrain-gyfansoddiad y llygad, a'u gwelsai hwynt mor eglur a'r difyniaethwr cywiraf. Eithr os awn at y gair, ac at y dystiolaeth, gyd âg yspryd isel, gan bwyso ar gynnorthwy dwyfol, llais distaw main ac awdurdodol a dreiddia heibio i ddadwrdd ymrafael crefyddol, ynghylch ffydd a gweithredoedd, goruchwyliaeth dyn a phen-arglwyddiaeth Duw, ac a lefara nes deall o'r galon am y pethau a berthynant i ffydd ac ymarferiad, "Hon yw y ffordd, rhodiwch ynddi."

Prawf ychwanegol o ragoriaeth Gair Duw yw, mai ynddo ef yn unig y cynnwysir cyfundraeth berffaith o foesoldeb, a'r cymmelliadau mwyaf effeithiol i ddyrchafu dyn i sefyllfa foesol, agosaf at berffeithrwydd o un arall. Llawer a honant fod philosophyddiaeth, yr hon a ddarlunient gynt, *Vitæ regulam, et bene vivendi scientiam*, yn rhagori ar Air Duw, ar y golygiad yma. Ond er gwrthbrofi hyny, ystyriwn y pethau canlynol:—Mawrygai y philosophyddion, fel rhanau o foesoldeb, rai pethau a esgeulusir yn hollol yn Ngair Duw, sef, Cyfeillach, Gwladgarwch, a Dewrder gweithgar, yn yr ystyr y cymmerir hwynt yn gyffredin. Ond ystyriwn eu tueddiad priodol. Y mae yn unol â choleddiad y gyfeillach yma, i ni gyfyngu ein cariad i rai neillduol o'n cyd-ddynion. Canmolir ni am ein gwladgarwch, os ymdrechwn gyfoethogi ein talaeth ein hun, er sathru o honom gyrph dieithriaid fel glaswellt dan ein traed; a pha mwyaf o waed a dywallto 'r *arwr*, uchaf i gyd fydd ei glod am ei wroldeb. Am ychydig, trown yn ol i gymmeryd arolwg ar y gwledydd, ym mha rai yr oedd ymddygiad y trigolion yn cael ei lywodraethu gan yr egwyddorion hyn. Yn Groeg ystyrient ladrad ar beth un amser yn anrhydeddus, φεροντος δε τι και δοξης μαλλον,* ac yn un parth o honi yr oedd llofruddiaeth y caeth-weision yn cael ei oddef yn ddigerydd; ac yn Rhufain yr oedd marwolaeth y cleddyfwyr yn ddifyrwch i'r werin. Mawrygent wladgarwch gymmaint, fel mai peth distadl yn eu golwg, ie, cyfiawn, fel y tybiasai Aristotle, oedd rhyfela âg estroniaid yn ddiachos. Llosgent eu trefydd, a lliwient eu cleddyfau yn eu gwaed, er pentyru cyfoeth i'w gwlad eu hun. Onid gorchestion y gwrol sydd wedi difwyno yn fwyaf du ddalenau hanesyddiaeth? Beth sydd wedi hynodi gwastadedd Marathon, Cannæ, a Thrasymenus? Y gwrol fu yn aberthu gwaed ei gyd-ddynion i'r Rhinwedd ddychymmygol hon: a phe buasai pawb yn cael eu llyw-

* Thuc. Lib. 1. Cap. 5.

odraethu gan yr un, rhyfeloedd a fuasent yn ddiderfyn, a dychryn parhâus a orlenwasai 'r byd. Ond, medd rhyw un, oni buasai gwladgarwch a gwroldeb Nelson, Picton, Wellington, ac ereill, buasem ni heddyw yn ochain, dan iau estroniaid, a'n rhyddid wedi ein gadael.

Yn yr un modd dywedaf finnau, i eiddigedd wneuthur llawer ysgolhaig enwog, er budd i'w gyd-wladwyr, etto, nid yw hyny yn profi ei thueddiad moesol yn dda. Ac ofer yw hòni fod philosophyddiaeth y dyddiau hyn yn rhagori ar yr hyn oedd gynt; oblegid, pwy o ran cynneddfau naturiol sydd yn awr yn rhagori ar enwog athronwyr yr oesoedd a aethant heibio? Ac os oes rhyw beth yn hysbys iddynt yn awr na wyddai dysgedigion Athen, y maent wedi ei loffa o faes mwy ffrwythlon na gardd natur, ac am hyny nid eiddynt hwy mo hono.

Yn wrthwyneb i hyn oll, cymmeradwyir yn Ngair Duw rai rhinweddau a ddirmygwyd gan y philosophyddion, sef, Dewrder dioddefgar, Amynedd, Hir-ymaros, Gostyngeiddrwydd, a Chariad cyffredinol.

Gorchymynir ni i garu Duw â'n holl galon, a'n cymmydog fel ni ein hunain; a rhoddir attaliad ar dueddfryd y galon ac ysgogiadau 'r meddwl, yn gystal a geiriau 'r genau a gweithredoedd y dwylaw, yr hyn yn unig a wna 'r gorchymynion yn effeithiol. Pe buasai tueddiad moesol y rhai hyn yn cael ei gyflawn effaith, wyneb y ddaear a fyddai yn debyg i wyneb y nefoedd, ac fe wawriai boreu, pan gyfyd haulwen heb gymylau ar y byd moesol, "A'r blaidd a drig gyd â'r oen, a'r llewpard a orwedd gyd â'r myn; y llo hefyd, a chenau y llew, a'r anifail bras, fyddant yn nghyd, a bachgen bychan a'u harwain hwynt.—Ni ddrygant ac ni ddifethant yn holl fynydd fy sancteiddrwydd." A'r achos o hyn fydd, "Canys y ddaear a fydd llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megys y mae y dyfroedd yn toi y môr." Yn y gair hefyd y mae y fath cymhelliadau i gyflawni y gorchymynion nas cawn mewn un lle arall. Y philosophyddion a ddarlunient ddyledswyddau dyn, heb un cynhyrfiad yn cael ei roddi ynom i'w cyflawni. Goleuni a lewyrcha ar lwybr ein dyledswydd, er hyny addas fydd y gyffes i ni, "*Video meliora proboque, deteriora sequor.*" Ond yn yr Ysgrythyr, Duw a lefara wrthym, nid mewn geiriau yn unig, ond hefyd trwy weithredoedd, yr hyn sydd yn wastadol yn fwy effeithiol ar ddyn, fel y tystiolaetha holl hanes dynolryw.

Methodd bygythion Zaleucus, brenin y Locriaid, attal ei fab rhag godineb, a phe buasai yn ei gerydda â hollol ddifuddiad o'i olygon, ysgatfydd, y llwyddasai i'w gadw ef, ac ereill, oddiwrth y weithred ar ol hyny; ond nis gallasai y rhesymau grymusaf, na'r doniau mwyaf hyawdl, fod yn gymhelliad mwy annogaothol, nac yn foddion mwy effeithiol, i blanu ynddo ef a hwythau egwyddor ddiwair, na'r amlygiad a wnaeth o'i gariad tu ag ato, ac o'i barch i'r gyfraith. Yn yr un modd y mae athrawiaethau 'r Bibl yn cyfateb i'r gorchymynion. Os na all argyhoeddiadau cydwybod dycio i wellhâu buchedd dyn, wele 'r Arglwydd, er dangos drwg pechod, a harddwch sancteiddrwydd, mewn lliwiau mwy effeithiol, yn diosg ei ogoniant mynegol, yn gwisgo cnawd, yn cymmeryd euogrwydd ein beiau arno ei hun, ac yn cael ei archolli am ein camweddau.

Nemo adeo ferus est, qui non mitescere possit
Huic modo doctrinæ patientem commodet aurem.

Pwy, wrth fyfyrio ar y fath gariad annhraethol, a all gofleidio pechod, a fu yn gleddyf i'w archolli? Pwy a feiddia gellwair â'r Arglwydd, pan nad arbedodd ei briod Fab, pan

oedd dan bwys ein beiau ni? Pwy all gasâu ei frawd, os meddylia mai gwerth yr un gwaed ydyw âg ef ei hun? Pwy a ddirmyga y dieithr ddyn, wrth gofio ei fod yn wrthddrych o'r un cariad ag yntau, ac iddo fod yn ddieithr ei hunan, nes ei adferu trwy yr un moddion a allant etto fod yn effeithiol i ddwyn y pell yn agos? Pwy na fydd yn ostyngedig wrth fyfyrio ar y farn a oddes Duw arno, pan draddododd ei Fab i'r poenau fel ein cynnrychiolwr, ac anniolchgarwch dyn am hyny i Dduw? Yn hytrach, pwy na waedda gyd â'r prophwyd—"Trugaredd yr Arglwydd yw na ddarfu am danom?" Yr un rhesymau sydd yn profi rhagoriaeth Gair Duw ar Goran Mahomet; ac os meddyliwn mai un o brif erthyglau y Coran yw, mai 'r cleddyf yw allwedd nefoedd ac uffern, os edrychwn ar y gwledydd a ddinystriodd, y gwaed a dywalltodd, y dinasoedd a anrheithiodd Mahomet a'i ganlynwyr, nid anhawdd fydd penderfynu pa un ai 'r Coran ai 'r Bibl sydd yn teilyngu cael ei fynwesu gan ddynion. Y mae yn wir fod llawer o drigolion Ewrop, Asia, ac Affrica, yn dyrchafu hwn trwy eu hufudd-dod i'w egwyddorion; ond nid rhyfedd pan ystyriom mai o flaen y fyddin y pregethwyd ef, ac mai y prif resymau a'i cynnaliai oedd y waywffon a'r arteithiau, ac hefyd mai un o'r prif-gymmelliadau oedd boddhâd nwydau llygredig dyn. Ei effaith naturiol oedd darostyngiad dyn i gyflwr yr anifail.

Wedi dywedyd cymmaint a hyn am ragoriaeth Gair Duw, gadawaf iddo orphwys ar gadarn dystiolaeth yr effeithiau sydd wedi deilliaw oddi wrtho. Pan lewyrchodd ei oleuni gyntaf ar dalaeth y tywyllwch, holl fwystfilod rheibus coel-grefydd a ffoisant. Methodd ellyllon creulondeb oddef ei ddisglaer dywyniad—allorau annuwioldeb a friwiwyd—dynolryw ni aberthwyd mwyach—temlau gaudduwiau a ddarostyngwyd i'r llawr—yr oraclau a addefasant ei oruwchawdurdod—goleuwyrch Athen a ddiffoddodd—y Duw nid adwaenent a gredwyd iddo yn y byd, a'r rhai yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angeu, a welsant oleuni mawr. Ymdrechodd y Pab o Rufain, ac a lwyddodd dros hir amser, attal ei gynnydd: eithr rhyw nifer wedi eu gwisgo âg arfau 'r Gair a wynebasant yn wrol ar fyddin y tywyllwch, a gorthrechasant eu gelynion. Lluman y groes a ddyrchafwyd uwch brenin-feingciau 'r ddaear, a gorthrymwyr byd a blygasant o'i blaen. Pan gyrhaeddodd y ddysgeidiaeth hon, ar ol hyn, ein gwlad ni, dylliiwyd rhwymau Pabyddiaeth—eilun-addoliaeth a wthiwyd i ardaloedd mwy tywyll—pob dysg arall a flagurodd—gwybodaeth a ymdaenodd—a'u per-arogl a wasgarwyd i bellderau y byd. Ac er cymmaint o gurө sydd wedi bod ar y Gair, y mae wedi aros yn hollol ddiogel yn ngwyneb dysgeidiaeth Porphyry, gallu Julian, synwyr Voltaire, ac athrylith Bolingbroke, fel y berth a welodd Moses, yn llosgi ac heb ei difa. Ni wnaeth rhuthriadau yr ystormydd, a chynddeiriogrwydd y gwyntoedd, ond profi bod ei sylfaen ar y Graig. Ac er i nef a daear fyned heibio, geiriau Duw nid ant heibio ddim.

*Magna est veritas, et prevalebit.*

Εὐφιλος,
Sef y Parch. Joshua Hughes,
*Curad St. Michael's, Aberystwyth.*

---

## PERERINDOD YR AFRADLON.

---

### Y NEWYN TRWM.

(Parhad o du dal. 202.)

III. Dywedir am yr afradlon hwn iddo *ddechreu fod mewn eisiau.* Pan oedd yn llawn, ac yn nghanol

ei yrfa ynfyd, ni thybiodd ddim am dlodi ac eisieu. Ond daeth, pan nad oedd yn disgwyl, a chyfarfu ef, fel y cyferfydd yr euog y ceisbwl sydd yn ei ddal i'w roddi yn y carchar. Profa yn awr wir yr hen ddiareb—"Gwastraff gwirfodd a ddwg i eisieu galarus." Byw afradlon sydd gymmydog i eisieu a chyni: a mwyaf yr afraid, cyntaf y daw angen. Ond ym mha ystyr y mae hyn yn wir am y pechaduriaid hyny a ddal Duw yn eu cyrchfa annuwiol, i'w dychwelyd ato ei hun?

1. Pa fodd y dechreuant fod mewn eisieu? Rhwystra Duw hwynt mewn amrywiol ffyrdd rhag boddhâu y'mhellach eu chwantau, eu nwydau, a'u tueddiadau. A hwy yn gyru yn ynfyd yn y blaen, cyferfydd Duw â hwynt yn ddiddisgwyl, ac attal hwynt mewn rhyw fan cul, fel y gwnaeth â Balaam, pan ar y ffordd i felldithio Israel. Pan oedd trigolion Sodom yn bwriadu lawnaf i foddhâu eu nwydau, tarawodd Duw hwynt â dallineb, fel y blinasant yn ceisio y drws. Felly yn fynych, amddifada Duw bechaduriaid o bob gallu i fyned yn y blaen yn eu gyrfa bechadurus. Rhyw gymylau duon a dywylla dir eu mwyniant; a throir eu dydd i gaddugol nos. Metha, efallai, eu hiechyd a'u nerth; eu cyfeillion a'u gadawant; eu meddiannau a ddifawyd; eu henw da a gollwyd; a chwbl ddirmygir hwynt. Yna syrthiant i ddigalondid, a gwaeddant—"Dygasant ymaith fy nuwiau, a pheth a wnaf fi mwy? Fy nghicaion a wywodd, a da a wnaf ymddigio, ïe, hyd farw." Eu calon sydd o hyd ar y mwyniant gwag a'r hyfrydwch llygredig a feddent unwaith, ond yn awr nid ydynt mwy. "Dilynant eu cariadau, ond ni oddiweddant hwynt." Crwydrant o le i le, ant oddiwrth gyfeillion at gyfeillion, ac ymofynant ym mhob lle, "A ydyw fy mwyniant blaenorol a'm difyrwch yma?" A phob peth tan haul sydd yn eu hateb, "NAC YW." Felly dechreuant fod mewn eisieu—mewn eisieu o orphwysfa, o heddwch, ac o fwyniant—mewn eisieu o bob cysur, ac o bob gobaith diddanus: mae 'r byd yn gwrthod iddynt un gymmwynas mwy, ac ni wyddant pa le i fyned; canys hyd yn hyn dieithriaid ydynt i bob mwynhâd mwy gorucheł, ac ni feddent wybodaeth am y Gwaredwr.

Pa *gyflwr* a all fod mor *ddiymgeledd* a chyflwr pechadur, pan y try y byd yn dywyllwch, a phan na lewyrcho Duw arno, na llefaru heddwch i'w enaid? Y cyfryw a lenwir â dychryn ac arswyd; ceisiant ddiangc, ond ni wyddant am un ddiogelfa. I'r cyfryw gyflwr alaethus y dygir amryw o'r rhai uchelaf eu bryd, a gwaethaf eu buchedd; a dygir rhai yn raddol, ac ereill megys ar unwaith: teflir hwynt yn ddisymmwth o'u tyrau uchel i lawr i'r celloedd tywyllaf, a hyny megys â chorwynt. Pan oedd Belsassar, ynghyd â'i arglwyddi, a'i wragedd, a'i ordderchadon, yn nghyflawnder eu llawenydd, yn nghanol eu gwledda, ac ar yr un amser yn halogi llestri sanctaidd teml Dduw, trwy yfed gwin ynddynt, a chanmol eu duwiau o aur, ac o arian, ac o bres, yr ysgrifen ddirgelaidd ar y mur a derfynodd mewn mynyd eu holl ddifyrwch, a llanwodd pob calon â braw a dychryn, nes y curodd eu gliniau un wrth y llall. Felly, o ganol eu helaethder, daethant mewn mynydyn i fod mewn eisieu.

2. Pryd bynag y dechreuo yr Yspryd Glân y gwaith rhagddarparol i wir droedigaeth, dwg bechaduriaid yn wastad i *deimlo* eu tlodi a'u heisieu. Pan *ddychwelo* yr Yspryd y pechadur yn weithredol, una ef â Christ, rhydd iddo fywyd tragywyddol, selia ef hyd ddydd prynedigaeth; ac ni all neb ei wa-

hanu oddiwrth gariad Duw yn Nghrist Iesu. Ni ddaw neb, a symudir o farwolaeth i fywyd, i gollfarniad; ond cedwir hwynt gan allu Duw, trwy ffydd i iachawdwriaeth. "Y rhai a gyfiawnhâ Duw, y rhai hyny hefyd a ogonedda." Ond y mae gweithrediadau o eiddo yr Yspryd ar y *diadenedig*, ag nad ydynt ynglyn âg iachawdwriaeth. Darllenwn am rai wedi eu goleuo, wedi profi y rhodd nefol, wedi cyfranogi o'r Yspryd Glân, wedi profi gwir air Duw, a nerthoedd y byd i ddyfod; ac wedi y cwbl, yn syrthio ymaith ac yn marw. *Heb.* 6. Mae hon, ynghyd âg ysgrythyrau ereill, yn eglur ddangos fod yr annychweledig yn derbyn rhai o ddylanwadau yr Yspryd. Ymdrecha â hwynt; saif wrth y drws, a chura, ac argyhoedda hwynt o bechod, cyn eu dygir i gyflwr troedigol ac achubol.

Hyn, efallai, oedd cyflwr yr afradlon yn ei gyrchfa bresenol, pan yn dechreu bod mewn eisieu. Cred yn awr mai *gwagedd* a *diddim* yw pob peth tan haul. Ceisiodd amryw ffyrdd tu ag at fod yn ddedwydd, ond ni chyfarfu ond â siomedigaeth ynddynt oll. Ymdrechodd eilwaith ac eilwaith, mewn gobaith o lwyddo; ond pob ymdrech a chwanegodd siomiant, nes ei ddyfod i benderfyniad cywir—"Pob peth dan haul sydd wagedd a gorthrymder yspryd." Yn awr, wrth ad-olygu y ffyrdd a dramwyodd, y gwrthddrychau a ganlynodd, a'r gobeithiadau a goleddodd yn nyddiau ei wagedd, llenwir ef â syndod a chywilydd, o herwydd ei ddrygioni a'i ffoledd. Geilw ei hun y penaf o bechaduriaid, a'r ynfytaf o ddynion, am erioed ddisgwyl gorphwysfa mewn cysgodau diflanol amser, neu ddedwyddwch mewn pethau na feddant ddedwyddwch. Ei iaith yn awr yw—"Yr wyf yn awr yn credu trwy brofiad, na fedd y byd hwn ddim a'm gwna yn ddedwydd, neu a'm hachub rhag trueni; mae pob peth yma yn myned heibio, ond yr wyf fi i fyw byth." Crediniaeth o'r fath hyn a leihâ ymlyniad pechadur wrth bethau daearol, a oera ei ddymuniadau, a ddiddyfna ei enaid o'r ddaear. Pan adawo ei holl fwyniant daear ef, ac etto yn ddieithr i bethau gwell, yna dechreu fod mewn eisieu.

3. Mae arno eisieu rhyw beth *na fedd, ond nis gŵyr beth sydd yn eisieu arno*. Y mae yn anesmwyth ac annedwydd, yn ceisio gorphwysfa, ond heb gael un. Mae ei holl fwyniant gynt wedi ei adael, ac ni fedd ddim yn ei le. Dan y difuddiad hwn, teimla o'i fewn wagter llwyr, ond heb wybod pa le y ca ddiwalliad. Yn ei gystudd â drachefn, a cheisia y pethau a'i boddhâi gymmaint gynt. Cerdd ei gylchoedd o'r blaen, ymdrecha fod yn llawen, ac una ei hen gyfeillion yn eu coeg wammalrwydd a'u cellwair; ond ei gydwybod effro a'i rhwystra; adgoffa iddo bob cam a gerddo, mai ffordd distryw yw hon. Wedi ei ddychrynu gan ofn angeu a barn, brysia i ryw le wrtho ei hun, ac yno syrth i drymder a thristwch. Ei eisieu a wasg ar ei feddwl; prudd-der ac anobaith a leinw ei galon: ni ŵyr beth i wneud, neu pa le i fyned; canys nid yw etto ond yn hollol ddieithrol i Grist a'i iachawdwriaeth. Y cwbl a wnaed etto yn ei galon ydyw gwaith rhagddarparol y greadigaeth newydd yn unig. Mae Duw yn tynu i lawr yr hyn a rwystra y pechadur i ddyfod at Grist. Argyhoedda yr Yspryd ef o'i bechod a'i golledigaeth; diosg ef o'i hunan-gyfiawnder a'i hunan-hyder; gwna iddo deimlo ei fod yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth, yn euog ac yn gollfarnedig. Dan yr argyhoeddiadau hyn, teimla yn ddwfn ei fod mewn *eisieu:* a *mawr* yn wir yw eisieu pechaduriaid sydd heb Grist.

Ni feddant un gras, nac un Duw, nac un Achubwr, nac un iachawdwriaeth, nac un bywyd tragywyddol, nac un hawl i'r nefoedd, nac un cymmwysder iddi.—Boed i bechaduriaid, a deimlant mai hyn yw eu cyflwr, gymmeryd *cysur;* canys nid "ydynt bell o deyrnas nefoedd." Mae Yspryd Duw yn eu darparu i dderbyn yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist Iesu.

*(I'w barhâu.)*

---

YMDDIDDAN

*Rhwng* Gweinidog *ac un o'i Blwyfolion mewn perthynas i'r Paganiaid.*

Rhan II.

(Parhâd o du dalen 165.)

Gweinidog.—Wel, fy Nghymmydog, gobeithio eich bod chwi a'ch teulu yn iach heddyw.

Gwrandawr.—Yr ydym felly, Syr, o drugaredd Duw, a hyfryd genym eich gweled yn dyfod i'n hannedd, i roddi i ni ychydig addysg am ein heneidiau. Tywyll iawn yw ein meddyliau. Galluoged Duw ni i dderbyn lles oddiwrth eich ymddiddanion, a gwobrwyed y nefoedd chwithau am eich llafur.

Gwein.—Gobeithio fy mod yn ei gyfrif yn fraint i fod "ynghylch y pethau a berthyn i'm Tad;" ac o ddefnyddioldeb i'm cymmydogion yn eu materion ysbrydol. Ond, gobeithio na ddarfu i chwi anghofio cyflwr gresynus y Paganiaid, ac nad yw yr argraff a adawyd ar eich meddwl oddiwrth yr hanes a glywsoch am eu dioddefiadau amrywiol, diles, ac alaethus, ddim wedi gwanhau, ond eich bod yn myfyrio ar eu sefyllfa druenus gyda dirfawr dosturi.

Gwran.—Wedi gwanhau, Syr! Nac ydyw yn ddiau. Mae y creaduriaid truain yn fy meddwl yn wastadol; a pho mwyaf y meddyliaf yn eu cylch, mwyaf oll yw fy nhosturi tu ag atynt.

Gwein.—Os felly, bydd dda genych glywed am y moddion a ddefnyddir gan Gristionogion trugarog er eu gwaredu o afaelion creulon ac angeuol eu coelgrefydd, o'u dwfn ddiraddiad a'u trueni, a'u gwneuthur yn ddeiliaid o'r deyrnas ogoneddus hono sydd yn gynnwysedig o "gyfiawnder, llawenydd, a thangnefedd yn yr Ysbryd Glân."

Gwran.—Os rhoddwch i ni hysbysiaeth am hyny, Syr, gwrandawn arnoch gyd âg hyfrydwch a diolchgarwch.

Gwein.—Ni ddarfu i achos y cenhedloedd eilunaddolgar, ysywaeth, wasgu ond ychydig ar feddyliau Cristionogion ym Mrydain hyd yn ddiweddar iawn. Cenedlaeth ar ol cenedlaeth o'r anwybodus aflan hunain-boenydwyr hyn a oddefwyd i fyned i fyd tragywyddol, dros agos i 1800 o flynyddoedd, heb ddim ymdrechiadau *difrifol,* ar eu rhan *hwy,* i ddatguddio iddynt lwybr y bywyd. Y Mahometan trachwantus a ddisgwyliai am baradwys gnawdol—yr Iuddew digred a lynai wrth seremoniau heneiddiedig a dirinwedd—a'r Pagan dall a ymgrymai i goed a maen, dros yr holl amser hwn, tra yr oedd proffeswyr crefydd Crist, yn y deyrnas hon, gyda difrawch anfrawdol, yn goddef iddynt aros yn eu tywyllwch, gan esgeuluso anfon iddynt yr efengyl werthfawr hono, yr hon sydd yn addas i angenion ysprydol pob cenedl, ac yn allu Duw er iachawdwriaeth i'r Iuddew ac i'r cenedl-ddyn crediniol. Ond y mae 'n awr yn ein plith amryw sefydliadau y rhai sydd yn anrhydedd i'n gwlad —diben grasol pa rai yw dwyn yr holl deulu dynol i adnabyddiaeth o'r Gwaredwr, a thrwyddo ef i fwynhau bywyd tragywyddol.

Gwran.—Clod i Dduw am i'w cyflwr alaethus o'r diwedd gynhyrfu tosturiaethau yr eglwys. Diau y dylem ddefnyddio pob moddion er ymlid ymaith eu ty-

wyllwch, a rhoddi terfyn i'r arteithiau sydd yn eu plith.

GWEIN.—Mae ymdrechiadau yn cael eu gwneuthur, fy nghyfaill. Mae yn yr Eglwys Sefydledig Gymdeithas dros gan mlwydd oed, yr hon a ddynodir "*Cymdeithas er gwneuthur yr Efengyl yn adnabyddus mewn Gwledydd Tramor.*" Trwy lafur hon llawer o lwythau yr Indiaid a ddychwelwyd at Grist yn America Ogleddol, a llawer o Eglwysi Esgobaidd a sefydlwyd yn eu plith. Mae yn danfon y Bibl yno er's llawer o flynyddoedd, ac yn cynnal yno Weinidogion a Chateceiswyr. Mae hi yn awr yn gweithredu hefyd yn ein meddiannau yn Asia. Ein cyd-ddeiliaid yw unig wrthddrychau ei chariad, a phan ystyriom, pe chwanegid oddeutu y 200 o athrawon sydd yn India i driugain mil, na fyddai cymmaint ag un athraw i fil o ddynion—canfyddwn fod ganddi ddigon o faes o'i blaen, a digon o alwad am ei haelioni. Y mae sefydliad anrhydeddus arall yn perthyn i'r Eglwys Sefydledig, yr hon a elwir, "*Cymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol.*" Mae hon hefyd dros gan mlwydd oed. Gwasgara y Gymdeithas hon Fiblau, y *Liturgi*, a Thraethodau, a llyfrau crefyddol ereill, gartref, ac mewn gwledydd pellenig; ac y mae ganddi genhadon efengylaidd ym mhlith y Paganiaid. Sefydlodd hefyd Ysgolion Rhad Cartrefol a Thramor, ac nid oes llai nag oddeutu pedwar can mil o blant yn cael addysg trwyddi. Adeiladwyd Eglwysi trwy ei chynnorthwyon yn India. Yn y flwyddyn 1820, rhoddodd £5000 tu ag at adeiladu *College*, neu Ysgol fawr Genhadol, yn y dref fwyaf yn y wlad hono—*College* er addasu y rhai hyny i'w swydd ag sydd i fod yn Weinidogion yn y parthau hyny o'r byd. Y *Gymdeithas Eglwysig Genhadol*, yr hon, fel yr arwydda ei henw, sydd yn perthyn i'r Eglwys Sefydledig (o ba un y rhoddaf ychydig o hanes i chwi) a roddodd yr un swm o arian at yr un achos. Sefydlwyd y Gymdeithas hon yn y flwyddyn 1800. Mae pedwar cant o Gymdeithasau wedi eu sefydlu er ei chynnorthwyo.* Casglodd, yn y flwyddyn 1825, fwy na phum mil a deugain o bunnau. Llafuria yn Asia, Affrica, ac America. Ei hathrawon (cenhadon, darllenwyr yr Ysgrythyrau, ac ysgol-feistriaid) ydynt dros 440; ac y mae dan ei nodded fwy na 14,090. Pregethir yr Efengyl i filoedd lawer o'r Paganiaid; a lawer o honynt, dan fendith Duw ar ei gweithrediadau, a hunasant yn yr Iesu, ac ydynt yn awr mewn gogoniant yn y nefoedd.

GWRAN.—Y mae 'r newyddion hyn yn llawenhau fy nghalon, Syr. Bendigedig fyddo Duw am roddi yn nghalonau ei bobl i dosturio wrth dywyll eilun-addolwyr y ddaear, a danfon iddynt efengyl yr iachawdwriaeth.

*(I'w barhau.)*

---

## PREGETH

## AR GONFFIRMASIWN.

### ACTAU ii. 42.

"Ac yr oeddynt yn parhâu yn athrawiaeth ac y'nghymdeithas yr apostolion, ac yn tori bara, ac mewn gweddïau."

NODWEDDIAD neu garacter gwir ddoethineb ydyw gweithredu yn iawn, ac yn gyson ar egwyddorion cywir; pa un ai gosod a wnawn o'n blaen ffafr Duw, clod a chanmoliaeth y mwyaf gwybodus o'n cydgreaduriaid, neu foddlonrwydd cyflawn ein cydwybodau ein hunain; y pryd hyny yn unig y bydd cyfaddefiad neu gyffes dda o les i ni pan fyddo ymddygiad da a buchedd gyfatebol yn ei chanlyn. Trwy drugaredd Duw ni a dderbyniasom yn ein bedydd yr enw Cristionogol; yr enw hwn a gymmerwn fel pe bai o newydd bob tro yr elom i dŷ Dduw. Ac y'mhellach, ni a addefwn iddo gael ei gymmeradwyo gan farn y goreu a'r doethaf o ddynion, a'i fod yn enw ag sydd yn gyssylltiedig â'n rhwymedigaethau mwyaf pwysfawr a sancteiddiol. Gad-

* Yr oedd y nifer hyn yn [illegible]. Mae ugeiniau, os nad cannoedd, mwy yn awr.

ewch i ni, gan hyny, yn ddioed holi yma, A ydym ni yn byw yn gyttunol â'r cyfryw enw cyssegredig? a ydyw ein hymarweddiad ni yn cyfateb i'n proffes neu 'n galwedigaeth Gristionogol? a ydym ni yn rhodio yn deilwng o'n breintiau sanctaidd a goruchel, megis ag yr oedd y prif Gristionogion yn rhodio? er clod pa rai yr ysgrifenwyd fel hyn: "Ac yr oeddynt yn parhâu yn athrawiaeth ac y'nghymdeithas yr apostolion, ac yn tori bara, ac mewn gweddiau." Y fath yw y darluniad neu 'r desgrifiad o'r Eglwys Gristionogol gyntaf a'r a sefydlwyd ar ol taenelliad gwyrthiol o'r Yspryd Glân ar ddydd y Pentecost. Ar yr achlysur coffadwy hwn y dechreuodd yr apostolion lefaru gyda gwresogrwydd ac ysprydoliaeth ag oedd o'r blaen yn hollol ddieithr iddynt; a thair mil o ddisgyblion, ffrwyth eu pregethiad cyntaf, a ddygasant dystiolaeth i'r nerthoedd rhyfeddol â pha rai y cynnysgaeddwyd hwynt. Dymunwn ar Dduw pe medrem ni, weinidogion yr efengyl, drwy dair mil o bregethau ddychwelyd ond un pechadur at Dduw; yna yn wir ni buasai "ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd." Yr athrawiaeth a draddodasant hwy ydoedd dra Christionogol a phur, ac felly yr oedd yr yspryd gyd â'r hwn y derbyniwyd hi. Edifeirwch, ffydd, bedydd, a'r ddawn addawedig o'r Yspryd Glân, oeddynt ar y cyntaf y testynau sylfaenol ac amlwg o bregethiad apostolaidd; a'r bywyd a'r egni, a'r serch tu ag at eu gilydd, a gyffrowyd yn mynwesau y disgyblion newydd, ac a osodir allan yn dra phriodol y'ngeiriau y testyn, a amlygant yn gyflawn wirioneddol natur ac yspryd "Cristionogol gymmun y saint." Dyma, mewn gwirionedd, fel y gwelir yr eglwys a'r aelodau yn eu hagwedd boreuol a dilwgr. Ac, er i lygredigaeth ymddangos yn fuan drwy ammherffeithrwydd a gwendid dynol, oddiwrth yr hwn nis gallasai hyd yn nod eglwys bur, yn ei chyflwr dechreuol, fod yn hollol rydd; etto, yn ddiammheuol, i'r amser hwn y mae yn rhaid i ni edrych am y drych a'r arddangosiad mwyaf perffaith o ragoriaeth ac ardderchawgrwydd eglwysig.

Fy mwriad presennol, oddiwrth yr olwg yma ar y testyn, ydyw galw eich sylw mwyaf difrifol at y sefydliad gwir apostolaidd hwnw o eiddo ein Heglwys a adnabyddir wrth yr enw "Conffirmasiwn," neu "Arddodiad dwylaw." Gan nad oes raid i mi ddwyn profion o'r ysgrythyr er amddiffyn y ddefod sancteiddiol hon (canys gwaith pur hawdd fyddai) myfi a grybwyllaf yn unig am y breintiau mawrion a ddylifant oddi wrthi i'r Cristion cywir a gwirioneddol. Un ragorfraint fawr a'r a feddianna Conffirmasiwn, ydyw y dygiad i'n golwg natur a rwymedigaeth ein bedydd. Yn y sacrafen hòno fe'n gwnaethpwyd "yn aelodau i Grist, yn blant i Dduw, ac yn etifeddion teyrnas nefoedd." Hon oedd y weithred fwyaf pwysfawr a ellid ei thrin trosom ni yn neillduol yn y byd isaf hwn; ac etto pa nifer o Gristionogion sydd yn tyfu i fynu, ac yn treulio eu bywyd, heb wybod dim am y bendithion mawrion hyn! Er eu bod (os mynant fod felly) yn etifeddion o wynfydedigrwydd ac anfarwoldeb yn y trigfanau nefol, y maent yn byw fel pe na byddai eu hunig etifeddiaeth hwy ond yr ychydig flynyddoedd a dreuliant ar y ddaear, a'r gwrthddrychau annigonol a ddilynant gyd â'r fath awydd. Er eu gwneuthur, trwy fedydd, ychydig is na'r angelion yn eu cynneddfau a'u perthynasau, hwy a ddewisant y cyfryw ran, a'r cyfryw fath o fywyd, a phe buasai Duw wedi eu gosod ond ychydig uwch na'r anifeiliaid. Y mae hyn yn deilliaw yn fynych o herwydd nad oes ganddynt olygiadau digon cywir mewn perthynas i'r hyn a wnaethpwyd drostynt pan eu bedyddiwyd: nis gwyddant am ardderchawgrwydd na mawredd eu galwedigaeth. Y mae Conffirmasiwn yn dwyn bedydd i'w sylw a'u hystyriaeth. Y ddefod sanctaidd a eilw arnynt i fyfyrio ar y pethau mawrion a wnaeth Duw drostynt, am ba rai y dylent orfoleddu; a'r pethau pwysfawr a ofyn efe oddi wrthynt, y rhai a ddylent hwy yn wastad gadw mewn cof. Ac fel hyn y mae hi yn dueddol i'w gwneud hwy "mewn amser" yn hyddysg o'u rhagorfreintiau a'u dyledswyddau fel Cristionogion, heb wybod pa rai, neu heb eu hiawn ddeall, y gallasent fyned trwy 'r byd, ac hyd yn nod disgyn i'r bedd, oni bai fod y ddefod hon yn eu harwain at y dyfroedd yn y rhai y cawsant eu golchi, ac hefyd at y trugareddau y rhai a seliwyd iddynt hwy; ond yn y byd dyfodol fe ddichon iddynt, fe allai, am byth wylo o herwydd canlyniadau y cyfryw anwybodaeth. Hyd yn nod yn y byd hwn y mae 'r fath beth yn darostwng dynion i'r enbydrwydd a'r caledi eithaf yn eu gorchwylion mwyaf pwysfawr. Heb yr iawn adnabyddiaeth o werth eu bedydd, y maent yn amddifad o'r cymmelliadau penaf i'r ymdrech Cristionogol, ac hefyd o'r ffynon fwyaf oruchel o orfoledd a llawenydd dynol. Y mae ar eu bywyd eisieu 'r nodweddiad neu 'r caracter Cristionogol; ar eu dedwyddwch, y sylfaen Gristionogol; ar eu duwiolder, yr Yspryd Cristionogol. Nis gallant gymhwyso attynt eu hunain y geiriau grasusol ym mha rai y darlunia y Salmydd gyflwr y prynedigion, "Cyfododd fi o'r pydew erchyll, allan o'r pridd tomlyd; ac a osododd fy nhraed ar graig, gan hwylio fy ngherddediad:" ac nis gallant chwaith uno mewn yspryd ac mewn

gwirionedd gyd â'r eglwys yn ei hemyn i Awdwr ei hiechydwriaeth, "Beunydd ac fyth y clodforwn dydi, ac anrhydeddwn dy enw byth ac yn oes oesoedd."

Ym mysg rhagorfreintiau Conffirmasiwn, nid y lleiaf ydyw ei bod yn rhoddi cyfleusdra cymhwys, ac i'r ieuaingc un tra thymhorol, o hybysu yn gyhoedd eu ffydd yn gystal a'u hymroddiad i'r grefydd ym mha un eu bedyddiwyd, sef crefydd eu tadau, crefydd eu Pryniawdwr, yr hwn yn unig sydd ganddo eiriau'r bywyd tragywyddol; y grefydd trwy'r hon (os gwneir trwy unrhyw foddion) y diwygir dynolryw, yr achubir hwy, ac y byddant ddedwydd; ac i'r wybodaeth o ba un y mae yn drugaredd nodedig iawn i Dduw ryngu bodd eu galw. Dedwydd fyddai cyflwr y byd Cristionogol pe byddai ei holl hiliogaeth, ei feibion a'i ferched, yn gwneuthur ar gyhoedd y broffes hon pan ddechreuant ddilyn buchedd o lafur ac ymdrech. Y peth mwyaf llesol ar yr amser pan y mae ymarferiadau a thueddiadau dynion ar fin cael eu llunio, ydyw cynnysgaeddu eu meddyliau a'u calonau âg hyfforddiadau crefyddol. Y mae dyn yn greadur crefyddol, nis cyfyngir ei orchwylion a'i amcanion ef i'r byd presennol hwn. Y mae efe i barhau mewn bod dros bob tragywyddoldeb; etto y mae pethau 'r bywyd hwn yn dal gafael arno, a chanddynt allu rhyfeddol ar ei nwydau a'i ymarweddiad. Y mae efe yn treulio'r blynyddoedd cyntaf o'i hoedl mewn cyflwr ag sydd yn tueddu o bob ochr i gamarwain ei feddyliau, ac i beryglu a niweidio ei rinweddau da. Y mae 'r byd yn llawn llwgr a haint: ond ychydig iawn o bobl sydd yn dwyn yn ol yn y prydnawn yn eu purdeb foesau 'r boreu. Pa gymmaint o feddyliau a gymmerant wreiddyn yn y galon? pa nifer o ymarferiadau a sefydlir yn y serchiadau? pa ryw dueddiadau a lywodraethant ar yr ymarweddiad yn amser ieuengctid, ag ydynt mewn canol-oedran yn galw am y llafur mwyaf poenus a chaled ar ran y Cristion i'w diwygio, neu i'w distrywio? Y mae'r drygau hyn yn deilliaw oddiwrth ddiffyg o wybodaeth well, neu o argraffiadau mwy sanctaidd. Braidd y cymmerent le pe perchenogid y tir ym mha un yr ymddangosant gan blanhigion o osodiad crefyddol, a chael ei wresogi gan lewyrch doethineb nefol, a'i ddyfrhau gan wlithoedd oddi uchod; o'r hyn lleiaf nis ennillent wraidd mor ddwfn, na chynnyrch mor gadarn, ag i ddyfod mor anhawdd i'w rheoli, ac mor galed i'w diwreiddio.

Y mae Conffirmasiwn yn tynu ein sylw a'n hystyriaeth at grefydd; y mae 'n gosod ger bron meddwl yr ieuengctid yr hyn a waharddodd Duw, megis yn ddrwg; yr hyn a ddatguddiodd efe, megis yn wirioneddol, ac o'r canlyniad mwyaf iddynt hwy; a'r hyn a orchymynodd efe, megis yn eithaf da a chanmoladwy. Y mae 'r ddefod yn annog holiad, y mae holiad yn ennill gwybodaeth, a gwybodaeth wedi ei chyrhaeddyd a'i phroffesu tan y fath dywysiadau prysur a fydd yn sicr o ddwyn allan gynnydd helaeth o dduwioldeb; ac fel hyn fe osodir yn gynnar y'nghalonau 'r ieuaingc lewyrch trwy 'r hwn y canfyddant duedd a gwir nodweddiad eu holl ddymuniadau. Yn y modd hyn hwy a gynnysgaeddir âg amddiffynfa, mor bell ag y cyrhaedd gwybodaeth, yn erbyn y cyfeiliornadau a'r drygau i ba rai y maent yn ddarostyngedig trwy lygredigaethau natur bechadurus, "a'r halogrwydd sydd yn y byd." Y mae 'r annogaethau a'r cysuron, y tangnefedd a'r bywiogrwydd, a gyfrenir gan y ddefod hon, yn brofion cedyrn o'i defnydd a'i lles dirfawr. Bod yn sicr y gellir cyrhaeddyd rhyw wrthddrych neu gilydd sydd yn gynhyrfiad nerthol i'w ganlyn: cael llwyddiant yn ddiammeu o'n blaen sydd yn annogaeth gadarn i ymorchestu. Pa mor egniol ydyw pan wrth gyffwrdd â gwaith digon anhawdd y derbyniwn ewyllysiau da ein carenydd, bendithion ein rhieni, a'r sicrwydd o weddiau a chynnorthwy y sawl ag ydynt alluog i'a cymmorth! Gyrfa rhinwedd dda sydd yn un beryglus a gorchestol; y gwrthddrychau a'r a ddilyn y Cristion ydynt yn ogoneddus, ond rhyngddo ef â'r cyrhaeddiad o honynt y mae pellder a rhwystrau lawer. Fe sicrha Conffirmasiwn iddo ef yr holl annogaethau hyn. Trwyddi hi efe a greda y gall efe gyrhaedd bywyd tragywyddol; ac os dilyn efe hi yn ffyddlon, y mae yn sicr o'i hennill trwy ffafr a chaniatâd Duw. Y ddefod hon a rydd iddo fendith ei Dad nefol, ac a addawa iddo nerth "un ag sy gadarn i achub." Ynddi hi y mae yr Hollalluog yn dywedyd, fel pe bai, y geiriau hyn wrtho ef pan y cyflawna efe y gwasanaeth i'r hwn y galwyd, "Fy wyneb a gaiff fyned gyda thi, a rhoddaf orphwysdra it'." Ar unrhyw ran o'i daith efe a all edrych yn ol ar ei gyfammod, ac ar ei fendithiad; ac os darfu iddo gadw ei addunedau, "Pe gwersyllai llu i'w erbyn, nid ofna ei galon; pe cyfodai câd ysprydol i'w erbyn, etto yn hyn efe a fydd hyderus." Os ydyw efe yn barod i ddywedyd am ei elynion, sef drwg nwydau ei galon, profedigaethau a chystuddiau 'r byd, a dychrynfeydd marwolaeth, y mae y gwrthwynebwyr hyn yn fwy ac yn gadarnach na myfi, pa fodd y difeddiannaf hwynt? gellir clywed llais yr Hollalluog yn y ddefod hon yn llefaru, "Nac ofna, canys yr wyf fi gyda thi; ac nac arswyda, canys myfi yw dy Dduw." Megis mewn unrhyw orchwyl, felly hefyd wrth ddechreu 'r fuch-

edd Gristionogol, nis gall dim fod yn fwy gwerthfawr na'r wybodaeth o nawdd a bendith y Goruchaf. Y mae y cyfryw un yn canlyn ei wrthddrych yn llawen ag sydd yn gwybod fod yr Hollalluog yn gâr ac yn gynnorthwywr iddo yn ei ymdrechiad. Y mae hyn yn fwyaf neillduol yn digwydd wrth agosâu at swpper yr Arglwydd. Megis ar un llaw y mae 'n addas, cyn y cyfranogo Cristionogion o'r ymborth nefol hwnw, iddynt ymddarostwng i reolau a threfn y teulu, er mwyn y rhai y darparwyd y lluniaeth a'r ymborth yma; felly, ar y llaw arall, dymunol fyddai fod rhan o'r yspryd hwnw ag sydd yn llywodraethu 'r teulu yn cael ei dywallt i'w mynwesau hwynt; ac hefyd y sicrheid hwy o'u croesawiad a'u derbyniad, trwy eu bod mewn gwirionedd yn gyfranogion o'r ffafr a'r nodded hyny ag y mae 'r Penaeth yn eu hestyn allan i'r holl deulu.

Y mae lles ac addasrwydd y ddefod hon, gan barotôi Cristionogion i fyned i'r bwrdd sanctaidd trwy 'r gofynion angenrheidiol, sef "llawn hyder yn nhrugaredd Duw, a chydwybod heddychlon," y maent, meddaf, mor fawrion ag y darfu i'r eglwys yn ddoeth drefnu "na dderbynir neb i'r cymmun sanctaidd nes iddo gael ei gonffirmio, neu fod o hono yn barod ac yn ewyllysgar i'w gonffirmio." Ac y mae 'r prawf hwn o ddefnydd a gwerth yr ordinhad hon, pa un a wnawn ei hystyried mewn perthynas âg iawn drefn ac enw da yr Eglwys, neu â thangnefedd a chysur y Cristion ar y tymhor peryglus ac ofnus hwnw o'i fywyd, pan y mae efe ar fedr cyflawni, am y tro cyntaf, ei ddyledswydd fwyaf pwysfawr a dyrchafedig. Y mae'n dra anhawdd prisio y prawf hwn yn rhy uchel. Y mae yr ordinhad o Gonffirmasiwn hefyd yn neillduol addas er dyrchafu adeiladaeth a diddanwch yr eglwys, fel y mae 'n fwyaf tebygol y cedwir ei ffydd yn iachus pan y mae ei haelodau ieuaingc, wrth fyned ym mlaen at eu rhagorfreintiau penaf, yn cael eu hyfforddi ynddynt; a phawb oll, gan broffesu yr unrhyw egwyddorion, a ymrwymant i'w chynnal hi a'i dal i fynu. Trwy eu casglu hwy ynghyd, yn eu dyddiau boreuol, tan yr un aden o'r Hollalluog Dduw, fe sicrheir, fel y bydd fwyaf dedwydd, undeb yspryd, a chadarnheir rhwymyn tangnefedd a chariad. Fe gyffroir hefyd rhagor o lawer o deulu 'r Pryniawdwr, trwy 'r ordinhad hon, i fyned at ei fwrdd ef mewn llawn hyder yn nhrugaredd Dduw, a chydwybod dda. A phan ganmoler rheolaeth a chymmeriad da yr Eglwys trwy brofion digonol, y rhai a geir fel hyn o wybodaeth addas, a bwriadau duwiol y sawl a dderbynier i'r cymmun bendigaid; y sawl ag ydynt yn agoshau yn y modd hyn, am y tro cyntaf, at fwrdd yr Arglwydd, a gefnogir ar y tymhor ofnus a phryderus hwn o'r grefydd Gristionogol; a hwy a gadarnheir trwy dderbyn o'r blaen ras a bendith yr Hollalluog Dduw.

Yn y lle olaf, y mae yn rhaid ystyried y ddefod hon fel megis yn rhesymol ac yn addas, yn wasanaeth cymmwys i Dduw. Y mae ganddo ef hawl i'r duwioldeb mwyaf cynnar o eiddo ein calonau; y mae yn gwbl addas, yn gyfiawn, a'n rhwymedig ddyled ni yw, cyn yr elom i'r byd, ei addef ef; ac yn enwedig pan ein gwnaethpwyd ni yn blant iddo ef, trwy fabwysiad a gras, y disgwylia efe arnom ni i geisio ei fendith a'i gynnorthwy ef, modd y gogoneddom ef yn ein cyrph ac yn ein hysprydoedd, y rhai ydynt eiddo ef. O'i barodrwydd ef i gyfranu i ni y bendithion a geisier yn y ddefod hon fe'n sicrheir ni, trwy enau ei Fab, yn yr ymadrodd prydferth yma, "A oes un dyn o honoch, yr hwn, os gofyn ei fab iddo fara, a rydd iddo gareg? ac os gofyn efe bysgodyn, a ddyry efe sarph iddo? Os chwychwi, gan hyny, a chwi yn ddrwg, a fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant, pa faint y rhydd eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd bethau da i'r rhai a ofynant iddo," pan y maent yn myned allan ar eu taith trwy 'r byd trafferthus hwn? I'r rhai hyny a'r a geisiant wrth yr allor ei Yspryd Glân yn y lle a ddewisodd efe i osod ei enw ynddo; i'r rhai a'i ceisiant gyda chwbl ymroddiad o honynt eu hunain i'w wasanaeth a'i ogoniant ef; i'r rhai a'i ceisiant yn enw ei Fab ar yr amser y cadarnhant eu mynediad tan faner Iesu i ymladd yn erbyn y gelynion a ewyllysia efe iddynt eu gorchfygu. Od oes olwg ar y ddaear, ar yr hon yr edrych "y Goruchel a'r dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb," gyda hyfrydwch a llawenydd calon, hon a fydd, pan y canfydda efe gymdeithasau 'r ieuaingc yn cydymgynnull i osod eu hunain yn ufuddgar dan gysgod ei adenydd ef; yn ofalus ar gael eu hamddiffyn ganddo ef rhag pob peth a fyddo yn ei ddigio, ac yn ei anfoddloni; ac yn edrych ato ef am nerth a gras i wneuthur ei ewyllys, ac i'w haddasu hwynt gyferbyn a'r nefoedd hyny a'r a ddymunai efe iddynt fwynhau. Duw a wnaeth bob darpariad erbyn dedwyddwch ac iechydwriaeth dynion. Danfonodd ei Fab i'w dysgu, ac i farw trostynt; sefydlodd eglwys i'w meithrin fel ei blant; dyfroedd bedydd i'w glanhau oddiwrth eu pechodau a'u hofnau; gwledd ei fendigedig fwrdd i'w porthi hwynt âg arwyddion o faddeuant, ac â gwystlon o fywyd tragywyddol; addewidion gwerthfawr, cymmwys i'w hamgyffred hwy; ac ordinhadau cysurlawn, trwy ba rai y mae efe yn eu harwain hwynt â'i law dadol i roddi meddiant iddynt o'r etifeddiaeth ogoneddus, yr hon a bwrcaswyd trwy waed yr Oen, gan eu

gwneud yn "frenhinoedd ac yn offeiriaid iddo ei hun." "Iddo ef y byddo y gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd. Amen."

HILARIUS.

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

SYR—Blin fu genyf lawer gwaith glywed Gosodiadau ein Heglwys yn cael eu hammharchu; a meddyliais mai anwybodaeth a rhagfarn, yn fwyaf cyffredin, oedd y ffynnon, allan o ba un y tarddai yr ammharch. Beiir arnynt gan ddynion, tu fewn, yn gystal a thu allan, i gaerau yr Eglwys, na chymmerasant erioed *amser* i chwilio allan a *oedd* beiau ynddynt—dim yn groes i'r, neu yn anghytunol â'r, Bibl; ac felly euog ydynt o'r bai hwnw eu hunain, sef, *barnu cyn profi*—bai mwy peryglus, a mwy anghytunol âg yspryd gwir grefydd, nag un bai, yr wyf yn meddwl, a geir yn y Gosodiadau crybwylledig. Os oes gwallau ynddynt, diwygier hwynt, gan ddynion o gymmwysiadau addas at y gwaith; ond na "chabler gan neb y pethau ni wyddant oddi wrthynt." Ym mhlith ereill o Osodiadau ein Heglwys, clywais lawer o ogan yn erbyn ein trefn o *fedyddio*, a hyny, yn benaf, o herwydd y *mechniafon* a ofynir. Os iawn *bedyddio* plant, iawn, o barth yr Eglwys, yw gofalu am ryw rai i'w "meithrin yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd;" heb hyny ni ddichon iddynt fod yn aelodau cymmwys o honi. Iawn, ynte, yw trefniad y mechniafon drostynt. Ond pwy sydd yn *addas* i fod yn fechniafon? Nid y rhai sydd yn rhy gyffredin yn dyfod ym mlaen, a hyny o herwydd anystyriaeth a difaterwch rhieni. Pan y gadawant arian, neu etifeddiaeth ddaearol, i'w rhanu rhwng eu plant ar ol eu marwolaeth, edrychant am ddynion gonest cydwybodol, y rhai, yn eu meddwl, a wnant eu dyledswydd mewn cyfiawnder tu ag at eu plant. Dyma fel y gofalant am yr hyn a berthyn i'r *corph*. Ond am yr *enaid*, ni waeth pwy a osodir i ofalu am hwnw! Gwaith rhieni yn gosod dynion anaddas yn fechniafon i'r Eglwys dros eu plant—dynion, yn fynych, na wyddant eu hunain athrawiaethau a dyledswyddau crefydd Crist, ac nid ystyriant unwaith y rhwymedigaethau a gymmerant arnynt—a ddygodd anfri ar drefn ein Heglwys o fedyddio. Nid rhyw bethau a ddyfeisiwyd dan dywyllwch y Grefydd Babaidd, ac a gadwyd gan y Diwygwyr, yw trefniadau ein Heglwys; ond gellir eu holrhain, gan mwyaf, yn ol hyd amser yr apostolion, neu, o leiaf, i'r oes gyntaf wedi hyny. Cyhuddiad disail, ynte, ydyw dywedyd fod *Pabyddiaeth* ynddynt. Hanfodasant gannoedd o flynyddoedd cyn clywed son am y bwystfil hwnw. Am fechniafon dros blant yn y bedydd, sonia Justin Martyr, ac amryw ereill o hen dduwiolion enwog eglwys Crist. Dychwelwyd Justin Martyr i'r ffydd yn y flwyddyn 132; ac nid annhebyg iddo fyw amryw flynyddau yn amser yr apostol Ioan. Cymmaint a hyn am *hynafiaeth* Mechniafon Bedydd. Ond *anaddasrwydd* y rhai a ddygir ym mlaen, yw y peth a ddygodd fwyaf o ammharch yn nghyfrif llawer ar y drefn hon: ac os bernwch yr "Ymddiddanion" canlynol o ryw ddefnydd tu ag at ddiwygio y gwall o unrhyw radd, wele hwynt at eich gwasanaeth. Os derbyniol fyddant, addawaf eu gorphen yn fuan.

EPSILON.

## YMDDIDDDAN

*Rhwng dau Gyfaill ynghylch Bedydd, fel y gweinyddir ef yn yr Eglwys Sefydledig. Gan y Parch. G. DAVYS.*

*THOMAS.*—Mae arnaf eisieu gofyn cymmwynas genych, *William?*

*WILLIAM.*—Beth ydyw, *Thomas?*

*T.* Y mae arnaf eisieu i chwi sefyll yn Dad-Bedydd i fy mhlentyn: y mae yn bryd weithian ei fedyddio; a dymunwn yn fawr fod ei Fechniafon yn rhai a wyddant ryw beth am yr hyn a gymmerant mewn llaw. Yr wyf fi, *William*, yn ei gyfrif yn beth tra difrifol a phwysig i gymmeryd mewn llaw orchwyl o'r fath hyn.

*W.* Difrifol a phwysig iawn yn wir, ydyw, *Thomas*. A dylid cymmeryd peth amser i'w *ystyried*, cyn yr ymrwymer yn y fath orchwyl. Y mae eich cais yn beth nad oeddwn yn disgwyl am dano, ac ni wn yn iawn pa ateb i'w roddi. Os gallaf, yn y peth hwn, fod o ryw wasanaeth i chwi, da iawn fydd genyf; ond gadewch i ni yn gyntaf ymddiddan ychydig yn ei gylch. Yr ydych yn ei gyfrif yn waith pwysig bedyddio plentyn, neu ei gyflwyno i Grist trwy fedydd—dros ba hyd y darfu i chwi gyfrif y peth fel hyn? Mae genych blant ereill; a oeddych chwi bob amser yn golygu Bedydd yn beth o'r fath bwys a chanlyniad ag yr ydych yn awr?

*T.* Nac oeddwn; nid arferais feddwl dim yn ei gylch. Nid ystyriais i erioed mo'r gorchwyl yr oeddem yn ei gymmeryd mewn llaw: ac am Dadau a Mamau Bedydd, cymmerem ryw rai o'n perthynasau, neu ereill a allem gael, heb feddwl gymmaint ag unwaith pa un a fwriadent wneud eu dyledswydd tu ag at y plentyn, ai peidio; nid oedd arnaf fi ofal yn y byd am hyny.

*W.* Yn hyn, *Thomas*, yr wyf yn meddwl eich bod yn feius.

*T.* Yn feius! oeddwn, yn ddiau; a'r un peth fuasai i'm plant fod heb un Tad na Mam Fedydd. Ni roisant erioed na gair o gyngor, nac addysg Cristionogol i'r plant, o'r awr gyntaf y gwnaethant yr addewid bwysig, hyd y mynyd hwn.

*W.* Hyn sydd, *Thomas;*—gan eich bod chwi a'ch gwraig yn fyw eich dau, ac yn abl eich hunain i addysgu eich plant, nid oedd cymmaint o angen am gyngor a gwasanaeth y Mechniafon a phe buasai y plant druain yn amddifaid o'u rhïeni.

*T.* Gwir, *William:* etto, ni ddylai neb, yn fy nhyb i, fyned dan y fath addunedau pwysig, os na wnant felly *o ddifrif.* Ac os *o ddifrif* yr ânt, gallant roddi gair o gyngor yn awr ac eilwaith, ac ymorol ychydig pa fodd y dygir y plant i fynu gan eu rhïeni, ac a ydynt yn cael eu haddysgu yn y pethau a addawyd ar eu rhan. Nis cyfrifaswn hyn yn *brysuro yn ddiraid* yn y gorchwyl, yn hytrach cymmeraswn ef yn dro caredig.

*W.* Felly y gwnaethwn fy hun; ond rhai rhïeni a dramgwyddent, pe gymmerai neb arno ammeu a ydyw pob peth yn iawn, ai peidio.

*T.* Felly y mae, a rhyfedd genyf at y fath ymddygiad! Ië, rhyfedd genyf fod rhïeni yn gallu gofyn i'w cyfeillion fyned dan adduned mor bwysig ar ran eu plant, ac etto yn tramgwyddo os ewyllysia 'r cyfeillion hyny *gyflawni* eu hadduned! Yr oedd fy ngwraig a minnau, gobeithio, bob amser yn caru ein plant; ond, yn wir, nid ystyriasom erioed, fel y gweddai i ni, y rhwymedigaethau pwysfawr a gymmerai eu Mechniafon arnynt ar eu rhan yn eu Bedydd; a mawr oedd ein hangen am addysg yn hyn o beth.

*W.* Ond, *Thomas*, gadewch i mi gael gwybod pa fodd y daethoch i feddwl yn awr am hyn mor wahanol i'r hyn a wnaech unwaith?

*T.* Chwi a gewch, *William:*—Er pan y buoch chwi a minnau yn ymddiddan ynghylch y Gweddïau a arferwn yn yr Eglwys, ystyriais hwynt i gyd yn ddwys a manwl; ac yr wyf yn canfod mor ryfeddol gyflawn ydynt o wir grefydd, ac mor gywir y'n dysgant i ofyn am bob peth y gallwn fod mewn angen o hono. Mae crefydd y Cristion, yn ddiau, i'w chanfod yno; a pha fwyaf yr ystyriwyf hwynt, mwyfwy o sicrwydd yr wyf yn ei gael am hyny. A hyn a'm harweiniodd i ddarllen rhanau ereill o'r Gwasanaeth—"Y Drefn am Fedydd, Bedydd Esgob, Priodas, Ymweliad â'r Claf," ynghyd âg ereill; a gweled yr wyf eu bod yn gyflawn o'r unrhyw yspryd—wedi eu cyfansoddi i gyd fel ag i'n cyfarwyddo yn gywir ar ein pererindod trwy 'r byd hwn tu ag un rhagorach. Darllenais yn ofalus y Gwasanaeth Bedydd; ac felly y dysgais beth mor sanctaidd a phwysig yw yr ordinhad hòno. Dymunwn gael ychydig ymddiddan â chwi ynghylch pob un o'r Gwasanaethau uchod; ond yr hyn sydd fwyaf ar fy meddwl yn bresennol yw y Gwasanaeth Bedydd. Nid wyf yn gwybod dim ychwaneg am Fedydd, na'r hyn a gaf yn y Llyfr Gweddi; ond, yn fy meddwl i, rhydd hyny olygiad tra eglur ar y pwngc.

*W.* Yn wir, ni wn i ddim yn ei gylch, *Thomas*, heblaw yr hyn a ddarllenais yno; ond, tybygwn, fod y Llyfr Gweddi yn cynnwys cym-

maint ag a ewyllysiai un wybod, pe gwnaed yn unig ond ei ystyried fel y dylid, a gweithredu yn gyfatebol i hyny.

*T.* Gwir; etto, pa nifer o bobl sydd nad edrychant unwaith i'r Gwasanaeth cyn dwyn y plentyn i'w fedyddio; ac felly ni wyddant ddim am y gorchwyl pwysig yr ânt i'w wneuthur.

*W.* Felly y mae; a pheth galarus, yn wir, yw hyn, *Thomas:* ond nid yw hyny esgus yn y byd drosom ni, fel y gwyddoch.

*T.* Nac ydyw, mi a wn hyny; ac yn hyn nid oes neb wedi bod yn fwy beius yn hyn na myfi fy hun. Ond fy ewyllys yw dwyn fy mhlentyn i'r Eglwys y tro hwn gyd âg amgenach gwybodaeth genyf am yr hyn yr wyf yn ei wneuthur, a chyda dymuniad diffuant ar iddo gael ei wneud "yn aelod i Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd."

*W.* Yn gymmaint a'm bod yn eich gweled, *Thomas*, yn wirioneddol *o ddifrif* yn y peth yr ydych yn myned i'w wneud, da iawn fydd genyf os dichon yr ychydig gynnorthwy a allaf fi roddi fod o les i chwi; a boddlon fyddaf, o ewyllys calon, i fod yn Dad-Bedydd i'ch plentyn.

*T.* Y mae genyf ddiolch mawr i chwi, fy nghyfaill caredig; ac y mae genyf gymmydog arall mewn golwg i sefyll gyda chwi, yr hwn a ymddengys â mawr barch ganddo i bob peth sydd er daioni. Gofynodd fy ngwraig hefyd i gares iddi i fod yn Fam-Fedydd; ond ni roddodd i mi etto ateb pendant. Gwraig grefyddol ydyw, a pheth pwysig iawn, yn ei meddwl hi, ydyw dyledswydd Mechniafon; a thyna yr achos ein bod yn chwennych iddi ddyfod. Ond y mae braidd yn ofni cymmeryd matter mor bwysig mewn llaw.

*W.* Gresyn yw hyny, yn fy nhyb i, *Thomas.* Beius, yn ddiau, yw cymmeryd y cyfryw beth mewn llaw *yn anystyriol:* ond y mae yn rhoddi cyfleusdra da i wneud llawer o ddaioni; a drwg fyddai gweled pob un sobr a chrefyddol yn ymwrthod yn gwbl â'r gwaith o betruso rhag gwneud ar fai.

*T.* Felly yr wyf finnau yn meddwl; oblegid y canlyniad o hyny fyddai gadael y gorchwyl yn gwbl yn nwylaw y rhai mwyaf *anaddas* iddo. Ond, os nad oes arnoch ormod brys, *William*, gadewch i ni edrych i'r Gwasanaeth Bedydd yn y Llyfr Gweddi: dylai pawb wneud hyny cyn dwyn y plentyn i'w fedyddio.

*W.* Dylent, yn ddiau. Estynwch i mi eich Llyfr.

*(I'w barhâu.)*

---

## "UNDEB CYMRU A LLOEGR."

*(Parhad o du dal. 210.)*

Ar ol talu diolch ar faes y frwydr i oruwchlywodraethwr coronau a gorseddau, dychwelodd Harri i Leicester, lle y coronwyd ef yn frenhin Lloegr dan yr enw *Harri y Seithfed.*

Y frwydr uchod, yr hon a ryddhaodd y genedl o gaethiwed gormesdeyrn, ac a roes derfyn ar derfysgiadau cartrefol, a ymladdwyd ar faes Bosworth, ar Ddydd Sadwrn yr 22ain o Awst, 1485, diwrnod sydd, ac a fydd byth, yn nodedig yn hanes ein gwlad.

Wedi dyrchafu Harri i'r orsedd, ac er mwyn cadarnhau ei hawl yddi, efe a briododd Elizabeth, merch hynaf Iorwerth IV. etifeddes teulu Caer Efrog; ac felly y cylymwyd tylwyth Caerhirfryn ac Efrog ynghyd, ac y cyssylltwyd y Rhosyn Coch a'r Rhosyn Gwyn yn gydbleth anrhydeddus o hyny allan.

Er bod gan y Cymry hawl dyblyg yn Harri VII. sef ei fod yn deillio mor uniongyrchol o'u hiliogaeth, a'i fod yn awr wedi cael ei ddyrchafu i'r orsedd, yn benaf, trwy eu cynnorthwy hwy; etto, ni wnawd ond ychydig o wellhad yn eu hamgylchiadau hwy tra parhaodd ei deyrnasiad ef.

Er na chwanegwyd dim cyfreithiau newyddion i'w gorthrymu, etto, ni ddiddymwyd hen gyfreithiau llymdostion Harri IV. a'r VI. y rhai, fel y crybwyllwyd, oedd yn ormes mawr ar y Cymry.

Mae yn wir ddarfod i deyrnasiad llariaidd Harri VII. barotoi y ffordd i ddyddiau gwell, ac i amgylchiadau dedwydd-

ach, i hen drigolion Gwalia. Ond i Harri VIII. y dylai Cymry dalu diolch am eu rhyddhad:

" Harri lân, hir lawenydd,
" Yw 'r un a'n rhoes ni yn rhydd."

Er dued oedd gweithredoedd Harri VIII. mewn pethau ereill, dyma un rhinwedd rhagorol; ie, meddaf, dyma un perlyn hardd a gogoneddus yn disgleirio yn wych iawn yn ei goron.

Pan oedd y Cymry yn cael eu gwawdio a'u gormesu gan y Saeson o bryd i bryd, hwy a ddeisyfasant o'r diwedd ar y brenin Harri VIII. ar fod i " ganol-fur y gwahaniaeth" rhwng y ddwy genedl gael ei ddiddymu yn llwyrach, ac ar iddynt gael eu gosod ar yr un cytartalwch a deiliaid ereill ei Fawrhydi.

I'r diben hwn anfonodd y Cymry Erfyniad at y brenin, mewn ymadroddion ardderchog, yspryd mawreddus, a rhesymau cedyrn; ond rhy faith i'w gorphori yn y Traethawd hwn: digon yw dweud hyn—fe gafodd yr erfyniad yr effaith dymunol ar dymherau Harri, ac efe a gydnabyddodd eu ffyddlondeb, a chyfiawnder eu hòniadau, yn y modd tirionaf: fe ffurfiodd gyfraith synwyr-ddoeth, yn y 27ain flwyddyn o'i deyrnasiad, yr hon ydoedd i'r perwyl canlynol:—

" Yn gymmaint a bod Tywysogaeth Cymru yn aelod ac yn rhan yn nghoron Lloegr, a bod yr un brenin yn ben arni, er na chafodd ei thrigolion, hyd yma, mo'r mwynhau rhagorfreintiau dyledus y wladwriaeth; y mae y brenin yn awr, o'i gariad a'i ewyllys da i'w ddeiliaid yn Nghymru, trwy gyngor ei Senedd, yn gorchymyn ac yn gosod, fod, o hyn allan, i Gymru gael ei huno a'i chyssylltu â thiriogaeth Lloegr; a bod i'w ddeiliaid Cymreig, dros fyth, fwynhau a meddiannu pob rhyddid, braint, iawnderau, a chyfreithiau, y rhai y mae ei ddeiliaid ereill o bob parth i'r deyrnas yn eu meddiannu a'u mwynhau."

Y ddeddf ganmoladwy hon a roddwyd mewn gweithrediad yn ddioed; a gwnaethpwyd y Cymry yn gyfartal ddeiliaid, ac yn gyd-ddinasyddion â'u gorchfygwyr. Yn hyn fe ymddygodd Harri VIII. yn gyffelyb mewn hynawsedd a doethineb i hen Ymerawdwyr Rhufain gynt, y rhai yn wastad a roddent i drigolion y Taleithiau a ddarostyngid ganddynt, gael mwynhau y rhagorfreintiau Rhufeinig. Buan iawn y canfyddid yr effeithiau daionus a darddai o'r undeb dedwyddol hwn, er lles, nid yn unig i'w gorchfygwyr, ond hefyd i'r gorchfygedig. A Duw a baro iddo hir barhau, er lles a daioni i'r ddwy wlad.

Tra yr ydwyf yn barod i gydnabod y manteision gwerthfawr a ddeilliasant i ni trwy ein cyssylltiad â chenedl y Saeson, yr ydwyf, ar yr un pryd, yn hòni fod y manteision yn gydfynedol o bob tu. Cafodd y Saeson lawer o fanteision iddynt eu hunain oddiwrth eu hundeb â'r Cymry. Yn amser rhyfeloedd allanol, a therfysgoedd gwladwriaethol, bu y Cymry yn wastad mor ffyddlawn i'w brenin ag oeddynt gynt i'w hanymddibyniaeth eu hunain. Gwyr ein gwlad a gynnorthwyasant yn wrolwych ym myddinoedd y deyrnas mewn rhyfeloedd peryglus; gwaed goreu ein pendefigion a gollwyd wrth amddiffyn iawnderau Prydain: a pha un bynag ai rhyfel ai tawelwch a fyddai y wladwriaeth yn ei fwynhau, byddai y Cymry bob amser yn ymegnïol ac yn ddiwyd tu ag at ddwyn ym mlaen y lles cyffredinol, ac i roddi ysgwydd ewyllysgar o dan y baich—pa un bynag ai yr orsedd, ai yr allor a fyddai yn galw am gymmorth oddi wrthynt.

Mae y gweddill o gynnyrch ein tir yn cael ei gludo yn barhaus i farchnadoedd Lloegr; yr hyn, mewn amseroedd o brinder, a roddodd yn fynych ymwared nid bychan i'r wladwriaeth.

Mae mynyddoedd ein gwlad yn cynnwys ynddynt amledd o feteloedd o bob math, a chrombil ein daear yn llawn o drysorau cuddiedig: plwm cymmysgedig âg arian, yngbyd â phres, haiarn, *zinc*, a *chalamine*, a redant drwy ein dyffrynoedd. Haerai un Bardd, mai

" Gorddu yw brig y Werddon,
" Gan fŵg eginau o Fon."

Haeraf finnau fod glô Callestr yn cynhesu llawer cwmmwd oerllyd yn Lloegr.

Llenwir llongau Lloegr â phob math o fwnydd gwerthfawr Cymru, a throsglwyddir hwynt i fysg y Saeson, pa rai a ddefnyddir i'w nwyddau, yn waith i'w crefftwyr, ac yn llawnder i'w masnach Cartrefol a Thramor.

Hònir, yn gyffredinol, oni bai i Benadur o hiliogaeth y Cymry gael ei ddyrchafu i'r orsedd, ni chawsai y deyrnas hon mo'r fraint o gyfranogi o fendithion y chwildroad a ddygwyd i mewn yn amser Harri VIII. Hwn, yn benaf, a ddefnyddiodd Rhagluniaeth i ddwyn y diwygiad gogoneddus yma i'n gwlad; efe, a'i ferch, y Frenines Elizabeth, a fu yn offerynol i beri i'r deyrnas hon ymddidoli oddiwrth Eglwys gyfeiliornus Rufain; ac, yn groes i ddeddfau niweidiol yr Eglwys hòno, i ganiatâu i werin Lloegr a Chymru gael yr Ysgrythyr Gyssegr-lân yn eu hiaith gynhenid.

Os gwir y ddiareb, mai 'r " Iwerddon yw llaw ddehau Brydain," mor wir a hyny gellir hòni mai Cymru yw ei llaw aswy.

Ond wrth i mi nodi allan y manteision a ddeilliodd i'n cymmydogion a'n cyd-ddeiliaid oddiwrth y cyssylltiad a ni, na ato i'm gwladgarwch oddef i mi grybwyll dim o honynt mewn dull o draha na chenfigen,

nac ychwaith er mwyn ymliw na dannod mewn un gradd. I'r gwrthwyneb, dywenydd fy nghalon fyddai gallu o honom weini i genedl y Saeson gynnorthwyon mil mwy; canys y mae manteision un rhan o'r wladwriaeth gyfunol hon yn sicr, yn y canlyniad, o fod er adeiladaeth a chysur *pob* rhan. Tra byddo Lloegr yn llwyddo, ni ddichon Cymru byth adfeilio; tra byddo Lloegr yn blodeuo, ni ddichon Cymru byth lesgâu; a thra byddo Lloegr mewn llawnder, ni chaiff Cymru byth fod mewn prinder.

Y manteision a ddeilliasant i Gymru oddiwrth ei hundeb â Lloegr, ydynt fwy lliosog fyth. Tra parhaodd y ddwy genedl yn ddidoledig, gan gael eu llywodraethu gan wahanol gyfreithiau, a'u nodweddu gan wahanol arferion a moesau, yr oedd rhagfarn ac anfrawdgarwch yn y naill tu ag at y llall, a'r rhai hyny yn magu ymrafaelion a therfysgiadau parhaus yn eu plith. Pa mor fynych y lliwiwyd ein dyffrynoedd prydferth â gwaed ein cydwladwyr? Pa mor fynych y clywid creigiau ein gwlad yn adseinio wrth sŵn taranau rhyfel? ac y parai twrf arfau angeuol i'n bronau adleisio mewn griddfanau! Pa mor fynych y clywid y plant amddifaid yn llefain am eu rhieni, a'r gwragedd gweddwon yn wylo am eu gwŷr, y rhai a syrthiasant yn y frwydr!

Ond am y cyfryw olygfeydd, ni wyddom ni yn awr ddim, trwy brofiad, ond yn unig ein bod yn darllen am danynt yn nghroniclau ein Talaeth.

Nid oes na chroes ddibenion, nac ymrafaelion mwyach yn cythruddo, nac yn aflonyddu ein trigolion: ac nid oes i'w ganfod yn ein plith ddim ymrysonau, amgen na bod y naill yn ymorchestu â'r llall, pwy a fydd mwyaf gwasanaethgar er lles cyffredinol y wladwriaeth—pwy a fedr ddyfeisio y moddion tebycaf i enwogi a chyfoethogi y ddwy genedl gyfunol—a phwy a fydd fwyaf ffyddlawn i'r brenin, a'i lywodraeth.

Trwy ein huno â'r Saeson, cyssylltwyd ni â'r genedl a gyfrifir yn enwocaf, yn alluocaf, ac yn gyfoethocaf yn y byd—cenedl yr hon y mae ei dysgeidiaeth, a'i chelfyddydau wedi ei gwareiddio, a'i haddurno uwchlaw un genedl sydd yn gweled yr haul—cenedl yr hon y mae ei gwrolder megys tarian iddi rhag pob sarhâd a thraws-ymgyrch—cenedl yr hon y mae ei masnach yn ymwasgaru dros holl wyneb daear drigianol—ei llongau yn ymweled â phob cyfandir, ynys, porthladd, a gyrhaeddir gan dònau y môr. Yn wybyddus o'i nerth, hi a wyneba, yn dalgryf, genhedloedd o bob lliw a lle; ac iddi y plygant oll, gyd â'r moesgarwch a'r hybarchedd mwyaf. Er nad yw ein hynys ond megys crogen ar wyneb cefn-fôr, hi a oresgynodd daleithiau eang o fewn dau derfyn-gylch y ddaear; ac yn mysg ei deiliaid cyfrifir daearolion, a than ddaearolion ddynion, y rhai a wrthdroediant i'w gilydd!

Ond er mor fawreddus yw y genedl, y cyssylltwyd ni â hi, yn y golygiadau uchod; etto, hi a ymddengys yn ddirfawr fwy, pan syller arni mewn golygiad arall, sef yn ei hardderchog ffurf-lywodraeth. Mae ei threfniadau gwladwriaethol wedi eu sefydlu mewn doethineb, ac wedi ennill cymmeradwyaeth drwy hir brofiad o'u buddioldeb. Mae dull ei rheolaeth yn cynnwys yr hyn sydd fuddiol o'r tri rhyw, ac yn ddidoledig oddiwrth yr hyn sydd niweidiol y mhob un; a thrwy gadw i fynu gyfartalwch y teir-trefn, fe'i rhagflaenir rhag mantoli yn ormodol o du yn y byd. Fel hyn y cynnelir anrhydedd y llywodraeth, heb gyfyngu yn anghymmedrol ar ryddid y deiliaid—gan amddiffyn meddiannau y cyfoethogion, heb osod trais ar iawnderau y tlodion.

Trwy eu cyssylltiad â Lloegr, y mae y Cymry yn cael eu diogelu rhag gormes ac afreolaeth. Trwy ein huno â pha genedl arall dan y nef y cawsem ein llywodraethu wrth gyfreithiau mor uniawndeg a llarieiddiol, y rhai sydd yn penderfynu pob dadleuon a chamwri, yn ol cydwybod a phleidiais nifer digonol o reithwyr diduedd? Dyma lle yr ydym yn cael cyfranogi o odidawgrwydd Brydain, a syndod y byd! O holl genhedloedd Ewrop, yma yn unig y gellir dywedyd, fod y trigolion yn bobl ryddion!

Ond, i goroni y cwbl, fe'n hunwyd â chenedl, yr hon sydd yn proffesu y Grefydd Gristionogol, ac sydd yn mwynhau holl fendithion a chysuron Cristionogrwydd—cysuron nad yw holl ragorfreintiau y bywyd hwn ond megys diddim i'w cydmaru â hwynt—dyma, meddaf, yw yr olaf a'r fwyaf o roddion Duw i ddyn.

Pan, trwy yr undeb hwn, yr adferwyd tawelwch gwlad a mynwes i'r Cymry; ac felly iddynt gael eu llywyddio gan Benaduriaid o'u breninol waed eu hunain; breninoedd y rhai, yn lle eu cythryblu a'u gormesu, a dybiant yn hyfrydwch ac yn ddyledswydd i'w hamddiffyn a'u hamgeleddu: pan unwyd Cymru â Lloegr, meddaf, ac y dygwyd hwy i'r amgylchiadau hyn, hwy a ddechreuasant droi eu meddyliau at wrthddrychau gwahanol, a chyfeirio eu hymgais at orchwylion mwy buddiol, a dull o fywiolaethu a bucheddu mwy boddhaol i'w llywodraethwyr, a manteisiol iddynt eu hunain. Yn lle dwyn eu meibion i fynu i filwrio mewn gwrthryfeloedd cartrefol, dysgent hwynt i fod yn aelodau defnyddiol yn y wladwriaeth, ac yn ddeiliaid ffyddlawn i'w llywodraeth;—yn lle

amlhâu a blaenllymu cleddyfau a gwaywffyn, ni churid mwyach ar yr eingion ond y cylltyrau a'r pladuriau;—yr Offeiriaid a'r Beirdd, yn lle pregethu a chynghaneddu gwroldeb a rhyfelgarwch i fynwesau eu cydwladwyr, a droent bellach eu doniau i gyfansoddi areithiau duwiolfryd ar grefydd ac anfarwoldeb, ac awdlau plethedig ar deuluwriaeth ac amaethyddiaeth;—yn lle adeiladu cestyll, na gwarchgloddiau i wrthsefyll na dial ar fyddinoedd gelynion, hwy a ymroënt i adeiladu ac adgyweirio temlau eu Duw, ac athrofeydd eu dysgedigion.

Cyn ein hundeb â Lloegr, gorchwylion ein cyn-deidiau oedd ymgasglu ac ymfyddino yn lluoedd i faes y frwydr; eithr yn awr eu difyrwch yw rhodio ym mhlith eu diadelloedd, a chasglu ynghyd dyciannus gnydau eu tiroedd, nes lleawi eu celloedd â digonedd, a hulio eu byrddau â danteithion. Gynt, sŵn yr udgyrn yn bloeddio i'r frwydr a glywid trwy holl froydd ein gwlad; eithr bellach melusgeingciau y delyn a glywir yn seino yn ein palasau, ac ar ein haelwydydd. Gynt, cenfigen a dryg-dyb a lenwai fynwesau y trigolion; ond yn awr, heddwch a chyfeillach sydd yn teyrnasu yn ein plith, a thangnefedd o fewn ein holl ragfuriau.

Yn flaenorol i'r undeb, ni cheid hamdden i addoli Duw; twyll a derbyn wyneb a geid yn ein llysoedd, ac anghytundeb yn ein trigfanau: ond yn awr ceir trefnusrwydd yn ein haddoldai, cyfiawnder yn ein brawdlecedd, a chydfod yn ein hanneddau.

Gynt ni fedrai Cymro eistedd wrth ochr Sais, heb feddwl am dwyll y cyllill hirion, ac heb daflu golwg eiddigus at ei lawes, rhag ofn fod cyllell yno i'w fradychu. Ond yn awr symudwyd y meddyliau drwgdybus hyn; fe geir help llaw, cyngor pen, a chyfeillach mynwesol y Saeson, i gario achosion ac amcanion y Cymry i ben, i'w llwyr foddlondeb. Dyma, meddaf, rai o'r ... aionus bethau a ddeilliodd oddiwrth "Undeb Cymru â Lloegr."

Cyn i'r undeb yma gymmeryd lle, caethiwid awenau ein Beirdd, llosgid llyfrau ein dysgedigion, a gwaherddid ein Heisteddfodau; ond yn awr, noddir llëenyddiaeth y genedl, cefnogir athrylith awenyddol ein hieuengctid, a choronir ein Heisteddfodau â phresennoldeb pendefigion ein gwlad.

Yn yr olwg ar y fath Gyfarfodydd, cynwysedig o gymmaint dysg, bonedd, a dawn, byddaf yn barod i floeddio, yn ngeiriau yr enwog Fardd, Gronwy Owain:

Llwydd i chwi, eurweilch, llaw Ddaw i'ch arwedd,
Dilyth eginau, da lwythau Gwynedd;
I yrddweis deheu urddas a dyhedd,
Rhad a erfyniwn i'r hydrwiw fonedd,
Bro'ch tadau, a bri'ch tudwedd,——a harddoch,
Y mae, wŷr, ynoch emmau o rinwedd."

Yn fyr, ar ol i'r Cymry gael eu huno â'r Saeson, yn raddol fe wareiddiwyd eu tymherau—fe ddaeth y genedl, a gyfrifid hyd yn hyn yn ffyrnig-wyllt, ac yn farbaraidd, i fod yn llariaidd, yn foneddigaidd, ac yn foesgarawl; yn lle bod yn anwybodus, ac yn ddiddysg, i fod yn gelfyddgar, ac yn ddysgedig; yn lle bod yn baganllyd a chyfareddol, i fod yn grefyddol eu syniadau, ac yn fucheddol eu bywydau.

Ië, meddaf, gellir hòni, ar seiliau cedyrn, fod y Cymry yn awr mor enwog am eu celfyddgarwch, eu dysg, a'u duwioldeb, ag ydyw un genedl dan haul. Pwy yn fwy ymroddgar i'w Duw? pwy yn fwy ffyddlawn i'w brenin? pwy yn fwy cydweithas i'w cyd-ddeiliaid, ac i'w gilydd? pwy yn fwy hynaws at estroniaid? pwy yn fwy plygedig i'w huchafiaid? a phwy yn fwy elusengar tu ag at drueiniaid?

Ym mha dalaeth o'r llywodraeth y mae llai o derfysgiadau yn tòri allan? Ym mha garcharau y mae cyn lleied o ddrwgweithredwyr? Ym mha ardaloedd y mae mor ychydig nifer o anffyddwyr (*infidels*)? A pha genedl dan y nef ddiedwyddach yn ei sefyllfa, lionocach ei breintiau, ac mor anwyl o honynt; diben ac ymffrost penaf trigolion Cymru ydyw, pa fodd i barchu eu brenin fwyaf, ac i addoli eu Duw boraf.

Mewn gair, pa ragorfreintiau a manteision bynag sydd yn perthyn i Loegr, y mae Cymru yn cyfranogi yn gydradd o honynt oll: yn ei llonyddwch hi y mae ein llonyddwch ninnau, a'i nerth hi yw ein cryfder ninnau. Nid oes un perl yn nghoron brenin Lloegr nad ydyw yn ddyledswydd arnom ei amddiffyn; a than ei nawdd a'i chysgod hi yr ydym ni yn ddiogel; ie, y mae'r dyn distadlaf ym mhlith ein bryniau yn cael ei amddiffyn, a gofalu am dano, gan ein cyfreithiau gwladol, mor ddichlynaidd ag un pendefig yn y brif ddinas. A chan ein bod yn cael cydgyfranogi â'r Saeson yn eu rhagorfreintiau, yr ydym yn foddlawn i gyd ufuddhau â hwynt yn ein dyledswyddau; gan ein bod yn cael ein rhan o'u bendithion, dylem wneuthur ein rhan tu ag at ddwyn eu beichiau.

Felly yr ydym wedi ein cyssylltu â hwynt, nid yn unig trwy rwymau gwladwriaethol, eithr hefyd trwy rwymau cymdeithas a brawdgarwch. Gan hyny, yn gymmaint a bod "Undeb Cymru â Lloegr" mor gadarn a dedwydd, "a'r lles a ddilynodd" yn achlysur i ddwyn cynnifer o gysuron i'r ddwyblaid, dywedwn o eigion mynwes ddifalais, a chalon ddiweniaith, Bydded i'r undeb hwn barhau, heb na bwlch na therfyn, tra bo copa yr Eryri yn binacl y Dywysogaeth, ac afon Dafwys yn llifeirio drwy Gaerludd.

LLEWELYN.

ATEBIAD I LYTHYR BARRAS, YNGHYLCH DIFFYGION Y GWYLIEDYDD.

MR. GWYLIEDYDD,—Pan eich gwelais wedi eich gwysio i sefyll ger bron gorsedd "*Barras*," ac yno yn fud, heb gyfleusdra i ateb drosoch eich hunan, rhaid i mi addef ddarfod i deimladau cymmysg o eiddigedd a syndod fy ngorddiwes yn y fan; eiddigedd, wrth weled pen mor oedranus yn y fath sefyllfa; a syndod, wrth glywed desgrifiad *Barras* o iselder sefyllfa fy nghyd-genedl. Heb chwanegu dim sylwadau, gadewch i ni droi ein hystyriaeth at sylwedd rhai o holiadau *Barras*.

"A ddarfu i chwi," ebe y gwr eofn, "ddatgan y diffyg o ddysgeidiaeth sydd yn Nghymru, a'r mawr angenrheidrwydd sydd am ychwaneg o ysgolion yn ein plith," &c. &c. Ni chymmeraf arnaf y gorchwyl o egluro beth a ddarfu i chwi ddangos, na pha beth ni ddarfu i chwi ddangos; ond os rhoddwch i mi genad, mi a'ch cynnysgaeddaf â rhai sylwadau ar gyflwr dysgeidiaeth yn Nghymru.

Galarus yw sylwi nad oes un gwirionedd mwy amlwg na bod dysgeidiaeth ym mhlith ein cydgenedl mewn cyflwr tra isel. Ymddengys y gwirionedd o hyn ym mychander rhifedi dynion o ddim enwogrwydd yn ein plith, yn nhlodi, trueni, ac anwybodaeth yr iraddolion, ynghyd â'r teimladau cyffredinol perthynol i ni fel cenedl. Ac oni bai y cefnogaeth a dderbynia oddiwrth yr Eglwys Sefydledig, nid gormod, fe allai, yw dweud y buasai anwybodaeth barbaraidd, er's talm, wedi ail ymaflyd ynom. Yn y dyddiau hyn o anesmwythdra, onid ydyw y rhinwedd hwn, pe na byddai yr eglwys yn meddiannu yr un arall, yn galw am i'w chyfeillion ymrestru oddeutu ei muriau? Edrychwch, dros fynyd, ar bleidiau crefyddol ereill yn Nghymru; a ddarfu iddynt hwy ymdrechu sefydlu ysgolion i ddysgu plant y werinos? Onid ydyw hyd yn nod eu gweinidogion, a'u cymmeryd fel corph o bobl, yn ddynion cwbl ymddifad o ddysgeidiaeth? Pell ydyw oddi wrthyf wneuthur un ymosodiad ar y dynion hyn; ond fel aelod o'r wladwriaeth, rhaid i mi ymhòni hawl i sylwi, fod yn eu siampl hwy yn hyn duedd, hyd y cyrhaeddo, i gadw y wlad mewn cyflwr o anwybodaeth. Ac oni raid golygu fod gradd o anghyssondeb yn y Gweinidogion hyny, pa un bynag a fyddont ai oddi fewn i ragfuriau yr Eglwys Sefydledig, neu oddi allan iddynt, y rhai na byddo ynddynt ofal dyladwy am lwyddiant a dedwyddwch tymhorol eu cyd-genedl. Onid mewn pethau tymhorol, gan mwyaf, y canfyddir ffrwyth y saint yn amlhau erbyn eu cyfrif hwynt. A dybir, gan hyny, yn ormod hyfdra ynof eu hannog, yn ngeiriau cyssegredig St. Paul, i "feddwl am ba bethau bynag sy hawddgar, pa bethau bynag sy ganmoladwy; od oes dim rhinwedd, od oes dim clod, ac od oes unrhyw beth a olygir yn dda a buddiol i ddynion." Cefnoger dysgeidiaeth gan y rhai, o herwydd eu proffes a'u swydd, y perthyn iddynt wneuthur, os nid trwy gyfraniad o eiddo, gwneler hyny o leiaf drwy esampl. Nid oes un gwirionedd mwy diymwad na bod dynion sanctaidd, wedi derbyn arnynt argraff dysgeidiaeth, yn un o'r bendithion mwyaf pwysig mewn gwlad.

Gwedi dweud cymmaint a hyn, caiff ein sylwadau eu cyfyngu i'r tri phwngc canlynol:—

I. MANTEISION DYSGEIDIAETH I'R WERINOS.

II. Y PETHAU SYDD YN ATTAL IDDI GYNNYDDU.

III. Y MODDION A DDYLID DDEFNYDDIO TU AG AT GAEL ADDYSG YN FWY CYFFREDINOL.

1. *Manteision dysgeidiaeth i'r werinos.* Mae manteision addysg yn

yr ieithoedd a elwir yr ieithoedd dysgedig, Groeg a Lladin, yn lluosog a phwysig; ond ni sylwir yn bresennol ar y rhai hyn, oddigerth ar un, a hòno nis gellir ei golygu fel yn tarddu mewn modd uniongyrchol oddiar y rhan hon o ddysgeidiaeth. Fe rydd y gangen yma o ddysgeidiaeth, mewn modd anghyfeiriol, symudiad cyffredinol i'r meddwl, y cyfryw ag a ddwg y dyn allan o anialwch ei fyd bach cyfyng ei hun i ardaloedd byd eang o gread enwogion yr oesoedd boreuol. Bydd y symudiad hwn ar ei feddwl yn gyfryw nas gall gael o un man arall. Effeithia arno fel ag i lefaru yn foneddigaidd, ac i lefaru mewn modd cyfatebol i hyny. Ond gan na fwriedir gwneuthur sylwadau ar hyn, dychwelwn yn uniongyrchol at y rhanau ereill o ddysgeidiaeth, sef y Gwybodau (*Sciences*) a'r Celfyddydau. Rhenid hwy gan yr hynafiaid i saith ben, y rhai a elwid ganddynt hwy y Saith Gelfyddyd Freiniol; hyny yw, Gramadeg, Rhesymeg, Areithyddiaeth, Rhifyddiaeth, Cerddoriaeth, Daear-fesuriaeth, a Seryddiaeth; ond, yn bresennol, rhenir hwy, a hyny gyda llawer mwy o briodoldeb, yn dair dosparth. Y gwybodau hyny ag sydd yn dwyn perthynas â rhif a mesur yw y dosparth cyntaf; y rhai sydd yn dwyn perthynas â defnyddiau *(matter)* yw yr ail; y rhai sydd yn dwyn perthynas â meddwl yw y trydydd.

Y dosparth cyntaf a gynnwys Rifyddeg cyffredin, Alsawdd, a Daear-fesuriaeth *(Geometry)*.

Yr ail a elwir Anianddysg. Hon a ddysga natur, a chynneddfau, a defnyddiau *(matter)* ynghyd â'u symudiadau, perthynas y naill â'r llall, a'u rheolaeth ar eu gilydd. Un rhan o anianddysg a olrheinia symudiadau pob defnydd teimladwy; yr hon hefyd a ddosperthir i amrywiol ranau, a phob un yn cynnwys gwybodaeth o fawr bwys. Rhan arall o anianddysg a olrheinia gyfansoddiad ac anian pob defnydd. Gelwir y rhan hon weithiau yn Fferylliaeth, Difyniaeth, Difyniaeth Cymbariaethol, Meddygiaeth, Mildraeth, Llysieuaeth, a Mŵnyddiaeth, yn ol gwahanol wrthddrychau yr olrheiniadau.

Y trydydd dosparth a gynnwys addysg ynghylch cynneddfau y meddwl, galluoedd dealldwriaethol dyn; hyny ydyw, galluoedd ei feddwl, trwy y rhai y mae yn canfod, dychymmygu, cofio, ac ymresymu. Yma y daw i mewn egwyddorion sylfaenol gwybodaeth ddynol, arwyddion y meddwl, gramadeg, rhesymeg, rheitheg, tystiolaeth, a chred, &c. Ac hefyd cynneddfau moesol meddwl dyn, sef ei deimladau a'i nwydau, y rhai sydd yn ei lywodraethu. Ac yn olaf, y casgliad a dynir oddiwrth y cyfan; ei ddyledswydd tu ag ato ei hun, ei berthynasau, a'i wlad. Yr olaf a elwir Gwybodaeth Lywodraethol; yr hon a ddengys ansawdd llywodraethau, llywyddiaeth gwlad, a chyfreithiau yn gyffredinol.

Gwedi rhoi byr grybwylliad am yr hyn a feddylir wrth ddysgeidiaeth, ni a awn ym mlaen i ddangos y manteision a dardd oddi wrthi i'r werinos. Yn lle eich cynnysgaeddu â syniadau o'm heiddo fy hun, gofynaf genad i osod ger eich bron rai golygiadau, a ddywedir eu hysgrifenu gan Arglwydd Brougham, Canghellydd Prydain Fawr, ar y pen hwn.

Dywed y gwr dysgedig, "Gwrthddrych blaenaf pob dyn, yr hwn sy ganddo i ymddiried ar ei ymegniadau ei hun, yw darparu ar gyfer ei eisieu beunyddiol. Y mae hyn yn swydd uchel a phwysig. Y mae yn teilyngu ei sylw eithaf. Y mae yn cynnwys ynddi rai o'i ddyledswyddau mwyaf pwysig tu ag ato ei hun, ei berthynasau, a'i wlad. Ac, er wrth gyflawni y swydd, nad yw yn cael ei gynhyrfu ond gan ei

elw ei hun, neu ei angenion ei hun, er hyny y mae 'n un ag sydd yn ei wneud yn wirioneddol y cymmwynaswr goreu o'r wladwriaeth y mae yn perthyn iddi. Rhaid i bob galwedigaeth arall roi lle i hon. Yr oriau a rydd efe at ddysgeidiaeth raid fod ar ol iddo orphen ei waith. Ei anymddibyniaeth, heb yr hwn nid yw yn deilwng o gael ei alw yn ddyn, a eilw arno, o flaen pob dim, i sicrhau iddo ei hun, a'r rhai a ymddibynant arno, gynnaliaeth gysurus, cyn y caiff efe hawl i brofi unrhyw foethau, naill ai o'i deimladau neu o'i feddwl. A pha fwyaf a ddysg efe; pa fwyaf o gynnydd a wna efe yn y gwybodau, mwyaf fydd iddo werthfawrogi yr anymddibyniaeth hwnw, a mwyaf fydd iddo brisio y diwydrwydd, a'r llafur parhaus, trwy yr hyn y sicrheir bendith mor arbenig. Mewn un golygiad, y mae 'n wir, fe eill y cynnydd a wna dyn mewn gwybodaeth ei gynnorthwyo yn ei orchwyl beunyddiol. Nid oes braidd na chrefft na galwad yn yr hon na ellir cael gwersi defnyddiol wrth astudio y naill wybodaeth neu y llall. Yr angenrheidrwydd o ddysgeidiaeth yn y Gwybodau i'r galwadau boneddigaidd sydd amlwg; ond nid llai amlwg yw ei buddioldeb i'r galwedigaethau ereill. I ba sawl math o weithwyr y mae gwybodaeth o'r rhan hono o anianddysg a olrheinia symudiadau defnyddiau yn fuddiol? I ba sawl math arall y mae Fferylliaeth yn ddefnyddiol, ai o'r braidd yn llwyr angenrheidiol? Rhaid i bob dyn, gyda hanner llygad, ganfod fod y gwybodau hyny yn ddefnyddiol, os nad yn llwyr angenrheidiol, i fagnelyddion, orddrych-wneuthurwyr, peiriant-wneuthurwyr, lliw-wyr, a chànwyr. Ond, yn ddiammeu, rhaid y bydd seiri coed, a seiri maen, yn debycach o wneuthur eu gwaith yn well o herwydd gwybod pa sut i fesur, yr hyn a ddysga rhifyddiaeth iddynt; a gwybod pa sut i gyfrif nerth coed, muriau, a bwäau, yr hyn a ddysga y rhan hono o anianddysg a elwir y llaw-gelfyddyd. Rhaid hefyd i'r rhai hyny fod yn fwy medrus yn eu gwaith ag sy'n gweithio ar yr amryw feteloedd, o herwydd eu bod yn gwybod natur y meteloedd hyny, a'r berthynas sy rhyngddynt â gwres, ac â meteloedd ereill, ac â'r awyr, a gwlybwr, y rhai a allant gyffwrdd â hwynt. Ië, hyd yn nod gwas i amaethydd, neu weithiwr wrth y dydd, pa un bynag fyddo ai yn ngwasanaeth ei feistr, neu edrych dros achosion ei fwthyn bychan ei hun, a dderbyn lawer iawn o fuddioldeb. Rhaid y bydd yn well gwas, a mwy cynnil a medrus, am hyny yn fwy cysurus yn ei fwthyn; o herwydd ei fod yn gwybod natur daear, a thail, yr hyn a ddysga Fferylliaeth iddo; a rhywbeth o arferion anifeiliaid, a chynneddfau a thyfiant llysiau, a phlanhigion, yr hyn a ddysg hanesyddiaeth anian a Fferylliaeth ynghyd. Mewn gwirionedd, er na byddo dyn na llaw-gelfyddwr na thriniwr tir, ond yn un a chanddo grochan i'w ferwi, y mae 'n sicr o ddysgu oddiwrth wybodiad wersi y rhai a'u cynnorthwya i drin ei dammaid bwyd yn well, i gynnilo ei danwydd, ac i amrywio ei ddysglaid bwyd, a'i gwneud yn fwy blasus."

Rhag i mi, Barchedig Syr, eich syfrdanu yn ormodol ar ddiffygion fy nghyd-genedl, gwell fe allai fydd rhoi heibio y tro hwn, o herwydd da y gwn mai

"Hir ac anghynes yw stori'r anghenog."

SYLWIEDYDD.

---

DYFODIAD PRYDLON I'R EGLWYS.

GAN fod, yn y dyddiau hyn, arferiad ddrwg a gwaradwyddus o gyrchu i addoliad cyhoedd ym mhell wedi dechreu y Gwasanaeth, nid anfuddiol fyddai adrodd y chwedl fer a ganlyn, fel sèn i ddynion sydd, Sabbath ar ol Sabbath, yn gwneuthur arferiad o ddyfod i dŷ Dduw yn ddiw-

eddar, pan nad oes yr un rhwystr ar eu ffordd fod yno yn brydlon cyn dechreu yr addoliad.

Un cymmydog a ofynodd i'r llall, ryw amser yn ol, "Paham yr ydych mor ofalus i ddyfod mor gynnar i'r Eglwys bob Sul?" "Wel," ebai y llall, "o barch i Dduw yn benaf. Ni fynwn, er dim, fod Duw yn disgwyl wrth bryfyn gwael fel myfi; gweddeiddiach i mi ddisgwyl wrtho ef. 2. O barch i'r Gweinidog, ac er cynnal ei freichiau. 3. O barch i mi fy hun, rhag i mi golli y fendith a fwriadai yr Arglwydd ei roddi i mi, ond odid yn nechreu y Gwasanaeth. 4. O barch i'm cydaddolwyr; canys un rhan o'm crefydd i ydyw peidio rhwystro crefydd dynion ereill; yr hyn y mae'r dyfodwyr diweddar yn ei wneuthur, trwy dynu eu llygaid a'u sylw arnynt ar ganol yr addoliad."

---

## CHWEDL

### *AM YR ARCHESGOB USHER.*

Mr. Gwyliedydd,—Gan dybied eich bod yn barod i roddi lle yn eich Cylchgrawn defnyddiol i hanesion difyr am ddynion enwog, fe'm hannogir i ddanfon i chwi hanes yr amgylchiad canlynol, yr hwn a ddigwyddodd i'r Archesgob Usher. Nis gallaf gofio yn awr ym mha le y cefais yr hanes, ond os bernwch yr haedda gael ei gyhoeddi, chwi a roddwch iddo le mewn rhyw gongl yn un o'ch Rhifynau dyfodol.

Pan ddechreuodd y Pabyddion wneuthur galanastra ar y Protestaniaid yn yr Iwerddon, yn amser y rhyfel cartrefol yn Lloegr (1640) yr oedd yr Archesgob Usher mewn cymmaint perygl am ei fywyd fel y darfu i'w gyfeillion ei gynghori i ddiangc i Loegr. Gwnaeth hyn mewn agwedd wael iawn; a chan mai dichonadwy oedd y ceid ef allan gan y llofruddwyr pe dangosasai efe ormod o arian, yr oedd ei logellau yn ymddangos cyn waeled a'r rhanau ereill o'i ddillad. Yn y cyflwr truenus yma, ar ol ei ddyfodiad mewn diogelwch i Loegr, efe a aeth at offeiriad parchedig i ofyn cynnorthwy yn ei gyfyngder presennol. Dywedir mai gwaeled oedd ei wedd ag y darfu i'r offeiriad ddrwg-dybied am dano mai twyllwr oedd, ac hefyd ei fod mor anwybodus ag oedd ei weledíad yn wael. Gan feddwl hyn, gofynodd iddo, "Pa nifer o orchymynion oedd?" Atebodd y cardotyn, "Un-ar-ddeg." Credai yr offeiriad mai mewn anwybodaeth yr atebasai, a gofynodd iddo, "Pa beth oedd yr unfed-ar-ddeg?" Meddai yr Archesgob, "Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch eich gilydd." Teimlodd yr offeiriad y cerydd tyner hwn, a gwahoddodd ef yn y modd tirionaf i ddyfod i mewn. Ar foreu dydd Sul dywedodd yr Archesgob wrth ei gymmwynaswr, y gwnai efe bregethu ar ol y prydnawnol wasanaeth, os hyny a ryngai fodd iddo ef. Hysbyswyd iddo gan yr offeiriad, yr hwn oedd etto yn ei olygu megys cyn waeled yn ei ddealltwriaeth ag yn ei agwedd bersonol, bod nifer o blwyfolion deallus iawn yn arferol o gyrchu i'r gwasanaeth. Addawodd yr Archesgob na ddygai ddim gwaradwydd ar ei swydd. Pan ddaethant allan o'r Eglwys diolchodd yr offeiriad i'r pregethwr am un o'r pregethau goreu a glywsai efe erioed. Dywedodd hefyd, nad oedd, wrth yr hanesion a dderbyniasai, ond un dyn, yn yr Iwerddon, sef yr Archesgob Usher, yr hwn a allai bregethu cystal. Diolchodd yr Archesgob iddo am yr anrhydedd a roddasai iddo; a chan estyn ei law, hysbysodd iddo, mai efe ei hun oedd yr Archesgob hwnw. Gan mai lled gyfoethog y cyfrifid ei gymmwynaswr, naturiol yw i ni feddwl i'r Archesgob fod yn harddach ei ddillad a'i weledíad pan ymadawodd âg ef, na phan ddaethai gyntaf i'w dŷ.

Gwenynen.

---

### *Ymdaith y Parch. Mr. Lieder yn yr Aipht Isaf, yn 1829.*

(Parhad o dû dalen 183.)

Rossetta. *Awst* 27. Heno cyrhaeddais *Rossetta*. Y fraich orllewinol hon sydd yn llawer lletach na'r fraich ddwyreiniol; eithr glenydd y ddiweddaf ydynt yn uwch, ac yn fwy prydferth. Ar fy nhaith o gongl ddeheu y *Delta* hyd yma, gofwyais y trefydd a'r pentrefydd canlynol, lle y preswyliai Cristionogion. 1 *Menoul*, yn gorwedd ddwy awr a chwarter i'r tir; gynt yn Esgobaeth Gophtaidd, ac a gynnwysai lawer o Gristionogion. 2. *Negileh*, pentref yn cynnwys wyth o deuluoedd Cristionogol. 3. *Kafr Zayed*, yn cynnwys chwech. 4. *Bisaker*, yn cynnwys ugain, un Eglwys, ac un Offeiriad. 5. *Thubrakied*, chwech o deuluoedd. 6. *Rhamanieh*. 7. *Desook*, wyth teulu. 8. *Fua*, nis gallwn gael nifer y Cristionogion, ond nid ydynt yn lluosog. 9. *Metaubit*, lle nid oes ond dau deulu Cristionogol. Arosais ychydig ym mhob un o'r lleoedd uchod, fel yr oedd amgylchiadau yn gofyn.

*Awst* 29. Dinas ardderchog *Rossetta* a gollodd ei gwychder cyntefig, pan agorwyd y camlas o'r tu isaf i *Fua* tu ag at *Alexandria*, a'r torfeydd o drigolion oeddynt yma gynt ydynt wedi llwyr ddifianu. Cyn gynted ag y cyrhaeddais yno, daeth dyn i'm cyfarfod yn dal wyth neu ddeg o allweddau yn ei ddwylaw, a chynnygiodd i mi un o honynt. Llawer o'r anneddau

ydynt yn adfeiliedig; yn unig oblegid na thybient hwynt yn werth eu hadgyweirio. Nid oes yma ddim o'r bron i Genhadydd wneuthur. O'r holl Goptiaid a sylwyd am danynt gan Mr. Jowett, yn ei Olrheiniadau yn Môr y Canoldir, tu dalen 106, nid oes ond pump o deuluoedd yma yn awr. Y mae ganddynt un Eglwys, un Offeiriad, a dwy Ysgol druenus. Yn un o honynt mae pump o fechgyn dan ofal *Arif* dall. Saith o deuluoedd a berthynant i'r Eglwys Roegaidd a breswyliant yma. Eu gorchwyl ydyw adeiladu llongau bychain. Ychydig o honynt a fedrant ddarllen. Mae ynghylch 50 o Babyddion, a chanddynt un Eglwys. Ni ellais werthu un *copi* o'r Ysgrythyrau; ac ni welais neb ychwaith a allaswn ei anrhegu âg un. Eu dideimladrwydd ysprydol oedd ddychrynllyd. Rhoddaf enghraifft o hyn. Anfonais fy ngwas i'r Cynghorwr Yspaenaidd gyda Bibl Ffrengig ac Italaidd. Cymmerodd y Cynghorydd ef yn ei law, a gofynodd ei bris. Atebodd y gwas mai *dollar* a ofynai ei feistr gan y cyfoethog, ond i'r tlodion deg *piastres* oedd ei bris. "Pa fodd," eb efe, "y meiddia eich meistr ofyn cymmaint am y fath Lyfr ag a brynodd efe yn Lloegr am bymtheg *paras?*" ynghylch y drydedd ran o *biastres*. Atebai y gwas, "Y Llyfr sanctaidd hwn a berthyn i'r sawl sydd yn ofni Duw; ac os nad ydych chwi yn ofni Duw, nid yw y Llyfr hwn i chwi."

Camlas Alexandria. Hwyliasom tua nawn heddyw i Gamlas Alexandria, yn nghyffiniau *Damanhour*, tref lled fawr, oddeutu dwy awr i'r Diffaethwch, ar Gamlas *Rahmanieh*, ag sydd yn arwain i Alexandria. Yr oedd yno gynt lawer o fanach. Gan fy mod yn anhysbys a oedd yno Gristionogion, a'r dydd yn dra gwresog, anfonais fy ngwas, ac un o'r morwyr, â nifer o'r Ysgrythyrau a Thraethodau, gan arfaethu myned yno fy hunan boreu dranoeth, os byddai yno Gristionogion, an yn dewis fy ngweled. Dychwelasant, a mynegasant nad oedd yno ond wyth neu ddeg o deuluoedd Cristionogol; a bod dau Gristion wedi prynu y Salmau yn y Goptaeg a'r Arabaeg, un Bibl, a dau Destament.

Alexandria. *Medi* 8. Neithiwr cyrhaeddasom Alexandria. Yr oedd yn rhy hwyr i fyned i'r ddinas y noswaith hôno, er bod arnaf hiraeth am dreulio noson mewn llonyddwch ar dir sych; eithr gorfu arnaf aros yn y bâd. Boreu dranoeth ymwelais â'm cyfeillion.

*Medi* 11. Bwriadwyf ymadael y foru, a dychwelyd yn union-gyrchol i *Cairo*. Tra yr arosais yn Alexandria, ymwelais beunydd â'r Ysgol a sefydlodd Mr. Mac Pherson yma; yr hon, oblegid ei ymadawiad ef, sydd yn awr megys yn amddifad. Cynnwysa lawer o fechgyn. Gan i mi ganfod ynddi angen mawr am lyfrau, anrhegais hi âg ugain o'r Actau, pum Bibl, a Thraethodau Arabaeg. Ymwelais ddwywaith â Monachdy y Coptiaid. Nid oes ynddo ond un Offeiriad, yr hwn sy Fynach, ac yn briod. Yr hen Offeiriad a adgofiodd Mr. Jowett, er iddo anghofio ei enw. Darluniodd ef i mi gyd â'r manylrwydd mwyaf. Mynegodd i mi ddarfod i Mr. Jowett ei anrhegu ef â Bibl. Ac os dymuna neb ei ddarllen, rhaid iddynt wneuthur hyny yn yr Eglwys; neu os goddefid iddynt ei gymmeryd adref, rhwym oeddynt i'w ddychwelyd cyn gynted ag y darfyddent âg ef. Anrhegais ef âg un arall at wasanaeth yr Eglwys, yr hwn a dderbyniodd efe yn dra diolchgar. Ymaflais yn fy Mibl; eisteddais yn y deml fach a gyssegrwyd i Mair, a darllenais gyfran o hono. Wedi hyny ymddiddanasom am ddwy awr ar byngciau crefyddol. Achwynai yr Offeiriaid yn dost yn erbyn y Cristionogion Coptaidd; a rhoddodd i mi yr hanes canlynol am danynt:—"Deg o deuluoedd a breswyliant yma yn sefydlog, ac a ddeuant yn wastad i'r Eglwys. Y maent oll yn dlodion, ac yn llafurio am eu cynnaliaeth; felly yn analluog i gyfranu dim at yr Eglwys na'r Offeiriad." Heblaw y rhai uchod, mae yma 30 o Goptiaid, y rhai ydynt, drwy yr wythnos, o'r boreu hyd yr hwyr, yn ngwasanaeth y *Pachs*; maent yn ysgrifenu yn y *Divans*. Treuliant y Suliau, naill ai yn y wlad, neu gartref yn gloddesta, ac yn dilyn difyrwch bydol. Fel hyn ni ofalant am eu heneidiau, na'u Heglwys, na'u Hoffeiriad. Darluniad cywir yn wir!

Dychweliad i Cairo. *Medi* 13. Pan hwyliasom yn agos i'r lan, gerllaw *Fua*, ar y ffordd i *Cairo*, daeth wyth neu ddeg o fechgyn yn gwaeddi am elusen; a chyn i mi allu taflu bara iddynt, gwaeddodd fy *Rais* (Cadben) *Allah jatik*, rhodded Duw i chwi, ac *Allah juayinak*, cynnorthwyed Duw chwi; arfer gyffredin yn yr Aipht pan rydd dyn beth. Ni sylwais erioed gymmaint ar yr arfer hon, pan ddygwyd i'm côf eiriau yr apostol Iago (*Pen.* 2. 15, 16.) Eglur yw, oddiwrth yr hanes uchod, mai ychydig o Lyfrau a werthais, am mai yn nghymdeithas y tlodion yr oeddwn fwyaf, a bod y cyfoethogion a ofalent am y llyfrau wedi cael eu diwallu eisoes. Y cyfan o'r arian am yr Ysgrythyrau yw 84 *dollars* a 4 *piastres*; am lyfrau ereill 7 *dollars* a 3 *piastres*, ynghyd â 38 *dollars* a 7 *piastres*, yr hyn sydd yn fwy nag a allwn ddisgwyl. Yr oedd yn ddiddanwch genyf allu cael cymmaint o'r llyfr rhagorol hwnw, "Esponiad Dammegion Iesu Grist," gan dybied y derbyniad hwynt yn

awyddus; ond gellwch ddirnad fy syndod a'm gofid wrth ganfod mai yn union yn y gwrthwyneb y digwyddodd hyn, bron ym mhob lle. Dychwelwyd y Llyfr hwn gyd â'r difaterwch mwyaf, tra yr oedd pawb yn ymgeisio am "Ferch y Llaethwr;" yr hwn, yn ddiau, sydd yn llyfr da, ond y mae y cyfieithiad mewn amryw fanau yn annealladwy; o herwydd hyn cyfrenais hwynt gyda gradd o betrusder, am fy mod yn ammeu a ddeallid ef yn berffaith gan y Coptiaid yn yr Aipht.

BULAK, *gerllaw Cairo.* Yn yr hwyr glaniais gerllaw *Bulak,* yn nghyffiniau *Cairo,* wedi cyflawni, trwy gymmorth Duw, daith arall, mewn llawer o anhyfryd-edd, yn tarddu yn benaf oddiar afiechyd fy nghorph. Yr wyf yn adolygu y daith hon gyda llawer llai o sirioldeb calon na fy nwy daith flaenorol. Etto, ni ddylem ddisgwyl ffrwyth cyn i'r hen dir diffaeth gael ei arloesi, ei aredig, ei blanu, a'i ddyfrhau, ac i'r Arglwydd roddi cynnydd. Ac megys mai ein gorchwyl ni yw arloesi, aredig, a phlanu, ie, gyd âg wylofain; felly rhynged bodd i'r Arglwydd roddi i ni, ei gydweithwyr truain, ras, nerth, eofndra parhaus, amynedd, a gobaith, hyd y cynhauaf gogoneddus mewn llawenydd.

*Cyf.* GWILYM EDWEN.

---

## ACHAU TEULU CEFN LLANFAIR, YN LLEYN.

*(Rhan o Lythyr Ieuan Lleyn at Gutyn Peris.)*

Y BARDD MWYN.—Yn y GWYLIEDYDD am Chwefror, 1831, tu dal. 52, gwelais Achau Teulu Cefn Llanfair, yn Lleyn, Swydd Gaerynarfon, wedi ei arwyddo, "*GUTYN;*" ynghyd â dymuniad i Evan Prichard chwilio ac amlygu pwy sydd o deulu Huw Lleyn yn fyw heddyw? a pha un ai epil ef ai ereill sydd yn meddu Cefn Llanfair a'r Wernfawr?

Yr hyn a ellais gasglu am y Teulu uchod sy fel y canlyn:—

Huw Huws o Gefn Llanfair (sef yr hwn a enwir gyntaf yn y rhestr a gyhoeddwyd yn y Gwyliedydd, tu dal. 52,) a genhedlodd Ferch, ei Etifeddes; a hi a briododd un Gryffydd Parri, o'r Rhydolion, yn Llangian, yn Lleyn; trwy hyny, daeth Gryffydd Parri yn feddiannydd ar Gefn Llanfair, Wernfawr, Penarth, a Rhydolion. Dywedir mai Swyddog oedd ef yn myddin Oliver Cromwel; a'i fod hefyd yn Bregethwr, am fod Areithfa yn sefyll yn Rhydolion hyd yn fy amser i, yr hwn a elwid "Pulpud Gryffydd Parri." Ond ni fedrais erioed wybod o ba dylwyth y deilliodd efe. Mab, tybygid, i'r Gryffydd Parri uchod oedd Love Parri, yr hwn oedd Sirydd Swydd Gaerynarfon yn y flwyddyn 1686; a'i fab ef oedd Love Parri, o'r Wernfawr, Sirydd Swydd Gaerynarfon, yn y flwyddyn 1722; a'i fab yntau, Love Parri, Sirydd am y flwyddyn 1762, yr hwn oedd yn preswylio fynychaf yn Mhenarth; a'i fam, a'i frawd Sion, yn byw yn y Wernfawr; yr hwn frawd a adwaenid trwy y wlad wrth yr enw, "y Counsellor Parri." Canlynodd ef T. A. Smith, Ysw. fel Aelod o'r Senedd dros Swydd Gaerynarfon, tu a'r flwyddyn 1780. Cafodd y Love Parri a soniwyd am dano ddiweddaf Etifeddiaeth Madryn gyd â'i wraig (yn ol yr wyf yn dybied) yr hon oedd o Lŷs Dulas ym Môn (os nad wyf yn camsynied) ac yn berthynas agosaf i'r gwrol cludfawr William Bodfel o Fadryn, Sirydd Swydd Gaerynarfon, 1719. Gadawodd Love Parri, o Benarth, ddwy ferch. Yr hynaf a briododd ei chefnder Tomas Parri Jones, Ysw. ail fab — Jones, Ysw. o'r Llwyn On, gerllaw Gwrecsam, a thrwy hyny daeth yn feddiannydd ar Gefn Llanfair, Penarth, Rhydolion, a Madryn Uchaf ac Isaf. Eu hetifedd yw Love Parri, Ysw. Milwriad (*Colonel*) Coleddwr Iaith, a Barddoniaeth ei genedl.

O Huw Lleyn mae I'n llonl——mal arwr,
Y Milwriad Parri,
Achles ein Iaith wech lwys ni,
Urdduniant ein Barddoni. IEUAN LLEYN.

Ail ferch Love Parri a briododd Wilym Llwyd Wardle, Ysw. o'r Heartsheath, yn Swydd Callestr; a chyda hi cafodd y Wernfawr a'i pherthynasau. Efe a barodd dynu i lawr y Wernfawr; ac a adeiladodd dŷ yn Llanbedrog, a elwir y "*Cottage,*" yn yr hwn y mae y Milwriad Parri yn bresennol.

Y Wernfawr, lle eirian fu,——pryseddfod,
Parhaus, addfwyn deuin;
Nes troi llym ddinystr, a llu
O'i fawyr, i'w adfaelu. IEUAN LLEYN.

Gadawodd yr Esgob Rowlands wyth swllt a deugain yn ei Ewyllys olaf i ofal mab Huw Lleyn y Bardd, Gryffydd Huws, Cefn Llanfair (yr hwn a alwai yn Gâr) tu ag at adeiladu Pont goed tros afon Rhyd Hir, er mwyn rhwyddhau ffordd i drigolion Lleyn i fyned i farchnad Pwllheli. Arwyddodd yr Esgob Rowlands ei Ewyllys y dydd cyntaf, a bu farw y pedwerydd o Gorphenaf, 1604. Dyma a ellais gael am epil y Bardd Huw Lleyn.

Wr swyddfawr, lle ei bryseddfod——anhawdd
I ni, heddyw, ganfod;
Yn wir ni welir o'i nôd
Ond llwyni dyllinnod.

Darn far fu'n darwain ei fŵg——o'i aelwyd,
A welir yn amlwg;
A ddewr gadwai eiddiorwg,
Fel drych o safn adfail drwg. IEUAN LLEYN.

GOFYNION.—A oes modd cael allan pa le yn Lleyn y ganwyd, ac o ba dylwyth

y deillodd William Lleyn y Bardd? Darllenais yn *Owen's Biography of British Authors*, grybwylliad am Feirdd o'r enwau Huw Trygarn a Robert Carreg. A oes dim o'u gwaith ar gael heddyw?

IEUAN LLEYN.

---

## YR ARWYDDAIR "*ICH DIEN.*"

MR. GWYLIEDYDD—Yn eich Rhifyn 98, tu dalen 175, creffais ar yr arwyddair EICH DYN, megys pe buasai "*Ich Dien*" (yr iawn arwyddair) yn Gymraeg loyw, ac nid yn iaith Allmanaeg, sef y *German*. Ond amlwg yw i bawb a wyr ddim am hanes, fod yr arwyddair "*Ich Dien*," o hynach hynafiaeth nag *Eich Dyn;* ac nad yw y Cymraeg ond cam-gyfieithiad, neu yn hytrach llysenw o "*Ich Dien*," yr hwn, o'i iawn gyfieithu, yw *Gwasanaethaf*, yn fwy llythyrenol, os oes modd, ac yn ol y Saesoneg, *I serve.* "*Ich*," rhagenw, yn cyfateb i *mi*, *myfi;* ac o'r un darddiad ag *I* yn Saesoneg. "*Dien*," rhangymmeriad o *dienen*, gwasanaethu, gweinyddu. *Diener*, gwas, gweinidog. *Diensam*, gwasanaethgar, llesol. Yr hanes sy fel y canlyn:—Yn y rhyfel rhwng Lloegr a Ffraingc, yn nheyrnasiad Iorwerth III. yr oedd ei fab, Tywysog Cymru, yr hwn a ennillodd glod nid bychan trwy ei ddewrder yn gyru byddinoedd y Ffrangcod i ffoi. Yn y rhyfel hwn yr oedd Brenin Bohemia wedi dyfod yn gynnorthwy i Philip, Brenin Ffraingc; ac er ei fod yn ddall, efe a fynai fod yn bresennol. Cafodd ei ladd yn y frwydr, â'i geffyl wedi ei rwymo rhwng dau o farch-filwyr. Dygwyd ei faner, yr hon a addurnwyd â phlu euraidd yr estrys, â'r geiriau "*Ich Dien*" arnynt, at Dywysog Cymru; ac o hyny allan, er coffadwriaeth o'r dydd hwnw, cymmerwyd tair pluen estrys i addurno coronig Tywysogion Cymru, ynghyd â'r un geiriau.——

BRUNO.

RHYDYCHAIN, *Gorph.* 1831.

---

## DETHOLION.

Y BARNYDD PLEIDGAR.—Amaethwr a ddaeth at Gyfreithiwr oedd yn gymmydog iddo, gan ddywedyd fod yn ddrwg ganddo oblegid damwain ydoedd newydd ddigwydd. "Y mae un o'ch ychain," meddai efe, "wedi cael ei gornio i farwolaeth gan darw o'r eiddof fi; a dymunaf wybod pa fodd y rhoddaf iawn i chwi am hyny?" "Yr ydwyt yn greadur tra gonest," atebai y Cyfreithiwr, "ac ni thybi yn afresymol i mi ofyn un o'th ychain di yn ei le." "Y mae hyny yn gyfiawn," ebai yr Amaethwr. "Ond beth a ddywedais? Yr wyf yn camgymmeryd. Eich tarw chwi a laddodd un o fy ychain i." "Ai è, yn wir," meddai Gwr y Gyfraith, "mae hyny yn cyfnewid y pwnc; rhaid i mi holi ynghylch y mater; ac os ——" "Ac os," atebai yr Amaethydd, "yr wyf yn gweled y penderfynasid y peth heb *os* yn y byd, pe buasech chwi mor barod i wneuthur cyfiawnder i ereill ag i'w ofyn oddi wrthynt."

MARWOLDEB.—Y mae hen gofrestr yn dodi yr enghraifft hon o fyrdra einioes dyn. O gant o bersonau, a anwyd ar yr un amser, nid oedd yn fyw

| | | |
|---|---|---|
| Yn niwedd | 6 blynedd, ond | 64 |
| ........ | 16 ............ | 46 |
| ........ | 26 ............ | 26 |
| ........ | 36 ............ | 16 |
| ........ | 46 ............ | 10 |
| ........ | 56 ............ | 6 |
| ........ | 66 ............ | 3 |
| ........ | 76 ............ | 1 |

CELLIEDYDD.

---

## ATEBIAD I OFYNIAD R. BROMLEY.

MR. GWYLIEDYDD.—Gwelais, ar glawr y Gwyliedydd am Ebrill diweddaf (Rhif. 96.) erfyniad o eiddo R. Bromley, o barth gwybodaeth diben cyfansoddiad "Englynion i Gôr Silin," a ymddangosasant yn Rhif. Mai, 1830. Gobeithio y rhydd yr hysbysrwydd canlynol iddo foddlonrwydd yn eu cylch.

Mawr oedd gwybodaeth a zel DEWI SILIN, yn a thros y Gwyddiant o Beroriaeth; yr hwn, neu yr hyn beth neu bethau, a'i cynhyrfai i annog y cantorion i neillduo noswaith yn yr wythnos i'r diben o ddysgu, a hyny gyda phob difrifwch, fel y gwnelid pob peth yn weddus ac mewn trefn. Da fyddai pe bai mwy o hyny yn bod ym mhlith Eglwyswyr ac Ymneillduwyr yn Nghymru. Yna y cytunasant i hyny fod bob Nos Iau; ac felly y bu; lle byddai

"Pob offer, pob côr, pob côd,
"Yn beraidd, pawb yn barod."

Ond yr oedd o'r cantorion *rai*, er eu ffyddlondeb, a'u cyssondeb yno, heb weled gwerth y fraint o gyduno â'r cantorion ar y Suliau, er eu bod i raddau yn hyfforddwyr ar bob Nos Iau; yr hyn a gynhyrfodd feddyliau yr awdwr i farddoni a chyfansoddi y cyfryw Englynion, i'r diben i'w hannog i ymuno â'r Cantorion i gydfoliannu yr Arglwydd ar y Suliau, fel na byddent yn unig,

"Bob Nos Iau â lleisiau llon,
"Iawn fâd, a'r Suliau 'n fudion."

Ydwyf, Mr. Gwyliedydd, yr eiddoch, yn ddiffuant,

TYST.

# BARDDONIAETH.

## COFION BARDDONOL.

### GOSTEG O ENGLYNION I HENAINT.

Yn iach, 'rwy'n afiach o nwyfiant——pechod,
  Buchedd o ddigofaint;
 Yn iach hyder breuder braint,
 Croes yw hyn, croesaw *Henaint*.

Yn iach fyd hyfryd hoywfraint,——awch nodawl,
  Yn iach neidio ceunaint;
 Yn iach ddisgwyl hwyl ddi haint,
 Cràs hanes croesaw *Henaint*.

Yn iach glêr syber fel saint,——a chyfedd,
  Yn iach ofwy ceraint;
 Yn iach gyrhaedd mawredd maint,
 Croesaniaeth croesaw *Henaint*.

Nid oes i gân oes nag enaint——gwerthfawr,
  Na gwyrthiau diffuaint,
 All nerthu neu hybu haint,
 Ddial hyn na ddel *Henaint*.

Ni ddichyn un dyn berchen daint,——cyngor,
  Nac angel uchelfraint;
 Na swyngyfaredd, na saint,
 Yn ddi hoen, na ddaw *Henaint*.

Yn ol ie'nctyd ffol heb na ffaint,——na briw,
  Yn ein bryd yn gywraint;
 Yn yr un modd er ein maint,
 Wedi hyn y daw *Henaint*.

O bob trymder ger ddigywraint——fuchedd,
  Afiachus ddigofaint;
 Trymaf gyd ddihyfryd haint,
 Tryma' hanes trwm *Henaint*.

Mae gwê blwm yn drwm o dramaint——pwysau,
  Ai possibl fydd ei chynnmaint?
 Trymach ac efryddach fraint,
 Y try tano traed *Henaint*.

Arglwydd cu arwydd cywraint,——*ordia* fi,
  Er dy fawr ddioddefaint;
 Yn barod fawr glod dda faint,
 Im' wahanu â'm *Henaint*.

I'th lŷs dwg fi ar frys aur fraint,——llawen dâl,
  Lle nid oes digofaint;
 Lle ni ddêl rhyfel na'r haint,
 Eiriol hyn ar ol *Henaint*.

Yno câf, seiniaf gyd â'th saint,——ganu
  Mewn digonedd cywraint;
 Gorphwys heb na phwys na ffaint,
 A chanu 'n iach i *Henaint*.

Dyna 'r dydd celfydd coelfaint,——hapuswych,
  Passia bob digofaint;
 Y câf dd'wedyd hoywfryd fraint,
 Ffril hynod *ffarwel Henaint*.

HUMPHREY DAFYDD AB EVAN *a'i Cânt*.

---

## CAETHIWED MWYALCHEN.

HENFFYCH byth i holl ednod gwych y coed,
Sydd yn cyd byngcio ar y glaswŷdd hardd,
Mewn bryn a dôl; ac yn cydeilio càn
Mal côr o bêr gerddorwyr gyd â'r dydd.
O! gwyn dy fyd Bronruddyn teg dy wawr,
A thithau 'r Dryw gyd â'th bereiddlais llon,
A phob edn bach a mawr, sy'n trigo 'n rhydd,
Yn ei hyfrydaidd wlad, a gweini hedd.
Mae pob aderyn bach y coed yn 'hedeg
Tros annoddyfn geunant, a sybwll blin;
A minau mewn caethiwed dwys a thrwm,
Bob dydd a nos, heb un hyfrydwch byth.
Mor hyfryd fydd yr ŵyn yn llamu ar
Y bryniau draw, ar hyd y goleu-ddydd;
Haul yn pelydru, a dingleirio 'n wych,
Uwch holl wagle, a phob rhyw glogwyn serth;
A'r creigiau diphwys yn adseinio llais
Y wiwbêr Eos ar y ceingciau gwyrdd,
Ar ddibyn ceunant mawr yn canu tôn
Holl Greadigaeth lon yn moli Duw,
Yn nghanol gwlad lle tyfa llysiau pêr,
A blodau hardd, a phob melysaidd ffrwyth.
Ac yntau yr Ehedydd cerddgar yn
Canu uwch dyffrynoedd a dolydd teg;
A minau mewn carchardŷ gorthrwm du,
Mewn gwlad estronawl iawn, ac anial le,
Mewn sŵn echryslon noeth, a myglyd dŷ,
Mewn gorthrymderau tost, a phoenau dwys,
Mewn anheddwch, ac annifyrol fan,
Mewn lle heb flodau hardd na llysiau pêr.
Mae yr holl flaendarddiau gwiw a'r llysiau teg?
O! nis gwelaf un, na blaguryn îr,
Na mânwydd gwyrddlâs gwychaidd wedd nid un,
Hawddammor it' fy ngwlad am byth! am byth!

EryR GLAN YSWALLT.

*Treffynon.*

---

## AMSER.

MAE gwyr dysgedig yn ddi ball
  Yn medru deall llawer;
Ond nid oes neb o'r rhai'n i gyd
  All wybod hyd ei *Amser*.

Yr Haul yn dod o'r dwyrain sydd,
  A rhedeg bydd ar fyrder;
Gan amgylchynu 'r ddaear faith,
  Ac ymaith yr â 'r *Amser*.

A buan redfa llong ar hynt,
  I'w helynt uwch y dyfnder,
Wrth gael ei gyru gan y gwynt,
  Ond cynt yw rhedfa 'r *Amser*.

Os cyflym try 'r planedau sydd
  Yn mröydd yr uchelder;
Nid ynt ond prin ddangosiad clir
  O gywir redfa 'r *Amser*.

Fel derfydd cwmwl o flaen gwynt,
  Mewn awel hynt yn dyner;
Ac fel diflanna 'r niwl ar fryn,
  Fel hyn y derfydd *Amser*.

A llawer tô o Adda 'n tad,
  Fu yma y'ngwlad gorthrymder;
Ond daliwyd hwy gan angau i gyd,
  A darfu hŷd eu *Hamser*.

A gwyr fu 'n ddychryn yn ddiau,
  I genedlaethau lawer;
Ond dygwyd hwy i'w diwedd caeth,
  A darfod wnaeth eu *Hamser*.

Chwychwi 'r rhai hyny sy'n byw 'n ffol,
  Ym mhob rhyw gnawdol bleser;
Ystyriwch oll a gwelwch hyn,
  Mai terfyn ddaw i'ch *Amser*.

Rhifedi mawr fel chwithau fu
  Yn caru 'r byd a'i fwynder;
Ond dygwyd hwy gan angau 'n gaeth,
  A diwedd ddaeth i'w *Hamser*.

Ystyried ddylem ni heb goll,
  A hyny oll ar fyrder;
Mai 'n diwedd sydd yn agoshau,
  A therfyn brau ein *Hamser*.

Ymroi i fuchedd sanctaidd ddawn,
Ac uniawn mewn cyfiawnder;
A ddylai bawb sydd heddyw 'n bod,
Cyn terfyn ddod i'w *Hamser.*

Trag'wyddoldeb sydd wrth law,
Yr hwn rydd fraw i lawer;
Ac angel ddaw o'r nef heb ludd,
A thwng na fydd dim *Amser.*

G. AB GWILYM PADARN.

---

## EMYN.

(*Cyfieithiad o'r Hymn, "All hail the great Immanuel's name," &c.*)

HENFFYCH i enw 'r Iesu gwiw,
Syrthied o'i flaen angylion Duw;
Rhowch iddo 'r parch holl dyrfa 'r nef,
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

Coronwch Ef ferthyron Duw,
Sy'n galw dan ei allor wiw;
Dyrchefwch flagur Jesse i'r nef,
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

Chwi bechaduriaid aml rai,
Sy'n teimlo 'n fynych bwys eich bai,
Gelwch ar Grist, fe wrendy 'ch llef,
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

Chwychwi a brynwyd trwy ei waed,
Plygwch yn isel wrth ei draed;
Fe'ch tynodd â thrugaredd gref,
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

Boed i bob llwyth a phob rhyw iaith,
Trwy holl derfynau 'r ddaear faith,
Gyd ganu 'n llawen iawn eu llef;
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef. J. R. G.

## BEDD-ARGRAFF.

### AR FEDDFAEN YN SWYDD ESSEX.

*"Gwasanaetha Dduw a bydd lawen."*

PERFFEITHRWYDD moesawl yr Enaid,
Rhinweddau rhesymol y meddwl,
Wedi y cyffyrddant â llaw anfoesawg marwolaeth,
A allant, ond odid, fel y prydnawnol flodeuyn
Gau am dro eu hammherffaith ymddangosiadau;
Ond dunos dywyllwch y bedd
A symuda 'n fuan;
Boreu yr adgyfodiad a ddyrchafa;
Yna y lledant eu pêr flodau
Dan dyner gymmesrwydd haulias mwy dysclaer.
Ac a flodeuant yn mwynhâd dydd tragywyddawl.

---

### ALLEIRIAD

*O Feddargraff Lladin Syr* THOS. PARKINS, *Awdwr Llyfr a elwir, "Y Gelfyddyd o Godymu."*

YNA gan *Amser* 'r hen BARKINS a dafiwyd,
Y codwm teg cyntaf erioed iddo roddwyd;
*Amser* nis gall'sai 'chwaith heb gymhorth *Angau,*
Ei yru fyth allan o wynt y mae 'n ddiau;
Pawb ereill a gwympodd, a'r ddau yna etto,
A drecha 'r un modd pan gyntaf cyfodo.

CYNWRIG.

### ARALL.

*Amser* gwympodd BARKINS enwog
I lawr yma, er mor fywiog;
A'r codwm cyntaf teg a gafodd
Ef erioed, er maint godymodd.
Ni allasai *Amser* yntau,
Ei yru o wynt heb gymhorth *Angau.*
Pob un arall ddarfu gwympo,
A'r un modd y gwna ef etto
I'r ddau hyn pan gyntaf codo.

AB HYGARVAEL.

---

## WHERE IS HE?

*"Man giveth up the ghost, and where is he?"*—JOB.

AND where is he? not by the side
Of her, whose wants he lov'd to tend;
Not o'er those valleys wand'ring wide,
Where, sweetly lost, he oft would wend:
That form belov'd he marks no more;
Those scenes admir'd no more shall see:
Those scenes are lovely as before,
And she is fair; but where is he?

No, no; the radiance is not dim,
That us'd to gild his fav'rite hill;
The pleasures that were dear to him,
Are dear to life, and nature still:
But, ah! his home is not as fair,
Neglected must his gardens be;
The lilies droop and wither there,
And seem to whisper—"Where is he?"

His was the pomp, the crowded hall,
But where is now the proud display?
His riches, honours, pleasures, all
Desire could frame; but where are they?
And he, as some tall rock that stands,
Protected by the circling sea,
Surrounded by admiring bands
Seem'd proudly strong, and where is he?

The Churchyard bears an added stone;
The fire side shews a vacant chair:
Here sadness dwells, and weeps alone,
And death displays his banner there:
The life is gone, the breath has fled,
And what has been no more shall be;
The wellknown form, the welcome tread,
O where are they, and where is he?

NEELE.

## PA LE Y MAE?

*"Dyn a drenga, a pha le y mae."*—JOB.

PA le y mae? Ow galar mawr!
Nid gyd â'r fûn a garai gynt;
Nac yn y dolydd gwych eu gwawr,
Lle rhodiai 'n aml ar serchawg hynt:
Ni wêl ef mwy mo'r werddlas waen,
Eilun ei serch, na'r wledig dref;
Teg yw y dyffryn fal o'r blaen,
A'r fûn mor hoff; ond p'le mae ef?

Yr un o hyd pob nant a bryn;
Y dysglaer haul oreura 'r gwlith;
Pob pleser sy mor hoff bryd hyn,
A phan chwareuai yn eu plith:
Ond, Ah! mor brudd ei lŷs a'i ardd;
Gwag ydyw serchlon lwybrau 'r cae;
Ymhola 'r blodau pêr a hardd,
A'u gwedd yn wyw—"Pa le y mae?"

Ei olud oedd yr hyfryd blas,
Lle ceflid pob llawenydd syw;
Ond p'le yn awr mae 'i wleddoedd bras,
Ei fri a'i wychder o bob rhyw?
Pob mwynder byd oedd yno i'w gael,
Y delyn bêr fal alaw nef,
A gwestwyr balch, mewn golud hael,
Pa le maent hwy? pa le mae ef?

Mae beddfaen newydd yn y Llan;
Yr aelwyd sydd â'i gwedd yn llwyd;
Prudd dristwch a breswylia 'r fan,
A baner Angau yno gwyd!
Yr einioes ballodd fydawl hoed,
A dystaw byth pob llawen lef;
Ni chlywir mwy hoff sŵn ei droed;
Pa le maent hwy? pa le mae ef?

*Cyf.* GWENFFRWD.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

HISPAEN.—Dywed llythyrau o Madrid fod y Brenin Ferdinand wedi penderfynu cynnorthwyo ei gymmydog a'i gâr, Don Miguel, â byddin o 25,000 o wyr, i wrthsefyll achwyniadau Ffraingc, Lloegr, neu unrhyw deyrnas neu lywodraeth arall a fyddo yn ceisio ei aflonyddu.

BELGIUM.—Cychwynodd y Tywysog Leopold, Brenin newydd Belgium, dydd Sadwrn, yr 16eg o Orphenaf, i gymmeryd meddiant o'i deyrnas. Dilynodd ei daith heb fawr o rwysg. Chwech o gerbydau a gynnwysai ei holl ddilynwyr, sef ei gynnorthwywr milwraidd *(aid-de-camp)* Syr H. Seton, y Câdflaenor Belliard, a'r pum Dirprwywr Belgiaidd, ynghyd â'i weinidogion teuluaidd. Cyrhaeddodd ei Fawrhydi i Galais oddeutu chwech o'r gloch yn y prydnawn, lle y derbyniwyd ef gan y Ffrangcod gyda phob arwyddion o barch a chroesaw, gan fod gorchymyn wedi cael ei ddanfon o Paris iddo gael ei dderbyn gyd â'r cyfryw barch dyledus i ben coronog mewn cynghrair a chyfeillach â Ffraingc. Ar ei daith trwy Ffraingc ymwelodd âg amryw drefydd; a dangosodd y trigolion, ym mhob man, barchedigaeth nid bychan iddo. Y mae y Tywysog ardderchog hwn yn awr yn 41 mlwydd oed.

POLAND.—Nid oes dim hanesion o bwys wedi cyrhaeddyd o'r wlad hon, er ein Rhifyn diweddaf. Y newyddion diweddaraf a welsom sy gynnwysedig mewn llythyrau o Warsaw, wedi eu dyddio y 7fed o Orphenaf. Ymddengys fod prysurdeb neillduol wedi bod, dros amrai ddyddiau cyn hyny, yn gwneuthur parotoadau i amddiffyn y ddinas hono; a bod y Câdflaenor Chrzanowski, yn ganlynol i hyn, wedi dyfod â 25 o fagnelau mawrion o Zamosc. Bernir fod y parotoadau hyn, a achlysurwyd o herwydd symudiad prif fyddin y Rwssiaid o Pultusk, a'u dynesiad tu a'r afon Vistula. Y mae 'r llywodraeth wladol wedi galw yn daer ar drigolion Poland i ymarfogi yn ddioed, gan eu hannog, trwy y rhesymau cadarnaf, i ddyfod ym mlaen i amddiffyn eu rhyddid a'u hiawnderau. Gellir disgwyl clywed yn fuan am dywalltiad llawer o waed yn y parthau hyn.

Dywed rhai Newyddiaduron fod cyweithas yn myned ym mlaen rhwng Brydain a Ffraingc; a bod y ddwy lywodraeth wedi ymrwymo i eiriol â Rwssia o blaid y Polandiaid. Dywedir hefyd fod y cyweithas hon wedi penderfynu arno er ys mis yn ol; ac er bod llawer o'i ammodau yn anhysbys, etto yr ydys yn deall fod i bob un o'r ddwy lywodraeth, ar ei phen ei hun, i ymddadleu, yn y lle cyntaf, yn y modd mwyaf cyfeillgar â'r Rwssiaid; ac os na lwyddant yn eu hymdrechiadau felly, y maent i'w rhwymo eu hunain â'r fath ammodau ag i roddi terfyn ar y rhyfel gwaedlyd hwn, ag a sicrha i'r Polandiaid eu bywydau a'u hiawnderau rhag llid yr Ymerawdwr Nicholas. Y mae cynnadledd yn awr ar droed, diweddiad yr hwn nis gall neb ddirnad etto; ond arno, y mae lle i feddwl, y mae heddwch Ewrop yn dibynu.

---

## NEWYDDION CARTREFOL.

IWERDDON.—*Pabyddiaeth.* Anaml y ceir profiad cadarnach o greulondeb a gormesiad yr Offeiriaid Pabaidd ag a gynnwysir yn y dyfyniad a ganlyn o bregeth a draddodwyd gan Offeiriad yn Ballina, ynghylch y cynnorthwy a roddir i'r newynog trwy law Protestaniaid.

"Clywsoch, fy nghyfeillion, am brophwydi gau. Gallaf gydmaru y pregethwyr hyn i brophwydi twyllodrus; a'u dichell i eiddo y sarph yn eich dwyn i brofedigaeth; hyny yw, drwy daflu eu habwyd o'ch blaen; drwy roddi ymborth a dysg i chwi yn rhad, gan obeithio eich darbwyllo i gredu eu hathrawiaethau uffernol, ac i anufuddhau gorchymynion Duw a'r Eglwys. Y maent yn rhoddi yr Ysgrythyrau yn eich dwylaw, o'r rhai yr ydych yn tynu *gwenwyn marwol;* ac yn rhoddi i chwi ymborth i'ch galluogi chwi i'w darllen hwynt. Ond parod fyddwch i ofyn, Paham na roddaf fi ymborth a dysg yn rhad? Atebaf, Ni ddylech chwi chwennych eiddo neb heb ei ennill. O'r dydd hwn allan ni wnaf unrhyw wasanaeth i chwi— ni eneiniaf, ni fedyddiaf, ni phriodaf, neb a anfono ei blant i'r ysgolion rhad hyn, neu a dderbynio bwys o ymborth ganddynt. Y mae 'r amser yn dyfod, pan yr alltudiwn ni y bobl felldigedig, y cythreuliaid hyn, o'r deyrnas hon i uffern."

Truenus yw meddwl fod y dynion, a ddylent osod esampl dda i'w praidd, yn blaenori mewn creulondeb ac annheimladrwydd, ac yn gommedd gweinyddu lluniaeth i'w cydgreaduriaid ag ydynt bron a newynu. Gwelir mai annoethineb mawr ydyw ymddiried yn ormodol i'r Offeiriaid Pabaidd i weinyddu cyfraniadau y Protestaniaid er diwallu angenrheidiau y tlodion yn y Chwaer Ynys. Y Cyfeisteddwyr yn Llundain, ac yn Dublin, a dybiant fod digon o arian wedi eu derbyn i gynnal yr angenogion nes y bydd y cloron yn addas i'w codi.

MAYO.—Tra yr oedd 14 o droliau yn llwythog â blawd ceirch, yn myned o Westport i'r parthau lle y ffyna y newyn, gyda 14 o filwyr a swyddogion heddwch, rhuthrodd tyrfa fawr o ddynion arnynt, ac anrheithiasant wyth o'r troliau. Y milwyr a ddanfonasant i'r dref am gynnorthwy, y rhai a ddaethant atynt hwy dan lywyddiaeth dau o Ynadon. Un o honynt a gyfarchodd yr anrheithwyr, y rhai a ymwasgarasant. Ar hyn y troliau a aethant ym mlaen; eithr cyn iddynt fyned ym mhell, rhuthrodd arnynt nifeiri lluosog o ddynion o'r bryniau cyfagos, yn gwaeddi eu bod hwy yn newynu. Ni wrandawent ar yr Ynad yn eu cynghori hwynt i ymwasgaru; ond taflasant gerig at y milwyr, ac ymdrechasant eu hamgylchu hwynt. Ar hyn yr Ynad a orchymynodd i'r milwyr saethu i'r awyr; eithr hyn a gynddeiriogodd y bobl, a gorfu ar y milwyr, er amddiffyn eu bywydau, saethu i'w plith. Lladdwyd un dyn a dwy ddynes, a chlwyfwyd llawer. Cadwyd rhaith ar y celaneddau, a chafwyd iddynt gael eu lladd drwy i'r milwyr eu saethu pan yr oeddynt yn myned âg ymborth i'r parthau newynllyd.

Y terfysgwyr yn Galway a gymhellasant Arglwydd Riveston i droi ei holl weision i ffwrdd. Dau ddyn arfog a ddilynasant ei fab ar y ffordd, yn y dydd, gyda bwriad i'w lofruddio ef.

Dywenydd genym hysbysu fod llawer o Offeiriaid yn Nghymru wedi gwneud casgliadau yn eu Heglwysydd i'r Gwyddelod newynog; ym mhlith y rhai hyn, canfyddwn fod y Parch. H. W. Jones, Gweinidog Llansantffraid, Trefaldwyn, wedi casglu uwchlaw £28, ar ol pregeth ragorol yn yr Eglwys, ar Sul, y 12fed o Mehefin. Rhaid i ni erfyn maddeuant y gwr Parchedig am aghofio hysbysu hyn yn ein Rhifyn diweddaf.

---

## LLOEGR.

---

### Robert Taylor, yr Anghredadyn.

DYGWYD y gwr hwn i sefyll ei brawf ger bron ROBERT HEDGER, Ysw. yn Sessiwn Chwarterol Surrey, yn nechreu Gorphenaf.

ROBERT TAYLOR a gyhuddwyd o draddodi araith neu bregeth gableddus, yn tueddu i wawdio a dirmygu yr Hollalluog Dduw.

*Mr. Thessiger* a deimlai dosturi mawr dros y cyhuddedig annedwydd. Erfyniai ar y Rheithwyr attal y fath athrawiaethau dinystriol rhag cael eu taenu ar hyd y wlad. Os oeddynt yn parchu eu crefydd, neu gyfreithiau eu gwlad, neu os teimlent ryw ofal am eu dedwyddwch yn y byd nesaf, dymunai arnynt ystyried effaith y cyfryw iaith [yna darllenodd ddyfyniadau o bregeth y cyhuddedig, y rhai ydynt yn rhy gableddus i'w gosod ger bron ein darllenwyr] a chyflawni eu dyledswydd tu ag at Dduw a'u gwlad, drwy gael y cyhuddedig yn euog.

*Mr. Joseph Stevens.* Ar ddydd Gwener y Groglith, Ebrill 1af, aethum i'r Rotunda yn Llundain oddeutu saith o'r gloch: telais chwe cheiniog am fyned i mewn. Yr adeilad oedd yn debyg i chwareudy, a lle yno i'r areithwyr sefyll. Yr oedd yno groes yn hongian uwch ben bwrdd, yr hon a osodwyd yno cyn iddynt gyfranogi o'r ordinhad: yr oedd yno ddysgl fechan yn cynnwys darnau o fara; math o gwppan, a chostrel; y cwbl yn orchuddiedig gan liain gwyn. Ym mhen enyd o amser daeth gwr ieuangc ym mlaen ar yr areithfwrdd, ac a ddarllenodd y 23ain, neu ran o'r 23ain, bennod o *Volney's Ruins of Empires.* Ysgrifenais yr hyn a ddarllenodd y llangc, yr hwn a roddodd hyny allan fel y Llith gyntaf am y Gwasanaeth Prydnawnol y diwrnod hwnw. Darllenodd am oddeutu hanner awr: wedi terfynu, ciliodd ymaith, a daeth y cyhuddedig ym mlaen yn ei le. Tybiaf ei fod wedi ei wisgo yn debyg i Archesgob Caergrawnt, sef â gwenwisg â llewys mawrion. Pan na byddai Mr. Taylor yn llefaru, byddai y gwrandawyr yn ymddifyru wrth fwyta *oranges* a chnau, a galw ar Mr. Taylor. Wedi dyfod y'mlaen, ymgrymodd deirgwaith o flaen y groes: dododd ei ddwylaw ar ei wyneb, ac ymddangosodd fel pe gweddïai. Yna darllenodd y testyn, gan adrodd y gair "*sanctaidd*" mewn modd ammharchus a chableddus, yr hyn a barodd i nifer mawr o'r gwyddfodolion chwerthin. Ysgrifenais ei holl bregeth [darllenwyd rhanau o honi]. Pan oedd y cyhuddedig yn pregethu, rhai o'r gwrandawyr a rwgnachasant: un a dyngodd ei fod yn rhy dost, cymmerodd ei amben, ac a aeth ymaith. Wedi terfynu gwahoddodd y gwyddfodolion i ddyfod yno ar y dydd Sul canlynol—Sul y Pasg. Ar yr achlysur cyntaf yr oedd yno dros 300, rhwng benywod; y rhan fwyaf oeddynt ddynion o isel-radd. Un dyn a floeddiodd, "Cywilydd," a'r cyhuddedig a ddywedodd, fod yno ddigon o nerth i adferu llonyddwch. Wrth ddyfod allan, yr oedd yno lawer o draethodau ar werth ar ryw fwrdd yno; enw y traethodau oedd *The Devil's Pulpit;* a gwelais werthu nifer o honynt. Aethum yno drachefn ddydd Sul y Pasg: y pryd hyny llangc ieuangc a ddarllenodd gyfran o'r *Book of Common Sense* fel y Llith gyntaf: yna y cyhuddedig a draddododd bregeth oddiar yr 8 adnod gyntaf o'r 63ain bennod o Esay. Y tyst hwn, ynghyd â llawer o dystion ereill a gadarnhasant ei dystiolaeth ef, a groes-holwyd am amser maith gan y cyhuddedig.

Y cyhuddedig a ddiffynodd ei hun am agos i bum awr, ac a ddatganodd dybiadau a wnaethant i'r gwyddfodolion grynu oblegid ei gabledd. Llefarodd yn enbyd yn erbyn y Gymdeithas er lleihau anfucheddeb, yr hon a'i dygodd ef i gael ei brofi. Ond aelodau y Gymdeithas oeddynt Offeiriaid, y rhai a benderfynant ei lethu ef, os gallant. Galwodd hwynt yn Offeiriaid na allent wrthwynebu y tybiadau a daenai efe; ac fel prawf o'u hanwybodaeth, yr oedd arnynt ofn dyfod y'mlaen i ddadleu âg ef, er iddo roddi hér iddynt oll y'Ngholegau y wlad hon, yn gystal ag ar y Cyfandir. Yr Offeiriaid ydynt y dynion mwyaf anwybodus, creulon, a rhagfarnllyd, ar wyneb y ddaear. Yr oedd rhai wedi ymdrechu dwyn gwawd arno ef, a'i waradwyddo, a rhoddi iddo y llysenw o *The Devil's Chaplain;* enw a dueddai i argraffu ar feddyliau dynion y tyb mai y cythraul, neu un o'i weinidogion, ydoedd efe. Nid oedd ganddo ef ddim mwy i'w wneud â'i Fawrhydi uffernol na dynion ereill; ond yr enw a ddangosai yn ddigon eglur y llid oedd gan ddynion yn ei erbyn. Gwadai fod ei bregethau yn tueddu i ddifrio y grefydd Gristionogol, a haerai ei fod yn teimlo cymmaint o barch at iaith syml a chyffrous yr ysgrythyr ag undyn ar y ddaear. Cyfaddefai mai anghredadyn ydoedd; hyny yw, ni chredai yn ysprydoliaeth yr ysgrythyrau, nac yn esponiadau Offeiriaid anwybodus. Mewn rhyw ystyr gellid barnu fod yr Arglwydd Ganghellydd, a Llywyddion Coleg Llundain, yn anghredinwyr, am eu bod, fel efe, yn dewis bod yn anymddibynol, ac yn meddwl drostynt eu hunain.

Y Rheithwyr a'i cawsant ef yn euog; a'r Llys a'i barnodd i gael ei garcharu am ddwy flynedd, a thalu dirwy o £200, a chael dau feichiau am £250 bob un, a £500 drosto ef ei hun y byddi iddo ymddwyn yn addas am y pum mlynedd nesaf.

## Y SENEDD.

Ty y Cyffredin.—Dydd Llun, Gorphenaf 4, *Arglwydd John Russell* a gynnygiodd fod i'r Ysgrif er Diwygiad y Senedd gael ei darllen yr ail waith.

*Syr. J. B. Walsh* a ddatganodd ei fwriad i wrthebu yr Ysgrif hyd eithaf ei allu. Terfynodd araith hirfaith drwy gynnyg fod i'r Ysgrif gael ei darllen y'mhen y 6 mis.

*Mr. F. Clinton* a gefnogodd y cynnygiad.

*Syr James Mackintosh* a ddiffynai yr Ysgrif, ac a atebai wrthebiadau yr areithwyr blaenorol.

*Mr. Bruce* a wrthebai yr ysgrif, ac *Arglwydd Porchester* a wnaeth yr un modd.

Dydd Mawrth. *Mr. R. A. Dundas* a achwynai yn erbyn cyfnewidiad mor fawr a arfaethwyd gan yr Ysgrif. Haerai y dylai pob cyfnewidiad mewn ffurf-lywodraeth fod yn raddol.

*Captain Berkeley* a gefnogai yr Ysgrif hyd yr eithaf. Nid eisieu chwyl-droad oedd ar y bobl, ond diwygiad o'r cyfeiliornadau a ddaethant i mewn i'r ffurflywodraeth o bryd i bryd.

*Mr. Macauley* a areithiodd yn dra hyawdl o blaid yr Ysgrif.

Dydd Mercher. *Syr Robert Peel, Syr Charles Wetherell*, ac ereill, a areithiasant yn erbyn, ac *Arglwydd William Lennox, Syr R. F. Lopez*, a *Syr F. Burdett*, o blaid yr Ysgrif. Parhaodd y ddadl tan bump o'r gloch boreu dydd Iau, pan yr ymranodd y Tŷ.

| | |
|---|---|
| O blaid ail-ddarlleniad yr ysgrif ...... | 367 |
| Yn erbyn ........................... | 231 |
| Mwy o blaid Gweinidogion y Brenin | 136 |

*Enwau Cynnrychiolwyr Cymru a bleidleisiasant yn erbyn ail ddarlleniad yr ysgrif:*

Mr. H. Clive, Bwrdeisdref Trefaldwyn.
Syr. R. W. Vaughan, Meirionydd.
Mr. C. W. G. Wynne, Swydd Gaernarfon.

*Absennol.*

C. M. R. Morgan, Aberhonddu.

*O blaid yr Ysgrif.*

Biddulph, R. M. Bwrdeisdref Dinbych.
Bulkeley, Syr R. W. Beaumaris.
Lewis, Gwir Anrhydeddus F. F. Sir Faesyfed.
Lloyd, Syr E. P. Bwrdeisdref Fflint.
Mostyn, E. M. Lloyd, Swydd Fflint.
Owen, Syr John, Penfro.
Owen, H. O. Bwrdeisdref Penfro.
Paget, Syr Charles, Bwrdeisdref Caernarfon.
Philipps, Syr R. B. Hwlffordd.
Powell, Col. W. E. Swydd Geredigion.
Pryse Pryse, Ceredigion.
Stuart, Arglwydd P. J. Caerdydd.
Talbot, C. R. M. Morganwg.
Uxbridge, Iarll, Môn.
Williams, Syr J. H. Swydd Gaerfyrddin.
Wood, T. Brycheiniog.
Wynn, Syr W. W. Dinbych.
Wynn, C. W. W. Trefaldwyn.

*Absennol.*

Syr R. Price, Bwrdeisdref Maesyfed.

Ty yr Arglwyddi.—Dydd Iau, Gorphenaf 7fed.—Tommy Shops.—*Arglwydd Wharncliffe* a gynnygiai ail ddarlleniad drwy Ysgrif a ddygasai efe i mewn er attal Meistriaid rhag talu cyflogau eu gweithwyr mewn nwyddau yn lle arian. Darbwyllid ef, os na roddai y Senedd derfyn ar y cyfryw arferiad, yr ai holl weithfaoedd y wlad ym mlaen yn ol trefn tra niweidiol. Ni thybiai y gallai un dyn ammhleidgar feddwl fod y drefn uchod yn gydsyniol â llwyddiant a dedwyddwch y gweithwyr. Rhyfeddai wrth weled rhai o berchenogion gweithoedd yn gwerthu eu nwyddau am lai na'r pris cyntefig; ond cafodd allan fod yr ennill a darddai oddiwrth y drefn o gadw *Tommy Shops* yn eu galluogi i wneuthur felly; a rhai o honynt a ennillant 14 neu 15000 o bunnau yn y flwyddyn. Effeithiau y drefn hon ar y llafurwr ydynt yn dra niweidiol. Pe derbyniai y llafurwr ei gyflog mewn arian, ni byddai yn anfoddlon; ond eglur yw fod y Meistr yn cymmeryd mantais arno. Er attal y drefn hon cynnygiai ddiddymiad yr holl gyfreithiau o barthed y peth hyn ag ydynt yn awr mewn grym. Yn lle y rhai hyn cynnygiai i'r Ysgrif newydd, a orchymynai fod i bob perchenog gweithoedd dalu cyflogau eu llafurwyr mewn arian; ac os telir cyflogau mewn nwyddau, y gall y llafurwr hòni ei gyflog drachefn, ac ni all y Meistr ofyn tâl am y cyfryw nwyddau a roddasid o'r blaen i'r llafurwr. Y dirwy i'r Meistr i dalu am y trosedd cyntaf, dim rhagor na £10, na llai na £5; am yr ail, dim rhagor nag £20, na llai na £10; ac am y trydydd, y bydd efe yn euog o droseddu cyfreithiau y tir, ac y cospir ef yn ganlynol i hyny. Cyfaddefai fod y trefniadau yn llym, ond yr oedd angen am danynt. Nid yw gweithrediad yr Ysgrif hon i gyrhaedd at weinidogion teuluoedd, na llafurwyr amaethyddol.

*Esgob Rochester* a ofnai nad allai y Senedd roddi terfyn ar y drefn yn erbyn yr hon yr achwynai Arglwydd Wharncliffe. Arglwyddi *Auckland, Gower*, a *Goderich*, a gefnogent yr Ysgrif.

Ty y Cyffredin.—Dydd Mawrrh, Gorphenaf 12fed. Ar gynnygiad Arglwydd John Russell fod i'r holl Dŷ ymroddi yn Eisteddfod i ystyried yr Ysgrif er Diwygio y Senedd, cyfododd dadl a barhaodd dan saith o'r gloch boreu ddydd Mercher; yna penderfynwyd fod i'r Llefarydd adael y Gadair, ac i Gadeirydd yr Eisteddfod gael ei ddethol. Bob noswaith wedi hyny y mae y ddwy blaid yn ymryson; y naill i hyrwyddo mynediad yr Ysgrif drwy y Senedd, a'r llall i'w rhwystro hyd eithaf ei gallu. Os nad ânt y'mlaen yn gyflymach gyd â'r Ysgrif, byddant gyd âg ef am fisoedd yn Nhŷ y Cyffredin. Y mae tybiadau dynion o barthed llwyddiant yr Ysgrif yn Nhŷ yr Arglwyddi yn amrywio: eithr hyn sy sicr, fod Gweinidogion ei

Fawrhydi yn arfaethu dyrchafu nifer mawr o foneddigion i Dŷ yr Arglwyddi er chwanegu rhifedi eu cefnogwyr hwynt yno.

*Coroni y Brenin.*—Penderfynir fod eu Mawrhydi y Brenin a'r Frenines i gael eu coroni ar yr 8fed o Fedi nesaf.

*Gwladgarwch.*—Iarll Grey a hysbysodd i Dŷ yr Arglwyddi, ddydd Llun, y 18fed, fod y Tywysog Leopold, yr hwn a ddewiswyd yn Frenin Belgium, wedi rhoddi i fynu at wasanaeth y deyrnas hon yr hyn a dderbyniai efe yn ol *Act of Parliament* tu ag at gynnal ei uchel-radd fel gwr y Dywysoges Charlotte, sef 50 mil o bunnau yn y flwyddyn.

TY YR ARGLWYDDI. Dydd Gwener, Gorphenaf 15fed. *Dilead Llwon.*—Ardalydd Lansdowne a gynnygiodd y trydydd darlleniad o'r Ysgrif i ddileu Llwon a gymmerir yn awr gan swyddogion y wladwriaeth. Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf cymmerwyd 10,000 o lwon gan ddynion yn perthyn i'r *Customs*, a 12,000 gan swyddogion yr *Excise*.

*Esgob Llundain* a ddiolchai i'r Ardalydd am gymmeryd mewn llaw fatter mor bwysig. Amlwg yw i bawb fod amlder llwon ar bob achos distadl yn tueddu i radd mawr i leihau yr ofn parchedig a ddylai Cristionogion deimlo at enw sanctaidd Duw. Gobeithiai nad oedd hyn ond dechreu gwaith da, oblegid gellid yn hawdd ddileu llwon mewn amrywiol ganghenau o sefydliadau y wladwriaeth.

*Ardalydd Lansdowne* a ddywedodd fod cyfreithwyr y *Customs* o'r farn y byddai dirwy o £100 yn eithaf diogelwch yn erbyn haeriadau anghywir.

---

## SESSIWNAU CYMRU.

SESSIWN TREFALDWAN.—-Mr. Baron Bolland a gyrhaeddodd i'r Trallwng, ddydd Mawrth, y 19eg o Orphenaf, ac aeth yn uniongyrchol i'r Eglwys, lle y traddodwyd Pregeth gan y Parch. Mr. Luxmore. Drannoeth agorwyd y Llys, ac anerchwyd yr Uchel-reithwyr gan ei Arglwyddiaeth fel y canlyn:—"Drwg genyf ganfod mwy o enwau yn nghofrestr y carcharorion y tro hwn nag oedd arferol yn y Swydd hon; ond da genyf allu hysbysu, mai nid trigolion y Dywysogaeth a gyflawnasant y troseddau erchyllaf. Nid oedd ond un peth, at yr hwn y tynaf eich sylw, sef *Anafu Anifeiliaid*. Cyfnewidiwyd, yn ddiweddar, y cyfreithiau ynghylch y cyfryw droseddau. Yn ol y *Black Act*, cosp y trosedd hwn oedd marwolaeth; ond angenrhaid oedd profi malais yn yr anafydd tu ag at berchenog yr anifeiliaid. Yn ol y gyfraith bresennol, newidiwyd y gosp o farwolaeth, ac nid rhaid profi malais i'r diben o gyhuddo."

**Lladrata Meirch.** *Jonathan Roose*, o Elton, *John Farren*, o Hales Owen, a *Henry Beastall*, a gyhuddwyd o ladrata ar yr 17eg o Ebrill, o Ddolanog, yn agos i'r Trallwng, caseg, cyfrwy, a thair ffrwyn, o eiddo Mr. D. Jones, o'r Trallwng; ceffyl du o eiddo Mr. Stead, o'r Amwythig; a merlyn o eiddo Mr H. Jones, o'r Trallwng.

*John Haynes*, gwas Mr. D. Jones a dystiolaethodd iddo weled y gaseg yn stabl ei feistr ar nos Sul, yr 17eg o Ebrill. Oddeutu chwech drannoeth gwelodd ddrws y marchdŷ yn lled agored; y gaseg, a'r cyfryw, a'r tair ffrwyn, wedi myned ymaith. Gwelodd y gaseg wedi dyfod yn ol rai dyddiau wedi hyny. Yr oedd Mr. Stead yn nhŷ ei feistr y nos hono, a'i geffyl yn y cae; ond yr oedd ar goll boreu drannoeth.——*Samuel Davies*, un o Swyddogion Heddwch Trallwng, a ddywedodd iddo gael hŷd i gaseg Mr. Jones yn Church Langton, yn Swydd Leicester, oddeutu 100 milldir, ar yr 20fed o Ebrill. Dilynodd y carcharorion yno drwy ffyrdd anghyneffin. Cafwyd Roose yn y Red Lion, yn Church Langton; ac yn y marchdŷ yr oedd ceffylau, a phedwar o honynt a hònai Roose. Yr oeddwn i yn gwybod am ddau; a chyhuddais y carcharor o ladrata tri a honynt o'r Trallwng, yntau a wadodd. Cymmerais ef a'r ceffylau dan fy ngofal. Dywedodd y carcharor iddo eu prynu hwynt tu draw i'r Amwythig, oddiar ddau ddyn. Cymmerais ef yn Leicester, ac anfonais ddyn am y pedwar ceffyl. Dywedodd Roose, Beth sydd arnoch eisieu gyd i'r pedwar, nid oes ond tri yn perthyn i chwi. Prynais y llall yn ffair yr Amwythig. Yr oedd gan y carcharor £62 yn ei logell, a *bill* o'r *Wheat Sheaf*, yn y Trallwng. Dywedodd iddo fod yn y *Wheat Sheaf* am ddwy noswaith, gyda dau ddyn arall. Aethum gyda Mr. D. Jones, ar y 23ain o Ebrill, i Uttoxeter, a chymmerais y ddau garcharor arall i fyny.——*Charles Lee* sydd yn cadw tafarn yn Cheswardine, oddeutu 38 milldir o'r Trallwng. Ar y 18fed o Ebrill daeth y carcharorion, gyda phump o geffylau i'm tŷ i. Yr oedd ceffyl du a chaseg winea yn eu mysg. Gwelais y gaseg wedi hyny; yr un yw hi ag a ddaeth gyd â'r carcharor i'm tŷ i. Daethant acw o'r Amwythig, ac aethant tu ag Eccleshall, yn Swydd Stafford.——*John Hayward* sydd yn dafarnwr yn Blybury, yn Swydd Stafford, oddeutu 60 milldir o'r Trallwng. Ar y 18fed o Ebrill daeth y carcharorion i'm tŷ i, gyda phump o geffylau; yr oedd yno geffyl du, a merlyn, ac un gwinea. Gwelais Farrell o'r blaen.——*Mr. D. Jones* sydd yn byw yn Nolanog. Aethum ar ol ei gaseg ar y 18fed o Ebrill. Ar y 23ain cymmerwyd Farrall a Beastall i fynu yn Uttoxeter.——*George Astley*, marchwas yn y *Wheat Sheaf*, Trallwng, a welodd y carcharorion yn y tŷ ddydd Sadwrn, yr 16eg o Ebrill. Galwyd ef i fynu oddeutu un o'r gloch y boreu i lanhau ceffyl; a dywedwyd wrtho fod un arall yn dyfod. Yn fuan wedi hyny daeth y tri charcharor ynghyd â'r ceffyl i mewn. Ymadawsant oddeutu pedwar o'r gloch ddydd Sul. Dywedodd Beastall ei fod yn myned i ffair Llanidloes.——*John Housley*, Amaethydd yn Elton, sydd yn adnabod Roose. Bu yn fasnachydd mewn meirch am lawer o flynyddoedd; a phob amser yn dwyn nodweddiad da.——*Roose*, yn ei amddiffyniad, a ddywedodd iddo ennill £100, a dyfod i'r parthau hyn i brynu merlynod. Prynodd un yn yr Amwythig, lle y cyfarfu â'r carcharorion, a daeth gyda hwynt i'r Trallwng; ond gan na lwyddodd ef, dychwelodd tua Stafford, pan y goddiweddwyd ef gan y carcharorion gyda thri o geffylau, heblaw yr un oedd ganddynt ar y cyntaf; iddo roddi £25 am y ceffylau. Aethant hwy â'r cyfrwyau ymaith, ac aeth yntau yn mlaen gyd â'r ceffylau nes y cymmerwyd ef i fyne.

Cafwyd y tri carcharor yn *Euog*; a dyfarnwyd hwynt i gael eu *halltudio dros eu hoesoes*.

*Lewis Meredith*, a gyhuddwyd o ladrata Caseg winen, gwerth £14. 10s. o eiddo Mr. R. Griffiths, Tafarnwr, Llanwryn, ar yr 20fed o Ragfyr.

*Mr. R. Griffiths*, sydd yn cadw tafarn yn Llanwryn. Ar y 19eg o Ragfyr daeth y carcharor ataf, a dywedodd fod arno eisieu fy nghaseg i'w dangos hi i Mr. Jones, o'r Tŷ Gwyn, yr hwn a ddymunai brynu y gaseg. Adwaenwn y carcharor o'r blaen; a dywedais wrtho y gallai efe ei chael. Cysgodd yn ein tŷ ni y noson hono; a boreu drannoeth dywedais wrtho, os oedd y gaseg yn boddio Mr. Jones, y caffai hi am £14. 10s. a throi y cyfrwy yn ol. Gofynodd y carcharor i fy merch wneud *bill* iddo am ei fwyd a'i ddiod; ac y talai efe iddi wrth ddychwelyd gyd â'r cyfrwy. Dywedais os nad oedd y gaseg yn boddio Mr. Jones fod yn rhaid i'r carcharor ddyfod â hi i Ddarowen, ac y cyfarfyddwn i ag ef yno. Ni ddaeth efe byth yno drachefn. Aethum at Mr. Jones,

yr hwn a ddywedodd na ddarfu iddo ef erioed anfon y carcharor. Oddeutu chwech wythnos wedi hyny cefais y gaseg ym marchdŷ Mr. E. Hughes, Plas y duon.——*Mr. William Jones* a ddywedodd, Ni roddais i awdurdod i'r carcharor brynu caseg i mi. Ni ddaeth efe erioed â chaseg i mi i'w gweled. Daeth y carcharor ataf i ddweyd, os oeddwn am werthu fy ngheffyl y gwyddai efe pwy a'i prynai; ac os oedd arnaf fi eisieu caseg y gwyddai efe am un dda ar werth. Atebais inau y dymunwn weled y gaseg; a dywedodd yntau mai caseg Griffiths oedd hi.——*R. Hughes* sydd yn byw ym Mhlas y duon, 18 milldir o Lanwrin. Adwaenwn y carcharor er's tro. Oddeutu dechreu y flwyddyn daeth y carcharor ataf i geisio gwerthu caseg. Prynais hi am £10. Daeth Griffiths yno, ac a honodd y gaseg. Ni adferais hi iddo ef; eithr gwerthais hi ym mhen mis wedi hyny.——Dywedodd y carcharor yn ei ymddiffyniad fod Griffiths wedi gwerthu y gaseg iddo ef, gan ddymuno iddo ef ei hail werthu.

*Rowland Lewis*, ar ran y carcharor, a dystiai iddo fod yn y *Boot Inn*, Machynlleth, ar y 15fed o Ragfyr, a chlywodd Griffiths yn dyweyd wrth Meredith am ddyfod i geisio y gaseg, a'i gwerthu i bwy bynag a allai——*Yn Ddieuog.*

**Lladrata Arian.** *Elizabeth Evans* a gafwyd yn *Euog* o ladrata £1. 3s. 2½c. oddiar ei brawd yn nghyfraith, Watkin Evans, o'r Ffridd, ym mhlwyf Aberrhiw, ar yr 21ain o Ebrill.

Y garcharores a'i mam oeddynt yn byw mewn bwthyn yn agos i Watkin Evans; a gwelodd ef yn tynu arian allan o'i logell i dalu am *frock* newydd i'w blentyn. Aeth adref, a dywedodd wrth ei mam ei bod hi wedi *ffansïo frock* y plentyn, a dymunai gael *gown* tebyg iddo. Ei mam a'i cynghorodd i ymdrechu cael meddiant o bwrs ei brawd yn nghyfraith; yr hyn a wnaeth, mewn ychydig amser, drwy fyned i mewn i'r tŷ wedi iddo ef fyned i'w wely, a dringo yn araf i fynu y grisiau, a chymmeryd yr arian o'r pwrs, y rhai a roddodd hi i'w mam, yr hon a adferodd 3s. iddi i brynu y *gown*. Boreu dranoeth canfu Watkin druan fod ei logell yn ysgafnach nag oedd hi pan ddiosgodd ei ddillad oddi am dano y nos o'r blaen: aeth at y garcharores, a chyhuddodd hi o'r lladrad, yr hyn a gyfaddefodd o'r diwedd. Un o'r tystion, o blaid y garcharores, a haerodd ei bod hi wedi dyrysu, a'i bod hi yn bur *onest*, ond yn bur *ddrwg*. Pan ofynodd y Barnydd iddi, a oedd ganddi ryw beth i'w ddyweyd? gwaeddodd, Beth ydych chwi yn ddyweyd? Dywedodd iddi gyfaddef oblegid fod arni ofn ei brawd yn ei chalon. Tra yr oedd y Barnydd yn cyfarch y Rheithwyr, ymddifyrai hi trwy dynu gwallt gwr boneddig oddiar ei ben. Barnwyd hi i gael ei charcharu am un wythnos; a cheryddwyd ei mam yn llym gan y Barnwr.

**Lladd ac Anafu Meirch.** *Edward Rees, Edward Evans*, a *Dafydd Owen*, a gyhuddwyd o glwyfo, yn faleisus, caseg a cheffyl o eiddo Mr. Edwards, o Bronfelog, ym mhlwyf Llangerig, ar y 9fed o Fehefin.

Y cyhuddiadau yn erbyn y carcharorion oeddynt, am glwyfo a lladd caseg, ac anafu ceffyl. Dywedodd y Cyfreithiwr Cyffredin fod Mr. Edwards wedi bod yn foddion i alltudio brawd Rees; a bod y carcharorion oll yn berthynasau. Hyn oedd yr achos o'u llid tu ag at y cyhuddydd.

*John Owen*, gwas Mr. Edwards, a dystiai, ar y 9fed o Fehefin troais y ddau geffyl yn o hwyr i gae a elwir Coed Gibbon. Wrth fyned allan clywais leisiau dynion. Gwelais y carcharorion yn dyfod i mewn i'r cae, ac ymguddiais dan ryw bren yno. Gwelais Rees yn myned at ochr y gaseg, ac yn ei thrywanu yn ei bol. Cododd y gaseg i fynu yn ebrwydd. Yr oedd yn noswaith glir. Owen ac Evans a drywanasant y ceffyl ar yr un pryd. Wedi iddynt wneud hyn, troisant yn ol, a dychwelasant tu ag adref. Aethum inau adref. Dychwelais yn ol, a gwelais fod y gaseg wedi ei chlwyfo. Bu farw ar y Sul canlynol.——*A groes-holwyd.* Pan aethum i'r cae yr ail dro, gwelais Evans, a gwaeddodd arnaf i ofyn i mi beth oedd ar y gaseg, am ei bod yn gorwedd ar domen. Ni ddywedais wrtho fod y gaseg wedi cael anwyd. Cymmerais y gaseg adref. Codais fy meistr, yr hwn a aeth i ymofyn am feddyg anifeiliaid. Ni fynegais iddo pwy a drywanodd y gaseg nes ar ol iddi farw. Adwaenwn Hugh Lewis, o Lanidloes, ond ni ddywedais air erioed wrtho ef, nac wrth Dafydd Evans, nai y carcharorion, ynghylch y peth. Pan welaf lanciau yn dyfod o garu, ymguddiaf bob amser wrth brenau. Ni chyhuddodd fy meistr mo honof fi. Rhai o dystion y carcharorion a ddywedasant hyny wedi i mi achwyn arnynt.——*Mr. Edwards.* Aethum gyda fy ngwas i ddanfon y ceffylau i'r cae: yr oedd hi agos yn un o'r gloch y boreu. John Owen a ddywedodd wrthyf y boreu hwnw fod y gaseg wedi ei chlwyfo. Ni chyhuddais ef erioed o wneud hyn. Boreu ddydd Gwener aethum at Rees: fy ngwas a'm hanfonodd at Rees i ddyweyd mai efe oedd wedi ei wneud. Gofynais iddo, pa fodd y goddefodd yr hen fachgen iddo ladd y ceffylau. Dywedodd, "Ai *fi* a ddarfu?" Atebais, fod y cymmydogion yn tystio ei fod ef yn edrych yn euog. Dywedodd, "Os dywedwch mai myfi a ddarfu, nid ydym ni ond dechreu." Aethum ymaith, a dilynodd efe fi, a dywedodd, "Pe buasech chwi wedi dyfod ataf fi mewn modd cymmydogol, dywedaswn i chwi pwy a wnaeth hyn." Gofynais pwy a ddarfu? Atebodd yntau, "Efallai eich bod yn meddwl mai fi; ond nid myfi a ddarfu." Ni sonlais am Owen y diwrnod hwnw.——*Richard James.* Bum yn ymddiddan â Rees wedi marw y gaseg. Dywedodd, "Nad oedd dim mater; nid oedd dim drwg i'w lladd hi; nid yw hyn ond dechreu lladd iddo ef; buasai yn well iddo ef beidio alltudio fy mrawd; oblegid bydd ychwaneg o ladd iddo ef etto."——*Richard Morgan*, a dystiodd iddo ef ymweled â'r gaseg: ei bod hi wedi cael ei chlwyfo yn ei bol, yr hyn oedd yn ddigonol i achosi ei marwolaeth.

Ar ran y carcharorion galwyd y tystion hyn:—*E. Evans*, Crydd, sy'n byw yn agos i Mr. Edwards, gwelodd ei gaseg ef yn gorwedd yn sal ar y domen. Anfonodd i fynegi hyn i Mr. Edwards. Gwelodd Owen ei was yn troi anifeiliaid allan o gae cyfagos. Gofynais beth oedd arni hi? Dywedodd, "Sier wyf iddi gael anwyd heddiw."——*Hugh Lewis*, Gwehydd o Lanidloes. Adwaenwn Owen y gwas: gofynais iddo a wyddai efe pwy a wnaeth hyny; dywedodd yntau na wyddai.——*Henry Hamar*, Ceidwad y Tollborth. Adwaenwn Owen y carcharor. Yr wyf yn byw yn agos i Lanidloes. Daeth Owen drwy fy mhorth i, gyda fy mrawd, i fyned at y felin, oddeutu 11 neu 12 o'r gloch y nos. Dychwelodd Owen rhwng 12 ac 1. Daeth fy mrawd yn fuan wedi hyny, ac arosasant ill dau oddeutu tri chwarter awr yn fy nhŷ i. Noswaith dywell iawn oedd hi. Dygai bob amser nodweddiad da iawn——*A groes-holwyd.* Mae y cae oddeutu dwy neu dair milldir o'n tŷ ni. Nis gwn i ba le yr aeth Owen wedi myned o'n tŷ ni.——Llawer o ddynion a dystiasant o blaid ymddygiad da Owen.——Cafodd y Rheithwyr y tri yn *Euog*; ond cyflwynasant Owen i drugaredd y Llys.——Ni chyhoeddwyd y ddedfryd.

*Thomas Jones* a gyfaddefodd ei fod yn euog o *ladrata cŵd* o eiddo Mr. R. M. Jones, o Lanfyllin, a dedfrydwyd ef i gael *Chwe mis o garchar*.

*Robert Jones*, o *ladrata celwrn* o eiddo William Humphreys, Esq. Llwyn; ac *Ann Evans*, o *ladrata dwy iâr*, o eiddo Richard Griffiths, o Lanfair, a gafwyd yn *Ddieuog*.

*(I'w barhau.)*

---

DYNGARWCH HAELIONUS.—Yn y dyddiau hyn, pan y mae cymmaint o iselder ac afiechyd ar led yn y Dywysogaeth, nid oes dim yn fwy boddhaol i deimladau dyngarol na gweled boneddigion ein gwlad yn dangos eu haelioni a'u tosturi tu ag at eu cymmydogion adfydus mewn saldra a thlodi, y fath ag a adroddir yn y chwedl wirioneddol a ganlyn:—Fe ddarfu i'r caredig a'r haelionus Wilson Jones, Yswain,

o'r Gelligynan, ym mhlwyf Llanarmon yn Ial, Uchel Sirydd, Swydd Ddinbych, cyn y Sessiwn ddiweddaf, ofyn i'r boneddigion oedd ar fedr ei gyfarfod yn Rhuthyn, yn lle ciniawa, yn ol yr arfer gyffredin, ar ei gost ef, dalu eu traul eu hunain, fel y gallai yntau, yn nghyfer hyny, roddi y swm gyfartal o £250 i Feddygdŷ *(Dispensary)* Dinbych. Ac â hyn y Boneddigion a gyttunasant yn unfryd. R. LLWYD.

## SERYDDIAETH.

YN niwedd Mehefin bu Seryddwr Môn, sef Mr. Robert Roberts, o Gaergybi, yn traddodi dwy ddarlith Gymreig ar Seryddiaeth, yn Llanfair Caereinion. Yr oedd y Llŷsdŷ, yr hwn a ganiatâwyd i'r Darlithiwr ar yr achlysur hwn gan y Parchedig T. Thomas, yn dra llawn o wyddfodolion. Gwelwyd yno Weinidogion y Plwyfydd cymmydogaethol, y rhai a foddhawyd yn fawr. Rhoddodd y Darlithiwr enwog hanes am y gelfyddyd ardderchog o Seryddiaeth er amser y Greadigaeth hyd yr amser presennol. Yna dangosodd gylchdröad y ddaear ar ei phegwn ei hun, ac oddeutu yr haul. Gwelwyd y planedau, a'r sêr gwibiog, drwy ei *Orrery*, sef peiriant hynod a arddengys yn dra eglur ansawdd y byd wybrenol. Eithr y peth hynotaf a fynegodd efe oedd, y bydd diffyg llawn ar yr haul ar ryw Sul ym mis Mai, 1836. "Y pryd hyny," meddai yr hyawdl Ddarlithiwr, "gwelir, ar hanner dydd, yr haul yn duo, a chaddug dywyllwch yn gorchuddio y ddaear; y pryd hyny yr adar bach, y côr asgellog, a beidiant ymbyncio eu melus geingciau yn y coedydd; yr anifeiliaid a ommeddant fwyta eu porfa yn y meusydd, ac a redant yn wylltion ar hyd y dolydd; yr ieir a redant i'w nythod i amddiffyn eu cywion; dyfroedd yr afonydd a'r môr a newidiant eu lliw; holl natur a gynhyrfir; a dynion, gwragedd, a phlant, fyddant mewn dygn syndod a dychryn; y pryd hyny ni all Offeiriad ddarllen y Gosber yn yr Eglwys, na'r pregethwr roddi ei destun allan yn y Capel, heb oleuni canwyll." Ond na ddychryned ein darllenwyr, ni phery y diffyg ond am bedair awr; gwasgerir y tywyllwch, ac adferir goleuni cynhenid y dydd.

*Gwaredigaeth nodedig.*—Dydd Mawrth, y 12fed o Orphenaf, fel ag yr oedd Mr. Davies, Llaw-feddyg, o'r Cae Mawr, yn agos i Lanerchymedd, yn Môn, yn eistedd o dan y *Veranda* (sef math o gysgodfa) o flaen ei dŷ, ac yn darllen, tarawyd y llyfr ag oedd yn ei law i bellder oddeutu pedair llath oddi wrtho, gan fellten; ond ni chafodd Mr. Davies ddim niweid, ac nid oedd dim o ôl y fellten i'w weled ar y llyfr. Ond yn ei gyrfa ddychrynllyd torodd ffenestr oedd ar y grisiau, a llosgodd yn ulw *fonnet beaver*, ag oedd mewn cwpbwrdd yn y wâl; ond ni niweidiodd *fonnet* gwellt ag oedd yn crogi o fewn ychydig fodfeddi i'w hymyl. Holltodd y *mantel-piece*, yn yr un ystafell, yn ddarnau; a thorodd y nodd tynawl *(electric fluid)* dwll trwy gronglwyd y llofft, yn gyffelyb i dwll ebill, ac a ddrylliodd y tô yn fawr.

## HYSBYSIADAU LLEENYDDOL.

LATELY were published, *Welsh Sermons*, from the Manuscripts of the Rev. JOHN MASON, M. A. late Vicar of Bettws, Abergele, selected by the *Rev. John Jones*, M. A. Rector of Llanychan. In 2 Vols. 8vo. Printed at Ruthin by Robert Jones.

No. 11. of the CAMBRIAN QUARTERLY a gyhoeddwyd yn nechreu y mis diweddaf. Y Cynnwysiad sy fel y canlyn:—The Reform Bill, and its Operation in Wales; Letter from Dr. Meyrick upon Errors of History respecting Owain Glyndwr, and upon the Military Costume of Glyndwr and Edward the Black Prince; The Druids, a Poem; Y Gwrachyribin, a Legend; Memoir of the late James Humphreys, Esq.; Epigram, and Welsh translation; Siege of Paincastle; Translation from Vicar Prichard, a Religious Poet, temp. Charles I. Proceedings of the Royal Cambrian Institution; The Prize Poem; The Prize Englyn; The Wandering Knight; Song, written for the Birmingham St. David's Society; Horæ Græcæ, the Trojans of Euripides.—OLION. Welsh Orthography; Robert Recorde; Old Welsh Custom on Easter Sunday. The Marches Court in Ludlow, Welsh Representation up to temp. Henry VIII.; Heer Lan Vandeslacht on the Ancient Crwth; Unpublished Letters of Edward Llwyd, of the Ashmolean Library, Oxford.—REVIEW OF NEW BOOKS. Rev. J. Jones's Answer to the Rev. Bruce Knight, on the subject of Cambrian Orthography; Jeanne la Folle ou la Bretagne au 13me, Siècle, Drama Historique, en cinq Actes et en vers, Par L. M. Fonton; Leigh's Guide to Wales and Monmouthshire; Leigh's Welsh Interpreter; Jones's Views in Wales; Ruins and Scenery of South Wales, from Drawings by J. C. Robinson.—Literary Notices; London and Provincial News; Prices of Canal Shares, English and Foreign Stocks.

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

CYFLWYNODD Esgob Bangor, yn y mis diweddaf, y Parch. Peter Titley, A. C. i Guradiaeth Barhaus Penmachno, yn Swydd Gaernarfon. Rhydd trwy farwolaeth y Parchedig W. A. Roberts.—Tadogydd, Syr Robert Williames Vaughan.

Hefyd, yn yr un mis, cyflwynodd Esgob Llanelwy, y Parchedig Thomas Lewis, G. C. i fod yn Gurad Parhaus Capel Garmon, ym mhlwyf Llanrwst, Swydd Ddinbych. Rhydd, trwy farwolaeth y rhagddywededig W. A. Roberts.—Tadogydd, yr Esgob.

## PRIODWYD,

Ar yr 20fed o Fehefin, y Parchedig John Jones, A. C. Periglor Criccieth a Llanfihangel y Pennant, Swydd Gaerynarfon, âg Anne, merch hynaf y diweddar Archdiacon Massey.

## BU FARW,

Ar y 27ain o Fehefin, ar ol ychydig salwch, Margaret, gwraig y Parchedig Henry Parry, Ficer Llanasa, yn 45 mlwydd oed.

Ar y 3ydd o Orphenaf, y Parchedig Hugh Jones, Ficer Lewisham, Swydd Gaint, a Thalgarth, Swydd Frycheiniog, yn 80 mlwydd oed.

Ar yr 11eg o Orphenaf, y Parchedig John Ellis, o'r Cyffdy, yn agos i Lanrwst, yn 74 mlwydd oed.

# Y GWYLIEDYDD.

MEDI, 1831.

## BYWGRAPHIAD

### MR. RICHARD WILSON,

*Y Darluniedydd Arbeiawl.*

"YN mhob gwlad y megir glew," medd y ddïareb; a phwy a feiddia haeru mai ychydig fu nifer y glewogion a fagodd Cymru? Ac fel y mae pob ardal yn chwannog o ymffrostio yn yr enrhydedd o roddi genedigaeth i enwogion, pa un bynag ai mewn dawn, dysg, ai dewrder; felly y mae Swydd Dref Faldwyn yn falch ac yn awyddus i honi ei hawl deg i'r bri o roddi genedigaeth i wrthddrych hyglod y cofiant canlynol: digoned i'r Fflint gael o honi yr enrhydedd o roddi iddo letty clŷd i huno hirnos angeu. Pwy aethai i Ben Machno—i Lan-Fihangel-Tre'r-Beirdd—neu i Lan-Fair-Mathafarn-Eithaf, i chwilio am egin y fath wŷr a'r Esgob Morgan, Lewis Morys, a Goronwy Owain? A phwy a aethai i bentref Pen-Egos, gerllaw y Machynllaith, i chwilio am eginyn y fath ŵr a Richard Wilson y Darluniedydd? Ond mai dyna ei enedigfan, mae genym sail gadarn i gredu, er fod gwrth-haerwŷr, ac er nad yw ei fedyddiad yn awr i'w gael yn nghoflyfrau adfeiliedig y lle. Etto cymmerir tystiolaeth y Dr. Abraham Rhŷs, yr hwn ydoedd brïodor o un o'r plwyfi nesaf, sef Llan-bryn-Mair, yn awdurdod digonol i brofi y peth.

Richard Wilson a anwyd yn y flwyddyn 1714, ac ydoedd drydydd mab y Parch. John Wilson, Periglawr Gwaun-Ysgar, yn Swydd y Fflint, a Phen-Egos, yn Swydd Dref Faldwyn, yr hwn a fu farw yn y lle olaf ar yr 31ain o Awst, 1728, ac a gladdwyd yn Nhref-Eglwys, fel yr ardystia côf-lyfr Pen-Egos.

Yn ei febyd, cafodd Richard ddysgeidiaeth dda uchraddol (*classical*); ond cefnodd ar wlad ei enedigaeth yn dra chynnar oddiar yr achlysuron â grybwyllir rhagllaw. Yn foreu iawn rhoddodd arwyddion amlwg beth oedd ei athrylith gynnwynol, yr hyn a ardystiai muriau preswyl, a maengloddiau tyddyn ei dad, y rhai a wnaethid o lech-feini llydain bro Bumlumon, ac a orchuddiai Richard â darluniau, gan arferyd golosgwydd yn lle pwyntel. Mor grêf oedd ei grêth, ac amcanus ei ddarmerth yn hyn, fel yr ennillodd sylw ei gâr Syr George Wynn, yr hwn a gynghorai ei dad i roddi i'r Darluniedydd ieuanc gyfleusdra i feithrin ei athrylith. Ac â hyny y cydsyniodd y Periglawr; ac yn y flwyddyn y bu farw (1728) aeth Richard i Lundain dan nawdd Syr George.

Ond drwy ryw anffawd, dygwyddodd iddo gael ei roddi at athraw carnbwl o'r enw Wright, arfelydd anghenus analluog i addysgu cynreolau y gelfyddyd, yr hyn an-

hap a fuasai yn andwyad i grêth eiddilach na'r eiddo Wilson: ond efe, er yr anfantais, a gynnyddodd toc yn mhell tu hwnt i'w athraw. Yn mhen chwe blynedd, dechreuodd arferyd ei gelfyddyd yn gyhoeddus, a hyny dan nawdd y Dr. Hayter, esgob Caer-Cynan (*Norwich*). Yn fuan cafodd yr enrhydedd o dynu darluniau Tywysog Cymru a Duc Caer-Efrawg, dan gyfarwyddyd yr esgob: a dilynodd ei alwedigaeth dros ryw hyd yn Llundain, heb ond ychydig lwyddiant. Yn mhen rhyw ysbaid, aeth drosodd i'r Eidal, i ddiwyllio ei athrylith; ac yno y bu yn arferyd ei orchwyl dros dro: eithr etto heb iawn adnabod ei grêth gynnwynol ei hun, er ei fod ar achlysuron yn arferyd â darluniaeth arbeiawl. Yn Venice, tynodd lun Mr. Lock o Barc Norbury, a hwn oedd un o'i orchestion mwyaf penigamp yn y ganghen hòno o'i gelfyddyd. Yn y lle hwn, yn ddamweiniol, yr agorwyd ei lygaid i ganfod ei brif ddawn brïodol ei hun, ac y dygwyd ef i'r llwybr a'i harweiniodd i enwogrwydd.

Yn ystod ei drigiant tramorawl, cafodd yr enrhydedd o ddyfod i gydnabyddiaeth âg Iarll Dartmouth, pendefig o'r fath graffineb, fel y canfu yn y Cymro ieuanc hwn gynneddfau teilwng o'u diwyllio; ac er enrhydedd yr Iarll, efe a gynnygiodd gymmeryd Wilson gyd âg ef i deithio drwy Naples: a'r cynnygiad, fel y mae yn naturiol meddwl, a gymmeradwywyd. Yn yr amgylchiad hwnw, cafodd gyfleusdra manteisiol i dynu y darluniau godidocaf; y rhai sydd hyd heddyw yn meddiant rhai o deulu ei noddedwr.

Pan oedd efe tua 35 oed, yr oedd wedi cyrhaeddyd gradd helaeth o lwyddiant ac enwogrwydd, fel y sylwid arno, ac yr hoffid ei gyfeillach gan wŷr o'r callineb a'r derchafiad mwyaf. Un boreu, pan yr oedd efe yn dysgwyl cael gweled y Darluniedydd hyglod Zucarèli, a phan oedd ei bwyll ar ballu gan oediad ei gyfaill, er mwyn bwrw yr amser heibio, cymmerai mewn llaw dynu darlun o'r olygyfa ar gyfer ffenestr y Darluniedydd. Pan ddaeth Zucarèli i mewn, nis gallai ond synn wrth odidawgrwydd y darlun. Gofynai i Wilson a ymarferasai efe â'r fath waith; i'r hyn yr atebai, nad do. "Yna (ebai Zucarèli) mi a'ch cynghorwn i fyned rhagoch, canys chwi a lwyddwch yn ddilai." Y cynghor hwn a gadarnêid yn ddilynol gan gyfaill clodfawr arall, sef Vernet, y Darluniedydd Ffrengig. Hwn, wrth eistedd ryw ddiwrnod yn ystafell Wilson, a lanwyd â'r fath orhoffder tu ag at un o'i ddarluniadau arbeiawl, fel y cynnygiai roddi iddo un o'i brif ddarluniau ei hun am dano: ac â hyn y cydsyniai yn foddlawn iawn. A Varnet a'i gosodai i fynu yn ei gyhoedd-ystafell ei hun. A phan ddeuai teithwŷr o Loegr i mewn, a chanmawl ei ddarluniau ef, y Ffrengwr a arferai ateb, "Na soniwch am fy rhai i, pan y mae Wilson eich cyd-wladwr chwi eich hunain yn darlunio mor rhagorol."

Felly, ar ol i Mr. Wilson ganlyn y cynghor uchod, a myned rhagddo yn llwyddiannus ac yn glodfawr, yn mhen chwe blynedd efe a ddychwelai i Loegr, lle yr oedd ei fri wedi cyrhaeddyd o'i flaen. Ac efe a osodai ei hun i fynu yn Llundain mewn sefyllfa ysblenydd iawn, a phobl o bob gradd a dawn a gyrchent ato, a'i ddysgyblion a gynnyddent beunydd mewn dysg a rhifedi. Addurniadau ei breswyl, ac hefyd rhai ei ddynsawd, oeddynt orwychion ragorol, cyfaddas i groesawi a chyfeillachu â'r gwŷr rhwysgfawrocaf o'i amgylch. Ei hoff ddiwyg ydoedd werdd, wedi ei haddurno âg eurbleth ysblenydd, a pherwig edmyg gynffonog, a het deirgwalc am ei ben. Hyn, yn nghyd â dyn-

sawd talmerth, fel yr oedd iddo ef; a roddai iddo ymddangosiad tra awdurdodawl. Ac nid oedd ei wychder allanol ddim yn myned heibio i wybodaethau ei feddwl; yr oedd ei ddysg a'i ddirnad yn gyfled gyfartal â'i ragoriaethau ereill.

Ond erioed ni fu ddyn o'r cyfryw nodweddiad heb fod yn wrthddrych cenfigen; a hyn a gafodd Wilson ei brofi yn fuan, er ei ofid cherwdostlym. Wrth ganfod rhagoroldeb ei gelfyddusrwydd, a chyflymdra ei lwyddiant, ennynai eiddigedd y darluniedyddion tu ag ato; a'r holl gystlwn o honynt, megys o unfryd a osodent eu gwynebau yn ei erbyn, gan arfer pob moddion o frâd ac enllib i daflu rhwystrau ar ffordd ei ffawd, ac i iselu ei fri yn nghyfrif y byd. A Syr Josuah Reynolds, y pènaf o gystlwn y darlunwŷr, a fu 'r pènaf o athrodwŷr y Cymro! Cymmaint oedd cynghorfynt y gwr hwn tu ag at ein cyd-wladwr, fel y gwên-ddirmygai ef yn ei wyneb, yr absenai ef yn ei gefn, ac y cam-gyhuddai ef yn ei fedd! Rhag colli dim o urddduniant ei waith ei hun, cam-feiai ar waith Wilson, lle na byddai bai yn bod, yn ol barn beirniaid mor, os nid mwy, deallus nag ef ei hun.

> "Pawb a genfydd o bydd bai,
> "A bawddyn, er na byddai."

Nid oedd le na byddai i ogan gwr o enwogrwydd Syr Josuah gael gwrandawiad gan y byd, ac felly genedlu rhagfarn a chulni tu ag at Wilson druan. Esgeulusid ef, cefnid arno, a thynid pob nawdd oddi wrtho; a thrwy hyny siomid ei feddwl, lleddfid ei ysbryd, chwerwid ei dymmerau, a dygid ef yn fuan i iselder ac anghen. Yn yr amgylchiad hwn, ei brif, os nid ei unig noddedwr oedd Syr Wiliam Beechey, yn nhŷ yr hwn yr hoffai dreulio ei oriau diwaith a digysur. Yn ei anghendod yma gwnai gais am y sefyllfa o Lyfrgellwr i'r Athrofa Freninol, i'r hon alwedigaeth, wedi bod o hono yn addurn mor ddysclaer i'r Athrofa, nis gallent ei wrthwynebwŷr gan gywilydd mo'r sefyll yn erbyn ei otholiad. Ond nid oedd elw yr alwedigaeth hon braidd yn ddigonol at ei gynnaliaeth, er mor ddidraul oedd ei ddull o fywiolaethu. Nid oedd ar Wilson eisieu na gwin na gwirod; os cai efe grâs-dafell o fara, a phiseraid o *Borter*, aed y byd lle 'r elai. Mewn lletty-gell lom, o olwg y byd, dewisai ymddifyru ar ddiargyhoedd ymarweddiad, ac anymddibynrwydd ysbryd, yn hytrach na gwenieithio i fyd aflednais yn groes i'w gydwybod. Yr oedd yn foneddigaidd o enedigaeth, boneddigaidd ei fywyd, a boneddigaidd hyd fedd.

Wedi llwfreiddio o'i ysbryd, amharu o'i iechyd, a dechreu adfeilio o'i natur, troes ei feddwl yn hwyr tua gwlad ei enedigaeth; a thrwy ohebiaeth â hen gares iddo, o'r enw Jones, cafodd wahoddiad i ddyfod i dario gyda pherthynas iddo yn y Colomendŷ, gerllaw yr Wyddgrug. Ond er mor gydnaws iddo oedd awyr, ac mor ddifyred oedd golygfëydd bryniau a glynoedd Gwalia, nid digonol oedd y cwbl i adferu ei natur lethedig, nac i estyn nemawr ar ei ddyddiau. Er tristwch i'w gyfeillion, hwy a ganfyddent nad oedd pen ei daith yn nebpell. Ac un prydnawngwaith yn mis Mai, 1782, ar ol cymmeryd ychydig ymborth llysynaidd, efe a sigl-rodiodd mor belled a'r goedwig gerllaw, lle y darparesid iddo eisteddfa, o'r man y gallai hoff-syllu ar brydferthion gyfliwiau y ffurfafen yn uchder echwydd, pan oedd yr haul yn lluchdaenu ei belydrau ysblenydd wrth fyned dan ei gaerau, yr hon olygfa lawer gwaith a ddarluniasai efe mor gywreinwedd a'i bwyntel. Ac megys yn y bêr-lewyg hòno, fe'i tarawyd gan ragluniaeth yn ddisymmwth i'r llawr. Pa hyd y

bu yn yr agwedd hòno, nis gwyddys; ond wrth weled y ci a aethai gyd âg ef yn dychwelyd i'r tŷ hebddo, cynhyrfwyd y teulu i fyned i chwilio am dano, a chafwyd ef yn y sut grybwylledig. Adwrygiodd ychydig; eithr cyn pen nemawr ddyddiau ar ol hyn, efe a gefnodd ar y byd gweledig, yn y 68ain flwyddyn o'i oedran.

Ac yma terfynwn fywgraphiad un o'r dynsodion dyscleiriaf yn ei ddosbarth a gynnyrchodd ein tywysogaeth ni, nac odid arall, mae yn debygol; yr hwn y mae ei enw yn mhlith y rhai mwyaf uchelradd o'r darluniedyddion arbeiawl o bob gwlad ac oes, ac y pery ei goffadwriaeth yn hyglod yn ei ddarluniau hyd ddiwedd amser. Llawer o'r rhai hyn a gedwir yn hoffbarchus gan amryw o fonedd ein teyrnas; a rhai nid yn mhell oddi wrthym, sef yn oriel ysblenydd John Douglas, Yswain, o'r Gyrn, gerllaw Treffynnon. Mae corph Richard Wilson yn gorwedd yn monwent yr Wyddgrug, heb nac arwydd nac argraph i gofnodi ei weryd, fel y mae mwyaf gwarth i fonedd a llëenyddion Cymru!

*Dunsoddiad o'r Saesoneg, gan* E——. C——N.

---

## SYLWEDD PREGETH.

### HEB. xi. 4.

"*Trwy ffydd yr offrymodd Abel i Dduw aberth rhagorach na Chain; trwy yr hon y cafodd efe dystiolaeth ei fod yn gyfiawn, gan i Dduw ddwyn tystiolaeth i'w roddion ef: a thrwyddi hi y mae efe, wedi marw, yn llefaru etto.*"

Y CYNTAF a enwir yn y bennod hon, i osod allan rinwedd y wir ffydd, ydyw Abel, yr hwn y mae Crist yn ei alw "Abel gyfiawn," yr hwn hefyd oedd y cyntaf a fu farw o ddynolryw, a'r blaenaf a aberthwyd o ardderchog lu y merthyri. *Mat.* 23. 35.

Yr Yspryd Glân a'n cynnorthwyo, wrth fyfyrio ar y testun hwn a'r cyffelyb, i weled rhagor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw, a'r hwn nis gwasanaetho ef; fel y dysgom ei wasanaethu wrth ei fodd, gyda gwylder a pharchedig ofn.

I. Rhoddaf grynhoad o hanes Cain ac Abel, fel y darllenir yn Genesis iv. gan ddangos y gwahaniaeth rhwng y ddau.

1. Eu genedigaeth. Cain oedd y cyntaf a aned erioed i'r byd. Ei enw sydd yn arwyddo meddiant, am fod ei fam (fel y tybia rhai) yn meddwl iddi gael yr had addawedig. Ei frawd Abel oedd ieuengach nag ef; ac y mae ei enw yn arwyddo *tarth* neu *wagedd*, am fod ei rieni, fe allai, erbyn hyn, yn gweled gwagedd pob mwyniant daearol.

2. Eu galwedigaeth. "Abel oedd fugail defaid; ond Cain oedd llafurio 'r ddaear." Ni ddanfonwyd neb i'r byd i fod yn segur.

3. Eu hoffryman. "A bu wedi talm o ddyddiau, i Cain ddwyn o ffrwyth y ddaear offrwm i'r Arglwydd. Ac Abel yntau a ddug o flaenffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt. A'r Arglwydd a edrychodd ar Abel, ac ar ei offrwm: ond nid edrychodd efe ar Cain, nac ar ei offrwm ef." Mae yn debyg fod aberthu creadur diniweid, a'i losgi yn tân (i arwyddo y tân anniffoddadwy haeddiannol i'r pechadur, a marwolaeth Crist yn ei le) yn osodiad dwyfol ar ol y cwymp. Gan hyny, yr oedd Cain yn dyfod yn ei ffordd ei hun, gan gydnabod yr Arglwydd fel Creawdwr yn unig. Ond Abel a ddaeth yn y ffordd a drefnodd Duw, trwy ffydd yn aberth mawr y Cyfryngwr; ac felly yr oedd yn gymmeradwy.

4. Ymddygiad Cain tu ag at yr Arglwydd, a thu ag at ei frawd. "A digllonodd Cain yn ddirfawr, fel y syrthiodd ei wynebpryd ef," yn lle ymofyn am yr achos o'i anghymmeradwyaeth, ac edifarhau. Yna y mae yr Arglwydd yn ymos-

twng i ymresymu â'i greadur gwrthryfelgar; ond parhau yn ystyfnig o hyd a wnaeth Cain. Ac fel yr oeddynt yn y maes yn ymddiddan â'u gilydd, Cain a gododd yn erbyn Abel ei frawd, ac a'i lladdodd ef; gan dywallt gwaed gwirion, am yr hyn yr haeddai ddial. A phan ofynodd yr Arglwydd hollwybodol iddo am ei frawd, yntau mewn modd atheistaidd a wadodd. Yna Duw a draethodd farn arno. Eithr nid oedd efe yn meddalhau, ond yn cwyno rhag trymed y gosp. A Chain a aeth allan o bresennoldeb graslawn yr Arglwydd i dir Nod, lle y bu fyw, mae'n debygol, yn hollol ddidduw:—

"Cain mewn dig ffyrnig pan ffodd,
"A Duw fe ymadawodd."—*Dafydd Ionawr.*

II. Y mae Abel, wedi marw, yn llefaru etto; ei enw yn pêr-arogli ar ei ol, a'i glod yn yr holl eglwysi.

1. Y mae Abel yn dangos i ni, nad oes dyfodfa at Dduw ond trwy ffydd yn yr Iawn mawr. "Oblegid trwyddo ef y mae i ni ein dau ddyfodfa mewn un Yspryd at y Tad." *Eph.* 2. 18. "Y mae Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." 2 *Cor.* 5. 19.

2. Bod gwir ffydd yn dwyn gweithredoedd da. Yr oedd Abel yn gyfiawn, yn dirion, ac yn ostyngedig i'w frawd. "Canys nid yw pren da yn dwyn ffrwyth drwg." *Luc* 6. 43.

3. Bod dau had ar y ddaear, plant Duw, a phlant diafol. Yr oedd gweithredoedd Cain yn ddrwg, a'r eiddo ei frawd yn dda. 1 *Ioan* 3. 10, 12.

4. Hanes Cain a ddengys i ni y perygl o gynnwys digofaint a llid yn ein calonau. "Pob un a'r sydd yn casâu ei frawd, lleiddiad dyn yw: a chwi a wyddoch nad oes i un lleiddiad dyn fywyd tragywyddol yn aros ynddo." 1 *Ioan* 3. 15. "Nac ymddïelwch, rai anwyl, ond rhoddwch le i ddigofaint: canys y mae yn ysgrifenedig, I mi y mae dial; myfi a dalaf, medd yr Arglwydd." *Rhuf.* 12. 19.

5. Bod yn rhaid i'r duwiolion ddisgwyl erlidiau ar y ddaear. "Eithr megys y pryd hwnw, yr hwn a anwyd yn ol y cnawd a erlidiai yr hwn a anwyd yn ol yr Yspryd, felly yr awrhon hefyd." *Gal.* 4. 29. "Trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw." *Act.* 14. 22.

6. Bod dial ar erlidwyr pobl Dduw. Clywsom am y gosp a gafodd Cain, Pharaoh, Senacherib, a Herod. "Canys a gyffyrddo â chwi, sydd yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef." *Zech.* 2. 8.

7. Bod rhan y duwiolion mewn gwlad arall. "Gwlad well y maent hwy yn ei chwennych, hyny ydyw, un nefol.—Y mae gan hyny orphwysfa etto yn ol i bobl Dduw." *Heb.* 11. 16. a 4. 9.

III. Bod Crist yn rhagori ar Abel.

1. Yr oedd Abel yn fugail. Crist yw y Bugail da; *Ioan* 10. 11. Bugail ac Esgob ein heneidiau; y Pen-bugail; 1 *Petr* 2. 25. a 5. 4. Bugail mawr y defaid. *Heb.* 13. 20. "Fel bugail y portha efe ei braidd; â'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes; ac a goledda y mamogiaid." *Esa.* 40. 11.

2. Cafodd Abel ei erlid ar gam. Felly Crist: dirmygedig oedd, a diystyraf o'r gwyr; gwr gofidus, a chynnefin â dolur: er na wnaethai gam, ac na chaed twyll yn ei enau. *Esa.* 53. 3, 9.

3. Abel a offrymodd aberth cymmeradwy gan yr Arglwydd. Yr oedd offrwm Crist yn arogl peraidd i Dduw; a'i waith yn ei offrymu ei hun unwaith yn ddigonol aberth dros bechod, i berffeithio y saint yn dragywyddol. *Eph.* 5. 2. *Heb.* 9. 26. a 10. 14.

4. Y mae Abel, wedi marw, yn llefaru etto. Y mae Crist (wedi

marw ac adgyfodi drachefn) yn llefaru o'r nef, trwy ei Yspryd, trwy weinidogaeth yr efengyl, ei air, a'i ordinhadau. Gwrandawn ef, a byw fydd ein heneidiau. "Edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd yn llefaru. Oblegid oni ddiangodd y rhai a wrthodasant yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaear, mwy o lawer nis diangwn ni, y rhai ydym yn troi ymaith oddiwrth yr hwn sydd yn llefaru o'r nef.—Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" *Heb.* 12. 35. a 2. 3. Yr oedd gwaed Abel yn llefain o'r ddaear am ddïal ar ben y llofrudd; ond y mae gwaed Crist yn llefaru pethau gwell na'r eiddo Abel—"O Dad, maddeu iddynt!" Y mae llais y gwaed hwn yn eiriol heddyw yn llwyddiannus yn y nef ar ran troseddwyr. Ymofynwn am ran ynddo i'n hachub rhag digofaint Duw. Amen.

CYNFELYN.

---

## PERERINDOD YR AFRADLON.

---

### Y CAETHWAS GWIRFODDOL.

"Ac efe a aeth ac a lynodd wrth un o ddinaswyr y wlad hòno; ac efe a'i hanfonodd ef i'w feusydd i borthi moch. Ac efe a chwennychai lenwi ei fol â'r cibau a fwytâi y moch; ac ni roddai neb iddo." Luc 15. 15, 16.

DAETHOM yn awr i'r fan hòno o bererindod yr afradlon, lle y dysgwn am ddyn syrthiedig y pethau gwael hyn:—Ei fod yn hynod *anfoddlon* i ddychwelyd adref at ei Dduw a adawodd—ei fod yn *casâu* yn hollol ddyfod drachefn i dŷ ei Dad—a'i fod yn gadael y wlad bell gyd â'r gwrthwyneb mwyaf. Gwna bob ymdrech gwael, ymostwng i'r gwaith distadlaf, a goddef y caledi dyfnaf, yn hytrach na dychwelyd. Ond gwelwn bob trefn a dyfais yn methu yn gyfangwbl. Nid oes dim ond siomiant ar bob tro, nes dychwelyd at Dduw: ond i hyn y mae y gwrthwynebiad cryfaf—pob peth, ond marw, yn well ganddo.

I. Gyd â'r *anewyllysgarwch mwyaf* y gâd pechaduriaid y wlad bell. Tra y teyrnasa pechod yn eu cyrph marwol, llwyr gasânt ddychwelyd adref at Dduw.

1. Pa mor ryfedd, pa mor afresymol yw yr ymddygiad hwn! canys oni ddychwel pechaduriaid yn wirioneddol at Dduw eu hiachawdwriaeth, rhaid iddynt fod byth yn golledig. A ddichon troseddwyr, a gollfarnwyd ac a alltudiwyd o wydd Duw i wlad y gelyn, fod yn anfoddlon i dderbyn rhyddid, a chasâu dychwelyd i dderbyn maddeuant a heddwch â'u tad nefol? A ddichon y rhai sydd dan y ddedfryd arswydus o farwolaeth fythol, fod yn anfoddlon i ddychwelyd at y Duw a ddigiasant, er derbyn rhyddhad oddiwrth eu pechodau, a chymmeradwyaeth y nef? A ddichon y rhai a drigant yn nheyrnas Satan, lle yr erys digofaint Duw arnynt, deimlo gwrthwyneb i ddyfod i deyrnas Dduw, a'u gwneud yn gyfranog o fendithion ysprydol yn Nghrist Iesu? Pa mor afresymol yw hyn, sef bod pechaduriaid colledig yn casâu ymadael â gwlad angeu, a dyfod i wlad bywyd! Cofleidiant y cadwynau a'u sicrhânt yn ngwlad y gelyn, ac anfoddlon hollol ydynt i dderbyn y rhyddid gogoneddus a gyfrana Crist i bawb o ddeiliaid ei deyrnas. Carant drigo yn nhywyllwch pechod a marwolaeth, yn hytrach na dyfod i oleuni bywyd. Mae plant y tywyllwch yn casâu y goleuni; ac ni ddeuant i'r goleuni, fel na argyhoedder eu gweithredoedd. Rhyfedd, yn wir, fod pechaduriaid colledig yn teimlo y fath wrthwynebiad i ddyfod at Waredwr, yr hwn yn unig a ddichon eu gwaredu o farwolaeth ac uffern! Tra yr arosant yn y wlad bell hon, agored ydynt i bob enbydrwydd, heb un ddiogelfa; ac etto gwrthodant ddyfod i'r amddiffynfa a barotôdd Duw, yr unig le y mae diogelwch ynddo.

Aros yma fynyd, a meddwl, yn gyntaf, *pa fath Dduw* yw ef, a adawodd pechaduriaid, ac at yr hwn y maent mor anfoddlon i ddychwelyd. Duw "iachawdwriaeth yw, Duw pob gras, a Thad y trugareddau," a Duw ag sydd "cariad" yw.—Meddwl, yn nesaf, *pa beth yw pechaduriaid heb Dduw.* Maent yn y cyflwr truenusaf a gresynaf. Cyrchant yn y blaen trwy amser dan faich anferthol o bechod, a phrysurant tu a'r poenau diderfyn.—A meddwl hefyd *pa ddedwyddwch a gogoniant* y mae pawb dychweledig yn ei gael yn Nuw eu Gwaredwr. Derbyniant fywyd tragywyddol; cyfranogant o'r iachawdwriaeth fawr; gwneir hwynt yn etifeddion Duw, a chydetifeddion â Christ; a dyrchefir hwynt yn y diwedd i nef y nefoedd, i fod byth gyd â'u Harglwydd.

Yn awr, pe danfonid *Cyhoeddwr* o'r nef, dan orchymyn i fyned trwy yr holl fyd, a chyhoeddi, onid unwaith, i feibion dirywiedig Adda, y newyddion hyn o iachawdwriaeth trwy ras, gallem dybied y cofleidiai yr holl fyd, gyd â'r llawenydd mwyaf, yr iachawdwriaeth a gynnygid iddynt—y dylifent i Sion wrth y miloedd, ac na arosai neb yn y wlad bell i farw byth. Ond, trwm yw dywedyd, er i Gyhoeddwr *gael* ei ddanfon, Mab Duw ei hun; etto, ychydig a dderbyniant iachawdwriaeth Duw, ac a ddychwelant i dŷ eu Tad. Gwell gan y rhan fwyaf aros yn y wlad bell, a cholli eu heneidiau byth.

2. Mor bell yw pechaduriaid o fod yn foddlon, fel y *casânt* yn fawr ddyfod adref at Dduw. Gwell ganddynt fyned i bob lle arall: ac enbydant golli yr holl hyfrydwch a ellir ei fwynhâu yn y nefoedd, a goddef yr holl arteithiau a all uffern roddi arnynt, yn hytrach nag ymadael â gwlad pechod ac angeu, a dychwelyd i deyrnas bywyd a phurdeb. Am y gwrthwynebiad cryf hwn, rhoddant i ni y profion amlycaf; dyma raî o honynt:—

Mae trigolion y wlad bell hon yn *annedwydd* a *thruenus* yn aml; ac etto nid ymadawant, ac ni ddychwelant at Dduw. Ni allant fwynhau dim ond a rydd y byd; a'r byd a dry yn fynych ei gefn arnynt, a gâd hwynt heb un mwynhad. Eu trefniadau a'u hamcanion a siomir, eu gobeithion a'u disgwyliadau a ddiflanant, amdoir hwynt â thywyllwch, a'u hysprydoedd a syrthiant i wan-galondid a thrymder anobaith. Yna byddant yn benyd iddynt eu hunain, yn blino ar fywyd, er yn arswydo marw, ac heb un gobaith diddanus o'r nef. Etto, er y cwbl, ni ddychwelant at Dduw; ïe, er cynnyg iddynt deyrnas o hyfrydwch a gorphwysfa ddiddiwedd. Prawf diammheuol o'u gwrthwynebiad i Dduw, ac o elyniaeth eu calon i burdeb dwyfol.

Prawf arall o hyn a gawn yn y rhai hynny a wrthsafant holl *wahoddiadau*, *cynnygion*, *addewidion*, a *deniadau* efengyl ogoneddus y Duw bendigaid. Prynwr gwaedlyd a ddengys iddynt ei glwyfau, a *gwahodd* hwynt i gyfrannogi o'r holl fendithion a'r dedwyddyd a allasai ei waed dylifol brynu. Y Tad tragywyddol a dosturia wrth eu trueni, a gwahodd hwynt yn garüaidd i ddychwelyd i'w dŷ, ac i aros yno byth. Ië, gwahodd Brenin y breninoedd hwynt i'w orwych drigfod yn y nefoedd, ac i gymmeryd rhan yn llawenydd a gorfoleddau tragywyddoldeb. Ond troant y glust fyddar at yr holl wahoddiadau caredig hyn. Y Gwaredwr gogoneddus, er peri i'w calonau gwrthnysig gydsynio â'i wahoddiadau rhadlawn, sydd yn gwneud y *cynnygion* mwyaf a ellir fyth wneuthur. Cynnygia iddynt achubiaeth ogoneddus a thragywyddol, y bywyd goreu dros fyth, golud anchwiliadwy o ras, a rhagorol fawr a thra-

gywyddól bwys gogoniant. Beth mwy sydd gan Dduw i'w roddi? Beth mwy a all dyn ddymuno? etto ychydig iawn o drigolion y wlad bell a ennillir i dderbyn y trugareddau gwerthfawr hyn. Ac i'r rhai a dderbyniant yr hyn a gynnygir iddynt, gwna *addewidion* tra rhagorol a gwerthfawr—addewidion o'r bywyd sydd yn awr, ac o'r un sydd i ddyfod. Y benaf, a'r hon a wna y cwbl yn ddiogel, yw hon:—Ymrwyma trwy gyfammod tragywyddol i fod yn Dduw iddynt, ac y byddant hwythau yn bobl iddo ef. Coron y cwbl yw yr addewid hon; cynnwysa y cwbl, a sicrhâ bob bendith dros fyth. Diau fod digon yma i *ddenu* calon pob pechadur at Dduw pob gras. Pwy a all wrthsefyll y fath wahoddiadau rhadol? Pwy a all wrthod y fath gynnygion mawr a wneir gan Dduw y gogoniant? A phwy na raid eu gorchfygu a'u denu adref at Dduw gan addewidion a gynnwysant holl oludoedd gras a gogoniant, ac afonydd o fwynhad byth bythoedd? Ond rhyfedd! rhyfedd! mae 'r cwbl, îe, y *cwbl yn rhy fach* i ennill calonau pechaduriaid, i ladd eu gelyniaeth at Dduw, ac i beri iddynt adael y wlad bell, a dychwelyd adref. Yna gofynaf—Pa mor *gryf* yw gwrthwynebrwydd pechaduriaid at Dduw, pan y metha annogaethau mor gadarn eu hennill?

Ymddengys eu gwrthwynebiad mawr mewn amryw ffyrdd ereill. Mae eu *casineb at grefydd Crist* yn ei ddangos. Er mai hon yn unig a all gadw pechaduriaid, etto ni ellir sôn am dani yn eu clyw heb eu hanfoddloni. Ffregod yw; rhagrith yw; nid addas i neb ond i'r werinos anwybodus. Pan ennill llais yr efengyl ar rai o drigolion y wlad bell, ac y par iddynt *ddyfod allan*, a dechreu y ffordd i Sion, yna y rhai a arosant yn ol a'u gwawdiant, a'u dirmygant megys ffolion ynfyd, a gwnant eu goreu i'w dwyn yn ol drachefn i wlad marwolaeth. A pheth a ddywedant am y rhai a benderfynant fyned yn y blaen? Eu bod yn ddiddefnydd i'r wlad, yn wrthddrychau tosturi, ac yn haeddu gwaradwydd. Beth onid gwrthwynebiad byd dall i Dduw, a barodd yr holl erlidigaethau a'r creulondeb a ddangoswyd i'w seintiau? Gwraidd yr ymryson yw, am y gadawant y wlad bell i fyned adref i dŷ eu Tad. Trwy y pethau hyn, ac ereill, ni a welwn fod gan bechaduriaid wrthwynebiad cryf i ddychwelyd at Dduw, a derbyn ei iachawdwriaeth.

Pa mor amlwg y gwelir y gwrthwynebiad hwn yn yr afradlon. Pan dreuliodd y cwbl, a dyfod i'r tlodi mwyaf, nid oedd ganddo etto un meddwl i ddychwelyd adref. Yna daw y newyn mawr, ni fedd ddim i'w fwyta, a'i einioes sydd mewn enbydrwydd; er y cwbl teimla yr anewyllysgarwch cryfaf i adael ei wlad bell. Chwilia bob ffordd wael i ymgynnal, a goddef y cyni mwyaf: boddlon yw i wasanaethu y meistr tostaf, a chymmer yr ymborth gwaelaf, yn hytrach na dychwelyd at ei Dad.

3. *Paham* y mae mor wrthwynebol i adael gwlad angeu, a myned i wlad bywyd? Edrych hyn, ar yr olwg gyntaf, yn beth na ellir rhoi cyfrif am dano: canys lles goreu pechaduriaid colledig, ym mhob ystyr, yw gadael y wlad bell, a dychwelyd adref at Dduw, ac etto, er y syndod mwyaf, ychydig, mewn cydmariaeth, a ddarbwyllir i ymadael: gwell ganddynt nychu o newyn, a marw lle maent, na dyfod i deyrnas nef. Pa fodd y gallwn gael allan yr achos o hyn?

Yn y lle cyntaf, *Ni chredant ddim o'r hyn a glywant am wlad eu trigfod.* Rhybuddir hwynt yn aml mai gwlad y gelyn yw, ac na erys ynddi neb ond gelynion Brenin Sion. Adgofféir iddynt hefyd, na ellir mwynhâu ynddi un gwir dded-

wyddyd, ac y disgyn arnynt yn ddiammheuol, o'r diwedd, ddialedd y nefoedd. Chwarddant am hyn, a thybiant nad yw ond ffregod wael ofergoelwyr. "O (meddynt) gwlad anwyl yw hon i fyw ynddi; gwlad rhyddid yw; geill pawb wneud a fyno yma; nid oes neb i'w alw i gyfrif." Felly ni chredant ddim a glywant am dani. Ni chredant chwaith air o'r hyn a glywant am deyrnas y Gwaredwr. Rhydd yr efengyl ddarluniad godidog o ogoniant ac urddas y deyrnas hon, ac o freintiau diderfyn, a dedwyddyd ei thrigolion. Clywant y gwneir holl ddeiliaid y Brenin Iesu yn feibion ac yn ferched i'r Goruchaf, y byddant fyw byth, ac y teyrnasant gyda Christ mewn anrhydedd anorphen. Ond ni chredant ddim o hyn oll. Pe credent, yn wir, y newyddion da hyn, ni allent aros ddiwrnod yn hwy yn nheyrnas y gelyn.

Heblaw eu diffyg o ffydd, y mae y wlad bell hon *yn cydweddu yn gwbl â'u tueddiadau pechadurus*. Y maent yma yn eu helfen anianol gymmaint ag ydyw 'r pysgod yn y dwfr, neu'r moch yn y llaid. Yr holl ddedwyddwch a wyddant am dano, neu a geisiant brofi, yw boddiant eu hamryw chwantau llygredig, a byw yn ol y cnawd. Yn y wlad bellenig hon, cânt amledd ymborth i'w nwydau, a lliaws o gyfeillion i'w cefnogi. Gan hyny mor gwbl y cydwedda y wlad hon â'u blys, ac â thuedd eu calon, fel y chwennychant aros yma, a pheidio byth ag ymadael. Ac am *wlad bywyd, a theyrnas gras*, arswydant y meddwl o fyned yno, gan wybod yn dda fod yn rhaid i holl ddeiliaid y Gwaredwr ymadael âg anwiredd, a gwasanaethu y Duw byw; fod yn rhaid iddynt farweiddio eu trachwantau drwg, croeshoelio 'r cnawd, marw i bechod, a byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu. Hyn oll a gasânt yn fawr, ac arswydant fyned i wlad lle y gofynir am hunan-ymwadiad, ac ymarferion purlan. Gwyddant nad oes dim yn nheyrnas y Gwaredwr a gyduna â'u blas, neu a foddhâ eu tueddiad: am hyny teimlant y gwrthwynebrwydd mwyaf i fyned yno. Ond yn nheyrnas pechod, cânt bethau hollol addas i'w blas, a'u tueddfryd; am hyny arosant ynddi.

Ond prif achos y gwrthwynebrwydd cryf hwn tu ag at Grist, a'i deyrnas, yw *gelyniaeth wreiddiol* y cnawd yn erbyn Duw, a phob purdeb. Nid yn unig diofal a diystyr yw pechaduriaid am ddychwelyd at Dduw, ond mwy fyth, ofnant fod yn agos iddo. A phaham hyny? Am mai greddf briodol pechod yw gelyniaeth a chasineb tu ag at Dduw. Am hyny y mae yn reddfol iddynt ochel yr hyn a gasânt. A chryfed yr elyniaeth hon, fel yr ymrysonant â Duw am osod ei lywodraeth arnynt, am orúwchlywio eu gweithredoedd, a ffrwyno eu hanwireddau, ac am fwgwth cospi eu troseddau. Chwennychant bechu heb un rhwystr nac attaliad, a myned yn ddigosp; am hyny casânt lywodraeth Duw. Mor ddwfn yw yr elyniaeth, fel nad oes dim a'i gorchfyga onid gras hollalluog.

*(I'w barhâu.)*

---

## YSPRYD MADDEUGAR.

Y MAE gwir grefydd yn rhoi agwedd newydd addas iddi ei hun ar ysprydoedd dynion. Y mae gan y gwir Gristion galon newydd, ac yspryd newydd: y mae duwioldeb yn effeithio ar yr yspryd gymmaint ag ar y fuchedd, am hyny dylem edrych yn fynych o ba yspryd yr ydym. Edrychwn pa agwedd sydd ar ein hysprydoedd, ac ar ein tymherau. Y mae agwedd ysprydoedd llawer sydd yn eu galw eu hunain yn Gristionogion yn rhoddi achlysur i ammeu gwirionedd eu crefydd.

Ym mysg yr amrywiol agweddau anaddas, yr wyf yn meddwl nad oes yr un yn fwy mynych i'w weled ym mhlith Cristionogion nag ydyw diffyg *yspryd maddeugar:* a thrwy hyny y mae cariad, prydferthwch Cristionogaeth, yn oeri; cynnen a chenfigen yn cael eu magu; cymdeithas Gristionogol yn cael eu hattal; Duw yn cael ei ddianrhydeddu, a'i grefydd sanctaidd ei dirmygu yn y byd; a'i gelynion yn cael eu caledu, ac yn cymmeryd achlysur i'w chablu.

Nid oes dim yn fwy amlwg yn y gair na bod yspryd maddeugar yn perthyn ac yn gweddu i'r Cristion; ie, un o ddyledswyddau mwyaf pwysig y Cristion yw bod yn barod i faddeu—y mae yn cael ei gorchymyn i ni yn fynych, a Duw a Christ yn cael eu gosod o'n blaen, fel siamplau i ni faddeu. Ond fel y mae dyn llygredig yn wrthwyneb i Dduw a sancteiddrwydd ym mhob peth, felly y mae yn hyn yn neillduol. Pan y byddo dyn yn tybied ei fod yn cael rhyw gam gan ei gyd-greadur, yna y mae yn fuan yn teimlo ei nwydau yn ymgynhyrfu ynddo am ymddial, ac yn barod i'w amddiffyn ei hun, a haeru bod hyny yn addas ac yn gyfiawn iddo wneuthur.

Y mae yspryd dialgar anfaddeugar yn wrthwyneb i yspryd cariad, a ddylai fod ynom yn wastadol, ac yn llywodraethu ynom ym mhob peth a wnelom:—"Gwneler eich holl bethau mewn cariad." Y mae yn erbyn dedwyddwch pob cymdeithas; ni all cymdeithas gymmydogol, deuluaidd, nac eglwysig, sefyll i fynu heb faddeu; oblegid, "mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro." Y mae yr efengyl wedi cyhoeddi deddf maddeuant i wellhâu annhrefn y byd. Fel y mae gorchymynion i ni i faddeu i'n gilydd yn athrawiaeth Cristionogaeth, felly y mae tuedd a pharodrwydd i faddeu mewn yspryd Cristionogol.

Y mae Crist yn gofyn dau beth neillduol i'w ddilynwyr, na ellir eu gwneuthur heb yspryd maddeugar; sef,

1. *Caru ein gelynion;* pwy all wneud hyny heb faddeu iddynt? Ni all y gwaethaf a'r hwn a'n drygo fwyaf fod yn waeth na gelyn; a chan y dylem garu ein gelynion, dylem garu hwnw; nid oes unrhyw ddrwg yn neb a all ddatod rhwymau y ddyledswydd hon oddi arnom, nac a gyfiawnhâ yspryd dialgar anfaddeugar ynom: ond dylem garu y rhai a'n drygo fwyaf, cyd-ymdeimlo â hwy yn eu trallodau; tosturio wrthynt oblegid eu beiau, a'u ffaeleddau, o herwydd bod eu pechodau yn gwneud llawer mwy o ddrwg iddynt hwy nag i ni.

2. *Talu da am ddrwg;* fel yr argyhoedder, y todder calonau, ac y gorchfyger y rhai gwaethaf. Gwel *Mat.* 5. 44. *Rhuf.* 12. 18,–21. Dylem, hyd y gallom, ddywedyd yn dda am eu pethau da; rhoddi gorchudd dros eu gwendid, ac achub cyfle i wneud lles iddynt; gweddïo drostynt, a dymuno lles iddynt, mewn pethau tymhorol ac ysprydol, oddiar yr egwyddor o gariad, nid er mwyn clod, na rhag cywilydd, na chosp.

Baich anhawdd ei ddwyn gan ddynion anianol yw caru gelynion, a gwneud da i'r rhai a'u drygo: a'u dadl yn erbyn maddeu iddynt yn fynych yw, eu bod yn elynion, eu bod yn annuwiol, neu yn rhagrithiol, ac wedi troseddu yn eu herbyn, a gwneud rhyw ddrygau iddynt, &c. Ond pa fodd y mae y rhai hyn yn proffesu bod ganddynt barch i air a gorchymyn Duw, i esampl Crist? A pha fodd y beiddiant ddywedyd eu bod yn myned trwy y byd "ar hyd ol y praidd?" Pa fodd y disgwyliant gael gwrando eu gweddïau, na maddeu eu pechodau? Gorchymynodd Crist i ni faddeu i'r rhai a bechai yn ein herbyn, nid yn

unig hyd seithwaith, ond deng-waith a thriugain seithwaith yn y dydd. Nid yn unig cyhoeddi cyfraith cariad a maddeuant a wnaeth Crist, ond hefyd rhoi siampl berffaith i ni i'w ddilyn. Y gair cyntaf a ddywedodd, wedi iddynt ei hoelio ar y groes, ydoedd, "O Dad, maddeu iddynt." Felly Stephan ei ferthyr ef, pan oedd ei elynion gwaedlyd yn ei labyddio ef â meini, gweddiodd drostynt, a dywedodd, "Na ddod y pechod hwn yn eu herbyn." Gorchymynir i ni wrth weddio broffesu ein bod yn maddeu i bawb. *Luc* 11. 4. A dywedodd Crist, oni faddeuwn o'n calon i ddynion eu camweddau, na faddeu y Tad i ninnau. *Mat.* 6. 15.

Y mae yspryd ac agwedd faddeugar ar ddynion yn rhesymol, yn hardd, yn ardderchog, a hyfryd iawn. Y mae yn rhesymol i rai sydd ag eisieu maddeuant bob dydd, ïe, bob awr, o'u hoes i faddeu i ereill: y mae agwedd faddeugar yn chwanegu parch dynion, ac yn ennill mwy o gyfeillion iddynt. Y mae maddeugarwch mor rhesymol, fel y darfu i amryw o'r doethion Paganaidd, ac ereill, ei ganmol yn fawr. "Swydd tywysog, (ebe *Cleomenes*) yw gwobrwyo ei gyfeillion, a chospi ei elynion." "Ond (ebe *Socrates*, oedd yn gwrando arno) pa faint gwell yw gwneud da i'ch cyfeillion, a gwneud cyfeillion o'ch gelynion?" Ebe *Democritus*, "Yr hwn sydd yn maddeu yn lle ymddial, sydd yn gorchfygu ei dueddiadau drwg, ac yn gweithredu fel y dylai." *Tasso*, Bardd Italaidd, pan ddywedwyd wrtho fod cyfle iddo i ymddial ar ryw un a wnaethai gam âg ef, a atebodd, "Nid wyf fi yn ewyllysio cymmeryd ymaith ei fywyd, ei feddiannau, na'i enw da, ond yn unig ei ewyllys drwg i mi; yr hyn a geisiaf wneud trwy dalu da am ddrwg iddo." Ebe y frenhines *Elisabeth*, "Bod yn wrol i sylwi ar drosedd, yw bod yn gydradd â'n gwrthwynebwr; ond trwy feddu y daioni i'w faddeu, byddwn uwchlaw iddo." Pan welodd *Adrian* un a droseddasai yn ei erbyn cyn iddo fyned yn Ymerawdwr, efe a ddywedodd wrtho, "Yr ydych chwi yn ddiogel yn awr, yr ydwyf fi yn Ymerawdwr." Dyweded y Cristion yn gyffelyb wrth rai y gallai ymddial arnynt am ryw fai yn ei erbyn, *Nac ofnwch, yr ydych yn ddiogel, oblegid yr wyf fi yn Gristion.* "Y mae yr hwn sydd yn talu da am ddrwg (ebe un) wrth orchfygu drygioni trwy ddaioni, yn gorchfygu tri ar unwaith, sef, Satan, ei hunan, a'i elyn." Nid oes un agwedd fwy ardderchog na thymher ac yspryd maddeugar; fel na all fod neb gwaeth na gelyn, felly, ni all fod dim yn fwy enwog mewn dyn na maddeu, ei garu, a cheisio gwneud daioni iddo. Y mae yr yspryd tyner, addfwyn, a dioddefgar hwn, yn hardd, yn enwog, ac anrhydeddus yn ngolwg pawb a'i gwelo. Y mae yr yspryd hwn yn hyfryd iawn i'w berchenog; y mae terfysg, poen, ac aflonyddwch mawr yn y fynwes lle mae yspryd ymddialgar; ond y mae tawelwch, a hyfrydwch mawr, lle mae cariad a maddeugarwch yn preswylio, ac yn teyrnasu. Y dyn mwyaf ei gariad, a pharotaf i faddeu, yw y dyn tebycaf i Dduw a Christ. Y mae Duw yn maddeu yn rhad i'r pechaduriaid gwaethaf, ac i'w elynion mwyaf. Rhoes Crist ei fywyd i lawr i ynnill maddeuant i'w elynion, a gweddïodd am faddeuant iddynt yn ei boenau mwyaf!

Y mae yr annogaethau cryfaf i'r rhai sydd yn eu galw eu hunain yn Gristionogion i ochel dal digofaint, neu fod mewn anghymmod, ac yspryd dïalgar; ac i fod bob amser yn barod i faddeu. Gellir dywedyd wrthynt, os ydych yn galw Duw yn Dad i chwi, ac os mynwch fod yn debyg iddo, byddwch fadd-

eugar; oblegid y mae efe yn "Dduw parod i faddeu." Os ydych yn proffesu undeb a pherthynas â Christ, bydded hoff genych faddeu. Os mynwch i'ch gweddïau gael eu gwrando, byddwch faddeugar. Y mae amrafaelion, anghydfod, ac yspryd dïalgar, yn rhwystro gweddïau. 1 *Petr* 3. 7. Y mae yn angenrheidiol, wrth weddïo, allu "dyrchafu dwylaw sanctaidd, heb na digter na dadl." 1 *Tim*. 2. 8. Os mynwch dderbyn maddeuant gan Dduw, byddwch barod i faddeu; oblegid, oni faddeuwch, ni faddeu Duw i chwithau.

Y mae pob esgus a ellwch roi dros fod yn ddïalgar, ac yn anfaddeugar, yn hollol annigonol i'ch cyfiawnhau chwi. Os dywedwch eich bod o dymher waedwyllt, ddïalgar, ac anghymmodol—nid yw yr esgus hwn ddim gwell na'r dail ffigys i guddio noethder Adda. Ni thalai i lofrudd wneud esgus felly o flaen ei farnwr. Y mae hyn yn dangos pechadurusrwydd eich natur, a'ch trueni, yn fwy o lawer. Heblaw hyn, gwybyddwch fod yr Yspryd Glân yn sancteiddio natur a nwydau y rhai sydd yn cael eu hachub, gystal a diwygio eu buchedd. Esgus gwael hefyd yw dywedyd, Os ydwyf yn dal dig, yr ydwyf yn ei gadw i mi fy hun, nid ydwyf yn dywedyd dim. Ni thal hyn ger bron yr hwn sydd yn chwilio'r galon. Hefyd, y mae dig, yn cael ei gadw yn ddirgel yn y galon, yn cael ei fagu, a'i gryfhau yno; ac y mae yn sicr o attal cymdeithas â Duw. Am hyny, "Bwrw ddig oddiwrth dy galon." Y mae yn ofer dywedyd hefyd, Y mae ei bechod yn fy erbyn yn fawr, neu, troseddodd yn fynych yn fy erbyn, &c. Nid yw ei bechod mor fawr, ac ni phechodd mor fynych yn dy erbyn di ag y pechaist ti yn erbyn Duw; ac yr ydwyt ti yn disgwyl maddeuant! Onid yw cariad yn cuddio lliaws o bechodau? ac oni ddylai disgyblion Crist faddeu ddengwaith a thriugain seithwaith yn y dydd? Ni thycia dywedyd chwaith, Nid oes gan bawb amynedd, ac ni all pawb faddeu mor hawdd. O! na ddyro y bai ar Dduw: os oes arnat eisiau amynedd, yspryd dioddefgar a maddeugar, gofyn gan Dduw, y mae "Efe yn rhoddi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod."

Bydded i bob un sydd yn ei alw ei hun yn Gristion, ac etto yn cynnwys yspryd dïalgar, neu anfaddeugar, gywilyddio, oblegid bod ei agwedd mor anaddas i'w broffes. Pe ystyriai dynion eu gwendid eu hunain, ac ereill, ni byddai yn anhawdd ganddynt faddeu i'w gilydd. Cofied yr anfaddeugar y bydd ef yn fuan yn ngwely angeu. Ai esmwyth yno fydd yspryd anfaddeugar? Neu, a all dy feddwl fod yn esmwyth, os clywi fod dy elyn wedi marw, a thydi heb faddeu iddo? A elli di edrych yn dawel ar ei fedd, a dywedyd, dyma lle y mae yn gorwedd lwch yr hwn y bum yn hir mewn cweryl âg ef, ac efe a aeth o'r byd heb i mi ymgymmodi âg ef. Och! pa lesâd sydd heddyw o'n hamrafael? Y mae efe wedi myned; rhaid i minnau ei ddilyn yn fuan: ein cyfarfod nesaf a fydd o flaen brawdle Crist. A fyddaf fi yn ddieuog yno?

Y mae naturiaeth yn ein dysgu i garu ein cyfeillion; ond y mae gras yn dysgu dynion i garu eu gelynion hefyd, a cheisio gwneud eu gelynion yn gyfeillion. Gristionogion, maddeuwch i'ch gelynion, a cherwch hwynt, er mwyn Duw sydd yn gofyn hyny genych: er nad yw eich gelynion yn haeddu eu caru, y mae eich Tad nefol yn haeddu ufudddod, a Christ yn deilwng i chwi ddilyn ei siampl ef. Dadleuodd brodyr Joseph am faddeuant ganddo, trwy ddywedyd, fod eu tad wedi attolygu iddo faddeu iddynt. *Gen*. 50. 17. Gristionogion, y mae

eich Tad yn gofyn i chwi faddeu i'ch brodyr, ie, i'ch gelynion. A ellwch chwi, neu a feiddiwch chwi, fod yn anufudd iddo ef yn hyn?

O mor felus, mor werthfawr, ac mor brydferth, yw yspryd maddeugar! Y mae mor hyfryd a melys yn y fynwes, fel y mae yr hwn sydd yn amddifad o hono yn ddieithr i un o'r cysuron penaf yn y byd hwn. Ni all neb byth ddywedyd mor werthfawr ydyw ym mhob cymdeithas, mewn teuluoedd, neu gymmydogaeth. Nid oes dim llwyddiant na chysur y lle nid yw. Nid yw yr Yspryd Glân yn gweithredu fel Diddanydd y lle ni byddo yr yspryd hwn. O mor brydferth yw! Y mae agwedd nefol ar ei berchen, y mae Duw, yr angylion sanctaidd, a dynion da ym mhob man yn caru yr yspryd rhagorol hwn.

CYFAILL I'R GWYLIEDYDD.

---

## YMDDIDDAN

*Rhwng* GWEINIDOG *ac un o'i Blwyfolion mewn perthynas i'r Paganiaid.*

(Parhad o du dalen 231.)

GWEINIDOG.—Y mae gan yr amrywiol enwadau crefyddol ereill Gymdeithasau hefyd, y rhai a ddefnyddiant ddiwydrwydd a ffyddlondeb mawr yn y gorchwyl o efengyleiddio 'r byd. Ond y mae un Gymdeithas yr hon ni pherthyn i un enwad neillduol, ond egyr ei breichiau i bawb. Y *Bibl Gymdeithas* ydyw, yr hon a sefydlwyd yn y flwyddyn 1804. Nid yw hon, fel y lleill, yn anfon pregethwyr ar led, ac ni thaena un llyfr ond y Bibl. Ei hunig amcan yw rhoddi y Bibl, a dim ond y Bibl—y Bibl heb nodau na sylwadau dynol—pur a digymmysg air Duw—i holl drigolion y byd. Argraffodd y Gymdeithas hon (yr hon yw un o ddiweddar ryfeddodau 'r byd) neu hi a gynnorthwyodd i argraffu, mewn oddeutu cant a deg a deugain o ieithoedd, yn gwbl neu mewn rhan, Saith Miliwn o Fiblau! Nid oes agos genedl ar y ddaear heb deimlo ei heffeithiau daionus. Mae y Gymdeithas hon mor ddealladwy a rhagorol yn ei hamcan fel fod brenin Protestanaidd yn Ewrop yn ei noddi—amryw o aelodau teulu brenhinol Lloegr—amryw o aelodau penaf y Senedd-dŷ—nifer o'n hesgobion—lliaws mawr o weinidogion, a boneddigion o bob gradd—ac, yn fyr, pob graddau o Gristionogion yn y wladwriaeth. Casglodd y flwyddyn ddiweddaf (1822) £108,000; ac nid yw pob ymgais a wneir i'w niweidio ond amlhau ei chynnalwyr; chwanegu cyfraniadau, trwy roddi achlysuron i osod allan ei rhagoriaethau.

Bu agos i mi anghofio dywedyd wrthych, bod Cymdeithas arall dan reolaeth yr Eglwys Sefydledig, *er Dychwelyd yr Iuddewon;* yr hon a rydd iddynt yr Hen Destament a'r Newydd yn eu hiaith eu hunain—a daena draethodau, yn profi mai Iesu o Nazareth yw 'r Messia—a gynnal bregethwyr yn eu plith, ac a rydd addysg i'w plant. Mae amryw amgylchiadau yn dangos bod rhyw gyfnewidiad mawr ar gymmeryd lle y'mhlith y bobl hyn.

Mae Cymdeithasau mewn gwledydd ereill hefyd, y rhai a lafuriant yn fawr er goleuo y cenhedloedd anwybodus, a'u troi o feddiant Satan at Dduw.

GWRANDAWR.—O fel y darfu i chwi fy sirioli, Syr. Yr wyf yn ddiolchgar bod cynnifer o Gymdeithasau, y rhai yn drugarog a anfonant fara 'r bywyd i'r eneidiau gwerthfawr sydd yn trengu o'i eisieu. Ond dywedasoch rywbeth am *wrthwynebiad:* mae yn rhyfeddod i mi fod neb yn medru gwrthwynebu sefydliadau mor wych a rhagorol.

GWEIN.—Gyfaill, pwy a gafodd ei wrthwynebu mor greulon a'r Iesu? Os gwrthwynebwyd ei ber-

son, gwrthwynebir hefyd ei achos. Dywedodd mai felly y byddai, ac felly y mae wedi bod er pan sefydlwyd ei deyrnas ar y ddaear. Pe na byddai gwrthwynebiad i'r sefydliadau hyn, ni allwn i gredu mai o Dduw y maent.

GWRAN.—Gwir, Syr.

GWEIN.—Mae llawer yn dywedyd yn eu herbyn, o herwydd na lafuriant i wybod pa beth ydynt, na beth y maent yn ei wneuthur, a pha beth a wnaethant. Ond, fy nghyfaill, er holl wrthwynebiad y gelynion rhagfarnllyd hyn, ni all dim fod yn fwy sicr na hyn, y dylai pawb hyd eithaf eu gallu hwylysu gweithrediadau y fath Gymdeithasau defnyddiol. Ystyriwch sefyllfa druenus y byd!

GWRAN.—Y mae yn druenus yn wir. Ond a feddyliwch, Syr, bod yr holl luoedd hyn yn golledig yn dragywydd?

GWEIN.—Gofynasoch gwestiwn pwysig iawn—cwestiwn a ofynwyd i mi droiau o'r blaen: ond nid oeddwn awyddus i'w ateb. Ond yn gymmaint a bod ein hymdrechiadau o blaid y Paganiaid druain yn dibynu yn fawr ar ein tyb a'n cred yn y mater hwn, ni allaf lai na datgan fy marn am dano. Ond sylwaf, yn gyntaf, pe gallwn ond gwaredu cymmaint o filoedd oddiwrth y creulonderau diles ac ofnadwy, wrth glywed am ba rai yr oedd eich gwallt fel yn sefyll ar eich pen, byddai ein llafur y'mhell oddiwrth fod yn ddiddefnydd, a'n harian oddiwrth gael eu treulio yn ofer.

GWRAN.—Byddent, Syr, byddent yn ddiau. Yr oeddwn yn meddwl pe gwelswn y gweddwon hyny yn cael eu llosgi, a'u claddu yn fyw, a chlywed y babanod hyny yn llefain fel y maent yn marw yn y basgedau gan wres yr haul, brathiadau y gwybed, a grym newyn, fel y rhwygai fy nghalon wrth y fath olwg! Ond, Syr, yr un yw 'r cri a'r loesau, er eu bod yn cymmeryd lle filoedd o filldiroedd oddiwrth fy annedd: a dylai pawb wneud eu goreu i rwystro 'r fath greulonderau, fel pe digwyddent o flaen eu llygaid. Dylai gwaedd ac wylofain cymmaint o'n cyd-ddynion arteithiedig gyrhaedd ein clustiau lle yr ydym.

GWEIN.—Gwir: ond y mae gogoneddusach diben yn ngolwg y Cymdeithasau hyn na gwaredigaeth oddiwrth ddioddefiadau corphorol, pa drymed bynag y byddont. Lles yr enaid sydd yn benaf yn eu golwg. Fy nghyfaill, dylem farnu am bob peth yn ol tystiolaeth y Bibl; ac os gallaf ddangos i chwi, o'r llyfr hwnw, fod y Paganiaid yn y cyflwr mwyaf gresynus mewn perthynas i fyd arall, addefwch ar unwaith mai nid wrth farnu yn ffafriol am eu sefyllfa y cyflawnwn ein dyledswydd tu ag atynt; ond wrth ymdrechu yn ddioed, yn barhaus, ac â'n holl egni, i'w dwyn allan o'u perygl. Mae 'r Paganiaid tywyll yn awr yn yr un sefyllfa a'r Ephesiaid Paganaidd cyn clywed a derbyn yr efengyl. Yr oedd y rhai hyn, yn eu cyflwr Paganaidd, yn "feirw mewn camweddau a phechodau—yn eilun-addolwyr." *Act*. 19. 35. Os dywedodd yr apostol wrth yr Ephesiaid, eu bod, o herwydd hyn, *heb obaith* bywyd tragywyddol, beth a ddywedwn am y rhai sydd yn yr un sefyllfa a hwynt? Os oedd eilun-addolwyr a'r di Grist gynt "yn blant digofaint," ac mewn 'stâd golledig, onid rhaid fod y cyfryw yn yr un sefyllfa ofnadwy yn awr? Eglur, ynte, fod yr Indiaid, a'r holl Genhedloedd Paganaidd, yn ein dyddiau ni ar ffordd angeu, megys yr Ephesiaid cyn derbyn o honynt oleuni a bywyd oddiwrth yr efengyl; canys yr un yw Duw "ddoe, heddyw, ac yn dragywydd." Cymmerwch dan eich ystyriaeth yr adnodau canlynol hefyd:—"Cynnifer ag a bechasant yn ddiddeddf, a gyfr-

gollir hefyd yn ddiddeddf.—Ni chaiff na godinebwyr, nac eilun-addolwyr etifeddu teyrnas Dduw.—Dilynwch sancteiddrwydd, heb yr hwn ni chaiff neb weled yr Arglwydd.—Eilun-addolwyr a gânt eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan.—Nid â i mewn iddi ddim aflan, nac yn gwneuthur ffieidd-dra." Dysgir ni i roddi mawr bris ar y Bibl; ond onid yw y grêd bod y sawl sydd hebddo mewn cystal cyflwr a'r neb a'i meddiannant, yn tueddu i iselhau ei werth yn ein golwg; ac os gall Cenhedloedd eilun-addolgar, cnawdol, ac ansanctaidd y ddaear fod yn ddiogel heb yr efengyl, y mae addewid Duw i'w dychwelyd trwyddi yn annealladwy ac afreidiol. Cyll ei holl felusder, ac nid yw y geiriau hyny ond ysgafnder i gyd:—" Mor weddaidd ar y mynyddoedd yw traed yr hwn sydd yn efengylu, yn cyhoeddi heddwch."

GWRAN.—Rhaid i mi addef, yn wir, Syr, fod yr hyn a ddywedasoch yn gosod allan sefyllfa'r Paganiaid yn ddychrynllyd a gresynol iawn.

GWEIN.—Oni welwch, ynte, mor uchel y llefara trueni presennol, a disgwyliad dyfodol, y myrddiynau hyn o anfarwolion wrthym fel dynion a Christionogion? Diammeu, pe ystyriom eu sefyllfa fel y dylem, y teimlai pob calon, ac yr agorid pob llaw. Mae eu cyflwr hefyd yn gofyn ymgeledd *dioed*, a'r haelioni ehangaf; canys y mae'r deillion hyn yn brysio i dragywyddoldeb! Meddylir fod tri ugain o ddynion yn myned i fyd arall bob mynyd! Mae cryman angeu mor aml ar waith, fel fod cnwd o ddynion yn cael ei tòri i lawr, ac arall yn codi i fynu yn ei le, unwaith bob deng mlynedd ar hugain.

GWRAN.—Mae yn syml meddwl am y fath beth, Syr. Dylai 'r ystyriaeth y bydd myrddiynau yn nhragywyddoldeb cyn y gall ein tosturi eu cyrhaedd beri i ni weithio o'u plaid heb golli amser. Ond a oes rhyw *annogaeth* i fyned rhagom yn y cariad llafurus hwn?

GWEIN.—Y mae. Mae rhagfarn (a dybid unwaith yn anorchfygol) yn rhoi ffordd ym mhlith Iuddewon a Chenhedloedd. Mae 'r Cenhadon yn llwyddo i ryw fesur ym mhob man. Erfyniad am fwy o lafurwyr a glywir o bob rhan o'r ddaear. "Rhoddwch, os medrwch, i ni fwy o Genhadon, Helaethwch eich calonau tu ag atom: anfonwch Genhadon dysgedig a duwiol—mae arnom eu mawr eisieu. Rhaid i ni erfyn arnoch anfon mwy o Genhadon; yr ydym yn methu myned y'mlaen hebddynt." Dyma yr erfyniadau a glywir o'r dwyrain a'r gorllewin. Lluoedd o eilun-addolwyr, ie, trigolion ynysoedd cyfain, a ymwrthodasant â'u duwiau, gan gofleidio y grefydd Gristionogol. Miloedd lawer o blant a dderbyniant addysg crefyddol; ac y mae miloedd lawer yn ychwaneg yn awyddus am yr un fraint. Yn Affrica Orllewinol y mae dynion duon, y sawl, o gyflwr gwyllt a barbaraidd, sydd Gristionogion enwog. Yn *Regent Town* (1823) yno, mae mil o'r rhai'n yn myned i'r llan bob dydd, foreu a hwyr, ac y mae 'r eglwys, yr hon a helaethwyd dair gwaith, yn llawn dair gwaith bob Sabboth, er gwlybed yr hin yno ar rai amserau. Mae yr eglwys ar gaol ei helaethu etto. Y teuluoedd oll a ddeuant i'r addoliad, gan gloi drysau 'r tai. Mae gweddi deuluaidd agos ym mhob teulu; ac y mae 'r duwiolion hyn yn aml hyd hanner nos yn parhau i foliannu Duw am ei ddirfawr ddaioni tu ag atynt. Mae 'r bobl hyn, a fwriedid i fod yn gaethion, ond a ail-gymmerwyd gan ein llongau ni, ac a osodwyd yn y fangre hon, mor ddiolchgar am drugaredd Duw, fel y darfu iddynt sefydlu Cymdeithasau Biblaidd a Chenhadawl, er anfon i ereill y bendithion a fwynhant

hwy. Llawer o broffeswyr yma, ac mewn lleoedd ereill, a fuant feirw gan orfoleddu yn y Gwaredwr.

GWRAN.—Dyma annogaethau yn wir.

GWEIN.—Ond cawn well annogaethau etto allan o air Duw. Galwaf eich ystyriaeth at rai o honynt. "Rhoddaf y Cenhedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant.—O gyfodiad haul hyd ei fachludiad hefyd, mawr fydd fy enw ym mysg y Cenhedloedd.—Mi a'th roddaf hefyd yn oleuni i'r Cenhedloedd, fel y byddych yn iachawdwriaeth i mi hyd eithaf y ddaear." Gyfaill anwyl, caiff yr addewidion hyn eu cyflawni; canys nid addewidion dyn cyfnewidiol a thwyllodrus ydynt, ond y Duw digyfnewid—Arglwydd y lluoedd a'u llefarodd. Pob rhwystrau a symudir: nid yw gwrthwynebwyr ond "myfyrio peth ofer." A phan gyflawnir hwynt, pa hapusrwydd a lenwa 'r ddaear! Bydd dynolryw yn un teulu heddychol a hapus: Crist yr Arglwydd a addolir ac a fawrygir trwy 'r byd. Bydd y ddaear yn gysgod o'r nefoedd. Ni fydd trais mwy. Brenhinoedd a chardotwyr (os bydd y cyfryw y'nghanol crefydd bur y nef) a fyddant wir Israeliaid, yn demlau i'r Yspryd Glân, ac yn gyd-deithwyr i'r Ganaan dragywyddol.

GWRAN.—O'r fath ddyddiau gwynfydedig fydd y rhai'n! Dim rhyfel mwy, dim creulondeb, dim trais, dim cenfigen.

---

## DIFFYNIAD AC EGLURHAD

*Ar Wasanaeth yr Eglwys Sefydledig, mewn ffordd o Holiad ac Atebiad rhwng* YSGOLHAIG *a'i* ATHRAW.

*YSGOLHAIG.* PA faint o amser sydd er pan gyfansoddwyd y Llyfr Gweddi Gyffredin?

*ATHRAW.* Oddeutu dau cant a deg ar hugain o flynyddoedd.

*Y.* Pwy a'i cyfansoddodd?

*A.* Cyn y Diwygiad yr oedd y Gwasanaeth cyffredin (*Liturgy*; o'r *Gr.* Λειτος, cyffredin; ac Εργον, gwaith) yn Lladin; yr hwn ydoedd Gasgliad o Weddïau; rhai o hen ffurfiau y brif Eglwys, ac ereill o goelgrefyddau yr Eglwys Babaidd.* Yn amser Harri VIII ymdrechodd yr enwog CRANMER i gael y Gwasanaeth cyffredin yn Saesoneg, a llwyddodd mor bell ag i gael argraffu Llyfr bychan yn cynnwys y *Venite*, neu, "Deuwch, canwn i'r Arglwydd," &c. y *Te Deum*, neu, "Ti Dduw a folwn," &c. y *Benedictus*, neu, "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel," &c. Gweddi yr Arglwydd, y Credo, a'r Deg Gorchymyn, yn yr iaith hono. Ond pan ddaeth Edward IV. i'r orsedd, efe a awdurdododd y gwyr dysgedig canlynol i gyfansoddi Gwasanaeth y Cymmun, A. D. 1548; sef, Thomas Cranmer,† Archesgob Canterbury; Thomas Goodrick, Esgob Ely; Henry Holbech, Esgob Lincoln; George Day, Esgob Chichester; John Skip, Esgob Henffordd; Thomas Thirlby, Esgob Westminster; Nicholas Ridley, Esgob Rochester; Richard Cox, Deon Christ Church; Dr. May, Deon Eglwys St. Paul; Dr. Taylor, Deon Lincoln; Dr. Heyns, Deon Exeter; Dr. Robinson, Deon Durham; Dr. Ridley,‡ Meistr Trinity College. Yn ebrwydd ar ol hyn appwyntiwyd yr un personau i gyfansoddi yr holl Wasanaeth Cyffredin; yr hwn, wedi ei orphen, a gadarnhawyd gan y Senedd, gyd â'r canmoliaeth hynod hyn; sef, "Ei fod wedi ei wneuthur trwy gynnorthwy yr Yspryd Glân."

*Y.* A ydyw Llyfr y Gwasanaeth Cyffredin yn unol â Gair Duw?

*A.* Ydyw, yn ddiammeu, gan ei fod wedi ei dynu, gan mwyaf, allan o'r Bibl; yr hwn sydd yn gwneud i fynu ran fawr, os nid y rhan fwyaf, o'r Gwasanaeth a ddarllenir yn wastadol yn yr Eglwys Sefydledig. Yr ydys yn dechreu yr addoliad dwyfol gyda darllen, â llef uchel, un neu ychwaneg o adnodau o'r Ysgrythyr Lân; yna darllenir Gweddi yr Arglwydd; y 95 Salm; rhan o'r benod gyntaf o Luc; neu y ganfed Salm; y Salmau mewn trefn, megys yr appwyntiwyd; Pennod o'r Hen Destament; Pennod o'r Testament Newydd; y Deg Gorchymyn; yr Epistol a'r Efengyl; y drefn hon a arferir drwy y flwyddyn; ac felly darllenir y Salmau drosodd bob mis; yr Hen Destament, y rhan fwyaf o hono, bob

---

* Fel y gwelir yn awr yn y *Roman Breviary*, a'r *Missal*; sef llyfrau Gwasanaeth a Seremoniau y Pab.

† Yr hwn a fu farw yn Ferthyr i Athrawiaeth y Diwygiad, yr hon a ddygwyd oddi uregyich, ac a sefydlwyd yn Eglwys Loegr, yn benaf trwy ei lafur ef. Efe a losgwyd yn Rhydychen, yn nheyrnasiad Mary, Mawrth 21ain, 1556.

‡ Esgob Llundain. Bu farw yn Ferthyr yn nheyrnasiad y Frenhines Mari. Cafodd ei losgi yn Rhydychen, Hydref 16eg, 1555.

blwyddyn; a'r Testament Newydd deirgwaith bob blwyddyn. Fel hyn darllenir yr holl Fibl drosto, neu y rhan fwyaf o hono, unwaith bob deuddeng mis, ynghyd â Chredo yr Apostolion, unwaith bob dydd yr Arglwydd, yn yr hwn y mae holl Sylfaenol Erthyglau y Ffydd Gristionogol wedi eu crynhoi ynghyd. Gwel yma ddoethineb, yn gystal a duwioldeb, y Diwygwyr cyntaf, y rhai a gyfansoddasant y Gwasanaeth Cyffredin, mor gymmwys a chytunol â Gair Duw, ac â chynghor yr Apostol, 1 *Cor.* 14. 26. "Gwneler pob peth er adeiladaeth." Yr hyn nis gallaf lai na'i briodoli i'r unrhyw ryfeddol gynnorthwy oddiwrth Dduw, ac a'u galluogodd wedi hyny i ddioddef erlidigaeth, ie, merthyrdod ei hun, er ei fwyn ef; ac felly i gadarnhau eu gwaith â'u gwaed eu hunain, yr hyn yn sicr sydd ganmoliaeth nid bychan i'r Llyfr.

*Y.* A fu y Llyfr hwn mewn arferiad gwastadol a didòr yn yr Eglwys er pan gyfansoddwyd ef hyd yn awr?

*A.* Na ddo; canys taflwyd ef allan yn nheyrnasiad Mary waedlyd.* Yr oedd y diafol yn dal gŵg iddo er ei ffurfiad cyntaf; ac nid rhyfedd, canys po fwyaf buddiol yw efe i bobl Dduw, mwyaf dinystriol rhaid ei fod i deyrnas Satan. Y mae 'n hysbys pwy oedd offerynau y Frenines Mary i ddwyn eu hamcan annuwiol hyn i ben, sef y Pabyddion; canys rhagwelent yn eglur na buasai i'w hopiniynau cyfeiliornus hwynt byth gael eu credu, tra byddai i'r Llyfr Gweddi Gyffredin gael ei arferyd yn yr Eglwys; yn gymmaint ag nad oes dim amgen na Gair Duw ynddo, ac felly yn hollol groes i Erthyglau Ffydd Eglwys Rhufain; am hyny, ymdrechasant am gael ei roddi heibio cyn gynted ag y gallent. Ond ym mhen ychydig o amser wedi hyn, sef yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad y Frenines Elizabeth, o fendigedig goffadwriaeth, arferwyd ef drachefn. "Beth a dalwn i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i ni? phiol iachawdwriaeth a gymmerwn, ac ar enw yr Arglwydd y galwn." *Ps.* 116. 12, 13. Ac fel yr oedd y Diwygiad wedi dechreu eisoes, felly o'r amser hwnw dygwyd ef yn y blaen yn benaf trwy weinidogaeth y Llyfr Gweddi Cyffredin; canys amlwg yw nad oedd yn nheyrnasiad Brenin Edward VI, ac am lawer o flynyddoedd hefyd dan y Frenines Elizabeth, ond ychydig neu ddim pregethu. Ac etto, trwy wastadol arferyd Gwasanaeth yr Eglwys Sefydledig, a bendith Duw, yr holl genedl a addysgwyd ac a adeiladwyd yn y wir grefydd, fel nad oedd braidd un o gant nad ymwrthododd âg athrawiaeth gyfeiliornus y Pab y'mhob rhan o'r deyrnas; gan hyny, meddyliaf, mai prin y mae 'n bossibl i Babyddiaeth ennill tir yma, tra y defnyddir y Llyfr Gweddi Gyffredin yn ein plith; ond pe symudid y gwrthglawdd (*bulwark*) hwn ymaith, yr hyn na atto Duw, Pabyddiaeth yn fuan a'n goresgynai, ryw ffordd neu gilydd, y mae achos i ofni.

*Y.* A arferwyd ef o amser y Frenines Elizabeth hyd heddyw?

*A.* Na ddo; canys taflwyd ef allan drachefn yn nheyrnasiad Charles I, ond trwy ba yspryd sydd hysbys ddigon. Y cwbl a ddywedaf am dano yw hyn, mai yr un yspryd a gynhyrfodd y bobl y pryd hyny mor angerddol yn erbyn y Llyfr hwn ag a'u cynhyrfodd hefyd, yr un pryd, i wrthryfela yn erbyn eu Brenin,* i gymmeryd ymaith feddiannau dynion a'u bywydau, yn groes i gyfraith Duw a dyn. A pha un ai Yspryd Crist neu yspryd Anghrist, Yspryd Duw neu yspryd y diafol ydoedd, bernwch chwi. Ond bendigedig fyddo enw y Duw Goruchaf, Efe a welodd yn dda, unwaith etto, ymddangos drosom, gan adferu y Llyfr da hwn i'r Eglwys mewn modd rhyfeddol, braidd na ddywedwn gwyrthiol, yn gystal a'n Brenin grasol i'w deyrnasoedd.

*Y.* A oes esamplau ysgrythyrol o ddefnyddio ffurf i weddïo?

*A.* Oes; Hezeciah a'r Tywysogion a orchymynasant i'r Lefiaid foliannu yr Arglwydd â geiriau Dafydd ac Asaph y gweledydd, 2 *Cron.* 29. 30. Y mae gorchymyn i'r offeiriaid yn *Joel* 2. 17. i ddefnyddio ffurf o eiriau wrth weddïo ar Dduw, "A dywedant, arbed dy bobl, O Arglwydd, ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth; i lywodraethu o'r cenedloedd arnynt: paham y dywedent ym mhlith y bobloedd, pa le y mae eu Duw hwynt." Gwel hefyd *Hos.* 14. 2. Y mae ffurf benodol o weddi wedi ei hordeinio gan Dduw i'w harfer wrth wneuthur iawn am lofruddiaeth anhysbys, *Deut.* 21. 7, 8. "A hwy a atebant ac a ddywedant, Ni thywalltodd ein dwylaw ni y gwaed hwn, ac ni's gwelodd ein llygaid. Trugarha wrth dy bobl Israel, y rhai a waredaist, O Arglwydd, ac na ddyro waed gwirion yn erbyn dy bobl Israel." Hefyd ffurf o gyfaddefiad gyd âg offrwm y blaenffrwyth, *Deut.* 26. 5—11. "Llefara dithau a dywed ger bron yr Arglwydd dy Dduw, Syriad ar ddarfod am dano oedd fy Nhad,

---

* Yn ei theyrnasiad gwaedlyd (yr hwn ni pharhaodd ond chwe mlynedd) llosgwyd un Archesgob, 4 Esgob, 21 o Dduwinyddion, 8 o Foneddigion, 184 o Gelfyddwyr, 100 o Lafurwyr, gweision a gweithwyr, 26 o Wragedd, 20 o Weddwon, 9 Gwyryf, 2 Fachgen, a 2 Faban, y rhai a neidiasant o'r groth i'r tân! *Heb.* 11. 38. "Ardderchog lu y Merthyri a'th fawl di." Heblaw y rhai hyn 7 a ffangellwyd, un i farwolaeth, bu farw 16 mewn carcharau, a chladdwyd 12 mewn tomenau.

* Yr amser hwn llofruddiwyd un o'r Breninoedd goreu ag a eisteddodd erioed ar Orsedd y Deyrnas hon. "Pan nad oedd brenin yn Israel, pob un a wnai yr hyn oedd uniawn yn ei olwg ei hun."

ac efe a ddisgynodd i'r Aipht, ac a ymdeithiodd yno ag ychydig bobl, ac a aeth yno yn genedl fawr, gref, ac aml. A'r Aiphtiaid a'n drygodd ni, a chystuddiasant ni, a rhoddasant arnom gaethiwed caled. A phan waeddasom ar Arglwydd Dduw ein tadau, clybu yr Arglwydd ein llais ni, a gwelodd ein cystudd, a'n llafur, a'n gorthrymder. A'r Arglwydd a'n dug ni allan o'r Aipht â llaw gadarn, ac â braich estynedig, ac âg ofn mawr, ac âg arwyddion, ac â rhyfeddodau. Ac efe a'n dug ni i'r lle hwn, ac a roes i ni y tir hwn; sef tir yn llifeirio o laeth a mêl. Ac yn awr, wele, mi a ddygais flaen-ffrwyth y tir a roddaist i mi, O Arglwydd: a gosod ef ger bron yr Arglwydd dy Dduw, ac addola ger bron yr Arglwydd dy Dduw. Ymlawenycha hefyd ym mhob daioni a roddodd yr Arglwydd dy Dduw i ti, ac i'th deulu, tydi, a'r Lefiad, a'r dieithr a fyddo yn dy fysg," a llawer ereill o'r cyffelyb. Oddi yma y mae 'n eglur fod ffurfiau o weddi yn cael eu harfer, trwy osodiad Duw, er dechreuad yr Eglwys Iuddewig.

*Y.* A oes esamplau o hyn yn y Testament Newydd?

*A.* Oes: y mae Pen mawr yr Eglwys, Bugail ac Esgob ein heneidiau, wedi rhoi gorchymyn a chyfarwyddyd am hyn, *Luc* 11. 2. "Pan weddïoch, dywedwch, Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy enw, deued dy deyrnas, gwneler dy ewyllys, megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd." A'r dywediad yn *Mat.* 6. 9. "*Fel hyn*," (*Gr.* Ουτως,) sydd yn un â hwnw, pan ordeiniwyd ffurf i Aaron i fendithio y bobl, *Num.* 6. 23. "*Fel hyn*," &c. (*Septuagint* Ουτως) a'r ffurf hon o fendithio a arferid yn wastadol dan y ddeddf. A'r un ffurf a arferwyd yn Germany, yn y Diwygiad gan Luther,* ac hefyd yn yr un o eiddo Geneva.† A phaham, gan hyny, yr esgeulusir Gweddi yr Arglwydd? Tra byddom yn canlyn ôl traed ein Hiachawdwr nis gallwn gyfeiliorni.

(*I'w barhau.*)

---

## TAITH AC ANTUR DEWI AB LLYR.

(*Parhad o du dalen* 182.)

WEDI parotoi pob peth yn ofalus gogyfer a'r daith beryglus oedd o flaen Dewi ab Llyr, a'r rhai a ymddiriedasid i'w ofal ef, nid oedd neb yn ddi ddychryn rhag i ddrwg anffawd orddiwes y nifer fechan oedd ar droi eu cefnau ar y Gaer. Ynghylch hanner nos ymadawsant yn y modd distawaf ag a allent, fel na byddai i'w gelynion ddyfod yn wybodus o'u bwriad; ond cyn iddynt fyned gan llath oddiwrth y Gaer, o herwydd sŵn carnau eu ceffylau yn trystiaw, clywyd un o'r gwylwyr yn gwaeddi allan, "Pwy sydd yna?" a phan na chafodd ateb tâniodd ei ddryll ar ffrwst, a churwyd tabwrdd yn ddiatreg i rybuddio y milwyr fod rhyw elynion yn agos i'r gwersyll.

Nid ychydig oedd y terfysg a'r braw a'r brysio a gymmerodd le ym mysg gwyr Cromwel, ac yn wir ymaflodd cyffro ac arswyd yn y rhan fwyaf o honynt; canys credasant yn ddiysgog, naill ai fod Syr Gronwy Hael wedi rhuthro allan ar eu gwarthaf, i'w tòri ymaith yn oriau y tywyllwch, pryd nas gallent, yn ddiogel, gynnorthwyo eu hunain, ynte, fod plaid newydd o'r Cymry glewion wedi dyfod yn ddisymmwth arnynt i wneuthur galanas yn eu plith. Dewi ab Llyr, a'i gydymdeithwyr, a garlamasant yn ddiaros, hyd nes y cyrhaeddasant fan lle y tyfai llawer iawn o goed. Yno, wedi iddynt aros am fynyd, fel yr anadlent, ac y penderfynent pa un o ddwy ffordd a gymmerent i fyned i Gastell —— pa oerfelawg ias a frysdreiddiodd drwy eu cyrph, pan glywsant drwst ceffylau, a lleisiau dynion, heb fod ym mhell o'u hol. Braidd y cawsant ddigon o amser i dynu allan o'r ffordd i'r goedwig, pan adnabuasant lais Bleddyn yn llefain allan, "Pa ffordd yr aethant hwy? Diammeu yw, pwy bynag ydynt, eu bod am gyrhaedd Castell ——. Am nad oes ond dwy ffordd yn arwain yno, aed tri o honoch chwi ar hyd yr aswy, ninnau ein tri a drown ar hyd yr un ddehau. Brysiwn i'w goddiweddyd." Cysur annhraethol a roddodd penderfyniad Bleddyn o ranu ei wŷr i

---

* Luth. Tom. 3. F. 10.

† Prec. Eccles. Form. Geneva.

Dewi; canys nid ofnai gyfarfod â thri gelyn, pan oedd ganddo ei hun bedwar o filwyr dewrion. Cyn hyn yr oedd gwraig Syr Gronwy Hael, a Rhonwen, a'u morwynion, ar syrthio i lewyg; ond eu hofnau ar unwaith a yrwyd ar ffo, a llawenydd dirfawr a gymmerasant eu lle. Marchogasant o hyn allan yn bwyllog ym mlaen, gan ddisgwyl cyfarfod âg un blaid o'r ymlidwyr yn dychwelyd. Ar lasiad y dydd, pan oeddynt ar fin cyrhaedd pen eu taith, cyfarfuasant â Bleddyn a dau o'i ganlynwyr, yn dyfod tu ag atynt yn lluddedig, a'u hwynebau yn ardystio siomedigaeth. Wrth ganfod Dewi ab Llyr, a Rhonwen dan ei nawdd, aeth Bleddyn agos yn wallgofus, yn enwedig pan welodd efe nad oedd ddichonadwy iddo ruthro ar Dewi, a chymmeryd Rhonwen ymaith, o herwydd fod ei wrthwynebwyr yn amlach na'i blaid ei hun. Marchogodd Dewi ab Llyr yn eofn tu ag ato â'i gleddyf noeth yn ei law; ond cofiodd Bleddyn am y derbyniad a'r driniaeth a gafodd yn yr ymgyrch a ddigwyddasai rhyngddynt, a brysiodd ymaith yn welw ei wedd; yspardynodd ei geffyl, a ffodd dros gloddiau a gwrychoedd am ei fywyd. Canlynodd Dewi, a thri o'r rhai oedd gyd âg ef, ar ei ol. Ymegniasant, â'u holl nerth, ei ddal ef a'i gymdeithion; ond nis tyciasant i'w wneuthur ef yn garcharor, o herwydd ei farchogaeth medrus a buandra ei geffyl. Nid felly y digwyddodd i'r ddau ereill; canys ar ol cael eu clwyfo yn dost, arweiniwyd hwynt yn gaethion cleddyf.

Rhoddodd eu diangfa o law eu gelynion lawenydd mawr i Lywydd Castell ——. Y Castell hwn a adeiladesid gan Richard de Strongbow, yn y flwyddyn 1109, ar iselfryn unigol ar làn y môr. O'r tu deau-ddwyreiniol y rhedai afon, pa un, er mai llonydd oedd ei threiglfa yn y fan hon, a frys-lamai yn rhuadawl, mewn amryw leoedd o'i gyrfa, dros ddyrys greigiau, a thrwy wyllt-leoedd coedawg, ac a ymunai, cyn ymarllwys i'r môr, âg afon hardd-deg arall, oddiwrth yr hon yr enwasid y Castell. Yn yr amser yr wyf yn sôn am dano yr ydoedd gwarchawdlu dan awdurdod Charles I. yn ei gadw; pa fodd bynag, nid hir y bu yn eu dwylaw; canys ym mhen ychydig ddyddiau ar ol i Dewi ab Llyr a Rhonwen droi eu hwynebau tu a'r gogledd, rhoddodd Syr Gronwy Hael y Gaer i fynu ar ammodau teg, ac aeth i'w gartref ei hun; ond milwyr Cromwel a warchaeasant yn uniongyrchol ar y Castell, a gorfu ar y Llywydd roddi i fynu yr ymdrech; canys gwnawd rhwygiadau anferth yn muriau 'r Castell gan fagnelau dinystriol y gelynion. Nis adgyweiriwyd ef byth ar ol ei ddistrywio y tro hwn, a'i wneuthur, gan mwyaf, yn garnedd; ond y mae ei adfeiliau heirdd, ynghyd âg amryw ereill o'u cyffelyb, i'w gweled hyd heddyw, megys côfadeiliau ansigledig o'r terfysgoedd cyffrous, a'r galanas anrheithiol, a gymmerasant le yn ardaloedd Cymru.

Pan oedd Dewi ab Llyr a Rhonwen wedi cyrhaedd rhan o Swydd Feirionydd, sydd yn wynebu i'r gorllewin, yr oeddynt yn gorfod myned ar hŷd llwybr cul ar lechwedd serth a dyrus. Tewion fângoed oedd y tu uchaf iddynt; ac islaw iddynt y môr rhuadwy, a hyll glogwyni. Pan oeddynt yn symud yn ddiofal yn y blaen, y naill ar ol y llall, clywai Dewi y coed uwchlaw iddo yn ysgwyd, a math o rugldrwst fel pe bai dyn neu anifail yn rhuthro trwyddynt; a braidd y cafodd efe amser i droi ei wyneb tu a'r lle, pan y canfu Bleddyn yn gorwyllt gyrchu tu ag ato, â'i gleddyf yn ei law; ond cyn iddo gael amser i daro ei elyn, ymgripiodd Dewi ym

mlaen o'i gyrhaedd; a Bleddyn, o herwydd ei egni a'i hynt angerddol, a aeth heibio fel bollt yn ddi ymatal, a syrthiodd dros y dibyn, o glogwyn i glogwyn, bendramwnwgl i'r môr. Nis meiddiodd canlynwyr Bleddyn gyffwrdd â Dewi pan welsant yr hyn a ddigwyddasai i'w meistr, ond ffoisant yn ddi aros yn eu hol. Bleddyn ei hun a gaed yn farw yn y bâsfôr, a charn ei gleddyf toredig yn nghlo yn ei law. Pan ganfu Dewi ef heb allu symmud na llaw na throed, ei gorph wedi ei ddryllio yn echryslon, a'i wyneb yn edrych yn ddieithr a dychrynllyd gan ddwfn archollion, a chan feddwl y gallasai efe ei hun fod yn yr un sefyllfa, nis gallodd ymatal oddiwrth ddagrau. Synfyfyriodd ar y digwyddiad annisgwyliadwy; a meddyliodd lawer, gyda dwys ddifrifwch, pa beth a fuasai ei gyflwr ei hun, pe i'r byd tragywyddol y cawsai ei gipio yn yr un modd disymmwth ag y digwyddodd i Bleddyn. Diolchodd i Dduw, yr hwn sydd yn goruwchlywodraethu pob digwyddiadau, am ei amddiffyn rhag y mawr berygl a grogasai uwch ei ben; a thaflodd saeth weddi daer tu a'r nef am nerth i fod yn barod bob awr gogyfer âg amser ei ymddatodiad.

Ar ol hyn, cyrhaeddodd Dewi ab Llyr a Rhonwen gartrefle ei thad, Rhodri Ysgafndroed, heb unrhyw ddamwain ychwanegol. A derbyniwyd Rhonwen i fynwes ei theulu gyda llawenydd annrhaethol; o herwydd, cyn eu dychweliad, yr oedd ofn mawr wedi gafaelu yn ei chyfeillion, rhag i niweid ddigwydd iddi tra yr ydoedd yn ymdeithio yn Neheudir Cymru yn amser y terfysgoedd. Diolchodd Rhodri Ysgafndroed yn wresog i Dewi ab Llyr am ei ofal a'i nawdd; a dywedodd, y byddai yn ddywenydd nid bychan ganddo ad-dalu iddo, mewn un ffordd yn ei allu, am ei bryder a'i fawr garedigrwydd.

Pan oedd Dewi ab Llyr yn rhodio gyda Rhonwen, fraich ym mraich, ym mysg y pêr-lysiau, ac yn tramwyo yn llawen trwy y rhodfeydd ymgroesawl a graianawg yn yr ardd, ac yn ymddiddan yn siriol ynghylch yr hyn a ddigwyddasai iddynt er pan gyntaf yr ymgyfarfuasant, nis gallodd Dewi ab Llyr ymatal rhag troi ei olygon at wyneb Rhonwen, yr hon a garai mor gu a'i enaid ei hun, er na ddywedodd efe hyny erioed wrthi mewn geiriau, i'r diben i ddarllen yno, yn ddiffael, pa un a oedd yn debyg i'w gais fod yn llwyddiannus ai peidio. Ymaflodd yn ysgafn yn ei llaw; treiddiodd ysgafngrŷd trwyddo oll; a dywedodd, â llais crynedig, "Yr ydym hyd yn hyn wedi bod yn *gyfeillion* gwresog: a oes gobaith—a oes lle imi wan obeithio, y gallaf, ryw bryd, fod mor ddedwydd ag i'n cyfeillgarwch derfynu mewn undeb agosach; ie, y cyfryw undeb a'r nas gwahana dim ond angau ef?" Rhonwen, wrth ganfod ei ddifrifwch, ac o herwydd i'r gofyniad ddyfod arni mor ddisymmwth, er nad oedd hi, oddiwrth ei ymddygiad addfwyn a charuaidd, a'i ddyfalwch diflino bob amser cyn hyn, ddim heb ddisgwyl, yn awr ac eilwaith, i'r cyfryw eglurhad gymmeryd lle, a fethodd ateb iddo un gair; glynodd ei thafod, yr hwn, ar achosion cyffredin, a arferai fod yn rhugyl, wrth daflod ei genau; ond taflodd y fath olwg mwynaidd a serchoglawn arno, gan, ar yr un pryd, wasgu ei law yn wanaidd ac yn grynedig, fel nad oedd angen am eiriau i gyfleu yn ddiwyro yr hyn oedd yn ei meddyliau. Yr oedd calon Dewi ab Llyr, ar yr achos presennol, wedi ei gorlenwi, ac ar lesmeirio o lawenydd. Safasant ill dau megys yn fud am rai mynydau; yr oedd eu gallu i ymddiddan wedi ffoi oddiwrthynt. Ar ol iddynt gerdded ynghyd am ychydig, â'u hwynebau tu a'r llawr, gan fwynhau eu melus

fyfyrdodau mewn distawrwydd, ac ymneshau at eisteddle dan dewfrig onen ymlaesawl, gerllaw yr hon y crychneidiai gloywffrwd nant, gan faldarddu yn hyfrydaidd rhwng y cabolfeini ar ei hynt i lawr trwy 'r coedawg ddyffryn, arweinodd Dewi ab Llyr y feinir wridgoch hardddeg i mewn dan y gysgodfa, a gosododd hi i eistedd wrth ei ochr ar y faine ddi addurn. Ymwystlasant yno y naill i'r llall i fod yn ffyddlon hyd angau; pa rwystrau beth bynag a'u cyfarfyddai i'w cadw am amser rhag cael eu huno mewn cwlwm annatodadwy. Ofni yn ddirfawr a wnaethant ill dau y byddai Rhodri Ysgafndroed yn hollol anfoddlon; o herwydd y gwyddai efe fod Syr Fychan ab Afardwy wedi gwneuthur ymgais cyn hyn i ennill serch Rhonwen, ond yn aflwyddiannus; ac o herwydd fod gan Syr Fychan ab Afardwy fwy o aur ac arian, ac helaethach treftadaeth na Dewi ab Llyr, ac am hyny yn llawer mwy derbyniol i'w thad. Penderfynodd Dewi ab Llyr, pa fodd bynag, i ofyn ewyllys da Rhodri Ysgafndroed ynghylch Rhonwen, ar ol ciniaw, pan nad oedd neb ond hwy eu dau ynghyd.

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

---

CELFYDDYDAU YR OESOEDD BOREUOL.

O'R holl roddion ammhrisiadwy a roddes Duw i ddynion, mewn pethau tymhorol, gellir cyfrif *Celfyddyd* ym mysg y rhai blaenaf o honynt. Nid oes nemawr ddim yn addurno dynoliaeth, yn y bywyd hwn, yn fwy na hi: yn y fan y mae, moesoldeb sy'n cyd-drigo â hi; a'r lle nad yw, nid oes ond ychydig o wahaniaeth rhwng y trigolion a bwystfilod gwylltion yr anialwch. A phe baem ninnau yn troi ein golwg yn ol i'r cynamser, pryd yr oedd ein brodir yn amddifad o honi, gwelem yn amlwg y rhagorfreintiau a'i dilynodd, ynghyd â'r cyfnewidiadau godidog a wnaeth ei llachar belydrau ar ein gwlad. Wrth ei meithrin a'i holrhain, mae'n dangos mawredd rhyfeddol, ac anfeidrol allu y Crëwr mawr. Trwy hon mae 'r Athronyddion (*Philosophers*) a'r Sywedyddion (*Astronomers*) yn treiddio i ddyfnderoedd dysg, ac yn chwilio mwngloddiau natur; yn deall trefn y bydysawd, dull a gosodiad y sêr sefydlog, a chylchoedd troëllawg y planedau, a bydoedd yr wybren. Trwy hon hefyd y mae yr Amaethydd yn diwyllio y tir, yn troi anialwch annhreiddiadwy yn ffrwythlawn fel gardd Eden; ac yn cyfodi cynnaliaeth i ddynion, ac anifeiliaid, o drigfanau gwylltfilod, ac anneddau gwiberod. Mewn *Meddyginiaeth* hefyd y mae yn werthfawr tu hwnt i'w hamgyffred. Pan fyddo clefydau, heintiau, a phlâau, yn diboblogi gwledydd, ac yn medi y preswylwyr wrth y miloedd, mae dynion wedi derbyn y wybodaeth hon, fel yn sefyll rhwng y meirw a'r byw, i attal y difrod.

Cangen arall o gelfyddyd yw *Morwriaeth;* a gellir cyfrif hon yn un o'r rhoddion gwerthfawrocaf mewn gwlad. Gan fod y rhan fwyaf o'r ddaear wedi ei gorchuddio â dwfr, a'r sychdir fel nopynau yma ac acw ar wyneb y moroedd, mewn llawer o fanau; ac felly 'r ffordd o'r naill ynys i'r llall, ac o gyfandir i gyfandir, yn annhreiddiadwy, heb ryw ddyfais yn angen nag i dreiddio dros y sychdir, darparodd celfyddyd y dull anghydmarol hwn, yr hwn sydd yn fuddiol ym mhob peth er gwneud angen gwlad i fynu o'r hyn fyddo yn ddigonawl mewn gwlad arall.

Argraffyddiaeth, Ysgrifenyddiaeth, Rhifyddiaeth, a Nodau Peroriaeth, ydynt fel edyn euraidd i'r wybodaeth hon; ie, gall y rhai hyn, yn enwedig argraffu ac ysgrifenu, wrthbwyso y rhan fwyaf, os nad y cwbl ereill. Heb y moddion yma, byddai celfyddyd fel yn farw; ac ni ellid ei throsglwyddo dros diroedd a môr i wledydd a theyrnasoedd, nac ychwaith i un man: a diammeu y buasai wedi colli yn llwyr yn nhreigliad oesoedd heb y rhai hyn. Ni ymhelaethaf yn bresennol yn y dull hwn; ond deuaf i daflu cip olwg ar sefyllfaoedd celfyddyd, a'i helyntion, ym moreuol oesoedd y byd.

Y noddwyr cyntaf iddi, mae yn debyg, ydoedd Cain ac Abel: a Chain a adeiladodd y ddinas gyntaf fu mewn bod, sef Enoch. Tra anhawdd penderfynu pa sefyllfa oedd ar gelfyddyd cyn y diluw, gan nad oes ond ychydig o hanes ac ansawdd yr oes hôno ar gael. Dywed *Josephus*, ddarfod i Seth ragddywedyd am y diluw amser maith cyn ei ddyfod; ac iddo gael y rhagwybodaeth hôno trwy Seryddiaeth: ac ym mhellach, dywed i Seth argraffu celfyddyd Seryddiaeth, un ar faen, a'r llall ar briddfaen; ac iddo ef weled yr hon oedd yn faen yn ngwlad Syria. Noah hefyd a gynnysgaeddwyd â'r wybodaeth hon, i adeiladu yr arch, i'w gadw ei hun,

a'i deulu, yn ninystr yr hen fyd; a thebygol yw, mai hwn oedd y llestr cyntaf a wnaed i nofio ar wyneb y dyfroedd, a dechreuad y gelfyddyd a elwir *Morwriaeth*.

Ni foddwyd celfyddyd gan ddwfr y diluw; ac fel yr amlhaodd trigolion, cynnyddodd hithau. Nimrod a ddechreuodd ei noddi yn ngwlad Sinar, ac a sylfaenodd Babilon; a chyn hir dechreuwyd gwneud sylwadau seryddawl yno, gan y Caldeaid. Ond y lle y bu celfyddyd a gwybodaeth mewn bri fwyaf, yn yr amseroedd yma, ydoedd yr Aipht. Dechreuodd flaguro yno mor foreu a dyddiau Abraham; a bu y wlad yn enwog am gannoedd o flynyddau mewn dysgeidaeth a llywodraeth, a phob math o gelfyddydau. Yr Aiphtiaid oedd blaenrhed cenhedloedd y ddaear mewn dysg, ac oddi wrthynt hwy yr ymdaenodd gwybodaeth i'r gwledydd cymmydogawl. Yr oeddynt yn enwog mewn Seryddiaeth, Daear Fesureg *(Geometry)* Rhifyddiaeth, &c. pan oedd eu gwledydd cymmydogawl heb weled gwerth dysgeidiaeth. Aiphtwr hefyd, o'r enw *Memnon*, a ddyfeisiodd lythyrenau gyntaf, a hyny o gylch y flwyddyn 1822 cyn cred. Celfyddyd hynod arall oedd yn eu plith, sydd yn awr ar ddifancoll, sef pêr-arogli cyrph y meirw i barhau yn ddilwgr hyd ddiwedd amser. Rhy anhawdd penderfynu y moddion a fyddai ganddynt i wneuthur hyn; ond pa fodd bynnag, gellir gweled cannoedd o gyrph yno mewn cladd-lysoedd, ac ogofeydd tan-ddaearol, heb erioed gyffwrdd â llygredigaeth, ac yn gyflawn yn eu holl ranau; ac yno, fe allai, er's tair neu bedair mil o flynyddau.

Yr holl wlad hefyd sydd yn llawn o ôlion gweithredoedd gorchestol, a wnaed yn y dyddiau boreuol yr oedd celfyddyd ynddi. Rhy faith fyddai sôn am eu hanner, na dywedyd y cwbl am un o honynt. Yr adeiladau hynod, a elwir Peiramidiaid, ydynt wrthddrychau rhyfedd o sylw ym mhob oes er eu gwneuthuriad. Adeiladau mawrion ydynt, a'u gwaelodion yn llydain, ac yn meinhau yn raddol wrth fyned at i fynu. Mae gwaelod y mwyaf o honynt yn sefyll ar un erw ar ddeg o dir, ac y mae tros chwe chan troedfedd o uchder, ac y mae digon o le i 30 o wyr sefyll ar y gareg uchaf o hono. Y lleill ydynt yn llai, ond y maent yn adeiladau mawrion iawn. Diben eu gwneuthuriad sydd yn llwyr anhysbys; ond tybir mai beddrodau y brenhinoedd, neu ryw beth cyffelyb, oeddynt gynt.*

Llyn Mœris sydd yn nodedig mewn hanes, yr hwn a gafniwyd i dderbyn gorlifiadau yr afon Nilus: a gwnaed camlesydd o hono i ddyfrhau y wlad yn amser sychder. Ond o'r cwbl, y Ddyrysfa* ar lân yr afon Nilus oedd yr hynotaf. Cynnwysai, oddifewn i un mur, fil o dai, a deuddeg o balasau brenhinol, oll wedi eu tôi â marmor. Nid oedd ychwaith ond un ffordd yn arwain iddi, a hôno yn droiadau ac ad-droiadau, ac mewn llawer o fanau yn myned tan y ddaear, fel y cyfrifid yn ammhossibl i ddieithrddyn, a arweinid yno, ddyfod allan yn ol. Adeiladwyd un neuadd yno, oll o fynor tryloyw, a deg a phedwar ugain gris o'r un defnydd yn arwain iddi; a chynnwysai dair mil o ystafelloedd, a duwiau wedi eu ffurfio o fynor gwerthfawr ynddynt: ac wrth gau neu agor y dorau, swnient fel taranau.

Y dinasoedd enwog ydoedd yn yr Aipht hefyd, oeddynt nodedig mewn hanes am eu harddwch a'u gorwychder. Thebes a gyfrifid yn benaf o ryfeddodau yr hen fyd: y rhan fwyaf o'r tai oeddynt wedi eu gwneud o feini alabaster, wedi eu britho â defnyddau aur, yr hyn a wnelai yr olwg arni yn ddisglaer a godidog. Ar hyd y caerau yr oedd llawer o erddi prydferth, ac yr oedd iddi gant o byrth, a dywedir y gallai ddyfod â deng mil o wyr arfog trwy bob porth, yr hyn a wnai lu o fyrddiwn o filwyr.

Nid oedd godidawgrwydd a mawredd ei llywodraeth yn ddim llai goruchel ac enwog nag oedd sefyllfa y wlad ychwaith. Brenhinoedd o'r enw Pharaoh a fu yn ei llywio am lawer o oesoedd: ond y mwyaf enwog a fu ar y deyrn-gadair ynddi erioed ydoedd Sesostris.† Gorchfygodd hwn holl Asia, a'r India i'r Môr Du, tiriogaeth mwy helaeth nag a orchfygodd Alexander Fawr; ac aeth rhagddo yn erbyn Groeg; ond gafodd ei orchfygu yno gan Perseus.

Heidiodd yr Aipht o wyr dysgedig, ac athrawon; ac yno y byddai pawb yn myned i geisio addysg, er mwyn cyfeillachu â hwynt: ac ymdaenodd celfyddyd a gwybodaeth oddi wrthynt i'r gwledydd cymmydogawl, sef Phenicia, Groeg, Caldea, Assyria, &c.

Gellir cofrestru Phenicia‡ fel yr orsaf nesaf i'r Aipht i gelfyddyd, yn yr oesoedd boreuol; a'r lleoedd y bu fwyaf blodeuog yno, oedd Tyrus a Sidon. Sidon oedd hen dref odidog; ond yr oedd Tyrus mewn oesoedd diweddarach yn llawer enwocach. Mewn Morwriaeth yr enwogodd y rhai'n eu hunain yn fwyaf; ond yr oeddynt yn dra enwog yn amrywiol ranau ereill celfyddyd. Un o'r rhai hyn oedd *Sanchonia-*

* Rhestrid y rhai'n ym mhlith Saith hen Ryfeddod y Byd.

* *Labyrinth.* Cyfrifid hon hefyd ym mhlith Saith Ryfeddod y Byd.

† Yr un a Sisac.

‡ Gwlad fechan ar lan Môr y Canoldir.

*thon*, yr hanesydd hynaf yn y byd, ond yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Yn helaethrwydd eu masnach, nid oedd genedl dan haul i'w cydmaru â hwynt. Yn eu môrdeithiau yr oeddynt yn cludo trysorau o holl wledydd adnabyddus y byd y pryd hwnw; sef, yr Aipht, Mesopotamia, Cilicia, Cappadocia, Affrica, Syria, Arabia, Media, Persia, Lydia, Hispaen, a Brydain. Trigolion Tyrus oeddynt y rhai cywreiniaf yn y byd am liwio y lliw porphoraidd; a thebygol yw, mai hwy a gafodd y deall arno gyntaf; ac yr oedd eu harfordir yn gynnyrchiol iawn o'r cragen-bysg oedd yn ddefnydd y lliw, yr hyn a ddygodd elw mawr iddynt. Yr oedd Salomon a Hiram y brenin yn dra chyfeillgar, ac efe a anfonodd gelfyddwyr, a seiri, i'w gynnorthwyo i adeiladu y deml yn Jerusalem.

Fel hyn yr oedd celfyddyd yn hynod o flodeuog yn amrywiol wledydd Asia yn yr amseroedd hyn: y ddinas enwog Ninifeh yn ei hardderchawgrwydd, yr hon oedd yn nodedig iawn yn ei holl ranau, ac yn fwy ei maintioli nag y bu Babilon erioed, ac yn cynnwys dros ddeuddeng myrdd o ddynion, heblaw plant.

Yn awr troaf yn ol, ac edrychaf y ffordd arall tu ag Ewrop, i edrych a allaf weled rhyw argoelion fod celfyddyd yn llwyddiannus yno, tra yr oedd yn coroni Asia. Ond ofer yw i mi chwilio am danat, O ardderchocaf gelfyddyd! yn un man drwy holl Ewrop: canys pan oeddit yn goreuro eang a breision wledydd Asia â'th euraidd belydrau, trigolion Ewrop oeddynt yn ymbalfalu mewn dudew anwybodaeth, yn ymddilladu mewn crwyn eirth, a gwylltion fwystfilod, ac anllywodraeth ac anfoesoldeb yn llenwi eu tiroedd, y rhai bob amser ydynt gyfeillion penaf anwybodaeth.

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

---

## DIWYGIAD *(Reform.)*

Nid hoff gan y Gwyliedydd ymyraeth â gorchwylion y Senedd, nac anturio barnu y mesur sydd yn awr wedi cymmeryd cymmaint o amser gwerthfawr y Senedd, ac ynghylch yr hwn y mae cymmaint dadwrdd a disgwyliad trwy yr holl deyrnas; sef Diwygiad Seneddol, fel ei gelwir; ond hyn a wyddom, nad oes un wlad yn y byd i'w chydmaru â'r deyrnas hon, o barth rhyddid gwladol a phersonol, ym mhob ystyr. Dan agos bob llywodraeth yn Ewrop, mae 'r ammheuaeth fod un yn cynnwys daliadau dieithr, yn llawn ddigon o achlysur i'w ddifadu o'i ryddid —pryd y gwyddom fod pawb yn rhydd yn y wlad ddedwydd hon, i gynnal unrhyw farnau a ewyllysiont, tra y peidiont ddu-oddu i dori 'r heddwch. Yn y gwledydd tramor, ni feiddia ac ni all neb symud o'i annedd, neu ei dref ei hun, heb drwydded (*passport*) a bydd chwiliad manwl ar ei holl ysgogiadau; ac ni's gall ddychwelyd yn ol wedi yr awr nodedig: ond yn Brydain, gwlad y rhyddid, geill pawb deithio lle y myno, ac nid oes gan y cyfoethocaf awdurdod i ofyn i'r tlotaf, I ba le yr ái di? neu roddi y rhwystr lleiaf ar ei ffordd. Mewn amryw wledydd, mae cyflwr a sefyllfa y bobl o ganol ac isel radd yn sefydledig dros eu bywyd. Maent, i raddau, yn yr un cyflwr a'r trigolion Dwyreiniol, wedi eu rhanu yn ddosparthiadau (*castes*) sef yw hyny, graddau, o ba rai nis gallant symud. Y milwr, y cyfreithiwr, a'r llafurwr, a enir i'w sefyllfa—nid oes iddynt eu dewisiad; yr hyn oedd y tad, hyny raid i'r mab fod. Felly, yn amryw barthau o Ewrop, mae 'r bobl mewn cyflwr cyffelyb. Nid oes gan y cyffredin fawr obaith o wellhau eu cyflwr. Cyfreithiau tra awdurdodol, ac arferiadau mwy tra awdurdodol, a unant i gadw 'r werin danodd. Yn awr, edrychwch ar gyflwr Lloegr ddedwydd. Nid oes na rhwym na deddf a eill rwystro diwydrwydd, gonestrwydd, a dawn ymgyfodi yn y byd. Yma mae 'r *prentis*, ïe, ysgubwr y *shop*, wedi dyfod yn farsiandwr; a'r marsiandwr yn etholedig i'r Senedd; ïe, mae llwybr rhydd i'r ddau i Dŷ yr Arglwyddi. Gellid ychwanegu, a chrybwyll siamplau o blant crefftwyr, amaethwyr bychain, mân ysgol-feistri, milwyr a morwyr cyffredin, wedi cyfodi, trwy eu rhinweddau eu hunain, i fod yn Farnwyr, Pen-cadpeniaid, ac Esgobion. Pa beth, gellid gofyn, a eill y Diwygiad ddiwygio ar y pen hwn? A ddichon iddo agor yn lletach y drws i gyfoeth, gallu, a pharch? Drachefn, ym mhob gwlad arall, gadewir y tlodion i fyw yn hollol ar elusen wirfoddol ac anwadal y cyfoethog a'r elusengar. Eu cyflwr, o ganlyniad, sydd ansicr, ac weithiau yn druenus. A chwanega y Diwygiad at nifer elusen-dai, clafdai, a noddfeydd i'r anghenog? Onid oes genym gyfraith trwy ba un y diwellir angen y tlawd, cyn sicred ag y ca y bonheddig ei ardreth? Pa beth a ddichon y peth a elwir Diwygiad wneud yn ychwaneg i'r tlawd nag a wnaed iddo eisoes gan ddeddf dadol ein gwlad? Drachefn, gall pob dyn, yn iaith y Bibl, "eistedd (yn y wlad freiniol hon) dan ei winwydden a than ei ffigysbren, heb neb i'w ddychrynu." Ac am ryddid crefyddol, gall pob dyn addoli Duw yn ol ei gydwybod a'i oleuni ei hun. Mae gan bob un ei gynnrychiolwr yn y Senedd. Nis gellir cymmeryd oddiar un dyn ffyrling o'i eiddo, ond trwy gyfraith sefydledig a gwybyddus y wlad. Nid rhaid i neb ddioddef cam, heb iawn

cyfreithion. Ac, yn olaf, ni all un dyn syrthio i ddledi, heb hawl i gymmorth gan ei wlad. Mae y pethau hyn oll yn eglur i bawb ar y golwg cyntaf.

Dywedasom wrth ddechreu, a chrybwyllwn hyny etto, nad ydyw na'n swydd na'n bwriad i roddi barn ar y mesur o flaen y Senedd ynghylch y Diwygiad. Gan nad oes dim dynol yn berffaith, dichon fod rhai pethau gwallus wedi llithro i mewn, ond dylid eu diwygio gyda gofal a gwyliadwriaeth. Gadawn hyny i'r sawl y perthyn; yn unig erfyniwn ar ein cydwladwyr beidio cymmeryd eu cylch-arwain gan ddadwrdd disynwyr, a gyfodir gan ddynion dichellgar a drygionus, ac a goelir gan y gwirion a'r difeddwl, ynghylch y Diwygiad hwn, yr hwn nis gall wellhau dim, neu nesaf i ddim, ar eu cyflwr. Dymunwn arnynt, ar y llaw arall, edrych ar y breintiau a'r diogelwch y maent yn eu mwynhau. Dysgent iawn brisio y manteision sylweddol sydd yn peri iddynt ragori ar holl genhedloedd ereill y byd. Dysgent ddiolch i'r Arglwydd am eu bendithion, ac aent ym mlaen yn llwybr diwydrwydd, sobrwydd, a chynnildeb, a hwy a gant yn sicr fwy o les nag a eill un Diwygiad Seneddol byth roddi iddynt. Os gwnant hyn, a dysgu ofni Duw, caru y brodyr, ac anrhydeddu y Brenin, hwy a ddangosant eu hunain o blaid yr unig Ddiwygiad sydd yn eisieu ar y wlad, ac a ddichon fod o fudd cyffredin i'w thrigolion—Diwygiad buchedd a moesau—Diwygiad a'n dysg gyda diolchgarwch i ddywedyd, yn iaith ein Bibl, "Pa genedl mor fawr, yr hon y mae Duw iddi yn nesâu ati, fel yr Arglwydd ein Duw ni, ym mhob dim a'r y galwom arno?—A pha genedl mor fawr, yr hon y mae iddi ddeddfau a barnedigaethau cyfiawn, megys yr holl gyfraith hon yr ydwyf fi yn ei rhoddi heddyw ger eich bron chwi?—Ond gochel arnat, a chadw dy enaid yn ddyfal, rhag anghofio o honot y pethau a welodd dy lygaid, a chilio o honynt allan o'th galon di holl ddyddiau dy einioes; ond hysbysa hwynt i'th feibion, ac i feibion dy feibion." *Deut.* 4. 7, 8, 9.

CYMRO.

---

## DINYSTR DYNOLRYW.

DRWY un porth y mae holl ddynolryw yn dyfod i'r byd; ond pwy a fedr rifo y pyrth trwy ba rai yr ânt allan? Mae PERCHENOG mawr bywydau wedi defnyddio amryw offerynau i deneuo poblogaeth y ddaear heblaw angeu naturiol. Y dinystr cyflymaf yn gyffredin a wneir drwy y *cleddyf*, a thrwy *heintiau*. Y dysgedigion a farnant i dua 10,000,000,000,000 o ddynolryw gael eu cymmeryd ymaith gan y dylif! Ac yn ein dyddiau ni, pan y mae rhyfel a heintiau yn dinystrio mor frawychus, tybid nad anmhrydlawn fyddai ychydig sylwadau ar farwoldeb; a hyny yn neillduol gydâ golwg ar yr haint dinystriol a elwir *Cholera Morbus* sydd yn awr mor danbaid yn Rwssia, ac yn ymledu dros wahanol wledydd y cyfandir; ac hefyd gydâ golwg ar y rhyfeloedd gwaedlyd sydd yn cael eu dwyn yn mlaen er's rhai blynyddoedd yn y gwledydd hyny, ac yn awr yn debygol o ymledaenu yn ëangach dros Ewrop. Duw a gadwo Frydain!

Dywedir i'r pla mawr yn Llundain, yn y flwyddyn 1665, gymmeryd ymaith tua *chan mil* o drigolion y brif ddinas! Cyfrifir lladdedigion rhyfel Bonaparte fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Brwydr St. Domingo, yn y fl. 1801. | |
| Milwyr a Morwyr | 60,000 |
| Pobl wynion yr Ynys | 30,000 |
| Pobl dduon | 30,000 |
| Rhyfel â Lloegr o 1802 hyd 1814 | 200,000 |
| Rhuthr-gyrch yr Aipht | 60,000 |
| Brwydrau y blynyddoedd 1805—6 | 150,000 |
| Rhyfel-dymmor Calabria | 500,000 |
| Rhyfel-dymmor y Gogledd o 1806 hyd 1807 | 300,000 |
| Rhyfel Spaen, o 1807 hyd 1813 | 2,100,000 |
| Rhyfel Germany a Pholand, 1809 | 300,000 |
| Rhyfel-dymmor, 1812. | |
| Ffrangcod, a'u Cynghrei-wyr | 500,000 |
| Rwsiaid | 300,000 |
| Polandiaid | 200,000 |
| Rhyfel-dymmor 1813 | 450,000 |

Yn gwneuthur cyfanrif o dua 5 miliwn o ddynolryw!

IOTA.

---

## GWAG DYBIAU YR AMSEROEDD.

Y MAE gan y diweddar Esgob Horne, wrth sôn am y rhai a fynent gael eu cyfrif yn wyr deallus iawn mewn materion gwladwriaethol yn ei amser ef, ymadrodd tra theilwng o sylw y dyddiau hyn, pan y mae pob ymgais yn cael ei wneud i ennyn nwydau ac anfoddlonrwydd dynion. Y mae yr ymadrodd fel y canlyn:—"Os daliwn sylw ar ysgrifeniadau rhai, ac ymddygiadau ereill, y dyddiau hyn, gallwn gael ein harwain i dybied nad oes achos i ni wasanaethu Duw na dyn; nad oes dim a wnelom ni â'r eglwys na'r wladwriaeth; fod y byd yn rhyw fath o goedwig, i'r hon yr ydym yn cael ein gollwng, fel cynnifer o ebolion asynod gwylltion, i yfed y gwynt, a rhedeg nes y syrthiom: mewn gair, ein bod yn cael ein geni yn *rhydd* ac yn *annibynol*. Och fi, greaduriaid gwaelion! Rhydd ac annibynol yn wir! Nid oes dim eglurach na'n hanallu ni i fyw yn annibynol chwe awr ar ol ein geni. O'r mynydyn cyntaf y dêlom i'r goleuni, yr ydym yn dibynu am ein cadwraeth a'n cynnaliaeth ar rai o'n hamgylch, a hwythau yn dibynu ar ereill, a phawb yn dibynu ar Dduw."

# BARDDONIAETH.

## THE MAJESTY AND CONDESCENSION OF CHRIST.

*By the late Bishop* HEBER.

O BLESS'D were the accents of early creation,
When the word of JEHOVAH came down from above;
In the clods of the earth to infuse animation,
And wake the cold atoms to life and to love.

And mighty the tones which the firmament rended,
When on wheels of the thunder, and wings of the wind;
By light'ning, and hail, and thick darkness attended,
He uttered on Sinai his laws to mankind.

And sweet was the voice of the First-born of Heaven,
(Though poor his apparel, though earthly his form)
Who said to the mourner, 'Thy sins are forgiven!'
'Be whole,' to the sick; and 'Be still,' to the storm.

O Judge of the world! when array'd in thy glory,
Thy summons again shall be heard from on high;
While nature stands trembling and naked before thee,
And waits on thy sentence to live or to die.

When the heaven shall fly fast from the sound of thy thunder,
And the sun, in thy light'nings, grow languid and pale;
And the sea yield its dead, and the tomb cleave asunder,
In the hour of thy terrors let mercy prevail.

## ARDDERCHOGRWYDD AC YMDDAROSTYNGIAD CRIST.

*Gan y diweddar Esgob* HEBER.

BENDIGAID acenau ym moreu'r greadigaeth,
I lawr o'r uchelder pan deuai gair Duw;
Ar dywyrch y ddaear d'ai amser bywiolaeth,
Deffrowyd ei hoerion ronynau i fyw.

A grymus y llais a rwygai 'r ffurfafen,
Pan ar droellau'r dâran, ac esgyll y gwynt;
Tew dywyllwch, a chenllysg, a meilt, gyd-weinydden',
Pan roddai ar Sinai ei gyfraith lân gynt.

A phêr oedd hyfrydlais gwir Gynfab Nef uchod,
(Er gwaeled ei olwg pan yn ein byd gynt)
A ddywedai wrth drist, 'Maddeuwyd dy bechod,'
'Bydd iach,' wrth y claf, 'Bydd dawel,' y gwynt.'

O Farnwr y byd! pan wisgi dy fawredd,
Dy wys glywir etto o entrych nef wiw;
Ac anian, dan grynu, sai 'n noeth wrth dy orsedd,
Gan ddisgwyl dy ddedfryd i farw neu fyw.

Pan ffysg-ffŷ y nefoedd rhag sŵn dy daranau,
A'r haul, gan dy fellt, yn troi 'n welw a gwan;
A'r môr yn rhoi 'i feirw i fynu, a'r beddau,
Yn awr dy ddigofaint trugaredd fo 'n rhan.

GWILYM HIRAETHOG.

---

## BEDD FY CHWAER.*

TON,—"SWEET HOME."

Ai hon ydyw 'r annedd fan gorwedd fûn gain,
Wy'n gofio mor wylaidd siriolaidd ei sain?
A gododd hen angau ei gleddyf mawr glâs,
A tharo mor ddiffaith deg eneth ddi gas?
Fy Chwaer!—O fy Chwaer!
Ai yma mae 'm Chwaer!

Wrth ganfod dy feddrod rhyw syndod im' sy,
Dy fyned mor gynnar i'r ddaear oer ddu;
Gan adael hen ddynion, rai gwaelion eu gwedd,
A oeddynt o bwrpas cyfaddas i fedd.
Fy Chwaer!—O fy Chwaer! &c.

Dy droion anwylaf pan gofiaf poen gâf,
O'u herwydd gan hiraeth trwm alaeth trymhâf;
Ni's gallaf gael cysur i'm natur yn awr,
Ar ol iti fyned mewn lludded i'r llawr.
Fy Chwaer!—O fy Chwaer! &c.

Ond etto 'r wy'n credu, 'r ol baeddu'n y bedd,
Y codi 'r dydd hwnw ar ddelw Duw 'r hedd;
Pan seinir yr udgorn eu meingorn cain mawr,
I wysio 'r marwolion yn llwyrion o'r llawr.
Fy Chwaer!—O fy Chwaer! &c.

CYNHAFAL.

---

## CAN Y BARDD WRTH FARW.

GWNEWCH im' feddrod ger ffrydlif y mynydd,
Na cherfiwch un linell i adrodd fy hynt;
Yno teloredd glâs dònau afonydd
Eu cerddi yn gymmhlith â chwiban y gwynt.

Na chlywer un Och lle mae 'r Ofydd yn huno,
Na choder un cófnod i ddangos y fan;
Yno na weler un serchawg yn wylo,
I dori gan ddolef dawelwch y lân.

Fi dodwch i bydru heb gwynfan na galar,
Diamdo, dienw, ac unig fy ngwedd;
Na welwch fy mod i mor drist ac edifar,
Tra teithiwn i ddidryf argelfa y bedd.

Pan ddychwel y Gwanwyn—uwch ben fy ngorweddle
Pored y milyn dywarchen fo gwerdd;
Tra chwyfia y grug yn awelon y bore,
Adar y llwyni a odlant fy ngherdd.

Iesu, fy Nuw, yn y preseb a rwymwyd,
Maddeua fy nghamwedd, tro nhrallod yn hedd;
Ti, hwn dros ddyn pechadurus groeshoeliwyd,
Cofia fy lludw yn nghilfach y bedd.

Pan gano yr udgorn dros nen ddychrynedig,
Alargân ddiweddaf holl ddaear a môr;
Gâd imi orphwys lle cân y gwaredig
Gathlau dy foliant, fy Ngheidwad ac IOR.

GWENFFRWD.

---

## FFYNON I BECHOD AC AFLENDID.

MAE ffynon ar y bryn
A ylch yn berffaith lân,
Bechodau mawr, ffieiddia erioed,
O rif y tywod mân.

Mae ynddi rinwedd mawr,
Hi olcha feiau mwy
Nas gall angylion draethu byth,
Er maint eu doniau hwy.

Nid oes un amser drai
Ar lif y ffynon hon;
Mae 'n ddigon llawn i lifo dros
Holl gyrau 'r byd o'r bron.

Hi gâna 'r Negro du,
Hi gâna 'r Indiad draw;
Hi ylch yr aflan oes y sy,
Hi ylch yr oes a ddaw.

C. N.

---

* *Sef* ELLEN WILLIAMS. *Gwel y Gwyliedydd am Awst*, 1830, *tu dal.* 290.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

Rwssia a Poland.—Dywed y newyddion diweddaraf, fod milwyr Poland a'r fyddin Rwssiaidd, dan eu cad-flaenor Paskewitsch, yn awr gyferbyn a'u gilydd, ac nid oes fawr o ffordd rhyngddynt. Gellir disgwyl clywed, cyn nemawr o ddyddiau fod brwydr benderfynol wedi cymmeryd lle. Y mae amryw fân frwydrau wedi bod eisoes.

Belgium a Holand.—Torodd rhyfel annisgwyliadwy allan rhwng y teyrnasoedd hyn, a hyny braidd cyn i'r Brenin Leopold ymsefydlu ar ei orsedd: a gorfu arno alw ar Ffraingc i'w gynnorthwyo. Bu ychydig ymladd rhwng y ddwy blaid; ond ar nesâd milwyr Ffraingc, ciliodd yr Isellmyn. Y mae math o attaliad dros amser wedi cymmeryd lle yn bresennol, ac yr ydys yn gobeithio y bydd iddynt gytuno â'u gilydd; onidê y mae yn dra thebygol y bydd i'r heddwch presennol sy rhwng y rhan fwyaf o wledydd Ewrop gael ei aflonyddu, a rhyfeloedd gwaedlyd dori allan dros yr holl gyfandir.

## NEWYDDION CARTREFOL.

### LLOEGR.

Y Senedd.—Yr Ysgrif er Diwygio y Senedd yw yr unig beth neillduol fu o dan sylw ein Seneddwyr yn ystod y mis diweddaf. Mewn perthynas i Gymru, penderfynwyd fod y lleoedd canlynol i anfon un Cynnrychiolydd bob un:—

1. Fod Amlwch, Caergybi, a Llangefni, yn gyfranog â Beaumaris.——2. Fod Aberystwyth, Llanbedr, ac Adpar, yn gyfranog âg Aberteifi.——3. Fod Llanelli yn gyfranog â Chaerfyrddin.——4. Fod Pwllheli, Nefyn, Conwy, Bangor, a Chriciaeth, yn gyfranog â Chaernarfon.——5. Fod Rhuthyn, Holt, a Gwrecsam, yn gyfranog â Dinbych. Chwanegwyd hefyd Gwrecsam Regis, a Gwrecsam Abbot, at Ddinbych.——6. Fod Rhuddlan, Owrtin, Caerwys, Caergwrle, Llanelwy, Treffynon, a'r Wyddgrug, yn gyfranog â Fflint.——7. Fod Llandâf, Bontfaen, Merthyr Tydfil, Aberdâr, a Llantrisaint, yn gyfranog â Chaerdydd.——8. Fod Llanidloes, Trallwng, Machynlleth, Llanfyllin, a'r Dre Newydd, yn gyfranog â Threfaldwyn.——9. Fod Narberth, Tŷ Ddewi, ac Abergwaun, yn gyfranog â Hwlffordd.——10. Fod Dinbych, Wiston, ac Aberdaugleddyf, yn gyfranog â Phenfro.——11. Fod Knighton, Rhaiadr, Kefinlee, Knucklas, Stonor, a Presteign, yn gyfranog â Maesyfed.——12. Fod y trefydd canlynol, sef Abertawe, Lougher, Castell Nedd, Aberafon, a Chynffig, i'w hystyried megys un Bwrdeisdref; a bod i'r cyfryw Fwrdeisdref, ar ol terfynu y Senedd bresennol, gael danfon un aelod i'w chynnrychioli; ond nid oes i neb a chanddo bleidlais mewn un o'r pum tref a enwyd gael pleidlais yn etholiad Cynnrychiolwr dros Fwrdeisdref Caerdydd.

## SESSIWNAU CYMRU.

*(Parhad o du dal. 255.)*

Swydd Feirion.—Prydnawn dydd Sadwrn, Gorphenaf 23ain, cyrhaeddodd Barwn Bolland i dref Ddolgellau. Aeth y Sirydd a'i gyfeillion i'w gyfarfod, a chanlynasant ef i'r Llys. Tranoeth aethant i'r Eglwys, lle y traddodwyd pregeth ragorol ar yr achlysur gan y Parch. J. Lloyd, Periglor Llanycil. Yn ol arfer glodwiw y Swydd hon nid oedd ond un carcharor i'w brofi, nac un achos arall i'w drin.

*Robert Evans*, a gyhuddwyd o dori tŷ o eiddo Robert Jones, gwas Martha Owen, Pengwern Arms, Ffestiniog, a lladrata o hono Bedwar Pennadur. Cafwyd ef yn *Euog*; a dyfarnwyd ef i gael *Chwe mis o garchar, a gweithio yn galed.*

Caernarfon.—Daeth Barwn Bolland i dref Caernarfon brydnawn ddydd Mercher, y 27ain o Orphenaf. Aeth y Sirydd a'i gyfeillion i'w gyfarfod, a chanlynasant ef i Eglwys St. Mary, lle y traddododd y Parch. Mr. Trevor bregeth addas i'r achlysur. Dranoeth y boreu agorwyd y Llŷs gan y Barnydd, yr hwn a gyfarchodd yr Uchel Reithwyr fel y canlyn:—"Byddai yn camdreulio amser pe hyfforddai ddynion mor gyfrifol a deallgar yngbylch eu dyledswyddau; oblegid nid oedd ond un trosedd, yn yr holl gof-restr, a fyddai yn anhawdd iddynt benderfynu. Cyfeirisi at y trosedd o ffug-ysgrifen *(forgery)*. Yn ol y gyfraith o'r blaen ni ellid derbyn tystiolaeth y dyn, enw yr hwn a ffug-ysgrifenwyd; eithr dilewyd y gyfraith afresymol hono, ac yn awr derbynir, yn gyfiawn, dystiolaeth y gwr a drosseddwyd yn ei erbyn. Drwg oedd ganddo weled, yn y gof-restr, gymmaint o droseddau a gospwyd â marwolaeth; a byddai raid iddynt hwy sylwi arnynt yn dra manwl."

**Rhwydo Afon.** *Edward Roberts* a gyhuddwyd o rwydo pysgod, yn afon Ogwen, ar eiddo G. H. D. Pennant, Ysw. o Gastell y Penrhyn.

*Robert Buckland*, Adar-geidwad ym Mhenryn, a dystiodd ei fod ef allan gyda Hughes, yr is-geidwad, ar nos y 24ain o Awst, 1830, ac iddo weled y carcharor a'i frawd gyda rhwyd yn yr afon. Yr oedd yno bedwar o ddynion yn tynu y rhwyd. Aethum tu ag atynt, a'r carcharor a'i frawd a ddaethant ataf finau. Cydiais yn ngwddf W. Roberts. Gafaelodd y carcharor yn Hughes; tarawodd ef i lawr, a rhoddodd ei liniau ar ei fron. Hughes a alwodd arnaf. Dywedais wrth y carcharor am ei ollwng; ond ni chymmerodd y sylw lleiaf. Ar hyn tarawodd ef yn araf â ffon. Gorfu arnaf ollwng W. Roberts ymaith, tra y symudais y carcharor oddiwrth Hughes. Wedi hyny rhedais ar ol W. Roberts; ac wedi dychwelyd, yr oedd y carcharor a Hughes yn ymryson. Cefais ddau bysgodyn *(salmon)* yn meddiant W. Roberts.——*A groes-holwyd gan Mr. Hill.* Y mae y goedwig sy rhwng y Castell a'r fan lle bu yr ymrysson wedi ei chau i fewn. Ni welais y carcharor yn cymmeryd y pysgod. Yr oeddynt mewn cwd, ac yn ymddangos fel wedi marw. Ni welais ffon gan y carcharor na'i gymdeithion. Aethum gyd â'r carcharor at feddyg, am fod ei ben yn chwyddedig, a briw arno. Ni chefais i fy mriwio. Gafaelais yn W. Roberts gerfydd ei goler, ac nid ei wddf. Aethum at y dynion ag oeddynt yn pysgota cyn gynted ag y canfyddais hwynt. Gwelais y pysgod yn myned i fynu yr afon oddeutu pum milltir is uchaf i'r llwyn.——*Thomas Hughes*, Is-geidwad yn Mhenryn. Yr oeddwn i allan gyda Buckland ar y noson grybwylledig. Gwelais y carcharor, a thri dyn arall, yn tynu y rhwyd. Pan welodd y carcharor a'i frawd y ceidwaid, daethant tuag atynt. Cefais ddau bysgodyn gan W. Roberts. Ymddangos-

ent fel pe buasent newydd eu lladd.——*Mr. James Wyatt*, goruchwyliwr Mr. Pennant, a brofodd fod y tiroedd ar ddwy ochr yr afon yn perthyn i Mr. Pennant.

*Mr. Hill*, ar blaid y carcharor, a haerodd nad oedd tystiolaeth y cyhuddwr ddim yn ddigon cryf i brofi y cyhuddiad. Ni osodwyd tystiolaeth ger bron y Rheithwyr i brofi pa le y lladdwyd y ddau bysgodyn a gafwyd ym meddiant W. Roberts. Mewn achos fel hyn, ni ddylid *tybied* dim, dylid *sicrhau* y peth lleiaf. Yr oedd yn anhebgorol i'r cyhuddwr brofi fod y pysgod wedi eu lladd yn y rhan hòno o'r afon ag oedd yn dylifo rhwng ei eiddo ef, *ac yn gyfagos i'w annedd ef*. Onid os lladdwyd hwynt yn y fan lle y cymmerwyd hwynt oddiar ar frawd y carcharor, yr oedd y rhan hòno wedi ei gwahanu oddiwrth y tŷ gan y goedwig a'r mur oddi amgylch iddi; ac ym mhellach, yr oedd y pellder rhwng y tŷ a'r afon o gylch chwarter milltir. Am hyny haerai nad ellid profi y cyhuddiad yn erbyn y carcharor. Y *Barnydd* a gyd-syniodd â Mr. Hill, ac a gyfarwyddodd y Rheithwyr i *Ddieuogi* y carcharor, yr hyn a wnaethant.

**Lladrata Dafad.** *Edward Jones* a gyhuddwyd o ladrata dafad yn perthyn i Mr. Bicknell, o'r Penrhyn Arms.——*Henry Bicknell*, brawd y cyhuddwr, a dystiodd fel y canlyn:—" Ar yr wythfed o Chwefror yr oedd gan fy mrawd fyllt. Ar foreu y 12fed yr oedd un o honynt yn golledig o'r maes. Yr oeddynt o ryw cymmysg, yn llawer mwy na defaid cyffredin y wlad hon. Yr oedd y carcharor yn gweithio y pryd hyny o dan fy mrawd. Ar y 12fed o Chwefror, yr oedd hi wedi wyth o'r gloch pan ddaeth y carcharor at ei waith. Mi a'i ceryddais ef; a dywedodd wrthyf iddo ysigo ei droed y noson o'r blaen, ac na allai o'r braidd gerdded. Ganol dydd gallai gerdded gystal ag erioed. Wedi cael hysbysiad, cefais *warrant*, a chwiliais ei dŷ ef ar yr 21ain o Fawrth. Aeth R. Edwards gyda fi. Cawsom hyd i ddarn o gig dafad wedi ei halltu, oddeutu pedwar neu bum pwys: rhan o'r ysgwydd. Amlwg oedd iddo gael ei dori o ddafad fawr. Aethum at y carcharor, yr hwn oedd yn gweithio ar y tir, a gofynais iddo, a oedd efe yn cofio fod dafad wedi ei cholli? Dywedodd yntau ei fod yn cofio. Dywedais wrtho fy mod i yn ei ddrwg-dybio ef ynghylch y lladrad. Gwadodd y carcharor hyn; ond dywedodd iddo yn Mangor, ar ryw noson, brynu dafad gan ddyn o Sir Fôn, yr hwn oedd ganddo bump neu chwech i'w gwerthu. Iddo dalu £1. am dani; ac iddo ei chymmeryd hi adref yn mherfa ei feistr, yr hon a gymmerasai efe oddiar *fferm* ei feistr i gludo glo adref. Iddo ddweud wrth y dyn am aros nes y caffai yr arian. Iddo fenthyca 12*s*. yr hyn gyd âg wyth swllt oedd ganddo ei hun, a wnaeth y bunt i fynu. Dywedodd y carcharor iddo brynu y ddafad y mhen oddeutu pymthegnos ar ol y Gwyliau; ac ni wyddai a oedd rhyw un yn wyddfodawl pan brynodd y ddafad. Y carcharor a ddywedodd iddo werthu croen y ddafad am 1*s*. 10*c*. a'r gwer i Mr. R. M. Griffith, am 4 ceiniog y pwys. Tybiaf fod y ddafad, yn ol y cig a welais yn nhŷ y carcharor, yn werth o £1. 10*s*. i £1. 16*s*.——*Richard Roberts* sydd yn byw yn yr Hafod. Cofiai weled y carcharor yn dyfod a dafad i'w fwthyn ef ar nos Wener. Gadawodd hi yno. Ac yn y boreu, rhwng pump a chwech, lladdodd hi; a'r tyst yn dal y ganwyll iddo ef. Aeth y carcharor â'r croen i ffwrdd. Y nos ganlynol cymmerodd y gelain ymaith.——*R. M. Griffith* a dystiodd na roddodd efe bedair ceiniog y pwys am wer cyn y 14eg o Chwefror diweddaf.

Ar ran y carcharor, llawer o dystion a dystiasant mai dyn sobr, gonest, a diwyd ydoedd.

Y Rheithwyr a gawsant y carcharor yn *Euog;* ond erfyniasant ar y Barnydd i fod yn drugarog wrtho o herwydd ei nodweddiad da: yn hyn cydunodd y cyhuddwr.

**Ffug-ysgrifenu,** (*Forgery*). *Owen Griffith* a gyhuddwyd o ffug-ysgrifenu enw "John Jones" ar gein *bill* am £135. 13*s*. Cafwyd ef yn *Euog*.

**Lladrata Arian.** *John Hughes*, Llythyrgludydd yn Mangor, a gyhuddwyd o ladrata £20 allan o lythyr a roddwyd iddo i'w gludo ar y seithfed o Fawrth diweddaf.

*Mr. Fraser* a brofodd iddo roddi y llythyr yn y *Post Office*, yn Lle'rpwll.——*Mary Clerk* oedd yn cynnorthwyo goruchwyliwr y llythyrdŷ yn Mangor, ar y seithfed o Fawrth diweddaf. Ar y dydd hwnw rhoddodd y llythyrau i'r carcharor i'w cludo o amgylch y ddinas, rhwng saith ac wyth yn y boreu. Ni ddychwelodd y carcharor i'r llythyrdŷ y diwrnod hwnw, ac ni welodd ef er hyny hyd yn awr.——*Charles Harris*, Gem-fasnachydd yn Llynlleifiad, a gofiai weled y carcharor yn dyfod i'w fasnachdŷ ef i edrych am oriawr (*watch*). Dangosais iddo un o werth £4. Dywedodd y carcharor y cymmerai efe hi os newidiwn i *fil* am £20. Gofynais iddo o ba le y cafodd ef. Atebodd yntau i'w dad roddi iddo 20 penadur i brynu *tea*, y rhai a newidiasai efe am y *bill* yn Nghaer, gyda Mr. Jones. Gofynais iddo, A oedd Mr. Jones yn byw yn agos i'r *Feathers*, yn Nghaer. Atebodd ei fod. Dywedais wrtho mai cael hŷd i'r *bill* a ddarfu ef; a'i fod yn dweud anwiredd. Ni roddodd ateb i hyn. Anfonais yn ddiarwybod i'r carcharor am geisbwl, a gadewais i'r oriawr orwedd ar y bwrdd, rhag i'r carcharor ddrwg dybied rhyw beth. Cymmerodd y ceisbwl ef tu a'r *Police Office*. Diangodd; ond daliwyd ef drachefn. Rhoddais nôd ar y *bill*, ac adferais ef i'r ceisbwl.——*Joseph Rawson*, y ceisbwl, a dystiodd iddo gymmeryd y carcharor o fasnachdŷ Mr. Harris i'r carchar. Chwiliais ef; a chefais gŵd, yr hwn a'm tueddodd i dybied ei fod yn perthyn i lythyrdŷ. Drannoeth cyfaddefodd y carcharor iddo dafiu y llythyr a gynnwysai y *bill* crybwylledig i blith rhyw goedydd rhwng Bangor a Chonwy: ac mai cludydd llythyrau yn Mangor ydoedd.——*Samuel Jones*, Lleinydd, sydd yn byw yn agos i'r *Feathers* yn Nghaer. Ni welais erioed mo'r carcharor, na'r *bill*.

Y carcharor a alwodd ar rai o'i gymmydogion i dystio am ei nodweddiad ef. Y Rheithwyr a'i cawsant ef yn *Euog;* ond cyflwynasant ef i drugaredd y Barnydd.

**Tori Tai.** *William Pritchard* a gyhuddwyd o dori i dŷ William Thomas, ar noson y 19eg o Ebrill diweddaf, a lladrata hugan, oriawr, ac arian.

*William Thomas*, Amaethydd yn Llanrug, a dystiodd—Ar y 19eg o Ebrill, cloais y drws, ac aethum i'm gwely oddeutu naw o'r gloch. Pan gyfodais boreu dranoeth, gwelais y *bâr* wedi ei symud oddiar y drws, ac ôl traed a pharddu ar y llawr, o'r mŵgdwll hyd at y gwely. Collais fy oriawr ag oedd genyf y noson o'r blaen; ac yr oedd fy hugan lâs, a'm pwrs, a gynnwysai saith neu wyth swllt, wedi myned. Gwelais ôl traed yn yr ardd yn cyrchu tu a'r mŵg-dwll, yr hwn sydd yn agos iawn i'r clawdd, fel y gallai rhyw un ddyfod trwyddo i'r tŷ. Gwelais y carcharor y diwrnod o'r blaen, pan y prynodd laeth. Yr oedd y pryd hyny hugan gron a llodrau am dano. Wedi cael rhyw hysbysiad, y'mhen pedwar diwrnod, aethum i'r Fedw, lle gwelais yr hugan a'r llodrau mewn cŵd. Yr oedd arogl mŵg arnynt. Cefais hŷd i'r carcharor yn Ffestiniog dranoeth yn gwisgo fy hugan i. Gofynais iddo, A oedd hi yn ei *ffitio* ef; Dywedodd yntau, "Yn o lew." Cyfaddefodd fod yr Oriawr, a phethau ereill, ganddo, a chynnygiodd eu hadferu hwynt i mi, ond ni fynwn eu derbyn hwynt; eithr aethum ger bron Ynad Heddwch, a chymmerwyd y carcharor i fynu.——*Laura Pritchard*. Gwelais y carcharor yn y Fedw, ar yr 21ain o Ebrill, yn ymofyn y ffordd i Lanrwst. Dychwelodd wedi hyny, a gadawodd gŵd o dan fy ngofal.——*Anne Pritchard* a roddodd y cŵd i'r ceisbwl, yr hwn a'i dangosodd i'r Rheithwyr.—*Euog*.

*Richard Jones, William Owen, a Hugh Griffith*, a gyhuddwyd o dorri i'r Albion Hotel yn Mangor. Oblegid fod dau o'r prif dystion yn erbyn y carcharorion wedi nacau ymddangos, ni ellid profi y cyhuddiad; am hyny y Barnydd a gyfarwyddodd y Rheithwyr i ddyfarnu y carcharorion yn *Ddieuog*. Enwau y ddau dyst hyn oeddynt Thomas Evans a Hugh Jones, o Bangor. Gorfu arnynt dalu dirwy am eu hymddygiad.

**Swydd Fôn.—Dydd Sadwrn, prydnawn** yr 29ain o Orphenaf, ymadawodd Barwn Bolland o Gaerharfon, a chyfarfu y Sirydd a'i gyfeillion ei Arglwyddiaeth ar gyffiniau Beaumaris, ac aethant i'r Llys. Dranoeth y boreu aeth ei Arglwyddiaeth i'r Eglwys, lle y traddodwyd pregeth hyawdl gan y Parch. Dr. Howard. Boreu ddydd Llun dechreuwyd achosion y Llys. Cyfarchwyd yr Uchel-reithwyr gan y Barnwr. Nid oedd dim llawer o droseddau yn y cofrestr yn gofyn am ei sylwadau ef; ond dymunai dynu eu hystyriaeth hwynt at un peth, sef at achos *Jonathan Thomas*, yr hwn a gyhuddid o drywanu *William Williams* gyda bwriad i'w anafu. Yn ol y gyfraith yr oedd yn angenrheidiol profi fod yr ymosod yn gyfryw ag a ystyrid yn llofruddiaeth, pe buasai y clwyfedig yn marw, ac nid yn llofruddiaeth difwriad. Wedi gwneuthur ychydig o sylwadau ychwanegol, yr Uchel-reithwyr a aethant at eu dyledswydd.

*Ann Lewis* a gyhuddwyd o ladrata gwrthban o dŷ William Williams o Gaergybi. Ymddengys fod y garcharores yn byw yn y drws nesaf i'r cyhuddwr; a phan oedd ei wraig yn absennol, cymmerodd y garcharores fantais o hyn, aeth i'r tŷ, a lladrataodd wrthban, yr hwn a werthodd hi i wraig o'r enw Ann Pritchard, am fara, a chloron, ac arian, y cwbl yn werth naw ceiniog. Pan gymmerwyd hi o flaen Ynad, hi a gyfaddefodd ei heuogrwydd; ond dywedodd mai newyn a'i cymhellodd hi i gyflawni y fath weithred. Cafwyd hi yn *Euog*, a dyfarnwyd hi i gael *mis o garchar*.

**Lladrata Defaid.** *Hugh Owen* a gyhuddwyd o ladrata chwech o ddefaid, o eiddo Syr J. T. Stanley, Barwnig.

*Owen Roberts*, goruchwyliwr Syr J. T. Stanley yn Nghaergybi, a dystiodd fod tair o ddefaid myllt wedi colli o Benrhos ar y 31ain o Fawrth diweddaf, allan o ddeadell yn cynnwys 74 o ddefaid. Oddeutu dwy flynedd cyn hyny prynais saith o honynt, y rhai oeddynt wedi eu nodi yn eu clustiau. Wedi colli y defaid, cefais *warrant*, ac aethum gyda cheisbwl i dŷ y carcharor, lle y cawsom hyd i chwech o grwyn defaid, tri mawr a thri bychan, ar lawr yr ysgubor; yr oedd y pen a'r coesau yn eisieu, a'r gwlan oedd wedi ei symud: cawsom hyd i wlan mewn congl dywell yn y tŷ yn chwe sypyn, tri o honynt oedd debyg i wlan Syr J. T. Stanley. Aethum yno drachefn yn yr hwyr, chwiliasom yr ardd, lle y cawsom benau pump o ddefaid, ac unar-hugain o draed. Yr oedd nôd defaid Syr John ar un o'r penau hyn. Chwech o'r saith dafad a brynais i a laddwyd gartref, eithr y 7fed a ladratawyd.——*Jones*, Cigydd, a gadarnhaodd dystiolaeth y tyst blaenaf o barthed y crwyn. Ni wnaeth y carcharor ddim amddiffyniad, a'r Rheithwyr a'i cafodd ef yn *Euog*.

**Ffug-ysgrifenu.** *Ellis Williams* a gyhuddwyd o Ffug-ysgrifenu nôd Evan Owen, Llafurwr, wrth gydnabyddiaeth am gyflog. Cafwyd ef yn *Euog*, a dyfarnwyd ef i gael ei *garcharu am Ddeuddeng mis, a llafurio yn galed.*

*Jonathan Thomas* a gyhuddwyd o drywanu William Williams, ar y 27ain o Dachwedd, 1830, gyda bwriad i'w anafu. Ymddengys fod y cyhuddwr a'r carcharor yn cydrodio o Amlwch, a'u bod hwy ill dau yn feddwon iawn—iddynt hwy ddechreu ymladd ar y ffordd, ac yn yr ymryson i'r carcharor drywanu ei gydymaith yn ei fron; ar hyn syrthiodd y cyhuddwr i lawr, ac ni ddaeth ato ei hun am wythnos. Ar ran y carcharor tystiodd un Wm. Parry mai y cyhuddwr oedd yr achos o'r holl ymryson, a bod y carcharor yn ddigon llonydd. Cafwyd ef yn *Ddieuog*.

**Tyngu Anudon.** *Jane Edmonds* (Saesones) a gyhuddwyd o dyngu Anudon yn Sesiwn Môn, yn y flwyddyn ddiweddaf. Wedi holi llawer o dystion, cafwyd hi yn *Euog*.—*Pedwar mis o garchar.*

(*I'w barhau.*)

## LLONG-DDRYLLIAD

### YR AGERDD-LESTR, *ROTHSAY CASTLE*,

### Gerllaw Ynys Seiriol.

Gyd â'r teimladau mwyaf gofidus yr ydym yn gosod o flaen ein darllenwyr hanes galarus am ddrylliad yr Agerddlestr *Rothsay Castle*, ar oror Sir Gaernarfon—anffawd a fydd yn cael ei hir gofio gyda thristwch alaethus gan lawer teulu, perthynasau, a chyfeillion y rhai a gollwyd ar yr achos tor-calonus hwn. Heb ychwaneg o ymadroddi, rhoddwn yr hanes canlynol, yr hwn a gymmerasom allan o Newyddiadur Bangor, *North Wales Chronicle*, Awst 23, 1831.

Ymddengys mai yr awr osodedig i'r *Rothsay Castle* gychwyn o Le'rpwll oedd 10 o'r gloch y bore; ond ar ddydd Mercher diweddaf (y 17 o Awst) arosodd awr yn hŵy na'i hamser, i gymmeryd cerbyd teulu bonheddig ar ei bwrdd; a bu i'r oediad hwn, ynghyd âg achosion ereill, gydweithredu er niweid; canys pe buasai y llestr wedi cyrhaeddyd y fan lle y gwaelododd awr yn gynt, buasai ychwaneg o ddwfr, ac yn ganlynol y perygl a ochelasid. Tybiwyd fod mwy na 120 o ymdeithwyr ar ei bwrdd. O'r amser y gadawodd y llestr afon Lle'rpwll, nid oedd ei mynediad ym mlaen ond yn dra arafaidd, gan fod y môr yn derfysglyd, a'r gwynt yn wrthwynebus, fel yr ydys yn tybied na hwyliodd hi fwy nag o dair i bedair milltir yr awr, gan ei bod rhwng naw a deg o'r gloch y nos cyn iddi nesâu at Ben Gogarth (*Great Orme's Head*). Pan gyrhaeddodd hi y fan hòno, yr oedd y môr yn dra chryf a therfysglyd, a'r gwynt yn union yn y gwrthwyneb, yr hyn a wnaeth i'r llestr ysigo yn fawr, a gollwng y dwfr i mewn trwy ei gwrymiau, a thrwy echelau y rhedylau, nes yr oedd y dwfr at y fferau yn 'stafell y peiriant (*engine room*). Yn anwybodus, fe allai, o'r amgylchiad hwn, ac yn lle aros yn hŵy i ymladd yn erbyn y tywydd yn y tywyllwch, crefodd amryw o'r boneddigion ar y Cadben naill ai i droi a dychwelyd i Le'rpwll, neu i ymofyn am gysgod y'ngheg yr afon Gonwy; ond gwrthwynebodd y Cadben eu holl geisiadau; a pharhaodd y llestr i ymboeni, heb hwylio ond ychydig iawn ym mlaen. Y pryd hyn gosodwyd y sugnedydd (*pump*) ar waith, ond gyd âg ychydig iawn o effaith, canys tagwyd y bibell yn fuan gan y lludw ag oedd yn gymmysgedig â'r dwfr, ac o ganlyniad, collwyd cryn amser i gael y sugnedydd yn addas i weithio. Yn yr yspaid hwn, ymddengys fod y dwfr wedi bod yn lleawi yn gyflym yn ystafell y peiriant, yn gymmaint felly, fel, pan yr oedd y tân yn gofyn ychwaneg arno, yn ol tystiolaeth y dyn oedd i edrych ar ei ol, nis gallai efe roddi rhawiad arno,

heb roddi ar yr un pryd lawer o ddwfr gyd âg ef. Wrth hyn, aeth y tân yn isel, a nerth yr agerdd a wanhawyd, fel na effeithiodd ond ychydig i beri i'r llestr fyned rhagddi, symudiad yr hon y pryd hyn ni fu ond oddeutu milltir yn yr awr.

Hyd yn hyn parhaodd y rhan fwyaf o'r ymdeithwyr yn dawel, er yn ddiammeu yn dra anesmwyth eu meddwl, o herwydd eu cyflwr peryglus; ond yr oedd haeriadau y Cadben, pan y dymunwyd arno amryw weithiau i droi yn ol, nad oedd dim perygl, wedi eu cadw rhag holiol anobeithio. Ond yr oedd y mynydyn yn cyflym nesâu ag oedd i'w didwyllo.

Erbyn hanner nos, yn ol tystiolaeth y gwr ag oedd wrth yr olwyn, yr oedd y llestr wedi myned yn ddigon pell i ochr y traethell a elwir *Dutchman's Bank*, ac ar gyfer y twr ar Ynys Seiriol; ond trwy i'r peiriant sefyll ar droiau, methodd ddal ei ffordd, ac ar yr un amser yn ymboeni yn ddirfawr, ac yn cymmeryd i mewn lawer o ddwfr. Y Cadben, yr hwn oedd yn ngwaelod y llestr pan yn colli y ffordd, ac felly nis gallai fod yn gwybod yn gywir am ei sefyllfa, yn awr a ddaeth at y llyw-le, a gorchymynodd i'r llywydd i droi y llyw i'r dehau, os amgen y rhedai y llestr ar y sarn yr ochr arall. Hyn a wnawd, ac yn ganlynol dygwyd pen blaen y llong at y traethell. Yna trowyd y peiriant ar frys, i'r diben i'w gwthio i ddwfr dyfnach, ond o ddiffyg digon o nerth agerddol aflwyddodd yr ymgais, gan fod y môr yn rhedeg mor gryf ar y traethell y pryd hwnw. Yna cyfodwyd y *jib*, ond yn ofer; ac ar ol aml darawiad, a llusgo am oddeutu hanner milltir, ar hyd ochr y traethell, syrthiodd arno ar ei llawn ystlys, oddeutu hanner awr wedi hanner y nos, ac a safodd yno, tu hwnt i nerth neb dynol i'w symud hi. Gallwn sylwi yma, pan darawodd y llong y tro cyntaf, i long-lywydd o Le'rpwll, yr hwn oedd un o'r ymdeithwyr, fyned at ben ôl y llong, a chynghori y *mate* i roddi lantern i fynu ar ben yr hwylbren, ond gresyn yw na chydsyniwyd â'i gynghor.

O'r amser y tarawodd y llestr, llanwyd yr ymdeithwyr â braw a dychryn. Y rhan fwyaf o honynt a redasant ar y *deck*, lle yr oedd y Cadben yn parhau i'w darbwyllo, gan sicrhau iddynt nad oedd dim perygl. Ond rhy eglur oedd eu sefyllfa yn awr i'w eiriau gael eu credu yn hŵy. Yr oedd y tònau cynddeiriog yn parhau i guro yn ei herbyn a throsti, yr hyn a godai yn aml ran o honi oddiar y traethell, ac a'i tarawai drachefn gyda nerth dychrynllyd ar y tywod. Erbyn hyn yr oedd y lloer wedi machludo, y nefoedd uwch ben wedi duo gan gymylau, ac oddi tanodd yr oedd y tònau dychrynllyd megis yn agor eu safnau am yr ysglyfaeth yr oeddynt yn fuan i'w lyngcu. Gweddïau, erfyniau, ysgrechiadau, a griddfanau, a glywid o bob parth. Cloch y llong yn awr am y tro cyntaf a ganwyd, wedi methu cael gafael ar y lantern i godi goleuni ar yr hwylbren; ond cyn pen nemawr o fynydau daeth tafod y gloch yn rhydd, ac yn yr annhrefn a ganlynodd, methwyd a chael gafael arno; ar hyn gosodwyd dyn i'w churo â chlapiau o lo, ond rhy feddal ac ysgafn oedd y rhai hyn i wneuthur y sŵn yn glywedig o'r tir gan ruadau uchel y dyfroedd. Yn fuan ar ol i'r llong syrthio ar ei llawn ystlys ar y traethell, daeth y taclau oedd yn rhwymo y simdde yn rhyddion, ond trwy fawr ymdrech diogelwyd hwynt drachefn. Y'mhen ychydig fynydau daethant yn rhyddion yr ail waith, ac yna gyd â'r ergyd nesaf gan y môr, i lawr daeth y simdde, ynghyd â'r brif hwylbren, y rhai a syrthiasant ar draws y *deck*. Dechreuodd angeu yn awr ar ei orchwyl. Pwy neu pa nifer a laddwyd, neu a daflwyd drosodd, pan y syrthiodd y simdde a'r hwylbren, nid ydys yn gwybod yn sicr; ond yn fuan wedi hyny, oddeutu un o'r gloch, ysgubwyd 10 neu 12 ymaith oddiar y *quarter deck* i'r dyfnfôr. Yn awr daeth y llyw yn rhydd, ac wrth fod y bâd yn cael ei lenwi â dwfr, torodd ymaith, ac aeth gyd â'r llif. Gellid sylwi yma hefyd, mai y bâd hwn oedd yr unig un ar fwrdd y llestr, a'i fod hefyd yn rhy fychan i fod o un defnydd i achub cynnifer o ymdeithwyr; er hyny ped iawn drefnasid ef â dwylaw, gallasid cyrhaedd y lan, a danfon cynnorthwy prydlon iddynt. Cafodd tri o bersonau ag oedd yn eistedd ar ben y cerbyd a grybwyllwyd am dano eu hysgubo ymaith gan y tonau; a dau ereill, gan gymmeryd gafael mewn tabwrdd mawr yn perthyn i'r clerwyr, a neidiasant i'r môr, gan ddisgwyl oddiwrth ei nofiadolrwydd y cedwid hwynt i fynu nes y daethai cynnorthwy iddynt, neu gyrhaeddyd o honynt y tir: ond soddodd y ddau yn ymyl y llestr. Mae yn ymddangos yn lled ryfedd, pan gollwyd tafod y gloch, na churodd neb y tabwrdd hwn i alw am gynnorthwy y bobl ar Ynys Seiriol, yr hon nid oedd uwchlaw milltir o ffordd oddi wrthynt, ond y mae yn debygol na feddyliodd neb am hyn. Dechreuodd amryw yn awr dynu eu gwisgoedd uchaf, i'r diben o geisio nofio, er fod nerth y tonau yn rhagddangos iddynt yn eglur yr hyn yr oeddynt i'w ddisgwyl os anturient hyny. Gafaelodd amryw ereill mewn maingc ar y *quarter deck*, a thaflasant eu hunain gyda hi i'r môr; ond boddwyd hwynt i gyd yn ddioed. Ceisiodd oddeutu deg neu ddeuddeg o honynt ddiogelu eu hunain wrth ystlys y llestr, ond cawsant eu hysgubo ymaith yn fuan gan y tonau. Oddeutu

hanner awr wedi un o'r gloch, cafodd rhwng deg ar hugain a deugain o'r bobl ag oeddynt wedi cyfleu eu hunain ar gist y rhodylau (*paddle box*) eu hysgubo ymaith gan fôr-ymchwyddiad dychrynllyd, a thybir fod y cwbl wedi boddi. Dywed y rhai diangol nad anghofiant byth yr ysgrechiadau arswydus a glywsant gan y rhai hyn cyn iddynt soddi i'w dyfrllyd feddau. Erbyn hyn yr oedd y rhan fwyaf o'r rhai ag oedd wedi eu gadael ar y bwrdd mewn cyflwr gwallgofus ac anobeithiol: ond yr oedd rhai etto yn dal allan i beidio llwfrhau, ac ymdrechasant i wneuthur y cyfryw barotoadau a'u cadwent rhag soddi pan âi y llestr yn chwilfriw. Y rhai hyn a rwymasant eu hunain wrth blanciau, a darnau ereill o bethau a feddylient a'u cadwent ar wyneb y dwfr, tra yr oedd y lleill yn ymollwng i'r hyn oedd yn ymddangos yn anocheladwy, ac yn dyrchafu eu calonau mewn gweddi ato Ef, ger bron yr Hwn yr oeddynt mor fuan i ymddangos. Y'mhlith y rhai olaf hyn yr oedd y Parch. Owen Owens o Beaumaris, a'i ddwy chwaer, y rhai pan welwyd hwynt ddiweddaf oeddynt ar eu gliniau mewn gweddi.

Cyn dau o'r gloch torodd y llong yn ei chanol, ac aeth yn chwilfriw. Yr amser hwn yr oedd chwe gwr, gwraig, a bachgen, ar y *quarter deck;* yr hwn a attaliwyd rhag myned oddiwrth y llestr gan rai o'i thaclau, nes i Mr. Jones, y Llong-lywydd o Le'rpwll, yr hwn a grybwyllwyd am dano o'r blaen, gyd â'r parodrwydd meddwl mwyaf, eu tori â'i gyllell, ac yna fe nofiodd yn rhydd! a thrwy hyny achubwyd ei fywyd ef a'r rhai oedd gyd âg ef. Pan ymadawodd y *quarter deck*, yr oedd yn aros ar ol, fe allai, oddeutu deg a deugain ar y llestr; o ba nifer, rhai a daflasant eu hunain i'r dwfr, yn rhwym wrth ystyllod; ereill a ysgubwyd drosodd gan y tònau; oddeutu deuddeg a lynasant wrth yr hwylbren a syrthiasai; tri a ddringasant i fynu hwylbren arall, a dau neu dri a gydiasant wrth ei fôn. O'r rhai hyn oll nid ymddengys fod mwy na deg wedi eu hachub.

Gallwn sylwi yma, nad oedd yr un o'r rhai a achubwyd a fedrai roddi i ni ddim hanes, pa fodd, neu pa amser, y colliwyd y Cadben. Cyhyd ag yr oedd ganddo un gobaith o achub y llestr, gwelwyd a chlywyd ef yn ol ac ym mlaen; ond oddeutu yr amser yr ymadawodd y *quarter deck*, collwyd yr olwg arno, ac nis gwelsant mo hono ef mwyach.

Rhoddwn yn awr ychydig hanes pa fodd yr achubwyd y rhan fwyaf o'r rhai diangol.

Pan ymadawodd y *quarter deck*, yr oedd arno, fel y dywedasom o'r blaen, chwe gwr, gwraig, a bachgen, y rhai, yn fuan, a gipiasant i fynu ddyn arall ag oedd yn myned heibio iddynt ar ystyllen. Yna dechreuasant rwyfo â darnau o goed; a dau o'r dynion a ddaliasant i fynu bais yn hwyl, mewn gobaith o gyrhaeddyd glàn Sir Gaernarfon.

Ar doriad y dydd, canfuasant bobl ar y làn, a gwnaeddasant arnynt, ond yr oeddynt yn rhy bell i'w clywed ganddynt; a pharhausant i gael eu gyru o flaen y gwynt, a'r môr yn golchi trostynt agos bob mynyd, hyd hanner awr wedi saith o'r gloch, pan y gwelwyd hwynt, ac y cymmerwyd i fynu gan Einioes-fad Beaumaris mewn gwendid dirfawr. Canfuwyd hwynt gyntaf gan Mr. W. L. Walker, pan yn rhodio yn blygeiniol iawn ar Green Beaumaris, yr hwn yn ddioed a gafodd y cwch, a'r dynion sydd yn perthyn iddo, ac a aeth i'w ceisio.

Aeth nifer o gychod ereill yn ebrwydd tu a'r fan y digwyddasai yr anffawd; ac wedi iddynt gymmeryd y rhai ag oedd yn glynu wrth yr hwylbren, aethant i chwilio yn fanwl o làn i làn, cyhyd ag yr oedd y gobaith lleiaf o achub bywydau neu eiddo. A thrwy eu hymdrechiadau canmoladwy achubwyd un ar hugain rhag marwolaeth, a chafwyd dau ar bymtheg o gyrph, a chryn lawer o bethau a berthynai i'r ymdeithwyr.

Cafwyd boneddig o'r enw Payne a'i wraig yn rhwym wrth blanc. Yr oedd y ddau yn fyw pan eu cymmerwyd i fynu; ond yr oedd Mr. Payne wedi gwanychu gymmaint, fel y bu farw wedi ei roddi yn y baddon (*bath*) yn Beaumaris.

Yr oedd diangfa un Mr. Edward Jones, o Fangor, yn dra gwyrthiol. Nis medrai nofio; ond wedi cael o hono farilan fechan ar y bwrdd, rhwymodd hi wrth ei gorph â rheffyn, ac eisteddodd gyda dau ereill ar y cerbyd oedd yn y llestr. Yn fuan wedi hyn, ysgubwyd y cerbyd drosodd, ac yntau a'i ddau gyfaill a fwriwyd i'r môr. Symudodd y farilan o'r fan y rhwymasid hi, ac a aeth dan ei fraich aswy, fel mai gyda mawr ymdrech y cadwai ei ben i fynu. Yr oedd y cerbyd yn awr yn myned heibio iddo, ac efe a ymaflodd mewn un o'r olwynion â'i law ddeheu, ond yn fuan soddodd y cerbyd. Yn yr amser cyfyng hwnw, gwelodd Mr. Duckworth, o Bury, yn eistedd ar fwrdd, ac o fewn ychydig latheni iddo. Gollyngodd Mr. Jones ei farilan yn ebrwydd, ac er na cheisiasai erioed nofio o'r blaen, etto, gyd âg ychydig ymegniadau, efe a lwyddodd i gael gafael yn y bwrdd, ar un pen o'r hwn y gorphwysodd efe, a Mr. Duckworth ar y pen arall. Pwysau y ddau a soddodd y bwrdd gymmaint dan y dwfr, fel mai gyd â'r anhawsdra mwyaf y cadwasant eu penau yn ddigon uchel i gael eu gwynt, ac yr oedd y ddau bron yn diffygio, pan y cafodd Mr. Duckworth hamdden i ddiosg ei

ddillad, gyd â'r bwriad o nofio i'r làn, yn yr hyn y bu yn llwyddiannus. Yn awr, efydlodd Mr. Jones ei hun ar ganol y bwrdd, a gwthiodd ei draed trwy dwll, a gafaelodd yn ochrau y bwrdd â'i ddwylaw. Yn yr agwedd hon, efe a gadwodd ei hun fynu tan agos i wyth o'r gloch, pryd y cymmerwyd ef i fynu gan Mr. Williamson, yn nghwch y cyflym-lestr *Campadora*, ac yr oedd Mr. Jones mor agos i'r beis-dônau ar gyfer Pen Gogarth, fel, pe buasai y cwch bum mynyd yn hŵy, ni fedrasai oddi un cymmorth iddo.

Ar ol dyfod â'r rhai diangol i'r làn, dygwyd hwynt i Beaumaris, a llettywyd hwynt yn amrywiol westleoedd y dref, lle cawsant bob ymgeledd a thiriondeb gan teuluoedd. Cyrph y ddau-ar-bymtheg a gafwyd a gyflewyd yn llys-dŷ y dref, chynnaliwyd celain-ymholiad arnynt prydnawn dydd Iau, o flaen Thomas Williams, Ysw. *Coroner* Bwrdeis-dref Beaumaris, a Rheithwyr tra pharchus, blaenor y rhai oedd Syr R. B. W. Bulkeley. Ond gan ein bod wedi rhoddi eisoes hanes mor fanwl am y digwyddiad galarus hwn, rhoddwn yma benderfyniad y Rheithwyr, ynghyd â'u cyfarchiad i'r *Coroner* ar yr achlysur.

RHEITHFARN.

Fod y cyfryw bersonau anadnabyddus, ar yr 17eg Awst, yn y flwyddyn ragddywededig, ac yn y lle ragddywededig, o fewn terfynau y ddywededig Fwrdeisdref, yn ymdeithwyr ar fwrdd yr Agerdd-lestr a elwir y *Rothsay Castle*, yn mordwyo rhwng Le'rpwll a Beaumaris, ac i'r ddywededig Agerdd-lestr daraw ar draethell, a thrwy hyny yn y fan a'r lle hwnw ddryllio; a bod i'r dywededig bersonau anadnabyddus yn ddamweiniol ac yn anffodus yn y fan a'r lle hwnw gael eu mygu a'u boddi.

Ynghyd â'r rheithfarn uchod, cyfarchodd y Rheithwyr y *Coroner* fel y canlyn:

SYR, *Beaumaris, Awst 19, 1831.*

Oddiwrth y dystiolaeth o'n blaen, nis gall y Rheithwyr ar yr ymholiad hwn ymadael heb ddatgan eu barn, pe buasai y *Rothsay Castle* yn llestr cymhwys i'r môr, a digonedd o wyr cyfaddas i'w lywio, y gallasid gochelyd yr anffawd galarus hwn; nis gallant gan hyny lai na mynegu eu digllonrwydd am ymddygiad y rhai hyny a roddai y fath lestr i forddeithio, a than lywyddiaeth Cadben a Mate a brofwyd, trwy y dystiolaeth o'n blaen, eu bod yn feddw.

WILLIAM BULKELEY, *Blaenor.*

Gan i ni roddi lle i gyfarchiad y Rheithwyr i'r *Coroner*, iawn ydym hefyd rhoddi lle i'r ysgrif-dystiad canlynol, a anfonwyd gan un o'r seiri llongau parchusaf yn Lle'rpwll, er dilëu o feddwl y cyhoedd effaith y sèn gynnwysedig yn y cyfarchiad hwnw, ac i amddiffyn enw da Mr. Watson, perchenog y *Rothsay Castle*, oddiwrth yr unrhyw:

Yr ydym ni, y rhai yr arwydd-nodir ein henwau isod, yn tystio ddarfod ein rhoddi ni ar waith yn mis Rhagfyr diweddaf, 1830, gan Mr. Wm. Watson o Le'rpwll, i adgyweirio yr Agerdd-lestr a elwir y *Rothsay Castle*, gynt o Glasgow; ac wedi cael o honi y cyfryw adgyweiriad, ei bod yn gwbl addas i fordwyo mewn unrhyw le yn agos i'r lan y dewisai ei pherchenog: ac ym mhellach, pe gofynid genym, yr ydym yn barod i fyned ar ein llw o barth cywirdeb yr hysbysiad uchod. Rhoddwyd dan ein llaw yr 21ain dydd o Awst, 1831.

JOHN WILSON & Sons.

ENWAU Y RHAI A ACHUBWYD.

Mrs. Payne, Greengate, Salford, Manchester.
Mr. Wilson, Manchester.
Miss Mary Whitaker, Bury, Lancashire.
Mr. John Whitaker, o'r un lle.
Mr. Nuttal, o'r un lle.
Mr. Duckworth, Shuttleworth, gerllaw Bury.
Mr. Lawrence Duckworth, Evanfield, yr un lle.
Mr. Hammond, Lle'rpwll.
Mr. Tinney, o'r un lle.
Mr. Owen Morris, Morwr, o'r un lle.
Mr. William Jones, Llong-lywydd, o'r un lle.
Mr. James Martin, Cable Street, o'r un lle.
Mr. Broadhurst, Sheffield.
Mr. Marsden, Sandel, gerllaw Wakefield.
Mr. Coxhead, Size Lane, Llundain.
Mr. Edward Jones, Bangor.
—— Radland, Cerddor, } Dwylaw y llestr.
William Jones, }
William Hughes, a'i Fab, }
Evan Evans, }

Cynnwysa y rhestr ganlynol enwau y personau y clywsom eu bod ar fwrdd y llestr, pa rai a gollwyd oll. Eu nifer yw 70; yr hyn, at yr 21 a achubwyd, sydd yn gwneud 91. Ond gan fod, o leiaf, 130 yn y llestr wrth gychwyn o Le'rpwll, y mae etto oddeutu deugain nas gwyddis eu henwau.——Y rhai a nodwyd â'r nod hwn * yw y rhai y cafwyd eu cyrph.

ENWAU Y RHAI A FODDWYD.

*Mrs. Falconer, Manchester, a dau o blant, a morwyn.
*Mrs. Wilson, o'r un lle.
*Mr. Payne, o'r un lle.
Mr. Robert Warrener, a'i wraig a'i blentyn, o'r un lle.
Mr. John Parry, a'i wraig, o'r un lle.
*Mrs. J. Duckworth, Bury, Lancashire.
Mrs. L. Duckworth, o'r un lle.
Mr. Thomas Entwistle, o'r un lle.
*Mr. William Terry, a'i wraig, a phump o blant, a'i forwyn, o'r un lle.
Miss Selina Lamb, o'r un lle.
Miss Walmesley, o'r un lle.
Mr. Walmesley, a'i wraig a'i blentyn, o'r un lle.
Mr. Fitton, a dau o blant, o'r un lle.
Mr. John Wilkinson, o'r un lle.
Mr. Thomas Charles, o'r un lle.
*Mr. Lucas, Sebonydd, Le'rpwll, a'i frawd, a'i *ferch.
Mr. Shaw, Watch-spring Maker, o'r un lle.
*Mr. Fisher, Broker, o'r un lle.
*Miss Jane Alexander, o'r un lle.
Mr. James Leigh, Byrom Street, o'r un lle.
Mr. Soaza, o'r un lle.
Mr. Metcalf, o'r un lle.
Mr. James Warrener, a'i wraig, o'r un lle.
Mr. Thomas Vonce, a'i wraig, o'r un lle.
Mr. John Brown.
Mr. a Mrs. Foster, o Landain, a'u gwas.
*Mrs. Hammond, Leeds.
Miss Broadhurst, Sheffield.
*Parch. S. Macarthy, Offeiriad Pabaidd.
*Mr. John Leech, Caerlleon.
*Mr. Rogers, Black Lion, Gwrecsam.
Parch. O. Owens, Beaumaris, a'i ddwy chwaer.
Michael Griffith, a'i wraig a'i blentyn, o'r un lle.
Mr. Samuel Cooke, Fruit Dealer, Bangor.
*Thomas Whitaker, (plentyn).
*Mr. Jones, Steward y llestr, a'i *wraig.
Captain Atkinson, y *Mate*, tri o'r Cerddorion, un *Fireman*, Saer, a Bachgen yn perthyn i'r llestr.

## HYSBYSIADAU LLEENYDDOL.

Y TESTAMENT NEWYDD, *gyda Nodau Eglurhaol ar bob Adnod, wedi eu Dethol a'u Cyfieithu i'r Gymraeg, allan o waith yr Awduron enwog,* Poole, Mant, Scott, Guyse, a Doddridge; *ynghyd â Nodau Cyfeiriol, gan y* Parch. James Hughes, *sef Iago Trichrug. Argraffedig ac ar werth gan E. a J. Lloyd, Wyddgrug.*

Dylai Athrawon Ysgolion Sabbothol, ac Ieuenctyd Cymru, fod yn dra diolchgar i'r Cyhoeddwyr am ddwyn allan waith mor rhagorol, ac etto mor rhad, ac mor gymmwys i'r Llogell. Cynnwysa lawer mewn ychydig; a chyhoeddir ef yn Rhifynau misol, chwe cheiniog yr un; yr hyn a'i gwna yn fwy derbyniol gan laweroedd na phe cyhoeddid ef ar unwaith. Y mae enwogrwydd yr Awduron a ddethyddir yn ddigon hysbys i'r wladwriaeth, i sicrhau na bydd dim gau athrawiaeth yn y Testament hwn. Ac y mae enwogrwydd *Iago Trichrug*, fel ysgrifenydd Iaith ei Fam, yn sicrhad digonol na bydd dim beiau na diffygiadau mewn Iaith ynddo. O barthed yr Orgraph a ddilynir, cynghorem y Cyhoeddwyr a'r Cyfieithwr ddarllen yn fanwl lythyr ein Gohebydd *Garmon* yn Rhifyn Ionawr, 1831, o'r Gwyliedydd; a chynghorem hwynt i beidio gorlwytho cymmaint ar bob tu dalen; dylai fod ychwaneg o le rhwng yr Adnod a'r Esboniad cyn y gellir dweud i'r Llyfr edrych yn hardd; ond nid yw hyn o fawr bwys.

Lately was published, The Successful PRIZE ESSAY, Presented at the last Eisteddfod of the Royal Cambrian Society in London, "On the Causes that have produced Dissent in Wales from the Established Church." Hatchard and Son, London.

Just published, "SERMONS, preached in the Chapel of St. David's College, Lampeter, by the Rev. ALFRED OLLIVANT, M. A. Vice-Principal of St. David's College, and Examining Chaplain to the Lord Bishop of St. David's."

---

## URDDIADAU EGLWYSIG.

### ESGOBAETH TY DDEWI.

MEWN Urddiad, a gynnaliwyd ar y 14eg o Awst, yn Nghapel Coleg Dewi Sant, gan Arglwydd Esgob Tŷ Ddewi, ar ol pregeth dra rhagorol gan y Parch. James Francis, o Landygwydd, cafodd y boneddigion canlynol eu derbyn i'r swydd o Ddiaconiaid, a'u cenhadu (*licenced*) i'w priodol Guradiaethau.

Thomas Summers, B. A. o Goleg Iesu, Rhydychain; cennadedig i Walton East, Dyfed.——W. W. W. Bowen, B. A. o Goleg Peter House, Caergrawnt, i St. Martin's, Hwlffordd, Dyfed.——Thomas Bowen, o Goleg Dewi Sant, i Eglwys Fair, Abertawy, Morganwg.——William Harries, o'r un lle, i Landawe a Phendin, Swydd Gaerfyrddin.——Griffith Evans, o'r un lle, i Battle, Brycheiniog.——Francis Edward Turnour, o'r un lle, i Minwear, Dyfed.——Thomas Davies, o'r un lle, i Jordaston, Dyfed.——Charles Proberts, o'r un lle, i Longtown, Swydd Henffordd.——Evan Morgan, o'r un lle, i Gilian Aeron, a Chapel St. Alban, Ceredigion.——Thomas Thomas, o'r un lle, i Nantcwalle, Ceredigion.——David Thomas, o'r un lle, i Henllan, Ceredigion.

Cafodd y boneddigion canlynol hefyd eu harddo yn Offeiriaid:—Parch. William Evans, B. C. L. o Goleg Iesu, Rhydychain, Curad Ilston, Morganwg.——Parch. J. M. Downes, o Goleg Dewi Sant, Curad Llanulid, Brycheiniog.——Parch. David Lewis, o'r un lle, Curad Llandyfeiliog a Llangyndeyrn, Swydd Gaerfyrddin.——Parch. Thomas Evans, o'r un lle, Curad Llansantffraid, Ceredigion.——Parch. William Harris, o'r un lle, Curad Llangathen, Swydd Gaerfyrddin.——Parch. Thomas Thomas, o'r un lle, Curad Myddfai, Swydd Gaerfyrddin.——Parch. John Hughes, o'r un lle, Curad Puncheston a Llanychare, Dyfed.——Parch. Hugh Howell, o'r un lle, Curad Llanfihangel-Penbedw, Dyfed.——Parch. J. R. Lewis, o'r un lle, Curad Capel Ystrad Ffin, Swydd Gaerfyrddin.——Parch. W. T. Nicholls, o'r un lle, Curad Llanfihangel-Aberbythych a Llandyfeisant, Swydd Gaerfyrddin.——Parch. Daniel Griffiths, o'r un lle, Curad Ystrad Fflur, Ceredigion.——Parch. Owen Jones, o'r un lle, Curad Llandysilio Gogo, Ceredigion.——Parch. David Evans, o'r un lle, Curad Llanfihangel Rhos y Corn, Swydd Gaerfyrddin.——Parch. Evan Hughes, o'r un lle, Curad Ysbytty Cenfyn, Ceredigion.——Parch. James Francis, o'r un lle, Curad Llandygwydd, Ceredigion.——Parch. Lewis Davies, Curad Henry's Moat a Phontfaen, Dyfed.

### ESGOBAETH BANGOR.

Gorphenaf 31ain, Dydd Sul, Urddwyd y rhai canlynol i swydd Diaconiaid, gan Arglwydd Esgob Bangor, yn Eglwys Gadeiriol y ddinas hono, sef y Parch. Hugh Prichard, B. A. o Goleg Iesu, Rhydychain; y Parch. Evan William, B. A. o'r un Coleg; a'r Parch. Evan James, B. A. o Goleg Corpus Christi, Caergrawnt.

## PRIODWYD,

Ar y 9fed o Awst, yn Eglwys Gadeiriol Bangor, gan yr Arglwydd Esgob, y Parch. John William Trevor, Ficer Caernarfon, âg Elizabeth, merch hynaf y Parchedicaf John Warren, Deon Bangor.

## BU FARW,

Mehefin 2fain, 1831, yn Newport, Isle of Wight, yn 82 oed, Is-filwriad (*Lieutenant Colonel*) ROBERT ANWYL, o'r Fron, yn agos i'r Bala, Swydd Feirionydd, gynt yn perthyn i'r 4edd Gatrawd, sef Gatrawd briodol y Brenin. Yn y flwyddyn 1799 gosodwyd ef yn Lumanydd (*Ensign*) yn y Gatrawd hon. Ac yn yr un flwyddyn aeth gyd â'r fyddin, dan lywyddiaeth y Dug Caerefrog, i'r Iseldiroedd, lle y cafodd ei glwyfo yn lled ysgafn, yn yr ymosodiad ar ochr ddeheu byddin y gelyn wrth *Zuyder Zee*. Yn 1809, aeth gyd â'r fyddin i *Walcheren*: ac yn 1810 i *Gibraltar a Ceuta*, fel *Brigade Major*. Yn 1811, bu yn ymladd wrth *Torres Vedras* a *Barba del Puerto*; ac hefyd yn y rhuthrgyrch ar *Badajos*, lle y cafodd ei glwyfo yn dost. Ac wedi hyny ym mrwydr *Salamanca*, lle hefyd y clwyfwyd ef, ac y lladdwyd ei farch oddi tano. Yn y flwyddyn 1812 bu yn gwarchae ar Gastell *Burgos*; ac yn y frwydr wrth *Villa Muriel*; ym mrwydr *Vittoria*; rhuthrgyrch *St. Sebastian* (lle y gwnawd ef yn brif swyddog y *brigade*) ac yn yr ymladdfa wrth groesi yr afonydd *Bidassoa* a *Nive*, lle y clwyfwyd ef drachefn. Yn 1813 bu ym mrwydr *Bidart*. Yn 1814 bu yn gwarchae ar *Bayonne*; lle y gwasanaethodd swydd *Assistant Adjutant General* i aden aswy y fyddin dan lywyddiaeth y Cadfridog Colville. Wedi hyny aeth gyda Major General Robinson, yn y swydd o *Brigade Major* i Canada; a bu yn flaenor ar y milwyr ysgafn-arfog (*light troops*) yn yr ymosodiad ar *Plattsburg*; lle y gyrodd i mewn flaen-filwyr (*pickets*) yr America, yn y modd mwyaf gwrol. Ar ol hyny, ymunodd drachefn â'i Gatrawd ei hun, sef y 4edd, yn Ffraingc; a bu yno dros y tair blynedd y bu y wlad hono dan oresgyniad. Wedi hyny, canlynodd ei Gatrawd i'r India Orllewinol, lle y gwasanaethodd amrai flynyddoedd. Yn y flwyddyn 1827 pwrcasodd y swydd o *Lieutenant Colonel*; a gosodwyd ef, yn yr un flwyddyn, i lywyddio y 85 Gatrawd, ac a ymunodd â hi yn Malta. Ond yr oedd awyrgylch crasboeth yr India Orllewinol wedi ammharu ei iechyd i'r fath radd fel y gorfu iddo roddi i fynu ei swydd filwraidd yn y flwyddyn 1830, a dychwelyd i Loegr. Cafodd ei anrhydeddu â bathodyn, am ei ymddygiad dewraidd wrth *St. Sebastian*; a derchafwyd ef i'r enwad Uch-gadben (*Major in the Army*) ar ol brwydr *Vittoria*; ac yn y flwyddyn 1817 derchafwyd ef drachefn i'r enwad o *Lieutenant Colonel*, am ei wroldeb nodedig yn y maes. Ei dueddfryd rhwydd a charuaidd, ynghyd â'i ymddygiad mwynaidd, a'i aml rinweddau nawsaidd ereill, a fyddant yn anwyleiddio ei goffadwriaeth yn hir ym mhlith ei gyfeillion lluosawg. Gadawodd wraig ac un plentyn ar ei ol.

Ar ddydd Mercher, y 3ydd o Awst, y Parch. John Rowlands, Curad Penal, Swydd Feirionydd, yr hwn, ynghyd âg Oliver, mab hynaf y diweddar R. Mathews, Ysw. o Esgair Lleitrim, yn anffodus a foddasant wrth ymdrochi yn afon Dyfi.

# Y GWYLIEDYDD.

## HYDREF, 1831.

### SYLWEDD PREGETH.

HEB. xi. 5.

"Trwy ffydd y symudwyd Enoch, fel na welai farwolaeth; ac ni chaed ef, am ddarfod i Dduw ei symud ef: canys cyn ei symud, efe a gawsai dystiolaeth, ddarfod iddo ryngu bodd Duw."

NID yw yr apostol, yn y bennod hon, yn cymmeryd arno draethu am yr holl dduwiolion a fuant fyw yn oesoedd boreuol y byd, ond y mae yn enwi y rhai enwocaf o honynt. Y nesaf a grybwyllir ydyw Enoch. Gallwn feddwl bod llawer o feibion Seth yn enwog mewn duwioldeb; ond eu hiliogaeth wedi hyny a ymgymmysgasant â hiliogaeth ddrygionus Cain, ac a ddysgasant eu gweithredoedd hwynt, nes aeth y byd yn hollol lygredig. Oddeutu yr amser hyn yr oedd Enoch yn byw, cyn y diluw mawr, yr hwn a foddodd y byd annuwiol.

Cymmeraf achlysur i sylwi ar y pethau canlynol; 1. Hanes Enoch. —2. Addysgiadau oddiwrth hyny. —3. Enoch yn gysgod o Grist.

I. Hanes Enoch.

1. Efe oedd fab i Jered. Ganwyd ef ynghylch y flwyddyn o oed y byd 622; ac felly yr oedd yn cyd-oesi âg Adda am 308 o flynyddoedd, ac yn ddiammeu a ddysgodd ganddo yr hyn oll a wyddai am Dduw, am y greadigaeth, am y cwymp, ac am yr addewid o Had y Wraig. Efe oedd tad Methuselah, yr hynaf o'r holl ddynion.

2. Efe a rodiodd gyda Duw. Bu fyw yn gysson mewn cymdeithas felus â Duw, ac mewn ufudd-dod iddo; er fod y rhan fwyaf o'r byd yn rhodio mewn drygioni, ac yn addfedu i ddinystr.

3. Efe oedd y cyntaf y sonir am dano a bregethodd y farn. Prophwydodd am ail ddyfodiad Crist mewn gallu a gogoniant mawr, dros dair mil o flynyddoedd cyn ei ddyfodiad cyntaf yn ei ddarostyngiad mewn dynol gnawd. "Ac Enoch hefyd, y seithfed o Adda, a brophwydodd am y rhai hyn, gan ddywedyd, Wele, y mae yr Arglwydd yn dyfod gyda myrddiwn o'i saint, i wneuthur barn yn erbyn pawb, ac i lwyr-argyhoeddi yr holl rai annuwiol o honynt am holl weithredoedd eu hannuwioldeb, y rhai a wnaethant hwy yn annuwiol, ac am yr holl eiriau caledion, y rhai a lefarodd pechaduriaid annuwiol yn ei erbyn ef." *Judas* 14, 15.

4. Efe a gafodd dystiolaeth ddarfod iddo ryngu bodd Duw. Cafodd dystiolaeth yn ei gydwybod, ei fod yn gymmeradwy yn ngolwg Duw; ac yr oedd pawb yn cael eu hargyhoeddi mai gwr Duw ydoedd hwn.

5. Ei symudiad. Wedi iddo rodio gyda Duw trwy ffydd 365 o flynyddoedd, Duw a'i cymmerodd ef i'r nefoedd heb farw; ac ni chaed ef: nid oedd modd i'w elyn-

ion llidiog gael gafael arno, nac i'w gyfeillion duwiol gael ei gyfeillach mwy ar y ddaear hon: yr oedd efe mewn lle gwell, uwch cariad a chas dynolion. Tebyg yw iddo gael ei symud megys Elias, yn nghylch 1200 mlynedd wedi hyny. "Ac fel yr oeddynt hwy yn myned dan rodio ac ymddiddan, wele gerbyd tanllyd, a meirch tanllyd, a hwy a'u gwahanasant hwynt ill dau. Ac Elias a ddyrchafodd mewn corwynt i'r nefoedd." 2 *Bren*. 2. 11.

II. Addysgiadau. Holwn ein hunain, a oes genym ni grefydd fel hyn. Na feddyliwn ymfoddloni ar lai o dduwioldeb na'r hen dadau. Canys yr un yw gwir grefydd ym mhob oes; a mwy yw ein breintiau ni na'r eiddynt hwy: yr oeddynt hwy yn byw yn amser y cysgodau, ond nyni yn ngoleu dydd yr efengyl.

1. A ydym ni yn byw trwy ffydd, yn rhodio gyda Duw, megys Enoch? "A rodia dau ynghyd, heb fod yn gytun?" *Amos* 3. 3. Ond y mae dyn wrth natur yn elyniaethol i Dduw yn ei serch a'i dueddiadau, ac felly yn rhodio yn ei erbyn ef, nes cyfnewid ei enaid trwy ddwyfol ras. Yna efe a wel y pethau a berthyant i'w dragywyddol heddwch; ac wedi ei gymmodi yn Nghrist, efe a ddechreua rodio gyda Duw, mewn edifeirwch, mewn ffydd, ac mewn ufudd-dod; mewn ystyriaeth o holl-bresenoldeb Duw; gan bwyso ar ei addewidion am bob peth angenrheidiol i'r corph a'r enaid; gan fyfyrio beunydd yn ei air, a glynu wrth ordinhadau ei dŷ; mewn gweddi, mewn ymostyngiad i drefn rhagluniaeth, yn niddanwch yr Yspryd Glân, ac yn y cyflawniad o bob dyledswydd, gan harddu athrawiaeth Duw ein Hiachawdwr ym mhob peth. Ar y llwybr hwn y mae Duw yn cyfarfod y cyfryw enaid, ac yn ei fendithio; yn rhoddi iddo nerth yn ol y dydd, i barhâu hyd y diwedd; ac yn angeu yn ei dderbyn ato ei hun. Fel hyn y terfyna bywyd o ffydd: o hyn allan hwy a'i gwelant ef megys ag y mae, gan fod yn debyg iddo mewn sancteiddrwydd a gwynfyd. Canys digonolrwydd llawenydd sydd ger bron Duw, ac ar ei ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd. Y gair *rhodio* a arwydda *barhâd* a *hyfrydwch* yn ffyrdd duwioldeb.

2. A oes genym dystiolaeth ddarfod i ni ryngu bodd Duw? "Canys ein gorfoledd ni yw hyn; sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol (nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw) yr ymddygasom yn y byd." 2 *Cor*. 1. 12. "A'r rhai sydd yn y cnawd, ni allant ryngu bodd Duw. Canys y sawl a arweinir gan Yspryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw." *Rhuf*. 8. 8, 14, 16. Frodyr, a oes arwyddion fel hyn arnom ni?

3. Beth yw ein teimladau wrth feddwl am y farn fawr? Ffelix ar ei orsedd a ddychrynodd wrth feddwl am y farn a fydd; ond y mae llaweroedd yn ein plith yn hollol ddidaro wrth glywed am dani. Caffed yr ysgrythyr hon ei phriodol effaith ar ein meddyliau, "Pechaduriaid a ofnasant yn Sion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr: pwy o honom a drig gyd â'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda llosgfeydd tragywyddol." *Esa*. 33. 14.

4. A ydym yn barod i'n symud, a gadael tystiolaeth ar ein hol, ddarfod i ni ryngu bodd Duw? A ellir yn wirioneddol ysgrifenu ar gareg fedd pob un o honom, "EFE A RODIODD GYDA DUW." Pob peth arall dan haul sydd wagedd, a gorthrymder yspryd; a gwenwyn melus pechod a dry yn chwerwder tragywyddol yn y diwedd.

5. Am hyny dysgwn trwy ras rodio gyda Duw ar y ddaear, fel y gallom fyned ym mhen trwy y bedd a phorth angeu i adgyfodiad

llawen, ac uno gyd â'r dorf ddisglair, o flaen yr orsedd, i ganu Haleluiah i Dduw ac i'r Oen!

III. Enoch yn gysgod o Grist.

1. Ystyr yr enw Enoch ydyw *cyflwynedig*. Galwn benderfynu iddo gael ei gyflwyno a'i gyssegru i wasanaeth Duw ym moreu ei ddyddiau. Dysged rhieni gyflwyno eu plant i'r Arglwydd, nid unwaith yn unig, ond yn wastadol. Crist a gyflwynwyd mewn modd neillduol i wasanaeth y Tad; ei fwyd ef a'i ddiod ef oedd gwneuthur ewyllys yr hwn a'i hanfonodd, a gorphen ei waith ef.

2. Cafodd Enoch dystiolaeth ddarfod iddo ryngu bodd Duw. Crist a wnai bob amser y pethau oedd yn rhyngu bodd yn ngolwg y Tad. "Ac wele lef o'r nefoedd yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." *Mat.* 3. 17.

3. Enoch, ac Elias ar ei ol, a aethant i'r nefoedd heb farw, fel personau neillduol, trwy rinwedd adgyfodiad Crist. Braint annhraethol ydyw cael myned i'r gwynfyd pur, er dioddef chwerwaf loesion angeu. Crist a aeth i'r nefoedd heb weled llygredigaeth. *Salm* 16. 10. Efe a aeth trwy nerth ei Dduwdod ei hun, fel Cynnrychiolwr ei holl bobl. Enoch yn yr oes batriarchaidd, Elias o dan y gyfraith, a Christ yn amser yr efengyl, a esgynasent i'r nefoedd; gan ddangos fod y ffordd yn agored i'r gogoniant y'mhob goruchwyliaeth trwy angeu 'r groes.

4. Enoch a brophwydodd am y farn. Crist a rag-ddywedodd am dani, gan ddangos ei dull a'i thragywyddol ganlyniadau. *Mat.* 25. 31, &c.

5. Enoch a symudwyd cyn y diluw, ym mlodau ei ddyddiau. Po ieuengaf y bydd y duwiol farw, cyntaf y daw i mewn i'w etifeddiaeth. "O flaen drygfyd y cymmerir y cyfiawn ymaith. Efe a â i dangnefedd." *Esa.* 57. 1, 2. Cyn gynted ag y trosglwyddir hed ysprydol Iesu i'r trigfanau nefol, cyn gynted ag y bydd yr olaf o'r gwaredigion yn addfed i'r gogoniant, cyn gynted ag y dygir y cynhauaf oll adref, fe ddaw diluw o dân digofaint Duw ar y byd annuwiol, "fel y llysg tân goed, ac fel y goddeithia fflam fynyddoedd." *Salm* 83. 14.

Ffown at Iesu Grist mewn pryd, fel y diangom rhag y llid a fydd.

CYNFELYN.

---

## PERERINDOD YR AFRADLON.

---

### Y CAETHWAS GWIRFODDOL.

*(Parhad o du dal. 265.)*

II. PAN ddeffroir pechaduriaid gan yr Yspryd Glân, ac y dygir hwynt dan *argyhoeddiad dwfn o bechod*, yr hyn a wneir yn gyffredin yn amser caledi, yna dechreuant feddwl am eu cyflwr colledig, a'u perygl mawr, a chrynu rhag ofn y farn; ond etto anfoddlon iawn ydynt i ddychwelyd adref i dŷ eu Tad. Profant bob dyfeisiau, pob moddion gwag, a goddefant bob caledi yn hytrach na cheisio cymmod â Duw, a dyfod i wlad bywyd. Beth a wnaeth yr afradlon hwn pan y daeth y newyn mawr, ac y dygwyd ef i angen a chyni? A gododd efe i fyned adref at ei Dad? Na ddo, nid felly:

1. Ond aeth a glynodd wrth un o ddinaswyr y wlad hôno, sef wrth Satan, yr hwn a drig yn wastad yn ardaloedd pechod. Mae pob pechadur y'nghyflwr natur yn yr un wlad a thywysog y tywyllwch. Hyd yn nod y rhai a wneir yn ddinasyddion y Jerusalem newydd, a fuent am amser yn yr un wlad ag angelion gwrthgil, a than lywiaeth Satan; ond gwaredir y rhai'n, pan eu hargyhoedder, allan o feddiant y tywyllwch, a symudir hwynt i deyrn-

as anwyl Fab Duw. *Col.* 1. 13. Cyn eu dychweliad, glynasent wrth y gelyn mawr mewn gwrthryfel yn erbyn y nef, ochrasent gyda Satan yn erbyn Duw, i anufuddhau i'w gyfreithiau, ac i ymladd yn erbyn ei deyrnas. Rhoddant eu hunain dan lywodraeth Duw y byd hwn, a deuant yn weision iddo. Y rhai a adawant Dduw a fyddant sicr o gael meistr caled i'w wasanaethu. Tywysog y tywyllwch a ddywed wrth ei ddeiliaid, "Caledwch eich calon yn erbyn yr Hollalluog;" a gwnant felly. "Agorwch eich genau yn erbyn y nefoedd;" a chelwyddant, tyngant, a chablant. "Ceuwch eich llygaid a'ch clustiau yn erbyn a ddywed neu a wna Duw;" a cheuant eu llygaid, fel na welont, a'u clustiau, fel na chlywont. "Rhedwch oddiwrth deml, oddiwrth waith a ffyrdd yr Arglwydd;" ac ufuddhant i'w meistr, ac ymadawant bellach bellach oddiwrth Dduw. Meistr creulon sydd gan bechaduriaid. Mae cywilydd arnynt ei arddel, etto gwasanaethant ef yn ffyddlon.

2. "Ac efe a'i danfonodd ef i'w feusydd i borthi moch." Yn gymmaint ag iddo fyned i wasanaeth meistr mor greulon, caiff *wasanaeth caled a distadl*, a'i wneud yn wasyn gwarthus, ac ychydig gyflog iddo am ei drafferth. Etto, er mor hynod yw, llaweroedd o ddynion a gyfrifir yn ddoeth, o ddysgedigion, o rai mewn uchel sefyllfaoedd, ïe, o foneddigion y byd hwn, a ymgyflogant wrth y cannoedd y'ngwasanaeth tywysog y tywyllwch mor barod a'r iselaf a'r ffolaf o'r werinos. Rhoddant wasanaeth gwirfoddol i dduw y byd hwn, a danfona ef hwynt i'w feusydd i borthi moch.

Mae gan Satan *lawer o feusydd* i'w weision weithio ynddynt, am mai eang iawn yw ei wlad. Mae ganddo holl ardaloedd llydain pechod yn ei law; a llydaned yw y rhai hyn a daear ac uffern ynghyd. Yn y tiroedd hyn medd gymmaint o feusydd ag sydd o ffyrdd i bechu; ond meusydd agored ydynt i gyd, heb un argae, fel y crwydro ei ddeiliaid fel y mynont, a gweithio lle y chwennychont: ond iddynt ei wasanaethu ef, nis gwaeth ganddo pa le y byddont. Nid hawdd a fyddai cael enw ar bob maes o dan lywodraeth tywysog y tywyllwch. Dyma rai o honynt: maes anwybodaeth, anghred, ac annuwioldeb; maes gwagedd, gwastraff, a difyrwch cnawdol; maes cybydd-dod, hoced, celwydd, a thyngu, maes rhagrith, cyfeiliorn, a hudoliaeth; maes gorymgais, eiddigedd, casineb, ac ymddial; maes trythyllwch, meddwdod, a gloddest, ynghyd â channoedd yn ychwaneg.

Yr holl ryddid a ganiata Satan i'w ddeiliaid yw dewis y maes y mynant weithio ynddo. A pheth go hynod yw, y mae dynion o bob gwahanol raddau yn dewis yr un meusydd yn fynych; fel y gellir gweled rhai o'r uchelaf yn ymgymmysgu â'r iselaf yn yr un maes, yn gweithio yn galed dan yr un meistr caled a chreulon. Amryw yn wir mewn gwisgoedd, ond yr un mewn buchedd; yn canlyn yr un hyfrydwch, yr un mwyniant. Ac fel y cyd-weithiant yn awr yn yr un meusydd, diammeu y cyd-rwymir hwynt yn y diwedd fel ysgubau i'w llosgi yn yr un tân anniffoddadwy. Dyma fwriad diysgog Duw.

3. A danfonodd ef i'w feusydd i *borthi moch*. Am iddo ddewis y fath feistr drwg, caiff y *gwasanaeth gwaelaf*: ond efe a ymostwng i bob peth yn hytrach na dychwelyd adref. Gwna bob ymdrech, a goddef y caledi a'r angen mwyaf, cyn ei gwneir yn foddlon i fyned yn ol i dŷ ei Dad: ïe, â, wrth arch Satan, i borthi moch, cyn y perir iddo ymostwng i lywodraeth ei Dad.

Efe a â ac a lŷn wrth *bechaduriaid* a wnaethant eu hunain cyn aflaned

a moch. Nid oes un creadur mor fudr a moch. Gwell ganddynt fod mewn llaid nag mewn palas; ac etto i'r anifeiliaid aflan hyn y cydmerir pechaduriaid ffiaidd yn aml yn yr ysgrythyr, a hyny o herwydd eu brynti a'u ffieidd-dra. Dywedir eu bod fel yr anifeiliaid mud na feddant synwyr; am na thywys hwynt nac ymbwyll na doethineb, ond nwydau a chwantau direol. Ymbwyll neu reswm yw rhagoriaeth dyn ar yr anifeiliaid a ddifethir; a phan ymadawo â hwn, a chanlyn ei flysiau a'i chwantau pechadurus, gwna ei hun yn gydradd â'r anifail.

Neu, wrth y moch a bortha, gallwn ddeall y genfaint o *lygredigaethau* a drig yn ei galon a'i anian. Mae y rhai hyn yn fwy eu gwaedd na moch am ymborth. Rhai o weithredoedd y cnawd yw y rhai hyn: "Tor-priodas, godineb, anlladrwydd, aflendid, delw-addoliaeth, swyn gyfaredd, casineb, cynhenau, gwynfydau, llid, ymrysonau, ymbleidio, heresiau, cenfigenau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfeddach, a chyffelyb i'r rhai hyn. Ni chaiff y rhai a wnant y cyfryw bethau etifeddu teyrnas Dduw." *Gal.* 5. 19—21. Gwel hefyd 1 *Cor.* 6. 9, 10. a *Rhuf.* 8. 6, 7, 13.

Hyn ynte yw cyflwr pechaduriaid allan o Grist. Gweision Satan ydynt, a dywys efe wrth ei ewyllys; eu gwasanaeth yw y distadlaf a all fod, gwasanaethant amryw nwydau a thrachwantau ffiaidd; a'r waelaf yw y gyflog a ennillant; "Cyflog pechod yw marwolaeth; a'r rhai ydynt yn byw yn ol y cnawd, a fyddant feirw." Nid oes un caethiwed mor greulon a distadl a'r hwn y mae pechaduriaid ynddo. Yr oedd meibion Israel mewn cyflwr drwg pan yn gaethion dan ormes yr Aiphtiaid: ond meibion dynion, a grewyd ar ddelw Duw, ac a wnaed ychydig is na'r angeliod, ydynt annirnadol waelach tra yn gaethion Satan, ac yn weision pechod.

4. Ceisiant *lanw eu boliau* â'r cibau a fwyty 'r moch, ac ni rydd neb iddynt. Newyna a sycheda eu calon am ddedwyddwch, gorphwysfa, a boddhad. Ymdrechant mewn amrywiol ffyrdd a modd i gael y dedwyddwch a'r mwynhad hwn, ond y cwbl a fetha. Ni thorir eu newyn, ac ni cha eu heneid orphwysfa, nes y dychwelont at Dduw eu Hiachawdwr, ac y gorphwysont yn ei iachawdwriaeth ogoneddus. Gwyddai y Salmydd hyn yn dda pan ddywedodd, "Dychwel, O fy enaid, i'th orphwysfa." Pob peth yn fyr o'r iachawdwriaeth hon sydd *gibau* a fwyty 'r moch, ac nid bara. Gwagedd ydynt i gyd a ddiflana, pydewau gwag na ddaliant ddwfr. Nid addas ydynt i'r enaid; ac ni roddant fwy o ddiddanwch i bechadur, na cherdd i ddyn marw. Byw fyth a wna yr enaid, ond derfydd yn fuan bob mwyniant llygredig, a phob peth dan haul.

Gellir yn wir ddywedyd yn iawn, *na rydd neb iddo gibau* ddigon i lanw ei fola. Mwyaf a fwyty, mwyaf y newyna. Trwy feithrin ei lygredd, maga ei afiechyd, a gwanycha ei anian. Ni foddheir yr enaid fyth trwy yfed dyfroedd lleidiog daear. "Yr hwn a yf o'r dwfr hwn a sycheda drachefn." Mwyaf yr yf, mwyaf fydd ei syched. "Ni rydd neb iddo." Pan adawo dyn Dduw, gwna Duw yn fuan i bob peth ei adael yntau. Ni chaiff dim ei foddhau, a gwneir i bob peth ei boeni. Geill dros ychydig enyd gael mwynhad, fel y meddylio ei hun yn ddedwydd: ond buan, buan iawn y bydd ymadawiad bythol â'r cwbl. Yna gadewir ef mewn cyflwr diymgeledd i riddfan am ei ffoledd yn myned ar ol duwiau gan na allant ei gynnorthwyo na'i waredu. Pan adawo dynion Dduw, nid oes dim yn yr holl fyd a all ddiwallu eu

heisiau. Felly, ynte, pob peth sy gibau, ond bara 'r bywyd; ac ni allant fyth feithrin enaid, na'i wneud yn ddedwydd. Pob mwyniant a difyrwch, pob cyfoeth a phethau daear, pob gau athrawiaeth, a phob gau broffes, ydynt gibau gweigion a dwyllant yr enaid, ac a ddinystriant y pechadur.

O na chredai pob pechadur y gwir amlwg hwn, "Na cheir dedwyddyd ond yn Nuw yn unig. Os ymadewi oddi wrtho, byddi yn fuan mor anesmwyth a Chain. Y golomen a aethai allan o'r arch, ni chafodd orphwysfa nes dychwelyd. Gall yr enaid a ymâd â Duw grwydro trwy 'r holl ddaear i geisio gorphwysfa, ond ni chaiff un nes dychwelyd at Dduw. Rhyfedd fod cymmaint anfoddiant i ddychwelyd ato ef a all yn unig ein gwneud yn ddedwydd. Pan greodd Duw y nefoedd a'r ddaear, ynghyd â'u holl luoedd, nid boddlon oedd, ac ni orphwysai nes creu dyn ar ei ddelw er coroni y cwbl, ac yna gorphwysodd oddiwrth ei holl waith; ac a elli di orphwys nes cael Duw iti yn rhan ac yn etifeddiaeth, yn breswylfod, ac yn ddedwyddwch?

Y rhai a ddychwelant at Dduw â'u holl galon ac â'u holl enaid, a gânt bob peth yn Nuw er eu gwneud yn wir ddedwydd, ac er rhoddi iddynt orphwysfa a llawenydd diderfyn. Pan y delont i fyw ar Dduw, canfyddant fod ganddynt bob peth; canys y'Nghrist y trig pob cyfiawnder: a diwallir hwynt yn wastad o'i gyfiawnder anchwiliadwy, fel y gwaeddant yn aml yn orfoleddus, "Pwy sydd genyf yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi. Digonir fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron; ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." Pawb sydd yn credu hyn o'r galon, a droant yn ddiffeth at yr Arglwydd eu Duw.

## HYNAFIAETH EGLWYSIG.

### Y WEN-WISG.

Os bernir yn angenrheidiol i dywysogion ac ynadon ymddangos mewn gwisgoedd neillduol, tra yn cyflawni eu swyddau cyhoeddus, er mwy o barch ac ardduniant i'w sefyllfa; yr un achos sydd, bod gan genhadon Duw wisg wahanol tra yn gweinidogaethu yn gyhoedd. Ac yn ganlynol, canfyddwn fod gan yr Offeiriaid Iuddewig, yn ol gorchymyn Duw ei hun, wisgoedd sanctaidd am danynt bob amser, "er gogoniant a harddwch;" *Exod.* xxviii. ond ar amser y gwasanaeth cyhoedd, yr oeddynt i wisgo, heblaw y rhai hyny, *ephod lian* &c. *Exod.* 28. 4. 1 *Sam.* 2. 18. Oddiwrth yr Iuddewon, mae 'n debygol, y dysgodd yr Aiphtiaid yr arfer o beidio gwisgo dim ond llian gwyn, gan farnu mai hòno oedd y wisg addasaf, oblegid y buraf, i rai yn cyflawni eu dwyfol addoliad. A *Philostratus* a ddywed fod y *Brachmins*, neu Offeiriaid yr India, yn gwisgo yr un fath wisgoedd, am yr un achosion. Felly, gan eu bod o ddechreuad mor ddwyfol, ac mewn arferiad mor gyffredin, yr hen Gristionogion a ddechreuasant eu harferyd, er mwy o barch a theilddiwrwydd i'r Gwasanaeth Dwyfol. St. Jerom sydd yn profi yr arferiad boreu o honynt, ac yn ceryddu petrusder afreidiol y rhai a'u gwrthwynebant, wrth ddywedyd, "Paham y byddai Duw anfoddlon i Esgob, neu Offeiriad, &c. fyned i'r cymun mewn gwisg wen." Y mae ei hynafiaeth yn yr Eglwys *ddwyreiniol*, yn ymddangos oddiwrth *Greg. Naz.* yr hwn sydd yn annog yr offeiriaid i burdeb, oblegid fod brycheuyn bychan ar wisg wen yn hawdd i'w ganfod. Ac y mae yn debygol iawn yr arferid hi yn yr Eglwys *orllewinol* yn amser St. Cyprian, o herwydd fod *Pontius*

*Diaconus*, yn ei hanes am ferthyrdod y tad hwnw, yn dywedyd, fod mainge yno ar ddamwain wedi ei gwisgo â llïan gwŷn; ac felly fod ganddo yn ei ddioddefaint ryw arwyddion o'i swydd esgobawl. Oddiwrth yr hyn y gallwn gasglu fod Gwisg Wen mewn arferiad gan yr Offeiriaid yn yr amseroedd hyny.

Mae ei lliw yn dra addas, oblegid ei fod yn arwyddocâu y diniweidrwydd a'r cyfiawnder â pha rai y dylai offeiriaid Duw fod wedi eu gwisgo: *Ps.* 132. 9. ac yr ydym yn canfod fod yr Hen Ddihenydd, yn *Dan.* 7. 9. yn cael ei osod allan mewn *gwisgoedd cyn wyned a'r eira:* a phan wedd-newidiwyd ein Hiachawdwr, yr oedd ei *ddillad cyn wyned a'r goleuni: Mat.* 17. 2. a pha bryd bynag yr ymddangosai angylion i ddynion, eu gwisgoedd oeddynt bob amser yn *wynion fel eira, Mat.* 28. 3. *Marc* 16. 5. *Act.* 1. 10. *Dat.* 6. 11. a 7. 9. a 19. 8, 14.

Ei defnydd yw *llïan*. Dan orchwyliaeth Moses, fe orchymynodd Duw ei hun, na byddai i'r Offeiriaid "ymwregysu â dim a barai chwys," *Ezec.* 44. 18. i ddangos y purdeb calon a ddylai fod yn y sawl a neillduwyd at y gwasanaeth dwyfol; am hyny ni wneid yr ephod Iuddewig o wlan, ond o lïan, 1 *Sam.* 2. 18. yn gystal a'r rhan fwyaf o wisgoedd ereill yr Offeiriaid: *Lef.* 16. 4. *Ezec.* 44. 17. 18. felly hefyd y Lefiaid, y rhai oedd gantorion, oeddynt wedi eu gwisgo â *llïan* main: 2 *Chron.* 5. 12. a'r lluoedd yn y nef yn canmol yr Oen, oeddynt mewn gwisgoedd o lïan main, gwŷn, a glân: *Dat.* 19. 14. ac i wraig yr Oen y caniatâwyd gael ei gwisgo â llïan main glân a disglaer: canys y llïan main ydyw (h. y. sydd yn arwyddocâu) cyfiawnder y saint." *Dat.* 19. 8.

Am ei dull, mae hyny yn beth hollol dibwys. Mae ei dull presennol yn ddiammeu yn weddol a chyfaddas, ac, yn ol meddwl *Durand*, yn arwyddocâol; yr hwn sydd yn sylwi fod y gwisgoedd a arferid gan yr Offeiriaid Iuddewig wedi eu *gwregysu yn dỳn* am danynt, i arwyddo *caethiwed y ddeddf;* ond fod *rhydd-der* y wen-wisg, a arferir gan yr Offeiriaid Cristionogol, yn arwyddocâu *rhyddid yr efengyl.*

Ond er fod y wen-wisg mor addas ac arwyddocâol, mae llawer etto yn ei herbyn. Rhai a ddywedant mai "darn o Babyddiaeth yw:" gwrthwynebiad nad yw yn profi dim ond anwybodaeth y rhai a'i gwnant; canys yr oedd gwisgoedd gwynion (rhoddant yr enw a fynont arnynt) mewn arferiad gan y Cristionogion boreuaf. Ac nid all ein gwrthwynebwyr wneuthur mwy o gymmwynas i Eglwys Rufain, na mwy o niweid i'r grefydd Brotestanaidd, na thrwy gyfaddef fod *gwisgoedd gwynion* a Phabyddiaeth mor hen y naill a'r llall. Ond hwy a ddywedant ym mhellach, "fod y wen-wisg wedi cael ei cham-ddefnyddio gan y Pabyddion i ddibenion coel-grefyddol ac eilun-addolgar." I hyn yr atebwn, nad yw bod y Pabyddion yn arferyd y wen-wisg yn gwneuthur eu *haddoliad* yn *goel-grefyddol* neu *eilun-addolgar;* canys eilun-addolgar a choel-grefyddol yw eu haddoliad hwynt, pa un bynag a fyddo eu Hoffeiriaid hwynt wedi eu gwisgo mewn gwŷn, du, neu unrhyw liw arall. Mae pob peth yn ddarostyngedig i gael ei gam-ddefnyddio, ac os ymwrthodant â phob peth a gam-ddefnyddiwyd, yna rhaid iddynt ymwrthod â'r Bibl ei hun. Felly, nid yw yn canlyn fod y wen-wisg am hyny yn anghyfreithlon neu anaddas; canys cam-ddefnyddiwyd dillad gwynion yn yr ystyr yma, i ddibenion coel-grefyddol ac eilun-addolgar, cyn i Daniel osod allan Dduw ei hun yn y cyfryw wisgoedd; a chyn i'n Hiach-

awdwr eu gwisgo; a chyn i angylion a saint ymddangos ynddynt; a chyn iddynt gael eu harferyd yn wisgoedd gweinidogaethol yn yr hen amseroedd. Os oedd y cyfryw gam-ddefnyddiad yn eu gwneuthur yn anghyfreithlon neu anaddas, nis gallwn feddwl y buasai yr Eglwys foreuol, a'r ysgrifenwyr ysprydoledig, ïe, Duw ei hun, yn eu parchu mewn modd mor eglur.

C. T.

---

## CREDINWYR YN MARW.

Er fod rhai credinwyr yn ymadael â'r byd yn orfoleddus, mewn meddiant o lawn sicrwydd gobaith, y mae ereill, er eu bod yn wir dduwiolion, yn cael gwely angeu yn lle anghysurus, a haul eu bywyd yn machludo ar brydnawngwaith go dymhestlog. Am yr anwiredd a ŵyr efe y bygythiodd Duw farnu tŷ Eli, a hysbys yw iddo ef yn ei farwolaeth fod yn lled anghysurus. Er hyny ammhëus genyf a ydyw diffyg cysur cryf yn yr amgylchiad brawychus hwnw, *bob amser* i'w ystyried fel cerydd am ryw bechod neillduol, fel yr eiddo Eli; oblegid bu Dafydd yn euog o gyflawni cyflafan tra ysgeler, ond nid oedd efe yn ei farwolaeth yn ymddangos mor anghysurus. Adroddodd eiriau wrth farw ag a ddengys i ni ei bod yn lled oleu arno. Digon gwir ei fod yn cofio y fath un oedd ei dŷ ef, ac nid oes lle i ammeu nad oedd yn ei gofio gyda theimladau trist ac anghysurus; ond er hyny efe a gafodd gynnaliaeth i'w enaid oddiar yr olwg ar sicrwydd y cyfammod tragywyddol, fel y mae genym le i gredu nad oedd wrth rodio dyffryn cysgod angeu yn ofni dim niweid. Bu arno, amser cyn hyny, ofn yr amgylchiad yn fawr, a bu yn gryn ymdrech arno rhyngddo a'r Arglwydd oblegid hyny, pan y dywedodd, "Paid a mi, fel y cryfhawyf cyn fy myned, ac na byddwyf mwy;" ond er hyn iddo fyned i'r amgylchiad, darfu i'r Arglwydd o'i ben-arglwyddiaethol ras, beri i'r wawr, er nad oedd yn gwbl oleu, godi ar ei enaid. Nid ydyw yr Ysgrythyrau Sanctaidd, tybygaf, yn ein gwarantu i farnu am dduwioldeb gwr wrth y teimladau a fyddo ganddo ar wely angeu, ond yn hytrach wrth ei rodiad yn ei fywyd. Felly y barnai Paul, pan y dywedodd, "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu, y rhai sydd yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Yspryd." Pan oedd rhai o gyfeillion y diweddar enwog Mr. Newton o Lundain, yn adrodd wrtho am wely angeu anghysurus rhyw grefadyn enwog, efe a waeddodd arnynt, "Na ddywedwch wrthyf pa fodd y darfu i'r gwr farw, ond pa fodd y darfu iddo fyw."

B——s.

---

## Y CYFAILL CYWIR.

Ein serchiadau ydynt gyssylltiedig a rhanedig; wedi eu cyssylltu wrth yr hwn a gar, ac yn rhanedig rhwng arall ac efe ei hun; ac y mae ei galon wedi ymranu cymmaint, fel mae tra fyddo ganddo beth ei hun, y mae ei gyfaill yn cael y cwbl. Ei ddewisiad a dywysir gan rinwedd, neu gan y goreu o rinweddau crefydd: nid gan elw, nid gan bleserau, ac etto, nid heb ystyried sefyllfa gyfartal, mewn tueddiadau heb fod yn anghyffelyb, yr hwn pan wneler unwaith, nis goddef gyfnewidiad, oddieithr i'r gwrthddrych a garo gyfnewid yn hollol o fod yr hyn ag oedd, ac nid wedi hyny yn ddisymmwth, ond wedi hir ddisgwyliad. Nid yw caledi ond ei gylymu yn sicrach, yn gyffelyb i fwa post, a fyddo wedi ei weithio yn dda, yn myned yn gadarnach po fwyaf

fyddo yn pwyso arno. Pan elwir arno gan angenrheidrwydd, efe a ddichon fod yn was i'w gyd-radd, gyd â'r un ewyllysgarwch ag y dichon reoli ei is-radd; ac er ei ddyrchafu i anrhydedd, nid yw yn anghofio ei gyfeillgarwch, na goddef i anghyfartalwch sefyllfa i weithio dieithrwch wynebpryd; ond i'r gwrthwyneb, efe a ddyrchafa ei gyfaill i anrhydedd ewyllysgar, heb genfigen, ac heb dwyll. Pan fyddo marw ei gyfaill, nid yw yn cyfrif ei hun ond hanner byw; ac yna ei gariad, yr hwn ni ddinystriwyd gan angeu, a amlyga ei hun tu ag at yr amddifaid, y rhai ni wyddent erioed o'r blaen werth eu tad; y rhai yn awr a ddeuant yn etifeddion ei serchiadau, ac yn faich ei ofalon. Efe a gofleidia wladwriaeth rydd o bob peth, oddieithr yr hyn a fyddo gonestrwydd, cyfiawnder, neu natur yn gadw iddynt eu hunain; ac a ffieiddia 'r mwynhad o'r hyn a wnelai fwy o les i'w gyfaill. Ei gariad a wasanaetha i orchuddio gwendidau nodedig, nid trwy anwiredd, na thrwy weniaith, ond trwy ddirgelwch doeth; ac nid yw efe fwy hynaws wrth ddirgelu, nag yw yn gyfiawn yn ei geryddon amlwg; a phan ymddangoso ffyddlondeb diddichell arall ei hun iddo ef mewn cerydd, efe a gâr ei hyfforddwr o gymmaint yn fwy ag y gwnaeth iddo deimlo loesion. Ei fynwes yw dirgel-gell ei gyfaill, lle y dichon efe, gyda diogelwch, lettya ei achwyniadau, ei ammheuon, a'i ofalon; ac wele, megys y cafodd efe hwynt, felly y mae yn eu gadael, oddigerth rhoddi ychydig gynghorion iddo tu ag at ei esmwythâu. Pe digwyddai rhyw sibrwd annedwydd ddadgymalu ei serch, neu ei dori, efe a gyssyllta yn ebrwydd drachefn, ac a dyf yn gryfach trwy 'r pwysau hyny y mae efe yn deimladwy o ddioddefiadau ereill, fel mai pan darawer ei gyfaill, efe a waedda allan, gan dderbyn loes gyfartal, er nas byddis wedi cyffwrdd âg ef, fel un a effeithid arno, nid gan gyd-ymdeimlad, ond gan deimlad loes diledrith ynddo ei hun; ac ym mhob poen a ellir ei luddias efe a gyfynga ei gynnorthwy, gan gynnyg gwaredu ei gyfaill âg ef ei hun: ni ddichon yn awr fod yn anamserol, un gorchwyl yn anhawdd, nac un poen yn ofidus, er mwyn ei esmwythâu; a chan nad beth a wnelo, neu a ddioddefo efe, nid yw yn ewyllysio iddo gael ei gyhoeddi, rhag yr ymddangosai ei fod yn edrych am ddiolch. Gan hyny, os dichon efe gyflawni gweithred dda mewn modd lladradaidd, melusaf oll fydd ei ffyddlondeb i'w feddwl; am y cymmwynasau a wnaeth y mae ei gôf yn fyr, ond am y rhai a dderbyniodd y mae yn dragywyddol; y mae yn chwith ganddo dderbyn ad-daliad am gymmwynas, ac i beidio cynnyg un am a wnawd iddo. Efe yw cysur gresynoldeb, tywysydd anhawsderau, gorfoledd bywyd, trysor y ddaear, a dim amgen nag angel da wedi ei ddilladu â chnawd.

H.

---

## GWELEDIGAETH CARAZAN.

CARAZAN, y masnachwr o *Fagdat*, oedd hynod trwy yr holl ddwyrain am ei gyfoeth, a'i gybydd-dod. Ei ddechreuad oedd mor isel a distadl a'r wreichionen, yr hon, trwy gymmhwyad y dur â'r gallestr a darewir allan o dywyllwch; a thrwy ei lafur a'i ddyfal ddiwydrwydd yn unig yr ymgyfoethogasai. Pan oedd mewn angen, bernid ef yn rhwydd ei galon, a chyfaddefid etto ei fod yn fanwl gyfiawn. Ond pa un ai yn ei ymdriniad â dynion y canfyddodd efe yr anonestrwydd a'i temtiodd i roddi ei hyder ar olud, ai ynte am ryw achos arall, *Carazan* o fesur ychydig a gollodd yr ewyllys, fel yr ennillodd y gallu, i wneuthur daioni; ac fel yr oedd llaw amser yn taenu eira ar ei ben, ei effaith rhewlyd a gyrhaeddodd ei fynwes.

Ond er nad agorid drws *Carazan* un amser gan lettygarwch, na'i law gan drugaredd; etto ofn a'i harweiniai yn wastad

i'r *Mosque** ar yr oriau gosodedig i weddi: efe a gyflawnai holl ddyledswyddau ei grefydd â'r manylrwydd mwyaf pryderus; ac a dalodd dair gwaith ei addunedau yn Nheml y Prophwyd.† Mae y defosiwn sydd yn tarddu allan o gariad at Dduw a dyn, am ei fod yn cysylltu diolchgarwch ac elusengarwch, ac yn dyrchafu yr hyn oedd farwol i ddwyfol, yn gosod harddwch newydd ar ein daioni, ac yn wrthddrych o serch ac anrhydedd. Ar y llaw arall, mae defosiwn yr hunanol, pa un a fernir ei fod yn gochelyd y gospedigaeth haeddiannol, ai ynte yn ei dwyn arno trwy chwanegu y pechod o ragrith at euogrwydd, yn wastad yn ennyn ein digofaint a'n casineb. Felly *Carazan*, ar ol cloi ei ddrws, ac edrych o'i amgylch yn ddrwgdybus, a aethai ym mlaen at y *Mosque*, a phawb yn edrych arno gyda chasineb: y tlodion a attalient eu herfyniadau pan elai heibio; ac er fod pawb yn ei adwaen, nid oedd neb yn ei gyfarch.

Dyna a fuasai buchedd *Carazan* am lawer o amser, a dyna yr enw a ennillasai, pan roddwyd allan gyhoeddiad ei fod wedi mudo i adeilad mawr-wych yn nghanol y ddinas, a bod ei fwrdd wedi ei hulio i'r newynog, a chroesaw i'r dieithr i'w letty. Y tlodion a gyrchasant yn lluoedd at ei ddrws, lle y gwelsant ef yn brysur yn rhannu bara i'r newynog, a dillad i'r noethion. Syndod a'u llanwodd oll wrth yr olwg; ac fel yr oedd murmur lleisiau aneirif yn cryfhau, fel sŵn taran yn agoshau, amneidiodd *Carazan* â'i law: ar darawiad llygad bu distawrwydd yn y dyrfa; ac efe a foddhaodd eu hymofyngarwch â'r hanesyn canlynol am dano ei hun:—

"Iddo Ef, yr hwn a gyffwrdd â'r mynyddoedd fel y mygant, yr Hollalluog, a'r trugarocaf Dduw, y bo tragywyddol anrhydedd! Efe a ordeiniodd gwsg i weinyddu addysg; canys ei weledigaethau a'm ceryddasant y nos. Fel yr oeddwn yn eistedd yn unig yn fy ystafell, yn bwrw golwg wrth oleuni fy nghanwyll dros gyfrifon fy masnach, ac yn llawenychu wrth ganfod fy nghyfoeth yn cynnyddu, syrthiais i drwm-gwsg, a llaw yr Hwn sydd yn preswylio yn y drydedd nef oedd arnaf. Gwelais angel marwolaeth yn dyfod, ym mlaen, ac efe a'm tarawodd cyn y medrwn attal ei ddyrnod. Ac ar yr un mynyd canfyddais fy hun yn cael fy nghodi oddiwrth y llawr, a'm trosglwyddo, gyda chwyrnder rhyfeddol, trwy barthau yr awyr. Y ddaear a ymgrynhôdd i fychander brycheuyn yn yr ehangder, a'r sêr a belydrent o'm hamgylch yn fwy disglaer na'r haul. Pyrth paradwys yn awr a ymddangosasant; ond fe'm hattaliwyd i ar fy ffordd gan ddisgleirdeb disymmwth, nad allai y llygad dynol edrych arno. Yr oedd y ddedfryd anghyfnewidiol yn awr ar gael ei thraethu; a dydd fy mhrofiad wedi myned heibio; nid ellid lleihau dim ar ddrygioni, na chwanegu dim at ddaioni fy muchedd. Pan fyfyriwn fod fy rhan wedi ei gosod am dragywyddoldeb, ac nad allai holl nerthoedd anian ei chyfnewid, fy hyder a'm gadawodd yn gwbl: a thra yr oeddwn yn sefyll yn fud, ac yn crynu, a chywilydd yn tôi fy wyneb, a'm gwaed yn sefyll yn fy ngwythi gan ddychryndod, fe'm cyfarchwyd gan y disgleirdeb oedd yn fflamychu o'm blaen mewn geiriau fel hyn:"

'*Carazan*, nid cymmeradwy dy addoliad, am nad oedd yn tarddu o gariad at Dduw; ac ni wobrwyir dy weithredoedd, am nad oeddynt yn tarddu o gariad at ddyn. Er dy fwyn dy hun yn unig y telaist i bawb eu dyled: ac ymddangosaist ger bron yr Hollalluog yn unig er dy fwyn dy hun. Nid edrychaist i fynu â diolchgarwch, nac o'th amgylch â charedigrwydd. O'th amgylch gwelaist, yn wir, annuwioldeb a ffolineb: ond pe bai annuwioldeb a ffolineb yn cyfiawnhau dy grintachrwydd di, oni chondemnient haelioni y nef? Os nad ar y ffol, a'r annuwiol, ym mha le y rhoddai yr haul ei oleuni, neu y dibidlai y cymylau eu gwlith? Ym mha le yr anadlai y gwanwyn ei bêrarogl, neu y cyfranai y cynhauaf ei helaethrwydd? Cofia, *Carazan*, dy fod wedi cau tosturi allan o'th galon, a chrafangu am dy gyfoeth â llaw o haiarn. Buost fyw *i ti dy hun*; ac am hyny, o hyn allan yn dragywydd, ti a gei fyw *dy hun*. Fe'th fwrir oddiwrth oleuni yr haul, a chymdeithas pob creadur. Unigrwydd a estyn dy oriau yn nhragywyddoldeb, a thywyllwch a chwanega at erchyllidod dy drueni.'

"Ar hyn fe'm gwthiwyd, gan ryw nerth anweledig ac anwrthwynebol, trwy gyfan-gorph disglaer y greadigaeth, ac heibio i fydoedd annifeiriol mewn mynyd. Fel y neseais at oror terfyngylch anian, gwelais gysgodau rhyw wagle ehang anaherfynol, yn tywyllu o'm blaen, lle ofnadwy o ddistawrwydd, unigrwydd, a thywyllwch tragywyddol. Dychryndod annhraethol a syrthiodd arnaf wrth yr olwg, a thorais allan mewn ymadrodd tebyg i hyn:—'O na chawswn fy rhan gyd â'r euog, a'r anedifeiriol! yno y buasai cwmpeini yn ysgafnhau fy mhoenau, ac angerdd y tân nid allasai gau allan gysur goleuni. Neu, pe'm condemniasid i breswylio mewn rhyw seren gynffonog, yr hon na ddychwelai ond unwaith o fewn mil o flynyddoedd i barthau goleuni a bywyd! y gobaith a'r disgwyliad am y cylchoedd hyny, er eu pelled, a'm cysurai yn y cyfrwng anhyfryd o oerni a thywyllwch, a'r

* Teml y Twrciaid. † Mohamed.

cyfnewidiad a ranai dragywyd
amser.' Erbyn hyn yr oeddwn w
golwg ar y seren bellaf, a'r pelyd
eddaf o oleuni a ddiffoddodd i
dywyllwch. Iag anobaith oedd b
yd yn trymhau, a phob mynyd
chwanegu fy mhellder oddiwrth
trigianol olaf a welswn. Ysty
gofid annioddefol, ar ol i fil miliw
yddoedd fy nwyn allan o gyrhaed
a phobpeth, ond y Bôd hwnw
llenwi anfeidroldeb, y byddwn
edrych ym mlaen i gagendor did
dywyllwch, trwy yr hwn yr aw
gymmorth na chwmpeini, ym mhe
ym mhellach o hyd, yn oes oesoedd
yr estynais allan fy nwylaw tua gw
trigianol â'r fath gyffröad ag a'
rodd. Felly y'm dysgwyd i law
cwmpeini, fel pob bendith arall,
golled o hono. Fy nghalon a gynn
haelioni, ac awyddus wyf i gyfr
hapusrwydd a deimlaf i'r rhai yr
ei dderbyn oddi wrthynt: canys,
unigrwydd ofnadwy i ba un y'm co
iwyd, barnaswn gwmpeini un o'r
iaid, y rhai, ym malchder fy hawd
droiswn yn ddiystyrllyd oddiwrth f
yn fwy gwerthfawr nag aur yr Affri
emau Golconda."

Ar ol yr adroddiad yma o'i freud
aeth *Carazan* yn ddisymmwth yn dd
ac edrychodd i fynu mewn llesma
ddiolchgarwch a defosiwn. Tara
dyrfa ar unwaith â'r addysg a'r esa
gorchymynwyd eu hysgrifenu, a'u
mewn coffadwriaeth, er lles yr oes
ddyfod.

---

## TAITH AC ANTUR DEWI AB L

*(Parhad o du dalen 277.)*

RHODRI oedd un o'r bonedd
hyny, y rhai nis gellir cyfar
hwynt ond anfynych yn y dyd
presennol. Treuliai y rhan f
o'r dydd yn hela llwynogod ne
gyfarnogod, neu ar ol y cyfryw
fyrwch yn y maes; ac ar ol ei
chweliad, mwynhâi ei hun m
modd helaethwych; ac yfai d
gadarn gymmaint a dau neu
Nid oedd dim yn ei foddloni
na chymdeithion difyrgar, n
eu rhwysg a'u dwndwr, cân a p
nill digrif gyd â'r tannau, a rh
lamu yn orwyllt a llawen y'm
glân forwynion mewn dawns y
Neuadd fawr.

i'r lwch anghof, a myned ar ddifancoll." Y geiriau hyn oeddynt fel cynnifer o gleddyfau dau-finiog i Dewi ab Llyr. "Ond," ebe Dewi ab Llyr, "A ydyw Rhonwen wedi rhoddi ei chydsyniad â'r cytundeb yna?" "Cydsyniad Rhonwen!" ebe Rhodri; "a feddyliai un dyn yn ei synhwyrau yr ymostyngwn i gymmaint ag i ofyn ei chydsyniad ar y pen hwn! Nid oes ganddi hi ddim i'w wneuthur ond bod yn ostyngedig a diolchgar am fy ngofal tadol yn darparu pob peth er ei lles, heb iddi hi gael unrhyw drafferth yn ei gylch: ac os hi a wrthwyneba fy ewyllys yn hyn, gwell, Syr, fuasai i Rhonwen pe na buasai erioed yn ferch i Rhodri Ysgafndroed; canys os felly y gwna ymddwyn, mi a roddaf fy nhreftadaeth i estroniaid, ac a'i bwriaf hithau, fel llong heb lyw na llywydd yn agored i ruthrwynt y cefnfôr, oddi wrthyf yn dragywydd." "Yr oeddwn yn gobeithio," ebe Dewi ab Llyr, "y buasai lle i mi hyderu fod nid yn unig yn gyfaill iddi, ond hefyd yn noddwr ac yn amddiffynwr iddi, yn un i'w diogelu ym mhob lle, a than bob amgylchiad, rhag holl dymhestloedd geirwon y byd, a chael yr hyfrydwch annhraethol o fwynhau yn ddidor ei chymdeithas siriol hyd derfyn ei hoes."

"Aroswch, Syr, aroswch," ebe Rhodri, â'i lygaid yn ymddangos fel pe neidiasent o'u tyllau, a chan daro ei droed yn ffyrnig wrth y llawr, "Nid wyf yn gallu amgyffred yr iaith ryfygus yna! Beth! a gaiff un dyn, pwy bynag fyddo, anturio ennill serch Rhonwen, fy unig ferch i, yn groes i'm hewyllys a'm caniatâd, a pheri iddi gynnyg rhoddi gwrthwynebiad im' mewn perthynas i'r hyn yr ydwyf wedi gosod fy nghalon arno er ys talm! Llwyddai yn ei amcan o daflu'r Eryr bendramwnwgl o'i sylfeini, cyn y tyciai i fy nhroi i oddiwrth yr hyn a amcanwyf. Yr wyf yn ddiolchgar am eich gwasanaeth, a'ch parodrwydd i gynnorthwyo fy merch pan yr oedd mewn cyfyngder, ac yr wyf yn barod i'w addalu hyd yr eithaf; ond, Syr, nis caiff anturiwr estronol ymgyfathrachu â mi—nis caniatâf i'm merch i gael ei dyweddio i wr, yr hwn nid yw, ar a wn i, ond yn unig yn filwr llwyddiannus, ac yn tramwyo o le i le, i edrych o'i ddeutu gyda chraff-olwg am wraig waddolog."

"Syr!" ebe Dewi ab Llyr, gan godi ar ei draed yn wgus, "Beth a feddyliwch wrth anturiwr estronol? Disgwyliaf arnoch, Syr, eglurhau eich meddwl. Yr wyf yn cyfrif fy hun o gystal gwaedoliaeth a chwi eich hun: y mae cyn bured gwaed yn dylifo trwy fy ngwythenau i a'r eiddo chwi eich hunan. Oni bai eich bod yn dad i Rhonwen, mi a'ch cospaswn yn llym, a hyny yn ddioed, Syr, am eich iaith anfoneddigaidd, a'ch sylwadau ammharchus."

"Gwaed dy galon!" ebe Rhodri, â'i wyneb yn duo'n aruthrawl gan lid berwedig, "A oddefaf fi gael fy nirmygu yn ddiystyrllyd hyd yn nod yn fy nhŷ fy hun, heb deimlo ac ad-dalu yn ddiatreg y cam a'r sarhad yn gan dyblyg." Ar hyn ceisiodd godi yn ffroch-wyllt o'i eisteddle, gyda phob ymddangosiad yn ei ymddygiad ac yn ei wedd ei fod yn penderfynu taro Dewi ab Llyr; ond cyn iddo yn iawn fod ar ei draed, syrthiodd yn ei ol ar draws ei gadair, ac i'r llawr yn swrth, fel un marw. Ymddangosodd ar unwaith i Dewi ab Llyr, i Rhodri gael ei daro yn ddisymmwth gan y parlys mud (*apoplexy*) a chanodd y gloch am gymmorth. Ar ol i'r gweinidogion ddyfod i mewn, ac i Rhodri gael ei osod ar esmwyth-faingc, ac iddo gael ei ymgeleddu'n iawn, brysiodd Dewi ab Llyr at Rhonwen, i roddi gwybod iddi, rhag ofn i un arall gyffleu'r

newydd anghysurus, a'i dychrynu gymmaint, a thrwy hyny iddi syrthio i lewyg. Adroddodd wrthi yr achos, a gyrwyd ar ffrwst am feddyg. Dywedodd y meddyg mai 'r parlys mud ydoedd—fod un ochr iddo wedi diffrwytho—fod gobaith yr adferid iddo ei ymadrodd y'mhen amser—fod yn rhaid i Dewi ab Llyr adael y lle yn union-gyrchol, rhag ofn iddo gynhyrfu Rhodri o'r newydd, a'i wneuthur yn waeth. Nid oedd llygaid Rhonwen na Dewi ab Llyr yn ddiddagrau ar ei ymadawiad ef. Addawsant ysgrifenu at eu gilydd cyn fynyched ag y byddai cyfle, ac ymwystlasant o'r newydd y naill i'r llall. Aeth Dewi ab Llyr at gyfaill iddo, yr hwn a drigai yn Swydd Fôn. Daeth Rhodri ar ol rhai wythnosau yn alluog i siarad yn floesg; ond nis gallodd byth ar ol hyn gerdded allan yn heinif ac yn fywiog. Parhaodd yn anghymmodlon, ac ni fynai gymmaint a chlywed enwi Dewi ab Llyr yn ei ŵydd.

O herwydd y gofal a'r mawr anesmwythder a ymaflasant yn Rhonwen ynghylch adferiad ei thad—o herwydd ei hanhunedd dygn a gwastadol ar yr achos, ac yn fwyaf neillduol o herwydd cyndyn wrthwynebiad ei thad mewn perthynas i'w hundeb priodasol â Dewi ab Llyr, dechreuodd Rhonwen ym mhen byr amser golli ei rhosaidd liw, aeth ei gruddiau yn welw ac yn gulion; a'i duon lygaid, cyn hyn yn llawn o hoffder a bywiogrwydd, a welid yn ddifywyd, ac yn gorlenwi gan ddagrau; ei holl gorph a ddadwinodd, ac a guriodd ymaith mewn modd rhyfeddol; ac o'r diwedd gorfu arni gadw ei gwely, heb nerth nac yspryd i ddyfod o hono. Nid oedd un peth a roddai 'r meddyg yn lleshau; a chanfyddodd efe yn fuan mai nid y corph yn unig oedd yn dadwino, ac mewn cur, ond fod y galon yn llesg ac yn glaf, a'r meddwl yn anhwylus. Daeth y meddyg, oddiwrth yr arwyddion hyn, ac amryw ereill, i wybod y gwir achos o'i hafiechyd; a dywedodd mewn modd difrif wrth ei thad Rhodri, oddieithr iddo ganiatâu i Dewi ab Llyr gymmeryd Rhonwen yn wraig briod iddo, y byddai iddi fyned i dir angof a llwch y bedd, a hyny ar fyr o dro, cyn sicred a'i bod hi yr awrhon yn gorwedd mewn galar ar ei chlaf-wely. Pan glybu Syr Fychan ab Afardwy fod Rhonwen yn glaf, daeth yn ddiaros i ymweled â hi; a phan wybu efe pa beth a barodd ei hanhwyldeb, dywedodd wrth ei thad, nad oedd dim yn yr holl greadigaeth a'i tueddai ef i hòni hawl yn Rhonwen yn groes i'w hewyllys, ac i daflu y rhwystr lleiaf ar ffordd ei dedwyddwch. Y datganiad disymmwth hwn o eiddo Syr Fychan ab Afardwy a ddaeth ar draws Rhodri fel llewyrchiad mellten: nis gwyddai yn iawn pa beth i'w wneuthur; gwasgarwyd ar unwaith sail ansicr ei obaith.

Pan ganfu Rhodri Ysgafn-droed o'r diwedd fod yn rhaid iddo, naill ai cymmeryd Dewi ab Llyr yn fab y'nghyfraith iddo, ai ynte colli trwy gur a darfodedigaeth ei unig gysur ar ol marwolaeth ei wraig, sef ei unig anwyl ferch, nis gallodd lai nag ymresymu rhyngddo ac ef ei hun, fod ei ymddygiad ar yr achos presennol yn angharedig, a dywedyd, gan droi at ei noddfa ddiweddaf, mai "O ddau ddrwg, goreu 'r lleiaf." Ar ol hir fyfyrdod, a dygn ymdrech meddwl, ac ar ol ystyriaeth mwy pwyllog a diduedd, cyfaddefodd fod teulu Dewi ab Llyr cyn hyned, ac agos cyn enwoced a'r eiddo ei hun; a chaniatàodd, trwy gyfryngiad cyfeillion y ddwy blaid, i ymgymmodi â Dewi ab Llyr, a'i dderbyn ef yn fab y'nghyfraith.

Rhyfedd y cyfnewidiad a gymmerodd le yn Rhonwen ar yr achos presennol! Trwy serchog ofal, a

dyfalwch mwyn a siriol Dewi ab Llyr, gwedd hoyw-wych Rhonwen, ei bywiogrwydd ysbryd, ei gwisgi a'i nofiadawl rodiad, a ddychwelasant yn fuan yn eu hol. Ar ol gwneuthur pob parotôad angenrheidiol, priodwyd Dewi ab Llyr a Rhonwen gyda rhwysg a mawredd cyfatebol i'w sefyllfa, a buant fyw am flynyddau hir feithion yn mwynhau hael drugareddau Ner, a hoff ac addysgiadol gymdeithas y naill y llall, yn y fath fodd hyfryd, fel yr aeth yn ddywediad cyffredin y'mhlith y cymmydogion, pan yr ymddiddanent am wyr a gwragedd cariadus a dedwydd, "Y maent yn byw mor wynfydedig a Dewi ab Llyr a Rhonwen." IAL.

---

## CELFYDDYDAU YR OESOEDD BOREUOL.

(Parhad o du dalen 278.)

Yr Israeliaid yn amser Dafydd a Solomon a fuant yn hynod o enwog yn y celfyddydau. Eu mynych fordeithiau i gludo aur ac arian, a meini gwerthfawr, o Ophir a Tarsis, a manau ereill, a gyfoethogodd y wlad gymmaint a bod Solomon yn gyfoethocach na holl frenhinoedd y ddaear. Y ddinas enwog Jerusalem â'i gwychion adeiladau, yn enwedig y deml, oedd arddangosiad o odidawgrwydd celfyddyd y'ngwlad Canaan; ac ar lawer o ystyriaethau gellir ei chyfrif y ddinas ardderchocaf a fu erioed ar y ddaear. Prydferthawl borthladdoedd y deyrnas hefyd oeddynt yn llawnion o longau masnachawl, yn barod i gychwyn i'w teithiau wrth angenrheidrwydd, i gludo trysorau o wahanol barthau y ddaear: a'i llaw-weithiau, ac amrywiol bethau ereill, a'i henwogodd yn hynod. Ond annuwiol lywodraethau amrai o'i brenhinoedd yn ol marwolaeth Solomon, a osododd y wlad yn sathrfa i frenhin Babilon.

Bellach dacw rai o ser disglaer gwlad Groeg yn dechreu llwybro goruwch y terfyngylch; megis Lycurgus,* y deddf-roddwr Spartiaidd, a'r awenyddol Homer† anfarwol, a Phidon‡ o Argos, yr hwn a ddyfeisiodd y pwysau a'r mesurau cyntaf, ac a fathodd arian yn Ægina.

Ond yn awr rhaid i mi fyned i olygu Babilon, gan ei bod hi yn yr oesoedd hyn yn wrthddrych rhyfeddaf yn holl Asia. Oddeutu y flwyddyn 606 cyn cred y dechreuodd Nebuchodonosor enwogi Babilon, a'i gwneud yn un o ryfeddodau y byd. Gellir dywedyd am dani, ei bod y ddinas ardderchocaf a fu erioed dan haul, ac yn arwydd nodedig o gelfyddyd yr oesoedd hyny ym mysg y Caldeaid. Ei chedyrn gaerau, ei thyrau godidog, a'i phontydd, a'i dorau pres, y rhai na bu eu cyffelyb mewn un ddinas erioed: ei heolydd mawrwychion, a'i hanneddau teg, oeddynt yn rhy faith i roddi desgrifiad o honynt. Y gerddi crogedig* hefyd oeddynt y gwrthddrychau rhyfeddaf ynddi, y rhai a adeiladasid yn fwäog y naill goruwch y llall yn gydwastad â phenau muriau y ddinas: ac er uwched oeddynt oddiwrth y llawr, yr oedd digon o ddyfnder daear ynddynt, fel y gallai 'r coed mwyaf wreiddio; a gosodasid sugn-bibau ynddynt i dynu dwfr i fynu o'r Euphrates i'w dyfrhau. Yn yr amser yma hefyd yr oedd y Caldeaid yn feistri bron ar holl diroedd y dwyrain, ac wedi eu hennill gan mwyaf trwy rwysg arfau Nebuchodonosor. Nid oeddynt yn anenwog ychwaith yn amrywiol ranau celfyddyd: rhanodd yr Aiphtiaid a hwythau yr anrhydedd rhyngddynt o fod yn serydddion boreuaf. Yn ol marw Nebuchodonosor, gwanhaodd yr ymerodraeth yn raddol; ac yn amser ei ŵyr Belsassar daeth y Mediaid a'r Persiaid, o dan dywysiad Cyrus, ac a feddiannasant Babilon, a rhoddasant derfyn ar rwysg y Caldeaid: ac yn nhreigliad oesoedd, aeth y ddinas a fu yn enwocaf o ddinasoedd y byd yn drigfa bwystfilod, ac ymlusgiaid gwenwynig.

Yn ol i mi adael gwlad Groeg, a myned i Babilon, dychwelaf yn ol yno etto. Yn y flwyddyn 643 cyn cred y ganwyd Thales yn Miletus. Hwn oedd y blaenaf o saith ddoethion Groeg, a'r mwyaf clodfawr ei fyfyriadau. Yn moreuddydd ei amser ymdeithiodd trwy 'r Aipht, ac amryw wledydd Asia, er mwyn ehangu ei wybodaeth. Mewn seryddiaeth a daear-fesureg, yr oedd yn dra chyfarwydd, ac y mae llawer o'i drefniadau yn cael eu harfer hyd heddyw gan y dysgedigion diweddaraf. Efe a ranodd y belen ddaearol i bump o gylchoedd *(zones)* sef y Poeth-gylch *(Torrid zone)* y ddau gylch tymherus *(Temperate zones)* a'r ddau rew-gylch *(Frigid zones)*. Efe hefyd a wnaeth i gylch yr arwyddion, neu 'r Sidydd *(Zodiac)* gynnwys y cylch poeth, a'r ddau gylch tymherus, ac i baladr y canol-ddydd *(Meridian)* wneud yr holl gylchoedd uchod yn onglau sythion, a hon yw y drefn a arferir hyd heddyw. Sefydlodd Athrofa odidog yn Miletus, o'r hon y cyfododd rhai o ddysgedigion penaf Groeg; ac efe hefyd ydoedd athraw yr enwog Pythagoras. Treiddiodd mor bell i serydd-

* Ganwyd ef cyn Crist 926. † Homer a anwyd 1041 cyn cred. ‡ Phidon a anwyd 910 cyn cred.

* Cyfrifid muriau Babilon, a'r gerddi crogedig, y'mysg saith hen ryfeddod y byd.

iaeth, fel y gwyddai yn dda yr achos oedd yn peri diffygion ar yr haul a'r lleuad, a medrai eu cyfrif yn gywir cyn eu dyfod; a rhagddywedodd am ddiffyg nodedig fu arno yn amser y frwydr rhwng y Mediaid a'r Lydiaid. Ac y'mhellach efe a ddysgodd fesur lled wyneb yr haul *(Diameter of the Sun);* ac a ranodd y cylch yn 360 o raddau, ac a ranodd y flwyddyn hefyd yn 365 o ddyddiau. Thales hefyd oedd y cyntaf a ddysgodd y ffordd i fesur pyramidiau yr Aipht wrth y cysgod, yr un modd ag y mesurir gwrthddrychau ereill yn yr oes bresennol. Diammeu mai Thales oedd tad philosophyddiaeth i'r Groegiaid, ac yn olynol i wledydd Ewrop; ond sicr iddo fenthycio amryw o'i egwyddorion oddiwrth yr Aiphtiaid a'r Caldeaid, a chenhedloedd ereill y dwyrain.

Solon, deddf-wr godidog yr Atheniaid, oedd gydoeswr â Thales. Sefydlodd y gwr enwog hwn gyfreithiau ardderchog yn Athen, y rhai a fuont mewn parch mawr gan bawb. Ac yn amser y llywodraeth seneddol yn Rhufain, anfonwyd cenhadau i Athen i ymofyn am y cyfreithiau; ac ym mhen rhyw yspaid o amser dychwelasant yn ol, a thebygol yw i'r cyfreithiau a osododd Solon fod yn Rhufain am amser hir, os nad ydynt etto yn sylfeini i amryw o gyfreithiau gwledydd Ewrop.

Os bu'r Aiphtiaid a'r Caldeaid yn enwogion yn y celfyddydau ym moreuol oesoedd y byd, nid oeddynt i'w cydmaru mewn llim â'r Groegiaid: ond diammeu i'r Groegiaid gael mantais arnynt, trwy iddynt ddechreu yn ddiweddarach. Ni bu milwyr, ac anianyddion, na philosophyddion, na phrydyddion, nac areithyddion, erioed yn fwy enwog ar wyneb daear nag ym mhlith y Groegiaid. Os yr Aipht a genhedlodd y celfyddydau, Groeg a'u magodd hwy; os yr Aiphtiaid a ddodwodd yr ŵy, Groeg a'i deorodd. Mae ysgrifeniadau yr awdwyr Groegaidd mor orchestol ac enwog, fel na ragorodd neb arnynt mewn un iaith hyd heddyw, er cael eu gwaith hwy fel esiamplau i'w haddysgu. Soniais yn barod am rai o wroniaid y wlad hon, sef, Homer, Lycurgus, Thales, a Solon, &c. a byddai yn rhy faith i mi grybwyll am yr holl enwogion a flodeuasant yn y tir hwn. Pythagoras â'i ddwfn athrawiaeth, ac chwiliwr llwybrau y ser; a Hiparchus godidog, meistr yr un gelfyddyd, a anwyd yno; ac Aristotle, yr enwog anianydd; Demosthenes, Aristides, ac Isocrates, pen areithyddion y byd. Groeg a roddes fodolaeth i feddygwyr, haneswyr, a cherddorion penaf y ddaear. Pa beth am Hipocrates a Galen, y meddygon? Herodotus, Thucydides, a Xenophon, yr haneswyr? llawer ereill rhy faith i'w coffâu, a fu fel cedyrn golofnau yn sefyll i fynu o blaid gwybodaeth a chelfyddyd yn nhir Groeg.

Pwy a synodd y byd â'i orchestion yn fwy nag Alexander Fawr, ymerawdwr y Groegiaid? Ym maes y gâd nid oedd ei gyffelyb; creodd ei arswyd tros yr holl fyd adnabyddus. Croesodd gyfyng-fôr yr Hellespont gyda byddin o ddeng mil ar hugain o wyr traed, a phum mil o wyr meirch; ac wrth yr afon Granicus gosododd fyddinoedd lliosog y Persiaid i ffo y cleddyf, er eu bod yn bum gwaith lliosocach na'i eiddo ef. Nid ydyw brwydr bylchau Cilicia ychwaith wedi myned tros gof, pryd yr anrheithiwyd y Persiaid yn ofnadwy, ac y gyrwyd Darius ar ffo, er nad oedd byddinoedd Alexander ond fel dyrnaid wrth eu cydmaru â hwynt. Enillodd ddinas gadarn Tyrus, er cadarned ei chaerau, er gwyched ei hadeiladau, ac er dewred ei phreswylwyr. Gorchfygodd agos holl wledydd y dwyrain mewn deuddeng mlynedd o amser, yr hyn a gynnwysai ymerodraeth tros bedair mil o filltiroedd o hŷd. Ond er hyn nid ellir ei gyfrif yn oruwch-naturiol ddyn, oad fel yr oedd rhagluniaeth yn ei lwyddo yn ei holl ymdrechiadau. Yr oedd llawer o ymddygiadau ffolion a gwallgofus ynddo, megis ei daith trwy anial ddiffaethwch Lybia i ymweled â theml Jupiter Hammon, a'i waith yn croeshoelio ei feddyg am fethu meddyginiaethu ei gyfaill Hephestion, &c. Bu farw yn mlodau ei ddyddiau trwy iddo yfed i ormodedd. Adeiladodd ddinas enwog Alexandria yn yr Aipht, yr hon am lawer o oesoedd a fu yn benaf o holl ddinasoedd y dwyrain mewn celfyddyd a masnach: ac yn nheyrnasiad Ptolemeus Philadelphus, yr ail frenin yn yr Aipht, yn ol rhanu ymerodraeth Alexander, gwnaed yno lyfr-dŷ ardderchog, a chyfoethogwyd ef â chan mil o lyfrau; a'r pryd yma hefyd y cyfieithiwyd yr Ysgrythyrau i'r Roeg gan y Deg a Thriugain Iuddewon.

Llawer o weithredoedd gorchestol a rhyfedd a wnaethpwyd ym mysg y Groegiaid yn yr amser yr oedd celfyddyd yn enwog yn eu plith. Brithwyd y wlad â dinasoedd enwog ac adeiladau teg, ag y byddai yn rhy faith i mi sôn am danynt.

Y ddelw* bres hynod yn ynys Rhodes oedd gwrthddrychau rhyfeddaf a fu erioed yn y byd. Cyssegrwyd hi i'r haul. Yr oedd yn gant ac ugain troedfedd o uchder, ac wedi ei gosod yn fforchog tros y fynedfa i'r porthladd, fel y gallai llongau fyned rhwng ei thraed. Buwyd ddeuddeng mlynedd yn ei hadeiladu, a chyfrifid ei phwysau yn saith gant ac ugain mil o bwysau. Yr oedd grisiau yn arwain i'w

* Gosodwyd hi i fynu cyn Crist 280; cyfrifid hi ym mysg saith hen ryfeddod y byd.

phen, ac yr oedd pob bys iddi agos cymmaint a dyn o faint canolig. Taflwyd hi i lawr gan ddaear-gryn, ac felly y bu nes daeth y Saraceniaid i feddiant o'r ynys, pryd y gwerthasant hi i Iuddew, yr hwn a lwythodd fil o gamelod â'r pres.

Teml* y dduwies Diana yn Ephesus oedd adeilad o faintioli rhyfeddol. Buwyd ddau can mlynedd yn ei hadeiladu, ac yr oedd yn 425 o droedfeddau o hŷd, a 200 o led, a chynnalid hi gan 127 o golofnau mynor, y rhai oeddynt yn 70 o droedfeddau o hŷd. Y trawstiau a'r drysau oeddynt o gedrwydd, a'r rhan arall o'r gwaith coed o brenau cypreswydd. Llosgwyd hi gan Erostratus 335 o flynyddau cyn Crist.

Wedi sylwi fel hyn ar lawer o ogoniant y gwledydd dwyreiniol yn yr oesoedd gynt, pe baem yn edrych yn bresenol ar yr ardaloedd hyn, y mae golwg arall arnynt. Dacw'r celfyddydau gynt wedi eu gadael, a dacw'r trigolion yn rhwym y'ngharcharau tywyllwch ac anwybodaeth. Dyma yw cyflwr yr Aipht flodeuog gynt, a Phenicia, goruchel sefyllfa mordwywyr penaf y byd. Hyn hefyd yw cyflwr Groeg, er maint a fagodd o wroniaid, ac er cymmaint o fuddugoliaethau a ennillodd. Mae yr afon heintus, a redodd allan o ffynnon Fahometanaidd wedi rhoi yr holl wledydd hyn fel yn rhwym tan felldith. Mae yn alarus meddwl, fod y cenhedloedd, a roddasant gynt oleuni celfyddydau i'r byd, yn awr yn gorwedd dan y blymaidd warog, a osodwyd arnynt gan ddilynwyr yr hudolwr o Mecca.

G. AB GWILYM PADARN.

---

ATEBIAD I LYTHYR BARRAS YNGHYLCH DIFFYGION Y GWYLIEDYDD.

*(Parhad o du dal. 244.)*

MR. GWYLIEDYDD--Caniatewch i mi ychwanegu rai sylwadau cywir Barwn Brougham ar Fanteision Dysgeidiaeth i'r Werinos, cyn gwneuthur o honwyf unrhyw nodiadau ar yr ail fater, sef, Y pethau sydd yn attal cynnydd Dysgeidiaeth yn Nghymru.

Gwedi dangos o hono y manteision a ddeuai i grefftwyr a llafurwyr cyffredin wrth eu gwneuthur yn fwy medrus a hwylus yn eu gwahanol alwedigaethau, trwy y rhai y maent yn ennill eu bara beunyddiol; ac wrth wneuthur eu bara beunyddiol, gwedi iddynt eu ennill, fyned ym mhellach, a bod yn fwy blasus, y mae yn sylwi bod Dysgeidiaeth yn rhoi cyfleusdra i weithwyr, yn ol eu talentau naturiol, i fod yn ddiwygwyr neu wellhawyr yn eu galwadau, a bod hefyd hyd yn nod yn ddatguddwyr yn y Gwybodau sydd yn dwyn perthynas â'u galwedigaethau.

Eb efe, "Mae y crefftwyr a'r llafurwyr cyffredin yn feunyddiol ymdrin â'r arfau a'r defnyddiau hyny a pha rai y mae profiadau newyddion i'w gwneud; maent yn feunyddiol dystion o weithrediadau anian, mewn naill ai ysgogiad neu wasgiad defnyddiau, neu weithrediadau fferyllawl y naill gorph o ddefnydd ar y llall. Rhaid i'r holl gyfleusderau o wneuthur profiadau fod yn ddiddefnydd, rhaid i holl ymddangosiadau anian fyned heibio yn ddisylw, os na bydd ganddo ddysgeidiaeth yn egwyddorion y Gwybodau, ond gyd â'r ddysgeidiaeth hon y mae yn fwy tebyg o daro ar ryw beth newydd ag a all fod yn ddefnyddiol mewn crefft, neu fanteisiol a diddanol yn y Gwybodau. Ychydig iawn o ddyfeisiadau mawrion a gaed allan drwy ddamwain, neu drwy ddynion anwybodus—llawer iawn llai nag a feddyliai neb. Dynion o wybodaeth, ag oedd yn barhaus yn chwilio am danynt, a'u cafodd hwy allan. Y diwygiadau yn yr Agerdd-beiriant gan Mr. Watt, ydoedd effaith olrheiniadau mwyaf dysgedig ar wirioneddau Rhifyddeg, Llaw-gelfyddydau, a Fferylliaeth. Mr. Arkwright, gwedi pum mlynedd o leiaf o ddyfal ymchwiliad, o'r diwedd a gafodd allan y ffordd i wneud y peiriannau nyddu. Y ddyfais ddiweddar o'r Lamp Diogelwch *(Safety Lamp)* ydoedd wobr olrheiniadau dysgedig un hollol hyddysg yn y wybodaeth o Fferylliaeth. Y ffordd newydd o

* Lluniwyd hi gan Ctesiphon; cyfrifid hon hefyd ym mysg y saith hen ryfeddod.

buro siwgr a gaed allan gan Fferyllydd boneddigaidd. Ond cyn belled ag y mae gan ddamwain unrhyw beth i wneud mewn caffaeliad allan ddyfais newydd, yn ddiammeu y mae o werth i'r rhai sydd yn gweithio yn barhaus mewn galwedigaethau neillduol, geisio y wybodaeth angenrheidiol, oblegid fod eu cyfleusdra hwy yn fwy na neb arall i ddefnyddio eu dysg fel ag i ddisgyn ar ryw beth newydd a defnyddiol. Y maent hwy yn parhaus weled beth sy'n ddiffygiol a pheth sydd o'i le, yn ol yr hen ffordd; ac y mae ganddynt, o herwydd hyny, well cyfleusdra i wneud diwygiadau. Mewn gair, un defnydd mawr o ddysgu egwyddorion y Gwybodau, yw eu bod yn galluogi dynion i wneuthur diwygiadau yn y celfyddydau, a chael allan amlygiadau newydd mewn Athronyddiaeth, y rhai a allant fod yn fuddiol iddynt hwy eu hunain, ac i ddynolryw yn gyffredinol."

At yr hyn a ddywedwyd uchod, gellir chwanegu yn fyr, fod Dysgeidiaeth yn foddion i agor y ffordd i gyfoeth, anrhydedd, ac enwogrwydd. Tra byddo cenedl y Cymry mor ddigynnydd mewn Gwybodaeth, rhaid y bydd i'n cymmydogion mwy dysgedig y Saeson fedi o ffrwyth eu huwch fanteision, cadw y blaen arnom, a bod yn genedl fwy pwysig o ran cyfoeth ac enwogrwydd. Atolwg, paham y bu ein llysoedd barn cyhyd heb sefyll ar yr un tir a'r eiddo hwy? Paham y trefna y llywodraeth gyfran mwy o aelodau, a hyny gyda gradd mawr o ddoethineb ac uniondeb, i gynnrychioli y Saeson yn y Senedd na'r Cymry? Paham y mae mynydd-dir yr Alban yn troi allan mwy rhifedi o ddynion enwog na gwlad y Cymry? Edrychwch o gwmpas, a chewch weled yr atebiad wrth law—Eisieu Dysgeidiaeth. Paham y gadewir i fanteision galluoedd dyfroedd, porthladdoedd cyfleus, a chynnyrch cynnwynol gwlad y Cymry, fod mor ddifantais iddynt? Dim, ond eisieu teimlo effaith gynhyrfiol dysgeidiaeth ar y trigolion. Rhoddwch ddysgeidiaeth i genedl y Cymry, ac yna ni ddolefwn allan uwch ben ei glynoedd a'i dyffrynoedd têg, "Cymru fu, Cymru fydd."

Ni awn bellach ym mlaen at yr ail fater.

II. *Y pethau sydd yn attal cynnydd Dysgeidiaeth yn ein plith.*—Nis gellir priodoli attalfa dysgeidiaeth i un peth yn unig, ond i gymmhleth o bethau yn cyd-attal; a'n gorchwyl ninnau yn bresennol fydd nodi rhai o honynt allan.

1. Un o'r rhwystrau mwyaf pwysig a ddaw gyntaf dan ein sylw, yw y rhagfarn, neu yn hytrach y coel-grefydd, sydd wedi cyd-gymmysgu yn meddyliau dynion â'r mater pwysig o grefydd. O'r braidd y meddylia llawer bod yn bossibl i ddysgeidiaeth, ac ymroddiad i geisio gwybodaeth yn nirgelion anian, gyd-sefyll yn yr un dyn â gwir grefydd a duwiolfrydedd. Ni chyfyngir y farn, neu yn hytrach y gau farn, hon i rai ym mhlith cenedl y Cymry yn unig, oblegid ni ganfyddwn yn ngwaith Aristophanes, ddarfod i'r Groegiaid ofer-goelus euog farnu y dynion hyny yn elynion i'r duwiau a feiddiodd ryfygu dangos yr achosion naturiol o'r taranau a'r tymhestloedd. Nid llai fu toster rhai o Dadau yr Eglwys yn bytheirio eu hanathemau yn erbyn y dynion, y rhai, drwy brofion anffaeledig, a haerasant fod y ddaear yn gron, a bod pobl yn preswylio y tu arall iddi, a'u traed gyferbyn a'r eiddom ni. A hysbys yw, ddarfod i lys Ffrainc euog farnu dyfeisydd cyntaf y gelfyddyd ddefnyddiol o argraffu i garchar, fel un ag ydoedd yn dal cyfrinach â'r cythreuliaid! Ac nid llai hysbys yw, ddarfod i'r

Eglwys yn Rhufain daflu i'r daeardŷ Galilæo, dyfeisydd yr yspienddrych, am y pechod dirfawr o haeru fod y ddaear yn troi ar ei phegynau. Mae 'r anghefnogaeth a gafodd dysgeidiaeth a dynion athrylithgar ym mhob oes oddiwrth y rhai a ymhònent hawl i fwy manylrwydd mewn crefydd nag a waranta yr Ysgrythyrau Sanctaidd iddynt, wedi bod, ac etto yn bod, yn achos mawr o dristwch i Gristionogion syml, ac i'r rhai sydd yn hoffi gweled llwydd eu gwlad a'u cenedl. Rhai o'r uwchgrefyddolion hyn a ddywedent, nad oes angen am ddarllen na gwybod dim ond y Bibl. Ereill a fynent y bydd i'r rhai a fyfyriant byneiau athronyddawl halogi eu hunain wrth fyned dros derfynau sobrwydd. Ereill yn dwyn mawr zel dros eneidiau eu cyd-ddynion, a haerant mai athronwyr a dysgedigion yw yr unig rai sydd yn gwadu dwyfoldeb y Bibl, a bod yn rhy beryglus i rai yn proffesu Cristionogaeth gofleidio yr hyn a ddygodd ereill i'r geubwll truenus o annuwiaeth. Ereill, gyda mwy o zel, a haerant na ddylid goddef yn nghyfundeb y cyssegr neb a ofer dreulia ei amser i fyfyrio ar ddirgel bethau anian, er mai gwirionedd diammheuol yw, eu bod hwy eu hunain yn euog o dreulio mwy o amser mewn seguryd, gwagrodiana, enllib, rhodres, a gorwagedd y byd hwn. Os bydd i neb ymgodi i sylw y wladwriaeth drwy rym ei ddysg a'i ddoniau, rhaid mai dyn onawdol o feddwl bydol yw hwnw. Yn y modd hyn, a'r cyffelyb, y rhoddodd y camsyniad hwn yn meddyliau dynion fodoliaeth i rwystrau aneirif yn ffordd ymledaeniad dysgeidiaeth. Bu yn gryn orchest ar ddynion dysgedig dori drwy y rhwystrau hyn i ddwyn dynolryw, drwy oleuni dysgeidiaeth, i'r meddiant sydd ganddynt yn bresennol o lywodraeth ar y greadigaeth. Nid rhaid i wir Gristionogaeth ofni dim ar olrheiniadau athronyddiaeth: hi saif yn ogoneddus yn ngwyneb pob prawf. Mor bell yw dysgeidiaeth o fod yn elyn iddi, fel y cafwyd llawer prawf mai y llaw-forwyn ffyddlonaf sydd ganddi yn ei theulu ydyw. Peraidd ganiadydd Israel, wrth fyfyrio ar beiriant ei gorph, a chanfod rhyfeddodau doethineb ei gyfansoddiad, yr hyn a ddygir i'r amlwg i ni drwy y rhan hòno o ddysgeidiaeth a elwir Difynniaeth, mewn tymher Gristionogol a lefodd allan, "Rhyfedd ac ofnadwy y'm gwnaed: a'm henaid a ŵyr hyny yn dda." Pa gredadyn a ddichon edrych ar y mawr amryw ddoethineb, a'r tragywyddol allu a daioni, a ddygir i'r goleu gan athronyddiaeth, heb deimlo yn ei fynwes gynhyrfiadau o ofn a pharch i'r anfeidrol FOD. Pwy, yn edrych arnynt, a all beidio dweud gyd â'r duwiol Job, "Myfi a glywais â'm clustiau sôn am danat: ond yn awr fy llygaid a'th welodd di;" ac mewn agwedd wir ostyngedig lefain allan,

"Perffaith yw dy waith, Duw Iôn,
Dethol dy ffyrdd, a doethion,
A mâd, ac anchwiliadwy,
Dduw mawr, ac ni bu ddim mwy!"

*(I'w barhâu.)*

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

SYR—Bwriadaf, os caniatâ Duw i mi nerth ac iechyd, ddanfon i'ch Cylchgrawn, yn fisol, ychydig o hanes yr amrywiol goedydd, ffrwythydd, &c. sydd yn tyfu yn amrywiol barthau 'r byd adnabyddus. Gobeithiaf y byddant yn dderbyniol genych chwi, ac hefyd gan eich darllenwyr. Ynddynt y cânt weled mawr allu eu Gwneuthurwr, ac mor ragorol y mae dirgel law Rhagluniaeth yn gofalu am ddynolryw, yn ol eu hangen a'u sefyllfa, trwy bob parth o'r bydyssawd.

Yr eiddoch, &c.

I. M.

ym mhlith yr hen Frytaniaid, neu ynte a ddygwyd y cyfryw arferiad yma gan y Saeson, y rhai a ddaethant o goedwigoedd derwaidd Ellmyn, nid yw wybyddus. Cyfrifent besgi moch â mês yn y coedwigoedd, tra parhaodd eu rhwysg yn yr ynys hon, yn un o oruchwyliaethau penaf teulu; yn gymmaint ag i'r brenin Ina, yn niwedd yr eilfed ganrif ar bymtheg, osod cyfraith, yr hon a gyfenwid, "Cyfraith Ffrwythau y Goedwig," er iawn drefniant y diben. Byddai ffrwyth y Dderwen y pryd hyn yn cael ei anfon yn rhoddion i frenhinoedd, a'i roddi yn rhan o waddod brenhinesau. Cyfrifid anffrwythlondeb y Dderwen, neu brinder ei ffrwyth, yn yr amseroedd hyny, yn un o brif achosion newyn, ac eisieu. Un o weithredoedd gorthrymus Gwilym y Goresgynwr, o dan ei nwydwyllt gynddaredd, fu troi yr holl goedwigoedd yn lle priodol iddo i hela, yr hyn a fu yn attalfa i'r brodorion i borthi eu moch: a dyna fu yr achos penaf i wysio 'r brenin Ioan i gyfarfod ei ddeiliaid cynnulledig, i arwyddo 'r *Magna Charta*. Ymddengys mai cig moch oedd prif ymborth y rhan fwyaf o deyrnasoedd cyn amser eu gwareiddiad; a hyn a brofir oblegid lliosawgrwydd eu moch. Yr oedd rhifedi dirfawr o foch yn cael eu porthi yn y Goedwigfa Newydd *(New Forest)* yn Swydd Ham, hyd yn ddiweddar, tan ofal Bugeil-foch, y rhai a'u casglent ynghyd bob nos wrth sain udgorn. Pesgir moch *Estremadura* yn bresennol â mês derwen *Ballota;* ac oblegid hyny, cyfrifir eu cig yn hynod o'r danteithiol.

Gallwn nodi yma wirionedd sydd wybyddus i naturiaethydd er's hir amser; ond y mae trinwyr a phlanwyr coed yn anhysbys o hono; sef, bod dau ryw o Dderw ym Mrydain—y *Quercus Robur*, a'r *Quercus Sessiliflora;* y gyntaf yn raenus, a chadarn galed-gorph—yn ddi duedd i bydru; ond y llall sydd yn fwy agored ei gwythi, yn llawnach o nôdd—yn fwy tueddol i bydru, ac heb fod o hanner yr un parhad. Y gwahaniaeth yma a ddarganfuwyd mor gynnar ag amser Ray; a chwanegodd Martyn yn ei *Flora Rustica*, a Syr James Smith yn ei *Flora Britanica*, eu tystiolaeth ar yr un gwirionedd. Meddylir i'r ail ryw yma gael ei drosglwyddo o'r Cyfandir i'r wlad hon er's rhai cannoedd o flynyddau yn ol, ym mha le y mae y rhywiau hyn o Dderw yn hynod o'r cyffredin, yn enwedig yn nghoedwigoedd Ellmyn. Cyfrifir y prenau hyn yn hynod o'r gwerthfawr: ond y peth sydd yn lled ryfedd yn ein golwg ni yw, fod y twyllwyr hyn, yn ddirif, wedi lledu eu brigau yn y Goedwigfa Newydd, yn Norfolk, yn y Swyddau gogleddol, ac o amgylch Llundain; ac nid rhyfedd fod cymmaint o gwynfan, digon ammhriodol, fod ein llongau yn cael eu hadeiladu gyd â'r hyn a elwir *sych-dderw pydredig:* ond y gwir yw, iddynt gael eu hadeiladu o'r rhywiau yma o Dderw, o ba rai yr adeiledir y rhan fwyaf o longau ei Fawrhydi. Ond rhag ofn nad oes digon o sylw yn cael ei wneuthur o'r rhywiau uchod, cynnygiaf hyn i ystyriaeth masnachwyr coed yn gyffredin. Y mae coes mesen y *Robur*, neu 'r Dderwen ddieithr, yn hir, a'i ddeilen yn fèr; ond coes mesen y *Sessiliflora*, neu Dderwen Prydain, sydd yn fèr, a'i deilen yn hir. Mês y flaenaf a dyfant yn unigol; nid yn gyffredin y gweiir dwy yn tyfu ar yr un goes; ond y rhai diweddaf a dyfant dair neu bedair ynghyd, a hyny mor agos i'r gangen ag y byddo modd.

Tyb gyffredin yw, mai o'r rhyw yma o Dderw yr adeiledir llongau Rwssia, sef y rhai sydd yn gwib-hwylio ar y Baltic, na adeiladwyd o'r Ffawydden; os nad dyna yw eu defnydd, eu noethai ar y sail-gyffiau, heb ddim i'w cysgodi yn ngwres haul haf, er nad yw ond byr, a bod eira ac iâ yn llenwi eu cellau yn y gauaf hirfaith, sy ddigon i brofi nad ydynt o hir barhad, ac hefyd yn ddigon i ddifetha y Dderwen gadarnaf.

*(I'w barhau.)*

---

## PERYGL YSPRYD TERFYSGLYD MEWN GWLADWRIAETH.

M. DELAHARPE oedd un o anghrefyddwyr Ffraingc, rhydd-dybiwr dihafarch, cyn gadarned gwawdiwr o'r Ysgrythyrau a neb pwy bynag; etto, trwy allu dwyfol ras, a ddychwelwyd i fod yn Gristion, yr hwn, ar ol hyny, a ysgrifenodd yr hanes canlynol:—

Medd ef, "Ymddengys i mi fel pe buasai ddoe; yr oedd er hyny yn nechreu y flwyddyn 1788. Yr oeddym wrth fwrdd brawd o'r brif ysgol, yr hwn oedd o'r rhes uchelaf, ac yn ddyn o dalentau, &c. Yr oeddym, fel arferol, yn cael ein gwesta yn rhyseddus: ar y bwrdd yr oedd gwin Molvoisie, a'r Cape, yn chwanegu at wychder naturiol cyfeillion da; mewn gair, yr oeddym mewn sefyllfa i gaffael pob peth a barai hoenedd a llawenydd. M. Chamfort oedd yn darllen rhai o'i chwedlau penrydd ac annuwiol; a'r arglwyddesau uchel-radd a'u gwrandawent heb unwaith guddio eu hwynebau â'u hawyr-wyntyll (*fans*). Yn ddiarbed canlynodd dylif o ddigrifwch a gwawd ar grefydd. Rhoddes un ddarn o ymadrodd, o waith un o'r Beirdd, a ddaroganai am wneuthur llinynod o ymysgaroedd yr offeiriad olaf, i'w osod o gylch gwddf y brenin olaf. Cododd un arall i fynu, ac a ddywedodd, 'Ië, foneddigion (gan groch-

ffoeddio) yr wyf yn sicr —— mor sicred ag y gwn mai ffŵl oedd Homer.' Gwedi hyn cymmerodd yr ymddiddan agwedd fwy difrifol. Mor fywiog y rhyfeddent, a chyn wresoced y canmolent y chwyldro gwladol a effeithiwyd gan Voltaire! cytunent oll 'ei fod yn ffurfio pelydrau disgleiriaf ei ogoniant. Efe a roddodd y dôn, neu yr acen, i'w oes; cyn gywreinied y trefnodd iddo gael ei ddarllen yn yr ystafell gyffredin, ac yn y gyfarchfa oruchel!' Crybwyllodd un o'r cymdeithion, yr hwn oedd bron a hollti gan chwerthin wrth feddwl am y tro, yr hwn a ddywedasai ei eilliwr, wrth roddi llwch yn ei wallt, 'Gwelwch, Syr (eb efe) er nad wyf fi ddim ond gwas tlawd i ryw eilliwr, nid oes genyf fwy o grefydd na dyn arall.' Penderfynasant y byddai i'r chwyldro gwladol gael yn fuan ei berffeithio; ac mor gymmwys, mor anhepcor, a chyn rheitied yw i goel-grefydd, a phenboethni Cristionogol, roddi lle i Athronyddiaeth. Taflwyd brasamcan ar y cyfrif dedwydd hwn, a phwy o'r cymdeithion oedd yn debyg o fyw i weled teyrnasiad Rheswm yn lle yr Ysgrythyrau. Y rhai oedranus a alarent nad allent ymwenieithio i'w meddwl â'r gobaith o fwynhau y fath hyfrydwch, pan oedd y rhai ieuaingc yn llawenhau yn eu disgwyliad o'i weled. Mor anrhydeddus, a chyn ddedwydded y cyfrifid y brif-ysgol, o herwydd darfod iddynt barotoi at y gwaith gorwych; a chan ei bod yn y cyfamser yn brif amddiffynfa, a chanol-bwynt, ac uchel gynneddf gynhyrfiol rhyddid meddwl.

"Yr oedd un yn unig o'r gwestwyr, yr hwn ni chyfranodd yn nigrifwch yr ymddiddan hwn: darfu hyd yn nod iddo ef, mewn ffordd lonydd, adrodd ychydig o bethau digrif ar Gristionogrwydd. O Cazotte ydoedd, gwr hyglod, yn meddu ar amgyffrediadau anarferol; ond, yn anffodus, wedi pen-ddyrysu peth gyda gwagdybiau y sect a elwid, y *Goleuwyr*. Adnewyddodd yr ymddiddan, mewn modd tra difrifol, yn y modd canlynol:—'Foneddigion (eb efe) ymfoddlonwch; chwi a wyddoch fy mod i yn rhyw faint o brophwyd, yr wyf yn ail-fynegi y gwelwch ef.' Efe a atebwyd, trwy ymadrodd cyffredin, 'nad oedd angen bod yn ddewin mawr i ragfynegi hyny.' Gofynodd ef ym mhellach, 'a oedd ganddynt amcaniaeth pa beth a ddeilliai oddiwrth y chwyldro hwn? Pa beth a ddamweinia i chwi yn bresenol? Pa fath ei gynnydd, ei effeithiau sicr, a'i ganlyniadau?' 'O,' meddai Condereet, gyda chwerthiniad gwirion ffol, a thrymaidd, 'gadewch i mi wybod y cwbl am dano: nid oes gan Philosophydd wrthddadl i gyfarfod â phrophwyd.' 'Chwi, M. Condereet (eb efe) a drengwch ar balmant daear-dŷ, trwy effaith y gwenwyn a gymmerwch i ochelyd llaw waedlyd y dienyddiwr; o'r gwenwyn ag y bydd cyflwr dedwydd yr amser hyny yn peri fod yn angenrheidiol i chwi ei ddwyn oddi amgylch gyda chwi.' Ymddangosodd gradd o syndod: ond wrth feddwl mai breuddwydio yr oedd Cazotte, mor ddiaros y bu; a'r chwerthin a gododd cyn uched ag erioed, gan ofyn iddo, 'pa ddiafol a osododd y daear-dŷ, y gwenwyn, a'r dienyddiwr yn ei ben? pa berthynas oedd rhwng hyny ac Athronyddiaeth, dynoliaeth, a rheswm?' 'Hyny yn gymmwys wyf yn ei ddywedyd wrthych. Efe a fydd yn enw dynoliaeth, a theyrnasiad rheswm, mewn gwrthwynebiad i'r Ysgrythyrau: dan y teyrnasiad hwnw y damweinia y pethau a rag-ddaroganais i chwi. Bydd y pryd hyny, yn wir, yn deyrnasiad rheswm; canys cyfodir temlau i'w anrhydedd. Ni bydd lleoedd o addoliad trwy Ffraingc, ond temlau rheswm.' Dywedodd Chamfort, gyd âg un o'i wênau gwawdus, 'Ni byddwch chwi yn offeiriad yn un o'r temlau hyn.' 'Gobeithio na byddaf; ond chwi a dorwch eich hun ar draws y gwythenau âg ellyn, bedwar dyrnod ar hugain; er hyny byddwch fyw ar ol y cynnygiad rai misoedd.' Edrychasant arno oll, a pharhausant i chwerthin. 'Am danoch chwi, M. de Nicolai, chwi a fyddwch farw ar y ddienydd-glwyd; ac felly M. Baily: ac felly chwithau, M. Malesherbes.' 'O nefoedd,' dywedodd Rowcher, 'mae yn dangos fod ei lidiawgrwydd wedi ei annelu yn gwbl yn erbyn y brif-ysgol; yn awr, yn enw trugaredd, dywedwch fy nhynghedfen innau.' 'Chwi a drengwch hefyd ar y ddienyddglwyd.' Hwy a waeddasant, 'O mae y dialedd yn gyffredinol! efe a ddiofrydodd i'n diwreiddio ni oll.' 'Na wneir, mewn un modd; ond byddwch y pryd hyny yn cael eich llywodraethu gan reswm ac Athronyddiaeth yn unig. Eich dienyddwyr a fyddant oll yn Athronyddion, o'r un iaith ac ymadrodd anghrefyddol a chwithau.' 'O mae yn ein gwatwar ni! canys y mae efe yn wastad yn cymmysgu uthrolion â'i ddigrifolion: mae efe yn edrych yn wastadol megys pe byddai yn myned i'r crogbren.' 'Chwe blynedd nid ânt heibio cyn y cwblheir y pethau hyn oll a ddywedais wrthych.' 'Yn wir, dyma ddigon o wyrthiau,' meddai M. Delaharpe, 'ond ni ddywedasoch ddim o'm tynghedfen i.' Chwi a fyddwch yn wyrth eich hunan, cyn hynoted ag un a ragddywedais. Chwi a fyddwch yn Gristion y pryd hyny.' Croch-floedd a ganlynodd. Dywedodd Chamfort, 'Fy holl ofnau a symudwyd; canys os na fernir ni i ddinystr cyn y delo M. Delaharpe yn Gristion, nyni a fyddwn yn anfarwol.'

"'Am ferched,' ebe y Dduges de Grammont, 'dedwydd ddigon yw nad ydynt yn cael eu hystyried ond fel dim yn y chwyl-droadau hyn.' 'Eich rhyw fenywaidd, Arglwyddesau, ni bydd yn gadwriaeth i chwi. Yr amseroedd hyn ymddygir atoch yr un modd ag at y dynion, ni wneir gwahaniaeth rhyngoch.' 'Ond pa beth yw ystyr hyn oll, M. Cazotte? yr ydych yn pregethu i ni am ddiwedd y byd.' 'Nid wyf yn gwybod mwy am hyny na chwi eich hunan, fy arglwyddes; ond hyn a wn, y bydd i chwi gael eich tywys i'r dienydd-glwyd, gyda llawer o arglwyddesau ereill, ym mèn y dienyddwr, â'ch dwylaw wedi eu cylymu y tu cefn i chwi.' 'Yr wyf yn gobeithio, yn y cyfryw amgylchiad, y caniatêir i mi gerbyd wedi ei orchuddio â galar-wisg.' 'Na chewch, arglwyddes; y fath foddhad a nacêir i chwi: arglwyddesau o uwch gradd na chwi a arlusgir mewn mèn, fel y byddwch chwi, â'u dwylaw yn rhwymedig, fel y bydd yr eiddoch chwithau, i'r un dynged, i'r hon yr arfaethwyd chwi a hwythau.' 'Arglwyddesau o uwch gradd na mi! ai tywysogesau o'r gwaed?' 'Uwch etto.' Yna cymmerodd cyffroad difrifol le trwy y gymdeithas, a gwyneb Meistr y tŷ a wisgodd wedd a dull pruddaidd. Ystyrient eu bod yn gyrru eu digrifwch yn rhy bell. Arglwyddes Grammont, i'r diben o symud y cwmwl, a wnaeth yr atebiad digrif hwn, 'Chwi a welwch na edy efe i mi un offeiriad i gyffesu fy mhechod wrtho.' 'Ni chaniatêir y diddanwch hwnw i neb o honoch, arglwyddesau: brenin Ffraingc fydd yr olaf y caniatêir hyny o ffafr iddo.' Dywedasant yn gyffredin, 'Digon, M. Cazotte, o'r dychymmygion pruddion yna.' Ond arglwyddes Grammont, gan ewyllysio gweithio ymaith yr argraffiadau hyn, a ddywedodd, 'Brophwyd, chwi a ddywedasoch ein tesni ni oll, ond ni chrybwyllasoch ddim am danoch eich hun.' Yn ol rhai mynydau, â'i lygaid yn syllu tu a'r llawr, 'A ddarfu i chwi, arglwyddes, ddarllen am warchae Jerusalem, a adroddir gan Josephus? chwi a wyddoch, yn amser y gwarchae, fod yno ddyn yn myned oddi amgylch amgaerau y ddinas dros saith niwrnod olynol, gan waeddi, 'Gwae, gwae, i Jerusalem; ac i minnau hefyd:' yn yr un foment, taflodd y gwarchaewyr gareg anferthol o faintioli o un o'u magnelau ato, fel y drylliwyd ef yn uffion.' Yna ymgrymodd Cazotte, ac ymadawodd."—Gwel *Simpson's Plea for Religion*, argraphiad olaf.

Mor amlwg y mae 'n ymddangos i ni mai peth niweidiol ydyw bod yn anghrefyddol, o herwydd daeth y farn ar yr anysgrythyrwyr uchod yn ol y daroganiad. Cyn amlyced ac eglured yw, bod yn well dilyn Iesu o Nazareth na Voltaire, na neb o'r rhes hòno. Mor faddiol yw cydffurfio â deddfau Cristionogaeth! Mor oruchel a godidog yw y geiriau hyn, "Ofnwch Dduw, ac anrhydeddwch y brenin!"

*Llangefni.* C. E.

---

## HANESYN CYWIR A NODEDIG.

Cymmerwyd Cadben Harris yn garcharor yn y rhyfel diweddaf rhwng Ffraingc a Lloegr, a danfonwyd ef i *Dunkirk*. Tra yn ei garchar, sylwyd ei fod yn dra isel ei ysprydoedd, ac yn gyffredin yn syn a myfyriol. A phan y daeth gorchymyn oddiwrth y llywodraeth Ffrengaidd i symud y carcharorion i *Versailles* (dros 200 o filltiroedd i fynu 'r wlad) yr oedd ei bryder yn cynnyddu yn fawr. Gan ei fod o dymher wylaidd, cadwodd ei deimladau iddo ei hun: oblegid hyny pwysasant ar ei ysprydoedd. Ond boreu neu ddau cyn iddynt gychwyn eu taith i *Versailles*, daeth Ffrengwr i'r carchar, ac a adroddodd y geiriau rhyfedd canlynol:—"Y mae rhyw ŵr yn y carchar hwn yn isel ei ysprydoedd o eisiau arian. Pwy ydyw, nis gwn; ond y mynyd y gwelwyf ef, myfi a'i hadwaenwn; oblegid yr oedd ei berson, a'i amgylchiadau wedi eu hargraffu ar fy meddwl yn y fath fodd, mewn breuddwyd neithiwr, fel nas gallaf ei gamgymmeryd." Y mynyd y gwelodd y gwr Cadben Harris, dywedodd, "Dyna y gwr." Gofynodd yn uniongyrchol iddo, onid oedd arno eisieu arian? a chyn y gallai dderbyn atebiad, cynnygiodd iddo ddeugain punt. Tarawwyd Cadben Harris â syndod, i ddieithrddyn, a gelyn, mewn gwlad ddieithr, wneuthur y fath gynnygiad i ŵr yn ei amgylchiad. Yna dywedodd wrth ei gymmwynaswr, ei fod wedi bod yn dra anffodus, a'i fod wedi cyfarfod â llawer o anhawsderau yn ystod ei fordaith ddiweddaf;—iddo ef, a'i lestr, gael eu cymmeryd; a'i fod wedi bod yn y carchar dros beth amser;—ei fod wedi disgwyl am arian o Loegr, ond ei fod wedi cael ei siomi; a'i fod wedi gwario y cwbl a feddai, ond pedair ceiniog—a'i fod yn ofni marw ar y ffordd o eisieu bwyd. Ar hyn, erfyniodd y gwr arno gymmeryd y deugain punt; ond ni fynai ond tri *gini*, gan dybied fod hyny yn ddigon, hyd nes y derbyniai arian o Loegr. Yr oedd Cadben Harris yn ofni yr Arglwydd er pan yn fachgenyn, yn saith mlwydd oed. Ar ol i'r Arglwydd ei brofi (ac y mae yn profi pob cyfiawn) cyfododd fel hyn i'w gynnorthwyo, ac a weithiodd ar feddwl dieithr-ddyn a gelyn i dosturio wrtho, pan yr oedd ei enaid yn llewygu o'i fewn. Felly yn gwirio yr addewid ddwyfol, "Megys dy ddyddiau y bydd dy

nerth. Y mae Cadben Harris er hyn wedi bod yn dra llwyddiannus; ac y mae yn awr, neu yr oedd yn ddiweddar, mewn amgylchiadau cysurus. R. AB R.

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

SYR—Onid buddfawr i'n gwlad a'n cenedl fyddai i rai o'ch Gohebwyr dysgedig, ddanfon i chwi, yn awr ac eilwaith, ryw hyfforddiadau buddiol ac ymarferol? Nid yw ein cenedl yn darllen ond ychydig, heblaw y Cyhoeddiadau cylchynol, ac nid oes llawer o amrywiaethau o lyfrau celfyddydawl yn ein hiaith: a drwg genyf na buasai cynnygiad ein cydwladwyr gwladgarol, a gynnwysir yn eich Rhifyn 96, i sefydlu "Cymdeithas Lëenyddol a Chyfieithiadol," yn derbyn croesawiad gwresocach gan ein cenedl. Byddai Cymdeithas o'r fath yn dra buddiol i daenu gwybodaeth lesol drwy ein gwlad, fel y mae y "Gymdeithas er Taeniad Gwybodaeth Fuddiol," y'mhlith y Saeson. I wneuthur i fynu y diffyg yma, danfoned eich Gohebwyr i'ch swyddfa, y fath hyfforddiadau a chynghorion ag y maent hwy wedi eu profi yn fuddiol; anfonent hwynt i'r Gwyliedydd, fel y gwasgarer hwynt drwy ein gwlad, fel y gallont eu gadael fel ewyllys-roddion i'w cenedl, ac fel y caffont y fraint a'r anrhydedd o gael eu côf-restru y'mysg enwogion a chymmwynaswyr Cymru. Wele ychydig, fel engreifftiau, at eich gwasanaeth.——Yr eiddoch, &.

RHWYDDGED.

1. *Cyfarwyddiad i ddarllaw Cwrw yn ol yr arfer gyffredin.*

CYMMERWCH hanner pwn, neu ddau fesur a hanner, o frâg, wedi ei falu yn o fras, a thynwch oddi wrtho oddeutu tri galwyn a deugain o freci, a rhoddwch ato oddeutu dau bwys a chwarter o *hops*, a gwnewch hwynt fel y canlyn:—Ar ol berwi o'r dwfr, agorwch ddrws y pair nes i'r berw beidio, a chymmerwch gymmaint o'r dwfr ag a lanwo waelod y gerwyn i fodfedd neu fodfedd a hanner o ddyfnder, ac yna rhoddwch ynddo beced, neu hanner mesur, o frâg, a chymmysgwch ef â'r dwfr nes ei wlychu. Tywalltwch ychwaneg o ddwfr, a chymmysgwch hanner pec arall, a gwnewch yr un modd nes cymmysgu a gwlychu yr holl frâg. Gollyngwch oddeutu galwyn o'r dwfr drwy 'r yspigod, a thywalltwch ef ar yr wyneb, a thaenellwch ychydig o frâg sych ar y cyfan, a gadewch iddo sefyll wedi ei hulio dros dair awr. Ar ol hyny gollyngwch y breci yn araf i lestr, yn yr hwn y byddo 'r *hops*: dylai 'r *hops* gael eu mwydo o'r blaen mewn dwfr poeth, a phan redo y breci i gyd, tywalltwch ychwaneg o ddwfr o'r un poethder ag o'r blaen, nes y gwlychu y brâg yn hollol. Gwedi iddo aros awr, gollyngwch ef fel o'r blaen, a rhoddwch ef gyd â'r breci cyntaf yn y pair i'w ferwi. Os na bydd oddeutu tri galwyn a deugain o freci, rhaid tywallt ychydig ychwaneg o ddwfr ar wyneb y brâg a'i ollwng allan yn araf. Ar ol berwi y breci yn y pair am awr, tywalltwch ef i llestri llydain (*coolers*) i oeri, a gofalwch na chymmysgir y breci oer â'r brwd; a chymmysgwch ychydig chwartiau o'r breci claear â chwart neu ychwaneg o furym newydd yn ngwaelod y llestr, y bydd iddo weithio, a chwanegwch ato y rhan arall o'r breci, oddieithr ychydig, pan yr oero. Cyn i wyneb y ddiod ddechreu gostwng neu suddo, cymmerwch y burym ymaith, ac yna rhoddwch y ddiod yn y faril; wedi i'w gwaelod gael ei hulio â'r breci a gadwyd i fodfedd o drwch, ac ar ol iddo weithio dros ddeu-ddydd neu dri, gellir cau y bwng neu 'r twll yn llac, ac y'mhen yr wythnos, ar ol rhoddi llonaid llaw o *hops* wedi eu hanner ferwi ynddi, gellir cau y bwng yn gauad. Mewn pedwar mis bydd yn barod i'w thapio. Cofier mai y Gwanwyn a'r Hydref yw 'r tymhorau goreu i ddarllaw.

---

## SYWEDYDDIAETH.

GAN fod y gelfyddyd o Sywedyddiaeth barnedigol, yr hon a ffugia ragfynegu digwyddiadau trwy agwedd, sefyllfa, ac effaith y sêr a'r planedau ar bethau daearol, mewn mwy cymmeriad nag a haeddai, ac heb gael y dirmyg hwnw gan rai dybien ag y mae'n deilyngu oddiwrth bawb—nid anfuddiol fyddai ystyried y gofyniadau canlynol, a bigwyd o ail lyfr *Argenis Barclay*.

Dan lywodraeth Catharine de Medicis, a Harri III. a IV. o Ffrainc, yr oedd rhagfynegiadau y Sêr-ddewinwyr yn rhan gyffredin o ymddiddanion y llŷs brenhinol. Pan gymmerodd Sywedydd, neu Sêr-ddewin, arno i hyfforddi Harri III. ynghylch digwyddiadau y rhyfel ag oedd yn cael ei fwgwth y pryd hyny gan bleidwyr Tŷ

Guise, yn 1588, ymosodwyd arno gan Barclay yn y modd hyn:—

"Yr ydych chwi yn hòni fod amgylchiadau bywyd a marwolaeth yn ymddibynu ar sefyllfa ac effaith y cyrph nefolaidd ar yr amser pan ddelo 'r plentyn gyntaf i'r goleu; ac etto yr ydych yn addef fod y nefoedd yn cylchdroi gyd â'r fath gyflymdra dirfawr, fel y mae sefyllfa y sêr yn cyfnewid gryn lawer yn yr amser lleiaf. Gan hyny, pa sicrwydd a ddichon fod yn eich celfyddyd, oddieithr tybied o honoch fod y byd-wragedd bob amser yn ofalus i edrych ar yr awrlais, fel y gellir trosglwyddo y mynyd o'i amser i'r plentyn, megys y gwneir â'i etifeddiaeth? A pha mor fynych y mae perygl y fam yn rhwystr i hyn? A pha gynnifer sydd a'r nad ydynt yn ystyried y goelgrefydd hon? Ond, a gadael eu bod mor wyliadwrus ag yr ewyllysiech, os bydd y plentyn yn hir yn yr esgoreddfa, pa ansawdd o eiddo y sêr sydd i derfynu yn ei achos? Nid wyf yn dywedyd dim am gyfeiliornadau yr awrleisiau yn gyffredin, &c. yr hyn sy ddigon i faeddu eich holl ofalon! Drachefn, paham yr ydym i sylwi ar sefyllfa y sêr ar amser ei enedigaeth yn unig, ac nid yn hytrach eu hagwedd pan fywhawyd y plentyn cyntaf? a phaham y rhaid cau allan y rhai oeddynt yn llywodraethu tra yr oedd y corph yn dyner, ac yn addas i dderbyn yr argraffiad gwanaf ar amser y beichiogiad. Eithr gan osod hyn heibio, a gadael fod wyneb y nefoedd yn hollol adnabyddus, o ba le mae 'r llywodraeth hon ar ein cyrph, ac ar ein meddyliau yn deillio, yn gymmaint a'u bod hwy yn rheolwyr ar ein dedwyddwch, ein dull o fywioliaeth, a'n marwolaeth? A anwyd yr holl rai a aethant i'r frwydr, ac a fuant feirw ynghyd, dan yr un agwedd o'r cyrph nefol? A phan gyfrgollir llong, a raid na fyddo ynddi neb mynedolion, neu fforddolion, ond y rhai a ddedfrydwyd gan y sêr i ddioddef llong-ddrylliad? Neu, yn hytrach, onid yw y dynion a anwyd dan bob planed yn marw y naill fel y llall? Drachefn, nid yw pawb a anwyd dan yr un sefyllfa o eiddo y sêr yn byw, nac yn marw yr un modd. A yw pawb a anwyd ar yr un pryd a'r brenhin yn bennadurriaid? neu a ydynt hwy oll yn fyw heddyw? Sylwch, M. Villero, yma edrychwch arnoch eich hun; a oedd pawb a ddaethant i'r byd gyd âg ef mor ddoeth a rhinweddol âg ef? neu, a yw pawb a anwyd dan eich sêr chwi yn Sywedyddion, megys chwi? Os lleddir un gan yspeiliwr, a ddywedwch chwi ei fod wedi ei dynghedu i farw dan law yspeiliwr? Eithr a oedd yr un sêr ag oeddynt yn llywodraethu pan anwyd y teithiwr yn ei ddarostwng ef i gleddyf yr yspeiliwr? hefyd, a roddasant hwy allu a thuedd i'r yspeiliwr, yr hwn, ysgatfydd, a anwyd yn hir o'i flaen, i'w ladd ef? canys chwi a addefwch ei fod yr un mor ddyledus i effeithiolaeth y sêr fod un yn lladd, ac arall yn cael ei ladd. A phan leddir gwr gan gwymp tŷ, a yw muriau y tŷ yn feius o herwydd fod y sêr wedi ei ddedfrydu ef i farw felly? neu, yn hytrach, onid oedd ei farwolaeth yn ddyledus i hyn, sef fod y muriau yn feius?—Gellir dywedyd yr un peth am anrhydedd a galwedigaethau. O herwydd fod y sêr a ymddisgleirient ar enedigaeth dyn yn addaw dyrchafiad iddo, a allasai y rhai hyn reoli dynion ereill a anesid oddi tanynt, a thrwy y rhai y dyrchafwyd ef? neu pa fodd y mae 'r sêr llywodraethol ar enedigaeth un dyn yn diddymu effaith sêr ereill a lywodraethent ar enedigaeth dyn arall? Y gwirionedd yw, a gadael nad yw effaith yr holl alluoedd planedol ar yr haul, yr hwn sy'n tywynu ar rifedi dirif o gyrph â'r un pelydr, yn gadael yr un effaith ar bawb—ond fod rhai pethau yn cael eu caledu trwy hyny, megys clai; ereill eu tyneru, megys cwyr; rhai cyrs a feithrinir, ac ereill a ddinystrir; y llysiau tyner a losgir, ac ereill, trwy eu garwach nodd, a ddiogelir:—felly, lle y genir cynnifer o blant ynghyd, fel maes a fyddo wedi ei drin amryw ffyrdd, yn gyfatebol i wahanol reddf-dueddiad iechyd ac anian y rhïeni, rhaid i'r un effaith nefolaidd weithredu mewn modd gwahanol. Os bydd yr anian yn gymhesur, ac yn hynaws, rhaid iddi lywodraethu; os i'r gwrthwyneb, ni wna ond ei ddiwygio. Ac felly, i'r diben i ragfynegu bywyd a moesau plentyn, rhaid i chwi edrych, nid yn unig ar y nefoedd, ond ar y rhïeni hefyd, i'r amgylchiadau cydfynedol â beichiogrwydd y fam, a mil o amgylchiadau ereill.

"Yr ydych yn ymffrostio llawer am gyflawniad ychydig o'ch rhag-ddywediadau, heb ystyried y lliaws sydd heb eu cyflawni, a'r rhai a egfur ddangosent anghywirdeb eich celfyddyd. Cuddir ac anghofir myrddiwn o dwylliadau, er mwyn wyth neu ddeg o'r rhai a lwyddasant. Y'mhlith cynnifer o antur ddychymmygion, tra rhyfedd fuasai iddynt oll droi allan yn dwyllodrus: ac y mae yn sicr nad oes genych achos i ymffrostio, pe ystyrid chwi fel dychymmygwr yn unig; canys bychan yw eich llwyddiant. A wyddoch chwi beth a ddigwydd i Ffraiac yn y rhyfel hwn—ac etto nid ydych yn gwybod yr hyn a ddigwydd i chwi eich hunan? A ragwelsoch chwi y gwrthwynebiad a wneuthum i chwi y dydd hwn? Os gellwch ddywedyd y maedda y brenin ei elynion, mynwch wybod yn gyntaf a gred efe chwi."

Dylai dynion fedru ateb yr holl ofynion hyn, ac nid rhai o honynt, cyn ymddiried mewn rhagfynegiadau sywedyddol.

## YR HAF.

Lluniwr anian, a Chrëwr mawr y byd,
A Rheolwr pob peth îs ac uwch y rhod;
Rhyfeddawl iawn yw dy weithredoedd o
I'w gweled drwy y greadigaeth lân.
Olwynion natur, yn eu dirgel daith,
Ynt oll yn troi wrth dy orchymyn di.
Y bydoedd fry yn y ffurfafen fawr,
A throellawg gylch yr haul sydd yn dy la
A chydgyssylltaist hefyd wrth y rhai'n
Dymhorau'r flwyddyn, yn eu dirgel dro.
Mae'r Hâf, a'r holl dymhorau yn eu c
Yn datgan mawredd dy oruchel law;
Ac yn cyhoeddi dy fodoliaeth wiw,
Tu hwnt i ddeall doeth a phenaf dyn.
Yn ol i'r gauaf dduoer ado 'n bro,
Daeth olwyn amser yn ei phrysur daith
A'r gwanwyn i oreuro 'n hyfryd dir;
Ac ar ei ol yr hâfddydd teg ar hynt,
Trwy law y Rheolydd ac anfeidrol Fod.
Fe ddaeth yr haul mal cerbyd aur yn nes,
O ystafelloedd pell y dean draw,
Gan rodio trwy'r asnrawl oror fry,
Goruwch terfyngylch y gogleddol dir.
Mor hyfryd ydyw rhodio yn yr Hâf,
Ar hynt i gribog ben y mynydd draw,
A dwys olygu ar y dyffryn brâs,
A wisgwyd oll â blodau heirdd eu drych.
Yr huan welaf mal gyrfäol gawr,
Heb orphwys yn olwynaw yn ei daith;
Gan roddi maeth i bobpeth trwy y byd,
A chydgynnyrfu natur trwyddi oll.
Y coedydd ynt gan ddail a blodau heirdd,
Yn gwisgo wyneb maith yr ardal lwys;
A chwäon pêr mal o dir Seba sydd
O'n deutu 'n llenwi 'r nwyfre faith i gyd.
O Gymru lwysdeg oror hardd eu gwedd:
Nend harddach wyt na bro Aonia gynt.
Mor hyfryd yw dy hâfddydd araul di,
I fyfyrio ar waith ein Crewr glân.
Tra'n rhodio ar hyd dy fryniau teg,
Fe dreigla 'r dyfroedd o dy gribog ban;
A'n hyfryd lwys beroriaeth sia 'n fwyn,
Wrth lithraw trwy agenau 'r creigiau certh,
Yn eu rhedegfa tu a'r dyfnfôr mawr.
Y llynau 'n heirdd i'r olygfa y sydd,
Mal gwastad wydr yn ddysclaer trwyddynt
Heb unrhyw chwa gynhyrfa 'u dyfrawl we
Heirdd argraffiadau natur welir yn
'ryfrithaw eu gwynebpryd glwysdeg hwy;
Y coed, y blodau, ynghyd â'r llysiau llon,
Y creigiau certh, a'r awyr lâs o gylch,
A ateb-liwir mewn naturiol ddull,
Yn nrychau mawrion y dyscleiriawl ddwfn.
'r afon rêd yn ei throedig hynt,
'rwy faith wastadedd yn yr eang fro;
.mryliw flodau, ynghyd â gwyrddlâs wellt,
. llwyni o goed, orchuddia 'i glânau hoff.
' brithyll chwyrn â'i edyn aur y sydd,
'n prysur wiblo trwy y dyfrawl ban;
el saeth ehed o gwr i gwr i'r dwfr,
an ei aredig yn ei gyflym daith.
aeth hâf deyrnasiad mewn breninawl rwy
'i fantell werdd i hardd goroni 'n tir:
ynnydda 'r coed a'r dail ar lethrau 'r fron;
gog a gân ar ben y clogwyn draw;
wenol heda trwy yr awyr lâs;
'r pysg sy'n prysur chwareu yn y llyn;
r adar wibiant trwy goedawg fron,
nythant rhwng canghenau 'r prydferth wy
r ŵyn chwareuant ar y mynydd bàn;
'r bugail lefa oddiar y cribog fryn,
wylltio 'i braidd i ben y moelydd serth.
Y boreu, cyn cyfodi o ffynon gwres
ei ddwyreiniawl ystafelloedd pell,
ngyna 'r cyflym wlith i lawr o'r nen,

Trwy rym a nerth ryw dan-ddaearawl dân.
Ymwylltia 'r mellt trwy wyllwch maith y nen,
A gwlaw llifeiriawl ddisgyn ar y wlad.
Y prudd 'nifeiliaid syn edrychant ar
Y cynnwrf gwyllt sydd trwy-ardalau 'r nef.
A dyn yn ofnus gwyd ei olwg fry,
A chryn wrth feddwl am y gallu mawr
Sy'n marchog ar adenydd maith y gwynt.
Bolltau y daran rwygant goed yr allt,
A'r dderwen fawr sydd yn holltiadau i gyd,
A'i heirdd ganghenau rwygwyd ymaith oll,
Nid oes o honi 'n awr ond boncyff noeth.
Pistylla 'r dyfroedd o'r uchelder maith,
Fel dylif mawr yn rhedeg dros y byd;
A rhuthra i lawr o gribau 'r bryniau draw,
Tros y clogwyni a'r rhaiadrau certh,
Ac a chwibana trwy agenau 'r graig.
Yr afon fawr sydd yn y dyffryn teg,
Ymchwydda drosodd o'i chynefin wâl,
Ac a ysguba bob peth yn ei ffordd
I eigion coll na welir mwy.
'R amaethydd wel o ddrws ei annedd glyd,
Ei wair yn prysur nofio gyd â'r llif,
A'i wartheg teg yn gylchynedig gan
Y dyfroedd mawrion yn y wastad ddol;
Ond yno eu gedy hwynt hyd amser gwell,
Rhag iddo 'i hunan fyned gyd â'r dwfr.
Mantellau duon a chymylau 'r nen,
A yrir yn eu hynt i'r dean pell;
Adlona 'r dydd 'n awr yn ei wênawg hwyl,
A'r wybren ddengys ei hasurawl wedd,
A'r haul 'n ol iddo techu fel tan gudd,
Trwy ystod y terfysglyd ruthrgyrch mawr,
A brysur lwybra trwy yr asur fro;
Mae natur wedi dychwel fel o'r blaen;
A'r gwlaw a roddes adnewyddiad gwedd
I'r gwellt, a'r llysiau grinwyd gan y gwres.
Fel hyn mae rhagluniaeth yn ei threfn,
Yn gwneuthur pob peth oll yn ddoeth a da;
Gyru 'r mellt a'r taranau yn eu tro,
I buro 'r awyr a ffrwythloni 'r tir.
Y meusydd eang yn yr isel dir,
Sy'n llawnion oll o drugareddau 'r Iôr;
Yr ŷd a leinw eu gwastadedd mawr,
Gan ffrwyth yn crymu ei goronawl ben;
Ac fe'i addfedir gan y gwres yr hâf,
At y cynhauaf sydd y'mron wrth law.
Yn awr mae 'r dydd yn darfod yn ei hynt,
A'r haul fachluda 'n y gorllewin gaer,
Gan wneud y terfyngylch mal rhidens aur,
Wrth ein gado a myned yn ei daith,
I loni bröydd y gwrthdroediaid draw.
Fel hyn mae amser yn dirwyna y'mlaen,
Dymhorau 'r flwyddyn naill ar ol y llall;
A phob peth lyncir ganddo cyn pen hir,
I drag'wyddoldeb maith na welir mwy.

G. ab Gwilym Padarn.

---

## PENNILLION.

### GALWAD AR DDYN I GYDNABOD DAIONI RHAGLUNIAETHOL DUW.

Cenir ar y Dôn "*Calon Derwen.*"

Wel, rhwymau neillduol dilynol da lun,
Sydd arnom eleni heb oedi bob un,
Roi mawl a chlodforedd anrhydedd i'r Hwn
A gadwodd ein bywyd o'benyd mawr bwn:
Ein Duw, nefol Dad, yw rhoddwr yr hâd,
Rhoes dymmor i'r hauwr i'w gasglu 'n dda 'i gyflwr
I'r 'sgubor, mae 'n swewr ymg'leddwr i'n gwlad:
Dwys alwad, Ef sydd yn deilwng bob dydd,
O'i ganmol yn bendant, am roddi 'r fath lwyddiant
I'w gasglu 'n iach borthiant, iawn fwyniant in' fydd.

Mae awdwr (Iôr odiaeth) rhagluniaeth heb gloi
Mo ddrws ei drugaredd, mwyn rhyfedd mae'n rhoi:
Am danom fel teulu gofalu mae fe,
Ystyriol dosturi, a'n lloni 'n ein lle:
Yn gysson o'r gwys darparodd ein pwys,
Modd hoffus amddiffyn, heb luddias bob blwyddyn,
Rhag niweid rhwyg newyn a dychryn hir dwys:
Brwd heulog bryd-nhawn, hel ini 'n hael iawn,
Gochelwn ei drenlio mewn angof o hono,
Diolchwn am iddo arlwyo mor lawn.

Mae 'n annog i ninnau trwy 'n dyddiau 'n ddidwyll,
Fyw iddo 'n wirfoddol wybodol wiw bwyll;
Ar dir cyfyngderau mae 'n breintiau heb ri',
Rhai dilys mewn dyled am nodded ym ni:
Hin ddiddan hon ddaeth o'n meusydd er maeth,
Fe roddodd i raddau dymherus dymhorau,
Oedd reidiol i'r ydau a'i gnydau da gwnaeth:
Cydsylwn caed sail, na welwn ei ail,
Gallasai roi tywydd, niweidiol gawodydd,
Anrheithio holl ffrwythydd ein dolydd yn dail.

Mae ganddo awdurdod, ein cysgod a'n cefn,
Ar nefoedd a daear, eu trydar a'u trefn;
Gallasai orchymyn i'r newyn mewn awr,
Ein tori o'n tiroedd yn lluoedd i'r llawr;
Preswyliwn fel saint, cyfrifol eu braint,
Gwarchododd ni 'n dawel, a digon diogel,
Pan yswyd rhai 'n isel trwy 'r rhyfel a'r haint:
Mae 'r gwr a'r march gwyn, trwst hardd nid trist hyn,
A'i gamrau trwy Gymru 'n doeth radol weithredu,
Ewyllys ei allu heb fethu a fyn.

Amgylchodd ein teyrnas rym addas fel mur,
Ni chadd neb ein 'speilio na 'n darnio â dur:
Pa le mae 'r bygythion arwyddion un radd,
A'r newyn byddinog, un llidiog yn lladd?
Rhyw bryfaid rhai brwd, am gnoi y mawr gnwd,
A gadwodd o'n hynys rhag difa y tywys,
Locustiaid a lindys a'r hysbys bryf rhwd:
Ei gynnydd oedd gain, dymunol, nid main,
Ni chafodd wrth dyfu gan chwyn ei orchfygu,
Gan ysgall ei wasgu, na'i dd'ryssu gan ddrain.

Er haeddu cael profi caledi cul oes,
Ni chawsom er hyny un lewyg na loes;
Cyflawnder o ymborth yn gymmorth di goll,
At gynnal ein bywyd a'n hiechyd ni oll:
Un tyner o'n tu yn fanwl a fu,
Er cymmaint angenrhaid ei holl greaduriaid,
Pysg, hediaid, ymlusgiaid, ac enaid, waith cu:
Pob gwrol pob gwan, ymrodded am ran,
O'r dwfr a dyr syched, a'r bara sy'n gwared
Yr enaid, nes myned o ludded i'r lân.

O drysor yr arfaeth darpariaeth i'n pyrth,
Wiw gyfoeth a gafwyd, arweiniwyd mawr wyrth;
Ar faes yn Judea caed bara i'r byd,
At gadw 'r dlawd eppil anghynil ynghyd:
Ca'dd helynt, ca'dd hin gableddus, dra blin,
O Fethlem, dref brydferth, i Galfari anferth,
Deddf uniawn a gymmerth fawr drafferth i'w drin;
Bu 'n foddlon heb feth, cawn drwyddo 'n ddi dreth,
Wych wisgoedd a chysgod, maddeuant am bechod,
Tangnefedd diddarfod, pur, parod, pob peth.

Gwaeddasom, do beunydd, am gerydd trwm gur,
A chwpan o waddod nen sorod go sur:
Ar wledydd pan ddigiodd anfonodd ei farn,
Dinasoedd a ddrylliodd a sengodd yn sarn:
Glyd frodir gwlad fras, da ryddid o'i ras,
A roes ini 'n dirion—darfydded arferion
Sy'n peri gwasgfeuon a chwynion a chas;
Edrychwn heb drais, beth genym a gais,
Ond ufudd gymmodi, a'i ddilesg addoli,
Gan wrandaw 'n ddiwyrni eleni ei lais.

Rhoes hylwydd gynhaliaeth, tew doraeth, Tad yw,
Rhoes ini 'n lle melltith ei fendith i fyw;
O ffordd y gwirionedd ein buchedd sy bell,
Rhaid cael etto 'n rhagor egwyddor fo gwell,
I'n dysgu nes dod yn nes at y nod,
Dychwelwn ni 'n ebrwydd i rodio 'n ddi w'radwydd,
Ar heol sancteiddrwydd addfedrwydd iawn fod:
Ein diolch nid â i'r nefoedd, ni wna
Ei dderbyn gan dafod, os na bydd o waelod
Y galon yn dyfod, a'r ddefod yn dda.

## TERFYSG YN FFRAINC!!

Gwyddis yn dda fod nifer llïosog o drigolion y wlad hon yn sychedu am ryfel; a chyn gynted ag y daeth y newydd fod Warsaw wedi cwympo, cyfodwyd terfysg yn Paris lled cyffelyb i hwnw a dorodd allan ym mis Gorphenaf, 1830. Ymgasglodd y terfysgwyr at eu gilydd o pob parth o'r ddinas, nes y cynnyddasant i amryw filoedd. Gwisgasant alar-we *(crape)* ar eu breichiau, ac aethant i dŷ prif-weinidog y brenin, gan groch-floeddio, "*Viva la Pologna!*" ac, "I lawr â'r Gweinidogion!" &c. Torasant ffenestri amryw o'r gwyr mawr, a chlwyfwyd amryw bersonau. Yr oedd y milwyr yn ymgasglu i'r ddinas, a phob peth yno yn y cynnwrf a'r cythrwfl mwyaf.

---

## NEWYDDION CARTREFOL.

### SESSIWNAU CYMRU.

*(Parhad o du dal. 284.)*

Swydd Ddinbych.—Dydd Mercher, y 3ydd o Awst, aeth y Sirydd, Wilson Jones, Yswain, o Gelligynan, ynghyd â lluaws o'i gyfeillion, i gyfarfod Barwn Bolland, yr hwn a gyrhaeddodd dref Rhuthin yn yr hwyr. Boreu dranoeth aethant i'r Eglwys, ac oddi yno i'r Llys, lle y cyfarchwyd yr Uchel-reithwyr gan ei Arglwyddiaeth. Llawenhâi yn fawr wrth weled fod nifer y carcharorion mor fychan.

*Joseph Morris*, o Wrecsam, bachgen 17 oed, a gyhuddwyd o geisio 20 Punt oddiar Mr. John Sadler, ysgrifenydd Mr. Lloyd y Banc yn Ngwrecsam, drwy *note* ffugiol. Cafwyd ef yn *euog—6 mis o garchar.*

*Edward Roberts*, o Wrecsam, am ladrata dryll o dŷ Robert Barrat o Acton.—*Euog—Naw mis o garchar.*

*William Davies*, o Wrecsam, a gafwyd yn euog o ladrata dwy hwyaden, o eiddo Margaret Maxwell o Gresfford; a challawr pres, a phadell-ffrio, eiddo R. M. Lloyd, Ysw. o Wrecsam.—*Chwe mis o garchar.*

*William Freeze* a gafwyd yn euog o ladrata pâr o hosanau gwlan, o eiddo Robert Roberts o'r Clwt, y'mhlwyf Llansanan.—*Tri mis o garchar.*

*Elizabeth Roberts*, o Riwabon, a brofwyd yn euog o ladrata pâr o esgidiau oddiar Richard Morris, gwas i Mr. Edward Hughes o Bentre'r felin.—*Mis o garchar.*

**Ffynon Elian.** *John Evans* a gyhuddwyd o dderbyn saith swllt oddiar Elizabeth Davies, drwy gymmeryd arno y gallai iachau ei gwr, Robert Davies, o'r afiechyd a'i blinai, wrth dynu ei enw allan o'r ffynon.

*Elizabeth Davies* a dystiodd fel hyn: Y mae fy ngwr wedi bod yn afiach am lawer o flynyddoedd. Clywais am rinweddau Ffynon Elian. Teithiais 22 filltir i ymgyngori â'r carcharor, yr hwn oedd yn oruchwyliwr y ffynon. Gofynais iddo a oedd enw fy ngwr yn y ffynon; atebodd, na wyddai yn iawn, ond yr anfonai i edrych. Danfonodd eneth fechan, yr hon a ddychwelodd gyda dysglaid o gerig bychain, a llechau wedi eu nodi âg amrywiol lythyrenau. Edrychodd arnynt, a dywedodd nad oedd enw fy ngwr yn eu plith. Anfonodd yr enethig yr ail dro, yr hon a ddychwelodd gyd âg ychwaneg, y rhai a daflwyd ar y bwrdd; a gwelais gareg â'r llythyrenau R. D. a thri croes arni. Dywedais, ai hwn yw enw fy ngwr? atebodd yntau, ie. Dywedais nad oeddwn i ddim wedi fy moddloni, a gofynais a oedd enw fy ngwr mewn llyfr. Atebodd y carcharor, "Ni roddais i mo enw eich gwr yn y ffynon, onidê buasai hefyd yn y llyfr, ond dangosai y dwfr pa un ai ei enw ef oedd efe ai peidio." Aethom at y ffynon, yr hon sydd yn yr ardd yn agos at dŷ y carcharor. Cymmerodd ychydig o ddwfr allan o'r ffynon, a dywedodd, "Y mae y dwfr yn troi ei liw, enw eich gwr ydyw yn ddigon sicr." Gofynais pa faint a gostiai i mi i dynu enw fy ngwr allan o'r ffynon; dywedodd mai deg swllt oedd y pris isaf. Dywedais wrtho nad oedd genyf ddim arian, ond y gallwn ddyfod â hwynt drachefn. Gofynais genad i fyned â'r gareg adref, rhoddodd ganiatâd i mi; ond nid oeddwn i'w dangos hi i neb yn y byd. Gofynais pa beth a wnawn â hi, atebodd, "*Rhaid i chwi ei malurio hi, a'i rhoddi hi gyd âg ychydig o halen yn y tân!*" Wedi hyny aethum adref. Ym mhen deufis aethum yno drachefn gyda W. Davies, fy mrawd y'nghyfraith. Yr oedd y carcharor yn groes iawn am fy mod wedi hysbysu yr amgylchiad i Mr. Clough, Ynad Heddwch; ond dywedodd y gwnai rywbeth imi er mwyn fy mrawd y'nghyfraith. Dywedodd y byddai raid i mi gael costrelaid o ddwfr y ffynon, a rhoddi naw swllt am dano. Cytunais âg ef am saith swllt: "Yr hyn (eb efe) raid i chwi roddi i'r ffynon." Rhoddais yr arian i'r ffynon, ond cymmerodd y carcharor hwynt, a dododd hwynt yn ei logell. Yna swniodd y carcharor ryw eiriau, y rhai oeddynt yn debyg i Ladin, ond ni allwn ddeall dim ond enw St. Elian. Y carcharor a ddywedodd fod yn rhaid i fy ngwr gymmeryd y dwfr dair noswaith olynol, a'r un pryd ddarllen allan ran o'r 38 Salm. Gofynais iddo pwy a roddodd enw fy ngwr yn y ffynon, ond ni fynegodd i mi; eithr dywedodd, os dymunwn i, y rhoddai efe y gwr hwnw yn y ffynon, ac y dygai arno pa glefyd bynag a ewyllysiwn i. Telais y saith swllt iddo.

*William Davies*, gwniedydd o Dreffynon, brawd y'nghyfraith Elizabeth Davies, a gadarnhaodd ei thystiolaeth hi o barthed yr ymddiddan fu rhyngddi a'r carcharor.

Y carcharor, yn ei amddiffyniad, a ddywedodd na ddarfu iddo ef erioed anfon am neb i ddyfod i'r ffynon, ac ni ddywedodd fod unrhyw rinwedd yn y dwfr: ond os oedd rhyw un yn credu fod, ac yn ewyllysio rhoddi arian iddo ef, derbyniai gymmaint ag a roddent hwy. Cafwyd ef yn *Euog*. Y Barnydd a ofidiai yn fawr fod dynion mor ofer-goelus ac mor anwybodus ag i gredu y gallai dyn drwy y fath foddion leihau neu drymhau clefyd ar ddyn arall. Dyfarnwyd y carcharor i *Chwe mis o garchar, a llafur caled.*

Yr oeddym yn meddwl fod yr Ysgolion Sabbothol, a'r Cyhoeddiadau Misol, wedi goleuo meddyliau ein cydwladwyr i'r fath radd ag i beri iddynt anghredu a dirmygu rhinweddau Ffynon Elian, a phob ffynon sanctaidd arall. Ond ymddengys i ni gamsynied; ac yn wir yr oeddym yn cywilyddio wrth ddarllen yr hanes am y profiad uchod yn y Newyddiaduron, oblegid bydd hwn yn destyn gwawd i'n cymmydogion y Saeson i chwerthin am ben gwerinos Cymru. Nid oes, efallai, nemawr un o'n darllenwyr na chlywodd am rinweddau digyffelyb Ffynon Elian, ac am gastiau yr adyn sydd yn awr y'ngharchar Rhuthyn; etto er daigddio ei ddrygioni yn mhellach, ychwanegwn yr hyn a ganlyn am y modd y twylla y dihiryn hwn ei gydwerinos. Rhoddai nifer o gerig bychain, a llechau, yn Ffynon Elian, ac amrywiol o lythyrenau wedi eu ffurfio arnynt. Wedi iddo glywed fod rhywun tlawd yn glaf, neu yn anffodus gyd â'i wartheg, &c. danfonai hysbysiad iddynt fod eu henwau yn y ffynon; ac na lwyddai dim i'w hiachâu, neu i adferu eu llwyddiant, heb iddynt yn gyntaf gymmeryd eu henwau allan o'r ffynon. Hawdd gwybod nad ellid gwneuthur hyny heb arian: a channoedd o bobl anwybodus a deithient ar draed 30 neu 40 o filltiroedd i symud y felldith, a mawr fyddai eu gofid calon hwynt nes iddynt wneuthur felly. Ac nid twyllo dynion oedd yr unig ddrwg a achosai y carcharor drwg ei arferion cythreulig, eithr cymmerai arno, fel ei flaenoriaid, fod

am ein cyflogau; arosasom yn y peiriant-dy am enyd maith, nes daeth y terfysgwyr i'n hymlid ni oddi yno. Cydiasant ynom, a rhegasant ni; a llawer o honynt a'n tarawsant ni a'u ffyn; oni buasai y dyrfa, syrthiaswn i yn fynych. Wedi hyn daeth y terfysgwyr a ni yn ol i'r dref: rhoddasant i ni Ddeunaw Swllt yn y *Miners Arms'* yn y dref, i'n cludo adref; a chymmeraeant ni at ben y dref, gan floeddio o hyd. Aethant a ni trwy Lanergain a Fflint i Fagillt, gan floeddio ar hyd y ffordd. Dywedasant, os dychwelem ni, y byddent hwy yn sicr o'n lladd; yr oedd arnom ofn am ein heinioes.

*Elizabeth Price.* Joseph Price, fy ngwr, yw goruchwyliwr gwaith glo Bromfield. Deffrowyd fi ar y 6ed o Orphenaf, oddeutu hanner awr wedi tri o'r gloch y boreu, gan lonaid y tŷ o ddynion yn tyngu ac yn rhegu. Dywedasant y mynent hwy gael y dynion o Sir Fôn allan o'n tŷ ni. Yr oedd llawer iawn tu allan i'r tŷ; bloeddiasant ar fy ngwr, Dowch allan, yr hen ——! Yr oedd y carcharorion, Wynne a Holley gyd a'r terfysgwyr yn ymyl porth Mr. Dodd. Clywais Wynne yn dywedyd, os elai efe ar ol ei gwr, y gwnaent hwy ei adnabod. Gwthiasant fy ngwr, a bloeddiasant drwy y dref. Wylais, ac erfyniais arnynt adael fy ngwr yn llonydd, a gadawsant ef yn llonydd.

*Joseph Price.* Yr ydwyf fi yn oruchwyliwr ar waith glo Bromfield. Gwelais nifer o ddynion yn fy nhŷ ar y 6ed o Orphenaf. Dywedasant iddynt ddyfod i gymmeryd dynion Sir Fôn ymaith. Rhegasant fi, a dywedasant y cawn innau hefyd fyned; gwthiasant fi ar hyd y ffordd at dŷ Mr. Dodd. Yr oeddwn i yn myned tu a'r tŷ pan y rhedasant ar fy fy ol, ac y daliasant fi. Wedi iddynt fy ngollwng i ymaith, mynegasant i mi y deuent hwy drachefn i'r Wyddgrug ym mhen y mis; ac os nad ymddygwn i yn addas, y byddai raid i mi edrych ati. Dywedais wrthynt, y byddai ganddynt bell ffordd i'm danfon i adref, am mai Gwyddel oeddwn. Yna, ebent hwy, rhaid i chwi fyned i'r Iwerddon.

*Richard Simon.* Ar y 6ed o Orphenaf daeth Holley at fy nhŷ i, a gofynodd i mi ddyfod allan i siarad a'r glowyr a berthynent i'r Undeb. Naceais fyned, a daeth ataf drachefn. Bum yn gweithio yn ngwaith glo Bromfield, a rhybuddiasant fi rhag myned i waith pobl ereill. Edward Williams a minnau a ddiangasom drwy y drws cefn.

*Simon Jones.* Yr oeddwn i yn gweithio yn ngwaith glo Bromfield ar y 6ed o Orphenaf. Wrth fyned at fy ngwaith oddeutu pedwar o'r gloch, clywais gynnwrf mawr, a dychwelais yn ol. Saith neu wyth o ddynion a'm dilynasant i a dyn arall, a gorfu arnom fyned gyda hwynt at y gwaith. Y terfysgwyr a'm cymhellasant i fyned gyda gwyr Sir Fôn drwy y dref; yr oeddynt yn ddigon heddychlawn; gwthiasant ni o'u blaen, a bloeddiasant ar ein hol; ymlidiasant ni hefyd drwy Lanergain a Fflint, ac yma rhoddasant i ni fwyd a diod yn y dafarn. Y terfysgwyr a ddywedasant wrthym, os troem ni ein hug anau y tu chwith allan, a'u gwisgo hwynt, fod rhyddid i ni fyned adref; ac yn hytrach na myned ym mhellach, gwnaethom felly.

*Mr. Jervis,* ar ran y carcharorion, a ddywedodd, gan fod pob anghydfod rhwng y glowyr a'u meistriaid wedi terfynu, meddyliai y buasai yn well iddynt beidio eu dwyn hwynt ger bron y Llys, yn hytrach na chynddeiriogi y glowyr. Yn gyntaf, yn nghylch y terfysg: rhaid fod dychryn ar y trigolion cyn y gellir ei gyfrif yn derfysg. Y cyhuddwr ei hun a ddywedodd iddynt ei adael ef yn llonydd, ac nid oedd ond un fenyw a dyngodd ei bod wedi dychrynu. Cyn y gellir cysylltu y carcharorion a'r terfysg, rhaid profi eu bod hwy yn brysur ynddo. Efallai iddynt hwy nno a'r dyrfa yn ddifeddwl, ac nid oedd dim prawf eu bod hwy yn ddiwyd yn y terfysg. Galwai dystion cyfrifol o blaid y carcharorion; a chan fod ammheuaeth o'u heuogrwydd, hyderai y derbynient fantais oddiwrth yr ammheuaeth, ac oddiwrth eu nodweddiad da.

Y Barnydd a ddymunai ar bawb gofio fod gan bob meistr awdurdod i ddewis y gweithwyr a ewyllysiont; ac wedi iddo gytuno a hwynt am gyflog, nid oedd gan neb awdurdod i gydluno a'u gilydd a chymhell y llafurwyr i adael gwaith eu meistr. Pe byddai i nifer o ddynion (dros dri) wneud felly byddai hyny yn derfysg, hyd yn nod pe byddai iddynt wrth ymgyrchu felly ddim ond dychrynu y trigolion, heb fod yn euog o'r weithred leiaf o greulondeb. Drwg oedd ganddo glywed fod corph y dynion cam-arweiniedig hyn yn perthyn i Undeb; diben yr hwn ydyw, nid i gynnal gweithwyr pan fyddont allan o waith, ond eu cymhell hwynt i adael eu gwaith pan yr ewyllysiont hwy. Yr oedd yn rhwym i hysbysu y Rheithwyr fod y cyfarfod cryhwylledig yn derfysg; a'r unig beth iddynt hwy ystyried oedd hyn, a oedd y carcharorion yn brysur yn y dyrfa derfysglyd.

Y Rheithwyr a gawsant y carcharorion oll yn *Ddieuog!!* Y Barnydd a gyfarchodd y carcharorion, a gobeithiai y dychwelent at eu teuluoedd, ac yr ymddygent o hyn allant fel dynion heddychol, a deiliaid ffyddlon.

---

## Y SENEDD.

TY YR ARGLWYDDI.—Cafodd Ysgrif Archesgob Caergaint, er dwyn ym mlaen y Diwygiad Eglwysig, ei darllen yr ail waith, a disgwylir y bydd iddi gael derbyniad ym mhen ychydig ddyddiau.

TY Y CYFFREDIN.—Cafodd Ysgrif y Diwygiad ei darllen y drydedd waith. Gwnawd ychydig gyfnewidiad ynddi wedi bod dan ystyriaeth y Dirprwywyr *(Committee)*. Y mae Siroedd Caerfyrddin a Dinbych i gael cynnrychiolwr chwanegol, ac hefyd *Ashton-under-Lyne* yn Sir Lancaster, a *Stroud* yn Sir Gaerloyw, i gael bob un gynnrychiolwr chwanegol.

*Dydd Iau, Medi* 15, cyflwynwyd eirchiad oddiwrth drigolion Beaumaris, i erfyn ar y Senedd i orchymyn Goleudŷ *(Lighthouse)* gael ei adeiladu yn agos i'r fan lle y llong-ddrylliwyd y *Rothsay Castle*.

---

## CORONIAD

### *Y BRENIN A'R FRENINES.*

Y ddefod fawrwych o goroni eu Grasusaf Fawrhydi William IV. a'r Frenines Adelaide, a gymmerodd le yn Westminster Abbey ar Ddydd Iau yr 8fed o Fedi, gyd â'r gwychder a'r mawrfrydigrwydd mwyaf. Rhy faith o lawer fyddai i ni roddi hanes am yr hanner o'r rhwysgfawredd a gymmerodd le ar yr achlysur pwysig hwn. Yr oedd holl oreuon y deyrnas yn wyddfodol, a phawb o honynt, Tywysogion a Thywysogesau, Pendefigion a Phendefigesau, Arglwyddi ac Arglwyddesau, wedi eu dilladu yn eu llys-wisgoedd ardderchog. Yr ydys yn barnu nad oedd dim llai na Deuddeng Mil o bersonau yn bresennol, ac yr oedd golygfa dufewnol yr adeilad yn un o'r rhai mwyaf ysplenydd a disgleirwych a ellid ei ddychymmygu.

Ar ol myned trwy yr amrywiol ddefodau arferedig ar y cyfryw achos, esgynodd Esgob Llundain i'r pulpud, ac a bregethodd oddiwrth 1 Petr 2. 13. "Ymddarostyngwch

oblegid hyn i bob dynol ordinhad, o herwydd yr Arglwydd." Ar ol y bregeth gweinyddwyd y llw i'r Brenin gan Archesgob Caergaint, ac wedi hyny canwyd yr Emyn,

"Tyr'd Yspryd Glan i'n cl'onau ni," &c.

Ar ol hyny enneiniwyd ei Fawrhydi, a chyflwynwyd iddo y cleddyf, y fodrwy, a'r deyrn-wialen. Yna yr Archesgob, gan sefyll o flaen yr allor, gyd â'r Esgobion ereill, a gymmerodd y goron o law Deon Westminster, ac a'i gosododd ar ben ei Fawrhydi, tra yr oedd y gynnulleidfa oll yn gwaeddi, "Duw gadwo 'r Brenin!" Wedi hyny cymmerodd y Deon y Bibl oddiar yr allor, ac a'i rhoddodd i'r Archesgob, yr hwn a'i cyflwynodd i'r Brenin, yr hwn wedi ei gymmeryd o ddwylaw yr Archesgob, a'i dychwelodd yn ol iddo. Yna, â'r Brenin ar ei liniau, cyhoeddwyd y fendith gan yr Archesgob, fel y canlyn: "Yr Arglwydd a'th fendithio, ac a'th gadwo di; ac megys ag y gosododd efe dydi yn Frenin ar ei bobl, felly llwydded dydi yn y byd hwn, a gwnaed efe dydi yn gyfranog o'i wynfyd tragywyddol yn y byd a ddaw." Yr Esgobion a'r Pendefigion a atebasant â llais uchel, "Amen." Yna yr Archesgob, gan droi at y bobl, a ddywedodd, "A'r unrhyw Arglwydd a ganiatao fod i'r gweinidogion a'r bobl ymgynnulledig ar yr achlysur hwn, trwy ei rasusaf gymmorth, gael eu llywodraethu yn barhaus genyt ti mewn pob dedwyddwch; a chan ufuddhau i'th ewyllys, a'th ffyddlon wasanaethu di, boed iddynt fwynhau tangnefedd yn y fuchedd hon, a chyda thi fod yn gyfranogion o'r deyrnas dragywyddol yn y byd a ddaw." Yr Esgobion a'r Pendefigion a atebasant, "Amen," fel o'r blaen. Yna cyfododd y Brenin oddiar ei liniau, ac a gusanodd yr Archesgob, a'r Esgobion ereill; a chanwyd yr Emyn,

"Ti Dduw a folwn," &c.

Wedi darfod canu, gosodwyd ei Fawrhydi ar yr orsedd; a nesaodd yn gyntaf yr Archesgob, wedi hyny yr Esgobion, yna y Duguaid, a'r Pendefigion ereill, i ymgrymu o'i flaen, ac i addef eu ffyddlondeb a'u parodrwydd i ufuddhau iddo ef, a'i ddilynyddion, &c. Wedi hyn dechreuwyd ar y gwasanaeth o goroni y Frenines. Ar ol i'r Archesgob ddarllen Gweddi y Cyssegriad, cyfododd ei Mawrhydi oddiar ei gliniau, a thywalltodd yr Archesgob yr olew cyssegredig ar ei phen, gan ddywedyd, "Yn enw y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân, bydded i enneiniad yr olew hwn chwanegu at dy ddoniau, ac i'r Yspryd Glân eu sefydlu hwynt yn oes oesoedd. Amen." Yna cyflwynwyd iddi y fodrwy, gan ddywedyd, "Derbyn y fodrwy hon fel arwydd o ffydd ddiffuant, fel y byddo i ti ochelyd pob llwgr heresi, a thrwy nerth Duw gymhell cenhedloedd barbaraidd, a'u dwyn i wybodaeth o'r gwirionedd." Wedi hyn cymmerodd yr Archesgob y goron, ac a'i gosododd ar ben ei Mawrhydi. Yna y Frenhines a esgynodd yr orsedd, a barotowyd iddi ar aswy y Brenin. Wedi i'r cantorion orphen canu y fawl-gân "Haleluia," disgynodd y Brenin a'r Frenhines oddiar eu gorseddau, tynasant eu coronau, ac a nesasant at yr allor, ac a gyfranogasant o Swper yr Arglwydd. Wedi hyny gwisgasant eu coronau, a chan gymmeryd eu teyrn-wiail yn eu dwylaw, eisteddasant ar eu gorseddau fel o'r blaen. Yna gorphenodd yr Archesgob ddarllen gwasanaeth y cymun; ac ar ol iddo ddatgan y fendith, disgynodd eu Mawrhydi o'u gorseddau, ac wedi i amryw ddefodau ereill gymmeryd lle, gadawsant yr *Abbey* â'u coronau ar eu penau. Dilynwyd hwynt gan yr holl fawrion yn yr un modd ag y daethant yno. Dangoswyd pob arwydd o barch a llawen-floeddiadau gan y bobl tu ag at eu Mawrhydi wrth fyned a dychwelyd, a hir y byddont byw i fwynhau ffyddlondeb a chymmeradwyaeth diffuant eu deiliaid.

---

## HANESION, &c.

*Hunan Laddiad.*—Prydnawn dydd Sul, rhoddodd J. Calcrafft, Ysw. Aelod o'r Senedd, a *Paymaster of the Forces*, derfyn i'w einioes, trwy dori ei wddf âg ellyn yn ei dŷ ei hun, yn *Whitehall*, Llundain. Bu y trancedig er's amser yn ol mewn cyflwr lled isel o ran ei ysprydoedd. Cynaliwyd celain-ymholiad ar ei gorph, a'r rheithwyr a benderfynasant iddo wneuthur y weithred arno ei hun, tra yr oedd dan reolaeth meddwl dyryslyd.

*Llosgi Teisi, &c.*—Mae yn ddrwg genym adrodd fod y gwaith echrydus o losgi teisi, &c. yn dechreu etto yn rhai manau yn Lloegr. Ychydig amser yn ol, tâniwyd nifer o deisi, ar yr un noswaith, mewn tair o ffermydd yn Swydd Amwythig. Un o ba rai oedd yn perthyn i Mr. Nunnerley, o Prees-heath, lle y llosgwyd tâs o haidd; ond trwy ymdrech prydlon y peiriant tân achubwyd y teisi ereill. Mewn un arall yn perthyn i Mr. Darlington, o'r Twemlowes, llosgwyd amrai deisi o wair ac ŷd. Ac yn y drydedd, ag oedd yn perthyn i Mr. Booth, yn gyfagos i'r Twemlowes, llosgwyd y cwbl o'r adeiladau, ynghyd â 17 o deisi o wair ac ŷd. Dywedir fod y cyfan a ddinystrwyd yn werth o £2500 i £3000, ac mai hon yw y bedwaredd waith y llosgwyd eiddo Mr. Nunnerley. Anhawdd yw meddwl beth sy'n cynhyrfu y dynion hyn at y fath weithredoedd anfad; canys wrth ddifrodi yr ymborth a amcanwyd at gynnaliaeth dyn ac

anifail y maent yn cymmeryd y ffordd fwyaf effeithiol i drymhau eu hangen. Y mae amryw wedi eu dal dan ammheuaeth o fod ganddynt law yn y gwaith; a gobeithio yr ydym y ceir tystiolaeth yn erbyn rhai o honynt, fel ag i'w cospi yn ol eu haeddiant.

*Ymweliad Rhyfeddol.*—Y mae trefian fechan a elwir Helgay, oddeutu tair milltir oddiwrth Market Downham, trigolion pa un sydd unwaith ym mhob tair neu bedair blynedd yn cael eu blino gan nifer dirifedi o lygod y caeau, y rhai a ddistrywiant yr ydau o bob math. Oddeutu mis yn ol y daethant yn ol eu harfer. Cyn sicred ag y digwydda yr ymweliad hwn, y mae lluaws mawr o ddylluanod yn dyfod tros y môr o dueddau Norway (llawer cant o filltiroedd o bellder) i'w cyfarfod, ac yn aros hyd oni lwyr ddifethir yr yspeilwyr niweidiol ganddynt. Ychydig o ddyddiau ar ol dyfodiad y llygod, daeth y dylluanod mewn cryfder mawr, yr hyn a barodd lawenydd nid bychan i'r amaethwyr, y rhai a dalant agos yr un fath anrhydedd i'r adar hyn ag y gwnaeth yr Aiphtiaid gynt i'r Ibis. Gwnaethant eu gorchwyl fel arferol, i ba un, y mae yn debygol, y danfonir hwy gan Ragluniaeth. Y mae 'r llygod i gyd yn awr wedi cael eu difetha, a'r ddylluanod wedi cymmeryd eu taith tu ag adref.

*Digwyddiad alaethus.*—Ar ddydd Sadwrn, fel yr oedd E. Hughes, gwas Mr. Parry, o'r Uxbridge Arms Hotel, yn dychwelyd o Feddgelert i Gaerynarfon mewn *car*, trodd i lyn Cwellyn i olchi traed ei geffyl, a chan fyned yn rhy bell i mewn, soddodd ef a'r *car* a'r ceffyl, a boddodd y dyn a'r ceffyl. Yr oedd mwnwr tlawd yn y *car* gyd âg ef, ond efe a nofiodd i'r lân yn ddiangol. Cafwyd y dyn a'r *car* boreu dranoeth o dan 12 llath o ddwfr.

*Diangfa ragluniaethol.*—Ar ddydd Llun, Medi y 19eg, fel yr oedd y Parch. Dr. Howard, a'i ddwy ferch, a'i fab, yn myned o Beaumaris i Fangor, pan yn agos i'r fan lle mae y ffordd o Lan yr afon yn dyfod i'r fordd fawr, dychrynwyd y ceffyl, ac efe a ruthrodd ym mlaen, ar ei lawn egni, tua Bangor, ac wrth fyned i mewn i'r dref rhedodd yn chwyrn yn erbyn trol, braich (*shaft*) yr hon aeth i mewn i'w barwyden, ac a'i lladdodd yn y fan. Diangodd Dr. Howard, a'i deulu, heb dderbyn y niweid lleiaf.

*Llong-ddrylliad alaethus.*—Mae yr Agerdd-long a elwir *Henry Clay* wedi myned i lawr yn Llyn Erie, America Ogleddol, ar ei môrdaith o Buffalo i Detroit, ac alaethus yw adrodd, boddwyd pawb ag oedd ynddi, sef oddeutu 700 o nifer!

## *Y ROTHSAY CASTLE.*

Yr ydys yn gwybod yn sicr yn bresennol fod dim llai na 124 o bersonau ar fwrdd y *Rothsay Castle;* ond gallai fod ychwaneg, gan y tybir i amryw ereill fyned ar y bwrdd heb gof-restru eu henwau. Allan o'r nifer uchod achubwyd 22, ac felly y rhifedi a suddasant i'r dyfnder oedd 102!

### *Y Cychod a fuent yn wasanaethgar i achub bywydau.*

Cwch o Beaumaris: enwau y dwylaw; Mr. William Lewis Walker, Evan Evans, Thomas Jones, William Jones, John Stanley, Robert Lloyd, Thomas Owens, Owen Jones. Achubodd y cwch hwn naw o bersonau.

Penmon *Pilot Boat*; y dwylaw oeddynt, William Roberts, Owen Roberts, ac Owen Williams. Achubwyd chwech.

Cwch arall o Beaumaris: enwau y dwylaw; Anthony Wilson, Richard Stanley, William Owen, William Lloyd, a William Owen. Achubwyd un.

Cwch yn perthyn i'r Campadora o Le'rpwll a achubodd ddau.

---

## URDDIADAU EGLWYSIG.

### ESGOBAETH LLANELWY.

Dydd Sul, Medi 4ydd, urddodd Arglwydd Esgob Llanelwy y boneddigion canlynol, yn ei Eglwys Gadeiriol.—Yn Ddiacon, George Phillips, G. C. o Goleg y Frenines, Rhydychen, i Guradiaeth Yspytty Ifan.——Yn Offeiriaid, Parch. T. Lewis, G. C. o Goleg Iesu, Rhydychen, i Guradiaeth Capel Garmon. Parch. M. Davies, G. C. o Goleg Iesu, Rhydychen, Curad Machynlleth. Parch. G. R. Edwards, G. C. o Goleg Brazenose, Rhydychen, Curad St. Martin, Sir Amwythig. Parch. Mr. Herbert, G. C. o Goleg *University*, Rhydychen, Curad Llan-llwch-haiarn, Swydd Drefaldwyn.

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Gwir Barch. R. J. Carr, D. D. Esgob Caerceri, i Esgobaeth Caerwrangon.

Y Gwir Barch. H. Ryder, D. D. Esgob Lichfield a Choventry, i fod yn Ddeon Westminster.

Y Parch. G. Goodenogh i fod yn Ddeon Wells.

Dywedir fod y Dr. Malthby i gael ei wneud yn Esgob Caerceri yn lle y Dr. Carr.

Dydd Iau, y 15fed o Fedi, etholwyd y Parchedig Richard Briscoe, G. C. yn Gyfaill o Goleg Iesu, Rhydychen, yn lle y Parch. O. Owens, yr hwn a foddwyd yn nrylliad yr agerdd lestr *Rothsay Castle*.

Y mae Arglwydd Esgob Bangor wedi penodi y Parch. J. W. Trefor, A. C. Ficar Caernarfon, a'r Parch. J. Jones, G. D. Curad Parhaus Caergybi, i fod yn Gapelyddion i holi y rhai a gynnygiant eu hunain i gael eu hordeinio ganddo.

## PRIODWYD,

Medi y 14eg, yn Llanbadarn Fawr, Sir Aberteifi, gan y Parch. T. Lloyd, A. C. y Parch. Llewelyn Lewellin, D. C. F. Pennaeth Coleg Tŷ Ddewi, a Chapelydd Arglwydd Esgob Tŷ, â Caroline, trydedd ferch George Smith, Ysw. o Plumptre House, Nottingham, ac o'r Foelallt, Sir Aberteifi.

## BU FARW,

Dydd Llun, y 5ed o Fedi, yn 78 mlwydd oed, y Gwir Barch. F. H. W. Cornewall, D. D. Esgob Caerwrangon.

# Y GWYLIEDYDD.

## TACHWEDD, 1831.

### GWYW-GOFIANT

AM Y PARCHEDIG *JOHN JENKINS*, A. C. DIWEDDAR BERIGLAWR CERI, YN SWYDD TREFALDWYN, &c. &c. YR HWN A FU FARW TACHWEDD 20, 1829, YN 59 OED.

"Cydymmaith a gâr bob amser."—*Selyf ddoeth.*

TESTÚN y Cofiant hwn a anwyd yr 8fed o Ebrill 1770, ac a oedd ail fab o chwech i Mr. Gruffydd Jenkins o Gil-bronau, Plwy Llan Goedmor, gerllaw tref Aber Teifi. Y mab hynaf a fu farw yn faban, ac ar hynny yr ail a gyfrifwyd yn deisban-teulu i etifeddu treftadaeth ei hynafiaid. Cafodd ei egwyddori yn yr ieithoedd mewn ysgol gymmydogol, ac wedi iddo gyrhaedd oedran cymmhwys, anfonodd ei fam weddw ef i brif-ysgol Caerfyrddin. Yn y fl. 1789 derbyniwyd ef yn aelod o Goleg yr Iesu yn Rhydychain, a chyn pen hir symmudodd i Goleg *Merton*. Ym mhen yr yspaid arferol, graddwyd ef yn Wyryf yn y Celfyddydau (A. B.). Yn yr un flwyddyn (1791) tan nodded ei ewythr, Dr. Lewis, Periglawr Whippingham yn Ynys Wyth *(Isle of Wight)* urddwyd ef yn Ddiacon ac yn Offeiriad drwy hawl i Guradaeth y Plwyf hwnnw. Bu yno yn gweinyddu gyda difrifoldeb a dwys deimlad o fawrbwys ei swydd dros chwe blynedd. Yn y fl. 1799 newidiodd ei sefyllfa ar y tir i weinyddu ar y môr, yn Gapelydd ar y llong ryfel, *Agincourt*, gorsaf yr hon oedd yn y llynges warchadawl ar gyffiniau yr India Orllewinol. Y prif-lyngesydd oedd yr Anrhydeddus William Waldegrave, ail fab i John, ail Iarll Waldegrave, a chefnder i fam y ddiweddar Henrietta, Iarlles Powys. Ynghorph yr un flwyddyn dyrchafwyd y llyngesydd yn Arglwydd Radstock, er gwobrwyo ei wroldeb a'i ymddygiad mewn amryw frwydrau, *St. Vincent*, yn y fl. 1797, ac eraill.

Yn Mawrth 1802 symudodd Mr. J. oddiar fwrdd yr *Agincourt* i'r *Theseus*, yr hon ymhlith eraill oedd yn gwylio Ynys *Jamaica*, a bu ar hon hyd fis Gorphenhaf 1804. Yn y cyfamser yr oedd y Vad Velen *(Yellow fever)* wedi gwneyd galanastra dirfawr ym mhlith y llongluoedd. Mr. J. oedd yr unig Gapelydd a adawodd rhagluniaeth i sefyll ei fôr; gan fod ei frodyr Gapelyddion naill ai wedi marw, ai symud oddiyno i hinsoddau mwy tymherus.

Yn y fl. 1804 y bu lladdfa echrydus ar drigolion gwynion *Cape Francis*, yn ynys *Domingo*, gan y Duantwys, y rhai a wrthryfelasent, ac a gymmerasent feddiant o'r Ynys oludog honno. Ar y trydydd dydd wedi y gyflafan, anturiodd Mr. J. gyd âg un Muddle (Is Gadben) i'r Ynys Domingo, ac at y traws-lywydd du a enwid *De-Salines*, i gyngreiriaw ac i eiriol am fywydau y gweddill a adawyd o'r trigolion gwynion mewn parthau eraill o'r Ynys. Aeth y ddau hyd breswyl-

fod y Llywydd; arweiniwyd hwynt i ystafell dywell, ac yno y buont oriau hirion, heb wybod a gaent ddychwelyd yn fyw yn ol, ai peidio. Ym mhen hir ennyd gollyngwyd hwynt ymaith heb eu neges, a chyrhaeddasant y llynges, mewn bad agored, drwy nos dywell a môr tymhestlog. Trwy eu dadguddiadau hwynt, llwyddodd y llynges i achub bywyd o gylch mil o drigolion gwynion *Monte Christi*, y rhai a drosglwyddwyd i ddiogelwch Ynys *Cuba*.

Yr oedd *cofndra* yn gynneddf berthynol i dylwyth Mr. J. Os dywedid yn Ngheredigion, yn oes y "ffusto," bod "un o waed Cilbronau" ar y maes, ni byddai ammheuaeth gan neb na ddeuai hwnaw yn fuddugol o'r chwarau Cnapan, neu unrhyw gamp arall. Un o hynafiaid Mr. J. yn nyddiau Cromwel, ar ei ddychweliad o'i daith i'w breswylfod, a'i cafodd mewn terfysg trwy draws ymddygiad un o filwyr ei Fawrhydi. Un ergyd ffon yr uchelwr a barodd i'r milwr lyfu y llwch: ond gorfu iddo giliaw i'r anialwch, i gael ei borthi yno, hyd ddychweliad Charles II. Oddiar hyn, cymmerodd y tylwyth *fraich a dwrn yn dal cnwpa* yn grib-arfau (*Crest*), ac edditano yr arwyddair —"*Da yw ffon amddiffyniad.*"

*Pereiddlais* oedd gynneddf arall yn hanfodol i dylwyth Cil-bronau. Yr oedd Mr. J. yn fardd alaw o anian; a gobeithiaf na thybir fi yn rhyfygus os tybiaf bod y gynneddf hon yn offerynol, tan oruch-reolaeth rhagluniaeth, i achub ei fywyd rhag yr haint felen, yn nghladdfa dynolion, hinsawdd boethgras yr India Orllewinol. Dywedai Mr. J. y byddai arferol, pan oddiweddai y prudd-glwyf, rhagfynedydd yr haint, ef—pan oedd ei gyd forwyr yn meirw ar ddehau ac ar aswy iddo, o gymmeryd ei grwth (*violencello*) a chwarae arni rai o beraidd donau Gwent a Morganwg, y rhai ydynt lawer mwy bywiog a chynhyrfiol nac arafach geingciau Gwynedd a Dyfed. Os beiir arnaf am goffâu hyn—gofynaf—Pa ham yr erchai Paul i Timotheus, "arfer ychydig win?" Pe buasai Paul ar fwrdd y Theseus, yn ngwyneb yr haint felen, ai ni ddywedasai hefyd wrth Mr. J. "chwarae yn fynych ar dy delyn?" Yr oedd Apostol mawr y Cenhedloedd yn wr call, callach o lawer na rhai o'i ddeonglwyr hunanol.

Dyfyrwch arall i ysgafnhau ei feddwl, y pryd y teimlai hynny yn angenrheidiol, oedd casglu tocynau o dlysau y Greedigaeth. Hysbys ydyw i deithwyr, a darllenwyr teithiau, fod y cylchau nesaf i'r Cyhydedd, parth dehau parth gogledd, yn llawer cyfoethocach yn y tlysau hyn, nac ydyw y parthau gorsafawl rhyngynt â'r pegynau. Am barthau y Cyhydedd—"*Yno* y mae Bdeliwm a'r maen Onyx." *Yno* y caed y deuddeg maen gwerthfawr a addurnent ddwyfroneg Aaron. *Yno* y tyf yn anianol amrywiaethau o "lili y maes," na wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn. Gyda ni, cyfrifir glas y dorlan, a chaseg y dryg-hin, yn adar asgellog brithion liwiau; ond balchach o lawer y gwisgir adar paradwys, ac adar eraill *parotach* eu hatteb, ac ugeiniau eraill, yn ngwledydd y dwyrain. Gyda ni, yn minion ein môr o Amlwch i Gaer Dydd, ni cheir ond llymeirch, rhython, a chregyn geirwon eraill, na thalant nemor ond eu llosgi yn yr odyn galch. Ond yn y parthau cyhydeddawl y mae mildai gorwychion, anneddau bywiolion y dyfnder mawr, i'w casglu ar y traethau o bob maint, a llun, a lliw. Y rhai manaf o honynt, prin mwy eu maint na gronynau gwenith, ydynt yn disgleirio o harddwch fel y meini gwerthfawrocaf; a'u hamryfal drigolion a ddadganant ogoniant eu Creawdwr mawr mor gyf-

Iawn â'r Behemoth a'r Lefiathan. O'r mân gregyn heirddion hyn, Mr. J. yn ei oriau hamddenol oddiwrth ei orchwylion mwy pwysig, a gasglodd dryser helaeth; ond efe a'u rhanodd oll rhwng tri neu bedwar o gyfeillion, yn ol ei ddychweliad i dir ei wlad, fel nad oes yn meddiant ei gyfneseifiaid gymmaint ag un o'r tlysau ceinion.

Bu Mr. J. ar fwrdd y *Theseus* o Fehefin 6, 1801, hyd Fehefin 11, 1804; a thrwy y rhan fwyaf o'r yspaid hwn dan haul entyrch y eylchau llosg, rhwng graddau lledred 10^a ac 20^o. Er cadarned ei iechyd cynhenid, efe a'i teimlai erbyn hyn yn gwanhâu cymmaint fel ag y gorfu iddo ddychwelyd i wlad ei enedigaeth. Yr oedd y llong ryfel *Bellerophon* yn dychwelyd i Loegr y pryd hynny, ac ar fwrdd hon daeth Mr. J. i'w fro gyntefin ar y 26ain o Fedi, 1804. Llawenydd i galon ei fam dyner oedd ei dderbyn ef, a dau eraill o'i meibion ar yr un amser, er i'r tri ddyfod, yn anwybodus i'w gilydd, o dri dosparth gwahanol y byd. Un a oedd feddyg yn y llynges frenhinol, ond yn awr nid yw: y trydydd oedd Swyddog ar long fasnachol (*East Indiaman*) ac y mae y pryd hyn yn byw gyd a'i deulu yn Nhref Caerfyrddin, wedi treiddio yn ddiangol trwy helyntiau heddwch a rhyfel. Ni adferwyd Mr. J. i'w gynnefin iechyd hyd yr haf rhagwyneb, y pryd yr ymrwymodd i wasanaethu eglwys Maenor Deifi, yn Swydd Benfro. Tra y gweinyddodd ar y môr, ei ymddygiad syml a boneddigaidd, a'i ddiwydrwydd yn ei alwedigaeth, ennillasant iddo hoffder a pharchedigaeth ei brif-lyngesydd, Arlwydd Radstock, trwy ymgais yr hwn etholwyd ef yn un o Gapelddion ei Uchelder Wiliam Henry, Dug Clarence, yn awr ei Fawrhydi ein Brenin Wiliam IV. Yr un Gymmwynaswr a'i cymmeradwyodd hefyd i sylw y Dr. Burgess, y pryd hynny Esgob clodwiw Ty Dewi, yr hwn a ryglyddodd fendith plwyfolion *Ceri*, yn Swydd Trefaldwyn, am ei anfon ef yn Vicar bugeilaidd iddynt. Daeth yno i gartrefu yn y fl. 1807. Yr oedd y persondŷ a'r adeiladau gwedi adfeilio bron yn furddynod, drwy hir anhrigiant a diofaledd ei ragflaenor (un Mr. *Carless*); ond gan nad oedd bydolrwydd mewn meddiant o'r gonglen leiaf yn nghalon Mr. J. ymfoddlonodd ag ynghylch degwm yr hyn oedd gyfiawn ddyledus iddo gan gynnrychiolwr yr hen offeiriad. Cyn pen hir adeiladodd Bersondŷ newydd, un o'r helaethaf a'r harddaf yn yr Esgobaeth; yr hwn a elwid gwedi hynny (ac nid heb achos) gan y Beirdd a'i mynych gyrchent—"Llys *Ifor Hael* o Geri"—a dywedent

> *Basaleg*—mae heb sylwedd!
> I *Geri* mae gwrw a medd.

Yn y fl. 1813, archwyd ar Mr. Jenkins gan ei Esgob, y Dr. Burgess, tros Y GYMDEITHAS ER TAENU YR EFENGYL MEWN PARTHAU TRAMOR, gymmeradwyo offeiriad ieuangc i fyned yn Genadydd i St. John's, Newfoundland: ac efe a gynnygiodd y swydd i wr ieuangc athrylithfawr a phruddgall, y Parch. D. Rowland, y pryd hynny yn Gurad Llan Wynnog a Charno, yn Swydd Trefaldwyn. Er bod iechyd Mr. R. erioed yn glwcus, nid ymgynghorodd â chig a gwaed, ond ymddarparodd i'w daith bell, ac ar Wyl Ioan Fedyddiwr, 1813, aeth ar fwrdd yr *Antelope*, gyda Sir John Duckworth, a oedd yn myned i fod yn rhaglaw yn Newfoundland. Er bod llawer o longau yn cyd-hwylio, etto, ar ddymuniad Esgob Llundain, cafodd Mr. R. y parch o fyned ar long y prif-lyngesydd, yr hwn a'i gosododd ef yn Gapelydd iddo ar y fordaith. Bu yn ei orsaf bellenig o gylch pedair blynedd,

er mawr foddlondeb ac adeiladaeth y trefedigion; ond rhyndod yr hinsawdd anafawl oedd elynol i'w glwyf gwreiddiedig, yr ysgyfeinwst. Dychwelodd tua gwlad ei enedigaeth gyda llong oedd yn rhwym i Oporto, a chan ewyllysio ymweled â rhan o gyfandir Europe, efe a ymdeithiodd drwy Portugal, 'Spaen, a Ffraingc, a thros y culfor cyrhaeddodd dir Prydain tua diwedd y fl. 1817. Gwedi ymweled â'r Esgob yn Abergwili, yr hwn a welai ynddo deithi cymhwys i weinidogaethu yn Eglwys St. Petr yn nhref boblog Caerfyrddin, a chael ei bennodi i'r swydd, cyn cymmeryd meddiant o honi, meddyliai yn ddyledus arno ddyfod i Geri, i ddiolch i Mr. J. am ei haelioni bob amser tuag atto ef. Mr. J. a wahoddodd gyfaill adnabyddus iddo i'w gyfarfod ef, ac i'w groesawu â cherdd i dir ei wlad o'r fro bellenig. Nifer o Ynglynion o bobtu, sef rhwng Dewi Brefi a G. Mechain, a fu y canlyniad. A'r Ynglynion hyn, er gwaeled y dichon iddynt fod, a osodasant sylfan yr holl Eisteddfodau taleithiol a gynhaliwyd yn Nghymru rhwng y blwyddau 1819 a 1829. Canys yn mis Awst, 1818, daeth y Dr. Burgess i Geri, ar ei daith gylchynol drwy ei esgobaeth, lle yr arhosodd rai dyddiau yn ymddiddan â Mr. J. a'i gyfeillion, ar destunau Cymreig—defodau yr oesau gynt—Eisteddfodau taleithiol, &c. &c. A chlo y cyfarfod hynod hwn, oedd ymröad penderfynol rhwng yr Esgob a Mr. J. i roddi ymgais i ail ennyn dawn ac athrylith farddonol y dywysogaeth, y rhai er oesoedd maith a aethent dan encudd gwarth ac ammraint, trwy gynnal Eisteddfodau cylchynol drwy y pedair talaeth. Gan bod y ddau sylfaenydd yn Ddyfedwys, cydunwyd bod i'r cyfarfod cyntaf gael ei gynnal yn nhref Caerfyrddin ar yr 28ain o Hydref oedd yn canlyn. Pan ddaeth y dydd, a'r Arglwydd Dinefawr yn y gadair, y boneddwyr cynnrychiol a ymunasent yn GYMDEITHAS GYMREIGAIDD DYFED, ac etholwyd diegynydd Rhys ab Tewdwr yn Llywydd—a'r Parch. D. Rowland yn Ysgrifenydd. Tranoeth, sef y 29ain o Hydref, 1818, cynhaliwyd yr ail gyfarfod yn mhalas yr Esgob yn Abergwili, ac yno yn wyddfodol, yr Esgob—T. Bowdler, Yswain—y Parchedigion J. Jenkins o Geri—Peter Roberts o Helygen—Eliezer Williams o Lan Bedr—W. J. Rees o Gascob—D. Williams o Ystrad Meurig—a'r Bardd wrth Fraint, Iolo Morganwg. Ar yr 8fed a'r 9fed o Orphenhaf, yn y flwyddyn rhagwyneb, cynhaliwyd yr Eisteddfod gyntaf yn Nghaerfyrddin—a'r ail yn y fl. 1820, yn Mhowys, ac oddiyno, amgylch ogylch—i Went—i Wynedd, &c. &c. Ym mhob un o'r Cyhyrddau hyn yr oedd Mr. Jenkins yn Gyfarwyddwr, yn annel ac yn biler, caredig i'r Beirdd, cariadus gan bawb. Ond nid aeth i gyfyl yr Eisteddfod fawr ddiweddaf yn Ninbych yn y fl. 1829, a hon oedd yr unig un nad oedd yn bresenol: canys blin i'w feddwl ef oedd canfod dibenion dechreuol y Cymdeithasau yn cael eu gwyro, y naill Eisteddfod ar ol y llall, trwy Seisnigrwydd bradwyr yr iaith Gymraeg, oddiwrth goleddu doniau cynhenid ein cenedl, i wobrwyo â gorhaeledd ysgrechlefain a phibganiad estroniaid.

O'r flwyddyn 1818 allan, aeth annedd *Ifor Hael o Geri* (canys â'r enw hwn y perchid Mr. J.) yn *Fanlog* i holl Feirdd a chantorion tafod a thant drwy Gymru benbaladr. Yr wythnos gyntaf ym mhob blwyddyn newydd, cynhelid yn ei breswylfod *Lys agored* am dridiau neu bedwar o leiaf, a chroesaw i bawb a'i cyrchai, os medrai gyfansoddi ynglyn, lleisio tôn, neu gyweiriaw telyn.

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

## SYLWEDD PREGETH.

### HEB. xi. 7.

"Trwy ffydd, Noë, wedi ei rybuddio gan Dduw am y pethau nis gwelsid etto, gyda pharchedig ofn, a ddarparodd arch i achub ei dŷ: trwy yr hon y condemniodd efe y byd, ac a wnaethpwyd yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd."

YR hwn a enwir yn y testun oedd un o'r mwyaf hynod o drigolion yr hen fyd, o ran ei fuchedd a'i dduwiol ymarweddiad, ac hefyd o ran yr amserau a aethant drosto ef, a thros ei deulu, a thros holl drigolion y ddaear.

Amcanaf y tro presennol osod allan, 1. Grynodeb o hanes Nöe, yn enwedig ei achubiaeth yn y diluw mawr.—2. Bod hyny yn dangos i ni y ffordd a'r modd o gadwedigaeth enaid i fywyd tragywyddol.—3. Bod y patriarch hwn yn gysgod o Grist.

I. Crynodeb o hanes Nöe.

1. Yr enw Nöe, neu Noah, sydd yn arwyddocâu *diddanwch* neu orphwysfa; o herwydd dywedodd Lamech ei dad, "Hwn a'n cysura ni am ein gwaith, a llafur ein dwylaw, o herwydd y ddaear yr hon a felldigodd yr Arglwydd." Efe a aned ynghylch y flwyddyn 1057 o oed y byd.

2. Ei ymarweddiad. Byw yr oedd mewn ffydd a duwioldeb. "Noah oedd ŵr cyfiawn, perffaith yn ei oes: gyda Duw y rhodiodd Noah." Ond yr oedd trigolion y byd yn gyffredinol yn eithaf llygredig. "A'r ddaear a lygrasid ger bron Duw; llanwasid y ddaear hefyd â thrawsedd: canys pob cnawd a lygrasai ei ffordd ar y ddaear." Yr oeddynt yn gorthrymu eu gilydd; yn bwyta ac yn yfed, &c. gan anghofio Duw. Yr oeddynt wedi cyflawni mesur eu hanwireddau, ac wedi addfedu i ddinystr.

3. Daioni Duw tu ag at Noah. "Noah a gafodd ffafr yn ngolwg yr Arglwydd:" cafodd "ei ragrybuddio gan Dduw" Rhaid i'r cyfiawnaf gael trugaredd, neu fod yn golledig. "A Duw a ddywedodd wrth Noah, diwedd pob cnawd a ddaeth ger fy mron; ac wele, myfi a'u difethaf hwynt gyd â'r ddaear. Gwna i ti arch." Yn y cyfamser tra y darperid yr arch, yr oedd hir amynedd Duw yn disgwyl am chwech ugain mlynedd.

4. Ymddygiad Noah yn wyneb y rhybydd. Efe a ofnodd "gyda pharchedig ofn" ger bron Duw y nefoedd. "Trwy ffydd efe a gredodd ei dystiolaeth ef" "am y pethau nis gwelsid etto." Gwir ffydd a gred y bygythiad yn gystal a'r addewid: ond y mae yr annuwiol yn byw yn dawel dan swn bygythion Duw. Yn ganlynol, Noah a ufuddhaodd, ac "a ddarparodd arch i achub ei dŷ." Yr oedd y gwaith hwn yn faith a llafurus, gan fod yr arch yn llestr mawr iawn.* Ac er bod y byd yn gwawdio tra y darperid hi, yr oedd Noah yn pregethu cyfiawnder, a hir amynedd Duw yn disgwyl i drugarhau. Ond y mae terfyn i amynedd y JEHOFAH! canys,

5. Daeth y diluw, oddeutu y flwyddyn o oed y byd 1657. "Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Noah, Dos di, a'th holl dŷ i'r arch:" ac a orchymynodd iddo gymmeryd o anifeiliaid glân, ac o adar, bob yn saith, gwryw a banyw. A Noah a ufuddhaodd, ac a "aeth i mewn, a'i feibion, a'i wraig, a gwragedd ei feibion gyd âg ef, i'r arch, rhag y dwfr diluw." Yna y rhwygwyd ffynhonau y dyfnder mawr, a ffenestri y nefoedd a agorwyd; a bu gwlaw yn ddibaid am ddeugain niwrnod a deugain nos, a'r arch a nofiodd. Y dyfroedd a ymgryfhasant fwy fwy am bum mis, nes myned wyth llath yn uwch na'r mynyddoedd uchaf. O'r pryd hyny y dyfroedd a dreiasant yn raddol. A phan sychasai y ddaear, daeth Noah, a'i deulu, a'r creaduriaid, allan o'r arch, wedi bod ynddi

* Gwel y *Geiriadur Ysgrythyrol.*

flwyddyn a deng niwrnod. Galarus ac anghyfanneddol oedd yr olwg. A Noah a offrymodd boethoffrwm cymmeradwy gan yr Arglwydd, yr hwn a'i bendithiodd ef, ac a addawodd na ddifethai y ddaear mwy â dyfroedd diluw.

6. Yr oedd Noah, trwy ei ymddygiad, yn condemnio y byd annuwiol, nid fel barnwr, ond fel tyst yn eu herbyn. Gwrthodasent wrandaw ar ei lais yn pregethu iddynt; gallasent, pe mynasent, gael eu hachub yn yr arch: am hyny yr oeddynt yn anesgusodol, ac yn hunan-gondemniol.

7. Trwy hyn efe a "wnaethpwyd yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd." Trwy ffydd yn y Gwaredwr mawr y cafodd Noah ei gyfiawnhau, a'r holl saint o ddechreuad y byd; a thrwy y ffordd hon yn unig y gallwn ni gael ein cyfiawnhau.

8. Ar ol y diluw, Noah a blanodd winllan, ac wrth yfed o'r gwin a feddwodd, yn anwybodus (mae yn debyg) o'i effaith; ac a wawdiwyd gan ei fab ieuengaf. Rhaid i'r duwiolaf fod yn wyliadwrus. Pan ddaeth ato ei hun, efe a draethodd yn brophwydoliaethol felldith ar hiliogaeth Ham, a bendith ar Sem a Japheth. Noah a fu fyw wedi y diluw 350 o flynyddoedd, ac a fu farw yn 950 ei oed, ac a aeth i mewn i'r orphwysfa nefol.

II. Y mae hyn yn gynllun hynod o achubiaeth enaid i fywyd tragywyddol.

1. Y mae yr enaid yn cael ei rybuddio gan Dduw, trwy air yr Efengyl, i ffoi rhag y llid a fydd.

2. Trwy y genadwri efe a gynhyrfir gan ofn, ofn bod yn golledig, ofn y tan anniffoddadwy, ofn pechod, ofn digio Duw. Dechreua ymofyn yn ddifrifol, Pa beth a wnaf i fod yn gadwedig?

3. Wedi methu cael noddfa ym mhob man, y mae yn ffoi at Grist Iesu trwy ffydd am ddiogelwch; ac y mae ei fywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw.

4. Y mae yn foddlawn i ymadael â phob peth a fyddo ar ei ffordd tu a'r bywyd, cyfeillion, perthynasau, golud, dysgeidiaeth, hunan-gyfiawnder, a'r cwbl. "Ië, yn ddiammeu, yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchowgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd." *Phil.* 3. 8.

5. Yn fynych efe a wneir yn offeryn yn llaw Duw er iachawdwriaeth i'w deulu. "Canys beth a wyddost ti, wraig, a gedwi di dy ŵr? a pheth a wyddost tithau, ŵr, a gedwi di dy wraig." 1 *Cor.* 7. 16.

6. Y mae 'r cyfryw un yn condemnio y byd, gan dystiolaethu am dano, fod ei weithredoedd ef yn ddrwg. Os bydd ein proffes a'n hymarweddiad yn condemnio y byd, y byd a'n condemnia ninnau.

7. Yr enaid hwn a wneir yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd, "yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd;" *Phil.* 3. 9. yr hwn y mae ei ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol." *Rhuf.* 6. 22.

III. Gallwn olygu y patriarch enwog hwn yn gysgod o Grist.

1. Yn Nghrist y mae gorphwysfa a diddanwch i'w cael. "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch:—a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau." *Mat.* 11. 28, 29.

2. Y'nghanol cenhedlaeth bechadurus a throfäus, yr oedd ei ymarweddiad yn hollol ddiargyhoedd; ac efe a bregethai gyfiawnder yn y gynnulleidfa fawr.

3. Er ei fwyn ef y mae amynedd Duw yn cael ei estyn at fyd pechadurus: onidê buasai Duw yn ei gyfiawn lid yn ei ddifa ar unwaith.

4. Efe sydd o oes i oes yn adeiladu arch yr eglwys, yn yr hon (oed

yn neillduol yn Nghrist ei hun) yr achubir holl deulu Duw rhag dilyw o dân tragywyddol.

5. Ei aberth holl-ddigonol sydd yn trei heibio felldith a dialedd y nef: canys efe a'i rhoddodd ei hun yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd. *Eph.* 5. 2.

6. Cyfammod newydd a wnaethpwyd âg ef, ac â'i had ysprydol; a hwy a etifeddant bob peth.

7. Efe a blanodd ac sydd yn trin yr eglwys, yr hon yw gwinllan Arglwydd y lluoedd; ac yn dangos na thal ddim rhith o grefydd heb ei grym hi.

8. Y sawl a'i dirmygant ef, gan droi ei ras i drythyllwch, a gwawdio am ben gwendidau ei saint; efe a'u condemnia i gaethiwed uffern yn dragywydd. Ond y sawl a'i carant ef a'i bobl a gerir ganddo yntau, ac a ddyrchefir i gymdeithas hyfryd a goruchel gyda Duw.

Cymhwysiad. Gan fod Duw yn ei air yn rhag-ddywedyd am ddilyw o dân ysol i ddyfod ar yr holl fyd, ffown i'r arch mewn pryd. Gan fod ein hangen yn fawr dros ben, a Christ yn holl-ddigonol, na orphwyswn heb gael rhan ynddo i'n heneidiau gwerthfawr.

CYNFELYN.

---

## CYFADDEFIADAU EI GELYNION YN BRAWF O WIRIONEDD YR EFENGYL.

"YNA yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid a gasglasant gynghor, ac a ddywedasant, Pa beth yr ydym ni yn ei wneuthur? canys y mae y dyn yma yn gwneuthur llawer o arwyddion."—IOAN xi. 47.

GWIR grefydd, neu addoliad Duw mewn yspryd a gwirionedd, a gynnwys ddwy ran; addoliad y Creawdwr, ac ufudd-dod i'w orchymynion. Yn y grefydd hon yr addysgir pob dyn, i ryw radd fechan, gan y goleuni tufewnol a naturiol hwnw a elwir *rheswm*. Hwn ei hun, heb yr un datguddiad dwyfol, a ddatguddia i ni Dduw holl-ddoeth a hollalluog yn nhrefniad y gwahanol ranau o'r greadigaeth eang—Duw teilwng o'r addoliad puraf a gwresocaf, o herwydd ei briodoliaethau—Duw cyfiawnder yn nhroion ei ragluniaeth—a Duw sanctaidd yn yr egwyddorion o uniondeb sydd yn argraffedig ar y gydwybod. Hyn i gyd a ddatguddir i ni mewn rhan trwy oleuni rheswm; ond er cysur a dedwyddwch dynolryw, y mae hyn i gyd y'mhell oddiwrth fod yn ddigonol. Rhaid i oleuni tufewnol a naturiol rheswm gael ei chwanegu a'i gryfhau gan oleuni allanol a chynnorthwyol, gan belydrau gogoneddus a disglaer y dwyfol ddatguddiad. Fe lewyrcha y rhai hyn i mewn i dywyll fanau rheswm, symudant ymaith ei ammheuon a'i ansicrwydd, a sefydlant ei olwg crwydredig ar y gwir a'r unig wrthddrych teilwng o'i addoliad. Ond gan fod y datguddiad hwn yn allanol, mae iddo achos am brofiadau. Ni enir ef gyda ni megys rheswm, ond o'r nefoedd y daeth; a chyn y gellid ei dderbyn trwy ffydd, rhaid oedd iddo wrth dystion nefol, y rhai a dystiant yn eglur mai o Dduw yr oedd. Y tystion hyny ydynt y gweithredoedd nerthol, trwy ba rai, y prophwydi yn gyntaf, ac wedi hyny ein bendigedig Iachawdwr, a brofasant ddwyfoldeb eu cenadwri, ac a haeddasant bob ymddiried a derbyniad gan drigolion y llawr.

Bydd arwyddion a gwyrthiau yr efengyl (y rhai nis gallai ei gelynion chwerwaf eu gwrthbrofi) yn destyn yr ychydig sylwadau sydd yn canlyn. Yr Iuddewon, yn edrych gyda syndod ar gymmaint o arwyddion wedi eu gweithredu gan Fab Duw, yn Galilea, lle y gwnaeth ei breswylfod dros y rhan fwyaf o'i oes; yn Judea, lle yr arosai yn fynych dros enyd o amser ar ei daith; ac yn Jerusalem hefyd, lle yr âi efe yn gysson ar yr uchelwyliau;—yr Iuddewon, fel y dywedwyd, yn edrych yn synedig ar

y gwyrthiau hyn, ac yn ddiweddaf ar adgyfodiad Lazarus, ychydig â thaeniad cyflym ei athrawiaeth yn ganlynol i'w wyrthiau, oeddynt mewn cyfyng-gyngor pa fodd y gallent ladd yr Awdwr o honynt, ac felly rhwystro llwyddiant ei achos yn y byd. I'r diben yma y galwyd yr Arch-offeiriaid a'r Phariseaid i ymgynghori ynghyd, a phan ddaethant, hwy a ddywedasant y naill wrth y llall, "Pa beth yr ydym ni yn ei wneuthur? canys y mae 'r dyn hwn yn gwneuthur llawer o arwyddion."

Cymmeraf achlysur oddiwrth y geiriau hyn, I. I ganmol gwyrthiau ein Hiachawdwr, trwy osod allan yr arwyddion o'r Duwdod, y rhai sydd bob amser yn argraffedig arnynt.—II. I brofi gwirionedd y grefydd Gristionogol oddiwrth gyfaddefiadau ei gelynion.

I. Arwyddion y Duwdod yn holl wyrthiau yr efengyl. Bod Awdwr ein crefydd yn meddu ar allu dwyfol ac anfesurol, sydd amlwg oddiwrth *rifedi*, *amrywiaeth*, a *mawredd* ei weithredoedd nerthol.

1. Mewn perthynas i'w *nifer*, fe ddywed yr ysgrythyr, fod llawer yn y dyddiau hyny yn sylwi arnynt. "Pan ddelo Crist (meddai'r Iuddewon) a wna efe fwy o arwyddion na'r rhai hyn a wnaeth hwn?" A thrachefn yn y testyn dywedodd yr Arch-offeiriaid a'r Phariseaid, "Y mae 'r dyn hwn yn gwneuthur llawer o arwyddion:" ie, llawer a wnaeth efe, llawer mwy nag a wnaeth yr un o'r prophwydi erioed. Yr oedd hyn yn angenrheidiol; canys er y buasai ychydig o weithredoedd dwyfol, neu fe allai un, yn brawf digonol (i'r rhai nad oeddynt yn cau eu llygaid yn erbyn y gwirionedd) fod yr Iesu yn Fab Duw, er hyny buan y dychymmygasai anghrediniaeth Iuddewaidd ryw fodd, rhyw esgus neu gilydd i wrthsefyll ei grym.

Ond gadewch i ni ddywedyd ychydig o blaid yr Iuddewon, pan yn beio ar eu hanghrediniaeth. Cafodd y rhai hygoel eu hudo a'u siomi cyn amled gan dwyllwyr a rhagrithwyr, fel nad allwn feio ar anhyder rhesymol, ond yn hytrach ei ystyried megys gocheliad canmoladwy. Onid ydyw mewn gwirionedd yn waradwydd mawr i reswm dynol ei fod yn cael ei ddallu mewn modd mor ddirmygus gan hudoliaethau a dichellion yr Offeiriaid Pabaidd, y rhai trwy eu gwyrthiau celwyddog ydynt yn twyllo eu cynnulleidfaoedd o flaen eu hwynebau, ac yn diddymu gair Duw trwy eu traddodiadau eu hunain? Nis gallasem, gan hyny, feio ar yr Iuddewon am eu hanghrediniaeth, oni buasai i Grist (fel y dywed ef ei hun) "wneuthur yn eu plith y gweithredoedd ni wnaethai neb arall;" a phe buasai efe wedi gwneuthur ond ychydig o weithredoedd nerthol, a'r rhai hyny yngwydd ond ychydig o dystion. Ond beth yw tystiolaeth yr ysgrythyr ar y pwngc hwn? A oes un rhan o Judea neu Galilea, y taleithiau i ba rai y cyfyngodd efe ei weinidogaeth, a'r rhai yn ganlynol oeddynt yn ddangosfa ei wyrthiau —a oes un ddinas neu dreflan yn y taleithiau hyny, nad yw yn dwyn tystiolaeth i'w weithredoedd rhyfeddol? Yn y trefydd ac yn y diffaethwch, yn y gwastadedd ac ar y mynyddoedd, ar fôr a thir, yn y deml ac yn y synagogau, bendithiwyd pob man â phresennoldeb yr Iachawdwr; ac y'mhob man y gadawodd dystion eglur o'i allu. Ai y'Nghana yr oedd efe? efe a drodd y dwfr yn win: ai yn y diffaethwch yr oedd efe? mewn modd rhyfeddol y porthwyd torfeydd mawrion: ai mewn llong y cymmerai ei daith? wrth ei orchymyn ef llonyddai twrf y tonau cynddeiriog, a phrysurai gwyntoedd y nef gyflawni ei sanctaidd ewyllys. Cyn y gallasai yr Iachawdwr fod mor ddefnyddiol i

ddynolryw, meddyliai rhai, fe allai, fod parhad ei einioes yn hŵy na chyffredin. Nage, fy narllenwyr, ychydig a drwg oedd dyddiau blynyddoedd ei ymdaith ar y ddaear. Mewn perthynas i'w pharhâd, bèr oedd ei einioes; ond ni threuliwyd diwrnod o honi yn segur, ni chollwyd mynydyn o'i horiau gwerthfawr. Nid oedd dim amser segur gan yr Iachawdwr, dim achwynion yn erbyn ei drymder, na dychymmygion i'w dreulio yn y modd mwyaf cyfleus. Pob mynyd o'i fywyd rhagorol, y bywyd goreu a dreuliwyd erioed ar y ddaear, a dreuliwyd, nid mewn gwag ddifyrwch, nid ar y gofalon poenus hyny â pha rai y gwelir dynion mor aml yn eu blino a'u haflonyddu eu hunain er mwyn pethau diflanedig y byd; nage, ond llanwyd ei fywyd ef â gweithredoedd o drugaredd, â gweithredoedd o ddaioni parhaus, â'r gweithredoedd defnyddiol anfarwol hyny sydd yn unig yn deilwng o dragywyddol goffâd a channoliaeth, am mai iachawdwriaeth dragywyddol oedd eu hegwyddor, eu tueddiad, a'u diben pennodol. Mewn gair, fel y dywedodd Alexander Fawr, goresgynwr Asia, wrth ei Gadpeniaid, Nad oedd efe yn mesur hŷd ei einioes wrth rifedi ei ddyddiau, ond wrth rifedi ei fuddugoliaethau; felly y gallwn ninnau ddywedyd, mai hir oedd einioes yr Iesu, pan, yn gadael heibio ei barhâd, yr edrychwn yn unig ar y gweithredoedd dibaid a lliosog o drugaredd a nerth sydd yn ei phrid-nodi a'i haddurno.

*(I'w barhau.)*

---

## DIFFYNIAD AC EGLURHAD

*ar Wasanaeth yr Eglwys Sefydledig, mewn ffordd o Holiad ac Atebiad rhwng* YSGOLHAIG *a'i* ATHRAW.

(Parhad o du dalen 274.)

HEFYD, oddiwrth ddeisyfiad y disgyblion, *Luc* 11. 1. "Arglwydd, dysg i ni weddïo, megys ag y dysgodd Ioan i'w ddisgyblion." Gellir deall ei fod yn beth arferol gan y dysgawdwyr Iuddewig wneuthur ffurfiau i'w disgyblion. Gwel y Dr. *Lightfoot* ar *Mat.* 6. 9. Y mae yn ddiammheuol i Ioan Fedyddiwr roddi i'w ddisgyblion ef ffurf o weddi: a Christ a gymmeradwyodd yr hyn a wnaeth Ioan, trwy gyfarwyddo ei ddisgyblion i arfer Gweddi yr Arglwydd, yr hyn hefyd a wnaeth efe ddwy waith.

*YSGOLHAIG.* Pa bryd o'r blaen y dysgodd efe iddynt y ffurf hon?

*A.* Oddeutu blwyddyn a hanner cyn hyn, yn ei bregeth ar y mynydd, Mat. 6. 9. "Am hyny, gweddïwch chwi fel hyn;"—lle, mae 'n debygol, na ddarfu i'r disgyblion edrych arno ond fel cynllun yn unig, ac nid fel ffurf; os amgen ni buasent yn gofyn iddo etto am ffurf o newydd: am hyny, medd Crist, "Pan weddïoch, dywedwch, Ein Tad," &c. Gwel y serch a ddangosodd Crist i ni, trwy ein haddysgu yn y ffurf hon, pa fodd i weddïo; ffafr fawr yn wir i ni, y rhai ni fedrwn ein hunain weddïo fel ag y dylem, nac ychwaith ofyn dim yn iawn. Pe bai i fab y brenin ysgrifenu cynllun o Anerchiad dros un o'i ddeiliaid tlodion, i'w roddi yn llaw ei dad, pa sylfaen o obaith a fyddai ganddo y gwrandewid ei gais? Os bydd i neb o honom edrych gyda diystyrwch ar Weddi ein Harglwydd, O, â pha ddiystyrwch yr edrych yntau arnom ni, a'n gweddïau!

Dal sylw, bod yr Eglwys Gristionogol, yn agos i amser Crist, yn arfer y weddi hon fel ffurf. Y mae Tertulian, yn y drydedd ganrif, yn dywedyd, "*Christus novam orationis formam determinavit:*"* hyny yw, "Crist a appwyntiodd ffurf newydd o weddi." A thrachefn, y mae 'n dywedyd, "Tra y bo Cristionogion yn arfer gweddïau ereill, nid yw hon yn cael ei hesgeuluso:"—"*Præmissâ legitimâ & ordinariâ oratione quasi fundamento.*"

St. Cyprian, yn yr un ganrif, sydd yn dra helaeth ar y matter hwn. Medd efe, "Crist yn gofalu am iechydwriaeth ei bobl:"—"*Etiam orandi Formam ipse dedit,*" "Efe ei hun a roddodd iddynt ffurf o weddi." Ac yna y mae yn ein cynghori i weddïo fel y dysgodd ein Hathraw i ni; fel, pan weddïom, y bo i'r Tad gydnabod geiriau ei Fab:" ac medd efe, "Tra bo genym Grist yn Eiriolwr trosom, defnyddiwn eiriau ein Heiriolwr: a pha fodd mwy effeithiol tu ag at dderbyn pa beth bynag a ofynwn yn enw Crist, na gofyn yn y weddi a ddysgodd efe i ni?"†—Hefyd y mae 'r Apostol Paul yn dechreu ac y diweddu ei holl Epistolau (oddieithr hwnw at yr Hebreaid—yr achos sydd hy

---

* Tertul. de Orat. c. 1. & c. 9.

† Cypr. de Orat. Domin.

bys) gyda ffurf; sef yw hyny, wrth ddechreu, "Paul," &c. ac wrth ddiweddu, "Gras ein Harglwydd," &c.

*Y.* A oedd ffurfiau yn cael eu harfer yn yr Eglwys Gristionogol er amser Crist?

*A.* Bod ffurfiau o weddi yn cael eu harferyd yn yr Eglwys trwy ynghylch tri chant ar ddeg o flynyddoedd a aeth heibio, a gyfaddefir gan y rhai sydd yn dadleu fwyaf yn eu herbyn, oddiwrth *Conc. Laod.* c. 18. 3. *Carth.* c. 23. A'u bod wedi parhau o'r amser hwnw hyd yn awr sydd anwadadwy. Mae'n amlwg, oddiwrth lawer o dystion, y rhai oeddynt yn byw yn nghylch y fl. 370 a 400, mai St. Chrysostom, St. Ambrose, a St. Bazil, a gyfansoddasant y Gweddïau Cyffredin.

Y mae Eusebius yn canmol yr Ymerawdwr duwiol Cystenyn, am iddo gyfansoddi gweddïau i'w filwyr. Ei eiriau ef am yr Ymerawdwr ydynt, "Λογων ευχτηριων διδασκαλος;" hyny yw, "Addysgwr geiriau gweddi." Nid yw yn debygol y buasai i'r Ymerawdwr gyfansoddi y cyfryw weddïau, oni buasai fod y cyfryw ffurfiau yn cael eu harfer yn yr Eglwys Gristionogol y pryd hyny.*

Y mae Origen, gan mlynedd cyn Cystenyn, yn adrodd rhan o Wasanaeth arferol yr Eglwys, "*Frequenter in oratione dicimus, da, Omnipotens, da nobis Partem cum prophetis;*" hyny yw, "Dyro, O Hollalluog Dduw, dyro i ni ran gyd â'r prophwydi."†

Y mae St. Cyprian yn crybwyll am arferiad o ryw ffurfiau yn Ngwasanaeth Eglwys Carthage yn ei amser ef (250 ar ol Crist). Yn nechreuad y Gwasanaeth, medd efe, mae yr Offeiriad yn dywedyd â llef uchel, "*Sursum corda;*" hyny yw, "Dyrchefwch eich calonau:" a'r bobl yn ateb, "*Habemus ad Dominum;* hyny yw, "Yr ydym yn eu dyrchafael i'r Arglwydd."‡

Ar ol y Diwygiad (yn y flwyddyn 1688) mae gan Eglwysi y Saxoniaid, y Lutheriaid, a'r Bohemiaid, eu ffurfiau o Wasanaeth Cyffredin.—Yr oedd gan Eglwys Geneva ei ffurf o Wasanaeth ar Ddydd yr Arglwydd, yr hon a gyfansoddwyd gan Calvin, yr hwn, yn ei lythyr at y "*Lord Protector in England,*" sydd yn rhoi ei farn o du ffurfiau sefydledig; dyma ei eiriau—"Canys cymmaint ag a berthyn i ffurf o weddïau a defodau Eglwysig," *valde probo,* "yr ydwyf yn ei fawr gymmeradwyo," &c. "fel y byddo yn gynnorthwy i'r rhai gweiniaid, yn dystiolaeth o gydsyniad yr Eglwysi, ac i roi attalfa ar ysgafnder anwadal y rhai a chwennychant bethau newyddion."*

*Y.* Beth yw ystyr y gair *Eglwys?*

*A.* Wrth Eglwys Gristionogol y meddylir, Cynnulleidfa o bobl wedi ymroddi i ymgynnull i addoli Duw, mewn tŷ wedi ei neilldno i addoliad dwyfol, lle y darllenir ac y pregethir Gair Duw yn yr iaith gyffredin, ac y gweinyddir sacramentau yn iawn a dyladwy. Wrth hyn chwi a welwch yn eglur, fod Eglwys Loegr yn wir eglwys Crist, gan ei bod yn dal yr athrawiaeth iachus, yr hon sydd yn ol duwioldeb, ac yn gweini y sacramentau wrth y rheol a roddodd Crist i ni; ac nid ydyw yn dal dim, megys yn angenrheidiol i iechydwriaeth, ond sydd gynnwysedig yn yr Ysgrythyr Lân. Gwel y 6ed Erthygl o'i heiddo. Teilwng o'n sylw yma yw geiriau Chillingworth,† Difinydd dysgedig o'r Eglwys Sefydledig—"Wrth y Grefydd Brotestanaidd," medd efe, "nid wyf yn deall Athrawiaeth Luther, Calvin, neu Melancton; na Chyfaddefiad Ausberg, neu Geneva; Catecism Heidelberg, nac Erthyglau Eglwys Loegr; ond yr hyn y maent oll yn cytuno ynddo, fel perffaith reol ffydd a gweithred, sef, Y BIBL! Y Bibl, meddaf, y Bibl yn unig, ydyw crefydd y Protestaniaid. O'm rhan i, ar ol hir chwilio am y wir ffordd i dragywyddol hapusrwydd, yr wyf yn syml broffesu, mi chefais orphwysfa i wadn fy nhroed, ond ar y graig hon yn unig: mewn gair, nid oes sicrwydd digonol, ond y Bibl yn unig, i ddyn ystyriol adeiladu arno: yn ol hwn y byddaf byw; a throsto, os bydd achos, yn ewyllysgar, ïe yn llawen, collaf fy mywyd."‡

*Y.* Beth yw ystyr yr enw *Protestaniaid?*

*A.* Dan y titl hwn y cynnwysir pawb a anghytunant â, ac a ymneillduant oddiwrth, athrawiaeth y Pab, ym mha wlad bynag y mae yn trigo, neu i ba sectau bynag y maent wedi eu rhanu. Yr enw hwn a roddwyd i'r Diwygwŷr cyntaf yn Germany, o herwydd y broffes gyhoeddus a wnaethant yn Spires, yn Germany, oed Crist 1592, i appelio oddiwrth Osodiadau (*Decrees*) yr Ymerawdwr Charles V. at y Gymmanfa Gyffredinol (*General Council.*)

*Y.* A ydyw Eglwys Loegr yn Eglwys Brotestanaidd?

*A.* Ydyw, yn wir; ac nid oes un Eglwys, sect, na phlaid yn y byd yn fwy gwrthwynebol i'r Grefydd Babaidd na hon. Y mae yn rhwymo ei holl Weinidogion, trwy lw, i ymwrthod â'r Pab a'i

* Euseb. de vita Const. L. 4. c. 19, 20.

† Orig. Hom. 11. in Jerom. cont. Celsum L. 6.

‡ Cypr. de Orat. Dom.

* Calv. Ep. 87.

† Yr oedd efe yn byw yn nheyrnasiad Charles I.

‡ Chillingworth's Works, Fol. Edit. 1742.

Athrawiaeth, ac i'w gwrthsefyll yn wrol hyd eithaf eu gallu. Ar y pummed dydd o Dachwedd bob blwyddyn, y mae yn gweddïo fel hyn—"Duw, yr hwn y mae dy enw yn ardderchog ar yr holl ddaear, a'th ogoniant uwch y nefoedd, yr hwn a gedwaist yn rhyfeddol ein Heglwys, a'n gwladwriaeth, oddiwrth ddirgelddyfais, ac uffernol falais, cydfradwyr Pabaidd," &c. Y mae yn gwrthwynebu yn gadarn athrawiaeth gyfeiliornus y Pab yn y pethau canlynol; sef, y mae yn gorchymyn i'w chymmunwyr gymmeryd y cymmun yn y ddau ryw, bara a gwin, yn groes i athrawiaeth yr Eglwys Babaidd, yr hon sydd yn gwahardd y gwin i'r bobl gyffredin; ac felly yn eu cyssegr-yspeilio o'r naill hanner o Swpper yr Arglwydd, yn hollol wrthwyneb i orchymyn Crist.

Y mae yn gwadu yr athrawiaeth ynfyd hòno o eiddo yr un Eglwys lygredig, sef y Traws-sylweddiad, neu y cyfnewidiad o'r bara a'r gwin i wir gorph a gwaed Crist. Dyma eiriau ein Heglwys ar y pwngc—"Canys y mae bara a gwin y sacrament yn aros yn wastad yn eu gwir anianol ddefnyddiau, fel na aller eu haddoli (canys hyn a fyddai eilun-addoliad, i'w ffieiddio gan bob Cristion ffyddlon) ac y mae corph a gwaed anianol ein Hiachawdwr Crist yn y nef, ac nid yma; canys ni chydsaif fod corph Crist yn wir anianol, a'i fod ar yr un amser o fewn ychwaneg o fanau nag un." Gwel y nòd ar ddiwedd Gwasanaeth y Cymmun.

Y mae yn dal ac yn defnyddio dau sacrament yn unig, megys yn gyffredinol yn angenrheidiol i iachawdwriaeth, sef, Bedydd, a Swpper yr Arglwydd, yn groes i'r Eglwys Babaidd, yr hon sydd yn dal pump yn ychwaneg; sef, Conffirmasiwn (*confirmation*) Penyd (*Penance*) Enneinad y Claf (*Extreme Unction*) Urddau (*Orders*) a Phriodas (*Matrimony*) heb un gorchymyn oddiwrth Grist am y cyfryw, na sylfaen iddynt yn yr Ysgrythyr Lân. Yn fyr, y mae yn ymwrthod yn hollol â choel-grefydd yr Eglwys Babaidd; megys, gweddïo ar Mair, a'r Seintiau; addoli delwau; maddeu pechodau; gweddïo dros y meirw; hanfod y Purdan; credu a chyffeddef Eglwys Rufain yn fam ac yn feistres yr holl Eglwysi; addef y Pab yn Ficar Iesu Grist, ac yn ben ar yr Eglwys Gathoic trwy 'r byd. Yr holl bethau hyn, a llawer ychwaneg o'r unrhyw, y mae yr Eglwys Babaidd yn eu credu yn gadarn;* a'n Heglwys ninnau mor gadarn yn eu gwadu, ac yn eu gwrthwynebu, gan eu ffieiddio fel heresiau dinystriol.

Trwy lafur a diwydrwydd duwiol Esgobion ac Offeiriaid Eglwys Loegr, a bendith Duw Hollalluog yn eu llwyddo, y dygpwyd oddi amgylch y Diwygiad bendigedig yn y deyrnas hon. Y pryd hyn yr arllwyswyd yr Eglwysi o'r delwau, offeren, offrymau, a holl ynfyd bethau Eglwys Rufain: yna gwisgwyd eu Hoffeiriaid âg iechydwriaeth, a'r saint tan ganu a ganasant: a byth wedi hyn, crefydd y Bibl, Crist a'i apostolion, yw crefydd ein Heglwys ni:—parhaed felly hyd na byddo amser mwy, Amen.

Tra parhao Eglwys Loegr yn Eglwys Sefydledig yn y deyrnas hon, nis gall Pabyddiaeth wneuthur llawer o ddrygau yma: ond pe cai y llaw uchaf arnom etto, fel yn amser Mari, yna y gellid canu yn iach i glywed pregeth am Grist, a'r iechydwriaeth fawr yn ei waed ef; i'r Bibl hefyd, ffynnon ein holl gysuron yn y byd hwn, a'n *siarter* mawr am wynfyd mewn byd sydd well. Y pryd hyny y gellid canu yn iach i bob rhyddid crefyddol, wedi ein dal yn dyn dan iau caethiwed: canys hysbys yw, bod Pabyddiaeth erioed, a rhaid iddi yn ei natur, barhau yn grefydd ynddi ei hun. Nis gall ychwaith, yn ol natur ei hegwyddorion, byth ganiatâu rhyddid i un grefydd arall: tystiolaeth o hyn yw ei chreulon a'i gwaedlyd erlidigaeth ar y Protestaniaid bob amser ag y byddai hyny yn ei gallu. Cofiwn y galanastra a wnaeth yn Ffraingc, Lloegr, a'r Iwerddon;* a chofiwn fflamau Smithfield, yn Llundain. Rhag palfau 'r arthes hon, "gwared ni, Arglwydd daionus."

T. E.

---

## HYNAFIAETH EGLWYSIG.

### Y BEDYDD-FAN.

ADEILEDID y Bedydd-fanau yn gyntaf yn agos i'r Eglwys, yna *yn mhorth* yr Eglwys, ac wedi hyny gosodwyd hwynt (fel y mae yr arfer yn awr yn ein plith ni) *yn* yr Eglwys ei hun, ond etto yn cadw yn y *pen isaf*, i arwyddo mai trwy fedydd y mae *dyfodiad i mewn* i'r Eglwys. Yn yr amseroedd boreuol canfyddwn hwynt yn helaeth

* Gwel y Credo Pabaidd, yr hwn a gyhoeddwyd gan y Pab Pius IV. Rhagfyr 9, 1564.

* Yn nheyrnasiad Charles IX. ar y 24ain o Awst, 1572, lladdwyd o Brotestaniaid yn Ffraingc, gyd a'r creulondeb mwyaf echryslon, Deng Mil a Thrugain!! ac yn amser Lewis XIV. collodd lliaws aneirif eu bywydau a gyrwyd i alltudiaeth Bum Can Mil o Brotestaniaid! Yn y fl. 1641, lladdwyd Deugain Mil o Brotestaniaid yn yr Iwerddon!

a chynnwysfawr, nid yn unig i ateb i arferion cyffredin yr amseroedd hyny, sef *trochi* dynion, neu eu rhoddi dan ddwfr, ond hefyd oblegid fod y tymhorau gosodedig i fedyddio yn dyfod mor anaml, ac y byddai yn gyffredin luaws yn cael eu bedyddio ar unwaith. Yr oeddynt wedi eu rhanu yn ddau parth, un i feibion, a'r llall i ferched, fel trwy eu bedyddio ar eu penau eu hunain, y gochelent roddi tramgwydd na rhwystr. Ond gan fod yr arfer o *drochi* yn awr wedi ei gadael heibio, a bedydd yn cael ei weinyddu ar bob amserau, ac i bersonau unigol, a'r rhai hyny hefyd yn gyffredin yn *blant*, nid oes achos iddynt gymmeryd cymmaint o le yn yr Eglwys. Y cwbl ag sydd yn ofynedig yn awr yw, bod un ym mhob Eglwys, wedi ei gwneuthur o *faen*, oblegid (medd Durand) fod y dwfr, yr hwn oedd gysgod o fedydd yn yr anialwch, yn tarddu allan o *graig; Exod.* 17. 6. ac oblegid fod Crist, yr hwn sydd yn rhoddi y dwfr bywiol, yn cael ei alw yn yr ysgrythyr yn *Graig* a *chonglfaen*.

C. T.

## GWALLAU YN Y BIBL CYMRAEG.

Mr. Gwyliedydd—Yn chwanegiad at y gwallau a nodwyd eisoes yn y Bibl wythplyg diweddaf, argraffedig gan y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol, byddwch mor fwyn a chrybwyll am y rhai canlynol yn eich Cyhoeddiad clodwiw. Yn Jeremi 27 1. "Yn nechreu teyrnasiad *Jehoiachim;*" yn lle, "Yn nechreu teyrnasiad *Sedeciah.*" Gan mai Sedeciah a enwir yn yr holl hanes, tebygol yw, mai gwall yr argraffydd, neu un o'r cyhoeddwyr boreuol, ydyw. Yn Matthew 27. 9. "Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddywedwyd trwy *Jeremias;*" yn lle, "trwy *Zecharïas.*"

Barchedig Wyliedydd, byddaf ddiolchgar i chwi am ymdrechu cael diwygiad o'r gwallau uchod yn yr argraffiad sydd ar fedr cael ei gyhoeddi.——Yr eiddoch, &c.

M. R. Ll.

---

## YNGHYLCH DEFNYDD OFFER CERDD Y'MHLITH AMRYW GENHEDLAETHAU Y BYD.

Gan fy mod, fel pe bai, mewn rhyw fodd, gwedi ymwystlo fy hun i ti, Wyliedydd effro, er's talm, i'r gwaith o gynnyg ychydig sylwadau ar y testun uchod, gyd â'th amynedd a'th fwyneidd-dra yn fy nghymmell, dechreuaf yn awr, gyd â'r Iuddewon, wrth grybwyll am yr arferiad o "Offer Cerdd" yn eu plith hwy, cyn ac ar ol iddynt dderbyn yr enw pennodol hwn. Yn moreuddydd y byd, fe ddarfu i'r Hebreaid goledd cerddoriaeth gyda mawr wresogrwydd. Ac ar bob achlysur rhodresawl ac arbennig, hwy a'i defnyddiasant, heb ei phriodoli yn unig er dibenion cyssegredig, megys wrth lettya a difyru eu ceraint a'u cyfeillion, cynnal gwyliau cyhoeddus, a'r cyffelyb wrthddrychau. Fel hyn y dywedai Laban wrth Jacob, pe gwybuasai ei fod yn ei adael ef, "yr hebryngasai efe ef â llawenydd ac â chaniadau, â thympan ac â thelyn." *Gen.* 31. 27. Y mae Esay *(Pen.* 5. 12.*)* yn dywedyd, "Fod y delyn, a'r nabl, y dympan, a'r bibell, yn eu gwleddoedd hwynt." Ac er hysbysu gorphen y cyfryw wleddoedd, efe a lefara mewn man arall, "darfu llawenydd y tympanau, peidiodd trwst y gorfoleddwyr, darfu hyfrydwch y delyn." Yr oedd yr un arfer hefyd yn eu mysg pan y coronid eu breninoedd. 2 *Cron.* 23. 13. "Wele y brenin yn sefyll wrth ei golofn yn y ddyfodfa, a'r tywysogion, a'r udgyrn yn ymyl y brenin; a holl bobl y wlad yn llawen, ac yn lleisio mewn udgyrn; a'r cantorion âg offer cerdd, a'r rhai a fedrent foliannu." A hon oedd y ddefod arferol i ddatgan eu digrifwch pan dderbynient newyddion da o fuddugoliaeth, a phan ddychwelai eu penaethiaid a'u tywysogion yn ol o ryfel mewn gorfoledd, fel y gwelir yn *Barn.* 11. 34. a 1 *Sam.* 18. 6. Yr arferid cerddoriaeth a dawns gan yr Iuddewon yn eu gwleddoedd, yn yr amseroedd diweddar, a ellir ei gasglu oddiwrth ddammeg y mab afradlon (*Luc* 15. 25.) lle y dywedir, "A phan ddaeth efe a nesâu at y tŷ, efe a glywai gynghanedd a dawnsio."

Ond fe briodolir yn yr Ysgrythyr yr effeithiau mwyaf rhyfeddol i'r gelfyddyd hon o gerddoriaeth Hebreaidd, am yr hon nis gwyddom ni ond ychydig. Y mae amryw siamplau yn yr hanesion dwyfol ag

sydd yn coffâu mawr rym a swynion cerddoriaeth, er mwyneiddiaw y tymherau, llonyddu a meddalhau cynhyrfiadau ac anwydau y meddwl, bywiogi ysprydoedd llesg, a gyru ymaith drymder calon. Y cyfryw effaith a gafodd ar Saul, pan chwareuodd Dafydd iddo ar y delyn. 1 *Sam.* 16. 16—23. A phan ofynodd Jehosaphat i Eliseus, pa fath fyddai ei lwydd yn erbyn brenin Moab, y prophwyd a alwodd am gerddor; "A phan ganodd y cerddor," dywedir i "law'r Arglwydd ddyfod arno ef." 2 *Bren.* 3. 15. Nid am fod y ddawn o brophwydoliaeth yn effaith naturiol o eiddo cerddoriaeth, ond hyn y mae 'n arwyddocau, yn ddiammau, ei bod hi yn trefnu peiriannau, tueddiadau, ac yn fyr, holl feddwl ac yspryd y prophwyd er derbyn o hono yr argraffiadau goruwch naturiol hyn.

Yr oedd y dawns yn fynych gydymmaith cerdd ym mysg yr Iuddewon. Ar rai prydiau defnyddid cerddoriaeth mewn gwasanaeth crefyddol. Yn y modd hwn y gogoneddodd Miriam y brophwydes, gyd â'r gwragedd, Dduw ar ol y waredigaeth oddiwrth yr Aiphtiaid, "A thympanau ac â dawnsiau." *Exod.* 15. 20. "A Dafydd a ddawnsiodd ger bron yr Arch." 2 *Sam.* 6. 14, &c. Peth cyffredin iawn ydoedd yn ngwleddoedd yr Iuddewon, (*Barn.* 21. 19.) yn eu buddugoliaethau cyhoeddus, (*Barn.* 11. 34.) ac ar bob achosion o lawenydd a gorfoledd, (*Salm* 30. 11. *Jer.* 31. 4--13, &c.) Yr Israeliaid eilun-addolgar a'u gwnaethant yn rhan o'r addoliad a dalasant i'r llo aur. *Exod.* 32. 19. Darfu yr Amaleciaid ddawnsio ar ol ennill y frwydr yn Siclag. 1 *Sam.* 16. Ac y mae Job (*Pen.* 21. 11) yn ei gyfrif yn rhan o nodweddiad yr annuwiol pan fyddont llwyddiannus; sef y rhai a osodant eu holl ddedwyddwch ar foddhâd eu nwydau, ac a anghofiant Dduw a chrefydd, "Eu bod yn danfon allan eu rhai bychain fel diadell, a'u bechgyn a neidiant." Dawnsiad merch Herodias odiaethus a ryngodd fodd Herod gymmaint, fel yr "addawodd roddi iddi beth bynnag a ofynai." Ac yn ganlynol, ar ei chais hi, ac er mwyn parch tu ag ati, "Efe a anfonodd, ac a dorodd ben Ioan Fedyddiwr yn y carchar." Hyn, yn fwyaf tebygol, oedd gyffelyb i'r chwaraeau trythyll, yn y rhai, yn ein dyddiau ni, yr ymddengys benywod yn dawnsio, trwy y parthau dwyreiniol o'r ddaear. Gwel lythyrau *Carne* o'r dwyrain, tu dal. 165.

Ac y mae 'r Gerdd-gelfyddyd, ym mhellach, o ddechreuad boreuol iawn; canys fe elwir Jubal, cyn y diluw, yn Dad neu yn Athraw y rhai a chwareuant ar y delyn, a'r brif organ; megys y cyfieithir, yn gyffredin, y ddau air Hebraeg yn y lle hwnaw. *Gen.* 4. 21. Yr offeryn hwn, yn yr aith wreiddiol, a elwir *Hugab*, ac yr oedd yn fath o chwibanogl, wedi ei chyfansoddi o amryw bibellau o wahanol faint, a'r rhai'n wedi eu cyssylltu â'u gilydd. Ysgatfydd eu bod yn debyg i ryw ddull o offeryn bugeilaidd, cyffelyb i'r un a ddarlunir gan *Virgil*, *Eclog.* 2. llin. 36.

"…. disparibus septem compacta cicutis
Fistula"——

Yr oedd Dafydd yn dywedyd am dano ei hun, pan oedd fugail, "Fy nwylaw a wnaethant yr organ," yr hyn beth sydd yn cadarnhau dyb hon.

Gwelsom eisoes ddefnydd cyffredin Cerdd, yn amser y Patrieirch hyd at deyrnasiad Solomon, yr hwn (*Preg.* 2. 8) "a ddarparodd iddo ei hun gantorion a chantoresau, a phob rhyw offer cerdd, difyrwch meibion dynion." Barn y Dr. Blair yw, fod Cerddoriaeth a Barddoniaeth yn ddoniau naturiol, a'i resymau ydynt, ddarfod i'r un cynhyrfiad ag a gymhellodd iaith brydyddol beri hefyd ryw hyfrydlais, neu beraidd sain, addas i gyffroadau o lawenydd neu dristwch, syndod, cariad, neu gasineb. Y ddwy gelfyddyd yma a gawsant yr unrhyw ddechreuad; canys hwy a annogwyd drwy yr un fath achlysuron; hwy a gydunwyd mewn cân. Y Prif Feirdd a ganasant eu hodlau eu hunain; ac oddi yma y deilliodd yr hyn a enwir awenyddiaeth neu brydyddiaeth.

Y fath gyfansoddiadau a hyn, yn unig, a fedrent ennill sylw dynion yn eu cyflwr gwyllt ac anghelfydd. Yn wir nis gwybyddent am un arall. Y nerthoedd goruchel o eiddo Cerddoriaeth a chân oeddent yn bur gymmwys i ddenu a difyru, dan y cyfryw amgylchiadau, lwythau, a phobl wylltion, y rhai a fyddent a'u bryd yn hollawl ar ryfel a helwriaeth. Dyma y cyfarwyddyd goreu yn y byd ag a ellid byth eu ddefnyddio gan dywysogion a deddfwyr, pan ddigwyddai iddynt hyfforddi neu gefnogi eu cenedl. Yr hanesion cyntaf a gawn mewn côf-lyfrau, yn nghylch holl genedlaethau y ddaear, ydynt yn dwyn tystiolaeth i'r gwirioneddau hyn. Ac ym mhrif oesoedd gwlad Groeg yr offeiriaid, yr athrawon, neu y philosophyddion, a'r gwladwyr mwyaf dysgedig, a draddodasant eu haddysgiadau mewn prydyddiaeth a chân. *Apollo*, *Orpheus*, ac *Amphion*, eu beirdd cynnaraf, a ddarlunid megys diwygwyr cyntaf dynolryw, a sylfaenwyr dechreuol pob deddf a moesau da. Darfu i *Minos* a *Thales* ganu i'r delyn; y cyfreithiau a sefydlwyd ganddynt; ac hyd yn nod yr oes ag oedd yn rhagflaenu yr eiddo Herodotus nid ymddangosai hanesion gwladol mewn unrhyw ddull arall namyn ar gân.

Yn yr un modd ym mysg tylwythau ereill y byd, prydyddiaeth a chaniadau oeddent y gwrthddrychau cyntaf ag a ddangos-

asant eu hunain. Ym mhlith y Scythiaid a'r Gothiaid yr oedd llawer o'u breninoedd a'u blaenoriaid yn *Scalders*, neu Brydyddion; ac oddiwrth eu caniadau, a elwir *Runic*, y mae 'r ysgrifenwyr mwyaf cynnar o'n hanesiaeth yn benthyca y rhan fwyaf o'u gwybodaeth am danynt. Ac ym mysg y Celtiaid, yn Brydain, Ffraingc, a'r Iwerddon, hysbys yw i ni pa gymmaint o barch a gafodd eu Beirdd, a'r awdurdod a feddiannent dros y bobl. Yr oeddent hwy yn brydyddion a cherddorion hefyd, fel ag yr oedd y Prif-feirdd ym mhob gwlad. Yn wastad byddent yn agos i ryw benaeth neu lywiawdwr. Hwy a gadwent hanesion o'u holl orchestion; ac anfonent hwy, ar genadwri, rhwng y llwythau a fyddent yn ymrafaelio, gan eu bod mewn parch a chyfrifiad neillduol yn ngolwg pawb. Ond gan fod yr ymarfer o Gerddoriaeth mor gyffredin ym mhob oes a chenedl, ynfydrwydd fyddai priodoli i neb rhyw ddyn y dychymmygiad o'r gelfyddyd hon. Rhaid oedd iddi fyned yn y blaen, mewn cynnydd rheolaidd, trwy febyd ac ieuengctyd, cyn y delai hi i berffeithrwydd cyflawn.

Nis gall un genedl, oddieithr yr Aiphtiaid, ddwyn profion o hynafiaeth mor ddiammeuol o'i phlaid. Gwaith ofer, ynte, yw ymdrechu dilyn Cerddoriaeth goruwch hanesiaeth yr Aipht. A pha fath ydoedd ei natur neu ei rhagoriaeth ar yr amser hwn nid oes modd yn awr i wybod. Ar ol teyrnasiad teulu Pharaoh syrthiodd yr Aiphtiaid, yn eu cylch, dan lywodraeth yr Ethiopiaid, y Persiaid, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid. Fel hyn y gwasgarodd ar led y gelfyddyd hon trwy holl barthau y byd yn yr amseroedd dyfodol. Ac y mae y Bardd enwog a boreuol hwnw, a ysgrifenodd ar warchae Caerdroia, sef Homer, yn wastad yn sôn am dani yn ei ddwy gân odidog. Ac ar ol hyn, oddeutu 300 mlynedd cyn Crist y darfu i Araethyddiaeth, Barddoniaeth, Cerddoriaeth, y gelfyddyd o adeiladu, Hanesiaeth, Cerfiadaeth, a'r gwaith lliwio fel blodau gwirfoddol natur, lwyddo a gwellhau, heb unrhyw ymddangosiad o lafur neu gelfyddyd. Ac y maent yn parhau, fel y canfyddwn, ym mhob teyrnas hyd yr awrhon.

Gan fod dyn, wrth natur, yn feddiannol, mewn rhyw radd, o'r ddawn am yr hon yr ydym yn crybwyll, er gwellhau a chynnyddu o honi yn nghyflawnder amser, nid rhyfedd i'r rhan fwyaf o genedlaethau y byd gyduno i ymarferyd â Cherddoriaeth yn eu defodau crefyddol. Y mae 'r prophwyd Daniel yn hysbysu fod Nebuchodonosor, brenin Babilon, wrth "gyssegru ei ddelw fawr," yn galw y bobl i'r addoliad o honi, "trwy sŵn y cornet, y chwibanogl, y delyn, y dulsimer, y saltring, y symphon, a phob rhyw gerdd." Ar yr un egwyddor, sef tuedd naturiol, y daeth yr arfer hyd atom ni oddiwrth yr Aiphtiaid, a'r Hebreaid, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid, Apostolion Crist, a'u dilynwyr hwy ym mhob oes o'r Eglwys Gristionogol.

Nid ymhelaethaf ond gair neu ddau yn ychwaneg, ynghylch Telynorion Brydain, y rhai oeddent yn dra hynodol cyn ei goresgyn gan Wilym y Norman. Ac y mae hen freintiau mawrion y Cerddorion, yn ffeiriau ac uchel farchnadau Caer (*Chester*) yn dra adnabyddus yn hanesiaeth Lloegr. Yn Nghymru yr oedd y wybodaeth o Gerdd mewn gradd uchel o berffeithrwydd. Ac ni a allwn gasglu hyn oddiwrth sefydliad y Cerddorion trwy gyfraith yn un corph cymdeithasol. A pheth sydd fwy, y mae llawer o gyfansoddiadau yr hen oesoedd gwedi eu cadw yn draddodawl hyd yr awrhon gan y telynorion a'r cantorion, neu gânwyr pennillion. Edrych *Cambrian Register*, am y flwyddyn 1795, tu dal. 385, &c. lle y ceir hanes am 24 o reolau Caingc, a'r amryw offerynau cerdd a arferid yn ein gwlad. Y mae 'n llawn bryd i ddiweddu, gan roddi diolch i Dduw am bob *dawn*, a dywedwn yn ngeiriau y Prydydd:—

"Am greu 'r Greadigaeth, am Bryniad dibriniaeth,
"Am raslon grediniaeth, hyw iniaeth dy blant,
"Datganed breninoedd, a'r holl ddaear filoedd,
"Filoedd at filoedd it' foliant.

"Pawb a glodforant Dduw oll a ddeallant,
"Y doniau dderbyniant o lwyddiant dy law:
"Pob rhoddiad berffeithlan sy anrheg gysurlan,
"O'th fawredd di allan yn deilliaw."

HILARIUS.

## Y DDERWEN.

*(Parhad o du dalen 308.)*

PAN mae 'r Dderwen yn tyfu yn unigol, y mae hi yn fwy tueddol i wasgaru ei brigau nag i ymddyrchafu; a dywedir ei bod, pan yn y sefyllfa hôno, yn fwy cadarn a defnyddiol; a bod y canghenau ceimion yn llawer rhagorach i adeiladu llongau na phan fyddo amryw yn tyfu ynghyd. Mewn coedwigfa lawn o'r rhyw yma, dyrchafa y Dderwen ei brig o gylch 80 neu 100 troedfedd cyn iddi ddechreu adfeilio; ac mewn rhai o'r prenau mwyaf dewisol, canfyddir deugain, deg a deugain, ie, hyd yn nod bedwar ugain troedfedd o hŷd o'i chorph, heb gymmaint a changen yn ymddangos; ac o'r fath dryfesur fel y mesurant o'u bonyn i'w blaen o hanner llath i ddwy droedfedd pedwar-ochrog. Y mae y rhai hyn mor gymmwys i wneuthur trawstiau, ac ystyllod tewion (*planks*) a dim o'r coed ceimion. Gan hyny, i'r diben i gael digon o rai addas, nid yn unig i wasanaeth y môr, ond hefyd i'n gwasanaeth cartrefol,

nid anfuddiol fyddai cael digon o'r ddau fath wrth law.

Bonyn y Dderwen, bid gwir, a gyrhaedd y tryfesur mwyaf, yn enwedig hen geubreni: y rhan fwyaf o'r rhai hyn a fesurant gymmaint ag un droedfedd ar bymtheg ar draws eu ceudod, pryd na bydd ond plisgyn o bren byw oddi allan, digon grymus i ddwyn dail a mês. I ba oedran y parhâ y dderwen i dyfu gwedi i'r galon ddarfod, sydd hyd yma yn anhysbys; ond mewn lleoedd dewisol, y mae yn rhaid eu bod o hir barhad. Cyfrifodd Evelyn, yn y Goedwigfa Newydd, ddosparthiad o goedydd, dri neu bedwar cant o blanhigion cymmerfedd o wŷdd, a phob un o honynt, meddylid, o dwf blwyddyn. Yr un planydd nodedig, wrth sylwi ar Dderw yn *Donington Park*, ger llaw *Newbury*, diweddar breswylfa *Chaucer*, a ddywed, nad oeddynt wedi dyfod i'r maintiolaeth a gyrhaeddasant mewn llai o amser na 300 o flynyddoedd gwedi hyny. Etto, ni ddywed efe pa sail oedd gan Gilpin i ddywedyd, yn ei Gelli-ddarlun, "Y mae ychydig o Dderw yn y Gelli Newydd â choffadwriaeth am eu bonau cwysedig oesau cyn y goresgyniad." Efallai na byddai yn anfuddiol sylwi ychydig ar rai o'r hen Dderw rhyfeddol hyn. Un o'r tair yn *Donington Park*, sef y Dderwen Freiniol, neu Dderwen y Brenin, oedd 50 troedfedd o uchder cyn i gangen na chwlwm ymddangos arni. Ei bonyn a fesurodd gyflawn bum troedfedd pedwar-ochrog. Derwen y Frenhines hefyd oedd cyn sythed a'r saeth am 40 troedfedd, ac yna ymranodd yn ddwy gaingc anferth: ei bonyn a fesurodd 4 troedfedd pedair-ochrog. Dywedir i'r Dderwen *Chaucer* gael ei phlanu gan law y Bardd ei hun: ond nid oedd hon i'w chydmaru â'r rhai breiniol; etto yr oedd yn bren uchelwych a boneddigaidd. Yr oedd Derwen *Framlingham*, yr hon a ddefnyddiwyd yn nghydrwymiad y *Royal Sovereign*, a fesurodd 4 troedfedd a 9 modfedd pedwar-ochrog. Hefyd, cafwyd o honi ddau o drawstiau cyfochrog, yn mesur 40 troedfedd yr un. Cwympwyd Derwen yn *Withy Park*, Swydd Amwythig, yn y fl. 1697, yr hon a fesurodd 9 troedfedd o dryfesur, heb y rhisglyn; ac yr oedd yn ei chorph yn unig 8 tunell o goed. Hyd ei brig, o gangen i gangen, oedd 144 o droedfeddi. Yr oedd Derwen yn Nghoedwigfa *Holt*, Swydd *Ham*, yr hon, yn y fl. 1759, a fesurodd 44 troedfedd o dryfesur; ac erbyn pen yr 20 mlynedd gwedi hyny, nid oedd wedi chwanegu hanner modfedd at ei thryfesur. Mae y Dr. Platt yn crybwyll am Dderwen yn *Norbury*, yr hon oedd o dryfesur dirfawr, sef 45 troedfedd. Ar ol ei chwympo, safodd dau farchog, un o bob tu iddi, ac yr oeddynt yn anweledig i'w gilydd wrth ei bonyn. Yr un awdwr a grybwylla am Dderwen arall yn *Keicot*, lle yr oedd digon o le i 4374 o ddynion i sefyll o dan gysgod ei changhenau. Derwen *Beddington*, yn nyffryn Glouster oedd 54 troedfedd o amgylchiad. Yr oedd ei changhenau wedi llwyr ddarfod yn y flwyddyn 1783. Ei cheudod, yn y fan fwyaf, oedd 16 troedfedd o dryfesur; a'i brigyn oedd megys pe ffurfiasid ef yn neuadd harddwych, pryd yr oedd canghenau bychain ar ei uchaf gwywedig, yn meddu dail bychain at faintiolaeth dail perthi, ac yn meddu ffrwyth digonol i ddwyn cnwd helaeth o fês. Yr oedd yn perthyn i'r ceubren hwn ddrws a ffenestr: ychydig o lafur a'i gwnaethai yn ystafell helaeth a defnyddiol. Yr oedd Derwen *Fairlop*, yn *Essex*, yn bren o faintiolaeth rhyfeddol; ond nid oedd i'w chyffelybu mewn maintiolaeth i'r rhai a nodwyd uchod. Ei thryfesur, o fewn 3 troedfedd i'r ddaear, oedd o 6 i 7 o droedfeddi. Derwen *Damory*, yn Swydd *Dorset*, yw y fwyaf o'r rhai y mae sylw wedi cael ei wneuthur o honynt. Ei hamgylchiad oedd 68 o droedfeddi, a'i cheudod yn 16 o droedfeddi, ac 20 o uchder; yr hwn a ddefnyddid gan hen ŵr, yn nyddiau gormeslyd Oliver Cromwel, yn lletty i ymdeithwŷr, ac yn dafarn-dŷ. Yn y drydedd flwyddyn o'r ganrif ddiweddaf, tymhestl ddychrynllyd a chwythodd y Breninbren hwn yn chwilfriw. Yn y fl. 1755, gwerthwyd ei weddillion olaf yn ddefnyddiau tân. Cloddiwyd Derwen anferth ei maint allan o gors *Hatfield*. Hwn oedd 120 troedfedd o hŷd, 12 o dryfesur yn ei bonyn, 10 yn ei chanol, a 6 yn y fan lle torwyd y brigyn ymaith.

Y mae rhai Derw wedi bod yn uchel eu clod mewn hanesyddiaeth o ran eu henwogrwydd, megys y bu ereill o herwydd eu maintiolaeth, er, efallai, bod rhan o'r enwogrwydd, &c. heb sawyr y gwirionedd oll arno. Dywedir fod y Dderwen, yn erbyn yr hon y tarawodd saeth Syr Wiliam Tyrel ar ei ffordd i ladd Wiliam Rufus, yn sefyll yn y Goedwigfa Newydd o fewn llai na chan mlynedd yn ol; a bod Arglwydd Delaware wedi cyfodi colofn ar y llanerch, er coffadwriaeth am y digwyddiad. Derwen Freiniol Boscobel, ym mrigau yr hon y bu Siarl II. yn ymofyn noddfa, wedi ei orchfygu ar faes y gwaed, gerllaw Caer Wrangon, sydd wedi ei diddymu gan henaint; ond y mae amryw o'i hil heddyw yn goed gwerthfawr, wedi cyfodi o'i mês. Safai Derwen, neu o leiaf yr oedd yn sefyll ychydig o flynyddau yn ol, un yn teilyngu mwy o barch na Derwen Boscobel, yn *Torwood Wood*, yn Swydd *Stirling*, Tan gysgod hon, dywedir i'r Albanwr gwladgarol Wallace alw ei gydwladwyr

ynghyd, lle y dangosodd iddynt, nid yn unig yr angenrheidrwydd o amddiffyn eu gwlad rhag llywodraeth orthrymus Iorwerth, ond hefyd eu gallu i wneuthur hyny, ond iddynt fod yn ddiysgog yn eu bwriadau. Crybwylla Gilpin am un fwy henafol na hon—Derwen Alfred yn Rhydychain, yr hon oedd las-bren pan oedd y teyrn rhagorol hwnw yn gosod seiliau y Brif Ysgol. Nis dichon hyn fod yn gredadwy; ond y mae hyn yn ddigon i brofi fod oes un Dderwen cyhyd ag amryw oesau hwyaf yr hil ddynol.

Er pan mae'r Dderwen mewn cymmaint bri a chymmeradwyaeth, hi a ddaeth yn un o wrthddrychau sylw planyddion. Y planwyr coed a feithriniant y planhigion yn ofalus o'r mès. Os bydd y glasbrenau o dyfiant anghyffredin pan eu gosodir yn eu gorseddau sefydlog, rhaid yw eu bod wedi eu hadblanu amryw weithiau. Y rhai afluniaidd a dorir ymaith wrth y ddaear, ac yna y gwreiddyn a fwrw allan flagutyn union-syth, yn lle yr un afluniaidd. Y rhai sydd wedi talu sylw dyledus i'r testun hwn, ydynt o'r farn, er fod eu hadblanu yn attal ychydig ar eu tŵf, nad oes nemawr o fudd yn deilliaw i'r prynydd o hyny; canys ni bydd y pren cyhyd ei barhad a'r hwn a adawyd heb ei adblanu, neu yr hwn a hauwyd gan law ddirgelaidd natur.

O'r amryw rywiau o'r Derw Ewropaidd, y *Quercus Pedunculata* yw yr un fwyaf cymmeradwy ar y Cyfandir. Hon sydd Dderwen ardderchog, ac yn llawer hŵy na Derwen Prydain. Y mae llawer o'r rhywiau hyn yn nghoedwigfa *Fontainebleau* a *Compeigne*, y rhai a fesurant yn eu bôn o 30 i 36 troedfedd o amgylchiad; ac a dyfant o gylch 40 troedfedd o uchder, heb un gangen i'w gweled arnynt. Er mor harddwych yw y rhywiau yma o Dderw, etto nid ydynt mor ddefnyddiol at wasanaeth a'n *Quercus Robur* ni. Gwir fod rhywiau a elwir, gan lysieuwyr Ffrainc, *Quercus Robur*, a *Quercus Sessiliflora*, megys y nodwyd eisoes, yn rhywiau hollol wahanol i Dderw Prydain; canys mae coed y *Quercus Pedunculata*, yn ol a ddywed yr haneswyr hyn, yn galetach, ac yn harddach na'r *Robur*, neu'r *Sessiliflora*. *Quercus Alba*, Gogledd America, sydd hynod o'r tebyg i'r *Quercus Pedunculata*. Canfyddir hon yn yr holl Daleithiau Cyfunol, o *Florida* i fynu i *Canada*. Y rhywiau yma a ddefnyddir gan yr Americaniaid i adeiladu eu tai, a'u llongau, ac hefyd costrelau gwirod a ddefnyddiant o honynt; ond eiddo y Dderwen Goch a wnant yn llestri i gadw defnyddiau sychion yn unig. Trosglwyddir llawer iawn o'r coed yma i Brydain. Dywed Parkinson fod yr Indiaid yn tynu olew o fês y rhyw yma, er parotoi eu lluniaeth. Y rhyw a elwir *Quercitron*, sydd gyffelyb i'r Dderwen Wen, ac a ddefnyddir yn gyffredin yn yr Unol Daleithiau i adeiladu tai. Tynir rhyw fath o nôdd melyn o risglyn y Dderwen hon; ac y mae galwad neillduol am dano: defnyddir ef i lifo sidan a gwlan. Yr Americaniaid a'i defnyddia ef hefyd i gyffeithu lledr; a hyny oblegid ei amledd yn eu gwlad. Y lliw melyn sydd niweidiol i ledr; ond tynir ymaith y niweid o hono trwy gymmysgu cyffaith cyfaddas âg ef. Yn Unol Daleithiau America, defnyddir o'r bron risgl pob math o goed i gyffeithu. Y llawnder y mae'r wlad yn ei ddwyn o bob math, sydd yn peri nad yw rhisglyn y naill bren mwy na'r llall yn gofyn ei neillduo i'r diben. Neillduir rhisglyn y Dderwen, ym Mrydain, o flaen eiddo pob pren arall i gyffeithu; a hyny oblegid ei fod yn cynnwys mwy o gyffaith na dim sylwedd mewn bod. Gellir defnyddio dail rhyw fath o goed i'r un perwyl. Y Chineaid a ddefnyddiant ddail brasaf y pren *té* i gyffeithu eu lledr.

*(I'w barhâu.)*

---

## CYNNYGIAD I DDIWYGIO YR YSGRYTHYRAU.

Pan oeddwn ar ryw brydnawngwaith yn myfyrio yn ddwys ar y dadleuon a ranant eglwys weledig Crist ar y ddaear, syrthiais i drymgwsg; ond fe'm hattaliwyd rhag mwynhau melus hùn gan y freuddwyd a ganlyn:—

Tybiais i mi gael fy nghludo at droed bryn tra uchel a safai yn nghanol dyffryn hardd a thoreithiog. Y dyffryn a orlanwwyd gan aelodau yr amrywiol enwau o Gristionogion, y rhai a ddadleuent o barthed eu daliadau arbenig gyda thaerineb a dadwrdd mawr. Yn ddisyfyd canfyddwyd ar ael y bryn un o breswylyddion y nef, mewn gwisgoedd disglaerwych, yr hwn a wenodd yn siriol ar y gwyddfodolion, ac a archodd iddynt ymddistewi. Wedi adferu gosteg, cyfarchodd hwynt fel hyn:—

"Chwychwi, y rhai ydych yn proffesu bod yn ddisgyblion Mab Duw, clust-ymwrandewch. Y Bôd tragywyddol, eiddo yr hwn ydwyf, a'r hwn a wasanaethwyf, a ddanfonodd i chwi yn ei drugaredd ddatguddiad ysgrifenedig o'i ewyllys, yn yr hwn yr haerwch oll eich bod yn credu. Gan eich bod oll yn meddiannu y Llyfr hwn, ag sydd yn traethu yn eglur ac yn ddigyfeiliorn ar bob pwnc cyssylltiedig âg iachawdwriaeth dynolryw, o ba le y tardda gymmaint o anghydfod a gwahaniaeth golygiadau yn eich plith? Ofnaf fod arwyddion rhy amlwg i arddangos nad ydyw yr

Ysgrythyrau, a ysgrifenwyd er eich addysg, yn rhoddi eithaf boddlonrwydd i lawer o honoch. Gwrandewch, gan hyny, ar y cynnygiad a wnaf yn awr, yn enw, a thrwy awdurdod, awdwr yr Ysgrythyr. Awdurdodwyd fi i wahodd pob corph gwahanol o honoch i adrodd achosion eich anfoddlonrwydd i'r hyn a ddatganwyd gan ddoethineb y Duwdod, ac i hysbysu y cyfnewidiadau a dybiwch chwi a dueddent i gynnyddu heddwch ac adeiladaeth eglwys Crist ar y ddaear. Dirprwyer un o bob enw i ddatgan syniadau ei frodyr, a minnau a arosaf yma i wrando yn amyneddgar ar eich areithiau."

Y cyfarchiad uchod a barodd syndod annhraethol: pob enw a ymneillduodd ar ei ben ei hun; ac wedi ymgynghori yn nghyd am enyd, amgylchasant droed y bryn, yn barod i ufuddhau gorchymyn y Bôd nefolaidd.

Y cyntaf a ddaeth ym mlaen oedd ESGOB PABAIDD. Wedi ymostwng yn isel, dywedodd, "Y sant gogoneddus, pwy bynag ydwyt, dywenydd genyf fod yn un o'r blaenaf i ufuddhau dy orchymyn grasol. Nid oes gan y wir Eglwys, o'r hon yr ydwyf yn Esgob, ddim llawer o gyfnewidiadau, nac ychwanegiadau, i gynnyg o barthed yr Ysgrythyr Lân. Hawdd y gellir dychymmygu nad ydym ni yn awyddus i gyfnewid rhanau neillduol o lyfr, y cyfan o'r hwn a dybiwn mor anghymmwys i bawb ei feddiannu, fel ag yr ymegniasom bob amser gyd â'r dyhewyd mwyaf i'w hattal hwynt rhag ei ddarllen. Pe nad wrthwynebasid ni yn hwn ein hamcan clodwiw afreidiol fuasai i mi ynganu gair yn rhagor. Eithr rhyw hereticiaid a alwant eu hunain yn Wrthdystiaid ydynt drwy eu hymdrechiadau niweidiol wedi llenwi bron bob gwlad yn y byd â'r Llyfr hwn—Llyfr anaddas i bawb, oddieithr i lygaid sanctaidd llwyth freiniol yr Offeiriaid. Yr ydym o herwydd hyn yn teimlo gradd o awydd dros aelodau y Wir Eglwys. Am hyny, gan fod genym yr arfod hwn, nid anaddas ein gorchwyl pe cynghorem ychydig o gyfnewidiadau, trwy roddi peth yn rhagor i mewn, a gadael pethau ereill allan. Ychwaneged, ynte, ychydig o adnodau a brofant yn ddiddadl, anffaeledigrwydd y Pab, Ficer Crist ar y ddaear, yr hyn a ettyl lawer o ymryson. Erfyniwn hefyd ar i nifer o adnodau gael eu dodi i mewn i orchymyn yn arbenig y ddyledswydd o addoli y seintiau trancedig, o weddio dros eneidiau yn y purdan, ac o arfer lluniau mewn addoliad dwyfol. O barthed y peth olaf, buom er's amser maith mor hyfion a gadael allan y rhan hôno o'r ail orchymyn a warafuna luniau: ond boddlonid ni yn fwy pe cyfansoddid nifer o adnodau yn y Bibl o blaid yr arferiad hwn. Goddefwch i mi ddweud fod yn yr Ysgrythyrau lawer o ymadroddion a thuedd ynddynt i gadarnhau y dyb, mai amcan eu Hawdwr ydoedd i bawb eu darllen, ac hefyd chwilio yn ddyfal ynddynt. Llawenychem pe gwelem y cyfryw ymadroddion wedi eu llwyr ddilëu, am fod aneirif o wyr annysgedig ac anwadal yn eu deall hwynt yn yr ystyr yma. Yr ydwyf ar ben terfynu; fy unig ddymuniad arall yw hyn, fod i'r darluniad a rydd yr apostolion Paul, ac Ioan yn y Datguddiad, am ddyn pechod gael ei ddiddymu yn hylwyr yn y Bibl diwygiedig. Nid ymddengys hyn yn afresymol, pan fynegaf fod esponwyr hereticaidd, yn enwedig y coegwyr a alwant eu hunain yn athrodwyr prophwydoliaethau, yn haeru yn dost fod yr ysgrythyrau hyny yn cynnwys darluniad cywir o Eglwys Rufain, yr hon, fel y gwyddom, yw yr unig wir Eglwys ar y ddaear. Am hyny goreu po cyntaf y dilëir y gyfran hono o'r Ysgrythyr."

Y nesaf a ymddangosodd fel cynnrychiolydd ei frodyr, oedd pregethwr enwog ym mhlith y SOSINIAID. Ymostyngodd ger bron y Cenhadydd nefol, ac areithiodd fel y canlyn:—"Y dynion dysgedig a pharchus a'm hanfonant i yma i'w cynnrychioli, a ddeisyfant arnaf eich sicrhau chwi, y Cenhadydd gwiw, y teimlant hwy barch dyledus i'r Llyfr hwnw a elwir yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Ni theimlant yn wir yr unrhyw barch i bob rhan o hono: ond at eu gilydd rhaid cyfaddef ei fod yn teilyngu gradd o anrhydedd. Ystyriwn mai Tad Hollalluog dynolryw a'i rhoddodd i'w greaduriaid rhesymol i'w tywys hwynt ar hyd llwybrau rhinwedd a chyfiawnder, i'w hyfforddi hwynt pa fodd i fyw a pha fodd i farw, ac o'r diwedd i dderbyn eu gwobr yn y nef. Yn awr, pe gwnaethid dim ond hyn o ddefnydd o hono, boddlon fyddem i'w adael fel y mae. Eithr, er mawr aflonyddwch i ni, haera y rhan fwyaf o'r sawl a dderbyniant yr Ysgrythyr fel Llyfr Dwyfol, ei fod yn cynnwys athrawiaethau â'r rhai ni allwn ni fel dynion rhesymol byth gydsynied. Y Drindod yn yr Undod, a'r Undod yn y Drindod—Duwdod yr ail Berson—Duwdod a Phersonoldeb yr Yspryd Glân—yr Iawn a roddwyd dros bechod drwy aberth Crist ar y groes: yr athrawiaethau hyn a'r cyffelyb a bwysasom ni yn nghlorian rheswm, a haerwn eu bod yn anghredadwy ac yn annheilwng o Dduw. Llawenychem, ynte, pe dilëid yr holl ysgrythyrau a ardystiant wirionedd yr athrawiaethau hyn. Y maent yn wir mor lluosog ag i beri i ni ofni, pe dilëid hwynt oll, yr anurddid y Llyfr yn ormodol: boddlonem gan hyny i ddilëu y profion cryfaf, a go-

falem i roddi arwyddocâd newydd i'r gweddill. I fod yn fyr, pe dilëid yn hylwyr o'r adnod gyntaf hyd at y 14eg o bennod gyntaf Efengyl Ioan, a phe purid yr holl ranau athrawiaethol yn yr holl Epistolau, o'r ymadroddion a ddyfynir gan yr annysgedig, i ardystio yr athrawiaethau a gyfeiriasom atynt, boddlonem i'r gweddill barhau fel y maent; ac, O! pwy a all draethu y budd a ddeilliai i'r byd oddiar y cyfnewidiadau hyn!"

Wedi hyn, nesâodd at droed y bryn hen ŵr parchus, yr hwn, fel y clywais, oedd bregethwr yn nghorph y TREFNYDDION WESLEYAIDD: ymostyngodd yn wyl i'r Cenhadydd nefol, ac aeth ym mlaen fel hyn:—

"Yr wyf fi yn cynnrychioli corph lluosog a duwiol o Gristionogion, a ymlawenhânt yn iachawdwriaeth yr Oen, ac a daer ddymunant barchu ei enw, ac addurno ei athrawiaeth, drwy nerth sancteiddiol yr Yspryd Glân. Hoffwn yn fawr Lyfr Duw, ac ysgrifeniadau y diweddar Barch. J. Wesley, ein tad a'n sefydlydd, am eu bod yn hylwyr gydsyniol â'r Ysgrythyrau. Eithr mewn perthynas i'r cyntaf, er ein bod yn methu cydsynied â'r Sosiniad a'ch cyfarchodd chwi o'm blaen, cydnabyddaf yn rhwydd fod nifer mawr o ddynion yn gŵyrdroi gair Duw, ac yn haeru ei fod yn cynnwys rhai athrawiaethau ag a dybiwn ni yn anghysson â daioni Duw, a diogelwch, sancteiddrwydd, a dedwyddwch ei greaduriaid. Cyfeiriaf at athrawiaeth etholedigaeth bersonol—cyfrifiad cyfiawnder—pechod yn trigo mewn credinwyr—a dyfal-barhad y saint mewn gras. Pell oddi wrthym ni fyddai dymuno unrhyw gyfnewidiad mawr yn y llyfrau hyny a roddwyd oll gan ysprydoliaeth Duw; ond pe cyfnewidid ychydig o ymadroddion cryfion Paul yn nechreuad ei Epistolau at yr Ephesiaid a'r Thessaloniaid—pe dilëid y rhan ddiweddaf o'r 8fed bennod, a'r cwbl o'r 9fed bennod o'r Rhufeiniaid; a phe ychwanegid un adnod at y 7fed bennod, i ardystio nad oedd yr apostol ddim yn llefaru am dano ei hun fel credadyn, byddem ni wedi ein llwyr foddloni. Tybiem yr attelid llawer o gyfeiliornadau, ac yr achosid gradd mawr o ddaioni i'r eglwys."

Y nesaf a ganfyddais yn ymwthio drwy y dyrfa oedd un o ddisgyblion Calvin, Gweinidog yr ANYMDDIBYNWYR, yr hwn a areithiodd yn debyg i hyn:—"Anfonwyd fi yma, O Genhadydd ardderchog, i gynnrychioli y dynion hyny a dybiant fod y gwirionedd ynghylch ychydig o byngciau nad ydynt, efallai, yn anhepgorol er iachawdwriaeth, yn hylwyr groes i olygiadau y gwr a areithiodd o'm blaen. Y rhanau hyny o'r Ysgrythyr a ddymuna efe iddynt gael eu dilëu, a farnwn ni yn werthfawrocach nag aur coeth, megys ffynonell ein cysuron, prif ddiogelwch ein hedd, a meithrinyddion ein serchiadau a'n grasusau sanctaidd. Golygwn fod yr athrawiaethau hyn, sef pechod gwreiddiol—llygredd ac anallu dyn—pen-arglwyddiaeth Duw, ac etholedigaeth bersonol i wybodaeth, ffydd, sancteiddrwydd, a bywyd tragywyddol yn yr Iachawdwr, wedi eu cylymu ynghyd yn anwahan; am hyny taer erfyniwn na ddilëir ac na chyfnewidir byth mo'r ysgrythyrau hyny. Eithr pe tystiem fod y Bibl, fel y mae yn bresennol, yn rhoddi llwyr foddlonrwydd i ni, byddai hyny braidd tu hwnt i'r gwirionedd. Cydnabyddaf fod ynddo ychydig o ymadroddion nad ysgrifenasem ni byth; a chan i ni gael gwahoddiad i ddatgan ein tybiadau, dywedaf na fyddem yn anfoddlon iddynt gael eu diwygio. Ni ddywedaf hyn oblegid ein hanallu ni i'w deall hwynt yn gysson â'n golygiadau ereill, ond oblegid eu bod yn rhoddi rhyw radd o gefnogiad i wrthebwyr athrawiaethau sylfaenol gras. Afreidiol fydd i mi grybwyll ein bod ni mor deimladwy o angenrheidrwydd gweithredoedd da a sancteiddrwydd buchedd ag ydyw ein brodyr y Wesleyaid: er hyn ein barn ni ydyw y gellir cyfnewid er gwell rai o'r cynghorion i bechaduriaid a geir yn yr Ysgrythyr, a rhai ymadroddion ynghylch *helaethder* iawn Crist, a ddylent gael eu halleirio. Er engraifft, y mae yr ymadrodd yma yn rhy gryf, "Iawn dros bechodau yr HOLL FYD;" a gellir haeru yr un peth am amryw o ymadroddion ereill, y byddai yn rhy faith i mi eu dynodi hwynt yn awr. Pe rhoddid y gair *etholedig* yn y cyfryw ymadroddion, byddem ni yn eithaf boddlon. Terfynaf, gan ddiolch i chwi am eich hynawsedd."

Wedi hyn daeth ANTINOMIAD ym mlaen, gwr o agwedd greulon a hagr, ac a ofynodd ganiatâd i draddodi ychydig o syniadau ar ran ei frodyr. "Diolch i Dduw," eb efe, "er holl ymegnïadau y dynion a alwent eu hunain yn Weinidogion yr Efengyl, yr ydym ni etto ar dir y byw. Yr ydym ni wedi cyrhaeddyd y dosparth uchaf yn ysgol Crist. Y mae golygiadau fy mrodyr yn dra thywyll ac anghywir: nyni ydym yn myned ym mhellach. Dymuniad unfryd fy mrodyr yw, am fod i ti ddilëu o Lyfr Duw yr holl ymadroddion hyny a gynnwysant *gynnygiadau* oddiwrth *Dduw* i *ddyn;* ynghyd â'r holl addysgiadau ymarferiadol, fel y gelwir hwynt, yn enwedig y rhanau diweddaf o Epistolau Paul, a'r cwbl o Epistol Iago. Oblegid gwyrdroir hwynt gan lawer, a rhwystrant ardderchog athrawiaethau gras rhag ymledaenu fel y dylent, ac fel y gwnaent pe dilëid yn hy-

lwyr yr ymadroddion uchod. Y bregeth ar y mynydd sy'n rhy ddeddfol i freiniau rhyddid efengylaidd. Attolwg, gwna yr ymadroddion hyny a ddygir ym mlaen er profi yr athrawiaeth ynghylch *Gwrthodedigaeth*, yn gryfach ac yn amlycach. Ni rhyfeddais glywed fy mrawd yr Anymddibynwr yn dywedyd, nad yw cred yn yr athrawiaeth o etholedigaeth bersonol yn anhebgorol er iechydwriaeth: ond haeraf fi ei fod, a gwych genyf ganfod adnod yn y Bibl diwygiedig yn profi y gwirionedd bendigedig hwn."

Gweinidog ym mysg y Bedyddwyr a ymddangosodd nesaf; ac wedi ymgrymu yn barchus, aeth ym mlaen:—"Nid fy mwriad yw eich cadw yn faith. Yr hyn a amcenais ddywedyd am athrawiaeth a draddodwyd gan fy mrawd yr Anymddibynwr. Ond y mae un peth sydd yn peri i mi, a'm brodyr ymneillduo oddiwrth arferiad holl eglwys Crist. Yr ydym ni o'n calon yn anghymmeradwyo bedydd babanod, ac yn barnu nad oes gan neb hawl i dderbyn yr arwydd, heb iddo yn gyntaf dderbyn yr hyn a arwyddir. Ein taer ddymuniad ni yw, ar fod i olygydd y Bibl diwygiedig ddodi adnod yn y Testament Newydd i wahardd yn bennodol fedydd babanod. Y mae hyn yn fwy angenrheidiol, oblegid fod y sawl a gyfeiliornant ar y pwngc hwn yn haeru mai ein gorchwyl ni yw profi fod y Bibl yn cynnwys y cyfryw waharddiad; gan fod arwydd a sêl y cyfammod gras wedi ei weinyddu, drwy orchymyn pendant Duw, i blant yn yr eglwys weledig, o amser Abraham hyd ddyfodiad Iesu Grist. Os nad oes, meddant hwy, unrhyw orchymyn yn y Testament i wahardd gweinyddu yr ordinhad hon yn yr eglwys weledig, gellir yn gywir gasglu mai bwriad Duw oedd iddi gael ei pharhau. Ymddengys rhesymoldeb ein gofyniad yn amlycach, pan fynegaf na ddygwyd y gwirionedd a gofleidiwn ni yn nghylch bedydd babanod ddim i'r goleuni am un ganrif ar bymtheg ar ol dydd y Pentecost: felly y mae arferiad yr eglwys gyntefig o oes yr apostolion hyd yn awr yn hollol o blaid ein gwrthwynebwyr. Am hyny, haerwn yn ostyngedig y tueddai lawer tu ag at gynnyddu heddwch yr Eglwys, pe dodid adnod yn y Testament Newydd i dystiolaethu fod bedydd babanod yn groes i ewyllys Duw."

Wedi hyn cyrchodd un o'r Crynwyr yn araf tu a'r bryn, ac heb ymgrymu na diosg ei amben oddiar ei goryn, aeth ym mlaen ar unwaith—"Y cyfaill nefol, dyn wyf fi o ychydig eiriau; am hyny nac ofna y cadwaf di yn faith. Y corph, o'r hwn yr wyf fi yn aelod, a barchant heb orwerthfawrogi yr Ysgrythyrau. Gofidiais wrth glywed Cristionogion yn dymuno cyfnewid, neu chwanegu at y Gair Dwyfol: a thybiaf, pe meithrinent fwy ar y *goleuni tufewnol*, y gwelent lai o reswm am y cyfnewidiadau a gynnygiant. Ar yr un pryd, cyfaddefaf y teimlem ni ddywenydd mawr pe dilëid yr ymadroddion hyny o'r Bibl a draethant ynghylch ordinhadau *allanol* Bedydd a Swper yr Arglwydd. Diolchaf i ti am dy fwynder, ac enciliaf i fysg fy mrodyr."

Y nesaf a gyfododd i fynu ydoedd hen ŵr o Offeiriad, penwyni ac agwedd dra pharchus yr hwn oedd nodedig; ymostyngodd yn wyl o flaen y Cenhadydd nefol, ac a'i cyfarchodd fel y canlyn:—"Yr ydwyf fi yn Weinidog yn Eglwys Loegr, a gorfawr yw fy serch diffuant tu ag ati. Hyderaf fod ei hathrawiaethau, a gynnwysir yn ei Gweddïau, Erthyglau, ac Homiliau, yn werthfawrocach genyf na'm heinioes. Y prif achos a'm cynhyrfai i'w gwerthfawrogi hwynt gymmaint yw, am fy mod yn credu eu bod hwy yn gydsyniol â'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Yn fy marn i, profwyd hyn heddyw tu hwnt i bob dadl; oblegid gwelaf bod ffurfiau ein Heglwys yn agored i'r unrhyw wrthwynebiadau ag a ddygwyd ym mlaen gan yr amrywiol areithwyr yn erbyn yr Ysgrythyrau eu hunain. Y *Pabydd* a'u gwrtheba, am iddynt gydnabod awdurdod a digonoldeb yr Ysgrythyrau, a thystio yn erbyn ffieidd-dra ac ofer-goeledd Eglwys Rufain. Y *Sosiniad*, am iddynt draethu y gwirioneddau tragywyddol hyny yn erbyn y rhai y gwrthryfela ei ddeall gwan a dall. Yr *Armin*, am eu bod yn datgan llygredd ac anallu dyn—pechod gwreiddiol—a chyfiawnhad trwy ffydd *yn unig*. Y *Calvin*, am iddynt olygu fod gan ddynion ewyllys rydd, ac yn dal yr athrawiaeth fendigedig o brynedigaeth gyffredinol. Yr *Antinomiad*, am iddynt haeru fod gweithredoedd da a sancteiddrwydd buchedd, fel ffrwythau ffydd, yn anhebgorol er iachawdwriaeth. Y *Bedyddiwr*, am iddynt dystio mai Bedydd Babanod sydd yn fwy cydsyniol â gair Duw. Y *Crynwr*, am iddynt gydnabod yr ordinhadau yn llythyrenol, yn gystal ag yn ysprydol. Yn enw ac o blaid aelodau ein Heglwys, a gydsyniant â myfi, ardystiaf yn gadarn yn erbyn pob cynnygiad a wnawd yma heddyw; a thaer erfyniaf na wneir mo'r cyfnewidiad lleiaf yn yr Ysgrythyrau hyny a roddwyd "gan ysprydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda."

Wedi terfyniad yr araeth hon, y Cenhadydd nefol a ofynodd, a oedd neb arall yn chwenychu datgan eu golygiadau; a chan fod distawrwydd mawr am ennyd

drwy yr holl dyrfa, tybiodd nad oedd neb. Edrychodd ar y lluaws o'i amgylch gyda chyffroadau cymmysgedig o diriondeb a thosturi, o syndod ac anfoddlondeb; a phan oedd ar fedr cyfarch y gwyddfodolion, rhuthrodd fy mhlentyn i'r ystafell, ac a'm deffrôdd. CYMRO.

---

## YSGRIF Y DIWYGIAD.

GWYLIEDYDD DIGWSG—Mawr yw 'r cynwrf a'r cyffro, meddyliaf, sydd yn awr ar led drwy derfynau ymerodraeth Prydain Fawr o herwydd gwrthodiad y *Reform Bill*, yn hytrach Ysgrif y Diwygiad, yn Nhŷ 'r Arglwyddi. Ni wyddom ni sy'n trigo yn nghilfachau mynyddoedd Cymru, nemawr am ansawdd pethau yn Lloegr; pa beth a gynnygir i'r, neu a drinir yn y *Parliament* (nage, y Senedd-dŷ) mwy na geifr gwylltion creigiau 'r Eryri, ond yn unig yr hyn a ddichon i Offeiriad ein Plwyf, yr hwn sydd yn derbyn y *North Wales Chronicle*, neu hen borthmon, ar ei ddychweliad o Kent, a Barnet, bwyo i'n clustiau. Gwyddoch fod yr hyn a ddychwelir mor aml o'r genau i'r glust yn chwyddo 'n anferth, megis caseg eira fyddo ar ei threigl o ben Plimlimon i ddyffryn Hafren ar ddiwrnod tawdd. Nid digonol chwedlau gwrachïaidd fel hyn i'r glust ymofyngar; a'r llygad treiddgar.

Pa le y mae eich meibion dysgedig a fuont yn sugno bronau Cymreig, ac a dynwyd trwy athrofeydd Caergrawnt a Rhydychain? ai bychan ganddynt fod gwrthddrychau eu gofal yn amddifad o wybodaeth o'r hyn a drinir wrth lyw eu llywodraeth? Pa rai o naddynt sy dderbynwyr y *Morning Herald*, *Weekly Times*, *Bell's Life in London*, *Bell's Weekly Messenger*, *Chester Chronicle*, a'r *Salopian a'r Carmarthen Journals?* Oni fedrent hwy ein cynnysgaeddu ni, borthwyr ychain a bugeiliaid Cymru, â chyfieithiad cywir o sylwedd y *Reform Bill*, a'i ddanfon i'r Gwyliedydd er ein mwyn? Os nad oes ynddo rywbeth heblaw difreinio bwrdeisdref wael yma a thraw, megis *Bishop's Castle*, a rhoddi cynnrychiolydd yn rhagor i Swyddi Dinbych a Chaerfyrddin, eled y cwbl gyda ffrwd Aberhirnant i gendod Môr y Werydd. Os dyna 'r cwbl y mae 'r *Bill* yn ei ofyn, dywedyd fy mrodyr oll, Wi! cydied pawb gyda nerth braich ac ysgwydd yn ei ffyst a'i gaib, a dychweled cleddyfau plant Hengist i'r wain cyn machludo 'r haul ar eu cynddaredd: pawb at ei orchwyl eilwaith. Gan fod Wil Blaen y Cwm, Wmffre 'r Wenffrwd, Dic o'r Hafod, a minnau, yn byw ac yn bod ar ein tir ein hunain, ac yn ddeiliaid ffyddlon i'w Fawrhydi Gwilym y Pedwerydd, byddai yn dda genym gael gwybod ai da ai drwg a wnai 'r *Bill* pe caniatêid iddo drwydded i fyned drwy Dŷ 'r Arglwyddi. Os bernid mai drwg a fyddai ei ollwng o'r cyffion, yna plygai fy mrodyr a minnau wrth orsedd gras, gan erfyn ar yr hwn a bia 'r ddaear a'i chyflawnder am ei gadw yn ei garchar hyd "nes peidio 'r haul a'r lleuad droi;" ond, os da a weinyddai, erfyniwn ar yr un Bod dwyfol brysuro ei ymwared, a gwneuthur ei elynion ei noddwyr penaf. Hyd yma yr ydym ni tros ein penau a'n clustiau mewn tywyllwch; dim ond clywed megys twrf taranau yn rhwygo 'r awyr tu a'r de-ddwyrain, ac yn hollol amddifad o wybod yr hyn a'n hachosodd. Dyma fel yr ydym, efallai, yn cablu yr hwn a ddylem ei fendithio, ac felly i'r gwrthwyneb, a'r cwbl yma o herwydd ein hanwybodaeth. A gaf fi erfyn yn ostyngedig ar i rai o'ch meibion a nodwyd uchod gyfieithu dwy o'r areithiau rhagoraf a draddodwyd ar ddau tu i'r ddadl yn Nhŷ 'r Arglwyddi, a'u danfon i'r Gwyliedydd. Dichon y byddai araith ein cydwladwr ar-

dderchog Arglwydd Dinorben yn dra derbyniol ar y naill ben, ac eiddo Arglwydd Eldon yn dra chymmeradwy ar y pen arall. Hir oes i'r Brenin Gwilym, medd

HEN DDYRNWR.

YSGUBOR UCHAF, } *Hyd.* 17, 1831. }

---

## DYFYNIADAU

### *Allan o Deith-lyfr y Parch. D. Tyerman a G. Bennet, Ysw.*

MADAGASCAR.—Ychydig yn ol cyfodasai gwrthryfel y'mysg benywod yr Ynys hon oblegid y camwri anghyffredin a ganlyn: Yr oedd y fraint o adgyweirio gwallt y Brenin yn perthyn i'r rhyw fenywaidd; arferent ymfalchïo yn fawr yn harddwch eu gwallt du plethedig. Wedi i'r Tywysog Rataffe ddychwelyd o Loegr i Madagascar, yr oedd ei ben wedi cael ei amddifadu o'i addurniadau barbaraidd, a'i wallt yn tyfu yn ol ein harfer ni. Yr oedd y modd y gwisgai y Tywysog ei wallt wedi rhoddi boddhad mawr i Rodama, y Brenin, yr hwn a benderfynodd dori ei wallt ei hun yn yr un modd, fe allai er rhyddhau ei hun o'r drafferth o adgyweirio ei wallt; yr hyn, yn ol arfer ei wlad, oedd yn waith tra llafurus i'r benywod, ac yn gofyn am lawer o amynedd goddefol ar ei ran yntau. Pan ymddangosodd y tro cyntaf yn gyhoeddus wedi anharddu ei hun fel hyn, yr oedd y benywod wedi synu a chynddeiriogi. Cyfodasant oll yn unfryd, ac yr oedd eu hymddygiad yn debyg o derfysgu heddwch y deyrnas i radd fawr. Ond nid peth hawdd oedd dychrynu dyn fel Rodama y Brenin. Gorchymynodd i fyddin o'i filwyr goreu amgylchu y benywod terfysglyd, a chymhellodd hwynt i roddi i fynu bedair o'u blaenoriaid; ar hyn ei osgorddion a ruthrasant ar y creaduriaid gorwyllt, ac a'u lladdasant yn y fan. Yna Radama a archodd i'w osgorddion daflu y celaneddau i blith eu cymdeithion, y rhai a gadwyd heb ymborth am dridiau yn y cylch milwraidd, tra y llyngcai y cwn gyrph meirwon eu cyfeillesau ger bron eu llygaid. Cododd haint; rhai a drengasant, ac ereill a ffoisant i'w cartref.

YNYSOEDD MOR Y DEAU.—Y mae y ddefod o briodas newydd gael ei chyflawni. Dechreuwyd y Gwasanaeth drwy ddarllen rhan o Efengyl Matthew ynghylch priodas. Yna y ddeuddyn, y rhai a eisteddent ar faingc gogyfer â'r areithfa, a gyfodasant ar eu traed, y ferch ar law aswy y gwr. Cyfarwyddwyd y priodasfab â'i law ddeheu i gymmeryd y ferch erbyn ei llaw ddeheu, ac ateb y gofyniad hwn, "A gymmeri di y ferch hon i fod yn wraig i ti, ac a fyddi di yn ffyddlon iddi hyd angeu?" Wedi iddo ateb, "Gwnaf," yna gofynwyd i'r ferch, a gymmerai hi y dyn yn wr, gan gymmeryd ei law ddeheu ef yn ei llaw ddeheu ei hun, ac ateb, "Gwnaf." Wedi hyny mynegodd y Cenhadydd i'r gynnulleidfa, fod y ddeuddyn hyn yn wr a gwraig. Cyfarchwyd hwynt ynghylch eu dyledswyddau at eu gilydd, a therfynodd y ddefod drwy weddi. Yna cofrestrwyd enwau y ddeuddyn, gyda dau o dystion, mewn llyfr a gedwir i'r dyben hwn. Yn y modd syml hyn y priodir pawb yn yr holl Ynysoedd, wedi i'r Gostegion gael eu cyhoeddi unwaith yn y gynnulleidfa o'r hon y mae eu cyfeillion yn aelodau. Wedi dyfod allan o'r Addoldy, gwelsom y ciniaw a ddarparwyd i gyfeillion y priodfab a'r briodasferch. Yr oedd yno un hwch gyfan wedi ei rhostio, oddeutu triugain basgedaid o *breadfruit*, a chnau *cocoa*, llawer dysglaid o amrywiol rywiau o bysgod, a nifer mawr o ddysglau pren yn cynnwys *papoi*, math o *budding*, a danteithion ereill. Gwahoddwyd llawer cant o bobl, a disgwylid y bwytaent yr holl ymborth a ddarparasid.

Mr. Nott a ddywedodd wrthym, fod tair rhan o bedair o'r plant yn Otaheite yn cael eu lladd newydd eu geni, naill ai gan eu rhïeni creulon, neu ryw rai ereill a gyflogir i gyflawni y weithred ysgeler hon, gan fod yma adynod a ellir eu galw yn lleiddiaidbabanod yn ol eu galwad. Dywedodd iddo, yn fuan wedi i'r arfer greulon hon gael ei dileu, gyfarfod â gwraig, a gofyn iddi, "Pa nifer o blant sydd genych?" "Dim ond y plentyn hwn," meddai hi, "sy genyf yn fy mreichiau." "Pa sawl un a ddarfu i chwi eu lladd?" "*Wyth*," oedd ei hateb. Gwraig arall a gyfaddefodd iddi ddistrywio *dau ar bymtheg* o blant. Ac nid anfynych y digwyddai y cyfryw greulonderau. Yr oedd pechod yn cyflawni ei waith ei hun yn effeithiol yn y lleoedd tywyll hyn o'r ddaear; ac er llawned oeddynt o drigfanau creulondeb a drygioni, yr oedd rhyfeloedd a llofruddiaethau yn diwreiddio y trigolion: ond daeth yr efengyl i mewn, ac a attaliodd y pla. Yn awr y rhai priod y'mysg y bobl wareiddiedig hyn ydynt yn dra awyddus i gael plant, ac y maent yn eu maethu hwynt gyd â'r tiriondeb serchocaf.

INDIA.—Gellir dychymmygu i ryw radd pa faint yw nifer y pererinion a ymwelant yn flynyddol â dinas sanctaidd Benares, pan glywir fod ynddi 400 o eillwyr, y rhai a ennillant eu bywioliaeth trwy eillio penau y sawl a ymdrochant yn nyfroedd cyssegredig y Jumna a'r Ganges. Tybiant fod y cyfryw bereiddiad yn anhepgorol cyn iddynt ryfygu ymolchi mewn dwfr ag sydd, yn eu tyb hwy, yn treiddio at y

galon, ac yn ei phuro oddiwrth ei holl fudreddi. Y mae y llywodraeth Frytanaidd yn cymhell pob un o'r dieithriaid i dalu ardreth fechan. Ac ar wyliau arbenig llenwir y swyddfa lle y derbynir yr ardreth, ac y rhoddir caniatâd i ymdrochi, â dynion a dybient nad oes dim traul na dioddefaint, na llafur, yn ormod er mwyn iddynt gael mynedfa i'r nefoedd trwy y moddion a arferir yma i'r diben hwnw.

*Allan o'r Christian Observer, Awst*, 1831.

St. Helena.—Yn 1819 dau Genhadydd, un gyd â'i wraig a phlentyn, a'r llall yn llangc ieuangc, a diriasant ar Ynys St. Helena. Yn fuan wedi i un o honom gyrhaedd y Gwestdŷ, daeth y Caplan duwiol, y Parch. Mr. Vernon, i ymweled â ni, ac a addawodd gyd â'r tiriondeb mwyaf drefnu pob peth er gwneud ein hymweliad â'r Ynys yn hyfryd a llesol. Ychydig wedi hyny daeth nifer o swyddogion milwraidd, y rhai oeddynt, yn ol pob ymddangosiad, yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni. Treuliasom bedwar diwrnod ar yr Ynys, a derbyniasom les nid bychan i'n cyrph gweiniaid, a'n meddyliau lluddedig. Wrth i ni ymadael, dywedodd Mr. Solomon, ceidwad y Gwestdy, wrthym, "Foneddigion, nid oes arnoch ddim i dalu." Yr oedd preswyliad Buonaparte yn yr Ynys wedi codi pris pob math o luniaeth. Deg swllt ar hugain yn y dydd oedd yr hyn a gymhellant i ymdeithydd dieithr dalu; am hyny yr oedd fy nhraul i yn Chwe Phunt, a thraul fy mrawd a'i deulu yn Bymtheg Punt; a phan glywsom nad oedd arnom ddim i dalu, gellwch yn hawdd dybied i ni gael ein llenwi â syndod. Pa fodd y digwyddodd hyn? Yr oedd y Caplan a'r swyddogion wedi talu y draul. Yr haelioni annisgwyliadwy hyn a gyffrodd deimladau nad ellir eu datgan mewn geiriau: ac er bod 11 mlynedd wedi myned heibio er hyny, fy nghalon a ddychlama gan lawenydd bob tro y cofiwyf am dano. Yr oeddym ni yn perthyn i wahanol Gymdeithasau; ond nid oedd un o honom yn myned allan dan nodded y Gymdeithas Genhadol Eglwysig. O, mor hyfryd yw gweled egwyddorion Cristionogol yn cyfodi uwchlaw pob rhagfarn partïol, ac yn adrodd yr annerchiad apostolaidd, "Gras fyddo gyda phawb sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb. Amen."

---

## GAUAF Y'NGWLAD CANAAN.

Yr ydym ni y Cymry, y rhai na buom erioed, fe allai, gan milltir allan o olwg copa'r Wyddfa neu Bumlumon, pan yn darllen ein Biblau, yn rhy dueddol i feddwl fod y ddaearen i gyd drosti yn lled tebyg i'n tywysogaeth ni ein hunain, o ran tymmorau y flwyddyn, a'r tymmerau awyrol, &c. yn enwedig oddiar ein cynnefindra o ddarllen am ansoddau gwlâd Canaan, megys pan y cyfarfyddom â chrybwylliad am "y cynnar wlaw," tybiwn ei fod yn disgyn o Galanmai i Wyl Ifan; ac am "y diweddar wlaw," o Wyl Mihangel i Galan-gauaf. Ond y mae ein camgymmeriad yn fawr. Y "diweddar wlaw" a ddisgynai tua diwedd ein Hebrill ni; sef ychydig cyn i'r Iuddewon gasglu eu cynauaf i mewn; a'r "cynnar wlaw" tua dechreu ein mis Tachwedd, sef pan yr arferent aredig, a hau eu hâd.

Yr Iuddewon a arferent rànu eu blwyddyn yn chwe thymmor, yn ol y dosbarthiad a wnaeth y Jehofah ei hun arni yn ei addewid i Noah, ar ol y dylif; *Gen.* 8. 22. sef, 1. Pryd hau. 2. Cynauaf. 3. Oerni. 4. Gwres. 5. Haf. 6. Gauaf.

Y tymmor olaf hwn (sef testun y paragraph mewn llaw) oedd yn cynnwys yr hanner olaf o fis Cisleu, Tebeth i gyd, a'r rhan flaenaf o Sebeth; hyny yw, o ddechreu Rhagfyr i ddechreu Chwefror, o'n misoedd ni. Yn ysbaid y tymmor hwn, ni byddai nemawr o eira yn disgyn yn Nghanaan, oddigerth ar bènau y mynyddoedd; a dim ond ychydig o rew, a hwnw yn meirioli yn union ar ol codiad haul. Eithr fel y byddo y gauaf yn tynu at ei ddiwedd, a thymmor yr "Oerni" yn nesâu, mae 'r gogleddwynt yn ffyrnigo, a'r oerfel yn cynyddu, yn enwedig ar y mynyddoedd uchel, nes ydyw yn anoddefol, ac weithiau yn angeuol, i ddynion. Ond y mae 'r dymmer awyrol yn amrywio cryn lawer yno, yn ol uchder y bryniau neu isder y dyffrynoedd.——*Gwel Waith y Parch. Thomas Hartwel Horne.*

*Cyfieithiad* Erfyl.

## ARGLWYDDI SENEDDOL.

Mr. Gwyliedydd—Mae 'n hysbys i bawb sydd wedi ystyried ansoddau gwladwriaethol y deyrnas hon, nad yw y rhai oll a elwir yn Arglwyddi ddim â hawl ganddynt i eistedd yn Nhŷ uchaf y Senedd. Ac er bod gan Frenin Lloegr awdurdod i gynnysgaeddu y neb y mŷno â'r anrhydedd hwn, eto mae doethineb seneddol teyrnas Frydain wedi cael allan fod yn angenrheidiol arferyd cymmedroldeb yn y peth hwn. Yn ddïystyr o hyn yma, pan ddechreuwyd canfod arwyddion o'r tebygolrwydd o fod i ddiweddar Ysgrif y Diwygiad (*Refòrm Bill*) gael ei bwrw allan o Dŷ yr Arglwyddi, y gwerin a lefent, "Paham na wnai y Brenin ddigon o *Arglwyddi diwygiadol?*"Ië, nid oes dim hir ysbaid er pan oedd breninoedd a phrif wladwriaethwŷr Lloegr mor fyred eu golwg ar y mater, fel yn amser George I. y bu yn agos i Ysgrif i benderfynu nifer yr Arglwyddi fyned trwy ddau Dŷ y Senedd yn ddirwystr. Aethai drwy y Tŷ uchaf, a chyn iddi gael ei llysu yn y Tŷ isaf, yr oedd y brenin wedi anfon cenadwri yno i'w hannog i'w chymmeradwyo, gan addo, os gwnaent felly, y byddai iddo yntau ei selio.—Gwel *De Lolme's Constitution of England*.

Rai misoedd cyn difreiniad Duc Wellington o brif swyddogaeth y deyrnas, cyflwynwyd iddo Draethodyn ar y mater hwn, y'mha un y cynnwysir y sylwadau canlynol:—

"Wrth ystyried fod uwchlaw tri chant o Arglwyddi Seneddol wedi eu crëu o fewn y 70 mlynedd diweddaf, mae yn bryd i Lywodraeth Brydain, cyn y crëo chwaneg, ystyried a oes gan y cyfryw Arglwyddi crëedigol, foddion digonol, o'u heiddo eu hunain, i gynnal y cyfryw dderchafiad fel y gweddai; os amgen fe syrth eu cynnaliaeth yn faich ar y wladwriaeth, yn eu hoes eu hunain neu eu heppil."

Mae pedwar math o bobl o blith pa rai y dewisir Arglwyddi.—1. Uchelwŷr gwladol, o deuluoedd hynafiaethol, a digonol eu cyfoeth a'u cymmeriad i eistedd yn y Senedd.—2. Hoff-ddynion y Brenin, a pherthynasan a chefnogwŷr ei swyddogion.—3. Gwŷr o enwogrwydd am eu defnyddioldeb yn y wladwriaeth, y filwriaeth, neu y forwriaeth.—4. Gwŷr mawr eu doniau, a helaeth eu gwybodaeth yn nghyfreithiau y deyrnas. O'r fath olaf, y mae yn dra dymunol ac angenrheidiol fod bob amser nifer digonol yn Nhŷ yr Arglwyddi, fel y llŷs lle y mae 'r materion mwyaf dyrys a phwysfawr yn cael eu trin a'u terfynu.

Nis gellir disgwyl y bydd gan bob math o'r gwŷr crybwylledig gyfoeth digonol o'u heiddo eu hunain i fyntumio urddas arglwyddiaethol; ac er bod ganddynt yn amser cyntaf eu derchafiad, etto y maent hwy a'u heppil yn agored i fyned yn ol yn y byd, a dyfod yn fyr o'r moddion hyny, ac felly i ddwyn dïanrhydedd ar eu hurddas, a dyfod yn faich gorthrwm a pharhâus ar y wladwriaeth drwy eu cenedlaethau.

Oddiar yr ystyriaethau hyn, y mae yn naturiol ymofyn am ryw foddion i ragflaenu y niwed. A'r moddion a gymhellir gan yr awdwr dan sylw, yw, Bod i ddeddf gael ei sefydlu i alluogi y Brenin, mewn amgylchiadau neillduol, i gyfyngu parhâd yr urddas am oes yr Arglwydd crëedig yn *unig;* ac felly na byddo i'r titl barhâu yn dreftadol mewn teulu o oes i oes, fel y mae yr arfer yn gyffredinol. Ni byddai hon ddim yn drefn hollol estronol ychwaith yn y deyrnas hon. Nid yw urddas yr Arglwyddi Ysbrydol (Esgobion) byth yn disgyn i'w hiliogaeth. Nid yw yr Arglwyddi sydd yn cynnrychioli yr Iwerddon yn trosglwyddo mo'r titl ddim pellach na'u hoes; a rhai Scotland ddim ond un senedd-dymmor. Ac y mae yn y Tŷ Uchaf yn awr Arglwyddi yn eistedd na ddisgyn eu hurddas i neb o'u hiliogaeth ar eu hôl.

Yn erbyn gwneud Arglwyddi am eu hoes yn unig, gwrthddadleuir bod hyny yn rhy fychan o wobr i wŷr a fuant yn ymdrechgar a llwyddiannus yn ngwasanaeth eu gwlâd; ac mai un o'r prif annogaethau i gymhell dynion i ymegnïaeth yw yr ystyriaeth o fod yr enwogrwydd a ennillont i gael ei drosglwyddo i'w heppil ar eu hôl. I hyn yr atebir nad oes fwriad i lysu parhâd y titl i neb ag y byddo eu cyfoeth yn ddigonol i gynnal eu hurddas heb ymddibynu ar y Goron am y cynnorthwy angenrheidiol i hyny. Ac er bod gwobrwyo gwŷr defnyddiol ac ymdrechgar yn ganmoladwy ac yn fuddiol, ac wedi bod yn arferiad y'mhob oes a chenedlaeth, i ryw raddau; etto mae yn hanesiaeth Lloegr lawer o esiamplau o'r gwŷr dysgleiriaf eu doniau na chyfranwyd erioed y cyfryw urddas arnynt, hyd yn nôd dros ysbaid eu bywydau, megys Lyttelton, Coke, Hale, Blackstone, ac amrywiol ereill: ac nid oes dim hir ysbaid er pan nad oedd Canghellwŷr eu hunain heb gael eu cynnysgaeddu ág arglwydd-fraint.

Pa un a fydd i'r sylwadau hyn gael eu cymmeryd dan ystyriaeth yn yr amgylchiad dyrys y mae 'r deyrnas hon ynddo yn bresennol ai peidio, mae 'n amlwg nad yw ein Seneddwŷr ddim yn gollwng y peth yn hollol o'u golwg. A gellid tybied fod y mater yn fwy teilwng o'u sylw y pryd hwn nag odid amser, pan ystyrier fod cynnifer o Arglwyddi newyddion i gael eu

creu, os y Brenin a'u swyddogion a benderfynant fyned y'mlaen âg Ysgrif y Diwygiad. Canys yn yr ymraniad ar yr 8fed o Hydref diweddaf, ymddangosai fod uwchlaw deugain o'r Arglwyddi presennol yn ychwaneg yn wrthwynebol i'r Ysgrif nag o'i thu! Ac i wrth-bwyso pleid-lais y rhai hyny yn effeithiol, bydd yn angenrheidiol creu tua *hanner cant* o Arglwyddi newyddion, heblaw y nifer a grëwyd eisoes eleni i'r un dyben: oddieithr bod i wroldeb a dysbwylliad y Brenin a'i Swyddogion, ynghyd â mawrgri dadyrddus y wladwriaeth, lwyddo i linaru gwrthwynebrwydd ac ennill cydsyniad yr Arglwyddi croesfarn.——Ydwyf, yr eiddoch, &c.

IOTA.

## TEULU CEFN LLANFAIR.*

Hugh Hughs, mab ac aer Gryffydd Hughs o Gefn Llanfair, a briododd Ellen, aeres Sion Wynn ab Rhobert o'r Wern Fawr. Marget ei ferch (ac etifedd ar ol marw ei brodyr Gryffydd a Rhys) a briododd Sieffrey Parry: ail wr oedd y Sieffrey uchod i Marget, gweddw Robert Saethon. Love Parry, mab ac aer Sieffrey Parry, oedd Sirydd Caernarfon yn y flwyddyn 1685; efe a briododd Ellen, merch ac aeres Hugh Gwyn o Bennarth yn Eifionydd. Hyn allan o lyfr Hengwrt, Wynnstay, a llyfr y Parchedig Richard Thomas, Curad Rhuthyn. Sieffre oedd enw y dyn yn y llyfrau ysgrifen. A. LL.

## CYFLAWNIAD PROPHWYDOLIAETH.

GWR bonheddig yn trafaelio mewn cerbyd, a amcanai ddifyru y cymdeithion trwy watwar yr Ysgrythyrau. "Mewn perthynas i'r prophwydoliaethau yn neillduol (eb efe) ysgrifenwyd hwynt oll wedi i'r digwyddiadau gymmeryd lle." Gweinidog yn y cerbyd, yr hwn hyd yma oedd wedi bod yn ddistaw, a atebodd, "Syr, caniatêwch i mi grybwyll un brophwydoliaeth nodedig fel eithriad i'ch haeriad chwi; sef, yr ail adnod o'r drydedd bennod o ail epistol Pedr. 'Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf *watwarwyr*,' &c. Yn awr, Syr, ai nid yw y digwyddiad ym mhell ar ol y brophwydoliaeth? gadawaf i'r cymdeithion farnu." Ar hyn cauwyd safn y gwatwarwr. *Cyf.* J. B. J.

* Gwel Rhif. 94, tu dal. 53.

## GORWIREDD-EIRIAU.

Os mynech fyw yn *ddedwydd*, ymdrechwch i ddwyn ym mlaen ddedwyddwch ereill.

Yr hwn a fyno fod yn *fawr*, bydded yn *dda*.

Dylai y rhai nad oes ganddynt oad penau gwydr fod yn ofalus pa fodd y taflont gerig.

Pe byddai beiau y dyn goreu yn ysgrifenedig ar ei dalcen, gwnai hyny iddo dynu ei het yn wastad dros ei lygaid.

*Iechyd* sydd air arall am *gymmedroldeb* a *diwydrwydd*.

Na phwyswch ar y byd; o herwydd os gwnewch, y byd a lithra ymaith, a chwithau a godymir.

O bob ymddiddan, y mwyaf *pwysig* a'r mwyaf *esgeulusedig* yw ymddiddan â'n calonau ein hunain.

Clod heb ei haeddu sydd ogan mewn gorchudd.

Y mae eisieu cymmaint o ddoethineb i guddio anwybodaeth ag i ddangos gwybodaeth.

Y mae calon yr ynfyd yn ei enau, ond tafod y doeth yn ei galon.

Nid oes dim yn fwy cywir na chydwybod, nac yn fwy manteisiol na'i chynghorion.

Diffygion *gwirioneddol* bywyd nid ydynt ond *ychydig*, ond y diffygion *dychymmygol* ydynt *aneirif*.

Mae gwirionedd yn wastad yn gysson âg ef ei hun, ac heb angen dyfais i'w gynnorthwyo.

Y mae yr *afradlon* yn yspeilio ei *etifedd*, mae y *cybydd* yn ei yspeilio ei *hun*.

Yr hwn sydd yn hau ysgall, ni fed wenith.

Yn ein hymdriniad â'r byd, a *lwyaid o olew* ym mhellach na *chwart o winegr*.

Anrhydeddusach yw byw ar *ychydig*, na gwastraffu *llawer*.

Y mae efe yn wastad yn gyfoethog, yr hwn sydd yn ystyried ei hun yn meddu digon.

Adail rhinwedd sy sylfaenedig ar wirionedd, cyfiawnder, ac addfwynder.

Dedwydd ym mhob sefyllfa yw perchen meddwl tawel, a chydwybod dda.

*Allan o gasgl.* CELLIEBYDD.

# BARDDONIAETH.

## CYWYDD.

*Goduchan cwynfan y Cyw,*
AWEN *wan aden ydyw.*

GOFYNENT, barnent y Beirdd,
I roi prawf ar y Prif-feirdd,
"*Pa beth,*" ar air heb fethu,
"*Yw Awen*"* gain gywrain gu;
Atebynt, lu eu tybiau,
Liw gwir, dych'mygol, a gau;
"Dawn ddwyfol, dawin ddyfod,
"A'i rhoi i bawb," myn rhai 'i bod:
"Na," medd eraill, "ni 'mddiried
"Nef ei rhodd i nwyf a rhêd,
"Neu dwrf pawb yr y dyrfa,
"Ambell un, ac un a'i câ."
Asbri, tân o Ysbryd Duw,
A renir hyn i'r annuw?
Diau nad yw doniau dyn,
Yn ein mwes ni'n enyn,
Ond y sydd trwy nwyd a serch
Y menydd yn ymanerch,
Pan bo 'r pen yn belen boeth,
O lwfr wŷn neu lyfr annoeth.
Un gwr a'i enw yn "*Garreg,*"
Aml y gwn ddod *Mêl* o'i geg,
Darluniai a daliai 'r dyn,
Awenlais fel y canlyn:—

"Awen fwyn, ŵy o nef yw,——deorir
"Aderyn o'r unrhyw:
"Rhwydd o'i wawd, rhiaidd ydyw,
"O anian y cân y Cyw."

Yn nhŷ 'i fam mwynfam ei maeth,
Gwelodd y tebygoliaeth;
Foreu a hwyr arferai hi,
Hel ieir a'i hwylio i ori.
Yr Awen, ai ŵy 'r Eos,
Gathlydd pêr yn nyfnder nos?
Neu ŵy tirion gantorydd,
Lais mâd ar doriad y dydd?
Adar y nef ydyw 'r naill,
A'u mawl eirian mal eraill.
Yr ŵy, *alias* yr Awen,
O'i iawn hwyl clai 'r hen:
Heneiddiai llygrai yn llwyr,
Drewai sain ei dri synwyr:
A'm holl ŵyau mall Awen,
Lledhent hwy fûl, llwythent fên,
Ni roddwn (dim mwy 'r haeddant)
Mo'r llôg deg ceiniog y cant.
Wy gorllyd er's enyd sydd
Ym mawl brŵd aml Brydydd:
Wy cloncïog i benglog Bardd,
O'r gwanfydr i'r ergeinfardd.
Effaith hwn â phoeth anian,
Gyr ein dysg segurllyn dân;
Effaith hwn â pheth hunan,
A thwrw gwynt a waetha 'r gân.
Os digwydd llwydd i'r ŵy llyn,
A deori aderyn,
Bydd y carchar yn barod,
Egwyd y fall, gyd â'i fod:
Torir ei grib naturiol
Yn ddiras iawn oddiar ei ôl;
Ei lygaid gweiniaid mewn gwir,
Dien ollol dywyllir;
Hoffai hwn, ei gynffon hir,
A'i adenydd a dynir;
Llurgynir gwywir ei gorn,
Garwawl wasgir ei leisgorn;
Dyrwymir, gweithir yn gaeth,
Ei naturiol gantoriaeth;
Rhaffir â phedwar rheffyn
Addfain ei deg wddf yn dyn,
Ugain eto gawn atynt,
I lethu a gwasgu 'r gwynt,
O waith "*Dafydd,*" brydydd brwnt,
Wyneb Haman, "*ap Edmwnt.*"
Cwyna ei wedd, ac yn wir
Ei gynnaliaeth gynnilir;
Gweddillion brun gaiff ar bryd,
Rhag ym marw 'i gymmeryd:
Go anaml caiff ddim gwenith,
Nid yw ei ran ond ei rith.
Yn wâr mewn carchar mae'n Cyw,
Clwyfus arswydus ydyw:
Un ydyw 'n awr nad yw 'n werth,
Ar ran neb ei roi 'n aberth:
Ofni yr wyf na fyn yr ION,
Fyth giwed o'r fath gywion.
Dyna 'r modd diwynir mawl,
Yr Awen nwyfen nefawl,
Gan feirddion, gwn o fawrddysg,
Neu well eu dawn, a llai 'u dysg,
A rheolau rhy waelion,
I euraidd ryw rodd yr ION.
Mae sorod y *Mesurau*
*Caethion*, a gwaelion i'w gwau,
Yn flinder i fwynber fawl
Y wir Awen oreuwawl.
O! mor enwog am rinwedd,
A nerth cân, Gorchan fyg wedd,
B'asai 'n beirdd heb swnio byth,
Un mesur coegsur cegsyth.
*Homer* Fardd gymmerai fwy,
Hyrwydd drem er rhydd dramwy,
Yn nistryw awch ryw a chrog
Trueiniaid Troia enwog.
Cywraint oedd *Anacrëon,*
*Hesiod* fawr seinfawr ei sôn;
*Virgil* a'*Milton* amawr,
Eu clod a'u nod hyd yn awr.
A gaed Bardd iawn dardd, pe ond un,
Cymröaidd, pe caem rywun,
O *Aneurin* i *Meurig*
*Ab Cyllt*, a'i deithi dig,
Mor enwog am wir anian,
A medr coeth yn mydru cân?
Gwr enwog oedd *Goronwy,*
Yn ei ddydd, nid eu belfydd hwy;
A ga'dd "*Dafydd gywydd gwin,*"
A'i drwyn llwyd, ei droi 'n Lladin?
*Myrddin, Aneurin,* iawn wyr,
Awen rygaeth, droi 'n Roegwyr?
A oes gobaith cyfieithu
Difai dda waith *Dafydd Ddu?*
Neu Feirddion tud Eifion deg,
I ryw eillieith aralleg?
Llai eu dawn na Lladinwyr,
Neu Awen goeth yw ein gwyr?
Nagê etto, drwyddo draw,
Gwaeth yw eu harfau gweithiaw.
Och! yn drist, nad aech yn drech,
Ynfydrwydd yw na fedrech,
Yn lle hyn, dilyn y doeth
Awenydd, reol annoeth;
Y *sain* yw 'n *hathraw* di siom,
A *synwyr* yn *was* einom;
Daw sain i dywys synwyr,
Sain a wêl os iawn neu ŵyr;
Bydd sain yn boddi synwyr,
Yn draflwngc fe'i llwngc yn llwyr;
Ceir sain yn curo synwyr,
A doniau gwych, dyn a'i gŵyr!
Dadl beunydd y sydd, hanes ŵyr,
Rhwng y rhai'n, sain a synwyr;
Ond sain a'i gywrain gerydd,
Geir er dim i gario 'r dydd.
Gresyn fod gras iawn o fawl,
Tewyn NAF, y tân nefawl,

* *Un o destynau Eisteddfod Powys, yr hon a gynnaliwyd yn Ngwrecsam, Medi* 18, 1830.

Yn enyn un dyn na dau,
Ar aelwyd y Rheolau.
' Wrth ddiwedd araith Awen,
Dywedaf y byddaf ben
Ar f' anian, i'w rhoi i fynu,
Cwbl a llwyr pe'm cablai llu.
Pa les iawn eres yn awr,
A wnaeth im' yn ei thymhawr?
A fu 'n ddim, fy Awen ddall,
Mewn gwir i mi nag arall?
Maeddu agwedd fy meddwl,
Ei yru 'n ddim, a'i roi 'n ddwl,
Ei wasgu 'n llesg yn y llaid,
Dan rynu dawn yr enaid;
Tynu f' ysbryd gyd â gwall,
A'i oeri at beth arall;
Wrth hyny, nerthu hunan,
Gwŷn a dig a gynau 'n dân;
Ond lles ni che's yn ei chol
Angenmawr mwy na nghanmol:
Byddaf gall o hyn allan,
A chryf, ni cheir genyf gân:
Ni anrhegaf yn rhagor,
A chân yr Awen na'i chôr;
Anadheddychonadwy,
Fydd hithau a minnau mwy.

*Caerlleon.* MEURIG AB CYBI.

## CYFNEWIDIAD CYMRU ER YR AMSER GYNT.

WRTH droi fy ngolwg ar yr amser gynt,
Pan ydoedd arall wedd ar Gymru wlad,
Ym mhell o'r hyn sy'n awr, daw dan fy mron
Ryw syndod mawr, ynghyd â syniad dwys
O glod i'm Crëwr am mai 'n awr 'rwy 'n byw.
Wrth rodio 'i thâl fynyddoedd yn yr hwyr,
Ni welir yno 'n awr o filwyr neb
Yn gwylio 'r gelyn: nac un ymdrech gref
Rhwng mawr fyddinoedd, fel yr ydoedd gynt;
Pan yrai 'r dewr Garadog ar ei farch
Dros gopa 'r bryniau 'n gynt na'r geinach wyllt,
Ar ol hen filwyr Caisar, braw y byd.
Pan drochai Buddug wiw ei chledd yn ngwaed
Byddinoedd Rhufain nes ac 'r carn yn goch.
A phan ymladdai Arthur gyd a'i wyr,
Nes cuddio'r eithin gan y meirwon gyrph;
Gan roi i'r Saeson ddychryn heb ei fath,
Nes y meddylient ef yn fwy na dyn.
Yn awr 'd oes yno ond y bugail llon
Yn gwylio 'i ddefaid wrth ryw loywaidd ffrŵd,
Gan seinio 'n uchel â'i chwibanogl fwyn,
Ym mhell o gyrhaedd ofn un gelyn cas.
Mae yn y llwyni 'n awr lonyddwch teg
I'r seingar adar nythu yn ddi fraw,
A llenwi 'r dail â'u cân bereiddiol fwyn.
Tŷf gwelltglas a gwyrddlysiau yno 'n awr,
Y fan oedd noethlwm yn yr amser gynt,
Gan amled ymgyrchfäon gwyr a meirch.
Ca 'r Ywen 'n awr dewychu heb achos mwy
I dori 'i changau irion hyblyg hi,
I wneuthur bwâau. Felly yr un modd,
Ni wneir o'r Onen farwol waywffyn.
Nid ofnir yn y nos sain nerthol llaes
Yr udgorn yn arwyddo ymgyrch câd,
A'r bryniau 'n diaspedain yr hir sŵn.
Yr unig beth a glywir ydyw llais
Y carwr ar ei antur, wrth ei fodd,
Yn canu 'r hen dôn fwyn, "*Ar hyd y Nos.*"
O! gyfnewidiad hoff pwy ddichon lai
Na thalu diolch am fath hyfryd wedd,
Ar bethau y'Nghymru yn ei fywyd ef.
Yn fwyaf oll am y newyddion da
A ddaeth i'n plith o etifeddiaeth well
Yn nghadw yn y nefoedd i blant Duw.
Ein bod, yn lle addoli pren a maen,
Eilunod mudion, heb na nerth na modd
I gadw draw aflwyddiant, nac un drwg;
Yn cael addoli 'r byth a'r bywiol Dduw,
Yr hwn ni hoffa yn marwolaeth neb,
Ond troi o hono 'n hytrach oddiwrth
Ei frynti câs, a byw 'n ei gariad Ef.

CYNHAFAL.

## EMYN

*O DDIOLCHGARWCH AM Y CYNHAUAF*, 1831.

CLODFORWN Lywydd nef a llawr,
Am ei hael ddoniau ini;
Gorchuddio wnaeth ein meusydd oll
A chynnyrch da eleni,

Haeddasom farw o newyn du,
Heb unrhyw faeth i'n harbed,
Am ini bechu 'n erbyn Duw,
Mewn meddwl, gair, a gweithred.

Nid 'nol ein haeddiant gwnaeth â ni,
' Duw cariad yw ei enw;
Gwell ganddo fadden ein holl fai,
Na 'n lladd, er haeddu marw.

His werthfawr rodd i ddynolryw,
I gasglu 'r ffrwythau helaeth;
Fel na bo neb y flwyddyn hon
Yn marw o eisieu lluniaeth.

Ysgydwai, droion uwch ein pen,
Drom wialen barnedigaeth:
Yn nghanol barn trugaredd wnaeth,—
Boed iddo glod yn helaeth.

Anfeidrol yw daioni Duw,
Rhoes ini ymborth ddigon;
Cyfranu trugareddau mae
Er ein cynnaliaeth gwiwlon.

O rhodiwn beunydd er ei fawl,
Yn hollawl o hyn allan;
A pheidiwn byth cofleidio mwy,
Unrhyw bechodau aflan.

THOMAS GLANMELINCWY.

## Y GAUAF.

FEL pluawg gawodydd disgynai yr eira,
Gan hulio gwyrddleani y fro â gwisg wen;
Y cenllysg awchlymaidd mewn oerfodd ymruthra,
A'r digllon grochwyntoedd yn rhuo 'n y nen.

Tawel yw 'r ffrydiau mewn llonder a lifent;
A llwydni orchuddia y goedwig fu 'n werdd;
A mud yw yr adar pereiddlon a odlent,
Ar laswydd gangenau, yn anol eu cerdd.

Y dôf ddiadelli, rai gynnau a 'mlonent
Gan brydferth ymbori y dolydd mor fras,
Ynt welthion yn brudd; am gynnaliaeth y chwiliant
Ond ofer y brefent am gynnyrch gwerdd llâs.

Mor ddiddan yw'r tylwyth mewn bwthyn diddos
Eisteddent yn llawen o gyrhaedd yr hin;
Tra chwedlau o ddeutu yr aelwyd gysurlon,
A glywir yn fwynlon ymlithro o'u min.

Mynega un hanes am ryfedd ysbrydion,
Y glust er yn ofnus a foddir yn fawr;
Un arall mor wladaidd a dractha 'r newyddion,
A phob un â'i chwedl i drealio 'r mwyn awr.

O na dd'oi y Gwanwyn i loni y gwledydd
A drengant dan ormes tost Annaf yn awr;
Pan glywer pêr ganiad y Fronfraith a'r Hedydd,
Yn mwynlon groesawu teg doriad y wawr.

GWENFFRWD.

## ENGLYN AR ENEDIGAETH CRIST.

*Ganwyd* in' FRENIN mawr fri,—a pharaf
OFFEIRIAD ga'i eni,
PROPHWYD a anwyd ini,
E gaed DUW nef gyda ni.

H. TEGAI.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

POLAND.—Er brwydr a chwymp Warsaw nid oes dim digwyddiadau o bwys wedi cymmeryd lle.—Dywed llythyr o Strasburg, wedi ei ddyddio Hydref 4ydd, fel y canlyn:—"Y boreu heddyw y daeth yma y Câdflaenoriaid Patz, Malachowski, a Wangiersky, ynghyd â nifer mawr o swyddogion milwraidd ereill. Yn yr hwyr daeth y Câdflaenor Pwylaidd Wronizky yma, gan ddwyn llythyr gyd âg ef o brif-orsaf byddin y Pwyliaid at yr awdurdodau Prwssiaidd, wedi ei danysgrifio gan y Câdflaenor Ribinsky, yr hwn y dywedir ei fod wedi cael ei ladd. Y Câdflaenor a ofynai gennad iddo ef a'i fyddin gael dyfod o fewn i gyffiniau gwlad Prwssia, gan appelio at deimladau dyngarol Brenin Prwssia am nodded iddo ef a'i ganlynwyr. Yn atebiad i'w gais, cydsyniodd y Câdflaenor Zepelen, Prif-flaenor y fyddin Prwssiaidd yn nghymmydogaeth Strasburg, ar i'r fyddin Pwylaidd, yn cynnwys 15,000 o wyr nerthol, ynghyd â 94 o fagnelau, ddyfod o fewy terfynau Prwssia ar yr un ammodau ag y caniatâwyd i'r Câdflaenor Gielgud. Yn ganlynol i'r cydsyniad hwn, y mae byddin y Pwyliaid i fyned heibio y terfynau am wyth o'r gloch y boreu foru, yn agos i Sobierzycno, ar ei ffordd i Jastezenibien; ac wedi cyrhaedd yno y maent i roddi eu harfau i lawr. Ac felly gellid ystyried gwrthryfel y Pwyliaid megys wedi darfod."

BELGIUM.—Y newyddiaduron diweddaraf a hysbysa i ni nad yw ammodau y gynnadledd a fu yn ddiweddar yn Llundain, er lles Belgium a Holland, yn rhoddi boddlondeb i'r naill blaid na'r llall, yn enwedig i Belgium, a bod ail ymbarotoi i ryfel yw y sôn cyffredin yno.

Dywedir fod y sail gadarnaf am y newydd pwysfawr canlynol:—"Y mae Prwssia newydd hysbysu, os bydd i'r Isellmyn ddyfod i wlad Belgium, a'r Ffrancod ddyfod yno hefyd i bleidio y Belgiaid, y bydd iddi gymmeryd plaid gyda Holland, i'r diben o wrthwynebu y fyddin Ffrancaidd."

PORTUGAL.—Dywed llythyrau cyfrinachol o Lisbon, fod terfysg etto wedi tori allan ym mhlith milwyr Don Miguel, o achos eu bod yn ol o'u cyflogau er's gryn amser; ond bod yr hyn oedd yn ddyledus iddynt yn awr wedi ei thalu, a'r terfysg wedi ei lonyddu. Yr oedd Don Miguel yn crynhoi ei holl gryfder i Lisbon, gan adael parthau ereill o'i deyrnas i ymdaro fel y gallent.

FFRAINC.—Dywed llythyrau o Paris fod Don Pedro i ymadael o'r ddinas hono i Loegr cyn pen yr wythnos. Tra yr oedd yn Paris ymwelodd â Brenin Ffrainc, a'i brif weinidog amryw weithiau, o barth ei fwriadau ynghylch Portugal; a chafodd yn ateb na ymyra llywodraeth Ffrainc ddim yn ei gylch heb hollol gydsyniad â Lloegr. A dywedir i Don Pedro arwyddo na wnai efe un peth a fyddai yn debygol o dori y cyfeillgarwch rhyngddo â'r wlad hon, nag a fyddai yn debyg o roddi tramgwydd i Ffrainc.

## NEWYDDION CARTREFOL.

### Y SENEDD.

TY YR ARGLWYDDI.—*Diwygiad yn y Senedd.* Dydd Llun, Hydref 2fed, *Iarll Grey* a gynnygiodd fod i'r Ysgrif uchod, a gydunwyd arni gan Dŷ y Cyffredin, gael ei darllen yr ail waith. Mewn araith hyawdl a maith dangosodd yr angenrheidrwydd oedd am Ddiwygiad yn y Senedd. Haerodd mai nid amcan Gweinidogion ei Fawrhydi oedd dinystrio ei ffurf-lywodraeth; ond ei hadferu i'w phurdeb cyntefig; ac amddiffynodd drefniadau yr Ysgrif uchod. Parhaodd y ddadl o Nos Lun hyd chwech o'r gloch boreu ddydd Sadwrn, yr wythfed. Am hyny ni allwn roddi cymmaint a thalfyriad o'r Areithiau a draddodwyd gan eu Harglwyddi. Yr Areithwyr o blaid yr Ysgrif oeddynt Iarll Grey, Melbourne, Duc Sussex, Arglwyddi Brougham, Plunkett, &c. Yn ei erbyn, Duc Wellington, Iarll Mansfield, Harrowby, Winchelsea, Arglwyddi Wharncliffe, Eldon, Lyndhurst, Wynford, Tenterden, ac Archesgob Canterbury. O blaid yr Ysgrif, yr oedd 158 o Arglwyddi; yn ei herbyn 199; mwy yn ei herbyn o 41.

Cyn terfyniad y ddadl, yr oedd y Newyddiaduron yn cyffroi y bobl i ymarfogi yn erbyn Pendefigion y deyrnas, pe byddai iddynt wrthod yr Ysgrif ag sy gwedi achosi cymmaint o gynnwrf yn y wlad. Yn ganlynol i hyn bu terfysgiadau mewn rhai manau. Ac yn awr wele yr unrhyw Newyddiaduron yn cynghori y bobl i fod yn llonydd, yn heddychol, ac yn amyneddgar! Yn Llundain ni bu dim terfysg; ond darfu i rai masnachwyr, er mwyn dangos eu galar, gau eu masnachdai am ddiwrnod. Yn Birmingham cyfarfu miloedd o bobl i anfon annerch at ei Fawrhydi, ac at Iarll Grey, i ddymuno arno beidio rhoddi ei swydd i fynu. Cyrhaeddodd y newydd i Gaerlleon ddydd Sul y boreu; a'r Diwygwyr a dreuliasant y Sabboth yn darparu i gynnal cyfarfod cyhoeddus dranoeth!

Mynych y bygythiodd Iarll Grey, mai y mynyd y bwrid allan yr Ysgrif o Dŷ yr Arglwyddi, y mynyd hwnw y rhoddai efe ei swydd i fynu; ond ni wnaeth felly; ei esgus yw, y byddai hyny yn ymddygiad anweddus tu ag at ei Fawrhydi. Bernir yn gyffredin y bydd i Weinidogion y Brenin ddwyn Ysgrif gymhodrol i mewn, yr hon a rydd foddlonrwydd i wrthwynebwyr yr Ysgrif golledig, ac i'r cyffredin hefyd. Oblegid fod y rhan fwyaf o ddynion yn cyduno fod cryn radd o Ddiwygiad yn angenrheidiol yn ein Senedd.

Ty y Cyffredin.—Ar ddydd Mawrth, Hydref yr 11eg, *Mr. Sadler* a ddygodd ym mlaen ei gynnygiad i ymofyn ynghylch tlodi y llafurwyr amaethyddol. Priodolai eu cyfyngder i un yn dal tyddynod mawrion, i gymmeryd mynyddoedd i mewn, i symmudiad bwthynod, a'r modd o gyflogi gweinidogion. Gwadai fod nifer o drigolion ein gwlad yn rhy luosog; a mynai i'r parthau gwylltion yn y wlad hon gael eu trin, cyn danfon y trigolion anghenus i wledydd tramor. Dymunai roddi awdurdod i blwyfydd gyssylltu ychydig o dir â phob bwthyn i alluogi y preswylwyr i gael gardd, &c.

*Mr. Paget* a dybiai mai eisiau arian i roddi gwaith i'r tlodion oedd yr achos penaf o'u cyfyngder.

*Arglwydd Althorpe* a deimlai ac a dostuniai wrth gyflwr truenus y tlodion: ond er iddo farnu fod cynnygiad Mr. Sadler yn llawn o anhawsderau, etto ni roddai wrthwynebiad iddo. Rhoddwyd cennad i ddwyn Ysgrif i mewn i wellhau cyflwr y tlodion.

Drwg genym fynegi fod y Senedd wedi gwrthod caniatâu yr anrheg flynyddol o £25,000 i'r Gymdeithas Brotestanaidd yn Kildare Street, Dublin, a £5000 i'r Cymdeithas er gwrthwynebu anfoesoldeb: ond caniatasant £8000 i'r Pabyddion! Dyma un o effeithiau Rhyddhad y Pabyddion!

---

## GOHIRIAD Y SENEDD.

Gohiriwyd y Senedd ar ddydd Iau, Hydref 20fed, gan ei Fawrhydi, yr hwn a draddododd yr araith ganlynol ar yr achlysur.

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,

"Galluogir fi bellach i roddi terfyn ar eisteddfod ddigyffelyb o ran parhad a llafur, yn yr hon y gosodwyd ger eich bron y materion mwyaf pwysig.

"Teimlais foddlonrwydd diffuant wrth gadarnhau, â'm Brenhinol gydsyniad, yr Ysgrifau er Diwygio Deddfau Hely, ac er gostwng y trethi oeddynt yn pwyso mor drwm ar ddiwydrwydd fy mhobl. Ac nid â llai hyfrydwch y sylwais ar ddechreuad diwygiadau pwysfawr y'nghyfraith methfasnach, oddiwrth ba rai y gellir disgwyl am yr effeithiau mwyaf manteisiol.

"Parhaf i dderbyn profiadau boddhaol o dueddfryd cyfeillgar Cadeirnion tramor.

"Mae y Gymmanfa yn Llundain yn awr wedi terfynu ar eu hymholiadau dyrus a llafurus, trwy gyttundeb rhwng y cenhadon, ar wahanu Holand a Belgium oddiwrth eu gilydd, ar ammodau trwy ba rai y gofygir yn ofalus les y ddwy deyrnas, cystal a diogelwch dyfodol gwledydd ereill. Traddodwyd Ysgrif o'r cyttundeb yma i genhadon Holand a Belgium, a hyderaf y bydd i'r derbyniad o hono gan eu hamrywiol Seneddau, yr hyn a ddisgwyliaf yn bryderus, droi ymaith y peryglon oedd yn bwgwth heddwch Ewrop, tra yr oedd y ddadl hon yn parhau heb ei therfynu.

"Boneddigion Ty y Cyffredin,

"Diolchaf i chwi am y darpariadau a wnaethoch er diddanwch ac urddas fy Ngwraig, pe digwyddai iddi fy ngoroesi; ac am y cynnorthwyon a ganiatasoch at draul y flwyddyn bresennol. Gallwch hyderu ar fy ngofal pryderus ar iddynt gael eu defnyddio â'r pwyll a'r cynnildeb mwyaf.

"Mae cyflwr Ewrop wedi peri traul ychwanegol yn amrywiol sefydliadau y gwasanaeth cyffredin, yr hyn gofaliaf am ei ostwng cyn gynted ag y gellir gwneuthur hyny yn unol â diogelwch y wlad. Yn y cyfamser teimlaf foddlonrwydd wrth ganfod fod y gofyniadau hyn wedi eu cyflawni heb ychwanegu ond ychydig ar y baich cyffredin.

"Fy Arglwyddi a Boneddigion,

"Yn y cyfrwng o seibiant a ellir ei ganiatâu i chwi yn awr, afreidiol yn ddiau yw i mi gyfarwyddo eich sylw at gadw tawelwch yn eich amrywiol wledydd.

"Gobeithiaf y bydd i'r pryder a ddangoswyd mor gyffredinol gan fy mhobl am gael Diwygiad cyfreithlon yn Nhŷ y Cyffredin gael ei reoli gan iawn ymsyniad o'r angenrheidrwydd o fod yn ufudd a chymhedrol yn eu gweithrediadau. At yr ystyriaeth o'r pwngc tra phwysig hwn, gelwir o angenrhaid sylw y Senedd ar ddechreuad yr Eisteddfod nesaf; a gallwch fod yn sicr fy mod yn parhau i ewyllysio cael ei benderfynu trwy y cyfryw ddiwygiadau yn y cynnrychiolaeth ag a ganfyddir yn angenrheidiol i ddiogelu i'm pobl gyflawn fwynhad o'u breintiau priodol, y rhai gyd âg eiddo graddau ereill yn y deyrnas ydynt hanfodol at gynnaliaeth ein Llywodraeth Freiniol."

Wedi traddodi o'i Fawrhydi yr Araith uchod, hysbysodd yr Arglwydd Ganghellydd, o'r tu cefn i'r orsedd, trwy orchymyn ei Fawrhydi, fod y Senedd yn cael ei gohirio hyd Ddydd Mawrth, yr 22ain o Dachwedd nesaf, a gohiriwyd hi yn ganlynol.

## Y GYMDEITHAS ER TAENU GWYBODAETH GRISTIONOGOL.

DYDD MERCHER, *Awst* 3ydd, 1831, cynnaliwyd Cyfarfod o Gyfeisteddwyr Esgobaeth Bangor, fel cangen o'r Gymdeithas anrhydeddus a defnyddiol uchod, yn Ninas Bangor. Yr oedd yn wyddfodol, Arglwydd Esgob Bangor, a nifer mawr o Offeiriaid Môn ac Arfon, a Boneddion ereill. Rhydd ddywenydd, nid ychydig, i'n darllenwyr glywed am weithrediadau cloddwiw y Gymdeithas hon; am hyny rhoddwn le i'r cyfieithiad canlynol o'i Mynegiad am y flwyddyn ddiweddaf.

"Yn niwedd y Mynegiad hwn ceir gweled Cryncdeb o'r Llyfrau a werthwyd yn y flwyddyn ddiweddaf, ynghyd âg Adroddiad o Dderbyniadau a Thaliadau yn yr un amser; wrth ba un y canfyddir fod y llyfrau a werthwyd yn dyfod i 3099 o *gopïau;* fod yr arian a dderbyniwyd yn dyfod i £122 19s. 10½c. a bod y swm o £157 2s. 0c. wedi eu danfon i'r Fam Gymdeithas.

"Y Cyfeisteddwyr a obeithiant y bydd i'r Offeiriaid Plwyfol barhau yn dirion i hysbysu, o fewn eu hamrywiol Blwyfydd, am weithrediadau y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol yn gyffredinol; ac hefyd wrthddrychau uniongyrchol y Cyfeisteddwyr, fel y maent yn perthyn yn neillduol i'r Esgobaeth hon. Lleshad y Gymdeithas ei hun a osodwyd yn fynych ger bron y Cyffredin; dylai, gan hyny, fod yn dra hysbys ac yn ddyledus ganmoladwy; ond gan fod sefydliadau crefyddol newyddion, agos o'r un nodweddiad, wedi cyfodi yn y blynyddoedd diweddar, newydd-der pa rai yn unig a roddodd iddynt enwogrwydd a phoblogrwydd, ni bydd yn anghymmwys, trwy aml a manwl adroddiad, ddwyn ar gôf, o leiaf i bob aelod o'r Eglwys Sefydledig, ac i bob Gweiniddog yn enwedig, ym mysg yr holl Sefydliadau hyn, er mor gloddfawr ydynt, nid oes un mor deilwng o'u serch a'u haelioni ag yw y Gymdeithas anrhydeddus er taenu Gwybodaeth Gristionogol.

"Sylfaenwyd y Gymdeithas hon yn y flwyddyn 1698. Ym mhlith ei sylfaenwyr cawn enwau yr arddherchocaf o'n holl foneddi, pendefigion, ac offeiriaid: ym mhlith ei noddwyr ym mhob oes cawn yr arddherchocaf o'n gwlad; ym mhlith ei chymmwynaswyr cawn ddynion, wrth enwau pa rai y dodir rhoddion o lawer mil, (am rodd unigol yr ydym yn sôn); cawn o flaen enw Eglwyswr y swm o £20,000; o flaen gwr lleyg boneddig y swm o dros £70,000. Awn rhagom oddiwrth bersonau at roddion blynyddol cyffredinol. Y tanysgrifwyr cyffredinol, er eu bod yn ychydig yn y dechreuad, ydynt yn bresennol uwchlaw 14,000; y derbyniadau blynyddol, yn symiau bychain, yn awr ydynt yn agos i £70,000. Awn rhagom at ran arall o gyfraniadau y Gymdeithas. Ac yma, dywenydd gan y Cyfeisteddwyr eu bod yn abl i roddi hysbysiad; yr hwn, er ei fod wedi ymddangos ger bron y cyffredin trwy fanwl adroddiad, etto swm y cwbl ni eglurwyd hyd yn hyn. Byddai agos yn annichonadwy, ac os nid felly, byddai yn drafferthus, roddi manwl adroddiad o weithrediadau y Gymdeithas bob amser er ei dechreuad. Cynnydd y Gymdeithas a bâr i ni fwy o syndod trwy sylwi ar y ddau yspaid, ac ar y crynoad o'r digwyddiadau a gymmerodd le o fewn rhai o'r blynyddoedd hyn. Cyfeiriwn at y llyfrau a roddwyd i'r tlodion gan ein Cymdeithas, ac a gyfranwyd am bris mor isel fel ag i ddyrchafu eu gwerth yn eu golwg. Yn y flwyddyn 1811 (llefarwn mewn nifer cyflawn) nifer y llyfrau a ddosparthwyd oedd ynghylch 3,000,000. Yn y flwyddyn 1831, nifer y llyfrau a ddosparthwyd oedd dros *dair miliwn a hanner.* Trwy fanwl chwilio mynegiadau y Gymdeithas am y deng mlynedd diweddaf, sef hanner yr yspaid rhagddywededig, cawn fod yr holl ddosparthiad dros *bedair miliwn ar ddeg.* Ond nid unig wrthddrych y Gymdeithas hon yw derbyn rhoddion, a dosparthu yr Ysgrythyrau, a llyfrau crefyddol; hi a gynnal hefyd Gennadon ac Athrawon yn ein Taleithiau Tramor; sefydla Ysgolion, ac a'u diwalla hefyd â llyfrau: a chynnorthwya tu ag at adeiladu Eglwysydd a Cholegau mewn gwledydd tramor. Yn y modd hwn y cyssyllta ynddi ei hun bob gwrthddrych agos a olygir gan Gymdeithasau crefyddol eraill, tra y maent yn deilliaw o'r Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol. Yn y modd hyn y mae hi yn *Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor;* yn *Gymdeithas y Llyfr Gweddi Gyffredin, a'r Homiliau;* yn *Gymdeithas Genhadol yr Eglwys;* yn *Gymdeithas Traethodau;* ac yn *Gymdeithas er adeiladu Eglwysydd.* Casglwn gan hyny fod ei hynafiaeth, ei noddwyr, ei gwrthddrychau, ei gweithrediadau pellenig a pharhaus, yn dadleu drosti mewn iaith nas dichon un dyn ei gwrthddywedyd na'i gwrthwynebu. "Iê, yn wir, ei sain a aeth trwy yr holl ddaear, a'i geiriau hyd eithafoedd byd." Yn y Dwyrain a'r Gorllewin, yn y Gogledd ac yn y Dehau, y Gymdeithas hon a sefydlodd ei Goruchwylwyr. Yn Bombay a Jamaica, yn Nova Scotia ac Australia, ac yn y wlad hon, nid oes un lle, er mor ddawd yw, na theimlodd effaith, ac na fwynhaodd fendithion yn deilliaw oddiwrth lafur a duwioldeb y Gymdeithas hon. Nid rhaid, gan hyny, ychwanegu dim am ddiberion a gweithrediadau y Fam Gymdeithas; er hyny, rhaid son ychydig am wrthddrych y Gymdeithas, fel y mae hi yn perthyn i'r Esgobaeth hon. Ac yma y Cyfeisteddwyr a ofynant genad i wasgu yr daer ar yr Offeiriaid y ddyledswydd bwysig o wneuthur Casgliad blynyddol yn eu plwyfydd, er dwyn ym mlaen yr amcan sydd yn eu golwg. Na pheidiont ag egluro i'w cynnulleidfaoedd pa amcanion ydynt, bod y ddyled sydd yn aros heb ei thalu i'r Fam Gymdeithas yn cael ei thoddi trwy y casgliadau hyn: dylai yr ychwanegu er y flwyddyn 1814, ac yn cyfodi oddiwrth amrywiol fân daliadau perthynol i weithrediadau y Cyfeisteddwyr, yn dyfod yn agos i £30 yn flynyddol; yn cyfodi hefyd oddiar y llyfrau a werthwyd am brisiau ym mhell islaw y swm a ddodir arnynt yn nghôfrestr y Fam Gymdeithas; ac hefyd oddiwrth leihad yn nhaliadau y diweddar Mr. Holford, pan yn gweithredu fel Ysgrifenydd Dosparth y Cyfeisteddwyr, yn dyfod i swm nid dros £20 yn sicr; ac eilwaith, oddiwrth yr arferiad a ddilynwyd hyd yma, ond yn awr a adawyd heibio, o roddi coel am hir amser i aelodau unigol am lyfrau a ddosparthwyd allan o'r ystordŷ hwn.

"Y Cyfeisteddwyr a ofynant genad i roddi eu diolchiadau i'r cyfryw Offeiriaid ag a ddygasant ym mlaen eu dymuniadau, trwy wneuthur casgliadau plwyfol, ac y maent yn llwyr gredu y byddai y casgliadau hyn yn fwy cyffredinol, pe caniateid i'r Offeiriaid, gan amrywiol amgylchiadau, i weithredu yn ol crybwylliadau y Cyfeisteddwyr; pe byddai yn bossibl gwneuthur hyny yn gyffredinol, yr effeithiau goreu a ganlynent; oblegid trwy gasgliadau cyffredinol dygid ym mlaen wrthddrych y Cyfeisteddwyr i raddau mwy helaeth; ni theimlid y baich gan neb, a deallid a mawrygid gweithrediad y Fam Gymdeithas gan bawb.

"Y mae y Gymdeithas Wladwriaethol, er addysgu plant yn Egwyddorion yr Eglwys Sefydledig, yn dwyn perthynas agos â'r Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol, ac yn cynnwys rhan o'r Mynegiad Blynyddol. Y gwahaniaeth rhwng y ddwy yw hyn yn unig, y naill a gais lyfrau er addysg grefyddol, a'r llall a'u cymhwysa hwynt. Y rhai hyn a ânt allan o ddydd i ddydd fel angylion yr Eglwysi; y naill yn dwyn llyfr y bywyd, a'r llall yn egluro ei lythyren, ac yn amlygu ei yspryd. Sylfaenwyd y Gymdeithas olaf hon yn y flwyddyn 1811. Ei derbyniadau ydynt oddeutu £8000, a chyfrif y casgliadau trwy Lythyr y Brenin. Nifer y plant yn awr yn derbyn addysg yn yr ysgolion mewn undeb â'r Gymdeithas hon yw 700,000. Cyfranodd y Gymdeithas i ysgolion yn dwyn perthynas â hi y swm o £100,000. Yr holl gasgliadau ym mhob rhan o'r deyrnas, er cyfodi yr ysgolion hyn ydynt £400,000. Eu traul yn flynyddol sydd yn £110,000. Nid hwn yw y lle na'r amser i helaethu ar yr effeithiau tebygol a ganlyn y drefn hon o addysg grefyddol, dywedwn crefyddol, yr unig drefn o nodweddiad crefyddol â pha un yr ydym yn adnabyddus. Heb ychwanegu un sylw arall, ni a allwn gyduno yn hawdd â'r Gymdeithas yn yr hyn a gyhoeddir gan-

ddi yn ei Mynegiad diweddaf, sef "er nad yw addysg grefyddol bob amser yn llwyddiannus er dwyn plant i gyflwr gwir grefyddol, etto, yn ddiau, ordeiniwyd ef gan Dduw i'r diben hyny, ac o bossibl dilynir ef â llwyddiant yn amlach nag unrhyw foddion arall o ras." *(I'w barhâu.)*

---

## YR ORGRAPH GYMMREIG.

Mr. Gwyliedydd—Mae yn hysbys i eich darllenwyr yr ymdrechiadau divlin a chlodadwy a wneir gan amryw Voneddigion mygedawg i wellâu a rheoleiddiaw yr orgraph Gymmrëig, yn enwedig y Dysgedig wladgarwr Ioan Tegid. Ve ymdriniwyd â'r pwngc hwn gan oreuon Cymmru er ys hir amser bellach; ond etto ni osodwyd rheol arbenigawl, eithr pob ysgrivenydd a ddilyn ei fordd ei hun, er cywilydd i'r genel, a thestyn gwawd idd ein cymmydogion. Ond y mae *Prawv-reol* odidawg wedi ei chynnyg i ni yn bresenawl, gan y *Parch. John Jones o Rydychen (Ioan Tegid)* yr hon, gobeithiaw, a gymmeradwyir i ymarveriad cyfredinawl o hyn allan. Y mae rhai yn wrthwynebawl i'r gwellâd, megis pob peth arall buddiawl i Gymmru; a hwy a haerant vod y fordd bresenawl, neu yr hên ddull, yn berfaith, ac nad ellir ei gwellâu; ond pob Cymmro diduedd a all brovi gwrthuni ac anmherfeithrwydd yr hên fordd. Am hyny ervynir ar bob Cymmro a gâr iaith bûr a rheolaidd gymmeradwyaw y dull diwylliedig, neu y fordd newydd, ac ymegniaw idd ei chael yn dalben savadwy i iawn lythyrenu y Gymmraeg o hyn allan. Y fordd vwyav efeithiawl er dwyn hyny oddiamgylch, yw ceisiaw cael argraphiad o'r Llyvr *(Bible)* yn y dull gwellâawl: hyn a vwriadwyd yn ddiweddar gan y *Gymdeithas er Lledanu Gwybodaeth Gristianogawl*, ac a gevnogwyd gan *Esgobion Cymmru*. Ond o herwydd i ryw Voneddigion, o ran hunan lês, neu rywbeth cyfelyb, wrthwynebu y cynnygiad, yr Esgobion a gyvnewidiasant eu barn, a'r Gymdeithas a roddodd y cynnygiad o'r neilldu, ac velly y mae yn debyg y bydd idd y rhodd werthvawr, a gynnygiwyd mor haelionus, gael ei hattal oddiwrth y Cymmry. O herwydd hyny, cyvarvu amryw Voneddigion, Aelodau o Gymdeithas y Cymmreigyddion, yn *Ostyl Owain Glyndwr, Heol y Porthgwern, Caerludd*, brydnhawn ddydd Sadwrn, Medi y 24ain, ac etholwyd *T. Edwards, Yswain (Caervalwch)* i gymmeryd y Gadair. Yna provwyd rhagoroldeb y fordd newydd, neu ddull *Ioan Tegid*, a phendervynwyd yn unvrydawl i ddanvon y *Ddeiseb* ganlynawl at bedwar Esgob Cymmru. Hyderir y bydd i holl Gymdeithasau y Dywysogaeth wneuthur yr un modd; os gwnant, y mae yn ddiamau y cawn ein Llyvr mewn iaith vwy rheolaidd, ac y cawn brawv-reol savadwy i iawn lythyrenu y iaith Gymmraeg. Y mae Cymmreigyddion Caervyrddin wedi danvon Deisebion yn barod, er eu clod, a'u hanrhydedd, a gobeithiaw y bydd i bob Cymdeithas Gymmreigyddawl, y Cymdeithasau Biblaidd, &c. trwy holl Gymmru benbaladr, ddilyn yr un llwybr. Llwyddiant iddynt oll, ac i'r Gwyliedydd, yw gwir ddymuniad,

Yr eiddoch, &c.
Ieuan ab Grufydd,
*Cofiadur Cymmreigyddion Caerludd.*

*To the Right Reverend Fathers in God, the Lords Bishops of St. David, St. Asaph, Bangor, and Llandaff, the* Memorial *of the undersigned Welshmen, residing in London, consisting principally of the Members of the Society of Cymreigyddion,*

Showeth,—

That your Memorialists have always considered it a misfortune to their native Country, that those who are appointed to be the Patrons and Guardians of its sacred literature have generally been utterly destitute of that branch of learning, which of all others is most essential, to enable them to do justice to the Community, over whose interests they preside; viz. a knowledge of the *Language* of the people.

That they have heard, with regret, that your Lordships are likely to decide a point of great moment to Welsh Biblical readers, in a manner most unsatisfactory to a great majority of those who are capable of forming an opinion on the subject.

Your Memorialists refer to the question respecting the Orthography of the Welsh Bible. They believe that the attempt is made by incompetent judges, and probably interested parties, to influence your Lordships to reject the system proposed by that able critic, the *Rev. John Jones*, Precentor of Christ Church, Oxford; a system which is approved of by all the best Welsh Scholars of the present day; and which is pre-eminently distinguished as more consistent, and more easily read, and understood, than any other.

Your Memorialists pray your Lordships to pause, before you allow yourselves to be instrumental in placing obstacles in the way of a great, and most necessary improvement, in the literature of a Country, to which your order has been hitherto deprived by circumstances of the power of rendering much service.

They moreover humbly request that the edition of the Holy Scriptures benevolently proposed by the Lord Bishop of St. Asaph, be delayed a short time, if necessary, to see whether his Lordship's original plan of publishing the work under the superintendence of the *Rev. Walter Davies*, the *Rev. Henry Parry*, and the *Rev. Rowland Williams*, be not still most desireable. They leave it to their Lordships to determine whether three literary Gentlemen from South Wales should not be added to them.

Your Memorialists beg further to observe, that there is a strong feeling of objection, which is becoming daily more general, to the Bible being again printed on the plan advocated by *Mr. Bruce Knight*, and they conceive, that the probability is, that the Books would remain unsold, your Lordships kind intentions frustrated, and the funds of the Society for Promoting Christian Knowledge expended to no purpose.

---

## TERFYSGAU O EISIEU DIWYGIAD.

Mor gynted ag y cyrhaeddodd y newydd i *Derby*, fod Tŷ yr Arglwyddi wedi attal Ysgrif y Diwygiad *(Reform Bill)* dechreuodd y werin bobl ymgasglu yn

lluoedd i'r heolydd, nes i'r trigolion ofni y canlyniad. Brydnawn ddydd Sadwrn (Hydref yr 8fed) lliaws mawr o derfysgwyr a ymgynnullasant o flaen tŷ Mr. Mozley yr argraffydd, oddiar gam dyb ei fod ef yn ddirprwywr i Ardalydd Londonderry. Torasant ei holl ffenestri ef, a ffenestri amrywiol dai ereill, y tybid eu bod yn perthyn i Wrth-ddiwygwyr; ymosodasant yn dost hefyd ar Mr. Lakin, ysgrifenydd y dref. Ar ol cryn lawer o ddifrod o'r fath yma, ymosodasant ar y carchardŷ, a gollyngasant allan yr holl garcharorion. Yn nesaf, amgylchynasant garchardŷ y Sir; eithr gan fod yno amddiffyniad grymus, methasant yn eu hamcan; ond lladdwyd tri o ddynion yn y cythrwfl, a chlwyfwyd amryw ereill. Ddydd Llun drachefn ymgasglodd y terfysgwyr yn lliosog iawn, nes yr oedd trigolion y dref mewn ofn dirfawr. Cauwyd yr holl fasnachdai, a phob math o orchwylion a attaliwyd. Tua dau o'r gloch, galwyd y milwyr allan, darllenwyd y derfysg-ddeddf *(riot act)* a dechreuwyd tanio ar y dorf. Lladdwyd un dyn yn farw, a chlwyfwyd un arall yn angeuol. Hyd yn hyn y milwyr a ddïoddefasent bob sarhâd yn ddiymddïal. Y pryd hwn, boneddigion y dref a ymgorphorasant yn fân finteioedd, ar ol eu tyngu yn hedd-geidwaid achlysurol, ac a gynnorthwyasant y milwyr i wasgaru y terfysgwyr. Swyddogion y dref hefyd a roisant orchymyn na byddai i'r trigolion gael eu gweled allan o'u tai ar ol chwech o'r gloch. Yn yr hwyr y terfysgwyr a ymgasglasant i fynwent un o'r Eglwysydd, lle y tybient eu hunain yn ddïogel oddiwrth y milwyr; ond tòrwyd y pyrth heiyrn, a'r gwyr meirch a ruthrasant i mewn, a bu ffrwgwd anaele. Nifer mawr a glwyfwyd; eithr, er fod muriau yr Eglwys yn frith o ôl ergydion, ni laddwyd neb. Trwy 'r moddion hyn fe wasgarwyd y terfysgwyr, ac adferwyd tawelwch. Un gwr boneddig a elwid Mr. Henry Madden, pan ymosododd y werin ar ei dŷ, a ollyngodd ergyd i'w canol drwy ei ffenestr; taflwyd càreg yn ol ato yntau, a lladdwyd ef yn y fan!— Mae 'r newyddion diweddaf o *Derby* yn mynegi fod pob peth yn dawel yno.

Yr unrhyw newydd anfoddhâol a barodd gynnwrf nid bychan yn nhref *Nottingham* hefyd. Ddydd Llun (Hydref y 10fed) ymgasglodd torf aneirif o derfysgwyr, ac amgylchynasant y castell, yr hwn a berthynai i Dduc Newcastle; dodasant ef ar dân, fel y difâwyd yr holl du mewn iddo mewn ychydig amser. Yr holl risiau a'r lloriau derw a chedrwydd, ynghyd â gwychion deisbanau *(tapestry)* y Frenines Anne: aeth y cwbl yn ulw! Yr oedd tŷ i wr boneddig o'r enw John Musters, Yswain, tua dwy filltir o'r dref; aeth y dorf yno, a thorasant y ffenestri, difrodasant y dodrefn, a rhoisant y tŷ ar dân mewn dau fan; eithr rhagflaenwyd y goddaith. Melin sidan hefyd yn y gymmydogaeth a ddifrodwyd ac a losgwyd y dydd canlynol, lle y dywedir fod y golled yn werth *pymtheng mil* o bunnau! Llawer o ddinystr yn ychwaneg a gyflawnwyd yn *Nottingham* a'i hamgylchoedd; ond trwy fywiogrwydd a dyfal-ymdrech y milwyr, adferwyd llonyddwch yno y'mhen ychydig ddyddiau.

Dangoswyd sarhâd personol hefyd i amryw o'r Gwrth-ddiwygwyr mwyaf nodedig. Duc Cumberland (brawd y brenin) wrth fyned i'r Senedd, a lusgwyd oddiar ei geffyl, ac a drinwyd yn greulawn gan y werin-dorf! Ardalydd Londonderry a luchiwyd â cherig mor gynddarus ar ei ffordd i Dŷ yr Arglwyddi, fel y bu gorfod ei gymmeryd yn ol adref mewn cerbyd! Crogwyd llun Duc Wellington yn gyhoeddus fel gwrthddrych gwawd a dirmyg, yn Heol y Brenin, *Seven Dials*, Llundain. Ac y mae amryw bendefigion Gwrth-ddiwygiadol yn gorfod cadw minteioedd o filwyr i amddiffyn eu preswylfeydd a'u meddiannau rhag cynddaredd terfysgwyr. Ond trwy fod ein Brenin gwladgarol, a'i synwyrol swyddogion, yn ymbil mor hynaws ar y werin am ymbwyllo ac ymdawelu, fel y dull tebycaf o lwyddo, hyderir oddiar y gobaith o hyn yr adferir tangnefedd Brydain yn ebrwydd.

---

*Deddfau Hely.*—Yn ol y gyfraith a gydunwyd arni y 5ed o Hydref, ac a ddaw mewn grym ar y 1af o Dachwedd, erchir i Gyfarfod arbenig o'r Ynadon Heddwch gael ei gynnal ym mhob tref, neu gantref, rywbryd rhwng y 15fed a'r 20ain o Hydref, i'r diben o roddi caniatâd i'r sawl a ddymuno werthu helwriaeth. Ni roddir caniatâd i dafarnwyr, na pherchenog na gyrwr cerbyd, nac i gludydd, nac i neb a fyddo yn gweithio danynt, i hyny. Bydd y caniatâd mewn grym o'r dydd 1af o Dachwedd hyd y 15fed o Orphenaf. Rhaid i bob masnachydd gael braint-lythyr oddiwrth gasglydd y trethi, am yr hwn y bydd raid iddo dalu Deugain Swllt. Nid yw y masnachwyr hyn i brynu helwriaeth gan ddynion na bo ganddynt *licence* i saethu. Pwy bynag a laddo helwriaeth heb *licence* fydd yn agored i dalu dirwy o Bum Punt, a thraul y gyfraith. Pwy bynag hefyd a bryno helwriaeth oddieithr gan ddynion â braint-lythyr ganddynt, fydd yn agored i dalu Pum Punt o ddirwy. Pob un a elo ar dir un arall heb gennad i chwilio am helwriaeth a fydd yn agored i gael ei ddirwyo o Ddwy Bunt; a phan y bo pump o

honynt ynghyd, rhaid i bob un o honynt dalu Pum Punt, a'r draul. Gofynir i bob un a elo ar dir arall roddi ei enw, ac enw ei breswylfod; ac os na rydd hyny, gellir ei gymmeryd i fynu.

*Rhybydd i Rieni.*—Ychydig o amser yn ol, llyngcodd plentyn, deunaw mis oed, mab i Morgan Thomas, gweithiwr yn Nghloddfa llechi Mr. Smith, Sir Gaerynarfon, fottwm *copper*, o dri chwarter modfedd ei dryfesur, ac a fu achos y dioddefodd boenau dirfawr am 23 diwrnod. Rhoddwyd iddo bob math o gyfoglyn heb ddim effaith, ac angau a ganlynasai yn fuan oni buasai iddynt feddwl am driagl, o'r hyn y rhoddwyd iddo dwysged ar ddydd Sul, y 9fed o Hydref. Ym mhen ychydig amser bwriwyd y triagl i fynu, a chyd ag ef y bottwm, yr achosydd o'i boenau. Yr oedd y bottwm, pan fwriwyd ef allan o'i gylla, mor loyw ag un newydd, er ei fod, pan lyngcwyd ef, yn dywyll ac amliwiog. Y cyfnewidiad yma a gyfrifir i sudd y cylla.

*Rhybydd i Dyngwyr.*—Gwr ieuangc yn Waldford, Swydd Herts, yr hwn a garcharwyd oddeutu dwy flynedd yn ol am fyned i'r Eglwys yn feddw, a therfysgu y gynnulleidfa, oedd ychydig amser yn ol yn tyngu yn erchyll, ac yn galw ar Dduw i'w daro ef yn fud ac yn fyddar, pryd y pallodd ei glyw a'i lafariad, ac o hyny hyd yn awr y mae efe wedi bod yn fud ac yn fyddar.

*Digwyddiad angeuol.*—Ar ddydd Iau, Hydref, 13eg, fel yr oedd cwch o eiddo Mr. R. Jones, Haiarn-doddydd, Bangor, yn dychwelyd o Beaumaris, tarawodd awel ddisymmwth o wynt arno, ac a'i dadymchwelodd; ac, alaethus yw adrodd, dau wr ieuangc, oddeutu deunaw oed, a gawsant fedd dyfrllyd yn y fan. Cafwyd y cwch ar Draeth y Lafan; ond methwyd hyd yn hyn gael ond un o'r cyrph.

Y digwyddiad hynod canlynol a gymmerodd le yn ddiweddar yn Sir Benfro. Daniel Evans, o Lanwthan, yn agos i Abergwaun, a gymhellwyd gan ei ewyllys *caredig* i barotoi arch at gladdu ei wraig (yr hon oedd y pryd hyny yn glaf anhydus, ond yn awr yn gwellhau) ac a aeth i'r dref uchod i'r diben o geisio un; ond byr ac ammherffaith yw golwg dyn, wedi iddo gyflawni ei neges, efe a ddychwelodd adref yn feddw; ac am ddeg o'r gloch y boreu dranoeth yr oedd yn rhaid iddo ef ei hun wrth yr hyn a barotoisai efe i'w wraig.

*Bala.*—Dydd Iau, yr 20fed o Hydref, dewiswyd yn ddiwrthwynebiad Edward Williams, Ysw. Meddyg, yn Chwil-lysydd (*Coroner*) i barth isaf Meirionydd.

*Marwolaeth nodedig mewn Teulu.*—Ar y 15fed o Fedi, bu farw Anne Catharine, merch Mr. G. Hodges, Severne Terrace, gerllaw Caer-Wrangon;—ar y 5ed o Hydref, bu farw gwraig y dywededig Mr. Hodges;—Hydref y 6ed, bu farw Mrs. Moore o Firmingham, merch i Mr. Hodges;—yr un diwrnod, bu farw merch arall iddo;—ac ar yr 11eg, bu farw Mr. Hodges ei hun!!!

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parch. Dr. Whately, Penaeth St. Alban's Hall, Rhydychain, i fod yn Arch-esgob Dublin—rhydd trwy farwolaeth y Gwir Barch. Dr. Magee.

Y Parch. Hugh Williams, A. C. Aelod o Eisteddfod Eglwys Gadeiriol Llandaf, i Ficeriaeth Llanarth, Sir Fynwy—rhydd trwy farwolaeth y Parch. Francis Homfray, A. C.

Y Parch. Augustus Brigstocke, G. D. i Gôr-fywioliaeth Llandysilio yn Eglwys Golegawl Aberhonddu—rhydd trwy farwolaeth y Parch. John Jones, Ficer Rocheston, yn Sir Benfro.

Y Parch. D. A. Williams, Meistr Ysgol Rad Caerfyrddin, i Ficeriaeth Llangadock, a Chapeliaeth Llantheisant—rhydd trwy ymadawiad y Parch. Augustus Brigstocke.

Y Parch. Thomas Alban, Curad Parhaus Llancwsteryn ac Eglwys-Rhos, i Beriglorliaeth Llanelian—rhydd trwy farwolaeth y Parch. John Ellis.

Y Parch. James E. Hughes, G. C. Curad Rhiwabon, i Guradiaeth Barhaus Llancwstenyn ac Eglwys-Rhos—rhydd trwy ymadawiad y Parch. Thomas Alban.

Y Parch. Charles Williams, A. C. Cyfaill o Goleg yr Iesu, Rhydychain, i fod yn Ben-feistr Ysgol Rad Rhuthyn, yn lle y Parch. O. Owens, yr hwn a foddwyd yn llong-ddrylliad y *Rothsay Castle*.

Yr ydym yn deall fod y Parch. Dr. Smith, Deon Eglwys Gadeiriol Crist yn Rhydychain, a'r Parch. Dr. Gaisford, Cadeirdraw yr Iaith Roeg yn y Brifysgol, Rhydychain, ac un o Gôr-gymmrodorion yn Eglwys Gadeiriol Durham, wedi cyfnewid lleoedd. Y mae y Dr. Smith yn myned i Durham, a'r Dr. Gaisford i fod yn Ddeon Eglwys Crist yn Rhydychain.

Y Parch. Daniel Jones, A. C. i Ficeriaeth Caerleon, Sir Fynwy.

## URDDIADAU EGLWYSIG.

### ESGOBAETH LLANDAF.

Dydd Sul, Hydref 16eg, urddwyd gan Arglwydd Esgob Llandaf, y boneddigion canlynol yn ei Eglwys Gadeiriol.—Yn *Ddiaconiaid*, Edward Bosanquet, G. C. o Goleg y Drindod, Caergrawnt; Arthur Williams, o Goleg Dewi Sant, Llanbedr; David James, o'r un Coleg; ac Edward Price, o'r un Coleg.——Yn *Offeiriaid*, George Gore, A. C. o Goleg Emanuel, Caergrawnt; Thomas Davies, G. C. o Goleg Iesu, Rhydychain; William H. Tudor, G. C. o Goleg y Drindod, Caergrawnt; Thomas Wall Langshaw, G. C. o Goleg St. Ioan, Caergrawnt; Thomas Beavan, o Goleg Dewi Sant, Llanbedr; William Price o'r un Coleg; a Thomas John Griffith, o'r un Goleg.

---

## BU FARW,

Dydd Sul, yr 2fed o Hydref, er mawr alar i'w rieni a'i gydnabod, John, unig fab Mr. Richard Lloyd, o Beaumaris, yn 24ain oed, gwr ieuangc o nodweddiad hawddgar a rhinweddol—a pheth sydd yn peri tristwch ychwanegol ar ei ol yw, mai yr achlysur o'i farwolaeth oedd y braw a gafodd ei deimladau tyner wrth orfod, yn ei swydd, fel Gwarcheidwad Eglwys Beaumaris, edrych am gyrph ac eiddo y rhai a foddasant yn llong-ddrylliad y *Rothsay Castle*; ac felly gellir dywedyd ei fod yn chwanegu un yn rhagor at nifer y rhai a drengasant o achos yr anffawd alaethus hwnw.

# Y GWYLIEDYDD.

## RHAGFYR, 1831.

### GWIW-GOFIANT

AM Y PARCHEDIG *JOHN JENKINS*, A. C.

*(Parhad o du dalen 308.)*

YN y fl. 1823, ar gylch-wyl ei enedigaeth, sef yr 8fed o Ebrill, efe a briododd Miss Elizabeth Jones, ail ferch y Parchedig Edward Jones, Vicar Aberiw, a nith ac etifeddes y diweddar Edward Heyward, Ysw. o'r *Crosswood* (Trawsgoed) gerllaw y Trallwng. Yr hyn a ennillodd ei serch ef atti yn ddechreuol, oedd ei medrusrwydd yn cyfansoddi barddoniaeth Saesneg; ac ar brydiau hi a anturiai bryddest Gymraeg. Hi yw y brif Ofyddes, yr unig ferch a raddwyd ar gyhoedd Eisteddfod Caerfyrddin, yn y fl. 1819. Ym mhen ennyd aeth y graddau hyn yn giprys, pan gynhelid Gorseddau anngbyhoedd " ar bob bryn uchel, a than bob pren irlas."

Ar y 4ydd o Ebrill 1824, y ganwyd i Mr. J. ei unig fab a'i etifedd, yr hwn a fedyddiwyd dan yr enw John Heyward Jenkins. Bardd o'r gymmydogaeth a gymmerodd yr *Ifor* bychan yn ei freichiau pan oedd yn bymthegnos oed, ac, yn ol dull yr hen Dderwyddon yn Nhribanau *Marchwiail* ac *Eiry Mynydd*, a gant Dribanau *Cain Cynnwyre* uwch ei ben: dau o honynt ar gof a chadw fel hyn—(yr haul yn tywynu yn eglûr ar ei godiad)

Cain Cynnwyre Dandde 'r Dydd
Ehed yn uwch hyd yn Echwydd—
*Ifor bach* yn fawr y bydd:

Yn perchen *Awen* lawen lem,
Anwyl fo, yn ail i'w *Fam*,
Ac ail i'w *Dad*, heb giliaw dim.

Yn ol pob argoel, ond yn ddarostyngedig i ragluniaeth y Pen-Arglwyddiaethydd, y mae ein *Ifor* ieuangc yn debyg o gyflawni dymuniad ei Fardd: y mae efe eisoes mewn athrofa yn Swydd Amwythig yn yfed o ffrwd ffynnon gwybodaeth.

Yn ei oriau hamddenol, yn nghyfryngau ei orchwylion offeiriadawl, Mr. J. a fyfyriai ar byngciau dyrys yn hynafiaeth ei wlad. Ei draethodau ar *Garon* (Carausius yr hanesiaeth Rhufeinig) ar Aedan ab Blegywryd, tywysog Gwynedd, pwy oedd efe? (gan na wyddai y dysgedig Dr. Powel) ac ar destunau eraill, a ymddangosasant yn y *Cambrian Quarterly Magazine*. Ei lythyrau, dan enw *Hooker* a lanwasant rai dalenau yn y Gwyliedydd: a phregeth o'r eiddo a draddododd ger bron Cymdeithas Eglwysig Dyfed, a gyhoeddwyd.

Bu Mr. J. hefyd yn ddiwyd yn ei amser i gasglu ynghyd yr holl donau Cymreig a fedrai afaelu arnynt, gan eu trysori yn ei nodlyfrau. Blin oedd ganddo sylwi bod y tonau Cymreig yn cael eu traws wyraw o'u cyfansoddiad cynnwynawl, i foddio clustiau merwin-

llyd y to presenol. Anrhegodd ei gasgliadau alawaidd i un o benceirddiaid yr oes; canys yr oedd efe yn hael gyfranydd i eraill o bob peth a feddai—ei wybodaeth, ei gynghor—ei fedd, ei win, a'i fragawd—ei fwrdd, ei letty, a'i arian—i bawb, fel y byddai yr angen arno.

Dyfyrwch arall ganddo ef oedd gwneyd Casgliadau o Welygorddau Cymru, ond yn benaf gwehelythau Dyfed; a'i gyfeillion lliosog, o Fôn i Ddofr, ac o Gaerlleon Gawr i Gaer Dydd, a ohebent âg ef yn ewyllysgar ar y testunau hyn.

Ei sefylliadau yn yr Eglwys, heblaw Vicariaeth Ceri, oedd Deoniaeth wladawl Maelienydd; prebendaeth Mochdref yn eglwys golegawl Brycheiniog—ac yn ddiweddar, prebendaeth yn eglwys gadeiriol Caer Efrog. Yr achos o'i ddyrchafiad diweddaf sydd werth ei adrodd, o ran bod yr hanesyn yn rhagordystio yr hyn a goeliai pawb am hynawsedd mwyneddus Mr. J.—

Pan oedd efe ar fwrdd y *Theseus* ar gyffinfôr Jamaica, yr oedd arni langc caruaidd o enw *Vernon*, mab Esgob Caer-liwelydd, yn Is-swyddog *(Midshipman)*. A chan nad oedd y *Vad Velen* yn parchu achau, efe a syrthiodd yn drymglaf; a'i swydd isel a'i cyfyngai i ystafell ddiawel ar waelod y llong. Tybiai Mr. J. y byddai yr haint yn debyg o ladd y gwr ieuangc ar fyr amser, os na chai newid annedd ei wely. Amlygodd hyn i'r cadpen; ond yn ol deddfau llongwriaeth, nid oedd yr archiad yn ganiattäol. Ar hyn tynerwch anianol Mr. J. a'i hannogodd i roddi i fynu ei ystafell ei hun i'r claf, a thrwy ofalu yn barhaus am ymgeledd cymhwys iddo, efe a hybodd o'r haint. Mr. J. wrth ymweled yn fynych â'i oddefydd, a ddeallodd fod môr-fuchedd yn annymunol ganddo. Ac felly penderfynwyd rhyngynt i Mr. J. ysgrifenu at yr Esgob, i erfyn arno alw ei fab adref, gan ei fod, o ran cynneddfau, yn wr ieuangc cymhwysach i'r weinidogaeth eglwysig, nag i alwedigaeth filwraidd a'i gofidiai â thrwst arfau, a golwg ar ddillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed. Y tad a dosturiodd, cydymdeimlodd âg ewyllys ei fab—yr hwn a ddychwelodd adref—aeth i'r athrofa—ac urddwyd ef yn offeiriad. Gwedi hyn, bu gohebiaeth trwy lythyrau, am rai blwyddau, rhwng Mr. Vernon a Mr. J. Yn y rhai hyn, cyfaddefai mab yr Esgob, bod Mr. J. tan ragluniaeth, wedi bod yn offerynol, i achub ei fywyd, ac i amlhâu ei gysuron ef. Terfynodd y gohebiaeth, a dyrchafwyd yr Esgob yn Archesgob Caer Efrog. Yn y fl. 1828, gwedi hir ddistawrwydd, megis ar gyffiniau angghof, derbyniodd Mr. J. lythyr, heb ei ddisgwyl, oddiwrth Mr. Vernon, bod prebendaeth o 600 o bunnau yn y flwyddyn o werth, yn Eglwys Gadeiriol Caer Efrog, ac yn rhodd ei dad ef, yr Archesgob, trwy ei gyfryngdod ef, at wasanaeth ei hen gyfaill a'i athraw ffyddlon. Cymmerodd Mr. J. feddiant ar ei swydd newydd, ac a aeth i Rydychain i gymmeryd y radd o Athraw yn y Celfyddydau, i'w gymhwyso i ddal y swydd: ond megis profiad mor ddiflannedig yw pob uwchafiaeth daearol—bu ei draul ef yn fwy na'i elw, gan mor fuan gwedi hyn y digwyddodd ei farwolaeth ef.

Nid oes brin ammheuaeth na ddarfu i awelon tanbaid y cylchau llosg, yn y blwyddau y bu Mr. J. yn eu hanadlu, effeithiaw, yn ddiarwybod iddo ei hun, ar ansawdd ei iechyd. Tua diwedd ei oes, byddai gwasgfäon yn fynyddol, neu yn amlach, yn ei oddiwes, yn enwedig ar ol oeri, neu wlychu. Gwrês Gorphenaf a gytunai âg ef oreu, ac a wnai iddo, mewn awr lawen, ganu mor beraidd a'r ëos. Gorsaf yr anhwyl a'i blinai fwyaf, a'r hyn ni ddeallai ei feddygon yn

drylwyr, oedd rhwng ei wddf a'i enau.

Ei glefyd diweddaf a'i goddiweddodd ddydd Llun yr ail o Dachwedd, 1829, ac a'i daliodd hyd ddydd Gwener, yr ugeinfed o'r un mis, y pryd, heb gymmaint a chyrchu ochenaid, yr hunodd mewn tawelwch, er galar a gofid ei gyfeillion, a phawb a'i hadwaenai. Ei blwyfolion lliosog a dderbyniasant y newydd athrist fel amddifaid wedi eu colledu o'u hannel penaf. Cyfarfuant mewn cynghorfa, ac ysgrifenwyd yr Ymröad canlynol yn nghoflyfr y Plwy—

"Gyda y tristwch mwyaf teimladwy, y mae trigolion Plwy *Ceri* fel hyn yn cofhâu yn alarus farwolaeth eu Vicar caredicaf, y Parch. J. Jenkins. *** Tros hir flynyddoedd efe a'u hareiliodd hwynt megis eu Bugail gyda chyfarwyddyd, tynerwch, a buddioldeb. Ynddo ef yr unwyd y rhinweddau goreu, pa un bynag a gyfrifid hwynt iddo megis dyn, ai megis Cristion. Yn chwennych, gan hynny, amlygu eu dwys deimlad o'u colled, y mae cynnifer o'r plwyfolion ag sydd yma yn gynnrychiol yn cymmeradwyo y bwriad canlynol; a thra y maent yn gwneud hynny y maent yn hyderus bod holl drigolion Plwy *Ceri* yn un-farn â hwynt—sef, Eu bod yn bwriadu, ar foreu y Claddedigaeth, gyfarfod wrth yr Eglwys am naw o'r gloch, a myned oddi yno tan arweiniad y Wardeniaid i gyfarfod ac ymunaw â'r Canhebrwng; ei ddilyn i'r Eglwys, ac wedi y Gwasanaeth at y bedd; a phob un i ddarparu ei fenyg a'i ambenrwym ar ei draul ei hun."

Cyflawnwyd y bwriadau caredig hyn, yn y modd mwyaf addas a rheolaidd: ac wedi i'r Canhebrwng gyrhaedd porth y fonwent, torf arall a ymunodd, sef o gylch chwech ugain o blant ysgol rad y Plwy, â crâp du yn rhwym am eu breichiau. Y rhai hyn yn ddwy restr a glöasant y prudd orymdaith—

Ni bu erioed mwy galar ar wyneb daear deg,
Ymhlith y mil blwyfolion nid oedd un fron heb freg;
Ni threiddiai i'r *awyr dawel* ond aml isel *Och!*
O galon *torf alarus a chwyn* y glwyfus *Gloch.*

Yr oedd cantorion Eglwys Ceri y pryd hyn ymhlith y rhai mwyaf cyfarwydd yn Nghymru, gwedi cael eu hethol a'u haddysgu yn ofalus gan eu pen-gantor yn awr yn fud ar elor ger eu bron. Yn yr amser priodol o'r Gwasanaeth, dechreuasant ganu yr emyn Saesneg—"*Vital spark,*" &c.; ond ar iddynt gyrhaedd y ban—"*O death, where is thy sting?*" yr oeddynt o un i un a'u teimladau gwedi lladd eu lleisiau—yr hyn a fènodd fel saeth yn treiddio i galonau yr holl gynulleidfa.

Cyn i'r plwyfolion ymadaw, ymunasant mewn bwriad arall, sef dyfod i'r Eglwys y sabboth canlynol, bawb mewn cyflawn alar-wisgoedd; a chafwyd rhif y rhai a ddaethant yn *naw-ugain a thri.* Y praidd blwyfol, etto heb ddangos digon o barch i'w hanwylaf fugail, a aethant wedi hyn i'r draul o huliaw yr athrofa, yr allor, a'r sedd offeiriadol â brethyn du; ac megis clo ar y cwbl, anrhegasant y Parch. D. Davies, Curad i Mr. J. â llestr arian âg argraph perthynol arno, ar ei ymadawiad â'r Plwy, wedi colli ei gymmwynaswr hael.

Yn y fl. 1830, cyfododd ei frodyr Gof-adail mynoraidd iddo, yn Eglwys Plwyf ei enedigaeth, sef Llangoedmor yn Ngheredigion; a thri mis yn ol, gosodwyd un arall uwch ei feddrod yn Nghangell Eglwys Llanfihangel yn Ngheri, a'r argraph arno yn gyfieithiedig fel hyn—

Cyssegredig i Goffadwriaeth
Y Parch. John Jenkins, Aelod o Eglwysi Cadeiriol
Caer Efrog a Thy Dewi,
Capelydd i Dug Clarence, a thros 22 o flwyddau
Vicar y Plwyf hwn:
Ym mhob sefyllfa bywyd—ai Offeiriad—ai Ustus,—
ai Mab—ai Gwr—ai Tad—ai Brawd—ai Cyfaill
—ei Ymddygiad oedd ragorawl:
Bu farw yn 59 oed,
gan adael ei Weddw brudd, Mab bychan,
a rhif lliosog o Gyfeillion,
i alaru eu colled.

Terfynir y Cofiant blaenorol â Galar-gwyn, a ymddangosodd gyda y Cofiant Sacsneg yn y *Cambrian Quarterly Magazine*, am Ionawr, 1830.

"Collais fy nghyfaill callaf—
Gweled ei golled a gaf!
O 'Nghyfaill! ni anghofiaf,
Gyfan oes ei gofio wnaf;
Un y buom drwy'n bywyd
A chael bodd uwchlaw y byd;
Adwaen i, os edwyn neb,
Lawnder ei ffyddlondeb:
Ias o gur fu 'r ysgaredd,
*Etto 'n fyw!* yntau 'n ei fedd!
*Ifor* oedd, a dihafarch,
Gwr i bawb a garai 'i barch;
Mwynaidd, gwaraidd, a gwrawl
Ugain Feirdd a gân ei Fawl.
Ym mha fro 'mae 'r Cymro call
I'w euro 'n *Ifor arall?*
*Iforiaid* oll yn feirwon—
Gwr i'w Swydd—ni wiw gair son!
Llais afiaeth yn Llys Ifor
Distawodd—ciliodd y *Côr!*
*Côr* o Feirdd, cyrf o urddas,
Llawen eu bloedd—llu 'n ei *Blâs;*
Y *cynfeirdd** yno canfum,
Ag *un* o'i Feirdd gwan a fum.
O galar! lle bu *Gwyliau*
Llon, a hedd, i'n llawenhâu;
Bellach, y wledd a ballawdd,
I dorf y nwyf darfu nawdd!
Yn lle *Gwledd*, a *Gorsedd*, a *Gawr*
Mae *ias* iaen ym mis *Ionawr*.
I'r Beirdd—Cymru a'i Barddas
Am yr *IOAN* y mae 'r iâs;
Iâs o ofid; deisyfwn
I lawn hedd gael dilyn hwn.
Ein colled a'n niwed ni
Oedd ennill i'w ddaioni;
Ar ei ol i'r bythol bau,
O *un* i *un* awn ninnau!
Bro Dangnef i'w haddef hwn;
Amddifaid—ymoddefwn!"

CYFAILL CHWEDEGOL.

*Hydref* 3, 1831.
N.

* Aneurin, Taliesin, &c.

## PREGETH FER AR ESAY ix. 6.

"Gelwir ei enw ef Rhyfeddol."

Mae pob peth sydd yn perthyn i Dduw yn rhyfeddol.—1. Dywedir fod ei *farnedigaethau* ar annuwiolion felly: "Mi a wn na edy brenin yr Aipht i chwi fyned, ond mewn llaw gadarn. Am hyny mi a estynaf fy llaw, ac a darawaf yr Aipht â'm holl *ryfeddodau*, y rhai a wnaf yn ei chanol; ac wedi hyny efe a'ch gollwng chwi ymaith." Rhyfeddod oedd gweled y dyfroedd yn waed—y tir oll yn orchuddiedig â llyffaint—a'r plentyn hynaf ym mhob teulu yn y deyrnas yn marw yn yr un noswaith.—2. Dywedir fod *gweithredoedd* Duw yn rhyfeddol. "Clodforaf di; canys ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed: rhyfedd yw dy *weithredoedd;* a'm henaid a ŵyr hyny yn dda." Pe hyfrydem fyfyrio ar weithredoedd Duw, fel Creawdwr a Rheolwr y byd, canfyddem ein hunain yn nghanol rhyfeddodau. Ni allai lai na byddai syndod duwiol yn gorlenwi ein mynwes.—3. Mae Duw "yn rhyfeddol yn ei *gyngor*," yn gystal ag "ardderchog yn ei waith." "Y Duw mawr, cadarn, Arglwydd y lluoedd yw ei enw; mawr mewn cyngor, a galluog ar weithred." Pa ddyryswch bynag y mae 'r credadyn ynddo yn y byd, mae gan Dduw ddigon o ddoethineb i'w ddwyn trwyddo; ac fe addawodd ei arwain â'i gyngor, ac wedi hyny ei dderbyn i ogoniant.—4. Dywedir fod *gair* Duw yn rhyfeddol. "Rhyfedd yw dy dystiolaethau: am hyny y ceidw fy enaid hwynt." Mae 'r Bibl yn dwyn ger ein bron y pethau mwyaf gogoneddus; a phe darllenem ef, gan weddïo am yr Yspryd Glân i ddilenu ein llygaid, gwelem bethau rhyfedd allan o gyfraith Duw.

Yn y testun gelwir *Mab Duw* yn Rhyfeddol. Rhoddir yr un enw iddo yn *Barn*. 13. 18. Yr hwn a elwir Angel yr Arglwydd, Gwr Duw, Rhyfeddol, yn adnodau 3, 6, 18. a elwir hefyd *Duw* yn adnod 22.

Mae 'r Cyfryngwr yn Rhyfeddol,

I. O ran ei *Berson*. Nid oes neb tebyg iddo yn y nefoedd na'r ddaear. Nid yw 'r Tad fel ef; canys nid yw ef yn ddyn yn gystal a Duw. Nid yw yr Yspryd Glân

yn gyffelyb iddo, o herwydd yr un achos. Nid yw 'r angelion yn debyg iddo, a'i ystyried o ran ei natur iselaf; canys ysprydion anweledig ydynt hwy, heb gyrph, tra y mae ganddo ef yspryd a chorph. Nid yw dynion chwaith fel Crist; canys o'r natur ddynol yn unig y cyfranogant hwy, tra y mae ef yn meddu ar y ddwyfol hefyd. Mae yn Fachgen wedi ei eni, ac hefyd yn Dad tragywyddoldeb. Mae yn ogyfuwch a'r Tad yn holl briodoliaethau y Duwdod, yn dwyn yr un titlau, ac yn derbyn yr un addoliad; etto yn anfeidrol lai na'r Tad—yn gymmaint llai nag ef ag yw 'r ffurfiedig yn llai na'r hwn a'i ffurfiodd. Y mae yn ddyn, cyfranog o gig a gwaed fel ninnau, yn meddu corph o'r un defnyddiau a phawb dynion, ond eu bod yn ddihalog. Mae ganddo hefyd enaid anfarwol fel pawb o hiliogaeth Adda; etto mae yn anfeidrol fwy na dyn, yn gymmaint mwy gogoneddus nag ef ag ydyw y BOD sydd yn llenwi 'r nef â'i ddisgleirdeb yn ogoneddusach na phabell o bridd y ddaear. Mae yn Greawdwr ac yn greadur—yn Dad ac yn Frawd i ni. "Mawr yw dirgelwch duwioldeb; *Duw a ymddangosodd yn y cnawd.*" "Morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab; a hwy a alwant ei enw ef Emmanuel; yr hyn o'i gyfieithu yw, *Duw gyda ni.*"—— *Gelwir ei enw ef Rhyfeddol,*

II. O ran ei *Gnawdoliaeth*. Er fod y Cyfryngwr yn wirioneddol ddyn, etto derbyniodd ei ddynoliaeth mewn dull gwahanol i bawb dynion ereill. Dyn yw heb dad dynol iddo. "Had y *wraig*" ydyw, wedi *ei wneuthur o wraig*, heb gyssylltiad â gwr—"wedi ei wneuthur dan y ddeddf; fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf, fel y derbyniem y mabwysiad." Mae hyn yn cael ei alw yn arwydd gan y prophwyd—rhyw beth anarferol—"Yr Arglwydd ei hun a rydd i chwi arwydd, Wele, *morwyn*," nid gwraig, ond morwyn—un heb adnabod gwr—"Morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab, ac a eilw ei enw ef Emmanuel." Prophwyd arall a'i gesyd allan fel peth tra rhyfeddol; peth na welwyd erioed ei gyffelyb: "Yr Arglwydd a greodd *beth newydd* ar y ddaear; *Benyw* (nid gwraig) *a amgylcha ŵr.*" Yr oedd y Forwyn Fair ei hun yn llawn o syndod, pan glywodd fod y Messïah, Achubydd pechaduriaid, yn ffurfiedig yn ei chroth. "A Mair a ddywedodd wrth yr angel, Pa fodd y bydd hyn, gan nad adwaen i ŵr?" Yr angel a'i hysbysodd, mai trwy offerynaeth yr Yspryd Glân y cenhedlid dynoliaeth y Cyfryngwr yn ei chroth; ac yn ganlynol, y gelwid y peth sanctaidd a enid o honi yn Fab Duw.—— *Gelwir ei enw ef Rhyfeddol,*

III. O ran ei *Ymddarostyngiad*. Pwy glywodd erioed sôn am ei gyffelyb yn hyn? Os ystyriwn ei fawredd er tragywyddoldeb, mae ei ymddarostyngiad yn peri y syndod mwyaf yn y meddwl. Pwy ydyw? y Duw cadarn.—Fel pwy y triniwyd ef ar y ddaear? fel pryf ac nid gwr—fel gwarthrudd y bobl—fel gwreiddyn o dir sych, heb bryd na thegwch iddo!—Beth sydd yn eiddo iddo? y nefoedd fry—"y ddaear a'i chyflawnder"—y greadigaeth faith i gyd.—Beth oedd ei gyflwr ar y ddaear? gwaelach na llwynogod y maes, ac ehediaid y ffurfafen—"nid oedd ganddo le i roddi ei ben i lawr!" Ganwyd ef yn y preseb, trengodd ar bren! Cythreuliaid a dynion, Iuddewon a Chenhedloedd, a unasant eu malais yn ei erbyn! Er ei fod y Duw byw, yn ffynon bywyd i bawb a'i meddant, yn llenwi y Gaersalem fry â disgleirdeb ei wedd, etto dibrisiodd ei hun, gan gymmeryd arno agwedd gwas; ac a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes, sef

yr angeu mwyaf gwarthus yn y byd. Dyma ddarostyngiad mil mwy na'r hyn a ddigwyddodd i Nebuchodonosor. Cryn syndod canfod hwnw yn gorfod gadael ei orsedd i drigo gyda bwystfilod y maes, ac i bori gwellt fel eidionau. Ond dyma fwy, gweled Brenin y breninoedd, a Meddiannydd a Rheolwr pob peth, yn hongian rhwng lladron, ac yn disgyn i lwch y bedd. O rhyfeddwn! O'i anfodd yr aeth brenin Babilon i'r fath iselder: ond o'i fodd yr aeth Iesu iddo! Rhyfeddwn, ïe, rhyfeddwn a diolchwn hefyd; canys er ein mwyn ni, er mwyn ein dyrchafu o fro a chysgod angeu i wlad o hedd a gorfoledd tragywyddol, y dioddefodd y driniaeth felldigedig a ddaeth iddo ar y llawr. "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef."——*Gelwir ei enw ef Rhyfeddol*,

IV. O ran ei *Ddyrchafiad*. Pwy mor isel â Christ ar y ddaear! pwy yn awr mor uchel! "Duw a'i tra dyrchafodd ef, ac a roddes iddo enw yr hwn sydd *goruwch pob enw;* fel yn enw Iesu y plygai pob glin, o'r nefolion, a'r daearolion, a thanddaearolion bethau; ac y cyffesai pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd er gogoniant Duw Dad." Yr oedd ei ymddarostyngiad yn wirfoddol, a thros amser; a phan atebwyd dibenion yr ymddarostyngiad hwnw, yna dyrchafwyd ef i anrhydedd annhraethadwy. Gadawodd y byd a'i holl helbulon; esgynodd i'r nefoedd, eisteddodd ar ddeheulaw Duw, ac yno y bydd nes y gosodir ei elynion yn droedfainge i'w draed. Mae angelion y nefoedd, mae yr ysprydion syrthiedig, mae dynion da a drwg, mae y greadigaeth oll dan ei lywodraeth. "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef a'r ddaear." Esgynodd "goruwch pob tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw; a Duw a ddarostyngodd bob peth dan ei draed ef, ac a'i rhoddes ef yn ben uwch law pob peth i'r eglwys." Ar y dydd olaf, O mor ddyrchafedig fydd! Udgorn Duw a hysbysa ei ddyfodiad; gwelir ei arwydd ef ar gymylau y nef; holl drigolion byd a gesglir ger ei fron; a sefydla gyflwr pob un o blant dynion dros oesoedd tragywyddoldeb. Dyma 'r pryd y del i'w "ogoneddu yn ei saint, ac i fod *yn rhyfeddol* yn y rhai oll sydd yn credu." Bechadur, bydd barod i gyfarfod â Duw.

V. Mae un peth arall, a hwnw yn rhagori mewn melusder, yn yr hwn y mae Crist yn Rhyfeddol—*Trugaredd*. Ni chlywyd erioed am un a chymmaint o dosturi ynddo. Pan oedd yn yr ing mwyaf ar y groes, yn lle erfyn am gosp ar ei groeshoelwyr am eu creulondeb, erfyniodd ar ei Dad faddeu iddynt; a golchodd filoedd o honynt oddiwrth eu pechodau yn y gwaed a dynasant o'i gorph sanctaidd ar y pren. Glanhaodd dair mil o'i elynion marwol ar un waith, sef y Pentecost cyntaf ar ol ei farwolaeth. "Pa Dduw sydd fel tydi, yn maddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod!" Nid oes euogrwydd mor echryslon—nid oes beiau mor atgas—nid oes camweddau mor lïosog, nad yw yn barod i'w symud, a'u dilëu am byth. Ei lais wrth afradloniaid anhaeddiannol y byd yw, "Trowch eich wynebau ataf fi—fel y'ch achuber.—Deuwch i'r dyfroedd—heb arian, ac heb werth.—Trowch i'r amddiffynfa, chwi garcharorion gobeithiol."

Fy niben, fy mrodyr, yn dangos mor Rhyfeddol yw Crist, oedd eich dwyn i'w dderbyn. Ni waeth pa mor ogoneddus a gwerthfawr

ydyw, os gwrthodwch ef. Er na fu y fath Waredwr erioed, nid yw yn Waredwr i neb ond i'r sawl a'i derbyniant. O bechaduriaid, a gaiff Duw uno Duwdod a dyndod yn y Messiah, i'r diben o'i wneuthur yn Geidwad addas i chwi, a chwithau, yn ol y cwbl, ei ddibrisio? Nid oes orchwyl dan y nef mwy enbyd a pheryglus a gwrthod y Rhyfeddol Achubydd a ddarparodd Duw, yn anfeidredd ei dosturi, i blant dynion. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint." Mae eisieu goleuni arnoch, derbyniwch ef: canys gwna 'r gwirion yn ddoeth. Mae eisieu maddeuant arnoch, derbyniwch ef: canys trwy ei gleisiau ef yr iachëir chwi. Mae eisieu nerth arnoch, derbyniwch ef: canys gallu Duw ydyw er iachawdwriaeth. Mae yn perthyn i chwi angenion dirifedi, derbyniwch Grist, ac efe a ddiwalla eich holl raid chwi er gogoniant ei ras. Uffern sydd o'i wrthod: nefoedd sydd o'i dderbyn! Cofiwch, fel ei fod yn rhyfeddol yn ei gariad, os dibrisir y cariad hwnw, ei fod yn rhyfeddol yn ei ddigofaint hefyd. Ni chlywyd am neb a all daro mor drymed. "Gan ddyrnod dy law y darfum i.—Daeth dydd mawr ei ddigter ef; a phwy a ddichon sefyll?"

OFFAB.

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

SYR—Un o'r gorchwylion mwyaf pwysig yn ngwaith y weinidogaeth ydyw ymweled â'r cleifion. Rhag ofn na bydd iddynt allu cyflawni hyny yn iawn, y mae llawer, yn enwedig Gweinidogion ieuaingc, yn oedi neu yn esgeuluso y ddyledswydd bwysfawr hon. Meddyliwyf, gan hyny, y dylid rhoddi pob annogaeth a chynnorthwy i'r cyfryw rai i fyned yn ddioed ynghylch y gwaith: ac y dylai Gweinidogion oedranus a phrofiadol wneuthur hyny trwy gyfrwng y Gwyliedydd. Dywenydd oedd genyf weled yn eich Rhifyn am Hydref, 1830, fod y Parch. W. B. Knight, M. A. Canghellwr dysgedig a defnyddiol Esgobaeth Llandaf, yn bwriadu rhoddi i'n gwlad ail argraffiad o'r llyfr a elwir "*The Clergyman's Companion in visiting the Sick.*" Côf genyf weled un o'r llyfrau hyn yn Swydd Feirion oddeutu ugain mlynedd yn ol; ond ni welais yr un byth wedi hyny. Yn y cyfamser, caniatewch i'r traethodyn bychan canlynol le yn un o'ch Rhifynau, a chwi a fawr foddhewch un o'ch derbynwyr cysson,

G. C.

## ANERCH I'R CYSTUDDIEDIG.

Y MAE yn gwasgu arnaf, fy nghyfaill, eich gweled mewn afiechyd. Diammeu eich bod yn mawr ewyllysio cael gwaredigaeth oddiwrth eich dioddefiadau, a'ch bod yn barod i ddefnyddio pob moddion addas i'r diben hyny. Dedwydd fyddwch, yn wir, os cewch les i'ch enaid oddiwrth y driniaeth hon o eiddo Duw tu ag atoch, a gras i ddilyn y cyngor a rydd y gwr doeth i bawb sydd yn eich amgylchiadau: "Yn amser adfyd ystyria." *Preg.* 7. 14. Myfyriwch, gan hyny, yn ddwys ar y cwestiynau canlynol:—

1. *A fu'r afiechyd hwn yn foddion i roddi i chwi iawn olwg ar bechod?* Eich anufudd-dod yw yr unig achos o'ch holl nychdod a'ch poenau. Pan y mae dynion mewn iechyd ac hawddfyd, ychydig a feddyliant yn aml am eu camweddau; ond pan y mae ceryddon Duw arnynt, y mae hyn weithiau yn achos o fagu sobrwydd achubol yn eu mynwesau. A ddygwyd chwi drwy eich afiechyd i ganfod eich perygl fel pechadur? a gawsoch chwi 'r fraint o weled mai peth chwerw yw gadael ffyrdd yr Arglwydd, ac i lefain gyda thaerineb sanctaidd yn enw 'r Iesu, "Arglwydd, maddeu i mi yr holl anwiredd, rhag digwydd i mi yr hyn a fyddo gwaeth?"

2. *A ddarfu 'r afiechyd hwn eich dwyn i werthfawrogi 'r Arglwydd Iesu Grist?* A gawsoch eich dwyn i ddywedyd, os yw ychydig o boen yn y corph yn y byd hwn mor anhawdd ei oddef, O mor annioddefol

yw poenau 'r corph a'r enaid yn uffern dros byth? Nid yw 'r pryf sydd yno byth yn marw—nid yw 'r tân byth yn diffodd! Tywyllwch heb un pelydr o oleuni—griddfan heb dewi mwy—mwg poenedigaeth y preswylwyr sydd yno yn esgyn i fynu yn oes oesoedd! Dyma 'r gyfran a haeddais i. Pechais yn erbyn Duw, a "chyflog pechod yw marwolaeth." Ond diolch i Dduw am anfon ei Fab, i waredu troseddwyr euog rhag myned i'r fath le echryslon. Bu ef farw, "y cyfiawn dros yr anghyfiawn," i ddwyn pechaduriaid at Dduw. Fy haeddiant i yw cael fy namnio: ei haeddiant yntau yw holl ddedwyddwch y nefoedd. Yr wyf yn gorphwys ar ei gyfryngdod ef; canys "ni chollir pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caiff trwyddo fywyd tragywyddol." Os rhyngodd bodd i'r Yspryd Glân eich goleuo fel hyn, a'ch tywys, fel gwrthryfelwr colledig yn erbyn y nefoedd, i "ymffrostio yn nghroes yr Arglwydd Iesu Grist," ac i bledio ei aberth fel unig sylfaen eich gobaith am ddedwyddwch, y mae genych achos diolch i Dduw am eich cystudd. Cyrhaeddodd y meddyg ysprydol eich enaid trwy 'r corph, a dygodd chwi "o farwolaeth i fywyd," er mawl ei anfeidrol ras.

3. *A ddygwyd chwi er eich gwely o gystudd i ganfod gwagter y byd presennol?* Y byd, mewn rhyw ddull neu gilydd, yw 'r eilun y mae pob dyn wrth natur yn ei addoli. Trysorau 'r ddaear yw yr unig drysorau y mae ei galon ffol yn hiraethu am danynt. Pleserau 'r byd, ac anrhydedd y byd, yw yr unig bleserau ac anrhydedd a wyr ei galon am danynt, ac yn ganlynol, yr unig rai y mae cais yn ei enaid am eu meddiannu; ond pan y mae dyn mewn cystudd, y mae yn cânfod mor annigonol yw y byd i weini iddo gysur: ac os yw yr Arglwydd yn sancteiddio ei gystudd, y mae yn cael ei arwain i ymofyn am gysur yn y Duw y bu yn ei anghofio dros ei fywyd—yn y Gwaredwr trugarog a esgeulusodd dros ei holl ddyddiau. Os gwelsoch fel hyn, pa mor wael yw 'r byd pan fyddo dyn mewn gwir galedi, ac os bu eich arteithiau corphorol yn foddion i'ch dwyn i adnabod y Gwr sydd "yn gymmorth hawdd ei gael mewn cyfyngder"—y Gwr a all lòni 'r yspryd pan fo'r tònau garwaf yn myned drosto; ie, a ddichon beri i'r galon làmu o lawenydd, pan fyddo angeu ei hun yn gwneud ei orchwyl, rhowch ddiolch i Dduw am eich clefyd, a dywedwch, gyd âg yspryd llawn o syndod a chariad—"Da oedd i mi gael fy nghystuddio."

4. *A ddygwyd chwi trwy 'r afiechyd hwn i feddwl yn fwy dwys a difrifol am fyd arall?* Gall y naldra hwn derfynu mewn marwolaeth. Gall y corph gwywedig yna fod ar fyr yn gorphwys yn y bedd, a'r enaid gwerthfawr sydd ynddo fod o flaen brawdle Crist. A ydych chwi yn barod i ymddangos o flaen Duw? Peth arswydus iawn yw meddwl myned o flaen Duw glân âg enaid aflan—ymddangos ger bron Brenin y nefoedd heb faddeuant am wrthryfela yn ei erbyn, ac addasrwydd i drigo ger ei fron. A ydych chwi yn barod i sefyll ger ei fron? Gan gredu y gall eich afiechyd fod yn un marwol, a ddihunwyd eich cydwybod i fyfyrio yn ddifrifol ar yr hyn sydd o'ch blaen? Os ydych i farw, beth yw eich gobaith? A gawsoch chwi alar duwiol am eich pechodau? A nerthwyd chwi i ffoi at Grist am fywyd tragywyddol? Ac a ydyw eich hiraeth penaf am ogoneddu Duw tra yr arosoch yn y byd, bydded eich arosfa yr hyn a fyddo? Llefwch lawer am deimlo gweithrediadau yr Yspryd Glân ar eich cyflwr, fel y galloch ddywedyd—os byw fyddaf, yr Arglwydd a rydd i'm nerth i fyw er ei glod; os marw fyddaf, byddaf "farw yn yr Arglwydd," a gwynfydedig fyddaf; canys caf "orphwys oddiwrth fy llafur."

Gobeithiaf y caiff y gofyniadau blaenorol le yn eich meddwl. Y mae Duw trwy ei ragluniaeth drom yn llefaru wrthych yn groyw; canys ei weision a'i genhadon ef yw cystuddiau o bob rhyw. Na ddirmygwch ei lais. Ceisiwch ras i deimlo ac i ofidio am y pechod sydd yn achosi y fath ddioddefiadau, ac i redeg at y gwr, gwaed yr hwn yn daenelledig ar eich cydwybod, a all yn unig eich gwared rhag dioddefiadau mil chwerwach. Os esgeuluswch y rhybydd grasol hwn, annogwch Dduw i drymhau 'r farn arnoch. O, na esgeuluswch mo hono! cyfaddefwch eich beiau, erfyniwch am faddeuant a phurdeb enaid; yna diangwch ar fyr i'r wlad lle nad oes na phoen na blinder, ond perffaith ddedwyddwch yn oes oesoedd.

Chwiliwch lawer i iawn sefyllfa eich enaid ger bron Duw. Os oes ynoch ryw deimlad o'ch euogrwydd, yn peri i chwi dywallt llawer gweddi am faddeuant, na chasglwch yn union eich bod wedi cael gwir ddychweliad at yr Arglwyddd. Gall y gweddïau yna darddu oddiar ofn marwolaeth: a phe caech eich nerth drachefn, fe allai y byddech mor anghofus o Dduw ag erioed. Erfyniwch ras i ganfod pechod yn ffiaidd, fel dirmyg ar Dduw—fel trosedd o gyfraith nad yw yn gofyn ond yr hyn sydd yn ei le; ac na fyddwch esmwyth hyd y cewch gymmorth i ymdawelu yn angeu y Gwaredwr, ac i ymhoffi yn ei waith. Os cewch y pethau hyn, doed angeu pan y delo, nid rhaid i chwi ofni niweid; canys Duw fydd eich cyfran dragywyddol, a moli Duw eich hyfryd orchwyl yn oes oesoedd.

YMDDIDDAN YNGHYLCH BEDYDD.

(Parhad o du dalen 238.)

*William.*—Peth pwysig iawn, yn fy meddwl i, yw i blentyn gael ei fedyddio yn ol gorchymyn Crist, a'i "dderbyn i gynnulleidfa ei ddefaid ef." Y mae 'n arfer gan rai pobl gael Bedydd neillduol, neu Hanner Bedydd (fel y'i gelwir) i'w plant, agos cyn gynted ag y genir hwynt, rhag marw o honynt *heb enw*, fel y dywedir mewn manau.

*Thomas.*—Dyna fy arfer innau bob amser; cael Hanner Bedydd, neu *enwi* y plant, ac yna dygem hwynt ryw bryd i'r Eglwys i gael eu *cyflawn* Fedyddio, neu eu "derbyn yn gyhoedd i gynnulleidfa defaid Crist." Weithiau ni a arosem flwyddyn, neu ychwaneg; ac un tro bedyddiwyd felly ddau o'n plant ar unwaith.

*W.* Dyna beth nas gallaf ddywedyd fy mod yn cytuno â chwi ynddo.

*T.* Ni wnawn ni felly yn awr, *William*. Arferwn feddwl mai y peth penaf oedd cael *Hanner Bedydd*, neu *enw* (fel y dywedir) i'r plentyn; ond meddwl yr wyf fy mod wedi cael golwg arall ar y peth yn awr. Nid rhyw ffurf ddisylwedd yw Bedydd, ond sacrament a "ordeiniodd Crist ei hun." Ordeiniodd ein Hïachawdwr ei sacramentau i fod yn "arwyddion gweledig oddi allan, trwy ba rai y derbynir y gras ysprydol oddi fewn," ac y'n gwneir yn gyfranogion o addewidion yr efengyl. *Dwfr* yw yr arwydd allanol yn y sacrament o Fedydd; ac, yn ganlynol, pan ddefnyddir dwfr, *dyna* y pryd y gweinyddir Bedydd. Ni ddylid galw hyn yn Hanner Bedydd, nac ychwaith *enwi* plentyn; y mae yn Fedydd *cyflawn*. Am y rhan arall, a elwir yn "Fedydd Cyhoedd," derbyniad cyhoeddus yw i Eglwys Crist, pan yr una yr holl gynnulleidfa mewn gweddïau fod i'r plentyn, wedi ei dderbyn i "gynnulleidfa defaid Crist," allu aros byth yn "nifer ei bobl ef," a "diweddu y rhan arall o'i fywyd yn ol hyn o ddechreuad." Dylai hyn, yn fy meddwl i, gael ei wneud ar yr *un amser*, neu o leiaf, cyn gynted ag y gellir yn gyfleus. Ni ewyllysiwn i ddim cadw plentyn oddiwrth ei freintiau Cristionogol, os gallwn beidio.

*W.* Gwir. Mewn *saldra* caniateir *Bedydd neillduol gartref;* ond y llall yw yr iawn ffordd.

*T.* Felly rhaid ei bod: a da iawn genyf fod ein Gweinidog yn awr yn Bedyddio plant bob amser, "yn y man ar ol y Llith ddiweddaf," yn lle aros hyd oni ddiweddid y Gwasanaeth, ac yr elai yr holl gynnulleidfa ymaith. Gwasanaeth rhagorol yw y Drefn am Fedydd; ac nid all lai na bod yn fuddiol i'r bobl ei glywed. Heblaw hyn, Gwasanaeth yw yn perthyn i'r gynnulleidfa, a dylai pawb *uno* ynddo; a pha faint gwell sail sy genym i ddisgwyl i'r maban bychan, a gyflwynir i Dduw, *barhau* 'n wasanaethwr ffyddlon iddo ef, pan y dyrchafa cynnulleidfa gyfan o addolwyr Cristionogol eu gweddïau i'r nef ar ei ran.

*W.* Diammeu; a dyna fel y'n cyfarwydda y *rubric* yn y gwaith. Chwi a wyddoch yn awr, *Thomas*, beth a feddylir wrth y *rubric*.

*T.* O gwn; y cyfarwyddiadau. Cefais eglurhad genych eisoes ar hyn.

*W.* Wel, hysbysa y cyfarwyddiadau hyn y dylai Bedydd gael ei weinyddu "pan fyddo y nifer mwyaf o'r bobl yn dyfod ynghyd;" ac mai iawn ei weinyddu "yn y man, ar ol yr ail Lith ar y Foreuol neu ynte y Brydnawnol Weddi;" a da genyf fod ein Gweinidog yn ei weinyddu ar yr amserau hyn. A chredu yr wyf, heblaw y fendith y gallwn felly obeithio am dani i'r plentyn, fod galwad uchel yn cael ei wneud ar

*bob un* o honom i gofio ei addunedau ei hun, ac ystyried pa fendithion gwerthfawr y'n galwyd i'w mwynhau, a pha ddyledswyddau a osodwyd arnom i'w cyflawni, fel Cristionogion. Gall, yn ddiammeu, fod achosion i newid yr amser; ond pa bryd bynag y gweinyddir yr ordinhad hon, y mae 'n ofynol arnom ystyried yn ddifrifol beth yr ydym yn ei wneud, fod plentyn yn cael ei gyflwyno i wasanaeth ei Greawdwr a'i Brynwr, trwy ordinhad bwysig, yn ol cyfarwyddyd Crist ei hun. Mae Gweinidogaeth Bedydd hefyd yn gosod o'n blaen brif athrawiaethau ein crefydd, a'r rhwymedigaethau sydd arnom i rodio yn ei llwybrau sanctaidd. Dechreua y Gwasanaeth hwn trwy ddwyn ar gôf i ni ein bod "wedi ein geni mewn pechod, ac na ddichon neb gael myned i mewn i deyrnas Dduw; oddieithr ei adgenhedlu, a'i eni ef o newydd o ddwfr ac o'r Yspryd Glân." Yspryd Duw raid ein hadgenhedlu, a'n gwneud yn addas i fyned i mewn i deyrnas nefoedd. Y "gras ysprydol hwn oddi fewn," yw yr hyn y'n dysgir yn yr Ysgrythyr, yn y Catecism, ac yn Ngweinidogaeth Bedydd, ei fod yn beth anhebgorol angenrheidiol tu ag at wneud marwolion pechadurus yn gymmwys i'r nefoedd; mai hyn yw y peth a gyfnewidia y "rhai wrth naturiaeth sydd yn blant digofaint," ac a'u gwna yn "blant gras," a'r rhai a "anwyd mewn pechod" yn gyfranogion o addewidion yr efengyl, ac yn "etifeddion teyrnas nefoedd." Yr "arwydd gweledig oddi allan o'r gras ysprydol hwn oddi fewn yw y *Dwfr;* arwydd a ordeiniodd Crist ei hun; a diau y gallwn ddisgwyl, os derbyniwn ef *yn iawn* y bydd i fendith Duw gyd fyned âg ef.

*T.* Diau y gallwn hyderu y bydd felly. Gan i'n Hiachawdwr bendigedig ddywedyd, "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi," nis gallwn i fod yn esmwyth heb gyflwyno fy mhlentyn yn gyhoeddus i wasanaeth ei Arglwydd; ac wedi gwneud felly, hyderaf y gallaf, yn gysurus, gredu ei fod yn wirioneddol yn un o "ddefaid Crist."

*W.* Yr wyf fi yn credu hyny yn gadarn fy hun, *Thomas;* a phe byddai marw y plentyn, ni byddai genyf yr ammheuaeth lleiaf na dderbynid ef trwy haeddedigaethau ei Iachawdwr i ddedwyddwch ynef.

*T.* Gwir; ac os byddai byw, meddwl yr wyf, yn gymmaint a'i dderbyn felly i blith defaid Crist, yn y ffordd a ordeiniodd Crist ei hun, y gall hyderu y mwynha y breintiau a'r addewidion hyny a roddwyd i Gristionogion yn yr Efengyl.

*W.* Dyna fy meddwl innau: ac hefyd fy marn yw, fod llawer o honom yn meddwl yn rhy fach o'r sacrament hwn o Fedydd; ac yn anghofio i ba freintiau mawrion y'n derbynir trwyddo.

*T.* Etto, weithiau, tueddol ydym i syrthio i gyfeiliornad o fath arall; sef meddwl y byddwn gadwedig yn unig oblegid ein derbyn i mewn, yn ol y drefn osodedig, i deulu Crist, heb ystyried y dyledswyddau mawrion y'n rhwymwyd i'w cyflawni trwy yr addunedau a wnaethpwyd trosom wrth ein bedyddio.

*W.* Ond edrychwch pa mor ragorol y mynegir am hyn yn Nhrefn Gweinidogaeth Bedydd, yn y Llyfr Gweddi. Trwy Fedydd derbynir plentyn i blith defaid Crist, neu "dodir ef yn nghorph Eglwys Crist;" etto, rhaid yw cofio fod y Cristion yn un wedi ei alw, nid yn unig i *feddiannu breintiau mawrion,* eithr hefyd i *gyflawni dyledswyddau* penodol. Dywed ein Hiachawdwr wrthym, yn *Ioan* 3. "Na ddichon neb gael myned i mewn i deyrnas Dduw, oddieithr ei adgenhedlu, a'i eni ef o newydd, o ddwfr ac o'r Yspryd Glân." A'r Gweinidog a ddwg hyn ar gôf i ni pan ydym yn dwyn ein plant i'w bedyddio. Ac

efe a eilw arnom i gyduno âg ef mewn gweddi, ar fod i'r plentyn dderbyn "y peth trwy nerth natur ni ddichon ddyfod iddo," sef, "cael ei fedyddio â dwfr." Ond nid digon hyn; efe a orchymyn i ni weddio hefyd ar fod iddo gael ei fedyddio "â'r Yspryd Glân;" ac nid yn unig cael ei dderbyn i Lân Eglwys Crist; eithr hefyd fod o hono "yn *aelod bywiol* o'r unrhyw."

*T.* Wrth "aelod *bywiol*" o Eglwys Crist, mae yn debyg y meddylir un a chanddo *ffydd fywiol*, yr hon a'i dysg nid yn unig i gredu yr hyn a gynnwysir yn yr Ysgrythyr; eithr hefyd i dderbyn ei haddewidion a'i breintiau gyda diolchgarwch, ac i ymdrechu byw yn ffyddlon yn ol ei rheolau.

*W.* Ië: a dyna yn union yr hyn a fynegir yn y Drefn am Fedydd; bod i'r hwn a fedyddier "ymladd yn wrol yn erbyn pechod, y byd, a'r cythraul, a pharhau yn filwr ffyddlon, ac yn was i Grist, holl ddyddiau ei einioes."

*T.* Nid peth bychan, ynte, yw bedyddio plentyn, os ystyriwn i ba sefyllfa oruchel y gelwir ef trwy Fedydd; a chan ei fod yn cael ei "nodi âg arwydd y groes," dylai hyn beunydd ddwyn ar gôf iddo nad yw i "gymmeryd yn gywilydd gyffesu ffydd Crist a groeshoeliwyd."

*W.* Yn wir, fy nghyfaill, mae yn hyfrydwch mawr genyf weled fod genych y fath syniad addas am ystyr a phwysfawrogrwydd y sacrament o Fedydd. Ac wrth weled hyn da iawn fydd genyf sefyll yn Dad-Bedydd i'ch plentyn. A bydded i ras Duw a'i fendith fod gyda ni yn y gorchwyl pwysfawr hwn!

*T.* Dyna fy ngweddi innau o eigion fy nghalon; ac y mae genyf ddiolch diffuant i chwi am eich caredigrwydd yn caniatau fy neisyfiad. Fy nymuniad yw cael bedyddio yn iuau; a chan fod y plentyn yn blentyn iach, ni ddylid ei fedyddio *gartref;* dylid ei fedyddio a'i dderbyn yn gyhoedd i gorph Eglwys Crist ar unwaith, ac yn yr iawn ffordd. Ni welaf fi ddim achos gwneud yn amgen, na phaham y dylid oedi y peth.

*W.* Nid oes un achos, ar a wn i, am dano; ac o'm rhan i byddaf barod, pa bryd bynag y gweloch yn dda benu y diwrnod. Ac felly, ymadawaf â chwi ar hyn o amser.

*T.* Ond cyn yr ymadawn, *William*, mae genyf ddau beth i'w dywedyd, a dim yn ychwaneg.

*W.* Beth ydynt?

*T.* Yn gyntaf, gan fod Bedydd yn sacrament a ordeiniwyd gan Grist ei hun, a bod y cyfryw fendithion gwerthfawr yn perthyn iddo, peth beius iawn yw peidio dwyn ein plant i'r sacrament hwn, ac felly eu hattal oddiwrth y bendithion a gynnygir iddynt.

*W.* Gwir. Beius iawn ynom yw nacâu y breintiau hyny i'n plant, y rhai y darfu i Grist yn drugarog eu cynnyg iddynt. Mae bendithion graslawn yr Efengyl yn cael eu cynnyg i *blant* yn gystal ag i ereill; "I chwi y mae 'r addewid, ac i'ch *plant*, ac i *bawb ym mhell.*" *Act.* 2. 39.

*T.* Dyna, yn wir, fy marn innau; ac yr wyf yn cyfrif ein bod yn dangos ein dymuniad i *dderbyn* y bendithion hyn, trwy ddwyn ein plant i gael eu bedyddio; a thrwy ffydd yr ydym yn disgwyl am yr addewidion a wnaeth Crist, y gwna Efe "eu cadw yn wir ddiogel a'u cwblhau." Ond y peth arall sy genyf i'w ddywedyd yw hyn:—Tra yr ydym yn canfod y bendithion mawrion a berthynant i'r sacrament o Fedydd, nid ydym i ymorphwys ar hyn, fel pe na bai genym ddim ym mhellach i'w wneuthur wedi unwaith i'r plentyn gael ei "ddodi yn nghorph Eglwys Crist" trwy Fedydd.

*W.* Camsyniad dirfawr yn ddiau

fyddai hyny; ond yr wyf yn meddwl na arweinid neb i'r camsyniad hwn, os darllena yn ystyriol y Gwasanaeth am Fedydd. Yno gweddïa pawb ar i'r plentyn "allu diweddu y rhan arall o'i fywyd yn ol hyn o ddechreuad;" ar iddo, "gan ei fod ef yn farw i bechod, ac yn byw i gyfiawnder, allu croeshoelio yr hen ddyn, ac yn hollawl ymwrthod â holl gorph pechod;" ar iddo, gan ei fod yn gyfranog o angau Crist (trwy ei dderbyniad i'r cyfammod Cristionogol) fod hefyd yn gyfranog o'r adgyfodiad; ac felly, o'r diwedd, bod o hono yn "etifedd teyrnas nefoedd." Yn y weddi hon dangosir nad ydym yn cyfrif Bedydd fel peth yn *sicrhau* i ni etifeddiaeth yn y nefoedd; ond mai derbyniad yw i'r cyflwr hwnw, neu y sefyllfa ym mha un yr ydym yn wastadol i weddïo ac ymdrechu am gael ein gwneud yn addas i fwynhau yr etifeddiaeth hono. Os bydd i'r plentyn farw cyn y delo i oedran i wybod *beth yw* pechod, yr ydym yn credu y bydd yn gadwedig trwy haeddedigaethau Crist, yn gymmaint ag iddo gael ei wneud yn aelod i Grist trwy Fedydd.

*T.* Felly y mae; a geilw ein Heglwys gyflwr y gwir Gristion yn "enedigaeth newydd i *gyfiawnder*," i ddangos nad yw breintiau Cristionogol yn sefyll i ni *yn lle* cyfiawnder, ond yn ein *harwain i* gyfiawnder.

*W.* Gwir yw; a phwy bynag a wyr ddim am natur dyn, efe a wêl fod arno, trwy holl ystod ei fywyd, angen am gymmorth dwyfol i'w gadw mewn cyflwr o wyliadwrusrwydd a pharodrwydd i deyrnas nefoedd; fod arno angen am gael ei "adnewyddu beunydd trwy yr Yspryd Glân." A'n "rhan a'n dyled" ni yw ymdrechu, yn y modd goreu ag allom, "weled dysgu o'r plentyn, cyn gynted ag y gallo ddysgu," y dyledswyddau a berthynant i broffes o Grefydd Crist. Dylem ofalu am iddo gael "ei feithrin yn rhinweddol, i'w hyweddu mewn buchedd dduwiol a Christionogol—i ganlyn esampl Crist, a'i wneud yn gyffelyb iddo ef—i farw oddiwrth bechod, a chyfodi i gyfiawnder, gan farwolaethu yn wastad bob drygioni a gwŷniau llygredig, a beunydd fyned rhagddo ym mhob rhinwedd dda, a buchedd dduwiol."

---

## HYNAFIAETH EGLWYSIG.

### ARWYDD Y GROES YN Y BEDYDD.

YR oedd yn arfer gynt i feistri a chadfridogion nodi talcenau neu ddwylaw eu gweision a'u milwyr â'u henwau, fel trwy hyny y gellid gwybod i bwy y perthynent; a bernir mai at yr arfer hon y mae'r angel yn cyfeirio yn *Dat.* 7. 3. "Na ddrygwch y ddaear, na'r môr, na'r prenau, nes darfod i ni selio gwasanaethwyr ein Duw yn eu talcenau;" ac yn *pen.* 14. 1. dywedir am ganlynwyr yr Oen, fod "ganddynt enw ei Dad ef yn ysgrifenedig yn eu talcenau." Ac fel yr oedd praidd Crist yn dwyn ei nod ef ar eu talcenau, felly y gelyn mawr, y bwystfil, a nododd ei weision yntau hefyd, *pen.* 14. 9. "Os addola neb y bwystfil, a'i ddelw ef, a derbyn ei nod ef yn ei dalcen, neu yn ei law," &c. Yn awr, fel y byddai yn yr Eglwys Gristionogol ryw gyfatebiad i'r hen arferion cyssegredig hyny, barnodd yn ddefod arwyddocaol yn y Bedydd (gan mai hwnw yw ein derbyniad cyntaf i'r broffes Gristionogol) nodi ei holl blant âg arwydd y groes yn eu talcenau, i arwyddo trwy hyny eu cyflwyniad i Grist.

Ymddengys fod nod, neu arwydd y groes, wedi ei fwriadu o'r dechreuad i ryw ddirgelwch mawr. Nid allai yr Israeliaid fod yn orfodog ar yr Amaleciaid ddim hwy nag yr oedd Moses, trwy *estyn*

*allan ei freichiau,* yn parhau mewn llun neu ddull croes, yr hyn oedd yn ddiammeu yn rhagddangos mai trwy groes y dygid y'mlaen ein hiechydwriaeth; fel y dangoswyd y'mhellach hefyd trwy fod Duw yn gorchymyn i groes (oblegid hyny, fel y profa *Grotius,* yw y nod a feddylir) gael ei gosod ar y rhai a achubid rhag y dinystr cyffredin. *Ezec.* 9. 4.

Ar ol i'n Prynwr bendigedig wneuthur iawn dros bechodau y byd ar y *groes,* ei ddisgyblion boreuol (y rhai, fel y tystiolaetha *Municius Felix,* nid addolent y groes) a'i dewisasant yn arwydd o Gristionogaeth. Mae *Origen* yn son am rai a "*nodwyd âg arwydd y groes wrth eu bedyddio;*" a *St. Cyprian,* ei gyfoedwr, a ddywed, "*fod gwasanaethwyr ffyddlon yr Arglwydd yn cael eu nodi yn eu talcenau.*" *St. Basil* hefyd a dystiolaetha, fod "*defod Eglwysig mewn arferiad er dyddiau'r apostolion, i'r rhai a gredent yn enw yr Arglwydd Iesu Grist, gael eu nodi âg arwydd y groes.*" Hyn o dystiolaeth o hynafiaeth yr arfer.

Yn yr amser boreuol yn wir arferid y nod hwn *o flaen* y weithred o fedyddio; ond yr ydym ni yn ei arferyd *ar ol hyny,* er gwell boddlonrwydd i'n brodyr a betrusant wrtho, fel nad allant yn gyfiawn ein cyhuddo o'i wneuthur yn anhepgorol angenrheidiol i fedydd, oblegid fod y ddefod o ran sylwedd wedi ei gorphen cyn gwneuthur y groes. Ac y'medydd neillduol plant mewn tai gartref, er nad arferir arwydd y groes, etto dywed y *rubric* fod y "dyn bach a fedyddir felly wedi ei fedyddio yn ddeddfol, ac yn ddigonol."

Yn olaf. Pan dderbynier neb i gymdeithas ein crefydd, y mae mor gyfreithlon hysbysu hyny trwy *arwydd* a thrwy *eiriau;* ac yn ddiammeu nid oes un arwydd-nod a adnabyddir mor gyffredin yn nod Cristion a'r *groes,* yr hyn sydd yn peri i St. Paul roddi y groes tros Gristionogaeth ei hun, 1 *Cor.* 1. 17, 18. *Gal.* 5. 11. *Phil.* 3. 18. oblegid mai cred mewn Iachawdwr *croeshoeliedig* yw erthygl briodol y ffydd hon, ag sydd yn gwahaniaethu y grefydd Gristionogol oddiwrth bob crefydd arall yn y byd.

Mewn atebiad i'r rhai a ddywedant fod arwydd y groes wedi cael ei chamddefnyddio gan y Pabyddion i ddibenion coel-grefyddol ac eilun-addolgar, cyfeiriwn hwynt at yr hyn a ddywedwyd dan y gair "Y Wenwisg," tu dal. 295.

C. T.

---

WILSON Y DARLUNIEDYDD.

SYR,—Wrth i mi ddansoddi Bywgraphiad Wilson, a ymddangosodd yn Rhifyn Medi diweddaf, fe'm camarweinid gan yr haneswŷr Seis'nig i ddywedyd rhai pethau nad oeddynt yn gwbl gywir, fel y daethym i ddeall wedi hyny. O herwydd pa ham, tybiais yn fuddiol anfon i chwi ychydig linellau attodiadol i'r hanes, mewn dull o *addenda et corrigenda,* cyn y terfynech y flwyddyn hon, fel y caffai ei gynnwys yn yr un Cyfrol a'r Bywgraphiad.

*C—n.* E.

HEBLAW y darluniadau o eiddo Wilson a grybwyllwyd o'r blaen, y mae golygfa ysblenydd o Gader Idris, a gymmerwyd o ochr Tal-y-llyn, ar ddymuniad rhai o Vychaniaid Cors-y-gedol, wedi cael ei ddwyn ryw amser yn ol i balas Mostyn, yn Swydd y Fflint, ynghyd âg amrywiol bethau ceinmyg ereill oedd yn gynnulledig gynt y'mhreswylfod glodadwy Osbwrn Wyddel. Mae hefyd dri darlun o'i waith (ond nid yn gwbl orphenedig) yn nghadwraeth Miss Garnons o'r Colomendŷ, gerllaw yr Wyddgrug,

lle y cartrefái Wilson yn ei ddyddiau olaf. Efe hefyd oedd darliwydd yr arwydd-lun nodedig oedd hyd yn ddiweddar ar y Tafarndŷ cymmydogaethol a elwir y *Loggerheads;* ond sydd yn awr wedi ei gymmeryd i'w gadw yn ofalus gan Mr. Garnons, y'mysg ceinion bethau ereill o weddillion celfyddydwr hyglod Pen-Egos, yr hwn mor haeddiannol a gyfenwid yn ben Claude Cymru.

Yn monwent yr Wyddgrug, "o du gogledd y deg eglwys," y mae Bedd-gist harddwych ar orweddfa Wilson, ac arni y darlleniad canlynol:

THE REMAINS OF
RICHARD WILSON, ESQUIRE,
MEMBER OF THE
ROYAL ACADEMY OF ARTISTS,
INTERRED MAY 25, 1782. AGED 69.

Yn gyfagos i'r unrhyw y mae Bedd-faen arall, yn arwyddo gorweddfa ei fam, a dau frawd iddo, y rhai a breswylient ryw ysbaid yn yr Wyddgrug gyda'r brawd hynaf, John Wilson, yr hwn ydoedd Gyllid Gasglydd.

---

## CREDO YR IUDDEWON.

FE allai mai nid annerbyniol fyddai cael gwybod beth yw cred yr Iuddewon ar rai pyngciau athrawiaethol, fel y gosodwyd hi allan y'nghyffes eu ffydd 800 mlynedd yn ol, a'r hyn a broffesant etto yn y Dwyrain yn hollol annewidiedig. Arferant hi yn eu synagogau, ac addysgant hi i'w plant, fel y gwnawn ninnau Gredo yr Apostolion. Yr un wreiddiol sydd yn yr iaith Hebraeg, a chyfieithiad llythyrenol o honi sydd fel y canlyn:

"Credaf â ffydd berffaith, mai ar y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, y dylid gweddïo, ac nad oes arall ond efe. Credaf â ffydd berffaith, mai gwir yw holl eiriau y Prophwydi, ac mai oddiwrth Dduw y derbyniwyd hwynt. Credaf â ffydd berffaith, fod Moses, y *Rabbin*, yn brophwyd gwirioneddol, ac yn arglwydd ar y prophwydi. Credaf â ffydd berffaith, mai yr holl ddeddf a feddwn ni yw yr un a draddodwyd i Moses, y *Rabbin*, ar fynydd Sinai. Credaf â ffydd berffaith, fod y ddeddf hon a feddwn ni yn annewidiedig, ac nad oes deddf arall onid y hi. Credaf â ffydd berffaith, fod y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, yn gwybod pob meddwl. Credaf â ffydd berffaith, yn nyfodiad y Messïah: ac er ei fod yn oedi, disgwyliwn am dano. Credaf â ffydd berffaith, fod y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, yn gwobrwyo yr hwn a gadwo ei orchymynion, ac yn cospi yr hwn a droseddo ei orchymynion."

Dyna yw sylwedd yr hyn a gred yr Iuddewon; ac y mae 'n beth hynod fod Moses yn cael ei alw yn *Rabbin*, yr hyn o'i gyfieithu yw *Athraw;* ac hefyd fod dyfodiad y Messïah etto yn cael ei ddisgwyl â ffydd berffaith; ac yn ddiweddaf, nad oes sôn am gyflwr dyfodol, er y dywedant fod Duw yn gwobrwyo y sawl a gadwant ei orchymynion, ac yn cospi y sawl a'u troseddant. Barnwn, gan hyny, mai yn y byd hwn yn unig y credent ei fod yn cospi ac yn gwobrwyo; yr hyn y dywed y Dr. Warburton, yn ei lyfr a elwir "*Divine Legation of Moses,*" oedd athrawiaeth yr Hen Destament, er fod yr Arch-esgob Secker, ac ereill, yn profi yn eglur i'r gwrthwyneb. C. T.

---

## GWERTH Y BIBL.

YN y flwyddyn 1274, yr oedd pris Bibl bychan yn £30. A dywedir na chostiodd adeiladu dau fwa yn Mhont Llundain ond £25, sef pum punt yn llai nag un *copi* o'r Bibl y'mhen llawer o flynyddoedd ar ol hyny.

## GALWAD DISYMMWTH.

**Y Parch. John Harrison**, Curad Grimsburgh, yn agos i Preston, yr hwn a fu farw ychydig o flynyddoedd yn ol, oedd yn parotôi at gyhoeddi "*Etymological Enchiridion*," sef geirlyfr bychan yn dangos tadogaeth geiriau. Yr amser y bu farw yr oedd yn ad-ysgrifenu rhan o'r *copi;* a phan yr oedd yn ysgrifenu y gair "SUBPŒNA, *a summons*," sef galwad, *galwyd* ei yspryd o flaen brawdle yr Hollalluog; a dywedir fod yr *inc* heb sychu ar y geiriau hyny ar y papur pan gafwyd ef yn gorph.

C. LL.

---

## AM Y PRENAU YW MEWN MYNWENTYDD.

"YMDDENGYS fod gan ein hynafiaid," medd Mr. Pennant, "achos awduraidd (*classical*) am blanu y prenau anhylon hyn y'ngorweddfeydd eu meirw, ac achos gwladwriaethol (*political*) am eu planu ynghylch eu tai. Planent hwynt yn y mynwentau i wasanaethu yn lle yr *invisa cupressus* (y cypreswydden atgas) ac ynghylch eu tai, er parotôi defnydd at wneuthur bwaâu i'n hynafiaid rhyfelgar. Ond er teced yw yr eglurhad hwn, mae genym dystiolaeth o'i anghywirdeb. Yn y rhagymadrodd o flaen deddf olaf Edward I. yr hon a elwir, "*Ne Rector arbores in cœmeterio prosternat*," (Na fydded i'r Person dori y prenau yn y fynwent) dywedir mai yr achos gwreiddiol o blanu prenau mewn mynwentydd, oedd i gysgodi yr Eglwys rhag y gwynt. Er ised yr adeiladid Eglwysi y pryd hyny, atebai yr Ywen, o achos tewder ei changhenau, y diben hwnw yn well nag un pren arall; ac oddi yma yn ddiammeu y dechreuodd yr arfer gyffredinol o'i phlanu yn y cyfryw leoedd.

C. LL.

## LLYTHYR

*A ddanfonwyd yn ddiweddar o barth o'r America, a elwir* CANADA UCHAF, *gan un a aethai drosodd yno at ei Berthynasau yn y Wlad hon. Y ddwy Ganada a berthynant i Lywodraeth Lloegr.*

"ORO, MEDI 2, 1831.

"FY ANWYL ——,

"CYMMERAIS y cyfleusdra hwn i ysgrifenu atoch ychydig linellau. Bu saith wythnos o'r amser yr ymadewais oddi cartref cyn i mi gyrhaeddyd Quebec. Ni ddigwyddodd dim rhyfedd yn yspaid ein mordaith dros Fôr Werydd (*Atlantic*). O Quebec aethum rhagof yn ddioed i Fontreal, ac oddi yno i Ascet, yna i Kingston, ac oddi yno i York, prif ddinas Canada Uchaf. Yr oedd N. C. a'i deulu gyda mi y rhan fwyaf o'r ffordd; a theithiasom mewn agerdd-longau. Pan gyrhaeddasom dref York, daeth gwr boneddig atom ar fwrdd y llong, a gofynodd o ba le y daethom, ac a oedd arnom eisieu cael tir? Rhoisom ateb i'w ofynion; ac yna fe'n dygwyd i swyddfa; cofrestrwyd ein henwau, ac aethom y'mlaen at lyn ehang, a elwir Llyn Simcoe. Aethom dros y llyn, a thiriasom y'mhlwyf Oro. Yma cefais i ac N. C. a'i fab, 100 erw o dir bob un. A thyma'r telerau ar y rhai y .hydd y llywodraeth dir i ymfudwyr—rhoddir 100 erw o dir am 100 *dolar* o arian (4s. 6c. bob un) a chaniatêir pum mlynedd i dalu. Rhydd y llywodraeth hefyd i ni *luniaeth* am flwyddyn. Rhoddir hwn yn wythnosol gan un a osodwyd yn gyfagos i'r diben hwn, a thelir am dano ym mhen y pum mlynedd, os bydd yn gyfleus. Y mae'r tir yn anial, ond gwelaf welliant rhagorol ynddo trwy ddiwyd driniaeth rhai o'm cydwladwyr, y rhai ydynt yn byw ar eu moddion eu hunain. Hyn a rydd i minnau galondid nid bychan. Pan ddaethum gyntaf i'r wlad hon, teimlais fy hun yn lled wan-galon, ond yn awr y mae genyf olwg llawer gwell. Os caniatâ Duw i mi nerth ac iechyd, nid oes genyf ammheuaeth na wnaf yn well yma nac y'Mrydain. Pe gweithiwn wrth y dydd, byddai yn well arnaf nag yn fy hen gartref. Y cyflog cyffredin yw hanner *dollar* y dydd; ond ar rai amserau o'r flwyddyn mae yn rhagor: caiff un ei fwrdd heblaw hyny. Os gweithia un wrth y mis, caiff 10 *dolar* y mis trwy y flwyddyn, ynghyd â'i fwrdd, ei olchiad, a thrwsiad ei ddillad. Os bydd un yn gyfarwydd yn y gwaith o gwympo neu ddarnio coed, caiff 12, ac weithiau 14 *dola* yn y mis; a'r arfer gyffredin yw byrddi lle y gweithir. Ond am danaf fi, nid wy yn bwriadu gweithio allan yn hir. Cy gynted ag y caffwyf y pethau angenrheid-

iol, âf ynghyd â gwellhau a thrin fy nhir fy hun. Bum yn cynnorthwyo N. i adeiladu tŷ ar ei dir, ac hefyd i ddigoedio peth o hono; ac y mae yn meddwl cyfleu ei deulu i'w cartref newydd yn ddioed. Gan fod ein tiroedd yn gyffiniol â'u gilydd, arosaf gyd âg ef hyd oni chaffwyf dŷ cyfforddus fy hun. Yr unig beth sy ddrwg genyf o'i herwydd yw, nad ymadewais â'm gwlad enedigol ychydig yn gynt; buaswn erbyn hyn mewn cyflawn feddiant o dyddyn trefnus o dir. Hyderu yr wyf y byddaf felly etto; ac y mae hyn yn fwy nag y gallaswn byth feddwl am dano gartref. Yr wyf yn gweled y rhai a fuont yma ychydig flynyddoedd mewn meddiant o dyddyn da o dir, cwpl neu ddau o ychen, o ddwy hyd chwech o fuchod blithion, a rhai ychwaneg, ynghyd âg anifeiliaid ereill, a rhai ceffylau, yr hyn ni chaiff cyflog-ddyn yna pe gwelai oed Methuselah. Os oes gan fy mrawd J. fwriad i ddyfod drosodd yma, gall fyw gyda mi, neu y mae digonedd o dir etto i'w gael ar y teleran uchod; ond peidied a meddwl mai eistedd i lawr a segura a wna 'r tro yma. Pe deuai yn ebrwydd, gallai gael tir yn gyfagos i mi. Yn fy nhyb i, fe dalai i unrhyw ddyn *ieuangc* ddyfod yma, oblegid mae 'n debyg o gael rhywbeth amgenach na phlwyf i'w gynnal yn ei henaint. Gwell yw i henafgwr aros lle y mae, o herwydd mai anhawdd fyddai iddo ddysgu arferion newyddion a ffordd newydd o fyw. Nid tebyg i'r hyn sydd gartref yw gwaith ac arferion y wlad hon. Mae trigolion y wlad hon yn llawer mwy rhydd-galon na'r rhai gartref.

"Fy anwyl ——, na anobeithiwch fy ngweled drachefn ym mhen ychydig flynyddoedd; canys ni wyddom beth a ddigwydd. Os na welwn ein gilydd mwyach yma, ymdrechwn am gael cyfarfod yn y lle ni bydd ymadawiad o hono mwy.

"Ydwyf, &c.

"H. C."

---

## Y DDERWEN FADARCH,

### (CORK OAK).

[Parhad o du dalen 336.]

NID yw y dderwen hon o'r un maintioli a'r dderwen gyffredin. Y mae nifer o amrywiaethau o honynt; un deilen lydan, ac un deilen gul; heblaw amryw ereill a gollant eu dail yn flynyddol. Yr un ddeilen-lydan fythol-wyrdd, modd bynag, yw'r un fwyaf cyffredin; ac o hon y mae 'r Madarch trefnidiol yn deilliaw. Dywed *Theophrastus*, *Pliny*, ac amryw o Naturieithwyr enwog ereill, ei bod yn dra adnabyddus i'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid. Y Rhufeiniaid a'i defnyddient i amryw bethau, ac ym mhlith pethau ereill i gau costrelau. Hwy a'i defnyddient hefyd i nofio eu rhwydau, eu hangorau, a'u cêr pysgota. Pan ddanfonwyd *Camillus* i'r brif ddinas, trwy 'r afon *Tiber*, pan oedd Celtiaid yn cynllwyn o'i hamgylch, yr oedd ganddo ddigon o fadarch tan ei wisg er diogelu ei fywyd.

Y mae 'r Dderwen Fadarch yn gyffredin a lliosog yn yr Hispaen, Portugal, rhan o ddeheudir Ffrainc a'r Eidal ar lanau cyferbyniol Môr y Canoldir, a'r Levant. O'r Hispaen a Phortugal y danfonir y rhan fwyaf o fadarch a ddefnyddir yn Ewrop.

Y madarch yw y rhisglyn a weithia'r pren allan, megys prenau ereill yn gyffredin; ond y rhisglyn allanol sydd gadarnach, a'i dwf yn gyflymach, na'r rhan dufewnol. Pan symudir y rhisglyn uchaf, y mae math o risglyn arall oddi tano, ac o hwn y mae 'r madarch, mewn ychydig flynyddoedd, yn magu. Dywedir y byddai y pren fyw yn hŵy, a'i dwf yn gadarnach, pe na symudid y madarch. Yr amser y tynir y madarch ymaith gyntaf yw, pan fyddo'r pren yn 15 mlwydd oed. Ni bydd y cnwd hwnw ond teneu, caled, a llawn o agenau, ac, o'r bron, yn ddiwerth. Yr ail gnwd a dynir o gylch 10 mlynedd gwedi, yr hwn etto a fydd waelach ei ansawdd na'r cyntaf. Drachefn, agorir ef bob wyth neu ddeng mlynedd, pryd bydd y cnwd yn rhagorach ei ansawdd bob tro. Dywed *Duhamel*, y bydd y pren a ddyrisglir yn y modd yma fyw 150 mlynedd. Gorphenaf ac Awst a ddewisir o fisoedd y flwyddyn i symud y madarch. Y drefn a ddefnyddir i dynu 'r madarch ymaith, ac i gadw 'r pren yn fyw, sy fel y canlyn: Holltir y rhisglyn ar hŷd y pren mewn amryw fanau hyd i'r gwreiddyn; yna torir ef ar ei draws o'r naill hollt i'r llall, gyda bwyall i'r diben, coes yr hon a ddefnyddir yn gŷn i'w agor, &c. Gwedi hyn, curir y rhisglyn i'w ryddhau oddiwrth y *liber*; ac yna cyfodir ef â choes y fwyall, gan ofalu gadael digon o'r bilionen (*laminæ*) ar y pren; os hwn a niweidir, efe a fydd yn sicr o farw. Gwedi symud y rhisglyn fel hyn, rhenir ef yn hydau, gosodir ef yn llyfn ar y pren, ac a bwyir yn ysgafn, er iddo ymgorphori eilwaith â'r corph a roddodd fôd iddo. Y bôd yma yw y madarch cyffredin mewn trefnidiaeth; ac fel hyn fe'i haddasir gan y celfyddwr at wasanaeth y pysgodwyr, i gau costrelau, yn wadnau esgidiau, a phethau ereill at wasanaeth teuluaidd. Y madarch goreu sydd gadarn, parhaol, ac o liw rhuddgoch. Trosglwyddwyd 2500 o dunelli o fadarch i ynys Brydain yn y flwyddyn 1827. Madarch wedi ei losgi mewn llestri i'r perwyl, sy'n gwneuthur yr hyn a elwir yn gyffredin *Spanish Black*.

(*I'w barhau.*)

## CLWY 'R GERI,

*(Cholera Morbus).*

GAN fod y pla echrydus hwn yn nesâu atom, os nid wedi cyrhaedd Brydain, nid anfuddiol fyddai gosod o flaen darllenwyr y Gwyliedydd y moddion a fernir gan Feddygon yn fwyaf effeithiol tu ag at attal ei ledaeniad. Gwir yw, na chafwyd allan etto unrhyw gyfferi anffaeledig i feddyginiaethu y rhai a ddelid gan y pla hwn; etto, dan fendith Duw, dichon y cyfarwyddiadau canlynol fod o gryn fudd er ei attaliad. Mae 'r llywodraeth wedi bod yn wyliadwrus dros ben er rhwystro ei ddyfodiad i'n tir ni, trwy rwystro tiriad un llong i'r Ynys am ddeugain niwrnod, fel y profer a fyddo hi yn rhydd oddiwrth y pla: ond tra byddo masnach dirgelaidd nwyfau didoll *(smuggled goods)* yn cael ei gario ym mlaen, ofer raid fod ei holl ofal. Gobeithir y gwna Ynadon, Offeiriaid, ac enwogion ereill, yn byw yn agos i borthladdoedd ein Hynys, eu hegni i attal y cyfryw fasnach anghyfreithlon hyd ag y medront.

Os gwel Rhagluniaeth y nef yn ddoeth ein curo â'r ffangell ofnadwy hon, os yw Brydain yn galw am bla, diammeu mai ofer fydd holl wyliadwriaeth ein pennaethiaid i'w attal; etto dyledswydd dyn ydyw arfer y moddion, gan ddisgwyl wrth Dduw, a gweddio arno am fendith arnynt.

Un cyfarwyddyd a roddir gan y Meddygon yn unllais, ydyw peidio celu 'r clefyd os cydia mewn aelod o'r teulu; a hyny i ddau ddiben: 1. Er budd y claf ei hun; yr unig obaith am wellhad sydd yn nechreuad y clefyd:—2. Er rhwystro ei daeniad trwy 'r teulu a'r gymmydogaeth.

Mewn trefydd, yn enwedig trefi mawrion, y Meddygon a gynghorant neillduo ystafell neu annedd ehang i drosglwyddo y cleifion iddi mor gynted ag y cymmerer hwynt yn glaf. Os bydd i neb nacâu cydsynio â'r rheol hon, dylid ysgrifenu uwch ben drws y tŷ y gair CLAF mewn llythyrenau eglur. Os bydd i'r claf gael ei symud, wedi puro 'r tŷ, ysgrifener y gair GOCHELIAD ar y tŷ; ac nac eled neb o drigolion y tŷ allan nes cael caniatâd y golygwyr neu 'r Meddyg.

Puredigaeth y tŷ ydyw llosgiad pob carpiau, llinynau, papurau, hen ddillad; yn fyr, glanhad pob budreddi, golchiad yr holl ddodrefn, a gwyn-galchu yr holl barwydydd o'r pen bwygilydd i'r tŷ â chalch poeth.

Dylid gollwng i fewn trwy bob ffenestr gymmaint o awyr iach ag a ellir am wythnos, o leiaf, wedi hyny.

Mewn gair, glendid ac awyr iach ydynt y moddion mwyaf effeithiol, cyn a chwedi dyfodiad y pla: gan hyny nis gellir bod yn rhy ofalus i gludo ymaith bob budreddi, tomenydd, &c. oddiwrth y tai a'r heolydd.

Un peth sydd sicr drwy brofiad y'mhob cwmmwd a thref yn Ewrop, lle mae 'r pla eisoes wedi ymddangos, sef, mai y tlodion, gwael eu hymborth, a'r afiachus, ac yn enwedig y rhai a ymroddant i yfed gwirod (*spirits*) ac afradloniaid o bob math, ydynt fwyaf agored i'r clefyd.

Sylwyd hefyd mewn trefydd, fod heolydd culion, llawn o drigolion, ac aflan, yn fwyaf agored iddo. O herwydd hyn, bydded i Ustusiaid, Offeiriaid, ac ereill mewn awdurdod, fynu symud, yn ddioed, bob budreddi o'r heolydd, lle yr esgeulusir gan y trigolion eu hunain.

Gymry, gwnewch eich egni i gadw eich tai, ac o amgylch iddynt, mor lân ag y medroch; a gadewch i ddigon o awyr dreiddio trwy eich hystafelloedd. Mae hyn

yn dda bob amser, ond yn anhepgorol ar amser fel hyn.

### *Arwyddion Cyntaf y Clwyf.*

Sylwodd y Dr. Russell, a'r Dr. Barry, yn St. Petersburgh, Rwssia, a meddygon gwledydd tramor, mai yr arwyddion cyntaf ydynt, penysgafndod, cyfog, cynnwrf yn y giau, curiad y gwaed (*pulse*) yn anwadal, araf a gwan, yr wrwst (*cramp*) yn cymmeryd blaen y bysedd a'r bodiau, ac yn nesu yn gyflym at y corph, ymadawiad i fynu neu i waered, neu y ddau, â rhywbeth tebyg i faidd, neu ddwfr wedi berwi *rice* neu haidd ynddo, y golwg yn llym a chyfyngedig, y llygad yn soddi, yr edrychiad yn arwyddo dychryn a gwylltineb, y gwefusau, y wyneb, y gwddf, y dwylaw, a'r traed, ac ar fyr, y morddwydydd, y breichiau, a'r holl gorph yn ymddangos o liw plwm, glas, rhuddgoch, du, neu lwyd, yn ol prydliw cynnefin y dyn, ac yn dyfnhau yn ol toster y clefyd, y bysedd a'r bodiau yn bychanu, a'r croen arnynt yn crychu, a'r ewinedd yn laswyn ddisglaer, y gwythenau yn dduon, curiad y gwaed yn fychan fel edau, neu wedi hollol ddarfod. Y croen mor oer a chroen marw, ac yn aml yn llaith, y tafod bob amser yn llaith, yn fynych yn wyn a llwythog, ond llibynaidd ac oer fel darn o gig marw; y llais agos a darfod, yr anadliad yn gyflym, anwastad, ac ammherffaith; y claf a lefara mewn sibrwd; mae yn ymdrechu am anadl, ac yn fynych yn gosod ei law ar ei galon, megis i ddangos lle mae y gofid; weithiau y mae 'r wrwst (*cramp*) yn gafaelu yn nerthol yn y coesau, y morddwydydd, a'r lwynau; dim gwneud dwr; cyfog a charthiad yw'r cwbl.

Mae yn amlwg mai arwyddion gwaethaf a mwyaf neillduol y clwyf yw iseliad disymmwth galluoedd y bywyd, i'w ganfod yn ngwanhâd curiad y galon, oerni 'r croen a'r rhanau pellenig, ac attalfa 'r rhedweli.

Y mae o bwys sylwi ar hyn, er dangos pa foddion sydd i'w defnyddio lle na byddo Meddyg wrth law. Dylid arfer yn ddioed pob moddion i adferyd rhediad y gwaed, a chynnesu 'r corph. Rhodder y claf yn ddioed yn y gwely, mewn gwrthbanau neu wlaneni poethion. Cadwer gwres ynddo trwy ei rwbio â gwlaneni a *Spirits Camphor* (*Camphorated Spirits*). Gosoder ar y cylla blastr (*poultice*) mwstard a had llin (yr un faint o bob un) yn enwedig lle byddo poen mawr a chyfog. Rhodder yr un plastr wrth y traed a'r coesau. Er adferyd gwres y corph, gellir gosod cydeidiau bychain o halen neu *fran* poeth wrtho mewn amryw fanau. I'r un diben gellir rhoddi maidd gwin gwyn, brandi a dwfr, llonaid llwy dê o *Sal volatile* ar y tro mewn dwfr brwd, a hyny yn aml. Os bydd y clefyd yn drwm iawn, ac heb un meddyg wrth law, gellir rhoddi yn un o'r diodydd uchod, o ugain i ddeugain diferyn o *laudanum*.

Cynnygir y moddion diniweid hyn yn nechreuad y clefyd, a lle nas gellir cael Meddyg.

Mewn perthynas i'r ffordd i drin y clefyd angeuol hwn wedi y cyrhaeddo radd y'mhellach, mae yn angenrheidiol sylwi na chafwyd etto un feddyginiaeth lwyddiannus. Y mae er's hir amser wedi gofyn eithaf holl Feddygon yr India, Rwssia, &c. Bydded sicr i'n darlleawyr y bydd i'r Gwyliedydd yn ddioed hysbysu i'r Cymry, os ceir allan unrhyw feddyginiaeth fwy effeithiol. Yn llaw Duw y mae ein hamserau, a'r clefydau. Pob duwiol a weddïa, "Cospa, fi, Arglwydd, etto mewn barn; nid yn dy lid, rhag i ti fy ngwneuthur yn ddiddym."

Y canlynol sydd gyfieithiad o'r ddwy Weddi a gyfansoddwyd i gael

eu darllen yn yr holl Eglwysi, trwy orchymyn y Brenin a'i ddirgel-gynghorwyr (*Privy Council*).

¶ GWEDDI.

O RASUSAF Dduw Dad! yr hwn a addewaist faddeuant pechodau i bawb trwy edifeirwch calon a gwir ffydd a ymchwel atat, edrych i lawr o nefoedd dy breswylfod arnom ni dy weision annheilwng, y rhai, dan ddirfawr arswyd o'th farnedigaethau, a dwys deimlad o'n hannheilyngdod, ydym yn ymddarostwng ger dy fron. Yr ydym yn cydnabod mai o'th ddaioni yn unig y mae ein bod ni wedi ein harbed, pan yr ymwelaist â chenhedlaethau ereill â haint a phla. Tosturia, O Arglwydd, tosturia wrth dy bobl, yma a thu draw i foroedd: tyn ymaith dy law geryddol oddiar y rhai sydd yn dioddef dan dy farnedigaethau; a thro ymaith oddi wrthym yr adfyd blin, rhag pa un ein hunig ddiogelwch sydd yn dy drugaredd. Yr ydym yn cyfaddef, gyda chywilydd a galar, ein bod, o herwydd balchder a chaledrwydd ein calonau, wedi dangos ein hunain yn anniolchgar am dy drugareddau, ac wedi canlyn amcanion a chwantau ein calonau ein hunain, yn lle canlyn dy gyfreithiau sanctaidd di. Er hyny, Drugarog Dad, na âd i'th angel dinystriol dderchafu ei law i'n herbyn; eithr cadw ni, megys y gwnaethost hyd yn hyn, mewn iechyd a diogelwch; a chaniatâ i ni, wedi ein rhybuddio i edifeirhau trwy ddioddefiadau ereill, gael ein cadw rhag pob drwg trwy dy alluog nodded, a mwynhau parhad o'th ras a'th drugaredd, trwy haeddedigaethau ein hunig Gyfryngwr a'n Dadleuwr Iesu Grist. Amen.

¶ GWEDDI.

HOLLALLUOG Dduw! yr hwn wyt yn galw arnom, trwy'r marwolaethau aml a'n hamgylchynant o bob tu, i ystyried yn ddifrifol freuolder ein hamser yma ar y ddaear, ac yn ein coffhau mai y'nghanol ein bywyd yr ydym mewn angeu, dysg ni felly i gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calonau i ddoethineb. Dyro i ni ras i ddychwelyd atat ti trwy edifeirwch prydlawn, fel y derbyniom, trwy deilyngdod ein Hiachawdwr, y maddeuant hwnw heddyw, yr hwn y geill fod y fory yn rhy ddiweddar i ymofyn am dano; fel, wedi ein nerthu, trwy dy Ysbryd daionus, rhag ofn angeu, a chan gynnyddu beunydd mewn duwioldeb, y byddom bob amser yn barod i roddi i fynu ein hysprydoedd i'th ddwylaw di, Drugarog Dad, mewn gobaith o wynfydedig anfarwoldeb, trwy gyfryngdod, ac er haeddedigaethau, Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

## DARLITH FER AR FEDDWDOD.

"Gwae y rhai cryfion i yfed gwin."

ADDEFIR yn gyffredinol nad oes un pechod a gyflawnir gan ddynion yn eu gwneud mor wrthun ac annymunol yr olwg arnynt a meddwdod. Mae y pechod yma, nid yn unig yn effeithio ar gynneddfau eneidiol dyn, ond hefyd yn effeithio ar ei holl ranau corphorol: ïe, nid yw yn llai na gwarth ar ddynoliaeth i roddi y meddwyn yn un o'u rhifedi. Oblegid, os oes y fath beth ag anghenfil mewn bod, gyda phriodoldeb y gellir dywedyd, mai y meddwyn ydyw. Mae y pechod ofnadwy yma fel mynedfa braidd i bob pechod arall—fel mai ei berthynasau agosaf yw cabl-eiriau, rhegfeydd, ymladdau, puteindra, llofruddiaeth, &c. Mae yn gofus genyf i mi ddarllen am ddyn ieuange ag y rhoddodd y diafol iddo i'w gyflawni un o dri pheth:—un ai meddwi unwaith, ai treisio gwraig ei gymmydog, ai lladd ei gymmydog. Edrychodd yntau ar y cyntaf y mwyaf diniweid o honynt; ac felly efe a feddwodd: ond, ysywaeth, cyn iddo sobri, fe dreisiodd wraig ei gymmydog, ac a laddodd ei gymmydog. Dyma yr Ehwd sydd yn edrych yn gyfeillgar; ond y mae dagr o dan ei fantell: ïe, dyma y Judas sydd yn bradychu â chusan. Y Lacedemoniaid a feddwent eu caethweision, i ddangos i'w plant beth mor wrthun ydoedd. Yr Indiaid a gyfrifant ddyn meddw yn ddyn gwallgof: ac felly y mae; oblegid mae y meddwyn yn dorwr heddwch ei wlad, yn sathrwr cyfreithiau ei wlad, ac yn ddirmygwr holl reolau penaethiaid ei wlad. Mae y meddwyn yn fochyn yn y dafarn, ynfyd-ddyn ar y ffordd, a chythraul yn ei deulu. Gwarth ei ardal, cywilydd ei gymmydogaeth, poen i'w gymmydogion, llymhawr ei blant, llewygwr ei deulu, torwr calon ei wraig, anufuddhawr i'r

brenin, cyfaill diafol, a gelyn Duw. Mae y meddwyn 'yn ei ddull yn fochynaidd, ei ymddiddanion yn ynfyd, a'i ymddygiad yn gythreulig. Mae y meddwyn hefyd yn hawdd ei adnabod: mae ei ben yn ysgafn, ei gefn yn gam, ei ddwylaw yn crynu, ei gam yn fyr, ei lygaid yn gochion, ei anadl yn ddrewedig, a'i ymadroddion yn ffiaidd. Llawer wrth fyw yn y pechod ffiaidd yma a dorasant eu bywioliaeth, a ddinystriasant eu heiddo, ac a laddasant eu hunain. Mae meddwdod yn codi blys anarferol, syched annaturiol, yn cyffroi y nwydau, yn teneuo y gwaed, yn cymmysgu yr ymenydd, yn anystwytho y cymalau, yn llygru y rhanau mewnol, yn difetha y corph, ac yn lladd yr enaid. Llawer, wrth fyw yn y pechod yma, a gyflawnasant bechodau ereill, ag yr oedd amser yn rhy fyr i'w dadwneud, a thragywyddoldeb yn rhy fyr i edifarhau o'i herwydd. Mynych ymarferiad â'r pechod yma, sydd yn tywyllu y deall, yn caledu y galon, yn llanw y gydwybod âg euogrwydd, ac yn ei haiarnu, a'i serio megys â haiarn poeth.

Nid yw meddwdod yn creu nwydau; ond y mae yn eu cynhyrfu, ac yn gwneud y dyn yn agored i gyflawni braidd bob peth ag yr hudir ef gan arall i'w wneuthur. Fel hyn yr oedd hi gyd âg Alexander Fawr: pan annogwyd ef gan Thais, putain feddw o Athen, i losgi Persepolis, prif ddinas ymerodraeth Persia, ynghyd â'r palas godidocaf yn yr holl fyd, yr hwn oedd yn sefyll ar ddeugain o golofnau, olion y rhai, medd haneswyr, sydd i'w gweled etto. Yn feddw hefyd yr oedd Alexander pan orchymynodd ladd Clitus, un o'i gyfeillion penaf, braidd yn ddiachos; yr hon oedd un o'r gweithredoedd mwyaf ysgeler a wnaeth yn ei holl fywyd. Ac fe ddywedir y byddai yn myned i wleddoedd, ac yn yfed ddyddiau a nosweithiau cyfain yn ddidor. Fel yr oedd ef unwaith mewn un, galwodd, yn ngwŷn ei feddwdod, am y gwpan Herculaidd, yr hon oedd yn cynnwys chwe chwart o'n mesur ni; yfodd hi ddwywaith at iechyd da un Proteas o Macedonia; ac yn union ar ol yfed y gwpanaid olaf, syrthiodd i dwymyn boeth, o ba un y bu farw. Fel hyn y bu farw un o'r gwyr enwocaf a fu ar y ddaear erioed; yr hwn mewn deuddeg mlynedd a hanner a ddarostyngodd y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus y pryd hwnw, sef yr holl wledydd o fôr Adria hyd o fewn ychydig i'r afon Ganges: ond er maint ei wrolwaith, syrthiodd i gyflwr o feddwdod, ac felly y bu farw, er mai Alexander Fawr ydoedd.

Yn feddw hefyd yr oedd Sardanapulus, brenin Assyria, a'i filwyr, pan anrheithiwyd Ninifeh gan Arbaxes, rhaglaw Media, a Belesis, rhaglaw Babilon, yr hyn oedd y'mhen deugain mlynedd ar ol cyhoeddiad y farn trwy y prophwyd Jonah.

Y mae genym hefyd lawer o siamplau ysgrythyrol o farn Duw wedi dal rhai yn y cyflwr yma. Fel hyn yr oedd Belsassar, brenin Babilon, *Dan*. 5. 30, 31. Fel hyn yr oedd Nabal y Carmeliad, 1 Sam. 25. 36, &c. Yn yfed ac yn dawnsio yr oedd yr Amaleciaid pan y tarawyd hwynt gan Dafydd, 1 Sam. 30. 16. Elac, ac efe yn yfed yn feddw, a laddwyd gan Zimri ei was, 1 *Bren*. 16. 9, 10. Yn feddw yr oedd Benhadad, a'r deuddeg brenin ar hugain, pan orchfygwyd hwy gan Israel, 1 *Bren*. 20. 16, &c. Yn awr, onid yw hyn yn ddigon i ddangos i bawb, ond i'r hwn na fyno weled, mor niweidiol ydyw byw mewn meddwdod. Pe bawn yn meddu deall Aristotle, dawn Demosthenes, a llais angel, esgynwn i ben yr Wyddfa yn Eryri, a bloeddiwn nes dadseinio fy llef o Gaergybi yn Môn, hyd Gaerdydd Morganwg—

o Gadair Idris ym Meirionydd, hyd Bumlumon, Ceredigion; ïe, o Gaergwydion, hyd New Zealand: llefwn, meddaf, am alltudiaeth yr anghenfil yma, sef meddwdod, yn gan miliwn pellach na phegwn gogleddol y byd: rhodder ef am fil o flynyddau yn un o safnau mynyddoedd Vesuvius, neu Etna: ac am fil drachefn yn rhwym mewn gefynau haiarn ar ben un o fynyddoedd rhewlyd y Misocropes, yn ngogleddbarth Russia: ac wedi hyny bwrier ef i anwn o'r man y daeth allan, ac y cafodd ei fodoliaeth gyntaf; ac na ddeued oddi yno yn oes oesoedd. A dyweded pob Cymro, Amen.

DEWI AP GWILYM.

*Capel Llanrug.*

---

COFRESTR O LYFRAU CYMREIG, GAN Y PARCHEDIG MOSES WILLIAMS.

MR. GWYLIEDYDD,—Er cymmaint o gyfarwyddiadau buddiol a gefais trwy gyfrwng eich Cylchgrawn chwi o dro i dro; etto tra anwybodus ydwyf mewn perthynas i lawer o bethau o bwys a chanlyniad eu gwybod. Pan oeddwn yn nhŷ gwr dysgedig a dyngarol, dangosodd i mi lyfryn ysgrifenedig o waith y Parch. Moses Williams, yn cynnwys côfrestr o'r llyfrau Cymreig, y rhai a gyfansoddwyd, a'r rhai a gyfieithiwyd, hyd y flwyddyn 1717; at yr hwn yr ychwanegwyd hefyd gôfrestr arall o'r llyfrau a gyfansoddwyd, neu a gyfieithiwyd, yn yr iaith Gymraeg, hyd y flwyddyn 1780. Mawr ddywenydd oedd genyf weled fod cynnifer o lyfrau dysgedig a defnyddiol yn argraffedig yn iaith fy mam; ond yr ystyriaeth o'u bod gwedi bod mor anhysbys i mi (ac, fel y clywais, i ereill hefyd yn gyffredinol) a barai dristwch a gofid nid bychan i'm calon. Hiraethais yn fawr am weled y rhan fwyaf o honynt yn fwy hysbys ym mhlith fy nghydwladwyr. Ond pa fodd y gellir dwyn hyny ym mlaen yn effeithiol? Meddyliais mai atoch chwi y dylwn droi fy wyneb yn y cyfryw betrusder. Cymmwys ydych yn ol eich swydd a'ch cymmwysderau i'r unrhyw orchwyl, sef i daenu gwybodaeth o'r trysorau yma ar led ym mhlith tlodion uniaith y dywysogaeth. Disgwyliaf yn hyderus, gan hyny, y bydd i chwi, yn ol eich hynawsedd a'ch parodrwydd arferol i wasgaru gwybodaeth ym mysg eich cydwladwyr, sylwi ar fy nghais, a bod yn offerynol i godi y llyfrau crybwylledig yn y côfrestrau a enwais o lwch anghof.——Yr eiddoch, &c.

ANWYBODUS.

Dywenydd fyddai gan Olygwyr y Gwyliedydd argraffu yn eu Rhifynau y llyfryn crybwylledig uchod, a'r cyfryw hen lyfrau ac ysgrifeniadau ag a fernid yn dra buddiol i'n gwlad a'n cenedl. Dymunem ar berchenog y llyfr uchod ei ddanfon i'n Swyddfa. Dymunem hefyd ar ereill, y rhai sydd yn meddiannu ad-ysgrifen neu *gopi* o'r unrhyw, ei ddanfon i ni, fel y gallom, drwy eu cyd-gymmaru, roddi i'n cydwladwyr argraffiad perffeithiach o waith gwerthfawr y dysgedig Moses Williams.—GOL.

---

ADEILADU CASTELL YN YR AWYR.

ALNASCHAR oedd ddïogyn ofer, yr hwn ni roddasai ei law ar un gorchwyl erioed yn amser ei dad. Ar farwolaeth ei dad, gadawyd iddo gan *drachma*,* y rhai a ddefnyddiodd Alnaschar i brynu gwydrau, costrelau, a'r llestri pridd goreu, at eu hail werthu. Yna gosododd hwynt oll yn bentwr mewn basged; ac wedi cymmeryd *siop* fechan, efe a ymorphwysodd a'i gefn ar y pared, a'r fasged wrth ei draed, gan ddisgwyl cwsmeriaid. Tra yn eistedd yn yr ystum hwnw, â'i lygaid ar y fasged, cododd y

* Dryllyn o arian yn yr amser gynt, a dalai ynghylch 7¼c. o arian Lloegr yn bresennol.

drychfeddyliau difyr hyn yn ei ben, a chlywyd ef gan un o'i gymmydogion yn ymddiddan rhyngddo ac ef ei hun fel y canlyn:—"Costiodd y fasgedaid hon i mi gan *drachma*, yr hyn yw y cwbl sydd genyf yn y byd: ond wrth eu hail-werthu, mi a wnaf o honi yn fuan ddau cant; ac yna, o'r ddau cant, mi a wnaf bedwar cant, yr hyn, o ganlyniad, a gynnydda cyn pen hir i bedair mil; ac nid all y pedair mil hyny lai na gwneud wyth mil. Cyn gynted ag yr ennillaf ddeng mil yn y fford hon, rhoddaf heibio werthu gwydrau, a throf yn dlysydd. Yna bydd genyf i'w gwerthu emau, perlau, a phob math o dlysau gwerthfawr. Ar ol casglu cymmaint o gyfoeth ag a all fod arnaf ei eisieu, mi a brynaf y tŷ goreu a gaf, a thiroedd, a gweision, a cheffylau. Ond nid arosaf ar hyn, eithr âf ym mlaen nes yr ennillaf gan mil o *ddrachmäau*. Pan fyddaf yn feddiannwr ar gan mil o *ddrachmäau*, nid allant lai na'm hystyried fel tywysog; a myfi a ofynaf ferch y Rhaglaw yn wraig, a dywedaf wrtho fy mod yn bwriadu ei anrhegu â mil o ddarnau o aur ar noson ein priodas. Cyn gynted ag y priodaf ferch y Rhaglaw, mi a brynaf iddi ddeg o eunuchiaid duon, y rhai ieuengaf a'r goreu a ellir eu cael am arian. Yna bydd raid i mi fyned i ymweled â fy nhad yn nghyfraith â mawr rwysg a gosgordd. A phan y'm gosodir ar ei ddeheulaw, yr hyn yn ddiau a wna efe o barch i'w ferch, mi a roddaf iddo y darnau aur a addawswn: ac ar ol hyny, er ei fawr syndod, anrhegaf ef â chôd arall o'r un gwerth, ac â rhyw ychydig o eiriau, megys, 'Syr, gwelwch fy mod yn cadw fy ngair; yr wyf bob amser yn rhoddi mwy nag a addawaf.'

"Wedi dwyn y dywysoges i'm cartref, cymmeraf ddigon o ofal am ennyn ynddi barch dyladwy i mi cyn gollwng yr awenau i gariad a gwamalrwydd. I'r diben hwnw cadwaf hi o fewn ei hystafell; ymwelaf â hi weithiau, ac nid ymddiddanaf ond ychydig â hi. Ei llawforwynion a ddeuant, ac a ddywedant wrthyf ei bod yn anniddan o achos fy anfwynder tu ag ati; ac erfyniant arnaf, gyda dagrau, ei chofleidio, a gadael iddi eistedd wrth fy ochr: ond myfi a barhaf er hyny yn annhyblyg. Yna daw ei mam, ac a ddug ei merch ataf tra byddwyf yn eistedd ar fy esmwythfaingc. Y ferch, â dagrau ar ei gruddiau, a deifl ei hun wrth fy nhraed, ac a ddeisyf arnaf ei derbyn i'm ffafr. Ar hyn, i blanu ynddi iawn barch i fy mherson, traf ataf fy nghoes, ac a'i gwthiaf oddi wrthyf â'm troed yn y fath fodd ag y syrth hi lawer o latheni oddiwrth fy maingc."

Alnaschar oedd wedi ei lyncu yn gwbl gan y drychfeddwl difyr hwn, ac nid allai beidio ysgwyd ei droed i ganlyn y meddwl oedd yn ei ben; felly, gan daro ei fasgedaid o lestri breuon, y rhai oeddynt sail ei holl fawredd, efe a daflodd ei wydrau y'mhell oddi wrtho i'r heol, ac a'u torodd yn gandryll.

Gwatwargerdd ydyw hyn ar y gwagedd ynfyd o adeiladu cestyll yn yr awyr, ac o segur-dreulio yr amser mewn dychymmygion ofer, yr hwn a ddylid ei ddefnyddio i fuddioldeb wrth ddilyn ein gorchwylion priodol.

---

## II. CYFARWYDDIAD I DDARLLAW CWRW RHAD.

(Parhad o du dalen 311.)

CYMMERWCH un rhan o dair o frâg wedi ei falu, a dwy ran o haidd wedi ei dori neu giblo (ond nid wedi ei falu yn fawd mân) a darlläwch â hwynt yn ol y Cyfarwyddiad cyntaf. Gellir rhoddi brâg a haidd hanner yn hanner, neu fwy neu lai, fel y mynoch, a gwneuthur â hwynt fel a brâg ei hun. Ond y cymmesuriad goreu yw yr un uchod—sef, un rhan o dair o frâg, a dwy ran o haidd. Dalier sylw,

fod y blawd haidd, wrth ei gymmysgu gyd âg ychydig frâg, a'i gadw yn gynnes dros ddwy awr neu dair, yn dyfod yn frâg (*saccharine*) cystal a phe buasai bymthegnos ar lawr y brâg-dŷ.

Buddiol hefyd fyddai dilyn yr hyfforddiadau ychwanegol hyn. Gwnewch ddau waelod i'ch gerwyn, a bydded oddeutu modfedd o le gwag rhyngddynt. Gwneler tyllau trwy y gwaelod uchaf â haiarn poeth, oddeutu chwarter modfedd ar draws yr ochr isaf, a hanner cymmaint yr ochr uchaf, fel na byddo i ddim o'r brâg ddyfod trwyddynt. Rhodder math o gafn-ddwfr gyd âg un ochr y llestr i ddwyn y dwfr i'r lle gwag hwn, rhwng y ddau waelod, fel y byddo iddo gyfodi trwy y tyllau hyny i'r brâg, &c. Yna rhoddwch haenen dew o frâg ar y gwaelod uchaf, ac ar hyny y blawd haidd, ac ar wyneb y cyfan gosodwch y gweddill o'r brâg. Wedi hyny tywalltwch hanner y dwfr angenrheidiol, neu beth yn ychwaneg, yn boeth, trwy y cafn i waelod y gerwyn, nes iddo esgyn i fynu trwy y brâg. Yna brec-hawch (hyny yw, cymmysgwch) y cyfan yn ofalus am hanner awr; a thywalltwch y gweddill o'r dwfr yn boethach na'r cyntaf, a brechawch ef drachefn dros hanner awr, neu ychwaneg. Wedi hyny huliwch y gerwyn, a gadewch iddo aros dros awr, ac yna gollyngwch y breci. Ond rhag na bydd i'r breci redeg yn rhwydd trwy y tyllau yn y gwaelod, am fod y blawd haidd yn teisenu, gwneler tyllau o'r unrhyw fath yn y rhan uchaf o'r cafn; eithr cauer hwynt pan na byddo eisieu am danynt, trwy gafn tufewnol, neu ryw fodd arall. Dilynwch yr unrhyw hyfforddiadau a'r breci, ac sydd arferol, neu a roddwyd yn y Cyfarwyddiad cyntaf.

### III. CYFARWYDDIAD ARALL.

Cymmerwch gymmaint o wreiddiau y Mangel Wurzel ag a chwennychoch ddarllaw yn ol y cymmesuriad canlynol; sef, 150 o bwysau i wneuthur 16 o alwyni o ddiod. Golchwch hwynt yn lân, torwch hwynt ar draws, a rhoddwch mewn pair (*boiler*); ac yna tywalltwch ddwfr arnynt nes eu cuddio, a rhoddwch rhyw bwysau i'w cadw dan y dwfr: ac wedi iddynt ferwi awr a hanner, tynwch hwynt allan, briwwch, a gwasgwch hwynt yn ofalus, oblegid fod y sug cryfach yn aros ynddynt. Rhoddwch y sug yma a'r dwfr y berwyd hwynt ynddo ynghyd, a gwnewch ef o'r nerth y mynoch, drwy ei ferwi ychydig, neu lawer. Yna rhoddwch at y ddiod gymmaint o *hops* a fyddo yn angenrheidiol, a berwch hi wedi hyny dros awr. Oerwch hi gan gynted ag y gellir, a rhoddwch ati ddigon o furym i'w gweithio, fel arferol.

Ond gan fod yr hyfforddiad hwn er lles y cyfryw rai ag nad ydynt hysbys iawn yn y ffordd i ddarllaw, ychwanegaf pa fodd y darllawais i yn ddiweddar.

Cymmerais 150 o bwysau o'r gwreiddiau, a gwnaethum â hwynt fel uchod. Lleihais y ddiod i nerth a melusder breci yn gyffredin trwy ei ferwi. Berwais yr *hops* (y rhai oeddynt wedi eu mwydo mewn dwfr poeth) yn y ddiod am awr: oerais hi yn gyflym—rhoddais ati bwys o furym da—a gadewais iddi sefyll 24 awr. Yna cymmysgais hi, a gwneuthum iddi yr un modd ym mhen 12 awr. Wedi iddi sefyll 6 awr yn ychwaneg, cymmerais ymaith gymmaint o furym ag a ellais, a gwneuthum yr un modd ym mhen 6 awr. Yna rhoddais y ddiod yn y faril, a gadewais iddi weithio allan yn ddigonol. Ar ol iddi ddarfod gweithio, rhoddais i mewn lonaid llaw o *hops* oerion, cymmysgais hwynt yn dda, ac yn fuan wedi hyny cauais fwng y faril.—Y canlyniad ydoedd:—cefais 16 galwyn o ddiod gref archwaethus, a chystal a dim cwrw brâg. Y draul ydoedd oddeutu *7s.* neu *5½c.* y galwyn. Yr oedd y rhelyw o'r gwreiddiau, neu 'r soeg, yn fwyd rhagorol i'r moch.

---

## GAIR I'R CYBYDD.

RHYWUN cyn marw a orchymynodd ysgrifenu y geiriau hyn ar ei fedd, "Yr hyn oedd yn fy meddiant a adewais i ereill; ond y mae yr hyn a roddais i'r tlawd yn aros gyda mi."

W. R.

---

## MAN-GOFION.

"NI roddwn i," ebe y diweddar Mr. Newton, "un gwelltyn am y sicrwydd gobaith hwnw na wna pechod ei gymmylu. Pe buasai Dafydd yn dyfod o'i odineb, ac yn siarad am ei sicrwydd yn yr amser hwnw, nis gallaswn lai na dirmygu ei ymadrodd."

Ebe yr un gwr, "Pe byddai i angel gael ei anfon i'r ddaear i chwilio am y dyn perffeithiaf, y mae yn ddigon tebygol na byddai iddo ei gael yn cyfansoddi corph o Dduwinyddiaeth; ond yn rhyw ddynyn cloff tlawd mewn elusendŷ, yr hwn y mawr ewyllysiai y Plwyf ei weled gwedi marw; ond gwedi ei ddarostwng o flaen ei Dduw, a chanddo feddyliau llawer îs am dano ei hun nag hyd yn nod sydd gan ereill am dano."

# BARDDONIAETH.

## CAROL NADOLIG.

*I'w chanu ar "Bid hir oes i Fair."*

Cyduned pob dawn
I ganmol ein Ceidwad, rhagorol ei gariad,
Yr hwn sydd yn llawn o ras er ein llwydd;
I lawr daeth o'i wlad,
I'n dwyn o'n trueni, mae ef gwedi roddi,
I ni gan ei Dad yn rhad ac yn rhwydd:
Daeth engyl y nef, rai llafar eu llef,
Mewn tangnef cytun,
Pan gafodd ei eni, i'w uchel glodfori,
A'i berchi bob un;
Rhown ninnau wir glod, yn rhwydd is y rhod,
I'r hynod Ior hael,
A wisgodd ein natur, i godi pechadur,
Mae 'n gysur ei gael.

Trigolion y byd
Oedd oll yn druenus, mewn cyflwr gresynus,
Yr unwedd i gyd bob enyd yn byw:
Drwy Adda 'n hen Dad,
Y deuodd marwolaeth i ni ei hiliogaeth,
Am gefnu drwy frad, yn ddiwad ar Dduw:
Ni all'sai holl lu hyfrydol nef fry,
Waredu 'r fath rai,
O'i cyflwr dinystriol, rhaid oedd cael un dwyfol,
Anfeidrol di fai;
Ond cawsom ni un, yn Dduw ac yn ddyn,
I'n deddfe 'i hun daeth,
I'n rhoddi ni 'n rhyddion, bu ef dan afaelion
Deddf gyfion yn gaeth.

Duw mawr ydoedd Ef,
Heb iddo ddechreuad, ac mae heb ddiweddiad,
Fe drigai'n y nef, ei gartref hardd gwych:
Gwnawn gôf am yr awr
Y cafodd ei eni, a'i ddileag addoli;
Pan ddeuodd i lawr, fe'i rhoed lle pawr ych:
A doethion ar dir, a welsant yn wir,
Y cywir Oen cu,
Yn ddyn bach di bechod, a Duw o'r nef uchod,
Rhyfeddod a fu!
Pe na buasai Ef, Ion addfwyn o'r nef,
Rhaid addef ond dyn,
Ni buasai 'i addoli ond ffoledd i'w gyfri',
Heb oedi i bob un.

Cynnyddodd y'ngwydd
Ei anwyl rieni, un cadarn i'n codi,
Efe er ein llwydd, wnaeth ffordd i'n gwellhau;
Amlygwyd ei fod
Yn Dduw mawr anfeidrol, trwy wyrthian tra nerthol,
A wnaeth is y rhod, rhown glod iddo 'n glau:
Ym mhob man lle bu ein Ceidwad mwyn cu,
Heb fethu gwnae 'n fwyn,
I ddynion lês gwiwfâd, fe roddai wrandawiad
Mewn cariad i'w cwyn:
A chyfan iachâd gadd myrdd drwy 'r Ion mâd,
Yn rhad o bob rhyw
Ofidus glefydon, ac hefyd yn dirion
Dug feirwon yn fyw.

Ni chafodd efe
Ond ammharch gan ddynion, a'i erlid yn greulon,
Er maint ym mhob lle gadd drwyddo wellhad;
A'i oddef yn fyw
Ni allai 'r Iuddewon, ei annoeth elynion,
Am hyny fe glyw trigolion pob gwlad:
Dywedynt heb daw, yn lluoedd gerllaw
Eu Rhaglaw "yn rhwydd
Croeshoelia di 'r twyllwr, aed ymaith fel drygwr,
Hen gablwr o'n gwydd:"
A Philat heb ffael, a roes ein Ior hael
I gaffael ar goedd
Rhwng lladron ei hoelio, a'i galon heb goelio
Mae 'r Siloh glwys oedd.

Ac felly fe gadd
Yr addfwyn Fessiah, ar fynydd Calfaria,
Gan ddynion ei ladd, goddefodd drom loes!
Gorchfygodd ein llym
Brif elyn ysprydol, a'i luoedd uffernol,
Er maint oedd eu grym, wrth farw ar y groes:
Ac hefyd drwy 'r gwaed, a'i gorph ef a gaed,
Iawn wnaed drosom ni;
A'r ddeddf, am ein troedd, a gafodd anrhydedd,
Llawn hedd ydyw hi;
A rhin ei waed ef (yn awr is y nef,
Mae'n hawdd addef hyn)
A gana bechadur; yn hwn caiff dyn ammhur
Ei wneuthur yn wyn.

Ffown, ffown, drwy wir ffydd
At Iesu 'n Tywysog, ein Llywydd galluog,
Efe wnaeth ffordd rydd i'n cadw trwy ras;
A'r hwn ato êl
Nis bwrir ef allan, ei dŷ fydd ei drigfan,
Bydd megys dan gel rhag Satan flin gas:
A gwledd yn ei dŷ haelionus i'w lu,
Gan Iesu sy'n wir;
Mawr fydd ein trueni, os cawn heb fyn'd iddi,
Ein tori o'n tir:
Trigolion y llawr, fo'n moli Duw mawr,
Yn awr is y nen, [edd,
Am sylwi ar ddyn salw-wedd, boed iddo 'r anrhyd-
A'r mawredd, Amen.

W. Edwards, *sef* Gwilym Padarn.

## EMYN NADOLIG.

*I'w chanu ar "Mentra Gwen."*

Angylion nef fu 'n canu,——Gyd â'r wawr, &c.
Am eni 'r Brenin Iesu,——Gyd â'r wawr;
Daeth Ef tan bwys ein beiau,
I brynu ein bywydau,
Am hyn cydganwn ninnau,——Gyd â'r wawr, &c.
I Geidwad ein heneidiau,——Gyd â'r wawr.

Pan ddaeth i le pechadur,——Er ein mwyn, &c.
Fe wisgai ddynol natur,——Er ein mwyn;
Y ddeddf i gyd a gadwai,
A'i fywyd glân a roddai,
O dan felldithion Sinai——Er ein mwyn, &c.
Cyfiawnder a foddlonai,——Er ein mwyn.

Dilewyd yr aberthau,——Trwyddo Ef, &c.
Daeth goruchwyliaeth olau,——Trwyddo Ef;
Agorodd Ef blygiadau,
Y llyfr oedd tan ei seliau,
A chiliodd y cysgodau,——Trwyddo Ef, &c.
Amlygwyd eu sylweddau,——Trwyddo Ef.

Heddychwyd Duw a dynion,——Ynddo Ef, &c.
Caed bywyd i farwolion,——Ynddo Ef;
Mae 'n galw pawb i ddyfod,
I gael maddeuant pechod,
A derbyn hedd a chymmod,——Ynddo Ef, &c.
Mae Iachawdwriaeth barod,——Ynddo Ef.

Ffown, ffown am ddiogelwch,——Ato Ef, &c.
Mewn ffydd ac edifeirwch,——Ato Ef;
Mae 'n derbyn pawb o'r cyfryw,
A rhad Waredwr ydyw;
Ffown, ffown o ddinas distryw,——Ato Ef, &c.
Mae taer wahoddiad heddyw,——Ato Ef.

I'r Drindod, yr un ffunud,——Mawl a fo, &c.
Tad, Mab, a Sanctaidd Ysbryd,——Mawl a fo;
I'r Tad, ein gwir Greawdydd,
I'r Mab, ein gwir Bryniawdydd,
I'r Ysbryd, ein Sancteiddydd,——Mawl a fo, &c.
I'r Tri 'n Un Duw tragywydd,——Mawl a fo.

Gutyn Peris.

## EMYN

### *DIOLCHGARWCH AM Y CYNHAUAF*, 1831.

RHOWN glod i'n Harglwydd glân,
Ar newydd gân yn awr:
Gorphwyso arno Ef
Mae lluoedd nef a llawr:
Nid yw 'n gwanhau, digon o hyd,
O'i byrth a bair i borthi byd.

Os gwgu a phrinhau,
O waith ein beiau bydd;
Gwneir hyn ef eglurhau
Pwy i'n llesau y sydd;
A'n dwyn yn nes i'w fynwes fâd,
Fel yr afradlon at ei dad.

Meddyliwyd, yn ddiau,
Y crinai yr ydau oll,
Gan ei ddwyreiniol wynt,
I'w gyru hwynt i goll:
Er hyny troes ddwyreinwynt draw,
Gan beri gwlith a bwrw gwlaw.

Mawl, mawl i'n dwyfawl Dad,
Am ei ymweliad mawr;
Arbedodd Ef ein bro,
Rhoes gnŵd yn llwytho llawr;
A hîn i'w gael i fewn i gyd,
Mawrhawn ein braint ar hyn o bryd.

Gallasem, gwedi hau,
Fod heb ein hydau 'n awr,
Gan wres, neu dywydd du,
I'w llygru ar y llawr:
Ofer ein hau a'n llafur ni,
Heb ddyfal rad ein nefol Ri.

Ein lle yw yn y llwch,
Rhyfeddwn degwch Duw;
I'w enw rhown y clod,
Ein Tŵr* anorfod yw:
Boed y gogoniant oll ar gân,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân.

* *Diar.* 18. 10.

GUTYN PERIS.

---

## ENGLYNION I'R GAUAF.

Y GARADFRIG werddlas goedfron,——unwaith
Oedd yn eithaf gwerddlon:
Edwodd a dihoenodd hon,
Noethwyd ei brigau weithion.

A holl anian (O hyll enyd!)——heddyw
Dyhuddwyd ei gwiwbryd;
Haul i ddeau barthau byd,
Ciliodd, cawn oriau celyd.

A barug hallwyd Berwyn,——arwisgwyd
Ag oerwisg y dyffryn;
Pob tir a welir yn wyn,
Gan ia ac eira gorwyn.

Yr adar sy'n llwfredig,——tost dywydd,
Distawodd eu miwsig;
Ni chân Mwyalch balch ei big,
Na Bronfraith chwaith ar brenfrig.

Ar aden ni cheir 'Hedydd——yn dwyre
Ar doriad y wawrddydd;
Darfu accenion bronydd,
Yn llwyr deg er's llawer dydd.

E. H.

---

## "ARWYDDION YR AMSERAU."

YR Arglwydd JEHOFAH, mor gadarn ei allu!
Uwch lluoedd byddinawg breninoedd y byd;
Yn nghanol eu cryfder gwna iddynt oll ballu,
A'i addef yn drechaf un arnynt i gyd.

Yn nifer eu milwyr, na chryfder eu cestyll,
Na dewrder eu llnoedd marchogion di ofn,
Nid allant ymddiried—â 'i saethau i'w gwersyll,
Trywenir eu calon, a'r archoll fydd ddofn.

Gwyryfon teg *Memphis* pan glywsant y newydd
O ddinystr eu lluoedd alarynt yn groch;
Ni wnaeth Duw ond edrych, ac iddynt daeth aflwydd,
A'i olwg fe'u claddodd yn nyfnder Môr Coch.

Er uched oedd ymffrost hen Frenin *Assyria*,
Er cryfed ei ffydd oedd yn *Nisroch* ei ddaw;
Yn nhrymder y ddunos gorch'mynodd ef ddifa,
Ei fyddin luosawg o dir y rhai byw.

Yr un yw JEHOFAH, ei fraich ni fyrhaodd,
Mae 'n gadarn, a nerthol, anfeidrol ei rym;
Yn ol ymgaledu i'w erbyn, pwy lwyddodd?
Ei gryfder â 'n wendid, a'i nerth â yn ddim.

Gweryriad ei ffrom-feirch sy'n enbyd i'n clustiau,
Carlamiad ei luoedd dinystriawl sy'n chwyrn:
Pa les i'w gwrthsefyll wna amlder tarianau?
I'r llawr aed y cleddyf, a distaw fo'r cyrn.

Mae pranciad y coch-farch ar lawr *Aceldama*,
A chwythad ei ffroenau yn erchyll i'n clyw;
O'i flaen yn ysglyfaeth ireiddiangc a gwympa,
A'r gwron a leddir, a mwyach nid yw.

Ar foreu di gwmwl, â'r haul yn disgleirio,
Banerau a chwyfient ar ochr y bryn;
Llewyrchiad asurawl eu heirf yn tanbeidio,
Gan sŵn eu peiriannau adseiniai y glyn.

Lluoedd ar luoedd ymgasglent i'r rhyfel,
O bigion o feibion dewisol y wlad;
Gwyr ieuaingc a llangciau och'neidient yn uchel,
Gwingent a threngent yn nghoch-ffrwd eu gwaed.

Yn ngwarchae tref *Warsaw* aeth cannoedd i angau,
Yn ngormes gwlad *Russia* ar ryddid y *Pwyl*:
Gwnaent nifer eu meirw i'r ddinas yn llwybrau,
Er arwain eu lluoedd llawruddiog mewn hwyl.

Er llymed y cleddyf, yr haint sy fwy echrys,
Aeth dau cant o filoedd yn ngwyllt-ffrŵd y llif;
Arteithiau dychrynllyd y *Cholera Morbus*
Wna dorf yr amddifaid yn aml ei rhif.

Y pla fu 'n cynniwair trwy barthau o *Russia*,
Yn awr a wnaeth *Hamburg* yn lluest a sedd;
Er difa ei gannoedd yn *Sues* a *Riga*,
Fe deifl yn *Germany* lu etto i'r bedd.

Man arall y du-farch fu 'n prancio 'n ofnadwy,
Gan ddifa y gwenith a'r gwinwydd o'i flaen;
Ac anian tan grynu a deimla ei fradwy,
Di gnŵd yw y meusydd, a llom ydyw 'r waen.

Och waedd y trueinwyr ar Ynys *Iwerddon!*
Mewn newyn yn trengu yn llwydion eu gwedd!
Darfyddodd eu hyspryd, llesgaodd eu calon,
Yn nyfnder eu haleth cofleidient y bedd.

Man arall agorwyd trysorau y rhuthrwynt,
Ac allan doi 'r hyrddwynt tymhestlog ei gawr;
O fewn i *Barbadoes* mawr lanastr wnae 'r corwynt,
Y tai fel y llafrwyn a blygent i'r llawr.

I'n gwlad ninnau hefyd daeth tost wrthryfeliad,
A llanwodd fonwesau y rhai isel radd;
Yn eu cynddaredd croch-floeddient "*Diwygiad*,"
A'u ffordd i "*Ddiwygiad*" yw llosgi a lladd!!

Na ddyro di *Brydain* yn sathrfa i'w carnau,
Cadw 'th angylion o'i hamgylch ein Pon;
Holl ddyddiau y ddaear na fydded i'th farnau,
I sengyd ein hynys, O Arglwydd ein IOR.

Yn nghanol adfeiliau o ddinystr dynolryw,
Hen faner Efengyl gyfoder i'r nen;
Y floedd fo'n adseinio o grygiau y distryw,
"I'r wadd aed ein delwau, yr Iesu fo'n ben."

*Bala.* J. PHILLIPS.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

BELGIUM.—Ni bu dim o bwys, yn y Newyddiaduron, o barth hanesion tramor, er ys mis yn ol. Dywedir fod y Gynnadledd, sydd wedi bod dros flwyddyn bellach, rhwng Cenhadon awdurdedig y Pum Llywodraeth, sef, Brydain, Ffraingc, Awstria, Rwssia, a Prwssia, wedi terfynu, yn Llundain, er nos y 15fed o Dachwedd. Y mae y weithred hon yn penderfynu yr achos dyryslyd sydd wedi bod cyhyd dan sylw manylaf cyfrin gynghoriaid Cadeirnion Ewrop, a fu yn bwgwth y cyfandir â rhyfel cyffredinol, gan i Belgium gael ei chydnabod a'i sefydlu fel teyrnas ar ei phen ei hun. A chan i'r Cadeirnion ddiogelu iddi yr amrywiol ammodau a gynnygiwyd yn y Gynnadledd, pe byddai Brenin Holland yn parhau i wrthod cydsynied â'r cytundeb hwnw, nid all ei ymddygiad effeithio ond ar gyflwr ei deyrnas ei hun, ond ni pherygla hyny heddwch cyffredinol Ewrop.

PORTUGAL.—Dywed hanesion o Lisbon fod y prysurdeb mwyaf yn myned ym mlaen ar yr afon Tagus, i gryfhau y brif ddinas yn erbyn un ymosodiad arni o eiddo Don Pedro. Yr ymegniadau i godi byddin effeithiol ydynt fwy nag a allasid disgwyl, wrth ystyried cyflwr aflonydd y deyrnas.

GWLAD GROEG.—Dywedir bod y Groegiaid yn cospi, yn y modd mwyaf barbaraidd, y rhai a fuont â llaw ganddynt yn llofruddiad y diweddar flaenor gwladgarol Capo d'Istria. Cafodd mab i Pietro Bey ei ddedfrydu i gael tori ymaith ei law ddehau, ac wedi hyny ei saethu; tra y mae y rhai o îs radd, a fuont yn gyfranog âg ef, i gael eu cau rhwng dau fur hyd at eu gyddfau, ac yn y cyflwr hwnw eu gadael i drengu gan newyn. Y mae Selictur Poda, y Penaeth gwrthryfelgar Albanaidd, wedi cyrhaeddyd i Corfu, gyda lluaws o ddilynwyr. Meddiannwyd Albania Isaf yn awr gan filwyr Tyrcaidd, oddi eithr Scutari; ond disgwylir y bydd y fan hono yn fuan yn eu meddiant.

WARSAW.—Dywed hanesion o Warsaw y disgwylir i Ymerawdwr Rwssia, gyhoeddi deddf ebargofiad, cystal i'r Pwyliaid fel cenedl ag i bersonau unigol. Ond mewn perthynas iddynt fel cenedl, dywed llythyrau o St. Petersburg, gyda gradd mwy o debygolrwydd, y bydd i'r Pwyliaid gael yr enw yn unig o fod yn deyrnas, a bod y dangosiad o'r annibyniaeth a ganiatawyd iddynt o flaen y gwrthryfel diweddar i gael ei gymmeryd oddi wrthynt, trwy symud y Swyddau Llywodraethol o Poland i brif ddinas Rwssia.

## NEWYDDION CARTREFOL.

### Y SENEDD.

TRWY Gyhoeddiad o eiddo Gweinidogion y Brenin, ymddengys fod y Senedd i ymgyfarfod ar y 6ed o Ragfyr, i'r diben, fel y sonir yn y Cyhoeddiad, i wyddhau amryw faterion angenrheidiol a phwysfawr.

### Y GYMDEITHAS ER TAENU GWYBODAETH GRISTIONOGOL.

*(Parhad o du dalen 350.)*

O FEWN i'r Esgobaeth hon, a chan mwyaf yn unedig â'r Gymdeithas Genhedlaethawl, y mae oddeutu deg ar hugain o Ysgolion yn derbyn addysg beunyddiol. Ni chwanegwyd un Ysgol newydd yn nghorph y flwyddyn ddiweddaf; ac ni ymddengys fod un ymdrech wedi ei wneuthur er sefydlu Ysgolion yn y lleoedd hyny; ym mha rai, wrth ystyried haelioni a gallu y boneddigion, ac angenrheidiau y tlodion, y disgwylid am ffurfiad y cyfryw Sefydliadau.

Galluogir y Cyfeisteddwyr yn fuan, y maent yn gobeithio, i gydlawenhau â'r rhan hon o'r Dywysogaeth, oblegid effeithiau cynnyddol yr Ysgolion hyn, a sylfaenwyd, yn gyntaf, gan y diweddar Barchedig Griffith Jones, Llanddowror; ac wedi hyny a gynnysgaeddwyd mor haelionus gan Mrs. Bevan.—Bu gohebiaeth rhwng Ysgrifenydd y Gymdeithas Genhedlaethol âg Ymddiriedolwyr yr Elusen hon, dan nawdd Esgobion y Dywysogaeth. Ni pherffeithiwyd amcanion y Gymdeithas mor gyflawn ag i'w rhoddi dan ystyriaeth yr Ymddiriedolwyr. Ond ymddengys mai eu hamcan yw hyn—cyflawni i bob plwyf fodd i adeiladu Ysgoldy, ar yr ammod y bydd i'r Ymddiriedolwyr gyfranu swm fechan yn flynyddol er talu i'r Athraw gymmaint a hanner y swm a delir yn bresennol i'r Athrawon. Trwy y Gymdeithas y bydd tanysgrifiadau y trigolion cyfoethocaf, ynghyd â cheiniogau wythnosol yr ysgolheigion, yn gwneuthur i fynu y diffyg. Felly y gwneir yr Elusen hon yn fwy defnyddiol trwy y wlad, gan ychwanegu ysgolion, a'u gwneuthur yn fwy sefydlog a pharhaus.

Holiadau cylchynol yr ysgolion, o fewn Siroedd Môn a Chaerynarfon, a gymmerasant le yn y flwyddyn ddiweddaf fel arferol. Yr Ysgrifenydd, perthynol i'r lleoedd hyn, a dystia am effeithiau daionus y Cyfarfodydd cylchynol hyn, o ran eu goruchwylwyr, athrawon, ac ysgolheigion; a chymmer y cyfle hwn i fynegi ei ddiolchgarwch i'r Offeiriaid am eu zel yn gyfatebol i ddymuniadau y Gymdeithas Genhedlaethawl, trwy roddi hanes eu hysgolion, a chynnull eu hysgolion ynghyd er mwyn cael eu holi. I'r lleygion hefyd y rhydd ei ddiolch, yn ostyngedig, am eu siriol gyd-weithrediad; ac i bawb oll am yr ewyllys da, a'r haelioni personol, i'r rai y darfu iddynt ei gyfarch ef, yr hwn a gafodd y fraint o weled eu hymdrechiadau unedig er addysg grefyddol a moesol eu hisraddolion.

Y Cyfeisteddwyr a ddiweddgloant eu hanes gyda â'r sicrwydd mwyaf y bydd i'r gwaith a gymmerasant mewn llaw lwyddo yn ddiau. Y gwrthddrych yn eu golwg sydd yn rhesymol, duwiol, a daionus. Dymunant ddysgu ieuengctyd mewn egwyddorion grefyddol a moesol; ac âg athrawiaethau a dysgyblaeth yr Eglwys Sefydledig. Ewyllysiant ddiwallu hen ac ieuainc â'r cyfryw lyfrau ag a'u gwnelo hwynt yn ddoeth i iechydwriaeth, ac yn aelodau defnyddiol a dedwydd o'r wladwriaeth, ac a ddwg ym mlaen eu dedwyddwch presennol a dyfodol fel dynion a Christionogion. Gan fod ganddynt y cyf-

ryw amcanion yn eu golwg, nid oes ganddynt un ammheuaeth na bydd iddo *Ef*, yr hwn a'u rhagliaenodd hwynt yn eu holl weithredoedd, eu rhwyddhau hwynt â'i barhaus gymmorth; gan obeithio, yn ostyngedig, y bydd iddynt, yn eu holl weithredoedd dechreuedig, annherfynedig, a therfynedig ynddo *Ef*, ogoneddu ei sanctaidd Enw, ac yn y diwedd gyda hwynt (i ba rai y ceisiant gyfranu y bendithion hyn) etifeddu bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

J. H. Cotton, *Ysgrifenydd.*

Crynodeb o'r Llyfrau a gyfeiriwyd atynt yn Hanes y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol.

*Llyfrau a werthwyd y Flwyddyn hon.*

| | |
|---|---|
| Biblau Saesneg | 122 |
| Do. Cymreig | 141 |
| Testamentau Saesneg | 308 |
| Do. Cymreig | 44 |
| Llyfrau Gweddi Gyffredin Saesneg | 147 |
| Do. Cymreig | 146 |
| Y Psallwyr Saesneg | 28 |
| Do. Cymreig | 28 |
| Llyfrau Ysgol Saesneg | 2108 |
| Do. Cymreig | 6 |
| Llyfrau Gweddi Gyffredin Cymraeg a Saesneg | 34 |
| Testamentau Cymraeg a Saesneg | 28 |
| Amrywiol Draethodau, Cymraeg a Saesneg | 859 |
| | 3909 |

*Llyfrau a werthwyd y Blynyddau o'r blaen.*

| | |
|---|---|
| 1829 | 4280 |
| 1828 | 4818 |
| 1827 | 1452 |
| 1826 | 5035 |
| 1825 | 5047 |
| 1824 | 3978 |
| 1823 | 3984 |
| 1822 | 3008 |
| 1821 | 6468 |
| 1820 | 4907 |
| 1819 | 4043 |
| 1818 | 7321 |
| 1817 | 3132 |
| 1816 | 7259 |
| 1815 | 2729 |
| 1814 | 4100 |
| Y cwbl a werthwyd gan y Cyfeisteddwyr er Awst, 1814 | 76160 |

DERBYNIADAU.

| | £. | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Derbyniwyd am Lyfrau o Awst 5, 1830, i Awst 3, 1831, yn ol y cyfrif, | 120 | 19 | 10½ |
| Casgliadau Plwyfol o Awst 5, 1830, i Awst 3, 1831 | 122 | 12 | 8½ |
| Dychwelwyd yn nghludiad Cist | 0 | 0 | 9 |
| Gwerthiad Hen Gistiau | 0 | 8 | 0 |
| | 244 | 1 | 4 |

---

## TERFYSG YN NGHAERODOR!

Ymddengys fod Syr Charles Wetherell yn Gofiadur *(Recorder)* Caerodor *(Bristol)*. Ar ddydd Sadwrn, Hydref 29, yr oedd, yn ol ei swydd, i ddyfod i Gaerodor i gynnal y Sessiwn yn y ddinas hòno. Yr oedd amryw o'r trigolion wedi penderfynu i ddangos pob ammharch a fedrent iddo, o herwydd ei wrthwynebiad i Ysgrif y Diwygiad. Ond, heblaw ychydig gyffroad yn y ddinas, ni bu dim terfysg i beri ofn am y canlyniadau. Ond, "Wele faint o ddefnydd y mae ychydig dân yn ei enyn."

Oddeutu 10 o'r gloch y bore, ar ddynesiad Syr Charles i'r ddinas, dechreuodd y werinos i ymgasglu at eu gilydd yn finteioedd, ac aethant i'w gyfarfod, gan ei gyfarch gyd â'r oernadau, y griddfanau, a'r crochlefau mwyaf cethin a syfrdanllyd. Ar hyn daeth y ceisbwliaid ym mlaen, a chyflewyd hwynt o amgylch y cerbyd yr oedd Syr Charles ynddo, a gwr boneddig ar farch o bob ochr iddo, a rhwng 300 a 400 o foneddigion ar feirch ym mlaen ac yn ol, ac yn y dull hwn daethant i lysdy y ddinas. Disgynodd Syr Charles yma, ond nid heb lawer o anhawsder. Wedi iddo eistedd ar y faingc, dechreuwyd y defodau arferol wrth agor sessiwnau; ond cymmaint oedd y sŵn a'r cynhwrf, fel y methodd y swyddog gael seibiant amryw wethiau i fyned ym mlaen. Wedi darfod myned trwy y defodau dechreuol, cymmerwyd Syr Charles i'r Maenor-dŷ. Yr oedd yr heolydd ar y ffordd yn llawn o bobl, ond, heblaw eu llefain oernadawl, nid oedd yn eu hymddygiad hyd yn hyn ddim ag i beri arswyd. Nis gall fod llai na 10,000 o bobl wedi ymgasglu o flaen y Maenor-dŷ, wedi eu harfogi â ffyn, i amddiffyn eu hunain rhag ymosodiadau y ceisbwliaid, y rhai oedd yn rhuthro arnynt o bob cwr yn ddidrefn. Ond gan fod llawer o wehilion y gymmydogaeth wedi ymgasglu, y rhai oedd a'u bryd am godi terfysg ac annhrefn, er mwyn cyflawni eu drwg amcanion, dechreuodd galanas dychrynllyd gymmeryd lle.

Oddeutu pedwar o'r gloch y prydnawn, dechreuodd y dyrfa ymosod ar y Maenordŷ *(Mansion-house)* gan daflu cerig at y ffenestri, a'r cyffelyb. Daeth y Maer ym mlaen i ddeisyf arnynt fod yn llonydd, ac i wasgaru bawb i'w tai. Taflwyd amryw gerig ato tra yr oedd yn llefaru wrthynt. Yna gorfu arno ddarllen y *Riot Act;* ond hyn, yn lle eu tawelu, yn hytrach a chwanegodd i'w cynhyrfu, a dechreuasant ymosod ar y Maenor-dŷ ar bob cwr iddo. Mewn mynydyn yr oedd y ffenestri a'r drysau yn dipiau, a'r dodrefn wedi eu taflu i'r heol, a thynwyd ymaith y *palisades* haiarn, ynghyd â'r cerig oedd yn eu dal. Dadwreiddiwyd coed ieuaingc, er mwyn eu cael yn ffyn i'w hamddiffyn. Taflwyd muriau i lawr i'r diben o gael y priddfeini i daflu at ffenestri llofftydd y Maenor-dŷ; a chynnullasant wellt, a d[illegible] iau ereill, i roddi y cwbl yn fflam[illegible] pryd hyn yr ydys yn deall i Syr C[illegible] ddiangc mewn twyll wisgoedd.

Gallasid meddwl y buasai dyfod milwyr yn peri i'r bobl ymwasga[illegible]

ffrwst, ond nid felly y bu; ond bu yn foddion i achub y Maenor-dŷ rhag cael ei losgi yr amser hwnw. Oddeutu hanner nos, gan i'r dorf gael eu siomi yn eu hamcan o losgi y Maenor-dŷ, aethant at y Cynghor-dŷ, ac a ddechreuasant dori y ffenestri, &c. Yna gorchymynwyd i'r milwyr ymosod arnynt, a lladdwyd rhai a chlwyfwyd ereill. Boreu dydd Sul dechreuodd y bobl ymgasglu drachefn at eu gilydd, a dechreuasant ar eu drygwaith, trwy ymosod ar y Maenor-dŷ yr eilwaith; torasant i mewn i'r selerau gwin, a dygasant allan oddeutu 300 dwsin o amryw fath o win, yr hwn a yfwyd ac a wastraffwyd ganddynt. Yna aethant at y *Bridewell* i'r diben o ryddhau y carcharorion. Torasant y drysau; ac wedi gollwng y carcharorion, rhoddasant yr adeilad ar dân. Yr oedd hyn oddeutu dau o'r gloch.

Wedi hyn aethant at y Carchar Newydd. Torasant i mewn i dŷ y Ceidwad, a thaflasant bob peth symudol o hono i'r afon. Yna agorasant ddrysau y carchar, a gollyngasant yr holl garcharorion, ac a osodasant y carchar ar dân. Ar ol iddynt orphen y gwaith dinystriol hwn, aethant at y Toll-dai, y rhai yn fuan ac yn hawdd a daniasant. Yna aethant at garchar y Sir, a gollyngasant y carcharorion, a gosodasant yr adeilad ar dân. Erbyn hyn yr oedd y tri charchar yn fflamio ar unwaith. Wedi hyn aeth ychydig o'r dyhirod hyn at balas yr Esgob. Danfonwyd am y milwyr i'w rhwystro, y rhai oeddynt yn gwarchadw y Maenor-dŷ. Ond cyn gynted ag yr ymadawsant oddi yno, dechreuodd y werin-dorf ar y gwaith o'i ddinystrio, ac mewn ychydig iawn o fynydau llwyddasant i roddi yr adeilad helaeth hwn ar dân.

Erbyn i'r milwyr gyrhaeddyd i balas yr Esgob, cawsant bob peth yn lled dawel yno; ond yr oedd y fflamau ag oeddynt yn dyrchafu o'r Maenor-dŷ yn dangos yn eglur, eu bod, wrth geisio achub y naill le, wedi gadael y llall yn agored i ddinystr. Dychwelasant i'r Maenor-dŷ, yr hwn a gawsant yn fflamio yn arswydus; ac ym mhen oddeutu 20 mynyd, syrthiodd y nen i fewn, gyda thrwst dychrynllyd. Erbyn hyn yr oedd palas yr Esgob yn fflamio, yr hwn mewn ychydig amser a losgwyd yn ulw. Ar ol iddynt losgi y Maenor-dŷ, tybiasid y buasai cynddaredd y dorf wedi arafu; ond nid felly y bu; canys yr oeddynt wedi bwriadu rhoddi yr holl dai cyfagos iddo ar dân; ac erbyn hanner nos yr oedd yr holl res, ynghyd â'r *Custom-House*, yn eirias o dân. Wedi hyny rhoddasant yr *Excise Office* ar dân. Rhy arswydus genym adrodd yr holl alanas a gyflawnwyd yn y ddinas hon o Nos Sadwrn hyd Ddydd Llun. Llosgwyd 42 o Anneddau, ac Ystor-dai, heblaw y Maenor-dŷ, yr *Excise Office*, y *Custom-House*, y pedwar Toll-dŷ, y tri Charchar, a Phalas yr Esgob. Yr oedd llawer o'r terfysgwyr wedi yfed i'r fath ormodedd, fel y llosgwyd rhai o honynt i farwolaeth yn yr adeiladau a fflamiwyd ganddynt.

Y mae yn anhawdd iawn dywedyd pa nifer a laddwyd ac a glwyfwyd yn y terfysg ofnadwy hwn. Tybir nas gall fod dim llai na 500. Y mae oddeutu 200 o'r rhai ag oedd yn blaenori yn y terfysg yn awr mewn dalfa, y rhai a ddygir i'w prawf-holiad yn fuan. Hefyd, y mae amryw ereill wedi eu cymmeryd *i fynu*, ym meddiant y rhai y cafwyd llestri arian a phethau ereill, perthynol i'r personau y llosgwyd eu tai.

Y mae llawer o feio ar Faer y ddinas, a'r hedd-swyddogion ereill, am eu llwfrdra a'u petrusder i arfer yr awdurdod ag oedd yn eu dwylaw. Rhai ereill ar ymddygiad y *Colonel Brereton*, blaenor y milwyr, am beidio ymosod ar y terfysgwyr, ar ol iddo gael gorchymyn gan y Maer; ond gan fod y mater hwn yn fuan i gael ei benderfynu gan yr uchel awdurdodau, ni bydd i ni draethu ein meddwl ein hunain ar yr achos.

---

## Y CHOLERA MORBUS.

Gan fod y clefyd arswydus hwn ag sydd er's ychydig flynyddau wedi bod yn cyniwair trwy y rhan fwyaf o Asia, ac yn y flwyddyn bresennol wedi ymweled â pharthau gogleddol Ewrop, ac o fewn ychydig ddyddiau yn ol wedi ymddangos yn Sunderland, porthladd yn Ngogleddbarth Lloegr, rhoddwn ger bron ein darllenwyr y Rheolau a'r Gocheliadau a gymmeradwywyd gan brif Feddygon y Deyrnas hon yn Llundain, i'r diben (dan fendith yr Hollalluog) o'i ochelyd a'i ragflaenu.

### MEWN PERTHYNAS I DAI.

I. I ochelyd rhag bod tyrrau o dail, lludw, a phob math o fudreddi, yn agos i'ch annedd, a bod i'r cyfryw gael eu symud yn ddioed i ryw gae gryn ffordd oddi wrtho.

II. I beidio gadael i ddwfr sefyll yn agos i'ch tai; i gadw cwtterydd yn lân; ac i adael (os bydd modd) i ddwfr rhedegog fyned trwyddynt.

III. I gadw ystafelloedd cyfanneddol yn lân, ac yn sych, ac i wyn-galchu'r muriau â chalch poeth; i ofalu bod rhediad rhwydd i'r awyr trwyddynt; i adgyweirio drysau a ffenestri, ac yn neillduol ystafelloedd gwelyau, fel na byddont yn niweidiol i'r preswylwyr yn oriau cysgu oddiwrth ffrwd o awyr.

IV. I newid dillad y gwelyau mor aml ag a ellir, a golchi y cynfasau a'r gwrthbanau; i symud y dodrefn, er mwyn glânhau rhyngddynt ac oddi tanynt, ac oddi tan y gwelyau, gan ddwyn allan bob math o ammhuredd.

MEWN PERTHYNAS I BERSONAU.

V. I gadw glanweithdra, trwy fynych ymolchi, a newid dillad, ac ymdrochi mewn dwfr claiar, yn achlysurol, os bydd hyny yn gyfleus.

VI. I ragflaenu cyfnewidiadau disymmwth yn yr hin, trwy wisgo gwlanen yn nesaf at y croen, yn neillduol oddi amgylch yr ymysgaroedd; cadw 'r traed a'r coesau yn gynnes; gwisgo esgidiau, neu glocs, am y traed.

VII. I ochelyd gormod blinder, chwysu ac oeri, yn neillduol yn y nos; i newid dillad gwlybion pan ellir, neu fyned i wely cynnes.

VIII. I beidio bwyta ffrwythydd oerion, cnau a'r cyffelyb, i ymwrthod â choginiaeth uchel danteithiol, ac â phob peth ag sydd yn peri surni, a gwynt yn y cylla, ac yn anhawdd i'w dreulio.

IX. I ymwrthod â dyfroedd poethion *(Spirits)* a diod sur; i fod yn gynnil yn yr arferiad o siwgr, yn enwedig os yw yn dueddol o droi yn sur yn y cylla.

X. I fod yn rheolaidd yn eich holl ymarferiadau; i roddi ysgogiad cymmedrol i'r corph; myned yn gynnar i gysgu; a bod yn gymmedrol mewn bwyta ac yfed, yn ol fel y mae natur yn gofyn, a dim ychwaneg, gan fod yr haint hwn yn dra dinystriol i'r rhai sydd yn bwyta ac yn yfed yn anghymmedrol, ac heb ofalu am lanweithdra a rhwydd-rediad awyr yn eu hystafelloedd.

☞ Er fe allai nas gall yr holl Reolau a'r Gocheliadau hyn gael eu dilyn i fanyldra, etto pa agosaf y dilynir hwynt, sicraf i bob tebygolrwydd fydd y diogelwch; gan fod yr haint echrydus hwn yn gyffredin yn ymosod yn gyntaf ar y tlodion yn y nos, yn enwedig ar y rhai sydd yn esgeulus o barth glanweithdra, &c.

---

*Tymhestl-wynt yn Barbadoes.*—Rhydd y Newyddiaduron hanes tra dychrynllyd am Dymhestl arswydus a ddigwyddodd yn yr Ynys hon ar yr 11eg o Awst diweddaf. Dywedir nad oedd yr un tŷ ar yr Ynys heb ei niweidio, a bod ynghylch pedair mil o'r trigolion wedi eu lladd. Chwythwyd i lawr y *Custom-House*, a niweidiwyd yr holl Eglwysi a'r Capeli, mwy neu lai. Dywedir fod deugain o leiaf o'r milwyr, ynghyd âg amryw o'u gwragedd a'u plant, wedi eu lladd. Y meusydd ffrwythlawn a ddinystriwyd, ac yn ganlynol, y gweddill o'r trigolion a adawyd ydynt yn y cyflwr mwyaf gresynus.

ESGOB CAERODOR.—Erfyniodd amryw o'r Offeiriaid ar yr Esgob hwn nad âi i bregethu yn yr Eglwys Gadeiriol foreu dydd Sul, oblegid ei bod wedi ei nodi gan y werinos i'w dinystrio: i'r hyn yr atebodd ei Arglwyddiaeth, "Yr wyf yn ddiolchgar i chwi am eich gofal caredig am danaf, ond rhaid i mi edrych am gyflawui fy nyledswydd i Dduw, ac nid ofni dyn: ni chaiff neb byth ddywedyd am danaf fi, fy mod wedi cefnu ar grefydd." Y mae yr ateb yn deilwng i Esgob Cristionogol; sef, ei fod yn barod, os gorfyddai iddo, i ganlyn siampl amryw o Esgobion gynt, gan roddi ei einioes i lawr y'ngwasanaeth ei Arglwydd. Bwriada Offeiriaid ei Esgobaeth ei gyfarch ar arbediad ei fywyd, tra y cyd-alarant âg ef am y golled o'i eiddo.

---

*Arch i'r Byw.*—Ychydig yn ol, daeth merch i ddyn tlawd ar y Plwyf at arolygydd y tlodion *(overseer)* dan wylo, a dywedyd fod yr hen wraig ei mam wedi marw, gan erfyn arch iddi. Yr arolygydd a ysgrifenodd *order* iddi i'w chael: eithr daeth yn fuan i'w gôf weled o hono yn ddiweddar yr hen wraig yn bur iach—aeth ef, ac un arall, i'r tŷ yr oedd y tlodion yn byw ynddo, i weled a oedd pob peth yn iawn, ac, er eu syndod, gwelsant y fam a'r ferch wrth y tân, a'r arch rhyngddynt, yr hon yr oeddynt yn brysur yn ei hollti, ac yn ei ddefnyddio i wneud *matches.*

---

*Echryslonder.*—Y mae amryw ddynion wedi cael eu carcharu yn ddiweddar am lofruddiaeth o'r gwrthunaf, sef i'r diben o werthu y cyrph i'r Meddygon. Ychydig ddyddiau yn ol, yn Llundain, lladdwyd bachgen o'r Eidal, a dygwyd ei gorph at y Meddygon, ond gwrthodasant ei brynu, a daliwyd y llofruddion.

---

## BU FARW,

Hydref 9, yn 71 oed, Elizabeth Williams, Hafod Lledrod, Ceredigion, merch y diweddar Richard Williams, Pen y Gwndwn, o'r un Plwyf, yr hwn a enwir gan yr ardderchog Fardd Edward Richards, yn ei Ammod ysgrifen yn Nghoflys y Canghellwr *(Deed of Trust Enrolled in Chancery)* er sefydlu Ysgol Rydd yn ei le genedigol, yn oes oesoedd, i addysgu tafodiaith Lladin, ac yn egwyddorion yr Eglwys Sefydledig, a mam y Clydwr Llyfrau Hynafiaeth, &c. Cymreig o'r enw yn Nghaerludd. Bu i'w phlant yn Fam gariadus, addfwyn, hyfforddus, diwyd, ac ymgeleddgar, y mae y rhai hyn yn teimlo galar dwys ar ei hol.

GYDA dwys deimladau yr ydym yn hysbysu am farwolaeth y Gwir Barchedig Dr. SUMNER, Arglwydd Esgob Winchester. Bu ei Arglwyddiaeth yn lled afiach er's rhai dyddiau yn ei dŷ ei hu Castell Farnham. Dydd Sadwrn y 19eg o Da wedd, danfonwyd am y Meddygon, Syr Willi Knighton a Dr. Chambers; ond ofer fu eu hy drechiadau medrus i esmwythâu ei glefyd, ac ar Sul yr 20fed anadlodd y gwir barchedig Esgob anadl olaf.

# Y CYNNWYSIAD.

A.



B.



BARDDONIAETH.

C.



D.



E.



F.



G.



H.



LL.



M.



O.



P.



R.



S.

DIWEDD YR WYTHFED LLYFR.

BALA, ARGRAFFEDIG GAN R. SAUNDERSON.

